Y

# DEONGLYDD BERNIADOL,

NEU

EGLURHAD MANWL AR BOB ADNOD

YN YR

## HEN DESTAMENT A'R NEWYDD,

ER GWASANAETH

## Yr Ysgolion Sabbothol.

---

GAN Y PARCH. JOHN JONES, (IDRISYN,)
FICER LLANDYSILIO, CEREDIGION,
*Golygydd a Chasglydd yr "Esboniad Berniadol," &c.*

---

**CYFROL II.**

O JOSUA HYD 2 CRONICL.

---

MACHYNLLETH:
CYHOEDDEDIG AC AR WERTH GAN J. WILLIAMS.
AC AR WERTH HEFYD
GAN HUGHES A BUTLER, LLUNDAIN,
A'R HOLL LYFRWERTHWYR.

1861.

I'R

GWIR BARCHEDIG CONNOP THIRLWALL, D.D.,

ARGLWYDD ESGOB TYDDEWI,

Y CYFLWYNIR YN OSTYNGEDIG Y GWAITH HWN,

FEL ARWYDD O ANRHYDEDD

I'W SWYDD UCHEL YN EGLWYS CRIST,

A'I DDEFNYDDIOLDEB YNDDI;

FEL CYDNABYDDIAD

O'I DALENTAU UCHEL, EI DDYSGEIDIAETH HELAETH,

A'I WYBODAETH EANG O'R GYMRAEG;

AC FEL AMLYGIAD

O'R PARCH A DEIMLIR IDDO YN BERSONOL, AR GYFRIF

EI YMOSTYNGIAD, A'I DIRIONDEB ANARFEROL

AT EI ANNHEILYNGAF WASANAETHYDD,

YR AWDWR.

# LLYFR

# JOSUA.

Enw cyntefig awdwr y llyfr hwn oedd *Osea*, yr hwn a newidiwyd i *Josua* am y rhesymau a nodwyd eisioes: gwel y sylw ar Num. xiii. 16. Tybiodd rhai nad Josua yw awdwr y llyfr hwn, ond fod ei enw ef yn cael ei roddi iddo am mai *Josua* yw prif wrthddrych y llyfr, fel y mae *Ruth*, *Esther*, a *Job* i'r llyfrau ag sydd yn dwyn eu henwau hwythau. Yr hyn a barodd i rai feddwl felly yw, fod yma *enwau* yn cael eu rhoddi i leoedd, y rhai na elwid felly am lawer o ganrifoedd ar ol dyddiau Josua; a bod rhai *brawddegau* yma a thraw ar hyd y llyfr, yn gystal a hanes marwolaeth Josua ac Eleazar yn niwedd y llyfr, y rhai nas gallant fod wedi cael eu hysgrifenu hyd ar ol marwolaeth Josua. Ond gellir cyfarfod â'r gwrthebion hyn trwy sylwi, y gallai rhyw adysgrifenydd dylynol, trwy arweiniad dwyfol, chwanegu y pethau hyn mewn oesau dyfodol, er gwneyd yr hanes yn gyflawnach, ac yn fwy dealladwy o hyny allan: a gall y darllenydd weled yr holl gyfryw frawddegau yn cael eu hegluro yn y sylwadau canlynol. Hefyd, rhaid addef fod yma lawer o bethau yn cael eu coffâu, y rhai nad allai neb ond Josua eu coffâu: ac yn wir y mae y llyfr hwn wedi cael ei gydnabod yn mhob oes, gan y rhan fwyaf o Iuddewon a Christionogion, fel gwaith Josua. Addefir fod llyfr Josua yn un o'r rhai pwysicaf yn yr Hen Destament, ac y mae i'w ystyried fel parhad neu orpheniad pum llyfr Moses; canys y mae yr un berthynas rhyngddo a'r llyfrau hyny, ag sydd rhwng llyfr yr Actau a'r pedair Efengyl. Y mae y llyfr hwn yn cynwys hanes awdurdodiad Josua yn lle Moses; y cyfammod rhwng y ddau yspïwr a Rahab; mynediad Israel dros yr Iorddonen, a'u hymgyflwyniad i Dduw; darostyngiad Canaan gan Josua; rhaniad y wlad rhwng y llwythau; dychweliad y ddau lwyth a hanner i'w hetifeddiaeth; anerchion Josua i'r bobl; yn nghyda'i farwolaeth ef ac Eleazar. Mewn gair, cynwysir yma hanes y genedl am oddeutu 30 mlynedd, sef rhwng C.C. 1451 a 1420.

## PENNOD I.

AC wedi marwolaeth Moses, gwas yr Arglwydd, y llefarodd yr Arglwydd wrth Josua fab Nun, gweinidog Moses, gan ddywedyd,
2 Moses fy ngwas a fu farw: gan hyny cyfod yn awr, dos dros yr Iorddonen hon, ti, a'r holl bobl hyn, i'r wlad yr ydwyf fi yn *ei* rhoddi iddynt hwy, meibion Israel.
3 Pob man y sango gwadn eich troed chwi arno, a roddais i chwi; fel y llefarais wrth Moses.
4 O'r anialwch, a'r Libanus yma, hyd yr afon fawr, afon Euphrates,

PEN. I. Adn. 1. *Ac wedi marwolaeth Moses*] Yn niwedd y deng niwrnod ar hugain yn y rhai yr ŵylasant am Moses, Deut. xxxiv. 8. *Gwas yr Arglwydd*—gelwir ef felly, (1) Er anrhydedd i Moses. (2) I roddi awdurdod i'w ddeddfau a'i orchymynion, yn y cyhoeddiad o ba rai yr ymddygai efe fel gwas Duw, drosto ac yn ei enw ef. (3) I arwyddo y byddai i'w osodiadau ef, yr hwn nad oedd ond *gwas* yn nhŷ Dduw, roddi lle i osodiadau CRIST dan oruchwyliaeth yr efengyl, yr hwn yw y MAB, sef Etifedd ac Arglwydd ei dŷ ei hun, Heb. iii. 2, &c. *Llefarodd yr Arglwydd wrth Josua*—mewn breuddwyd neu weledigaeth, neu trwy Urim. *Gweinidog Moses*—yr hwn a weithredai fel ei gofiadur a'i filwr-weinydd ef, ac a ydoedd yn egwyddorwas iddo i'w barotoi i'w ddylyn ef yn y swydd, Exod. xxiv. 13.

Adn. 2. *Moses fy ngwas a fu farw*] Arwydda y gair *brif-weinidog* Duw, trwy yr hwn y cyflawnai efe ei holl fwriadau: gwel uchod. Er fod y gwas hwn wedi marw, y mae y Meistr o hyd yn fyw; a thra y byddo ganddo waith i'w gyflawni, efe a gyfyd offerynau addas i'w ddwyn yn mlaen; ac am hyny gelwir Josua yn lle Moses. *Dos dros yr Iorddonen hon*—yr hon sydd yn awr yn dy ymyl, a'r hon yw yr unig rwystr yn awr ar dy ffordd i Ganaan. *I'r wlad yr ydwyf fi yn ei rhoddi*—trwy feddiant gweithredol, megys y rhoddais hawl iddi gynt trwy addewid.

Adn. 3. *Pob man y sango gwadn eich troed chwi arno*] O fewn y terfynau a nodir isod. Ond tybia rhai fod y geiriau hyn yn cael eu bwriadu i osod allan yr *hawsder* â pha un yr oeddynt i orchfygu yr holl wlad, fel y profwyd yn ngorchfygiad Jericho. Eu hanffyddlondeb hwy i Dduw oedd yr unig beth a wnai y fuddugoliaeth mewn unrhyw achos yn anhawdd.

Adn. 4. *O'r anialwch a'r Libanus yma*] Eithaf eu terfynau fyddai o *Arabia Garegog* yn DDEHEUOL, i *Libanus* yn OGLEDDOL; ac o'r *Euphrates* yn DDWYREINIOL, hyd *Fôr-y-canoldir* yn ORLLEWINOL: ond ni feddiannodd yr Israeliaid y rhodd hon yn gyflawn hyd ddyddiau Dafydd, 2 Sam. viii. 3, &c., 2 Cron. ix. 26. *Holl wlad yr Hethiaid*—cyfrifir y rhai hyn yn gyffredin fel y rhai mwyaf rhyfelgar a dewr o'r holl genhedloedd Canaaneaidd; a chan eu bod yn meddiannu y parthau mynyddig o du y deau i wlad Canaan, y mae yn naturiol meddwl mai y rhai hyn fyddent anhawddaf i'w gorchfygu; a thybia rhai mai ar y cyfrif hwn yr enwa Duw y rhai hyn yn neillduol; fel pe dywedasai, 'Chwi a orchfygwch ac a feddiennwch hyd yn nod holl wlad yr HETHIAID.'

holl wlad yr Hethiaid, hyd y môr mawr, tua machludiad yr haul, fydd eich terfyn chwi.

5 Ni saif neb o'th flaen di holl ddyddiau dy einioes: megys y bûm gyda Moses, y byddaf gyda thithau; ni'th adawaf, ac ni'th wrthodaf.

6 Ymgryfha, ac ymwrola: canys ti a wnai i'r bobl hyn etifeddu y wlad yr hon a dyngais wrth eu tadau ar *ei* rhoddi iddynt.

7 Yn unig ymgryfha, ac ymwrola yn lew, i gadw ar wneuthur yn ol yr holl gyfraith a orchymynodd Moses fy ngwas i ti: na ogwydda oddiwrthi, ar y llaw ddeau nac ar y llaw aswy; fel y ffynech i ba le bynag yr elych.

8 Nac ymadawed llyfr y gyfraith hon o'th enau, eithr myfyria ynddo ddydd a nos; fel y cedwych ar wneuthur yn ol yr hyn oll *sydd* ysgrifenedig ynddo: canys yna y llwyddi yn dy ffyrdd, ac yna y ffyni.

9 Oni orchymynais i ti? Ymgryfha, ac ymwrola; nac arswyda, ac nac ofna: canys yr Arglwydd dy Dduw *fydd* gyda thi, i ba le bynag yr elych.

10 ¶ Yna Josua a orchymynodd i lywodraethwyr y bobl, gan ddywedyd,

11 Tramwywch trwy ganol y llu, a gorchymynwch i'r bobl, gan ddywedyd, Parotowch i chwi luniaeth: canys o fewn tridiau y byddwch chwi yn myned dros yr Iorddonen hon, i ddyfod i feddiannu y wlad y mae yr Arglwydd eich Duw yn *ei* rhoddi i chwi i'w meddiannu.

---

Ond dichon fod yr holl genhedloedd ereill yn cael eu cynwys yma dan yr enw hwn, fel eu cynwysir mewn manau ereill dan yr enw AMORIAID. *Hyd y môr mawr*—sef Môr-y-canoldir, yr hwn a elwir yn *fawr* mewn cydmhariaeth i Fôr Tiberias a'r Môr Marw, y rhai nad oeddynt wrth hwn ond megys *llynoedd* bychain, er fod yr Iuddewon yn rhoddi yr enw môr *(yam)* i bob casgliad mawr o ddyfroedd.

Adn 5. *Ni saif neb o'th flaen*] Hyny yw, ni fydd neb yn gallu sefyll, neu ni saif neb yn llwyddiannus. *Megys y bûm gyda Moses*—i'w gynorthwyo ef yn ngwyneb ei holl elynion, ac i'w gyfarwyddo yn llywodraethiad y bobl wargaled hyn; *y byddaf gyda thithau*—holl ddyddiau dy einioes. *Ni'th adawaf*—i'th nerth a'th ddoethineb dy hun; *ac ni'th wrthodaf*—ni'th roddaf i fyny i ewyllys dy elynion, Heb. xiii. 5.

Adn. 6. *Ymgryfha ac ymwrola*] Er fod Duw wedi addaw na fyddai neb yn alluog i sefyll o'i flaen ef, eto yr oedd hyny ar yr ammod iddo ef arferyd ei holl fedrusrwydd milwraidd, a defnyddio yr holl foddion naturiol a rhagluniaethol a osodai Duw o fewn ei gyrraedd. Ni chynorthwya Duw y rhai hyny a wrthodant eu cynorthwyo eu hunain. *Canys ti a wnai i'r bobl hyn etifeddu y wlad*—felly sicrheir iddo yn nechre y gwaith hwn, y cai efe fod yn offeryn i'w ddwyn i orpheniad.

Adn. 7. *I gadw ar wneuthur yn ol yr holl gyfraith*] Er dy fod di i lywodraethu y bobl, eto y mae y gyfraith a roddwyd gan Moses, oddiwrthyf fi, i'th lywodraethu dithau. *Na ogwydda oddiwrthi—fel y ffynech*—dengys hyn fod y cynnorth dwyfol a addewsid iddo ef a'r Israeliaid yn un ammodol, ac y gellid yn gyfiawn ei dynu yn ol oddiwrthynt ar eu troseddiad hwy o'r ammodau.

Adn. 8. *Nac ymadawed llyfr y gyfraith hon o'th enau*] Hyny yw, rhaid i ti ei ddarllen yn barhaus, a threfnu dy holl orchymynion i'r bobl yn ol egwyddorion fy nghyfraith i. *Myfyria ynddo ddydd a nos*—chwilia ef yn ddyfal, ac ar bob achlysur ystyria pa beth yw ewyllys Duw a'th ddyledswydd dithau. *Fel y cedwych ar wneuthur yn ol yr hyn oll sydd ysgrifenedig ynddo*—yr hon yw yr unig ffordd i ti lwyddo a ffynu.

Adn. 9. *Oni orchymynais it'?*] Sef myfi, yr hwn yr wyt yn rhwym o ufyddhau i mi; myfi, yr hwn a allaf dy ddwyn trwy bob peth a roddaf arnat; myfi, yr hwn y cefaist y fath brawf o'm ffyddlondeb a'm nerth hollalluog!

Adn. 10. *Yna Josua a orchymynodd i lywodraethwyr y bobl*] Neu y *shoterim*. Yr oedd y rhai hyn yn wahanol i'r *shophetim*, y rhai oeddynt farnwyr yn mysg y bobl, gwaith y rhai oedd penderfynu yn mhob achos gwladol. Meddylir mai îs swyddogion oedd y *shoterim*, y rhai oeddynt i edrych ar fod penderfyniadau y *shophetim* yn cael eu cyflawni. Tybia Calmet y gall mai herodron y fyddin oedd y *shoterim* hyn, fel y rhai ag y cyfarfyddir â hwynt mor fynych yn *Homer*, y rhai a elwir yn 'genhadau y duwiau a dynion;' y rhai a ddygent deyrnwiail, a'r rhai yr ystyrid eu personau bob amser yn gysegredig: gwel ar Exod. xviii. 21.

Adn. 11. *Parotowch i chwi luniaeth*] *Tsedah*, y gyfryw ysglyfaeth neu arlwyadau ag a gymerasent hwy o'r gwledydd gorchfygedig, megys ŷd, ychain, defaid, &c.; o herwydd arwydda y gair y fath *ysglyfaeth* ag a gymerir wrth hela, &c. Ond pa angen oedd am y rhagofal hwn, gan fod yr Israeliaid yn cael manna o'r nefoedd bob bore yn ymborth? Heb ddyfynu yr holl atebion a roddir gan esbonwyr i'r gofyniad hwn, ymfoddlonwn ar nodi pump neu chwech: (1) Gall fod Josua yn rhagweled y gorfyddai i'r Israeliaid ymfudo yn rhy fore i ganiatau amser i gasglu manna fel arferol, ac am hyny barnai fod yn gall iddynt gael eu diwallu âg arlwyadau cyn iddynt ddechreu eu taith. (2) Er fod y manna yn disgyn bob dydd er diwallu y tylodion a'r llesg, eto ni waherddid i'r rhai a allent brynu bwydydd ereill, eu defnyddio, Deut. ii. 6, 28. (3) Tybia Le Clerc i Josua orchymyn hyn, am ei fod yn meddwl, neu wedi cael hysbysiad dwyfol, y peidiai y manna mor fuan ag y croesent yr Iorddonen. (4) Dywed Coke y gellir cyfieithu y geiriau, 'Parotowch bob *darpariaeth* angenrheidiol;' heb ei gyfyngu

12 ¶ Wrth y Reubeniaid hefyd, ac wrth y Gadiaid, ac wrth hanner llwyth Manasse, y llefarodd Josua, gan ddywedyd,

13 Cofiwch y gair a orchymynodd Moses gwas yr Arglwydd i chwi, gan ddywedyd, Yr Arglwydd eich Duw a esmwythâodd arnoch, ac a roddodd i chwi y wlad hon.

14 Eich gwragedd, eich plant, a'ch anifeiliaid, a drigant yn y wlad a roddodd Moses i chwi o'r tu yma i'r Iorddonen: ond chwychwi a ewch drosodd yn arfogion o flaen eich brodyr, y sawl *ydych* gedyrn o nerth, a chynorthwywch hwynt;

15 Nes rhoddi o'r Arglwydd lonyddwch i'ch brodyr, fel i chwithau, a meddiannu o honynt hwythau y wlad y mae yr Arglwydd eich Duw yn ei rhoddi iddynt: yna dychwelwch i wlad eich etifeddiaeth, a meddiennwch hi, yr hon a roddodd Moses gwas yr Arglwydd i chwi, o'r tu yma i'r Iorddonen, tua chodiad yr haul.

16 ¶ Hwythau a atebasant Josua, gan ddywedyd, Ni a wnawn yr hyn oll a orchymynaist i ni; awn *hefyd* i ba le bynag yr anfonych ni.

17 Fel y gwrandawsom ar Moses *yn* mhob peth, felly y gwrandawn arnat tithau: yn unig bydded yr Arglwydd dy Dduw gyda thi, megys y bu gyda Moses.

18 Pwy bynag a anufyddhao dy orchymyn, ac ni wrandawo ar dy ymadroddion, yn yr hyn oll a orchymynech iddo, rhodder ef i farwolaeth: yn unig ymgryfha, ac ymwrola.

## PENNOD II.

A JOSUA mab Nun a anfonodd o Sittim ddau ŵr, i chwilio yn ddirgel, gan ddywedyd, Ewch, ed-

at fwydydd yn unig. (5) Y mae rhai ysgrifenwyr Iuddewig, trwy fod gan yr Israeliaid fanna, yn deall y gorchymyn hwn yn *allegol*, fel galwad arnynt i edifarhau, ymheddychu â Duw, a dylyn buchedd newydd, fel ag i fod yn barod i dderbyn y gymwynas fawr hon: gwel Exod. xix. 10, 11. (6) Yr oedd y manna hefyd, fel y dywed Sutcliffe, yn gofyn *parotoad* pan ei cedwid. *Canys o fewn tridiau y byddwch chwi yn myned dros yr Iorddonen hon*—ymddengys na chafodd y geiriau hyn, er eu bod wedi eu gosod yma, eu llefaru gan Josua hyd nes i'r yspiwyr ddychwelyd, trwy fod y fath drawsgyflead yn dygwydd yn fynych yn yr hanes ysgrythyrol; oddieithr y gallwn eu deall fel awgrymiad mai ar y trydydd dydd ar ol eu myned o Sittim yr aent dros yr Iorddonen: gwel pen. iii. 1, 2.

Adn. 12, 13. *Wrth y Reubeniaid, &c.*] Y mae Josua yn dwyn ar gof i'r ddau lwyth a hanner yr ymrwymiadau a wnaethent hwy gyda Moses, pan y rhoddodd efe eu rhandir iddynt o du y dwyrain i'r Iorddonen, Num. xxxii. 20.

Adn. 14. *Eich gwragedd, eich plant*] A chyda'r rhai hyn gadawyd ar ol 70,580 o wŷr grymus i'w gwarchad hwy a'u heiddo, trwy nad aeth ond 40,000 dros yr Iorddonen i gynorthwyo y naw llwyth a hanner i orchfygu y wlad: gwel pen. iv. 13, a Num. xxxii. 17. *Ond chwychwi a ewch drosodd yn arfogion*—'mewn trefn filwraidd.'—POOLE. 'Yr oeddynt hwy yn awr wedi eu cynysgaethu âg *arfau*, y rhai a gawsent naill ai oddiwrth yr Aifftiaid, yr Amaleciaid, neu yr Amoriaid, trwy eu cymeryd neu eu prynu.'—BENSON. '*Chamushshim*, BOB YN BUMP; yn amrywiol resau, *pump* ochr-yn-ochr, ond odid y drefn arferol o ymdaith. Eithr ymddengys ei fod yn arwyddo, bod wedi trwsiadu, taclu, darparu, arfogi, ac yn barod i ryfel: gwel ar Exod. xiii. 18.'—CLARKE.

Adn. 15. *Tua chodiad yr haul*] Yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen.

Adn. 16. *Hwythau a atebasant*] Nid y ddau lwyth a hanner yn unig, ond llywodraethwyr yr holl lwythau ereill hefyd yn eu henw hwy. *Ni a wnawn yr hyn oll a orchymynaist*—yma y maent yn cydnabod dwyfol anfoniad Josua, fel yr oeddynt eiddo Moses, ac o ganlyniad yn addaw dylyn ei gyfarwyddiadau ef yn mhob peth.

Adn. 17. *Yn unig bydded yr Arglwydd dy Dduw gyda thi*] 'Os bydd i Dduw fod gyda thi, megys y bu gyda Moses, nyni a lwyr ufyddhawn i ti.' Modd bynag, dichon nad yw y geiriau yn meddwl dim mwy na gweddi ddifrifol am lwyddiant Josua: Bydded Duw gyda thithau, megys ag y bu gyda Moses.

Adn. 18. *Rhodder ef i farwolaeth*] Hon oedd gyfraith *filwraidd:* y neb a anufyddhâai i orchymyn ei gadfridog a roddid i farwolaeth. Yr oedd y bobl yn cytuno i hyn, ac yr oedd hyny yn anhebgorol angenrheidiol mewn trefn i iawn ddysgyblaeth gael ei chadw yn y fyddin fawr hon. Dyoddefasai eu tadau lawer yn yr anialwch trwy anufydd-dod: gwrthodasant awdurdod Moses, gwrthryfelasant a gwnaethant iddynt eu hunain ben i'w harwain yn ol i'r Aifft, Num. xiv. 4; a bu agos i Josua ei hun gael ei labyddio i farwolaeth am geisio eu cefnogi yn erbyn eu hofnau. Gan hyny yr oedd yn angenrheidiol iddynt roddi iddo ef y sicrwydd mwyaf pendant nad ymddygent hwy fel y gwnaethai eu tadau.

PEN. II. Adn. 1. *A Josua mab Nun a anfonodd o Sittim ddau ŵr*] Neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, *a anfonasai*, ond odid yn ebrwydd ar ol marwolaeth Moses. *I chwilio yn ddirgel*—mewn cyfeiriad nid at ei elynion, gan mai felly yr ymddyga pob yspïwr, ond at yr Israeliaid; yr hon oedd yn drefn ddoeth i ragflaenu yr annghyfleusdra a allasai gyfodi pe buasai eu hadroddiad yn anffafriol. Felly yr oedd y rhai hyn yn wŷr o ymddiriediad. *Edrychwch y wlad a Jericho*—gan eu bod i groesi yr Iorddonen ar gyfer Jericho, yr oedd yn

rychwch y wlad, a Jericho. A hwy a aethant, ac a ddaethant i dŷ puteinwraig a'i henw Rahab, ac a letyasant yno.

---

angenrheidiol iddynt gael meddiant o'r ddinas hon, fel mewn achos o ryw wrthdroad na byddai ganddynt ddim gelynion tu ol iddynt. Gan hyny efe a anfonodd y gwŷr hyn i edrych ansawdd y ddinas, yr egorfeydd iddi, ei hamgaerau, &c., fel y gallai drefnu yn well fodd ei ymosodiad. *Ac a ddaethant i dŷ puteinwraig a'i henw Rahab*—'hon oedd butan wirioneddol.'—Poole. 'Putan ddychweledig.'—Scott. 'Y mae y gair yn cael ei gyfieithu yn *lletŷwraig* yn gystal ag yn *butan:* yr oedd yn cael ei bara trwy gadw math ar westty.'—Sutcliffe. 'Ond yn y dyddiau hyny yr oedd y rhai hyn yn wragedd penrydd iawn, ac am hyny yn cael yr enw hwn.'—Patrick. 'Er fod y gair Hebreig *zonah*, a gyfieithir yma puteinwraig, yn arwyddo weithiau *dafarnwraig*, neu un yn *gwerthu lluniaeth;* eto, gan mai y cyntaf yn ddiau yw ystyr cyffredin y gair, a'r synwyr yn yr hwn y rhaid ei gymeryd yn fynych, (gwel Gen. xxxiv. 31, Barn. xi. 1, Hos. i. 2,) a chan fod Rahab yn cael ei galw yn *butan* gan ddau apostol, (Heb. xi. 31, Iago ii. 25,) y rhai a arferant air heb fod o'r fath ystyr mwys, ymddengys yn amlwg iddi fod unwaith yn butan, er yn ddiamau ei bod yn awr wedi diwygio.'—Benson. 'Ymddengys fod *putanod* a *thafarnwragedd* yn cael eu galw wrth yr un enw, gan yn ddiamau nad oedd llawer a ddylynent y dull hwn o fyw, o herwydd eu sefyllfa agored, y rhai cywiraf yn eu moesau. *Merched* yn gyffredin a gadwent westtai yn mhlith yr henafiaid, ac yr oedd hyn yn beth arferol yn mhlith yr Aifftiaid a'r Groegiaid. Y mae yn dra thebygol mai merched a gadwent westtai cyhoeddus yn mhlith y Philistiaid; ac mai gyda'r fath un, ac nid gyda *phutan*, y lletyai Samson, Barn xvi. 1, &c.; o herwydd gan fod hyn yn ffynu yn mhlith yr Aifftiaid, o'r hyn y mae genym y prawf llawnaf, gallwn ddysgwyl yn naturiol ei fod yn ffynu hefyd yn mhlith y Canaaneaid a'r Philistiaid, fel y dysgwn oddiwrth Apuleius iddo wneuthur wedi hyny yn mhlith y Groegiaid. Hefyd, y mae yn fwy na thebyg fod hyn yn arferiad yn mhlith yr Israeliaid eu hunain, hyd yn nod yn amser gloywaf eu hanesiaeth; canys y mae yn llawer mwy rhesymol meddwl mai *tafarnwragedd* oedd y ddwy wraig a ddaethant at Solomon am farn mewn perthynas i'r plentyn marw, (1 Bren. iii. 16,) na'u bod yn *butanod*. Y mae yn dra hysbys nad yw putanod cyffredin, o herwydd eu dull anfad o fyw, braidd byth yn cael plant; ac yr oedd y cyfreithiau mor gaethion yn erbyn y cyfryw yn Israel, (Deut. xxiii. 18,) fel pe buasai y rhai hyn o'r dosbarth hwnw nad yw mewn un modd yn debyg y meiddiasent ymddangos o flaen Solomon. Wrth ystyried yr holl amgylchiadau hyn, yr wyf fi yn hollol gredu y dylai y gair *zonah* yn y testyn, yr hwn a gyfieithwn ni *puteinwraig*, gael ei gyfieithu *tafarnwraig* neu *westtŷwraig*, neu *letŷwraig*. Diamau fod yr yspiwyr a anfonwyd allan ar yr achlysur hwn y rhai mwyaf ymddiriedol a feddai Josua yn ei lu: yr oeddynt yn myned ar y neges pwysicaf, yr hwn a gynwysai y canlyniadau mwyaf. Yr oedd eu perygl o golli eu bywydau yn yr anturiaeth hon yn ddirfawr. A ydyw gan hyny yn debygol y byddai i rai nad allent ddianc rhag cael eu dal a'u lladd heb gyfryngiad gwyrthiol Duw, fyned, er gwaethaf y gyfraith hòno, yr hon y rhaid ei bod yn awr mor dra hysbys iddynt, i fan lle y gallent ddysgwyl nid *bendith* ond *melldith* Duw? Ai nid yw gan hyny yn debycach ddarfod iddynt fyned i *westty* i letya, yn hytrach nag i *buteindy?* Ond yr hyn sydd, yn fy marn i, yn gorphen y dystiolaeth ar y pen hwn ydyw, ddarfod i'r Rahab hon, yr hon a alwn ni yn *buteinwraig*, ymbriodi mewn gwirionedd â Salmon, tywysog Iuddewig, Mat. i. 5; ac a ydyw yn debygol y buasai i un o *dywysogion Juda* gymeryd y fath un yn wraig ag yr arddengys ein testyn fod Rahab? Addefir fod y LXX, y rhai a ddylynir yn Heb. xi. 31, a Iago ii. 25, yn cyfieithu *zonah* yr Hebraeg yn *pornê*, yr hwn yn gyffredin a arwydda *putan;* ond nid yw yn hollol eglur ddarfod i'r LXX arferyd y gair yn yr ystyr hwn. Gŵyr pob ysgolhaig fod y gair Groeg *pornê* yn deilliaw oddiwrth *pernaô*, 'gwerthu,' fel y deillia hwn oddiwrth *peraô*, 'pasio oddiwrth y naill at y llall.' Ond ai nid all hyn gael ei ddywedyd am *nwyddau* y wraig, yn gystal ag am ei *pherson?* Yn yr ystyr hwn y deallai y Deongliad Caldeaidd y gair, ac am hyny cyfieithodd ef *ittetha pundekitha*, 'dynes, tafarnwraig.' Y mae amrai wŷr enwog o'r farn mai dyma y gwir ystyr; ac y mae y rhesymau blaenorol yn ei osod o leiaf yn dra thebygol. At hyn oll gellir chwanegu, gan i'n Harglwydd bendigedig ddyfod trwy linach y wraig hon, nas gall fod yn fater o ychydig bwys i ni wybod pa gymeriad moesol a ddaliai hi. Fel *tafarnwraig* gallai fod yn barchus os nid yn anrhydeddus; fel *putan gyhoeddus* nis gallai fod y naill na'r llall; ac nid yw yn bur debyg y goddefasai rhagluniaeth Duw i un o'r fath gymeriad hynod ddrwg fyned i'w linach santaidd ef. Y mae yn wir y gellir meddwl fod achosion Tamar a Bathseba yn ddigon i ddystrywio y rheswm hwn; ond pwy bynag a ystyrio y ddau achos hyn yn fanwl, efe a wel eu bod yn hollol wahaniaethu oddiwrth eiddo Rahab, os caniatawn fod y gair *puteinwraig* yn gyfreithlon. Gyda golwg ar yr wrthddadl nad yw ei gŵr yn cael ei grybwyll mewn un man yn yr hanes a roddir yma, ymddengys i mi nad yw o nemawr bwys. Gallasai fod yn *ferch ieuanc* neu yn *wraig weddw;* ac yn y naill achos neu y llall ni allasai fod crybwylliad am *ŵr;* neu hyd yn nod pe buasai ganddi ŵr, nid yw yn debyg y crybwyllesid am dano *ef* ar yr achlysur hwn, gan yr ymddengys fod y gyfrinach yn cael ei chadw yn grefyddol rhyngddi *hi* a'r *yspiwyr*. Os oedd hi yn wraig *briod*, gallai fod ei gŵr yn cael ei gynwys yn yr ymadroddion cyffredinol, *a chwbl a'r a feddai hi*, a'i *holl dylwyth*, pen. vi. 23. Ond y mae yn debycach mai *merch ieuanc* neu *wraig weddw* oedd hi, yr hon a ennillai ei bara yn onest trwy gadw *llety i ddyeithriaid*.'—Clarke. Profodd Junius yn lled eglur nad esgorodd Rahab

2 A mynegwyd i frenin Jericho,
gan ddywedyd, Wele, gwŷr a ddaeth-
ant yma heno o feibion Israel, i
chwilio y wlad.
3 A brenin Jericho a anfonodd at
Rahab, gan ddywedyd, Dwg allan y
gwŷr a ddaeth atat, y rhai a ddaeth
i'th dŷ di: canys i chwilio yr holl
wlad y daethant.
4 Ond y wraig a gymerasai y ddau
ŵr, ac a'u cuddiasai hwynt, ac a ddy-
wedodd fel hyn; Gwŷr a ddaeth ataf
fi, ond ni wyddwn i o ba le *y daethent*
hwy.
5 A phan gauwyd y porth yn y ty-
wyllwch, y gwŷr a aeth allan; ni wn
i ba le yr aeth y gwŷr: canlynwch yn
fuan ar eu hol hwynt; canys chwi a'u
goddiweddwch hwynt.
6 Ond hi a barasai iddynt esgyn i
nen y tŷ, ac a'u cuddiasai hwynt
mewn bollteidiau llin, y rhai oedd
ganddi wedi eu hysgafnu ar nen y
tŷ.

---

ar Boos neu Boaz ddeng mlynedd ar hugain wedi hyn; ac os felly, nid oedd Rahab y pryd hyn ond prin *ugain mlwydd oed.*

Adn. 2. *Wele, gwŷr a ddaethant yma heno o feibion Israel*] Yr oedd gwyliedydd y brenin wedi eu gweled hwynt yn dyfod i mewn, ac efe a ddyfalai eu cenedl a'u neges oddiwrth eu hymddangosiad.

Adn. 3. *A brenin Jericho a anfonodd at Rahab, &c.*] Ymddengys fod hyn yn brawf o'r dyb flaenorol: pe buasai hi yn *butain*, neu yn un â *gair drwg* iddi, gallasai ef ar unwaith anfon swyddogion i ddal y rhai a letŷent gyda hi fel crwydriaid; ond os oedd hi yn cadw gwestty, yr oedd y personau dan ei chronglwyd yn *gysegredig* yn ol arferiad cyffredinol trigolion Asia, ac nis gellid eu haflonyddu ar unrhyw sail ysgafn. Y mae *gwestai* neu *gyfaill* yn gysegredig yn mha dŷ bynag y derbynier ef, yn mhob parth o'r dwyrain hyd heddyw.

Adn. 4. *Ond y wraig a gymerasai y ddau ŵr*] Cyn i'r cenadau ddyfod oddiwrth y brenin; *ac a'u cuddiasai*—ar nen y tŷ, yn y modd a grybwyllir adn. 6. *Ac a ddywedodd fel hyn, Gwŷr a ddaeth ataf fi, ond ni wyddwn i o ba le y daethent hwy*—fel pe dywedasai, 'Y mae fy nhŷ i yn agored i bawb: daeth dau ŵr i letŷa yma; ond nid oeddwn i yn rhwym o gael gwybod pwy oeddynt, nac o ba le y daethant, ac nid fy ngorchwyl i oedd ymofyn.'—COKE. 'Yr oedd ei dybenion yn bur, ond nid oedd ei geiriau yn wirionedd.'—SUTCLIFFE. 'Y mae yn dra thebyg y gallai hi feddwl, trwy ei bod yn baganes, nad oedd anwiredd cymwynasgar yn beth annghyfreithlon.'—BENSON. Gwel yr adfeddyliadau. 'Wrth farnu am anwiredd Rahab ar yr achlysur hwn, dylem gofio iddi gael awgrymiadau digonol o'r hyn a fwriadai Duw i'w bobl Israel; a hi a amlygai ei ffydd ynddo ef wrth ddywedyd, 'Yr Arglwydd eich Duw, efe sydd Dduw yn y nefoedd uchod, ac ar y ddaear isod,' adn. 11. Yr oedd hi yn ddwfn deimladwy fod Penarglwydd nef a daear wedi rhoddi y wlad i Israel, a hi a weithredai dan lawn ddarbwylliad o hyny, pa ffydd o'i heiddo a ganmolir yn Heb. xi. Am hyny, heb amau fod gan Dduw y bydysawd hawl anfeistroladwy i godi i fyny neu dynu i lawr, ac i ranu pob teyrnas a gwlad yn ol ei ewyllys ei hun, hi a farnodd yn rhesymol ufyddhau i Dduw yn hytrach nag i ddyn; ac am hyny hi a ymdrechodd â'i holl egni i roddi y wlad i'r *gwir berchenogion*, i'r rhai a wnaethai Duw yn gyfiawn feddianwyr. Hi a fuasai yn fradwrus i Dduw ac iddynt hwythau pe na wnaethai hyny, pan y gwyddai, fel y dywed yn bendant, roddi o'r Arglwydd iddynt y wlad, adn. 9.'—WATERLAND. 'Ar y dyb fod Rahab yn gweithredu ar yr achlysur hwn mewn cydymffurfiad â'r awgrymiad a dderbyniasai o fwriad Duw tuag at drigolion Canaan, bydd ei holl ymddygiad nid yn unig yn rhydd oddiwrth bob bai, ond yn dra chanmoladwy, ac yn haeddu lle yn gyfiawn yn mysg y siamplau ardderchog a gynygia yr apostol i'n hefelychiad, fel un wedi ei chyfiawnhau nid yn unig trwy ei ffydd, ond hefyd trwy ei gweithredoedd, Iago ii. 25.'—STACKHOUSE. 'Os oedd bwriad Duw tuag at drigolion Canaan wedi cael ei hysbysu i frenin a phobl Jericho, ac iddo ef a hwythau wrthod cymeryd eu harwain gan y rhybydd, tra yr oedd Rahab yn credu ac yn ufyddhau i'r peth a ofynid ganddi hi, yna bydd i'w holl ymddygiad sefyll yn glir oddiwrth bob bai, a bydd ei ffydd yn gyfryw ag y gallai yr apostol ei chanmol yn gyfiawn.'—SHUCKFORD. 'Y mae geiriau St. Paul yn pleidio y dyb hon. Yn lle dywedyd, yn ol ein cyfieithiad ni, 'trwy ffydd ni ddyfethwyd Rahab y butan gyda'r rhai ni CHREDENT,' *tois apistois*, efe a ddywed, yn gyson â'r cyfieithiad ar ymyl y ddalen, 'gyd a'r rhai ANUFYDD,' *tois hapeithēsasi*, h.y. anufydd i'r gorchymyn a roddasai Duw iddynt i ymostwng i'r Israeliaid.'—COKE.

Adn. 5. *A phan gauwyd y porth*] Saes. 'oddeutu pryd cau y porth;' canys nid oedd y porth eto wedi ei gau, adn. 7. *Yn y tywyllwch*—felly ymddengys mai yn y nos yr anfonodd brenin Jericho at Rahab, gan orchymyn iddi ddwyn allan y gwŷr a letŷent gyda hi. Yr oedd yr *adeg* ei hun yn ffafriol i'r holl gydfwriad: canys pe cymerasai y pethau hyn le liw dydd, braidd y buasai yn bosibl i'r yspiwyr allu dianc. Ond nid yw hyn yn ddim esgus dros hocediaeth y wraig; canys gallasai Duw achub ei genadau yn annibynol ar ei hanwiredd hi: gwel yr adfeddyliadau. Nid yw Duw byth yn dywedyd wrth neb, Gwna ddrwg, fel y delo daioni o hono.

Adn. 6. *Ac a'u cuddiasai hwynt mewn bollteidiau llin*] Saes. *stalks of flax*, neu lin yn ei gyflwr garw, anweithiedig; a chan fod hyn oddeutu y tymor (diwedd Mawrth neu ddechre Ebrill) pryd y mae y *llin* yn addfed yn y wlad hòno, o ganlyniad gallai llin Rahab fod newydd gael ei dynu, ac yn awr yn sychu ar *nen ei thŷ*. Gwelsom eisioes fod yr holl dai yn y dwyrain wedi eu gwneyd yn *lleddf* ar eu penau, am yr hyn y rhoddir deddf, Deut.

7 A'r gwŷr a ganlynasant ar eu hol
hwynt, tua'r Iorddonen, hyd y rhyd-
au: a'r porth a gauwyd, cyn gynted
ag yr aeth y rhai oedd yn erlid ar eu
hol hwynt allan.
8 ¶ A chyn iddynt hwy gysgu, hi a
aeth i fyny atynt hwy ar nen *y tŷ:*
9 A hi a ddywedodd wrth y gwŷr,
Mi a wn roddi o'r Arglwydd i chwi y
wlad; o herwydd eich arswyd chwi a
syrthiodd arnom ni, a holl drigolion y
wlad a ddigalonasant rhag eich ofn.
10 Canys ni a glywsom fel y sych-
odd yr Arglwydd ddyfroedd y môr
coch o'ch blaen chwi, pan ddaethoch
allan o'r Aifft; a'r hyn a wnaethoch
i ddau frenin yr Amoriaid, y rhai *oedd*
tu hwnt i'r Iorddonen, *sef* i Sehon ac
i Og, y rhai a ddifrodasoch chwi.
11 A phan glywsom, yna y'n digal-
onwyd, fel na safodd mwyach gysur
yn neb, rhag eich ofn: canys yr Ar-
glwydd eich Duw, efe *sydd* Dduw yn
y nefoedd uchod, ac ar y ddaear isod.
12 Yn awr gan hyny, tyngwch, at-
olwg, wrthyf, myn yr Arglwydd, o
herwydd i mi wneuthur trugaredd â
chwi, y gwnewch chwithau hefyd dru-
garedd â thŷ fy nhad inau; ac y rhodd-
wch i mi arwydd gwir:
13 Ac y cedwch yn fyw fy nhad,
a'm mam, a'm brodyr, a'm chwiorydd,
a'r hyn oll *sydd* ganddynt, ac y gwar-
edwch ein heinioes rhag angau.
14 A'r gwŷr a ddywedasant wrthi,
Ein heinioes *a roddwn* i farw drosoch
(os chwi ni fynegwch ein neges hyn)
pan roddo yr Arglwydd i ni y wlad
hon, oni wnawn â chwi drugaredd a
gwirionedd.
15 Yna hi a'u gollyngodd hwynt i
waered wrth raff trwy y ffenestr: ca-

xxii. 8; ac ar y nenau gwastad hyn y mae y dwyreinwyr hyd heddyw yn rhodio, yn cydymddyddan, ac yn aml yn cysgu ac yn treulio y nos.

Adn. 7. *A'r gwŷr a ganlynasant ar eu hol —hyd y rhydau*] Lle yr arferai y bobl groesi yr Iorddonen; *a'r porth a gauwyd*—sef porth y ddinas, i attal i'r yspiwyr ddianc, os oeddynt eto yn llechu o'i mewn.

Adn. 8. *A chyn iddynt hwy gysgu*] Saes. 'cyn iddynt *orwedd.*'

Adn. 9. *Mi a wn roddi o'r Arglwydd i chwi y wlad*] 'Y mae yn debyg mai oddiwrth *ddychymyg* yn unig y cafodd hi hyn, ar ol clywed am eu llwyddiant yn erbyn yr Amoriaid, a'u niferoedd aruthrol, ac wrth weled y cyflwr o arswyd a braw i'r hwn y darostyngwyd trigolion ei gwlad ei hun.'—CLARKE. Ond gwel ar adn. 11.

Adn. 10. *Canys ni a glywsom fel y sychodd yr Arglwydd ddyfroedd y môr coch*] Felly yr oedd eu gwaredigaeth wyrthiol hwy o'r Aifft, a'u mynediad trwy y môr coch, yr hyn a gymerasai le yn mhell oddiyno ddeugain mlynedd yn ol, yn cael ei adgoffa y dyddiau hyny yn Jericho, er syndod i bawb.

Adn. 11. *A phan glywsom, yna y'n digalonwyd*] Neu, fel yr arwydda y wreiddiol, 'ein calonau a *doddasant,*' fel y todda cŵyr yn y tân. Yr oedd hyn yn gyflawniad o addewid a wnaethai Duw i'w bobl, Deut. xi. 25, ac yn ernes o gyflawniad ei holl addewidion ereill ef. *Yr Arglwydd eich Duw, efe sydd Dduw yn y nefoedd uchod, ac ar y ddaear isod*—y mae y cyffesiad hwn o'r gwir Dduw yn hynod o lawn, ac yn dangos llawer o oleuni a gwybodaeth. Fel pe dywedasai, 'Mi a wn fod eich Duw chwi yn hollalluog a hollbresenol:' ac yn ganlynol i'r ffydd hon hi a guddiodd yr yspiwyr, ac a beryglodd ei bywyd ei hun wrth wneuthur hyny. Ond pa fodd y cafodd hi y wybodaeth eglur hon am y Natur Ddwyfol? (1) Dichon fod y wybodaeth am y gwir Dduw yn beth cyffredin ar y ddaear y pryd hyn, er yn gymysg â llawer o ofergoelion ac eilunaddoliaeth, trwy fod y bobl yn credu fod duw i bob talaeth a phobl, i'r mynyddoedd ac i'r dyffrynoedd: gwel 1 Bren. xx. 23. (2) Neu hi a dderbyniodd y wybodaeth hon gan yr yspiwyr, â'r rhai yr ymddengys iddi fod yn ymddyddan llawer. Neu, (3) Hi a'i cafodd trwy ddylanwad goruwchnaturiol Duw ar ei henaid ei hun. Ymddengys iddi wneyd gwell defnydd o'r goleuni a dderbyniasai na'r lleill o'i chydwladwyr, a Duw a gynyddodd y goleuni hwnw.

Adn. 12. *Tyngwch atolwg wrthyf, myn yr Arglwydd*] Y mae hyn yn brawf pellach fod y fenyw hon wedi derbyn cryn hyfforddiant yn y ffydd Iuddewig. Yr oedd yn cydnabod y gwir Dduw wrth ei gymeriad hanfodol JEHOFA; a gwyddai mai llw yn ei enw ef oedd y rwymedigaeth ddyfnaf a difrifolaf ag y gallai Iuddew fyned dani, Deut. vi. 13. *Y gwnewch chwithau hefyd drugaredd â thŷ fy nhad inau*—ei pherthynasau agos, y rhai y mae hi yn ei henwi yn fanwl, adn. 13. *Ac y rhoddwch i mi arwydd gwir*—sef sicrwydd y bydd i chwi fy nghadw i a'r eiddof rhag y dinystr cyffredinol, neu arwydd ag y gallaf ei ddangos fel prawf o'r cytundeb hwn, ac fel moddion fy niogelwch. Dyma y cwbl ag y mae hi yn ei ofyn. Ond gwnaeth Duw fwy iddi nag yr oedd hi yn ei ddymuno neu yn ei feddwl. Dyrchafwyd hi wedi hyn i fod yn dywysoges yn Israel, yn wraig i Salmon, ac yn un o henafiaid Crist.

Adn. 13. *Ac y gwaredwch ein heinioes rhag angau*] Hi a ddysgasai gan yr yspiwyr, neu rywfodd, fod holl drigolion y wlad wedi eu dyfarnu i ddinystr, ac am hyny y mae yn eu cymhell hwy i *ymgyfammodi* i'w chadw hi a'i thylwyth.

Adn. 14. *Ein heinioes a roddwn i farw drosoch*] 'Bydded i'n heinioes ni gael eu dyfetha, os goddefwn i'r eiddoch chwi gael ei niweidio.' Dyma yr hyn a elwid gynt yn ein gwlad ni yn *wystlo*—peryglu einioes gŵr dros einioes ei gyfaill.

Adn. 15. *Yna hi a'u gollyngodd hwynt i waered wrth raff trwy y ffenestr*] Neu a ym-

nys ei thŷ hi *oedd* ar fur y ddinas, ac
ar y mur yr oedd hi yn trigo.
16 A hi a ddywedodd wrthynt,
Ewch i'r mynydd, rhag i'r erlidwyr
gyfarfod â chwi: ac ymguddiwch yno
dridiau, nes dychwelyd yr erlidwyr;
ac wedi hyny ewch i'ch ffordd.
17 A'r gwŷr a ddywedasant wrthi,
Dieuog *fyddwn* ni oddiwrth dy lw
yma â'r hwn y'n tyngaist.
18 Wele, *pan* ddelom ni i'r wlad,
rhwym y llinyn yma o edaf goch yn
y ffenestr y gollyngaist ni i lawr trwy-
ddi: casgl hefyd dy dad a'th fam, a'th
frodyr, a holl dylwyth dy dad, atat i'r
tŷ yma.
19 A phwy bynag a êl o ddrysau dy
dŷ di allan i'r heol, ei waed ef *fydd* ar
ei ben ei hun, a ninau *a fyddwn* dieu-
og: a phwy bynag fyddo gyda thi yn
tŷ, *bydded* ei waed ef ar ein penau ni,
o bydd llaw arno ef.
20 Ac os mynegi di ein neges hyn,
yna y byddwn dieuog oddiwrth dy lw
â'r hwn y'n tyngaist.
21 A hi a ddywedodd, Yn ol eich
geiriau, felly *y byddo* hyny. Yna hi
a'u gollyngodd hwynt; a hwy a aeth-
ant ymaith. A hi a rwymodd y llinyn
coch yn y ffenestr.
22 A hwy a aethant, ac a ddaeth-
ant i'r mynydd; ac a arosasant yno
dridiau, nes i'r erlidwyr ddychwelyd.
A'r erlidwyr a'u ceisiasant ar hyd yr
holl ffordd; ond nis cawsant.
23 ¶ Felly y ddau ŵr a ddychwel-

---

*gyfammododd* i wneuthur hyny, fel yr adroddir adn. 21; canys y mae yn sicr na ollyngodd hi hwynt i waered nes i'r holl amgylchiadau a nodir adn. 16—20 gymeryd lle. *Ar y mur yr oedd hi yn trigo*—yr oedd mur y ddinas yn gwneyd rhan o'i thŷ, neu yr oedd ei thŷ wedi ei adeiladu yn gyfymlyn â'r mur, fel ag yr oedd ei nen neu ei ganllawiau uwchben y mur, gyda'i ffenestr yn gwynebu i'r wlad. Gan fod pyrth y ddinas yn awr wedi eu cau, nid oedd un ffordd i'r yspiwyr ddianc ond trwy y ffenestr hon; ac mewn trefn i hyny hi a'u gollyngodd hwynt i waered trwy y ffenestr mewn basged yn crogi wrth raff, nes iddynt gyraedd y ddaear tufaes i'r mur.

Adn. 16. *Ewch i'r mynydd*] Tybia Dr. Shaw mai y *Quarantania* oedd hwn, yr hwn sydd yn gysylltedig â'r mynydd *Adummim*, a thrwy yr hwn y torwyd y ffordd ag sydd yn arwain o Jerusalem i Jericho. *Ac ymguddiwch yno dridiau*—mewn un o'r ogofeydd; neu yr oeddynt i ymdaith liw nos, ac i ymguddio liw dydd, rhag i'w herlynwyr eu dal.

Adn. 17. *Dieuog fyddwn ni*] Gan awgrymu nad arnynt hwy y byddai y bai os na chedwid y llw hwn yn ddyladwy.

Adn. 18. *Wele, pan ddelom ni i'r wlad*] Sef dros yr Iorddonen, ac i ymyl Jericho; *rhwym y llinyn yma o edaf goch*—'llinyn wedi ei nydd-droi âg amrywiol edafedd cochion.'—Kimchi. 'Ymddengys mai *cenglau* o edafedd ag yr arferai hi eu nyddu a'u gwau oedd yr edaf goch.'—Sutcliffe. 'Y mae y gair Hebreig *tikvath* yn fwy priodol yn meddwl *rhaff*, *ysnoden*, neu *wê*. Ond odid yr un ag yr oedd hi yn nghylch eu gollwng hwy i waered wrthi.'—Benson. '*Tikvath chut hashshani* a all feddwl, ond odid, *y darn hwn o frethyn coch*, neu *y brethyn hwn* (a wnaed) *o edaf goch*. Pan gymerodd yr Israeliaid y ddinas, ymddengys fod y darn hwn o *frethyn coch* wedi ei grogi allan trwy y ffenestr fel math ar *fflag;* a dyma yr arwydd ar ba un yr oedd hi a'r yspiwyr wedi cytuno.'—Clarke. Tybia rhai fod yr edaf neu y brethyn *coch* hwn yn arwydd o *bechodau Rahab*, y rhai oeddynt fel ysgarlad a phorffor, Esay i. 18; ac hefyd o *waed Crist*, trwy yr hwn yr achubwyd hi. Ond nid yw yn gwbl eglur fod y gair Hebreig *shani* yn dynodi *lliw* y llinyn hwn: dywedir ei fod yn deilliaw oddiwrth *shana*, 'dyblu;' fel ag y gall fod yn arwyddo yn y lle hwn raff *ddeublyg* gref, wedi ei phlethu yn dda. Dyma dyb Gataker.

Adn. 19. *A phwy bynag a êl o ddrysau dy dŷ di allan i'r heol*] A chael ei ladd yno; *ei waed ef fydd ar ei ben ei hun*—trwy fod ei farwolaeth wedi ei hachosi trwy ei esgeulusiad ef o foddion diogelwch. *A phwy bynag a fyddo gyda thi yn tŷ*—ac a ladder yno; *bydded ei waed ef ar ein penau ni*—yr ydym yn foddlon i ddwyn pechod, euogrwydd, a chosp ei farwolaeth. 'Os bydd i neb o dylwyth Rahab ffoi oddiwrth y fflag goch,' meddai yr Esgob Hall, 'a chrwydro oddeutu y ddinas, heb ymfoddloni ar y gronglwyd a fu yn ymguddfa i'r yspiwyr, ofer iddo ddywedyd wrth y dialwyr ei fod yn frawd i Rahab. Y berthynas hòno a'i hachub ef yn y *tŷ*, nid ar yr *heolydd*. Felly os bydd i ninau grwydro tuhwnt i'r llinell derfyn, nyni a'n gosodwn ein hunain allan o'r amddiffyniad dwyfol. Nis gallwn hòni hawl yn mendithion y brynedigaeth pan yn ffoi i goegffyrdd ein calonau ein hunain. Yr *eglwys* yw y tŷ hwnw i Rahab a achubir pan fydd holl *Jericho* yn cael ei rhoddi i'r cleddyf.'

Adn. 20. *Ac os mynegi di ein neges hyn*] Yr oedd yn gallineb wneyd i'w bywyd ymddibynu ar ei *cheledigaeth;* pe amgen gallasai gael ei themtio i roddi hysbysiad nid yn unig am yr yspiwyr, ond am fwriadau yr Israeliaid. Ond trwy fod ei bywyd mewn perygl, yn chwanegol at bob cymhelliad arall, hi a gadwodd y gyfrinach er mwyn ei diogelwch personol ei hun ac eiddo ei pherthynasau.

Adn. 21. *A hi a rwymodd y llinyn coch yn y ffenestr*] Meddylir yn gyffredin i Rahab ei rwymo yno yn ddiatreg; ond gan y gallasai hyny beri iddi gael ei drwgdybio gan bobl y ddinas, ymddengys yn fwy rhesymol na roddodd hi yr arwydd hwn yn y ffenestr nes i fyddin Israel nesâu at y ddinas; a hyny yn unig a geisiai yr yspiwyr ganddi, adn. 18.

Adn. 22. *A hwy a aethant, ac a ddaethant i'r mynydd*] Lle y buont yn ymborthi dridiau

asant, ac a ddisgynasant o'r mynydd, ac a aethant drosodd, a daethant at Josua fab Nun; a mynegasant iddo yr hyn oll a ddygwyddasai iddynt.

24 A dywedasant wrth Josua, Yn ddiau yr Arglwydd a roddodd yr holl wlad yn ein dwylaw ni; canys holl drigolion y wlad a ddigalonasant rhag ein hofn ni.

## PENNOD III.

A JOSUA a gyfododd yn fore, a chychwynasant o Sittim, a daethant hyd yr Iorddonen, efe a holl feibion Israel: lletyasant yno, cyn iddynt fyned drosodd.

2 Ac yn mhen y tridiau, y llywiawdwyr a dramwyasant trwy ganol y llu;

3 Ac a orchymynasant i'r bobl, gan ddywedyd, Pan weloch chwi arch cyfammod yr Arglwydd eich Duw, a'r offeiriaid y Lefiaid yn ei dwyn hi; yna cychwynwch chwi o'ch lle, ac ewch ar ei hol hi.

4 Eto bydded enyd rhyngoch chwi

---

ar y lluniaeth a roddasai Rahab ond odid iddynt: gwel ar adn. 16.

Adn. 23. *Ac a aethant drosodd*] Sef dros yr Iorddonen.

Adn. 24. *Yn ddiau yr Arglwydd a roddodd yr holl wlad yn ein dwylaw ni*] Mor wahanol yw yr adroddiad hwn i'r un a ddygwyd gan yr yspiwyr y tro o'r blaen! Num. xiii. 31—33. *Holl drigolion y wlad a ddigalonasant rhag ein hofn ni*—yr oedd y bobl wedi clywed am orchestion mawrion yr Israeliaid y tu arall i'r Iorddonen; a chan eu bod hwy wedi dystrywio brenhinoedd cedyrn yr Amoriaid, cymerent yn ganiataol nad allai dim sefyll o'u blaen.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Gellir gofyn, ebai Clarke, Ai ni ddywedodd Rahab *gelwydd* yn yr hanes a roddodd hi i swyddogion brenin Jericho, adn. 4, 5? Yr wyf yn ateb, Do, yn sicr; ac y mae yr ysgrifenydd ysbrydoledig yn adrodd y ffaith yn unig fel y safai, heb wneuthur Ysbryd Duw yn atebol am ragrith y wraig. Ond ai ni chafodd hi ei gwobrwyo? Do, am ei *lletygarwch* a'i *ffydd*, nid am ei *chelwydd*. Ond a allasai hi achub yr yspiwyr heb ddywedyd celwydd? Gallasai, yn ddiau: eithr pa ddychymyg a allai benyw o'i sefyllfa hi, er nad yn ddim gwaeth na *thafarnwraig*, fod yn ei feddu am y gwahaniaeth manwl rhwng gwirionedd a chelwydd, wrth fyw yn mysg pobl dra anfad a llygredig, lle nas gallai gwirionedd braidd fod yn hysbys? (2) Y mae moesoldeb rhydd yn y byd ag sydd yn argymbell *celwydd* yn hytrach na *gwirionedd*, pan y gellir gwasanaethu dybenion crefydd a dynoliaeth trwyddo. Ond nis gallwn gymeradwyo hwn, am fod crefydd Crist yn un gyfundrefn dragwyddol o wirionedd, yr hon nas dichon iddi gael ei gwasanaethu gan gelwydd, na'i oddef ef. *Tasso*, yn ei adgân brydferth i *Sophronia* ac *Olindo*, (gwel y *Gerusalemme Liberata*, llyfr ii. llin. 22,) a esyd allan y flaenaf yn dywedyd celwydd wrth *Saladdin* mewn perthynas i ladrata delw, am yr hyn, gan na allai gael allan y troseddwr, y dedfrydodd efe yr holl Gristionogion yn ei gyraedd i farw. *Sophronia*, morwyn Gristionogol dduwiol, gan fyned i wyddfod y gormeswr, a'i cyhudda ei hun o'r lladrad, er yn berffaith ddieuog, i'r dyben i achub ei phobl. Ei hymddygiad ar yr achos hwn a adroddir gan y bardd yn y modd a ganlyn, am yr hyn ei clodforid yn ddiamau gan grefydd yr amser hwnw, pryd yr arferid ystrywiau santaidd:

'O dy flaen,' ebai hi, 'yr euog a safa;
Y lladrad, O frenin, wnaed â'r dwylaw yma:
Lladrones dy ddelw ynof fi sy'n weledig;
I mi mae'n ddyledus y gosp osodedig!'
Yn llawn sel fel hyn, y fenyw ragorol
A wnaethpwyd yn aberth i brynu ei phobol!
O dwyll hynod fawr! O dêg ddwyfol gelu!
Pa *wir* â'r fath *gelwydd* a ellir gydmharu?

Ond dysgwyd moesoldeb purach na hyn gan Homer, un o'r ysgrifenwyr paganaidd hynaf:

'Megys pyrth uffern fy enaid ffieiddia
Y neb ŵyr y *gwir*, a *chelwydd* ddyweda.'
Iliad. llyfr ix. llin. 312.

Am sylwadau pellach ar y pen hwn, gwel ar Gen. xx. 12. (3) Er fod llaw Duw yn amlwg yn mhob peth a berthynai i'r Israeliaid, a'u bod yn cael eu dysgu i ystyried mai trwy ei *allu ef* yn unig yr oeddynt i gael eu rhoddi mewn meddiant o wlad yr addewid; eto yr oeddynt wedi eu hargyhoeddi mor drwyadl, os na fyddai iddynt hwythau ddefnyddio y cynghor, y callineb, a'r gallu a dderbyniasent oddiwrtho ef, na lwyddent. Am hyny, tra yn ymddibynu ar y gallu a'r cyfarwyddyd dwyfol, arferent eu synwyr eu hunain, a defnyddient eu nerth eu hunain; ac fel hyn yr oeddynt yn gydweithwyr â Duw, heb dderbyn ei ras ef yn ofer. Fel hyn, nis gallwn ninau ddysgwyl dim llwyddiant mewn pethau ysbrydol na thymhorol, oddieithr i ni rodio wrth yr un reol, a synied yr un peth.

PEN. III. Adn. 1. *A Josua a gyfododd yn fore*] Sef ar y nawfed dydd o fis Nisan, fel y gwelir wrth gydmharu adn. 5 â pen. iv. 19. Tybia yr Archesgob Usher fod hyn ar *ddydd Mercher*, Ebrill 28, O.B. 2553, y ddeugeinfed flwyddyn ar ol yr ymadawiad o'r Aifft. Yr oedd o Sittim at yr Iorddonen, yn ol Josephus, oddeutu wyth milldir.

Adn. 2. *Ac yn mhen y tridiau*] Y rhai a grybwyllwyd eisioes, pen. i. 11; sef yn eu diwedd hwynt, neu ar yr olaf o honynt; *y llywiawdwyr a dramwyasant trwy ganol y llu*—i roddi iddynt hyfforddiadau manylach, megys ag y rhoddasent iddynt rybydd cyffredinol o'r blaen.

Adn. 3. *Pan weloch chwi arch cyfammod yr Arglwydd*] Yr arwydd o'i bresenoldeb ef, ac o'i fod mewn cyfammod â chwi, ac wedi ymrwymo i'ch amddiffyn a'ch arwain. Y *cwmwl* oedd eu harwydd gynt wrth ymdaith, ond yn awr yr *arch*, am ddarfod symud y cwmwl ar farwolaeth Moses, yn ol tystiolaeth yr Iuddewon. *A'r offeiriaid y Lefiaid yn ei*

a hithau, yn nghylch dwy fil o gufyddau wrth fesur: na nesêwch ati, fel y gwypoch y ffordd y rhodioch ynddi: canys ni thramwyasoch y ffordd *hon* o'r blaen.
5 A Josua a ddywedodd wrth y bobl, Ymsanteiddiwch: canys y fory y gwna yr Arglwydd ryfeddodau yn eich mysg chwi.
6 Josua hefyd a lefarodd wrth yr offeiriaid, gan ddywedyd, Codwch arch y cyfammod, ac ewch drosodd o flaen y bobl. A hwy a godasant arch y cyfammod, ac a aethant o flaen y bobl.
7 ¶ A dywedodd yr Arglwydd wrth Josua, Y dydd hwn y dechreuaf dy fawrhau di yn ngwydd holl Israel; fel y gwypont, mai megys y bûm gyd a Moses, y byddaf gyda thithau.
8 Am hyny gorchymyn di i'r offeiriaid sydd yn dwyn arch y cyfammod, gan ddywedyd, Pan ddelych hyd gŵr dyfroedd yr Iorddonen, sefwch yn yr Iorddonen.
9 ¶ A Josua a ddywedodd wrth feib-

---

*dwyn hi*—penodwyd y swydd o ddwyn yr arch i'r Lefiaid o deulu Cohath, Num. iv. 15, a vii. 9; ond gallai yr offeiriaid, gan eu bod yn Lefiaid, gyflawni y swydd hon, a phenodid hwy i wneuthur hyny ar achlysuron annghyffredin: gwel ar adn. 6. *Ac ewch ar ei hol hi*—yn eu holl deithiau blaenorol, pan yr oedd y *cwmwl* yn arweinydd iddynt, dygid yr arch yn *nghanol* y gwersyll dirfawr hwn; ond yn awr, pan mai yr *arch* yw eu harweinydd, y mae hi i fyned o'u *blaen* hwy, ac yn y fath bellder fel y gallai yr holl wersyll ei chanfod megys eu harweinydd.

Adn. 4. *Eto bydded enyd rhyngoch chwi a hithau*] Fel hyn nid oedd yr arch mewn angen am gael ei gwarchad gan y rhyfelwyr, ond yr oedd hi yn eu gwarchad hwy. *Dwy fil o gufyddau*—neu oddeutu tri chwarter milldir. Yr oeddynt i ymgadw yn y pellder hwn, (1) Er mwy o *barch* iddi, fel yr arwydd o'r Presenoldeb Dwyfol. (2) Fel y gallai yr arch fod yn fwy *amlwg* iddynt, yr hyn ni allasai fod pe ymdyrasai y bobl o'i hamgylch.

Adn. 5. *A Josua a ddywedodd wrth y bobl*] Ar y nawfed dydd. *Ymsanteiddiwch*—ymddengys fod y gorchymyn hwn o'r un ystyr a'r hwn a roddwyd gan Moses, Exod. xix. 10—14. Yr oeddynt i olchi eu cyrff a'u dillad, ac ymattal oddiwrth bob peth a allai anhwyluso eu meddyliau rhag sylwi gyda budd ar y wyrth ag ydoedd i gael ei gwneuthur ar eu rhan. Yr ydym ninau yr un modd yn nesâu at yr Iorddonen, a dylem ymlanhau oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd. *Canys y fory y gwna yr Arglwydd ryfeddodau*—sef hollti yr Iorddonen i Israel fyned trwyodd. Gwelwn mor hysbys oedd y bwriadau dwyfol i Josua, pan y gallai ddywedyd yn mlaenllaw *pa beth* a wnai Duw, a *pha bryd!*

Adn. 6. *Josua hefyd a lefarodd wrth yr offeiriaid*] Sef ar y degfed dydd, pen. iv. 19. *Codwch arch y cyfammod*—y mae yn nodedig mai yr *offeiriaid*, ac nid y *Lefiaid*, gwaith cyffredin y rhai ydoedd, a roddwyd i gario yr arch ar yr achlysur hwn. Tybia Calmet mai am ei bod, ond odid, yn cael ei chario heb fod yn *orchuddiedig yn ei lleni*, fel yr oedd bob amser wrth i'r Lefiaid ei chario, yr ydoedd hyn. Er mai gwaith y Lefiaid, meibion Cohath, oedd dwyn yr arch; eto, ar rai achlysuron, yr offeiriaid yn unig a wnaent hyny. (1) Yn yr achos presenol. (2) Wrth amgylchynu Jericho, pen. vi. 6. (3) Pan ei dygwyd i'r rhyfel yn erbyn y Philistiaid, 2 Sam. xv. 24, 25. (4) Pan yr anfonodd Dafydd hi yn ol i Jerusalem, pryd yr oedd efe yn gorfod ffoi oddiyno trwy wrthryfel ei fab Absalom, 2 Sam. xv. 29. Ac, (5) Wrth ei chymeryd o'r babell i'w dodi yn y deml, 1 Bren. viii. 6—11. Yr oedd y rhai hyn yn achlysuron tra phwysig, ac ar y cyfryw yn unig y cyflawnai yr offeiriaid y swydd hon yn lle y Lefiaid.

Adn. 7. *Y dydd hwn y dechreuaf dy fawrhau di*] Wrth i'r Arglwydd wneyd Josua yn offeryn y tramwyad gwyrthiol hwn, efe a'i hanrhydeddodd ef, ac a roddodd iddo fri uchel yn ngwydd y bobl; a thrwy hyny sefydlwyd ei awdurdod ef, a chyflawn sicrhawyd ufydddod iddo fel eu harweinydd. Yr hyn a raid fod yn cadarnhau yr awdurdod hwn oedd, ei ragfynegiad manwl o'r modd y byddai i'r dyfroedd gael eu tori ymaith cyn gynted ag y cyffyrddai traed yr offeiriaid â hwynt, adn. 13. Yr oedd hyn yn profi fod dirgelwch yr Arglwydd gydag ef. Sylwa rhai, fel amgylchiad hynod, fod Duw yn wastadol, o amser Moses hyd amser Saul, yn arwyddo i'r bobl, trwy ryw wyrth, pwy a osodwyd ganddo i'w llywodraethu hwynt.

Adn. 8. *Sefwch yn yr Iorddonen*] Yr offeiriaid a gychwynasant yn gyntaf gyda'r arch, ac a aethant i wely yr afon, rhediad yr hon a attaliwyd yn ddiatreg, trwy i'r dyfroedd groni *uwchlaw* y fan lle y safai yr offeiriaid, tra yr oedd y ffrwd yn rhedeg ymaith tua'r môr marw, fel ag y sychodd yr holl afon *islaw* y fan lle y safai yr offeiriaid. Yr holl wersyll gan hyny a groesent islaw y fan lle y safai yr offeiriaid, gan ymgadw yn y pellder o ddwy fil o gufyddau oddiwrth yr arch, adn. 4. Gallent yn hawdd wneyd hyn, trwy fod holl wely yr afon yn sych am lawer o filldiroedd islaw y fan lle yr aethai yr offeiriaid i mewn.

Adn. 9. *Nesewch yma*] 'At yr arch neu y tabernacl, lle yr ymgynulliadau cyhoeddus.'—Benson. Ond gallwn feddwl fod y *tabernacl* wedi ei dynu i lawr y pryd hyn, yn ol eu harferiad wrth ymdaith, Num. iv. 5, &c.; a chan fod dwy fil o gufyddau i fod rhyngddynt a'r *arch*, gallwn feddwl mai galw yr oedd Josua ar feibion Israel i nesâu ato *ef*, fel y caent fantais i wrando geiriau yr Arglwydd. *Gwrandewch eiriau yr Arglwydd eich Duw*—yr hwn sydd yn awr yn nghylch rhoddi prawf adnewyddol ei fod yn *Arglwydd*—Llywodraethwr hollalluog nef a daear, a phob creadur o'u mewn; a'ch *Duw chwithau*—mewn cyf-

ion Israel, Nesewch yma, a gwrandewch eiriau yr Arglwydd eich Duw.
10 Josua hefyd a ddywedodd, Wrth hyn y cewch wybod *fod* y Duw byw yn eich mysg chwi; a chan yru y gyr efe allan y Canaaneaid, a'r Hethiaid, a'r Hefiaid, a'r Phereziaid, a'r Girgasiaid, yr Amoriaid *hefyd*, a'r Jebusiaid, o'ch blaen chwi.
11 Wele, arch cyfammod Arglwydd yr holl ddaear yn myned o'ch blaen chwi i'r Iorddonen.
12 Gan hyny cymerwch yn awr ddeuddengwr o lwythau Israel, un gŵr o bob llwyth.
13 A phan orphwyso gwadnau traed yr offeiriaid, sydd yn dwyn arch Arglwydd IOR yr holl fyd, yn nyfroedd yr Iorddonen, *yna* dyfroedd yr Iorddonen a dorir ymaith *oddiwrth* y dyfroedd sydd yn disgyn oddiuchod: hwy a safant yn bentwr.
14 ¶ A phan gychwynodd y bobl o'u pebyll, i fyned dros yr Iorddonen, a'r offeiriaid oedd yn dwyn arch y cyfammod o flaen y bobl;
15 A phan ddaeth y rhai oedd yn dwyn yr arch hyd yr Iorddonen, a gwlychu o draed yr offeiriaid, oedd yn dwyn yr arch, yn nghŵr y dyfr-

ammod â chwi, ac yn meddu gofal tyner am danoch a serchogrwydd atoch.

Adn. 10. *Wrth hyn y cewch wybod fod y Duw byw yn eich mysg*] Yr oedd yr Israeliaid yn barod i ddigaloni a llwfrhau wrth hyd yn nod yr ymddanghosiad o berygl; gan hyny yr oedd yn angenrheidiol iddynt gael y sicrwydd llawnaf o bresenoldeb a help Duw yn yr anturiaeth bwysig ag yr oeddynt yn awr yn myned iddi. Y maent i ymladd âg eilunaddolwyr, y rhai na feddant ddim i ymddiried ynddo ac i'w helpu ond duwiau o *bren*, *maen*, a *mettel:* tra y maent hwy i gael y DUW BYW yn eu mysg, yr hwn yw Awdwr *bywyd* a *bod;* yr hwn a all ei roddi neu ei gymeryd ymaith wrth ei ewyllys; a'r hwn, trwy y wyrth yma, a brofai ei fod wedi cymeryd arno eu tywys a'u hamddiffyn. *A chan yru y gyr efe allan y Canaaneaid*—gyda golwg ar sefyllfa pob un o'r cenhedloedd hyn yn ngwlad Canaan, sylwa Calmet fod y rhai a elwid *Canaaneaid* yn preswylio yn benaf y wlad a elwir Phenice, amgylchoedd Tyrus a Sidon. *Hethiaid*—y rhai a feddiannent y mynyddoedd o du y deau i wlad yr addewid. *Hefiaid*—y rhai a drigent gerllaw Ebal a Garizim, Sichem a Gibeon, tua mynyddoedd Hermon. *Phereziaid*—meddylir nad oedd y rhai hyn yn genedl na llwyth gwahaniaethol, ond yn hytrach yn bentrefwyr gwasgaredig trwy y wlad yn gyffredinol. *Girgasiaid*—meddianwyr y wlad tuhwnt i'r Iorddonen tua llyn Gennesaret. *Amoriaid*—meddianwyr y wlad fynyddig yn nghymydogaeth rhanbarth orllewinol y môr marw, ac hefyd y rhan hòno o wlad Moab a ennillwyd gan yr Israeliaid oddiar Sehon ac Og. *Jebusiaid*—meddianwyr Jerusalem.

Adn. 11. *Wele, arch cyfammod*] Gwel ar adn. 3; *Arglwydd yr holl ddaear*—yr hwn gan hyny a all wneyd a fyno â'r Iorddonen hon a'r gwledydd cysylltedig.

Adn. 12. *Cymerwch yn awr ddeuddengwr*] I'r gwaith a ddysgrifir pen. iv. 2, 3.

Adn. 13. *Arch Arglwydd Ior yr holl fyd*] Saes. 'arch yr Arglwydd, Arglwydd yr holl ddaear.' IOR a arwydda 'yr hyn sydd eithaf, yr hyn sydd ddiddechre, neu barhaus: y Tragwyddol; yr Arglwydd; yr Hen Ddihenydd.'—DR W. O. PUGHE.

Adn. 14. *I fyned dros yr Iorddonen*] 'Yr oedd yr afon gerllaw y fan lle y croesodd yr Israeliaid yn ffrwd wyllt; ei dyfnder o bum troedfedd i chwech, a'i lled oddeutu ugain llath. Ond trwy orlifo dros ei glanau, gweithiodd geulan allanol yn y pellder o 220 o latheni oddiwrth wely yr afon. Y gorlifiad hwn a achosir trwy doddiad yr eira ar y mynyddoedd gogleddol. Y mae yr Euphrates yn gorlifo ar yr un pryd, ac oddiwrth yr un achos.'—SUTCLIFFE. Ond dywed Dr. Shaw, yr ymdeithydd enwog, ddarfod iddo ef ei mesur ei hun, a chael ei bod wrth y lan yn *naw* troedfedd o ddyfnder.

Adn. 15. *A gwlychu o draed yr offeiriaid —yn nghŵr y dyfroedd*] Tua'r geulan allanol. *A'r Iorddonen a lanwai dros ei glanau oll, holl ddyddiau y cynauaf*—nid y cynauaf gwenith, eithr y cynauaf haidd, fel y mae yn eglur oddiwrth eu gwaith yn cynal y pasc ar ol myned trwyodd, pen. v. 10, yr hwn a gedwid ar y pedwarydd dydd ar ddeg o'r mis cyntaf, pryd yr oeddynt i ddwyn ysgub y blaenffrwyth, yr hon oedd o haidd. Yr oedd y cynauaf gwenith yn arferol o fod chwech neu saith wythnos yn ddiweddarach, tua gŵyl y pentecost, Exod. ix. 32, Lef. xxiii. 10. Dywedwyd yn fynych nad oedd eisiau gwyrth wrth groesi yr Iorddonen, trwy nad yw ond ffrwd fechan hawdd ei rhydio, ddim ond o gylch ugain llath o led. Eithr y mae yr amgylchiad a nodir yma gan yr hanesydd santaidd yn profi fod amser yn y flwyddyn, sef yn y *cynauaf*, pryd y llanwai yr afon hon *dros ei glanau;* a chadarnheir hyn gan le arall yn yr ysgrythyr, 1 Cron. xii. 15. Gan i'r wyrth a adroddir yma gymeryd lle oddeutu ein mis Ebrill ni, pryd y mae yr afonydd yn gyffredin yn llai nag yn y gauaf, gellir gofyn, pa fodd yr oedd y fath chwanegiad dyfroedd y pryd hyn? Y gwirionedd syml yw, fod yr Iorddonen yn codi wrth droed mynydd Libanus, pa fynydd sydd bob amser yn orchuddiedig âg *eira* yn ystod misoedd y gauaf; gan hyny y mae yr afon yn isel yn y misoedd hyny: ond ar ol i haul yr haf doddi yr eira hwn, y mae o ganlyniad chwanegiad mawr o ddyfroedd, nes y mae yr hen wely yn analluog i'w cynwys. Dyry hyn gyfrif am yr adroddiad yn y testyn, fod yr Iorddonen yn 'llenwi dros ei glanau holl ddyddiau y cynauaf;' a dyma yr amser y dewisai Duw iddynt fyned drosodd, fel y byddai cyfryngiad gwyrthiol yn angenrheidiol, ac fel yr argyhoeddid hwythau trwy y wyrth o'i hollalluogrwydd ef, yr hwn nid yn

oedd (a'r Iorddonen a lanwai dros ei glanau oll holl ddyddiau y cynauaf)
16 Yna y dyfroedd, y rhai oedd yn disgyn oddiuchod, a safasant; cyfodasant yn bentwr yn mhell iawn oddi wrth y ddinas Adam, yr hon *sydd* o ystlys Saretan: a'*r dyfroedd* y rhai oedd yn disgyn i fôr y rhos, *sef* i'r môr heli, a ddarfuant, *ac* a dorwyd ymaith. Felly y bobl a aethant drosodd ar gyfer Jericho.
17 A'r offeiriaid, y rhai oedd yn dwyn arch cyfammod yr Arglwydd, a safasant ar dir sych, yn nghanol yr Iorddonen, yn daclus: a holl Israel oedd yn myned drosodd ar dir sych, nes darfod i'r holl genedl fyned trwy yr Iorddonen.

## PENNOD IV.

A PHAN ddarfu i'r holl genedl fyned trwy yr Iorddonen, yr Arglwydd a lefarodd wrth Josua, gan ddywedyd,
2 Cymerwch i chwi ddeuddengwr o'r bobl, un gŵr o bob llwyth;

---

unig oedd yn arweinydd iddynt, ond a addawsai eu rhoddi hwynt mewn meddiant o'r wlad dda hon.

Adn. 16. *Yna y dyfroedd, y rhai oedd yn disgyn oddiuchod, a safasant*] Fel hyn ni a welwn i bob peth ddygwydd yn gywir fel y rhagddywedasai Josua, adn. 13; a rhaid ddarfod i hyn gynyddu ei fri ef yn fawr yn mysg y bobl. *Cyfodasant yn bentwr*—neu 'fel mynydd,' *instar montis*, fel y mae y Vulgate yn ei fynegu; gan 'droi yn ol,' (Salm cxiv. 3,) neu lenwi tuag i fyny ar hyd gwely yr afon am filldiroedd, heb ymdaenu dros y wlad. Pan yr oeddynt yn myned trwy y môr coch, yr oedd y 'dyfroedd yn *fur* iddynt o'r tu deau ac o'r tu aswy,' Exod. xiv. 22; yma yr oedd ef felly ar y tu deau yn unig, a'r dyfroedd y tu aswy iddynt yn rhedeg i lawr tua'r môr heli, i wneyd ffordd sech i waredigion yr Arglwydd! *Yn mhell iawn oddiwrth y ddinas Adam*—yr hon oedd gynt yn dra hysbys, er ei bod yn awr yn hollol anadnabyddus. Yr ystyr yw, ddarfod i'r dyfroedd gael eu hattal yn llawer uwch i fyny nag Adam, ac felly fod cryn encyd rhwng y pentwr dyfroedd a'r Israeliaid pan yn croesi drosodd. *A'r dyfroedd y rhai oedd yn disgyn i fôr y rhos*—sef y môr marw, lle yr oedd Sodom yn sefyll, Gen. xix. 25; *a ddarfuant*—nes yr oedd gwaelod yr afon am oddeutu 17 o filldiroedd, y pellder o Jericho at y môr marw, yn sych. *Felly y bobl a aethant drosodd ar gyfer Jericho*—yr oedd yn anmhosibl i'r holl wersyll groesi yn y lle ar gyfer Jericho, gan eu bod, fel y sylwa Clarke, yn cymeryd i fyny rai *milldiroedd* o led, heblaw y ddwy fil o gufyddau y rhai a adewid ar y ddeau rhyngddynt a'r arch; ond yr oedd yr afon wedi ei gwahanu ar gyfer Jericho, ac yno y dechreuodd y gwersyll groesi.

Adn. 17. *A safasant ar dir sych yn nghanol yr Iorddonen*] Gorchymynwyd i'r offeiriaid sefyll yn *nghŵr* y dyfroedd am enyd, nes eu gwahanu, adn. 8; ac wedi hyny yr oeddynt i fyned yn mhellach, ïe i *ganol* yr afon, *Yn daclus*—yn yr un lle a'r un agwedd, heb suddo i'r llaid: safasant yn gyson a diysgog, fel yr arwydda y wreiddiol, heb newid eu hystum nes i'r holl wersyll fyned drosodd. Y fath olygfa ogoneddus oedd gweled cenedl gyfan, oddeutu tair miliwn o eneidiau, yn nghyd a'u holl anifeiliaid a'u heiddo, yn rhodio yn droedsych ar unwaith dros rych yr afon, ac yn llawenychu wrth roddi eu traed cysegredig ar yr etifeddiaeth a gyfammodwyd i'w tadau! Yr oedd addfediad yr haidd, yn nghyda holl swynion anian, yn eu croesawu; tra yr oedd eu gelynion yn eu canfod, ac yn llewygu gan ofn. Ac yn awr, O fy enaid, edrych dithau ar ryfeddodau yr Arglwydd, a bwrw ymaith dy ofnau. Iesu, dy Archoffeiriad mawr di, wrth wlychu ei draed yn nyfroedd oerion Calfaria, a wnaeth i'r bedd ofni: efe a dreiglodd ymaith y maen, ac a wisgodd fywyd ac anllygredigaeth fel dilledyn. Y mae ef yn dal dyfroedd cystudd a marwolaeth yn ei law i wneyd ffordd i'w bobl, fel ar ol croesi yr Iorddonen na bo iddynt farw mwyach. Wrth feddwl am Iesu yn muddugoliaethau ei angau a gogoniant ei adgyfodiad, y mae dychrynfeydd marwolaeth yn diflanu; tra y mae yr holl nef, gydag ymddanghosiad o wên, yn dywedyd, Tyred enaid ofnus, croesa y glyn, nid oes dyfroedd yma!

Adfeddyliadau.—Trwy holl gyfnod yr hanesiaeth Iuddewig ni chafodd y gwyrthiau hyn, a adroddir mor fanwl, eu gwadu erioed gan neb; eithr yn y gwrthwyneb, cawsant eu credu yn gydwybodol gan bawb. Ac ni ddarfu i neb o'r Iuddewon yn eu gwrthgiliadau oddi wrth Dduw, y rhai oeddynt fryntion ac aml, erioed amau y ffeithiau mawrion hyn, hyd yn nod pan mor lawn o elyniaeth yn erbyn Duw fel ag i gablu ei enw, a rhoddi ei ogoniant i eilunod mudion! Onid yw hyn yn brawf amlwg fod y ffeithiau yma yn anwadadwy? ac i Jehofa wneyd ei ryfedd weithredoedd fel ag i fod mewn tragwyddol goffadwriaeth? Ddarllenydd, yr un Arglwydd ar bawb, sydd oludog o drugaredd i bawb a'r sydd yn galw arno. Ni newidia ac ni flina efe. Ymddiried yn yr Arglwydd byth, o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragwyddol; ac y mae efe bob amser yn gwaredu ei ganlynwyr o ddwylaw eu holl elynion; ac wedi iddo eu harwain â'i gynghor, efe a'u cymer i'w ogoniant.

PEN. IV. Adn. 1. *Yr Arglwydd a lefarodd wrth Josua*] Dychymyg duwiol y dysgedig Esgob Patrick yw, i Josua fyned i ryw encilfa yn ddiatreg, i ddiolch am y drugaredd ryfedd hon; ac i Dduw yno gyfarfod âg ef, a llefaru fel hyn wrtho: gwel ar Num. xxvii. 21.

Adn. 2. *Cymerwch i chwi ddeuddengwr*] Ymddengys fod y deuddengwr hyn wedi cael eu penodi o'r blaen, pen. iii. 12; ac yn awr defnyddir hwynt i'r perwyl i ba un y dethol-

3 A gorchymynwch iddynt, gan ddywedyd, Cymerwch i chwi oddiyma, o ganol yr Iorddonen, o'r fan y mae traed yr offeiriaid yn sefyll yn daclus, ddeuddeg o gerig; a dygwch hwynt drosodd gyda chwi, a gosodwch hwynt yn y llety y lletyoch ynddo heno.

4 Yna Josua a alwodd am y deuddengwr a barotoisai efe o feibion Israel, un gŵr o bob llwyth.

5 A dywedodd Josua wrthynt, Ewch trosodd o flaen arch yr Arglwydd eich Duw, trwy ganol yr Iorddonen; a chodwch i chwi bob un ei gareg ar ei ysgwydd, yn ol rhifedi llwythau meibion Israel:

6 Fel y byddo hyn yn arwydd yn eich mysg chwi, pan ofyno eich meibion chwi yn ol hyn, gan ddywedyd, Beth *y mae* y cerig hyn *yn ei arwyddocâu* i chwi?

7 Yna y dywedwch wrthynt, Dori ymaith ddyfroedd yr Iorddonen o flaen arch cyfammod yr Arglwydd; pan oedd hi yn myned trwy yr Iorddonen, dyfroedd yr Iorddonen a dorwyd ymaith. Y mae y cerig hyn yn goffadwriaeth i feibion Israel byth.

8 A meibion Israel a wnaethant felly fel y gorchymynasai Josua; ac a gymerasant ddeuddeg careg o ganol yr Iorddonen, fel y llefarasai yr Arglwydd wrth Josua, yn ol rhifedi llwythau meibion Israel, ac a'u dygasant drosodd gyda hwynt i'r llety, ac a'u cyfleasant yno.

9 A Josua a osododd i fyny ddeuddeg careg yn nghanol yr Iorddonen, yn y lle yr *oedd* traed yr offeiriaid,

---

wyd hwynt. *Un o bob llwyth*—fel y byddai i bob llwyth gael ei anrhydeddu yn gyfartal, ac er lledaeniad mwy effeithiol i'r adroddiad o'r weithred hon yn mhlith y llwythau.

Adn. 3. *Cymerwch i chwi oddiyma—ddeuddeg o gerig*] Gwel ar adn. 9; *a gosodwch hwynt yn y llety y lletyoch ynddo heno*—sef yn y lle a alwyd wedi hyny *Gilgal*, adn. 19.

Adn. 4. *Y deuddengwr a barotoisai efe*] Neu a benodasai, pen. iii. 12.

Adn. 5. *Ewch drosodd o flaen arch yr Arglwydd*] Heibio iddi, ac yn agos ati, ac felly yn mhell oddiwrth y lleill. Neu, 'ewch yn ol yn gyfeiriol at yr arch.' Tybia Coke, Benson, ac ereill, ddarfod i'r deuddengwr hyn ddychwelyd i wely yr Iorddonen; ac wedi eu hesgusodi oddiwrth y gwaharddiad i nesâu at yr arch, iddynt fyned yn agos i'r fan lle y safai yr offeiriaid, ac yno ymlwytho bob un â chareg gymaint ag a allai ei chario.

Adn. 6. *Fel y byddo hyn yn arwydd*] Yn goffadwriaeth o'r tramwyad gwyrthiol hwn trwy yr Iorddonen, ac o ganlyniad yn brawf o'u rhwymedigaeth barhaus hwythau i Dduw.

Adn. 7. *Y mae y cerig hyn yn goffadwriaeth i feibion Israel byth*] Dywed Jerome, yr hwn a flodeuai o.c. 360, fod y cerig hyn yn weledig yno yn ei amser ef. Y mae yn debyg iddynt gael eu gosod ar ryw lanerch lle nad oedd cerig o'r maintioli hwnw i'w canfod; a thrwy fod eu rhif yn cyfateb i nifer llwythau Israel, a bod arwyddion arnynt ddarfod eu codi o waelod afon, yr oedd yn fwy naturiol iddynt dynu sylw.

Adn. 8. *Ac a'u dygasant drosodd gyda hwy i'r llety*] Sef i Gilgal, yr hon oedd o leiaf dair milldir oddiwrth yr Iorddonen.

Adn. 9. *A Josua a osododd i fyny ddeuddeg careg yn nghanol yr Iorddonen*] 'Trwy newid llythyren yn y testyn Hebreig, gellir cyfieithu yr adnod hon, yn gyson â rhai hen gyfieithiadau, 'A Josua a osododd i fyny ddeuddeg careg *o* ganol yr Iorddonen, *o'r* lle yr oedd traed yr offeiriaid.' Ymddengys nad oedd gan Josephus un dychymyg am ddim mwy nag *un* gofgolofn wedi ei chodi ar yr achlysur hwn.'—Shuckford. Ereill a wahaniaethant: 'Nid yr un rhai yw y cerig hyn a'r rhai a grybwyllir adn. 5, y rhai y gallai dyn eu cario ar ei ysgwydd. Diamau fod y rhai hyn yn llawer iawn mwy, ac yn debygol yn ymddangos uwchlaw gwyneb y dwfr pan yn isel; neu ynte gellid eu gweled ynddo, naill ai o'r lan, trwy nad oedd yr afon yn llydan, neu wrth ei chroesi mewn badau, trwy fod dyfroedd yr Iorddonen yn bur loyw.'—Benson. 'Ymddengys oddiwith y bennod hon fod *dwy* golofn gerig wedi eu codi yn goffadwriaeth o'r dygwyddiad mawr hwn; deuddeg yn Gilgal, adn. 20, a deuddeg yn ngwely yr Iorddonen, adn. 9. Gallai y deuddeg careg yn ngwely yr Iorddonen fod wedi eu gosod yn y fath fodd uchel ar waelod o faenwaith cadarn, fel ag i fod bob amser yn weladwy, ac yn nodi yr unig fan lle y safai yr offeiriaid gyda'r arch. Y deuddeg careg a osodwyd i fyny yn *Gilgal* a safent yn goffadwriaeth o le y *gwersylliad cyntaf* ar ol y tramwyad gwyrthiol hwn. Er yr ymddengys i mi mai dyma feddwl y lle hwn, eto ni ddylai berniadaeth Dr. Kennicott yma gael ei phasio. 'Y mae yn dra hysbys,' meddai efe, 'pan yr oedd Josua yn arwain yr Israeliaid dros yr Iorddonen, ddarfod gorchymyn iddo gymeryd deuddeg careg allan o ganol yr Iorddonen, i fod yn goffadwriaeth ddarfod i'r tir yn *nghanol* yr afon hono gael ei sychu. Ond yn mha le yr oedd y goffadwriaeth hono i gael ei gosod i fyny? Y nawfed adnod a ddywed, 'A Josua a osododd i fyny ddeuddeg careg *yn nghanol* yr Iorddonen.' Ond a ydyw yn debyg y gosodid y cerig hyn *yn y fan* lle y *codwyd* hwy; ac y codid y goffadwriaeth mewn *man* lle y byddai iddi, pan unid yr afon drachefn, gael ei *chuddio*, ac o ganlyniad nad allai fod yn *goffadwriaeth?* Y mae hyn modd bynag yn gwrthwynebu yn bendant y gweddill o'r bennod, pa un a ddywed i'r meini hyn gael eu gosod yn *Gilgal*, lle y lletyodd Israel yn Nghanaan am y tro cyntaf. Dattodiad y dyryswch hwn yw, y dylai BETHOCH, *yn nghanol*, fod yma yn MITTOCH, *o ganol*, fel yn adn.

oedd yn dwyn arch y cyfammod, yn
sefyll: ac y maent yno hyd y dydd
hwn.
10 ¶ A'r offeiriaid, y rhai oedd yn
dwyn yr arch, a safasant yn nghanol
yr Iorddonen, nes gorphen pob peth
a orchymynasai yr Arglwydd i Josua
ei lefaru wrth y bobl yn ol yr hyn oll
a orchymynasai Moses wrth Josua:
a'r bobl a frysiasant, ac a aethant
drosodd.
11 A phan ddarfu i'r holl bobl fyned
drosodd, yna arch yr Arglwydd a aeth
drosodd, a'r offeiriaid, yn ngwydd y
bobl.
12 Meibion Reuben *hefyd,* a meib-
ion Gad, a hanner llwyth Manasse, a
aethant drosodd yn arfogion o flaen
meibion Israel, fel y llefarasai Moses
wrthynt:
13 Yn nghylch deugain mil, yn arf-
ogion i ryfel, a aethant drosodd o
flaen yr Arglwydd i ryfel, i rosydd
Jericho.
14 ¶ Y dwthwn hwnw yr Arglwydd
a fawrhaodd Josua yn ngolwg holl

---

3, 8, 20, ac fel y mae yma hefyd yn y cyfieithiad *Syriaidd.* Gan hyny yr iawn gyfieithiad ydyw, *A Josua a osododd i fyny y deuddeg careg* [a gymerwyd] *o ganol yr Iorddonen,* &c.' Yr wyf yn cyfaddef nad wyf fi yn gweled dim angen am y ferniadaeth hon, yr hon nid amddiffynir gan un ysgriflyfr yn ei gasgliad ef ei hun nac eiddo De Rossi, er yn cyraedd i 494 o rifedi. Gallai deuddeg careg gael eu casglu o wahanol barthau o wely yr Iorddonen, a'u gosod i fyny yn golofn mewn parth arall, a bod yn gofeb weladwy barhaus o'r dygwyddiad mawr hwn. Ac os gosodwyd deuddeg yn *Gilgal* yn goffadwriaeth o'u gwersylliad cyntaf hwy yn Nghanaan, y mae yn debycach fyth y gosodid deuddeg yn ngwely yr afon i ddangos lle y gwahanesid hi, a'r man yr aethai yr holl lu Israelaidd drosodd yn droedsych. Gall y darllenydd ddylyn y dyb a farno efe debycaf.'—CLARKE. Y mae rhai, gan dybied fod deuddeg careg wedi cael eu gosod yn yr *Iorddonen,* ac mai yn y fan lle y croesodd yr Israeliaid yr oedd Ioan yn bedyddio, yn meddwl mai at y cerig hyn y cyfeiria y Bedyddiwr, Mat. iii. 9: 'Dichon Duw, ïe o'r *meini hyn,* gyfodi plant i Abraham.' Ond dylem sylwi, os rhoddwyd cerig yn yr *afon,* ac os yn ol gorchymyn yr Arglwydd yr oedd y bobl yn gwneyd *pob peth,* adn. 10, fod yn rhyfedd nad oes yma orchymyn i wneyd hyny, fel y mae i osod rhai yn *Gilgal,* adn. 3. Hefyd, y mae yn eglur mai dyben y rhai a osodwyd yn Gilgal oedd, nid i fod yn goffadwriaeth o'u 'gwersylliad cyntaf yn Nghanaan,' am y gwnaethai cerig o'r gymydogaeth y tro i hyny, os oedd angen am y fath beth, heb drafferthu i'w cario ar eu hysgwyddau dros dair milldir o ffordd; ond i arwyddocâu DORI YMAITH DDYFROEDD YR IORDDONEN O FLAEN ARCH CYFAMMOD YR ARGLWYDD, adn. 7, 22. *Ac y maent yno hyd y dydd hwn*—hyd yr amser pryd yr ysgrifenwyd yr hanes yma, yr hyn a allai fod yn mhen blynyddau ar ol iddynt fyned i Ganaan. Neu gall y frawddeg hon fod wedi cael ei chwanegu gan Josua yn ei henaint, neu gan ryw ŵr santaidd ac ysbrydoledig arall yn mhen oesoedd wedi hyn: gwel y rhagymadrodd i'r llyfr hwn.

Adn. 10. *A'r bobl a frysiasant, ac a aethant drosodd*] Y mae rhai yn deall hyn am y deuddengwr a ddygent y cerig; ond ymddengys ei fod yn hytrach yn meddwl corff y bobl. Mor naturiol yw yr amgylchiad hwn! Y bobl, wrth weled y dyfroedd wedi eu gwahanu, a'r Iorddonen yn rhedeg yn ol, a allent ofni y byddai iddi hi yn ebrwydd adgymeryd ei hynt arferol; ac arweiniai hyn hwynt yn naturiol i *frysio* drosodd mor *fuan* ag y medrent. (1) Brysiai rhai, am nad oeddynt yn gallu ymddiried i Dduw: yr oeddynt yn ofni y dychwelai y dyfroedd am eu penau, trwy eu bod yn ymwybodus o euogrwydd, ac yn anhyderus yn y gallu a'r daioni dwyfol. (2) Ereill, am nad oeddynt yn ewyllysio temtio Duw i barhau y wyrth yn hwy nag yr oedd yn angenrheidiol; ac ni fynent brofi amynedd yr offeiriaid, y rhai oeddynt yn dwyn yr arch, i'r eithaf trwy oediad afreidiol. (3) Ereill, am eu bod yn orawyddus i gyraedd Canaan; a danghosent fel hyn y modd yr hiraethent am yr hyfryd wlad hòno. (4) Ac ereill, y rhai a ystyrient leiaf, a frysient am fod ereill yn brysio. Y mae yr amgylchiad ei hun, wrth ei nodi fel hyn, yn brawf fod yr adroddwr yn llygad-dyst o'r tramwyad gwyrthiol hwn.

Adn. 11. *Yn ngwydd y bobl*] Sef yn ngolwg holl Israel, y rhai a edrychent arnynt gyda syndod oddiar lan orllewinol yr Iorddonen.

Adn. 12. *Meibion Reuben, &c.*] Mewn perthynas i'r rhifedi o'r llwythau hyn a arosasant ar ol i ofalu am y gwragedd, y plant, a'r anifeiliaid, y rhai a gyrhaeddent i 70,580 o wŷr, gwel y sylw ar Num. xxxii. 17. *Yn arfogion*—gwel ar pen. i. 14.

Adn. 13. *A aethant drosodd o flaen yr Arglwydd i ryfel*] Sef o flaen yr arch, ei gynrychiolydd ef. Ar ol myned dros yr afon, safasant mewn trefn filwraidd o flaen yr arch, ond odid yn y pellder o ddwy fil o gufyddau oddiwrthi. Y ddau lwyth a hanner hyn a arweinient y blaen, fel yr addawsant pan roddwyd eu rhandir iddynt yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen, Num. xxxii. 27; ac adgofiasai Josua yn ddiweddar iddynt am eu haddewid, pen. i. 12, &c. Yr oedd yn addas iddynt hwy, y rhai a gawsant y cartref cyntaf, fod yn gyntaf yn ngwrthdriniad anhawsderau; ac yn fwy felly, am nad oedd ganddynt hwy y gorlwyth o deuluoedd gyda hwy, fel yr oedd gan y llwythau ereill; ac yr oeddynt oll yn wŷr detholedig, ac yn gymhwys i wasanaeth, trwy eu bod wedi eu harfogi yn barod.

Adn. 14. *Yr Arglwydd a fawrhaodd Josua*] Trwy gyfeillachu âg ef, a thrwy y mynediad gwyrthiol hwn dros yr Iorddonen, yn gystal a thrwy sefyll o'i blaid yn ei holl anturiaethau canlynol. *Holl ddyddiau ei ein-*

Israel; a hwy a'i hofnasant ef, fel yr ofnasant Moses, holl ddyddiau ei einioes.

15 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Josua, gan ddywedyd,

16 Gorchymyn i'r offeiriaid, sydd yn dwyn arch y dystiolaeth, ddyfod o honynt i fyny allan o'r Iorddonen.

17 Am hyny Josua a orchymynodd i'r offeiriaid, gan ddywedyd, Deuwch i fyny allan o'r Iorddonen.

18 A phan ddaeth yr offeiriaid, oedd yn dwyn arch cyfammod yr Arglwydd, i fyny o ganol yr Iorddonen, *a* sengi o wadnau traed yr offeiriaid ar y sychdir; yna dyfroedd yr Iorddonen a ddychwelasant i'w lle, ac a aethant, megys cynt, dros ei holl geulenydd.

19 ¶ A'r bobl a ddaethant i fyny o'r Iorddonen y degfed *dydd* o'r mis cyntaf; ac a wersyllasant yn Gilgal, yn eithaf tu dwyrain Jericho.

20 ¶ A'r deuddeg careg hyny, y rhai a ddygasent o'r Iorddonen, a sefydlodd Josua yn Gilgal.

21 Ac efe a lefarodd wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Pan ofyno eich meibion chwi yn ol hyn i'w tadau, gan ddywedyd, Beth *yw* y cerig hyn?

22 Yna yr hysbyswch i'ch meibion, gan ddywedyd, Israel a ddaeth trwy'r Iorddonen hon ar dir sych.

---

*ioes*—'arwydda hyn nad ysgrifenwyd yr hanes yma hyd ychydig cyn marwolaeth Josua.'—Wells.

Adn. 15. *A'r Arglwydd a lefarodd wrth Josua, &c.*] Gallai un feddwl y dywedasai eu rheswm eu hunain wrth yr offeiriaid, nad oedd dim achos iddynt aros yn yr afon ar ol i'r holl bobl fyned trwyodd; er hyny ni symudasant gam nes i Josua orchymyn iddynt; ac ni orchymynodd yntau nes i'r Arglwydd beri iddo. Gwelwn mor ufydd oeddynt hwy i Josua, ac yntau i Dduw!

Adn. 16. *Arch y dystiolaeth*] Gelwid yr arch hyd hyn yn *arch y cyfammod*, am ei bod yn arwydd o'r cyfammod rhwng Duw a'i bobl; ond yma yn *arch y dystiolaeth*, am fod y ddwy lech a osodwyd ynddi yn dystiolaeth yn erbyn pob troseddiad.

Adn. 17. *Deuwch i fyny*] Gwel ar adn. 15.

Adn. 18. *Yna dyfroedd yr Iorddonen a ddychwelasant i'w lle*] Cyn gynted ag y cyffyrddodd traed yr offeiriaid â'r dwfr, ffrwd yr Iorddonen a dorwyd ymaith, pen. iii. 16, a hynt yr afon a barhäai i redeg tuag i fyny yr holl amser ag y parhausant hwythau yn ei chanol hi; a chyn gynted ag y cyffyrddodd eu traed â'r sychdir ar eu mynediad trwyodd o wely yr afon, y dyfroedd yn ddiatreg a adgymerasant eu rhediad naturiol. Hyn oll a wnaed trwy ddylanwad penadurol Jehofa, yr hwn y cynrychiolid ei bresenoldeb gan yr arch. *Dros ei holl geulenydd*—sef y ceulenydd mewnol ac allanol: gwel ar pen. iii. 14.

Adn. 19. *Y degfed dydd o'r mis cyntaf*] Sef *Nisan* neu *Abib*. Gan i'r Israeliaid ymadael o'r Aifft ar y *pymthegfed* dydd o'r mis cyntaf, O.B. 2513, (gwel ar Exod. xii. 41,) ac iddynt fyned i Ganaan y *degfed* dydd o'r mis cyntaf, O.B. 2553, y mae yn amlwg i *ddeugain* mlynedd onid pum niwrnod fyned heibio, o amser eu hymadawiad o'r Aifft hyd eu mynediad i'r etifeddiaeth addawedig. Yr oedd y dydd hwn yn bur gyfaddas i gymeryd i fyny yr ŵyn ag oeddynt i'w defnyddio yn mhen y pedwar diwrnod, yn ol y gyfraith, Exod. xii. 3, 6. *Ac a wersyllasant yn Gilgal*—sef yn y lle a alwyd wedi hyny Gilgal, pen. v. 9; canys yma rhoddir yr enw trwy ragenwad. Yn yr Hebraeg y mae *gal* yn arwyddo *treiglo*; ac y mae dybliad y gwreiddyn, *galgal* neu *gilgal*, yn arwyddo *treiglo oddeutu ac oddeutu*, neu *dreiglo i ffwrdd* neu *ymaith*, o herwydd i Josua, wrth enwaedu y plant a anesid yn yr anialwch, *dreiglo ymaith, dreiglo i ffwrdd yn hollol*, waradwydd y bobl. O'r pryd hyn daeth Gilgal yn le o gryn enwogrwydd yn yr ysgrythyrau. (1) Dyma y fan lle y gwersyllodd Israel y noson gyntaf ag y daethant i wlad yr addewid. (2) Yma yr enwaedodd Josua yr holl bobl a anesid yn yr anialwch yn ystod deugain mlynedd eu crwydriad. (3) Yma yr oedd gan Josua yr hyn a allwn ei alw ei wersyll caerog, i'r hwn y dychwelai ef a'i fyddin yn wastadol ar ol pob un o'i ryfelgyrchoedd yn erbyn trigolion y wlad. (4) Ymddengys mai yma yr oedd yr holl wragedd, y plant, yr anifeiliaid, a'r eiddo, yn cael eu cadw yn ystod yr holl ryfel Ganaaneaidd. (5) Yma y cynaliasant eu pasc cyntaf yn ngwlad yr addewid. (6) Yma y cafodd Saul, brenin cyntaf Israel, ei gyhoeddi. (7) Yma y peidiodd y manna â disgyn. (8) Ac yma y sefydlwyd yr arch hyd nes y cafodd, ar ol gorchfygu y wlad, ei symud i Silo. Yr oedd Gilgal oddeutu hanner y ffordd o'r Iorddonen i Jericho; a thybia Calmet nad oedd na dinas na thref yma cyn dyfodiad yr Israeliaid i'r lle, er wedi hyn i ddinas o gryn faintioli gael ei hadeiladu yma. Arferai Samuel gyrchu i'r lle hwn yn ei daith flynyddol fel barnwr; ac yr oedd yma ysgol i feibion y proffwydi, 1 Sam. vii. 16, 2 Bren. iv. 38.

Adn. 20. *A'r deuddeg careg hyny—a sefydlodd Josua yn Gilgal*] Tybia rhai i waelod o gryn uchder gael ei godi yma, ac wedi hyny i'r deuddeg careg gael eu gosod arno ef. Dywed Josephus eu bod wedi eu codi ar ffurf allor. Ond y mae yn debycach, fel y sylwa Coke, mewn trefn i osod allan nifer y llwythau, iddynt gael eu gosod bob un ar ei gwaelod ei hun, fel cynifer o golofnau bychain, yn dair rhes fe allai.

Adn. 21. *Pan ofyno eich meibion*] Gwel ar adn. 6.

Adn. 22. *Yna yr hysbyswch i'ch meibion*] Gwesgir yr angenrheidrwydd o addysg grefyddol boro trwy holl oraclau Duw; fel trwy hyny y gosoder sylfaen i ffydd ein plant, y dyger hwynt i fyny yn y wybodaeth am Dduw, am ei ewyllys tuag atynt, a'r hyn a wnaeth erddynt; ac fel y dysgont ei garu a'i ofni ef, a byw er ei ogoniant.

23 Canys yr Arglwydd eich Duw chwi a sychodd ddyfroedd yr Iorddonen o'ch blaen chwi, nes i chwi fyned drwyodd; megys y gwnaeth yr Arglwydd eich Duw i'r môr coch, yr hwn a sychodd efe o'n blaen ni, nes i ni fyned drwyodd:
24 Fel yr adnabyddo holl bobloedd y ddaear law yr Arglwydd, mai nerthol *yw;* fel yr ofnoch yr Arglwydd eich Duw bob amser.

PENNOD V.

PAN glybu holl frenhinoedd yr Amoriaid, y rhai *oedd* o'r tuhwnt i'r Iorddonen tua'r gorllewin, a holl frenhinoedd y Canaaneaid, y rhai *oedd* wrth y môr, sychu o'r Arglwydd ddyfroedd yr Iorddonen o flaen meibion Israel, nes eu myned hwy drwyodd; yna y digalonwyd hwynt, fel nad oedd ysbryd mwyach ynddynt, rhag ofn meibion Israel.

---

Adn. 23. *Megys y gwnaeth yr Arglwydd eich Duw i'r môr coch*] Mwyheir trugareddau diweddar yn fawr wrth eu cydmharu â thrugareddau gynt; ac wrth wneyd y gydmhariaeth, ymddengys fod Duw ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd. A dylai trugareddau diweddar ddwyn i gof drugareddau gynt, ac adfywio ein diolchgarwch am danynt. *Yr hwn a sychodd efe o'n blaen ni*—uniawn y dywedir i'r gymwynas hon a wnaed i'w tadau gael ei gwneuthur iddynt eu hunain, am eu bod hwy yn lwynau eu rhieni, ac am ei bod hi yn cael ei bwriadu i fod er mantais iddynt hwy a'u hiliogaeth i'r oesoedd diweddaf.

Adn. 24. *Fel yr adnabyddo holl bobloedd y ddaear*] Er y gall hyn feddwl yn mlaenaf y cenhedloedd cymydogaethol, sef y Canaaneaid; eto y mae rheswm cryf i dybied fod yr adnod hon, ac Exod. ix. 16, 'Fel y myneger fy enw trwy yr holl ddaear,' yn meddu golygiad proffwydol, ac yn edrych at oesoedd pellenig, ïe i ddiwedd amser, ac at yr holl bobloedd ar wyneb y ddaear, i'r rhai y dygai y ffeithiau rhyfeddol hyn dystiolaeth am y gwir Dduw yn gystal ag i'r cenhedloedd amgylchynol. A phan yr ystyriom y modd y mae yr ysgrythyrau santaidd, yr adgofion o'r ffeithiau hyn, wedi eu cludo eisioes bron i bob cenedl—y fath dystiolaeth rymus a ddygant gyda hwy; mor gyfan y maent fyth yn aros ar ol cynifer mil o flynyddau; a'r fath debygolrwydd sydd, pan ddychwelir yr Iuddewon, y gwneir hwynt yn fwy adnadyddus fyth yn mhob cenedl ac iaith—gallwn weled rheswm cryf i gasglu fod y gwyrthiau hyn yn cael eu bwriadu i wneyd gallu y gwir Dduw yn adnabyddus i'r holl Genhedloedd yn gystal ag i'r Iuddewon; ac mewn gwirionedd y maent yn ei hysbysu ef i ni yr un fath ag y gwnaent iddynt hwythau.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Bwriadai Duw i'w grefydd ef gael ei chynal a'i lledaenu ar y ddaear; am hyny rhoddodd ddatguddiad o hono ei hun i ddynion, fel ei dysgid yn y byd; ac y mae yn gofyn yn neillduol i rieni fod yn ddyfal a gwresog yn dysgu i'w plant y wybodaeth o'i enw ef. (2) Dyma un defnydd mawr o *ordinhadau* yr efengyl a *defodau* crefydd: y maent oll yn arwyddocaol o bethau santaidd, ac yn nodi allan faterion o anfeidrol bwys tuhwnt iddynt eu hunain. (3) Y mae ysbryd o *ymofyniad* yn beth cyffredin i bob plentyn; y mae y galon ddynol yn dyheu bob amser ar ol gwybodaeth; ac os na chyfarwyddir hi yn iawn tra yn ieuanc, bydd iddi grwydro fel eiddo ein mam gyntaf, ar ol gwybodaeth waharddedig. (4) Os mynwn i'n plant fod yn *ddedwydd*, dylem ddangos iddynt pa le y mae dedwyddwch i'w gael: os mynwn iddynt fod yn *ddoeth*, dylem eu harwain at Dduw trwy ei air a'i ordinhadau. Y mae yn naturiol i blentyn holi, 'Pa beth a feddyliwch wrth y bedydd hwn?—wrth y sacrament hwn?—wrth weddio?—wrth ganu salmau a hymnau?' &c. A'r fath gyfleusderau têg a ddyry y cyfryw gwestiynau i rieni duwiol, yn gystal ag athrawon yr ysgol Sul, i hyfforddi y plant yn mhob erthygl o'r ffydd Gristionogol, ac yn mhob ffaith ar ba rai y sefydlwyd yr erthyglau hyn! O paham y mae hyn yn cael ei esgeuluso, tra y mae gorchymyn Duw o flaen ein llygaid, a phwysigrwydd y peth mor hynod o eglur?

PEN. V. Adn. 1. *Pan glybu holl frenhinoedd yr Amoriaid, y rhai oedd tuhwnt i'r Iorddonen tua'r gorllewin*] Sef yn ngwlad Canaan. Chwanegir hyn, i'w gwahaniaethu oddiwrth yr Amoriaid ereill o du y dwyrain i'r Iorddonen, y rhai a orchfygesid gan Moses. Tybia rhai mai gweddillion y rhai hyny oedd y rhai hyn, y rhai a ffoisant yma ar orchfygiad Og a Sehon: ond gwel ar pen. iii. 10. *A holl frenhinoedd y Canaaneaid, y rhai oedd wrth y môr*—sef môr-y-canoldir, yr ochr orllewinol i Ganaan, ar hyd glanau yr hwn yr oedd eu prif eisteddle. *Sychu o'r Arglwydd ddyfroedd yr Iorddonen*—yr hon oedd fel gwarchglawdd iddynt rhyngddynt a'r Israeliaid yr ochr ddwyreiniol i'r wlad. Y mae yn debyg eu bod wedi tynu i lawr yr holl bontydd yn y parthau hyny; a thrwy i'r Israeliaid fod cyhyd yn y gymydogaeth hôno heb gynyg ymosod arnynt, yr oedd y Canaaneaid wedi cryfhau mewn hyder, yn enwedig yn awr ar ol i'r Iorddonen chwyddo dros ei glanau; ac nid oeddynt yn ceisio eu hattal i'w gwlad. *Digalonwyd hwynt, fel nad oedd ysbryd mwyach ynddynt*—collasant eu holl wroldeb, fel nad allent feiddio ymosod ar yr Israeliaid. Dygwyddodd hyn trwy ragluniaeth neillduol Duw, fel y gallai yr Israeliaid gyfranogi yn dawel o ddau sacrament mawr eu heglwys, yr *enwaediad* a'r *pasc*, a thrwy hyny fod yn barod i'w gwaith pwysig a chaled, ac i feddiannu gwlad santaidd yr addewid, yr hon a fuasai yn cael ei halogi ganddynt pe yn ddienwaededig.

Adn. 2. *Y pryd hyny*] 'Dranoeth ar ol myned dros yr Iorddonen, sef ar yr 11eg o'r mis cyntaf.'—USHER. *Gwna it' gyllyll llymion—charboth tzurim,* 'cyllyll o graig, careg, neu gallestr.' Cyn bod y defnyddiad o *haiarn*

2 ¶ Y pryd hyny y dywedodd yr Arglwydd wrth Josua, Gwna i ti gyllyll llymion, ac enwaeda ar feibion Israel drachefn yr ail waith.

3 A Josua a wnaeth iddo gyllyll llymion, ac a enwaedodd ar feibion Israel, yn mryn y blaengrwyn.

4 A dyma yr achos *a wnaeth* i Josua enwaedu: Yr holl bobl, *sef* y gwrywiaid y rhai a ddaethant o'r Aifft, yr holl ryfelwyr, a fuasant feirw yn yr anialwch ar y ffordd, wedi eu dyfod allan o'r Aifft.

5 Canys yr holl bobl a'r a ddaethant allan, oedd enwaededig; ond y bobl oll *y rhai* a anesid yn yr anialwch, ar y ffordd, wedi eu dyfod hwy allan o'r Aifft, nid enwaedasent *arnynt.*

---

yn beth cyffredin, yr oedd holl genhedloedd y ddaear yn gwneyd eu harfau miniog o *gerig, cellystr, &c.* Yn yr ynysoedd a ddatguddiwyd yn ddiweddar, ceir hyn yn beth cyffredin. Yr oedd ein henafiaid yn y gwledydd hyn yn gwneyd *blaenau* eu saethau a'u gwaewffyn o gallestr. Ond nis gallwn feddwl fod yr Israeliaid y pryd hyn yn amddifad o haiarn; canys y mae eu gwahanol law-weithiau yn yr anialwch yn profi y rhaid fod ganddynt hwy *haiarn* a *dur*. Paham ynte yr arferent gyllyll wedi eu gwneyd o *gareg?* Ond odid yr oedd yn annghyfreithlon arferyd unrhyw fath ar *fettel* yn yr arddefod grefyddol hon; ac ymddengys hyny yn debygol oddiwrth waith Sephora yn cymeryd *careg lem*, (gwel ar Exod. iv. 25,) ac yn enwaedu ei mab. Gan i Dduw orchymyn i'r bobl wneuthur iddo allor o gerig heb eu naddu, am y byddai i *arf haiarn* ei halogi hi, (Exod. xx. 25, Deut. xxvii. 5,) gallai hefyd wahardd i arf haiarn gael ei arferyd yn yr arddefod hon, trwy ba un yr oedd corff ac enaid y person yn cael eu cyflwyno yn y modd mwyaf edmygol a chysegredig i fod yn deml iddo, a'r galon ei hun i fod yr allor ar yr hon yr oedd yn rhaid offrymu ebyrth gwastadol i Dduw. Ond rhoddwyd rheswm *anianyddol* am ddewis cyllyll *cerig* yn y weithred hon, sef fod yr archoll yn dyoddef llai oddiwrth fflamegiad, ac yn iachâu yn gynt. Ei fod yn cael ei gyfrif yn anmhriodol arferyd un math arall ar erfyn wrth enwaedu, a brofir yn llwyth *Alnajab*, yn Ethiopia, y rhai sydd yn dylyn y sefydliad Moesenaidd hyd heddyw, ac yn enwaedu bob amser â *chyllyll cerig.* Yr oedd yr Aifftiaid hefyd yn ei ystyried yn beth annghyfreithlon a halogedig iddynt ddefnyddio un math o *fettel* i wneyd toriadau yn y corff dynol wrth ei barotoi i'w bêr-eneinio. *Ac enwaeda ar feibion Israel drachefn yr ail waith*—nid yw hyn yn ddiau yn meddwl fod iddynt *ail* enwaedu y rhai a enwaedesid o'r blaen. Buasai hyny mor afresymol ag ydoedd anwneuthuradwy. Ond cynwysa fod iddynt *adnewyddu* cadwraeth defod a esgeulusesid yn eu teithiau yn yr anialwch, yr hyn sydd yn ddigon amlwg oddi wrth yr adnodau canlynol.

Adn. 3. *A Josua—a enwaedodd ar feibion Israel*] Neu a barodd iddynt gael eu henwaedu, sef y cyfryw o honynt ag oeddynt ddienwaededig. Ac am fod hyny i gael ei wneyd yn ebrwydd trwy fod y pasc yn nesâu, yr oedd yn angenrheidiol defnyddio llawer o ddwylaw yn y gwaith. Ac nid oedd yn anhawdd cael hyd iddynt, gan nad oedd waeth trwy ba law y gwneid y weithred. Gallai rhieni, perthynasau, neu gyfeillion unrhyw un o honynt gyflawni hyn, yn gystal a'r offeiriaid neu y Lefiaid. *Yn mryn y blaengrwyn*—gelwir hwn yn yr Hebraeg *Gibeath-haaraloth*, yr hwn a gymera rhai yn enw lle, fel ond odid yr oedd; ond lle ydoedd yn cael ei enw oddiwrth y ddefod hòno.

Adn. 4. *A dyma yr achos a wnaeth i Josua enwaedu*] Y mae y testyn hwn yn ei egluro ei hun. Cyn i'r Israeliaid adael yr Aifft, yr oedd yr holl wrywod wedi eu henwaedu; ac y mae rhai yn meddwl fod pawb a aned yn ystod eu gwersylliad wrth *Sinai* wedi cael eu henwaedu hefyd, o herwydd iddynt yno gadw y pasc; ond wedi hyny, yn ystod eu holl arosiad yn yr anialwch, ni enwaedwyd neb nes iddynt fyned i wlad yr addewid. Ymddengys i Dduw esgusodi y ddefod hon am yr amser hwnw o herwydd eu cyflwr ansefydlog; ond gan eu bod ar fedr cadw pasc arall, yr oedd yn angenrheidiol i'r holl wrywod gael eu henwaedu; canys heb hyny nis gellid eu hystyried o fewn y cyfammod, ac nis gallent gadw y pasc, yr hwn oedd sêl y cyfammod hwnw. Gan y deallir yn gyffredin i fedydd ddylyn yr enwaediad, ac i'r cymun santaidd ddylyn y pasc; o ganlyniad, yn Eglwys Loegr, ac yn debygol yn y rhan fwyaf o'r eglwysi ereill, ni oddefir i neb dderbyn sacrament *Swper yr Arglwydd* nes iddo gael ei fedyddio. *A fuasant feirw yn yr anialwch*—sef pob gwryw ag ydoedd yn ugain mlwydd oed yn dyfod o'r Aifft, canys y rhai hyny yn unig a gyfrifid yn *rhyfelwyr;* yr holl chwe chan mil o wŷr traed, (Exod. xii. 37,) oddieithr Caleb, Josua, Eleazar, a rhai *Lefiaid* ereill fel y meddylir: gwel ar Num. xiv.

Adn. 5. *Y bobl oll y rhai a anesid yn yr anialwch—nid enwaedasent arnynt*] Ni ddywedir pa beth oedd yr achos o'r peidiad hwn, ac nid yw yn hawdd penderfynu pa un ai oddi wrth esgeulusdod y cododd, ynte oddiwrth waith Duw yn rhoddi heibio am dro ei ordinhad ei hun, o herwydd ansefydlogrwydd eu cyflwr hwy, a'u symudiadau mynych tra yn yr anialwch, trwy fod yn angenrheidiol i blant ar ol eu henwaedu, a thrwy hyny eu dolurio, gael gorphwys ychydig. Y rheswm diweddaf hwn a dderbynir yn gyffredin gan esbonwyr. Ond ni fernir ef yn foddhaol gan rai, am fod yr Israeliaid weithiau yn aros flwyddyn mewn lle, (Num. ix. 22,) os nad lawer yn hwy, yn enwedig yn y deunaw mlynedd ar hugain olaf; ac yn eu symudiadau gallasai eu babanod, er yn ddolurus, gael eu cadw mor gynhes a'u cario mor esmwyth fel ag i beidio derbyn niwed; a diamau y gallasai fod yn llawer gwell arnynt hwy nag ar eu mamau wrth orwedd i mewn. Gan hyny tybiant fod gwaith Duw yn peidio gorchymyn yn benodol a neillduol iddynt enwaedu eu plant tra yn yr anialwch,

6 Canys deugain mlynedd y rhodiasai meibion Israel yn yr anialwch, nes darfod yr holl bobl o'r rhyfelwyr a ddaethant o'r Aifft, y rhai ni wrandawsent ar lef yr Arglwydd : y rhai y tyngasai yr Arglwydd wrthynt, na ddanghosai efe iddynt y wlad a dyngasai yr Arglwydd wrth eu tadau y rhoddai efe i ni; *sef* gwlad yn llifeirio o laeth a mêl.

7 A Josua a enwaedodd ar eu meibion hwy, *y rhai* a gododd yn eu lle hwynt: canys dienwaededig oeddynt hwy, am nad enwaedasid arnynt ar y ffordd.

8 A phan ddarfu enwaedu ar yr holl bobl; yna yr arosasant yn eu hunlle, yn y gwersyll, nes eu hiachâu.

9 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Josua, Heddyw y treiglais ymaith

---

yn arwydd parhaus o'i anfoddlonrwydd ef yn eu herbyn am eu hannghrediniaeth a'u grwgnachrwydd, ac yn fygythiad na chaent fwynhau yr addewid o Ganaan, o'r hyn yr oedd yr enwaediad yn sêl, Gen. xvii. 8, &c. Eithr pa beth bynag oedd yr achos, ymddengys i'r ordinhad fawr hon gael ei dyspeidio yn Israel am yn agos i ddeugain mlynedd yn nghyd; yr hyn sydd yn brawf eglur nad oedd o angenrheidrwydd anhebgorol er tragwyddol iachawdwriaeth dynion, nac i fod o rwymedigaeth fythol; ond y cai yn nghyflawnder yr amser ei diddymu, fel yr oedd yn awr am hir amser wedi cael ei hoedi.

Adn. 6. *Nes darfod yr holl bobl o'r rhyfelwyr*] Gwel ar adn. 4. Y mae y gair *hagoi*, a gyfieithir yma yn *bobl*, yn gyffredin yn arwyddo y CENHEDLOEDD; a thybiodd rhai ei fod yn cael ei ddefnyddio yma i arwyddo eu bod hwy yn annheilwng o'r enw ISRAELIAID. *Na ddanghosai efe iddynt y wlad*—na roddai efe iddynt hwy gymaint a *golwg* arni, yr hyn a ganiataodd i Moses; llai o lawer *feddiant* o honi.

Adn. 7. *A Josua a enwaedodd ar eu meibion*] Gwel ar adn. 3. Gorchymynodd Duw yn awr i hyn gael ei wneyd, (1) Fel tystiolaeth ei fod ef yn awr wedi cymodi â'r bobl, ac na chyfrifai yn mhellach wrthryfel eu rhieni iddynt hwy, ond y gadawai iddynt bellach fyned i'w orphwysfa ef: gwel Num. xiv. 29—35. (2) Am fod un rhwystr mawr i'r enwaediad wedi cael ei symud yn awr, sef eu teithiau parhaus a'u symudiadau mynych ac ansicr. (3) I'w parotoi hwy erbyn y pasc nesaol. (4) I'w gwahaniaethu hwy oddiwrth y Canaaneaid, i wlad pa rai yr oeddynt yn awr wedi dyfod. (5) I brofi eu ffydd hwy trwy ymostyngiad i orchymyn, y cyflawniad o ba un a'i gwnai hwynt yn agored i gael eu trin gan eu gelynion megys y cawsai y Sichemiaid gan Simeon a Lefi mewn amgylchiad cyffelyb. (6) I gadarnhau y cyfammod rhwng Duw a hwythau, o ba un yr oedd yr enwaediad yn arwydd ac yn sêl; i sicrhau iddynt y cyflawnai efe yn awr ei gyfammod trwy roddi iddynt y wlad hon; ac i beri iddynt hwythau gyflawni yr holl ddyledswyddau ag yr oedd y cyfammod hwnw yn eu rhwymo atynt, cyn gynted ag y deuent i Ganaan, Exod. xii. 25, Lef. xxiii. 10, Num. xv. 2.

Adn. 8. *Arosasant yn eu hunlle yn y gwersyll nes eu hiachâu*] Yr oedd hyn yn gofyn amrai ddyddiau: gwel y sylwadau ar Gen. xxxiv. Dywed Syr R. Chardin, pan enwaedir ar rai mewn oedran, eu bod yn gorfod cadw eu gwely am oddeutu tair wythnos, neu o leiaf nad ydynt yn gallu rhodio oddiamgylch yn ystod yr amser hwnw ond gydag anhawsder mawr. Efe a gafodd yr hanes gan amrai wrthgilwyr, y rhai a dderbyniasent enwaediad yn mhlith y Mahometaniaid. Onid yw yn rhyfedd eu bod yn ystod yr amser hwn heb gael ymosod arnynt gan drigolion y wlad, a'u llwyr ddyfetha, yr hyn a allesid ei wneyd yn hawdd? Gwel achos y Sichemiaid truain, fel ei hadroddir yn Gen. xxxiv, gyda'r sylwadau yno. Yr oedd Josua, fel cadfridog hyddysg, yn canfod ar unwaith y byddai raid i'r mesur hwn ddarostwng ei holl lu i'r perygl o gael eu llwyr ddiddymu; ond gwyddai nad allai DUW *gyfeiliorni*, ac mai ei ddyledswydd *yntau* oedd *ufyddhau;* am hyny, yn nannedd ei elynion, efe a ddarostyngodd y rhan fwyaf o'i fyddin i gyflwr o hollol analluogrwydd, gan ymddiried am nodded yn mraich JEHOFA yn unig! Dengys y canlyniad na chamosodwyd ei hyder ef: yn ystod yr holl amser hwn ni oddefodd Duw i neb o'u gelynion eu haflonyddu. Llwybr dyledswydd yw llwybr diogelwch; ac y mae yn anmhosibl i un enaid gael ei niweidio tra yn rhodio yn llwybr ufydd-dod. 'A phwy a'ch dryga chwi, os byddwch yn dylyn yr hyn sydd dda?' 1 Pedr iii. 13. Ond paham na orchymynasai Duw iddynt gael eu henwaedu pan o du y dwyrain i'r Iorddonen, mewn cyflwr o ddiogelwch mawr? Am ei fod yn dewis eu dwyn hwy i gyfyngderau ac anhawsderau, lle nad allai un cynghor na nerth ond yr eiddo ei hun eu cyfarwyddo a'u cadw yn ddifêth: a hyn a wnai, fel y gwelent fod godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o ddyn. Am yr un rheswm y parodd efe iddynt fyned dros yr Iorddonen pryd yr oedd yn gorlifo dros ei glanau, ac nid pryd yr oedd yn isel ac yn hawdd ei rhydio, fel y gallai gael gwell cyfleusdra i ddangos iddynt eu bod dan ei ofal a'i nawdd digyfrwng ef; ac i'w hargyhoeddi o'i nerth hollalluog ef, fel y gallent ymddiried ynddo byth, a pheidio ofni nerth unrhyw wrthwynebwyr. Mor amlwg yw gallu, doethineb, a daioni Duw yn y ddau achos!

Adn. 9. *Heddyw y treiglais ymaith waradwydd yr Aifft oddiarnoch*] Yr oedd eu bod yn *ddienwaededig* yn eu gwneuthur fel yr *Aifftiaid* dienwaededig; ac yr oedd yr Hebreaid bob amser yn ystyried pawb dienwaededig fel mewn cyflwr o aflendid a gwaradwydd. Trwy eu bod yn awr wedi eu henwaedu, cafodd y gwaradwydd o ddienwaediad ei dreiglo ymaith. Y mae hyn yn brawf arall na dderbyniodd yr Israeliaid yr enwaediad oddiwrth yr Aifftiaid; canys ni allasent hwy ystyried y rhai hyny mewn cyflwr o aflendid, y rhai y derbyniasant oddiwrthynt y ddefod hono trwy yr hon y tybient iddynt eu hunain gael eu

waradwydd yr Aifft oddiarnoch: am
hyny efe a alwodd enw y lle hwnw
Gilgal, hyd y dydd heddyw.
10 ¶ A meibion Israel a wersyllas-
ant yn Gilgal: a hwy a gynaliasant y
pasc, ar y pedwarydd dydd ar ddeg
o'r mis, brydnawn, yn rhosydd Jeri-
cho.
11 A hwy a fwytasant o hen ŷd y
wlad, dranoeth wedi y pasc, fara
croyw, a chras-*ŷd*, o fewn corff y
dydd hwnw.
12 ¶ A'r manna a beidiodd dran-
oeth wedi iddynt fwyta o hen ŷd y
wlad; a manna ni chafodd meibion
Israel mwyach, eithr bwytasant o gy-

glanhau. Y mae yn debyg mai trwy gaufod Moses wedi ei enwaedu, ac felly yn wahanol i'r Aifftiaid, y deallodd merch Pharao mai un o blant yr Hebreaid oedd efe, Exod. ii. 6. Cafodd yr Hebreaid y ddefod hon oddiwrth Abraham, a chafodd yntau hi oddiwrth Dduw ei hun, Gen. xvii. 10. Ond tybia rhai fod 'gwaradwydd yr Aifft' yn cyfeirio at y gwaradwydd a daflai yr Aifftiaid ar yr Israeliaid, y rhai a esgeulusent y ddyledswydd hon yn yr Aifft am resymau bydol. *Efe a alwodd enw y lle hwnw Gilgal*—sef *treigliad ymaith:* gwel ar pen. iv. 19.

Adn. 10. *A hwy a gynaliasant y pasc*] Ymddengys mai hwn oedd eu *trydydd* pasc: y cyntaf oedd yn yr Aifft, Exod. xii; yr ail wrth fynydd Sinai, Num. ix; a'r trydydd yma. Tybia Calfin iddynt gynal y pasc bob blwyddyn yn ei bryd tra yn crwydro yn yr anialwch, a bod Duw yn esgusodi eu dienwaediad: ond ymddengys fod y proffwyd yn gwadu hyny, (Amos v. 25,) trwy awgrymu eu bod wedi esgeuluso yr aberthau. *Ar y pedwarydd dydd ar ddeg o'r mis*—os cyflawnwyd defod yr enwaediad ar yr unfed dydd ar ddeg o'r mis, fel y meddylia llawer, ac os oedd y dolur yn y man gwaethaf ar y trydydd-ar-ddeg, a'r pasc yn cael ei gynal ar y pedwerydd-ar-ddeg, a'r bobl y pryd hyny wedi cwbl iachâu, rhaid ei fod yn iachâd *gwyrthiol* yn hytrach na *naturiol.* Gwelsom eisioes, ar adn. 8, fod oddeutu tair wythnos yn ofynol i iachâu rhai a enwaedid yn oedranus; ac os felly yr oedd yn bod yn achos yr Israeliaid yn Gilgal, nis gallent gynal y pasc yn mhen tri diwrnod ar ol eu henwaedu. Yr anmhosibilrwydd o hyn a arweiniodd Mr. Harmer i feddwl iddynt gynal y pasc ar y pedwarydd dydd ar ddeg o'r *ail* fis, trwy fod yr amser blaenorol yn cael ei gymeryd i fyny yn y gwaith o enwaedu.

Adn. 11. *A hwy a fwytasant o hen ŷd y wlad*] 'Yr hwn a adawsai y trigolion yn eu hysguboriau wrth ffoi i Jericho ac amddiffynfeydd ereill.'—PATRICK. 'Neu gall y gair Hebreig fod yn arwyddo yr *ŷd addfed* ag ydoedd y pryd hyny yn sefyll ar y maesydd.'—SHUCKFORD. 'Nid yw y gair Hebreig *abur*, yr hwn a gyfieithwn ni *hen ŷd*, yn dygwydd ond yn y lle hwn yn y fath ystyr, os yw yr ystyr hwn yn gyfieithlon. Y mae y gair, er o arwyddocâd amheus, yn deilliaw yn amlwg oddiwrth *abar*, pasio drosodd, myned tuhwnt; ac yma gellir ei gyfieithu y *cynyrch*, yr hyn a basia o'r tir i ddwylaw yr amaethwr; neu, yn ol *Cocceius*, yr hyn a basia oddiwrth y naill at y llall mewn ffordd o fasnach; ac felly *ŷd prynedig*, yr hwn a brynasant gan y trigolion.'—CLARKE. *Dranoeth wedi y pasc*—'hyny yw, ar y *pymthegfed dydd;* canys y pryd hyny yr oedd gŵyl y bara croyw yn dechreu.'—CLARKE. 'Tranoeth wedi y pasc oedd yr *unfed dydd ar bymtheg;* canys yr oedd oen y pasc yn cael ei ladd rhwng dau hwyr y pedwarydd dydd ar ddeg, a'i fwyta yn y nos; yr hon, yn ol y cyfrif Iuddewig, trwy ba un y dechreuent hwy eu dyddiau yn yr hwyr, ydoedd ran o'r *pymthegfed dydd*, yr oll o ba un ydoedd ŵyl y pasc; ac felly yr *unfed dydd ar bymtheg* oedd 'tranoeth wedi y pasc,' pryd yr oeddynt yn gorfod offrwm ysgub y blaenffrwyth i Dduw, ac wedi hyny yn cael eu goddef i fwyta o'r gweddill.'—BENSON. 'Er fod *machar*, a lefaru yn fanwl, yn arwyddo *tranoeth*, gall hefyd fod yn arwyddo un o'r dyddiau canlynol.'—COKE. *Fara croyw*—neu deisenau heb eu lefeinio: gwel ar Exod. xii. 8. *A chras-ŷd*—gwel ar Lef. ii. 14. Ond ni allent fwyta bara, cras-ŷd, na thwysenau irion, nes i flaenffrwyth y cynauaf gael ei gyhwfanu yn y babell, Lef. xxiii. 10—14; ac am hyny gallwn feddwl fod yr Israeliaid wedi offrymu ysgub o'r *cynauaf haidd*, yr unig rawn ag oedd y pryd hyny yn addfed, cyn iddynt fwyta o'r bara croyw a'r cras-ŷd.

Adn. 12. *A'r manna a beidiodd dranoeth wedi iddynt fwyta o hen ŷd y wlad*] Tybiodd rhai fod y manna yn gysgod o foddion gras i'r eglwys ar y ddaear, yr hwn ni bydd ei eisiau ar ol croesi yr Iorddonen i'r Ganaan nefol, lle y ceir digon o 'hen ŷd y wlad' am byth. Ar y pedwarydd-ar-ddeg o fis Abib yr aberthasant hwy oen y pasc; ar y pymthegfed (h.y. yn ol ein cyfrif ni, sef yr un diwrnod ar ol machlud haul,) yr ymbarotoisant i'w fwyta ef, ac y bwytasant ef mewn gwirionedd; a thranoeth, yr unfed-ar-bymtheg, ar ol offrymu yr *homer* i Dduw, dechreuasant fwyta ŷd y wlad; a'r eilfed-ar-bymtheg, peidiodd y manna â disgyn o'r nef. Yr hyn a gynalia y cyfrifiad hwn yw, fod yr *homer* neu yr *ysgub* yn cael ei hoffrymu yr unfed-ar bymtheg o Abib, liw dydd goleu, er yn lled hwyr. Yn awr ni ddisgynai y manna hyd y nos, neu yn fore iawn dranoeth; felly nis gellir dywedyd iddo beidio disgyn yr un diwrnod ag y dechreuodd yr Israeliaid fwyta o gynyrch y wlad: gwel DODD. Parhaodd y diwalliad gwyrthiol hwn cyhyd ag yr oeddynt mewn angen am dano. Tra yr oeddynt yn yr anialwch yr oedd yn ofynol iddynt gael y fath ddarpariaeth; ac nis gallai y fath dorfeydd, yn y fath le, gael eu cynal heb *wyrth.* Yn awr, ar ol iddynt ddyfod i wlad yr addewid, ac i drigolion diofrydedig hon syrthio neu ffoi o'u blaen hwy, cawsant ystôr o gynyrch naturiol; ac am hyny, gan fod darpariaeth helaeth wedi ei gwneuthur yn ffordd *gyffredin* rhagluniaeth, nid oedd achos mwyach am ddiwalliad *gwyrthiol;* gan hyny peidiodd y manna â disgyn, yr hwn yr oedd-

nyrch gwlad y Canaaneaid y flwyddyn hòno.

13 ¶ A phan oedd Josua wrth Jericho, yna efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a edrychodd; ac wele, ŵr yn sefyll gyferbyn âg ef, â'i gleddyf noeth yn ei law. A Josua a aeth ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Ai gyda ni yr *ydwyt* ti, ai gyda'n gwrthwynebwyr?

14 Dywedodd yntau, Nage; eithr yn dywysog llu yr Arglwydd yn awr y daethym. A Josua a syrthiodd i lawr ar ei wyneb, ac a addolodd; ac a ddywedodd wrtho ef, Beth y mae fy Arglwydd yn ei ddywedyd wrth ei was?

15 A thywysog llu yr Arglwydd a ddywedodd wrth Josua, Datod dy esgidiau oddiam dy draed; canys y lle yr wyt ti yn sefyll arno, *sydd* santaidd. A Josua a wnaeth felly.

## PENNOD VI.

A JERICHO oedd gauedig a gwarchäedig, o herwydd meibion Is-

---

ynt wedi bod yn ei fwynhau am ddeugain mlynedd. Y mae yr amgylchiadau yn y rhai y rhoddwyd ef gyntaf, ei barhad gyda hwy trwy eu holl bererindod yn yr anialwch, a'i beidiad cyn gynted ag y cawsant gynorthwy yn ffordd gyffredin rhagluniaeth, oll yn profi mai rhodd *oruwchnaturiol* ydoedd.

Adn. 13. *A phan oedd Josua wrth Jericho*] Y mae yn dra thebygol fod Josua wedi myned allan yn ddirgelaidd i edrych dinas Jericho pryd y cafodd efe y weledigaeth hon; a phan yn myfyrio ar gadernid y lle, ac ond odid yn meddwl am yr anhawsdra mawr o'i darostwng hi, caniataodd Duw iddo y weledigaeth hon i'w gefnogi ef, ac i ddysgu iddo pa fodd i gymeryd y ddinas. *Ac wele ŵr yn sefyll gyferbyn âg ef, â'i gleddyf noeth yn ei law*—yn barod i ymladd, nid yn ei erbyn ef, fel y meddyliodd Josua ar y cyntaf, ond drosto ef a'i lu. *A Josua a aeth ato ef*—y mae hwn yn adroddiad pur naturiol, ac yn cario gydag ef holl nodau adroddiad syml o wirionedd. Y mae holl hanes Josua yn dangos ei fod ef yn ddyn o'r meddwl hyfaf a'r gwroldeb mwyaf. Buasai dyn cyffredin, wrth weled y gŵr hwn yn arfog, yn ymdrechu am ddiogelwch trwy ffoi yn ol i'r gwersyll; ond y mae Josua yn ddiarswyd yn myned at y gŵr ofnadwy hwn, ac yn y fan yn gofyn iddo, *Ai gyda ni yr ydwyt ti, ai gyda'n gwrthwynebwyr?*—gan feddwl ond odid y gallai ef fod yn gadfridog Canaaneaidd yn dyfod i edrych y gwersyll Israelaidd, megys y daethai yntau i edrych dinas Jericho.

Adn. 14. *Yn dywysog llu yr Arglwydd yn awr y daethym*] Fel pe dywedasai, 'Nac ofna; y mae JEHOFA wedi anfon o'r nef waredigaeth i ti a'th bobl oddiwrth waradwydd y rhai a fynent dy lyncu. Llu yr Arglwydd yw Israel, a Thywysog Israel yw Arglwydd y lluoedd. Ni chai di dy hun fod yn ddim ond cadben danaf fi; ac yr wyf fi yn awr yn myned i'th addysgu gyda golwg ar dy ymddygiad yn y rhyfel yma.' Y mae rhai yn deall y wreiddiol, *mahanain*, fel yn arwyddo *dau lu*—llu o Israeliaid yn barod i ymladd â'r Canaaneaid, a llu o angylion yn barod i'w hamddiffyn hwynt yn hyny; ac y mae yntau, fel Tywysog y ddau, yn arwain llu Israel, ac yn llywodraethu llu yr angylion i'w hamddiffyn hwynt. *A Josua a syrthiodd i lawr ar ei wyneb, ac a addolodd*—ac ni feiwyd ef am roi addoliad dwyfol iddo, yr hwn ni dderbyniasai efe pe buasai yn angel crëedig: gwel Dat. xxii. 8, 9. Y mae yn dyb gyffredin gan esbonwyr hen a diweddar, nad oedd y person hwn yn neb amgen na'r Arglwydd Iesu, yn ymddangos yn y ffurf hòno ag yr oedd efe, yn nghyflawnder yr amser, i'w chymeryd mewn gwirionedd i brynu dyn. Fod yr ymddanghosiad yn oruwchnaturiol a addefir ar bob llaw; a chan fod yr enw JEHOFA yn cael ei roddi iddo, pen. vi. 2, a darfod iddo dderbyn oddiwrth Josua addoliad dwyfol, y mae yn sicr nad angel crëedig a feddylir.

Adn. 15. *Dattod dy esgidiau oddiam dy draed*] Y mae y rhai hyn yr un geiriau ag a lefarodd yr Angel wrth Moses ar fynydd Horeb, Exod. iii. 5—8; ac oddiwrth hyn ymddengys yn debygol mai yr un person a ymddanghosodd yn y ddau le: yn y *cyntaf*, i gefnogi Moses i waredu yr Israeliaid gorthrymedig, a'u dwyn i wlad yr addewid; ac yn yr *ail*, i gefnogi Josua yn ei lafur caled wrth yru allan yr hen drigolion, a sefydlu y bobl yn yr etifeddiaeth a addawyd i'w tadau. Yr oedd y patrieirch yn nesâu at allorau Duw, a'r offeiriaid yn gweini yn y deml, bob amser yn *droednoeth*, am fod y presenoldeb dwyfol yn santeiddio y lle.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Trwy fod y manna yn awr wedi peidio, gallasai y bobl, y rhai oeddynt bob amser yn chwannog iawn i annghrediniaeth, gael eu harwain bellach i feddwl fod Duw wedi eu rhoddi hwynt i fyny, ac na fyddai efe mwyach yn eu byddinoedd, pe na roddasai efe iddynt y sicrwydd cryf hwn y byddai Angel mawr y Cyfammod gyda hwynt fel Arweinydd a Noddwr yr holl wersyll; canys diamau i Josua fynegu iddynt y gefnogaeth a dderbyniasai efe gan Dywysog llu yr Arglwydd. (2) Trwy y weledigaeth hon danghosai Duw iddynt mai oddiwrtho ef ei hun yr oedd eu hymwared hwy yn dyfod; ac mai nid trwy nerth neu allu dynol, ond trwy Arglwydd y lluoedd, yr oeddynt i gael y fuddugoliaeth ar eu holl wrthwynebwyr; ac efe a roddes iddynt y prawf cryfaf o hyn yn ninystr gwyrthiol Jericho. Trwy y moddion hyn yr oedd efe yn parhau i'w cadw hwynt yn ymddibynol ar ei fraich ei hun yn unig, heb ba ymddibyniad nis gallesid cadw ysbryd crefydd yn eu plith.

PEN. VI. Adn. 1. *A Jericho oedd gauedig a gwarchäedig*] Sef gan y trigolion eu hunain, rhag ofn meibion Israel. Y mae yn ddiamau eu bod wedi trysori yn y ddinas ddigonedd o

rael: nid *oedd neb* yn myned allan,
nac yn dyfod i mewn.
2 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth
Josua, Gwel, rhoddais yn dy law di
Jericho a'i brenin, gwŷr grymus o
nerth.
3 A chwi a amgylchwch y ddinas,
*chwi* ryfelwyr oll, gan fyned o am-
gylch y ddinas un waith: gwnewch
felly chwe diwrnod.
4 A dyged saith o offeiriaid saith o
udgyrn o gyrn hyrddod o flaen yr
arch: a'r seithfed dydd yr amgylch-
wch y ddinas saith waith; a lleisied
yr offeiriaid â'r udgyrn.
5 A phan ganer yn hirllaes â chorn
yr hwrdd, *a* phan glywoch sain yr ud-
gorn, bloeddied yr holl bobl â bloedd
uchel: a syrth mur y ddinas dani hi,
ac eled y bobl i fyny bawb ar ei gyfer.
6 ¶ A Josua mab Nun a alwodd yr
offeiriaid, ac a ddywedodd wrthynt,
Codwch arch y cyfammod; a dyged
saith o offeiriaid saith o udgyrn o
gyrn hyrddod o flaen arch yr Argl-
wydd.
7 Ac efe a ddywedodd wrth y bobl,
Cerddwch, ac amgylchwch y ddinas;
a'r hwn sydd arfog, eled o flaen arch
yr Arglwydd.
8 ¶ A phan ddywedodd Josua wrth
y bobl, yna y saith offeiriad, y rhai
oedd yn dwyn y saith udgorn o gyrn
hyrddod, a gerddasant o flaen yr Ar-

ddarpariaethau i sefyll gwarchaead maith, gan eu bod yn penderfynu eu hamddiffyn eu hunain i'r eithaf. *Nid oedd neb yn myned allan nac yn dyfod i mewn*—y mae y Targum yn awgrymu fod y ddinas yn gadarn iawn, fod ei phyrth yn haiarn a'i barau yn bres; a'i bod wedi ei chau i fyny mor gyflwyr fel nad allai neb ddyfod allan i ymladd, na myned i fewn i gynyg ammodau heddwch. Ymddengys mai gwahausang yw yr adnod hon, wedi ei chwanegu yn gall gan yr hanesydd santaidd i ddangos yr angenrheidrwydd am y wyrth.

Adn. 2. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Josua*] Felly ni a welwn fod yr hwn a elwir yn 'Dywysog llu yr Arglwydd' yn pen. v. 15, yn cael ei alw yma Jehofa. *Rhoddais yn dy law di Jericho*—casgla rhai, oddiwrth pen. xxiv. 11, fod rhai o'r saith genedl Ganaaneaidd y pryd hyn yn Jericho, y rhai a allent fod wedi dyfod yno i gynorthwyo y brenin yn erbyn yr Israeliaid. Tybia yr Esgob Patrick fod brenin Jericho wedi gwrthod cyn hyn y cynygion o heddwch, y rhai y parasai Duw i'r Israeliaid eu gwneuthur i'w gelynion: gwel ar Deut. xx. 10.

Adn. 3. *A chwi a amgylchwch y ddinas*] Mewn pellder diogel rhag eu saethau; *gan fyned amgylch y ddinas un waith*—sef unwaith yn y dydd am chwe diwrnod. Nid yw yn gwbl eglur yn mha drefn yr oedd y bobl yn myned o amgylch y ddinas. Tybia rhai eu bod yn cadw yr un drefn ag yn eu teithiau cyffredin yn yr anialwch, Num. ii. Barna ereill fod y milwyr yn myned yn mlaenaf, yna yr offeiriaid y rhai a leisient â'r udgyrn, wedi hyny y rhai a garient yr arch, ac yn olaf y bobl.

Adn. 4. *Saith o udgyrn o gyrn hyrddod*] O'r defnydd gwaelaf, a'r swn tylotaf, fel y byddai godidogrwydd y gallu o Dduw. Dadleua rhai fod yn annhosibl gwneyd i gyrn hyrddod swnio; ond dywed ereill fod rhanau mewnol y cyrn hyn yn ddigon meddal i'w tynu allan, oddieithr yn y blaen, pedair neu bum modfedd o'r hwn a lifir ymaith, ac yna tyllir y pen a roddir yn y genau. Dywed awdwyr yr *Universal History* iddynt hwy weled cyrn o'r fath yma yn cael eu defnyddio gan fugeiliaid yn mharthau deheuol yr Almaen. Modd bynag, gellir cyfieithu y geiriau gwreiddiol, *shoperoth jobelim*, yn udgyrn y jubili, sef y rhai a adgenid ar flwyddyn y jubili; a thybia rhai fod y rhai hyny wedi eu gwneyd ar lun cyrn hyrddod: gwel ar Lef. xxv. 11. Dywed Parkhurst nad yw y gair gwreiddiol byth yn arwyddo *hwrdd;* a dywed Clarke nad oes un o'r hen gyfieithiadau, oddieithr y Caldeaidd, yn rhoddi iddo yr ystyr hwnw; a chwanega, fod yr offerynau a ddefnyddid ar yr achlysur hwn yr un fath yn amlwg a'r rhai a arferid ar y jubili, ac wedi eu gwneuthur ond odid o gorn neu arian. *A'r seithfed dydd yr amgylchwch y ddinas saith waith*—estynwyd yr amser fel hyn, fel y gallai y gwarchaewyr a'r gwarchäedigion gael eu gwasgu yn ddwysach â'r galiu goruwchnaturiol hwnw trwy yr hwn yn unig y syrthiai y muriau.

Adn. 5. *Syrth mur y ddinas dani hi*] 'Tybiodd llawer o esbonwyr, Iuddewon a Christionogion, i'r ddaear dan sylfaeni y ddaear ymagoryd, ac i'r mur suddo i'r egoriad, fel nad oedd dim yn aros ond tir gwastad i'r Israeliaid gerdded drosto. Ni ddywed y testyn ddim am hyn: *venaphelah chomath hair tachteyha*, wedi ei gyfieithu yn llythyrenol, yw, *Syrth mur y ddinas* dano ei hun; yr hyn yr ymddengys nad yw yn meddwl dim mwy na, *Syrth y mur* o'i sylfaeni. Ac fel hyn ond odid yr oedd yn bod yn mhob rhan; er y gallai egoriadau mawrion yma a thraw fod yn ddigonol i ollwng i mewn y gwŷr arfog yn gyntaf, y rhai y gallai yr holl lu eu dylyn mewn trefn i ddyfetha y ddinas.'—Clarke. 'Ni syrthiodd yr holl fur, canys safodd tŷ Rahab, yr hwn oedd ar y mur, adn. 22: ond gwnaed y fath fylchau llydain yn mhob man oddiamgylch, fel y gallai yr Israeliaid fyned yn hawdd i'r ddinas ar eu cyfer.'—Patrick.

Adn. 6. *Arch y cyfammod*] Gwel ar pen. iii. 3, a iv. 16.

Adn. 7. *A'r hwn sydd arfog*] Ond odid meibion Reuben, a Gad, a hanner llwyth Manasse, yn nghylch deugain mil o wŷr, pen. iv. 12, 13; er y tybia rhai fod holl filwyr Israel yn cael eu golygu.

Adn. 8. *A gerddasant o flaen yr Arglwydd*] Sef o flaen yr *arch*, yr hon a gynrychiolai yr Arglwydd.

glwydd, ac a leisiasant â'r udgyrn: ac
arch cyfammod yr Arglwydd oedd yn
myned ar eu hol hwynt.
9 ¶ A'r rhai arfog oedd yn myned o
flaen yr offeiriaid oedd yn lleisio â'r
udgyrn; a'r fyddin olaf oedd yn my-
ned ar ol yr arch, *a'r offeiriaid* yn my-
ned rhagddynt, ac yn lleisio â'r ud-
gyrn.
10 A Josua a orchymynasai i'r bobl,
gan ddywedyd, Na floeddiwch, ac na
edwch glywed eich llais, ac nac eled
gair allan o'ch genau, hyd y dydd y
dywedwyf wrthych, Bloeddiwch; yna
y bloeddiwch.
11 Felly arch yr Arglwydd a am-
gylchodd y ddinas, gan fyned o'*i* ham-
gylch un waith: a daethant i'r gwer-
syll, a lletyasant yn y gwersyll.
12 ¶ A Josua a gyfododd yn fore;
a'r offeiriaid a ddygasant arch yr Ar-
glwydd.
13 A'r saith offeiriad, yn dwyn saith
o udgyrn o gyrn hyrddod o flaen arch
yr Arglwydd, oeddynt yn myned dan
gerdded, ac yn lleisio â'r udgyrn: a'r
rhai arfog oedd yn myned o'u blaen
hwynt; a'r fyddin olaf oedd yn myned
ar ol arch yr Arglwydd, *a'r offeiriaid*
yn myned rhagddynt, ac yn lleisio â'r
udgyrn.
14 Felly yr amgylchynasant y ddin-
as un waith yr ail dydd; a dychwel-
asant i'r gwersyll: fel hyn y gwnaeth-
ant chwe diwrnod.
15 Ac ar y seithfed dydd y cyfod-
asant yn fore ar godiad y wawr, ac yr
amgylchasant y ddinas y modd hwnw,

---

Adn. 9. *A'r fyddin olaf oedd yn myned ar ol yr arch*] Gall y gair *measseph*, oddiwrth *asaph*, cynull neu gasglu, fod yn arwyddo naill ai y *fyddin olaf*, fel y mae ein cyfieithiad ni yn ei ddeall, neu y bobl y rhai a garient gelfi y fyddin; canys ar y seithfed dydd yr oedd hyn yn angenrheidiol, gan y gellid dysgwyl yn naturiol lawer o ymladd yn yr ymosodiad, a byddai arnynt eisiau diwalliad o arfau, picellau, &c., yn gystal a chyfleusderau i'r rhai a ddygwyddent gael eu clwyfo. Neu gallai y rhai a feddylir yma fod y cyfryw ag a garient y dodrefn cysegredig a berthynent i'r arch; neu yn unig y cyfryw rai ag a allent ganlyn yn yr orymdaith, heb sylwi ar un *drefn* neillduol. Tybia yr Iuddewon mai dosbarth DAN a feddylir, yr hwn oedd bob amser yn olaf, Num. x. 25.

Adn. 10. *Na floeddiwch*] Gorchymynwyd i'r holl bobl fod yn ddystaw, peidio dywedyd gair, na gwneyd dim swn, fel y gallent wrandaw yn ddyfalach ar sain yr udgyrn santaidd, yr hwn yr oeddynt i edrych arno fel llais Duw yn eu plith. Ac heblaw hyny, buasai bloeddio cyn yr amser penodedig yn weithred aneffeithiol, ac felly yn achos o beth digalondid iddynt hwy, ac o orfoledd i'w gelynion.

Adn. 11. *A daethant i'r gwersyll*] Yr hwn oedd yn Gilgal, oddeutu tair milldir o Jericho, er fod rhai yn ei wneyd yn nes.

Adn. 12, 13. *A Josua a gyfododd yn fore, &c.*] I fyned o amgylch Jericho yr ail ddiwrnod, megys y gwnaethant y dydd o'r blaen. Gallasai Duw beri i gaerau Jericho syrthio ar eu cylchyniad cyntaf hwy; ond rhaid iddynt fyned o'u hamgylch dair gwaith ar ddeg cyn iddynt syrthio, fel y cedwid hwynt yn dysgwyl yn amyneddgar wrth yr Arglwydd. Fel ag yr ydym i ddysgwyl gwaredigaethau addawedig yn *ffordd* Duw, felly rhaid i ni eu dysgwyl hwynt yn ei *amser* ef.

Adn. 14. *Fel hyn y gwnaethant chwe diwrnod*] Nid yw yn debygol fod yr holl lu Israelaidd yn myned bob dydd o amgylch y ddinas: buasai hyny yn hollol annichonadwy. Yr oedd y rhyfelwyr yn unig yn cyraedd i oddeutu 600,000, yn annibynol ar y bobl, y rhai a raid fod yn cyraedd o leiaf i ddwy filiwn neu dair: gan hyny gallwn haeru yn ddiberygl nad oedd dim ond nifer detholedig, y cyfryw ag a fernid yn angenrheidiol i'r achos, yn cael eu rhoddi ar waith.

Adn. 15. *Ac ar y seithfed dydd y cyfodasant yn fore, ar godiad y wawr*] O herwydd yr oeddynt i amgylchynu y ddinas saith waith ar y dydd hwn; yr hyn sydd brawf nas gallai y ddinas fod yn un *fawr* iawn, onidê buasai yn anmhosibl iddynt fyned o'i hamgylch seithwaith, a chael digon o amser wrth eu cefnau i'w hanrheithio a'i difrodi hi. 'Y mae yn amlwg y rhaid fod *sabboth* yn nghorff y saith niwrnod hyn, ac y rhaid fod y llu yn amgylchynu y ddinas ar y sabboth hwn fel ar y dyddiau ereill. Y mae yr Iuddewon eu hunain yn addef hyn; a *Rab. D. Kimchi* a ddywed, 'Yr hwn a ordeiniasai gadwraeth y sabboth, a orchymynodd iddo gael ei dori i ddinystrio Jericho.' Ond nid ymddengys y gallai fod unrhyw *doriad* o'r sabboth wrth i'r bobl ddim ond myned o amgylch y ddinas, a'r arch gyda hwynt, a'r offeiriaid yn udganu â'r udgyrn santaidd. Gorymdaith grefyddol yn unig oedd hon, yn cael ei chyflawni wrth orchymyn Duw, yn yr hon ni wnaethpwyd dim gwaith gwasaidd. Gan hyny y mae gwrthddadl *Marcion*, ddarfod i Dduw yr Hebreaid ddangos cyfnewidiolrwydd meddwl wrth orchymyn i'r sabboth gael ei gadw yn santaidd un pryd, ac yna gael ei dori bryd arall, yn ddisail; canys rhaid i mi ddadlu na chymerodd un toriad le ar yr achlysur hwn, oddieithr y gellir gwneyd iddo ymddangos mai y sabboth oedd y dydd ar yr hwn y cymerwyd Jericho, yr hyn sydd yn dra annhebyg, a'r hyn nas gall neb ei brofi. Ond pe caniateid hyd yn nod hyn, y mae yn atebiad digonol i bob cecraeth o'r fath, fod gan y Duw a orchymynodd i'r sabboth gael ei neillduo i orphwysdra a dybenion crefyddol, awdurdod bob amser i roddi heibio am dro y cyflawniad o ddeddfau seremonïol yn unig, neu i'w diddymu yn hollol, pan y mae dyben eu sefydliad wedi ei gyflawni. 'Arglwydd ar y sabboth hefyd yw Mab y dyn.''—CLARKE. 'Nid yw yn ddi-

saith waith: yn unig y dwthwn hwnw
yr amgylchasant y ddinas seithwaith.
16 A phan leisiodd yr offeiriaid yn
eu hudgyrn y seithfed waith, yna Jo-
sua a ddywedodd wrth y bobl, Bloedd-
iwch; canys rhoddodd yr Arglwydd y
ddinas i chwi.
17 ¶ A'r ddinas fydd yn ddiofryd-
beth, hi, a'r hyn oll *sydd* ynddi, i'r
Arglwydd: yn unig Rahab y butein-
wraig fydd byw, hi a chwbl ag *sydd*
gyda hi yn tŷ; canys hi a guddiodd y
cenadau a anfonasom ni.
18 Ac ymgedwch chwithau oddiwrth
y diofryd-beth, rhag eich gwneuthur
eich hun yn ddiofryd-beth, os cymer-
wch o'r diofryd-beth: felly y gwnaech
wersyll Israel yn ddiofryd-beth, ac y
trallodech hi.
19 Ond yr holl arian a'r aur, a'r
llestri pres a haiarn, *fyddant* gysegr-
edig i'r Arglwydd: deled *y rhai hyny*
i mewn i drysor yr Arglwydd.
20 ¶ A bloeddiodd y bobl, pan leis-
iasant â'r udgyrn. A phan glybu y bobl
lais yr udgyrn, yna y bobl a waeddas-
ant â bloedd uchel; a'r mur a syrth-
iodd i lawr odditanodd. Felly y bobl
a aethant i fyny i'r ddinas, pob un ar
ei gyfer, ac a ennillasant y ddinas.
21 A hwy a ddifrodasant yr hyn oll
*oedd* yn y ddinas, yn ŵr ac yn wraig,
yn fachgen ac yn henafgwr, yn eidion,
ac yn ddafad, ac yn asyn, â min y
cleddyf.
22 ¶ A Josua a ddywedodd wrth y
ddau ŵr a fuasai yn edrych ansawdd
y wlad, Ewch i dŷ y buteinwraig, a

---

au yn doriad gorphwysdra y sabboth wneyd gwaith y sabboth, er mwyn yr hwn y sefydlwyd y gorphwysdra; a pha beth yw gwaith y sabboth ond canlyn yr *arch* yn ei holl symudiadau?'—Henry. Ond wedi y cyfan, dichon nad oedd yr un o'r saith niwrnod hyn yn *sabboth;* a bod y 'seithfed dydd' yma yn golygu yn unig y seithfed dydd iddynt *ymdeithio*, ac nid y seithfed dydd *olynol.*

Adn. 16. *Yna Josua a ddywedodd wrth y bobl, Bloeddiwch*] I dystio eich ffydd yn addewid Duw, a'ch diolchgarwch am y drugaredd ogoneddus hon; i'ch cefnogi eich hunain a'ch brodyr, ac i ddychrynu eich gelynion.

Adn. 17. *A'r ddinas sydd yn ddiofryd-beth*] Wedi ei diofrydu i ddinystr hollol. Ond y mae yn debyg i heddwch gael ei gynyg i'r ddinas hon, ac i lwyr ddyfethiant y trigolion gymeryd lle yn ganlynol i'w gwrthodiad hwy o'r cynygiad hwn: gwel ar adn. 2. *I'r Arglwydd*—fel blaenffrwyth y dinystr; neu yn aberth i gyfiawn ddigofaint yr Arglwydd. Fel hyn ni a welwn ddarfod i Dduw beri i'r yspail cyntaf a wnaed yn ngwlad Canaan gael ei gysegru i'w gyfiawnder ef, (1) Am fod y blaenffrwyth yn arferol o gael ei roddi iddo ef fel ei eiddo. (2) I arwyddo mai efe oedd eu harweinydd, a bod y buddugoliaethau hyn yn ddyledus iddo ef. (3) Rhag i'r milwyr, wedi eu gorlenwi âg yspail y ddinas gyfoethog hon, fyned yn ddiog yn eu gwaith. (4) Fel y deallent yn drwyadl na feddent hwy hawl mewn dim o oludoedd y wlad hòno, ond yr hyn a roddai efe iddynt.

Adn. 18. *Rhag eich gwneuthur eich hun yn ddiofryd-beth*] Rhag i chwi dynu i lawr am eich penau felldith uniongyrchiol Duw, ac felly eich dwyn eich hunain dan yr un ddedfryd o ddinystr ag y mae trigolion a phethau Jericho dani. *Felly y gwnaech wersyll Israel yn ddiofryd-beth*—trwy annog Duw i'w cospi hwy trwy yr achlysur o'ch pechod chwi. Trwy fod gan yr holl wersyll bechodau o'r eiddynt eu hunain, a'u bod felly yn haeddu cosp, gallai Duw yn gyfiawn gymeryd yr achlysur a fynai i weinyddu arnynt y gosp hòno.

Adn. 19. *Ond yr holl arian a'r aur, a'r llestri pres a haiarn*] Oddieithr y delwau, y rhai oeddynt i gael eu llwyr ddystrywio; *fyddant gysegredig i'r Arglwydd*—wedi iddynt yn gyntaf gael eu tynu trwy y tân, Num. xxxi. 22, 23. *I drysor yr Arglwydd*—i gael eu defnyddio yn hollol i wasanaeth y tabernacl, ac nid eu cymhwyso at wasanaeth unrhyw berson neillduol.

Adn. 20. *Y bobl a waeddasant â bloedd uchel, a'r mur a syrthiodd*] Treuliwyd llawer o lafur dysgedig i brofi y gallai mai bloeddiad y bobl oedd yr achos naturiol i'r mur syrthio! Aros yma i adrodd neu wrthbrofi unrhyw ddadleuon o'r fath fyddai yn goll amser: gellir gweled digon o honynt yn *Scheuchzer*, *Mersenne*, a *Morhoff.* Y mae yn amlwg fod yr holl hanes yn ei osod allan fel cyfryngiad goruwchnaturiol, gan fod udganiad yr udgyrn a bloeddiad y bobl yn bethau rhy wael i'w defnyddio fel offerynau yn y gwaith hwn gyda dysgwyliad i'w gyflawni mewn ffordd *naturiol.* (1) Bloedd *ffydd* ydoedd hon: yr oeddynt yn credu y syrthiai caerau Jericho, a thrwy y ffydd hòno taflwyd hwynt i lawr, Heb. xi. 30. (2) Bloedd *gweddi* ydoedd: yr oeddynt fel un gŵr yn gwaeddi i'r nefoedd am gynorthwy, a daeth cynorthwy i lawr.

Adn. 21. *A hwy a ddifrodasant yr hyn oll oedd yn y ddinas*] Gan i'r weithred hon gael ei gorchymyn gan Dduw ei hun, yr hwn yw Gwneuthurwr a Barnwr pawb, rhaid ei bod yn *iawn;* canys y mae efe yn rhy ddoeth i *gyfeiliorni*, ac yn rhy dda i wneuthur *cam* â gŵr yn ei fater. Ni adewid i ddim a anadlai gael byw; am hyny dyfethwyd yr holl anifeiliaid yn gystal a'r trigolion; canys yr oeddynt yn euog o brif droseddau yn haeddu angau, ac yr oedd cwpan eu hanwiredd yn llawn. Gyda golwg ar y *babanod*, yr oedd yn fendith fawr iddynt hwy gael eu cymeryd i'r nef yn eu babandod, yn hytrach na'u cadw i'r trallodion arswydus hyny ag yr oedd eu goroeswyr yn agored iddynt.

Adn. 22. *Ewch i dŷ y buteinwraig*] Yr hwn, yn nghyda'r mur ar ba un yr ymbwysai, a adawyd i sefyll trwy ffafr neillduol Duw iddi hi: gwel ar pen. ii. 1, &c.

dygwch allan oddiyno y wraig, a'r hyn oll *sydd* iddi, fel y tyngasoch wrthi.

23 Felly y llanciau a fuasai yn edrych *ansawdd y wlad,* a aethant i mewn, ac a ddygasant allan Rahab, a'i thad, a'i mam, a'i brodyr, a chwbl a'r a feddai hi: dygasant allan hefyd ei holl dylwyth hi, a gosodasant hwynt o'r tu allan i wersyll Israel.

24 A llosgasant y ddinas â thân, a'r hyn oll *oedd* ynddi: yn unig yr arian a'r aur, a'r llestri pres a haiarn, a roddasant hwy yn nhrysor yr Arglwydd.

25 A Josua a gadwodd yn fyw Rahab y buteinwraig, a thylwyth ei thad, a'r hyn oll *oedd* ganddi; a hi a drigodd yn mysg Israel hyd y dydd hwn: am iddi guddio y cenadau a anfonasai Josua i chwilio Jericho.

26 ¶ A Josua a'*u* tynghedodd *hwy* y pryd hyny, gan ddywedyd, Melldigedig gerbron yr Arglwydd *fyddo* y gŵr a gyfyd ac a adeilado y ddinas hon Jericho: yn ei gyntafanedig y

---

Adn. 23. *Ac a ddygasant allan Rahab, a'i thad, a'i mam, a'i brodyr*] Gan i Rahab fod yn ffyddlon i'w hadduned o gyfrinach, yr oedd yr Israeliaid yn rhwym trwy lw yr yspiwyr, y rhai a ymddygent fel eu cynrychiolwyr hwy yn y gorchwyl hwn, i'w chadw hi â'i thylwyth yn fyw. *A gosodasant hwynt o'r tu allan i wersyll Israel*—fe'u hystyrid fel rhai *aflan*, ac o ganlyniad gadewid hwynt o'r tu allan i'r gwersyll: gwel Lef. xiii. 46, Num. v. 2, a xii. 14. Ond ar ol iddynt ymwadu â phaganiaeth, a chael eu puro, ac i'r gwrywiaid dderbyn enwaediad, diamau iddynt gael eu derbyn i'r gwersyll ac i eglwys Dduw, a'u cydgorffori âg Israel.

Adn. 24. *A llosgasant y ddinas â thân*] Ac ond odid cyrff y dynion a'r anifeiliaid hefyd, gan na ddywedir dim am eu claddu. *Yn unig yr arian a'r aur*—gwel ar adn. 19. Nid oedd y bobl i gael rhan o'r yspail, am na feddent hwy law yn y fuddugoliaeth. Duw yn unig a ddymchwelodd y ddinas, ac i'w drysor ef yn unig y dygwyd yr yspail. Y mae hyn hefyd yn brawf nad cynhyrfiad yr awyr, trwy swn bloeddiadau y bobl, oedd yr achos o syrthiad muriau y ddinas.

Adn. 25. *A hi a drigodd yn mysg Israel hyd y dydd hwn*] Dengys hyn fod llyfr Josua wedi cael ei ysgrifenu tra yr oedd Rahab yn fyw, a hyny yn debygol gan law Josua ei hun; er yn ddiamau y dichon fod llawer o ymyl-nodau wedi ymlusgo ar ol hyny i'r testyn, y rhai, i sylwedyddion arwynebol, a roddant iddo yr ymddanghosiad o fod wedi cael ei ysgrifenu ar ol dyddiau Josua: gwel y rhagymadrodd. Ymddengys i Rahab briodi Salmon, mab Naasson, tywysog o lwyth Juda, ac un o henafiaid Crist: gwel ar pen. ii. 1, a Mat. i. 5. *Genebrand*, gan ddylyn rhyw rabbiniaid, a ddywed mai *Josua* a briododd Rahab; o ba le y casgla *Mr. Berryer*, mai ŵyres o'r enw hwn a briododd Salmon ar ol hyny: gwel ei *Hist. du Peuple de Dieu*, cyf. iii. dal. 41. Ond gan fod hyn oll yn ddibrawf, nyni a gredwn gydag *Usher* mai Rahab y *lletŷwraig* a briododd Salmon. Modd bynag, gan y gwaherddid i'r Israeliaid briodi merched Canaaneaidd, dichon mai dyeithrwraig wedi ymsefydlu yn Jericho oedd Rahab, fel yr haera amrai o'r rabbiniaid; neu gallwn olygu y gwaharddiad hwnw fel yn cyfeirio yn unig at rai heb eu proselytio i'r grefydd Iuddewig: gwel ar Deut. vii. 3.

Adn. 26. *A Josua a'u tynghedodd hwy y pryd hyny*] Ymddengys ei fod ef wedi derbyn hysbysiadau oddiwrth Dduw y cai y ddinas eilunaddolgar hon aros yn gofgolofn barhaus o'r anfoddlonrwydd dwyfol: ac ar ol galw tywysogion a henuriaid y bobl, efe a'u rhwymodd hwynt trwy lw, na chaent byth ei hadeiladu hi; ac yna, yn eu gwydd hwynt, cyhoeddodd felldith ar y neb a gynygiai hyny. Byddai adfeilion arhosol y ddinas hon yn brawf parhaol nid yn unig o anfoddlonrwydd Duw yn erbyn eilunaddoliaeth, ond hefyd o'r wyrth a wnaethai efe ar ran yr Israeliaid; ac am y rhesymau hyn ewyllysiai Duw nad ail adeiledid hi: eto efe a adawodd ddynion i weithrediad eu hewyllys rydd eu hunain, a choffaodd y gosp a gai y neb a anufyddhäai iddo. *Melldigedig gerbron yr Arglwydd*—hyny yw, oddi wrth bresenoldeb Jehofa, a thrwy ei ddedfryd ef. *Fyddo y gŵr a gyfyd ac a adeilado y ddinas hon Jericho*—cyhoeddwyd y felldith hon ar *adeiladwr* Jericho, ac nid ar y rhai a breswylient ynddi ar ol ei hadeiladu. Arferai y dwyreinwyr gyhoeddi melldithion ar bwy bynag a ail adeiladai ddinas a ddystrywiesid mewn rhyfel. Fel hyn y melldithiodd *Agamemnon* bob un a feiddiai ail adeiladu muriau Caerdroia; a *Crœsus*, y rhai a ail adeiladent Sidena; a *Scipio Africanus*, y rhai a gynygient adgyweirio Carthage: gwel Strabo, Cicero, &c. *Yn ei gyntafanedig y seilia efe hi, ac yn ei fab ieuangaf y gesyd efe ei phyrth hi*—y mae hon yn *rheg* hynod; neu gellir yn hytrach ei hystyried fel *rhagfynegiad.* Arwydda y byddai i'r neb a gynygiai adeiladu y ddinas hon *golli* ei holl blant yn y cyfamser, rhwng sylfaeniad a gorpheniad y muriau; a chyflawnwyd hyn yn Hiel y Betheliad, yr hwn a ail adeiladodd Jericho dan deyrnasiad Ahab; canys efe a'i sylfaenodd hi yn Abiram ei gyntafanedig, ac a osododd ei phyrth hi yn Segub ei fab ieuangaf, 1 Bren. xvi. 34. Dygwyddodd hyn yn mhen 550 o flynyddau ar ol i Josua gyhoeddi y felldith. Ond nid ydym yn sicr fod hyn yn cyfeirio at *farwolaeth* y plant ar yr achos hwn, llai o lawer at eu marwolaeth *dreisiol;* canys gallwn ddeall yr hanes fel yn cyfeirio at fynediad *araf* y gwaith yn ei flaen. Ar ol i Hiel ddechreu y gwaith ar enedigaeth ei *gyntafanedig*, nid oedd efe yn alluog i'w orphen cyn geni ei *blentyn olaf*, yn mhen llawer o flynyddau ar ol hyny: a chan fod eu henwau yn cael eu crybwyll, y mae yn dra thebyg, fel y sylwa Clarke, fod yr amser maith rhwng genedigaeth

seilia efe hi, ac yn ei *fab* ieuangaf y
gesyd efe ei phyrth hi.
27 Felly yr Arglwydd oedd gyda
Josua; ac aeth ei glod ef trwy yr
holl wlad.

## PENNOD VII.

OND meibion Israel a wnaethant
gamwedd am y diofryd-beth: ca-
nys Acan mab Carmi, fab Zabdi, fab

---

y ddau yn dra hysbys pan ysgrifenwyd llyfr y Brenhinoedd; ac mai yr yspaid anarferol o amser a dreuliwyd yn y gwaith, pryd y cymerasai lluaws o oediadau poenus le, yw yr hyn ag y cyfeirir ato yn y testyn. Eto y dyb flaenaf yw y debycaf; canys yr oedd yn arswydus i Hiel, yn gystal ag i Acan, ymyraeth â'r diofryd-beth.—Rhaid i ni beidio meddwl i Jericho gael ei hollol esgeuluso o'i dymchweliad gan Josua hyd ddyddiau *Hiel*, os yr un ydyw a 'dinas y palmwydd,' a grybwyllir Deut. xxxiv. 3. Cawn grybwylliad am dani fel cyfaneddle yn Barn. i. 16, yn mhen ychydig amser ar ol marwolaeth Josua; ac am Eglon yn ei chymeryd oddiar yr Israeliaid, Barn. iii. 13. Gorchymynwyd i genadon Dafydd, y rhai a driniwyd yn anmharchus gan Hanun brenin yr Ammoniaid, aros yn Jericho hyd oni thyfai ei barfau, 2 Sam. x. 4, 5. Ymddengys gan hyny fod dinas yn myned dan yr enw hwn yn hir cyn amser Hiel, oddieithr y gallwn feddwl fod *dinas y palmwydd* yn le gwahanol i Jericho, neu fod yr enw *Jericho* yn cael ei roddi i ryw ran arall o'r wlad hòno ar ol i'r ddinas gael ei dyfetha, yr hyn sydd dra thebygol.—Ar ol i Hiel ail adeiladu y ddinas hon, hi a ddaeth i gryn enwogrwydd yn ngwlad Judea. Yr oedd y cylchoedd o offeiriaid yn lletya yno, y rhai a wasanaethent yn eu tro yn y deml: gwel ar Luc x. 30. Yr oedd yno ysgol y proffwydi, â'r hon yr ymwelodd Elias ac Eliseus, 2 Bren. ii. 4, 5, 18. Yn y ddinas hon y darfu i'n Harglwydd iachâu Bartimeus ddall, Luc. xviii. 35; ac yma hefyd y bu yn lletŷa gyda Zaccheus, Luc xix. 1—6. Y mae Jericho yn awr wedi ei llwyr adael bron, trwy na chynwysa ond deg-arhugain neu ddeugain o fwthynod gwaelion, y rhai a wasanaethant yn noddfa i ryw Fooriaid ac Arabiaid truenus, y rhai sydd yn byw yno fel anifeiliaid. Enw presenol y pentref yw *Riha* neu *Rah*, ac y mae yn sefyll ar adfeilion yr hen ddinas.

Adn. 27. *Felly yr Arglwydd oedd gyda Josua*] Yn rhoddi iddo gynorthwy gwyrthiol yn ei holl anturiaethau; ac arweiniodd ef yn naturiol i ddysgwyl hyn oddiwrth yr ymddyddan a fu rhyngddo a Thywysog llu yr Arglwydd, pen. v. 14, &c. Yn ol y Galdeaeg, 'Gair yr Arglwydd oedd gyda Josua,' sef Crist, y tragwyddol Air, yr hwn a fuasai gyda Moses. Nid oes dim yn gwneyd dyn yn fwy gwirioneddol fawr, na chael profion fod Duw gyda ef. *Ac aeth ei glod ef*—am ei ddoethineb a'i wroldeb, *trwy yr holl wlad*—nid yn unig trwy wersylloedd Israel, ond hefyd yn mysg yr holl Ganaaneaid, y rhai, er eu bod yn ei gasâu fel gelyn, eto a roddent glod iddo fel rhyfelwr.

Adfeddyliadau.—(1) Er pan syrthiodd dyn, dylynwyd pechod bob amser â melldith; canys nid yw marwolaeth ddim amgen na chanlyniad pechod. Cafodd Jericho, yr hon oedd wedi ymgaledu i'r eithaf mewn annuwioldeb a drygioni, ei gwneyd yn awr yn siampl arswydus o allu gwyrthiol a dialeddol Duw. Yr oeddynt hwy a'u cymydogion wedi bod yn hir wawdio deddfau a gallu y Goruchaf; eithr y cwmwl dû yr hwn a gododd yn yr Aifft, ac a fu yn hofian ddeugain mlynedd yn yr anialwch, a ffrwydrodd o'r diwedd mewn dialedd ar eu penau. (2) Ond pa fodd y gwnaed hyn? Yr oedd gwŷr Jericho yn dysgwyl gweled ffos yn cael ei chloddio o amgylch eu muriau, a pheiriannau nerthol yn curo yn erbyn eu tyrau, ac yn cael eu dylyn gan holl ddychrynfeydd gwarchäedigaeth arswydol. Eto ni welent ddim ond byddin luosog yn rhodio mewn dystawrwydd o amgylch y ddinas; ac ni chlywent ddim ond udganiad diniwed y cyrn hyrddod. Wedi ymhyfhau wrth yr olygfa hon am chwe diwrnod, diamau eu bod yn dechreu gwawdio dull yr Hebreaid o gario yn mlaen eu gwarchaead. A phwy all draethu y melldithion a fytheirient yn erbyn yr Israeliaid, ac yn erbyn eu Duw! (3) Oddiwrth udganiad y cyrn hyrddod nyni a ddysgwn yn mhellach fod Duw yn fynych yn gweled yn dda weinyddu ei farnedigaethau a gwasgaru ei fendithion trwy foddion dirmygus yn ngolwg dynion. Yr oedd trysor yr efengyl gan yr apostolion mewn llestri pridd, fel y byddai godidogrwydd y gallu o Dduw. Mor aml y mae gweinidogaeth gwas distadl i Dduw yn cael ei bendithio er dychweliad pechaduriaid ac adeiladaeth y saint, tra y mae eiddo y dysgedig a'r hyawdl yn myned heibio yn ddieffaith! Pa fwyaf y byddo dyn yn byw ac yn rhodio yn yr Ysbryd, mwyaf y bydd i Dduw lefaru ynddo a thrwyddo. Tra y byddo pryf yn ymdrechu i ymddarostwng yn ngolwg Duw, efe a fawrygir gan Dduw yn ngolwg y bobl. (4) Ar y seithfed dydd, pryd yr oedd ffydd yr Israeliaid wedi ei chyflawn brofi, a phan yr oedd amser wedi ei ganiatâu i wŷr Jericho geisio am drugaredd i'w heneidiau o leiaf, lleisiodd yr offeiriaid yn eu hudgyrn y seithfed waith, a gwaeddodd y bobl â bloedd uchel, a muriau y ddinas a syrthiasant i lawr odditanodd. Yna aeth Israel i mewn o bob tu ar eu cyfer, gan ladd yr holl drigolion y rhai gan euogrwydd ac ofn oeddynt yn analluog i wneuthur gwrthsafiad. Mewn lle arall gallasai hyn fod yn greulondeb: ond yma, yn enwedig yn awr, rhaid i ogoniant cyfiawnder fod yn gyfartal i ogoniant trugaredd. (5) Yn nghanol y gyflafan arswydus hon cafodd tŷ Rahab, yn yr hwn yr oedd yn gynulledig ei holl dylwyth hi, ei ddiogelu trwy yr arwydd o linyn coch, a thrwy bresenoldeb y ddau yspiwr. Felly, yn mhob dydd o ymweliad, yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef, y rhai sydd â'i nôd ef yn eu talcenau; a'i angylion ef, yn ffyddlon i'w dyledswydd fel yr oedd yr yspiwyr i'w haddewid, a gastellant o'u hamgylch i'w cadw rhag niwed.

PEN. VII. Adn. 1. *Ond meibion Israel a wnaethant gamwedd*] Y mae yn sicr mai *un*

Zera, o lwyth Juda, a gymerodd o'r
diofryd-beth: ac enynodd digllonedd
yr Arglwydd yn erbyn meibion Israel.
2 A Josua a anfonodd wŷr o Jeri-
cho i Ai, yr hon *sydd* wrth Beth-afen,
o du y dwyrain i Bethel, ac a lefarodd
wrthynt, gan ddywedyd, Ewch i fyny,
ac edrychwch y wlad. A'r gwŷr a
aethant i fyny, ac a edrychasant an-
sawdd Ai.
3 A hwy a ddychwelasant at Josua,
ac a ddywedasant wrtho, Nac eled yr
holl bobl i fyny; *ond* yn nghylch dwy
fil o wŷr, neu dair mil o wŷr, a ânt i
fyny, ac a darawant Ai: na phoenwch
yr holl bobl yno; canys ychydig *yd-
ynt* hwy.
4 Felly fe a aeth o'r bobl i fyny yno
yn nghylch tair mil o wŷr: a hwy a
ffoisant o flaen gwŷr Ai.
5 A gwŷr Ai a darawsant yn nghylch
un gŵr ar bymtheg ar hugain o hon-
ynt; ac a'u hymlidiasant *o* flaen y
porth hyd Sebarim, a tharawsant
hwynt yn y goriwaered: am hyny y
toddodd calonau y bobl, ac yr aeth-
ant fel dwfr.
6 ¶ A Josua a rwygodd ei ddillad,
ac a syrthiodd i lawr ar ei wyneb o
flaen arch yr Arglwydd, hyd yr hwyr,

---

yn unig oedd yn euog, ac eto y mae y camwedd yma yn cael ei gyfrif i'r holl gynulleidfa; a'r holl gynulleidfa a ddyoddefasant cyn hir gywilydd a gwarth o'r achos, trwy i'w byddinoedd gael eu maeddu, i unarbymtheg-ar-hugain o wŷr gael eu lladd, ac i fraw cyffredinol ymdaenu trwy yr holl wersyll. Gan eu bod yn un corff, y mae Duw yn priodoli camwedd un i'r oll, nes i'r camwedd gael ei ddatguddio, ac i'r gynulleidfa ymlanhau oddiwrth yr anwiredd trwy weinyddiad gweithred gyhoeddus o gyfiawnder ar y troseddwr. Gwneid hyn i osod pob dyn yn hynod o ochelgar, ac i wneuthur y bobl yn wyliadwrus dros eu gilydd, fel na oddefid ac nad esgusodid pechod yn neb, gan y gallai un trosedd ddwyn i lawr ddigofaint Duw ar yr holl wersyll. *Am y diofryd-beth*—rhan o yspail dinas Jericho, yr hwn yr oedd Duw wedi gorchymyn i'r oll o hono gael ei ddifrodi, neu ei drosglwyddo i drysor yr Arglwydd, pen. vi. 17—19. *Canys Acan mab Carmi*—cafodd Juda ddau fab o Tamar, sef Phares a Zera, Gen. xxx. 30. Zera oedd dad Zabdi, a Zabdi oedd dad Carmi, tad Acan. Ymestyna y pum dyn hyn trwy gyfnod o 265 o flynyddau; ac am hyny casgla Calmet nas gallasent gael plant cyn bod yn 50 neu 55 mlwydd oed. Gelwir yr Acan hwn yn *Acar* yn 1 Cron. ii. 7, mewn rhai ysgriflyfrau, er nad yn mhob un; a Zabdi yn *Zimri*, 1 Cron. ii. 6.

Adn. 2. *A Josua a anfonodd wŷr o Jericho i Ai*] Dyma y ddinas a elwir *Hai*, Gen. xii. 8. Yr oedd hi o du y dwyrain i Bethel, ac o du y gogledd-orllewin i Jericho, o ba le yr ydoedd iddi ddeg neu ddeuddeg milldir. Ymddengys oddiwrth adn. 4, 5, ei bod yn sefyll ar *fryn*, ac yn perthyn i'r Amoriaid, fel y dysgwn oddi wrth adn. 7. Y mae yn dra thebyg ei bod yn le cadarn.

Adn. 3. *Nac eled yr holl bobl i fyny, ond yn nghylch dwy fil o wŷr, neu dair mil*] Yr oedd hunan-hyder a rhyfyg nid ychydig yn y cynghor hwn. Yr oedd Ai, fel yr ymddengys, yn gadarn ei sefyllfa, ac yn cael ei gwarchad gan ddeuddeg mil o wŷr, fel nad oedd dim tebygolrwydd o allu ei chymeryd hi gyda dwy neu dair mil. Modd bynag, goddefodd Duw yn ddoeth i'r cynghor hwn gael ei ddylyn, fel y byddai i bechod Acan gael ei ddwyn i'r goleuni a'i gospi, ac fel y byddai i'r bobl yn gyffredin, y rhai oeddynt yn amlwg wedi ymgodi trwy eu llwyddiant diweddar, gael eu dihuno, eu darostwng, a'u diwygio, a hyny gyda chyn lleied o niwed a gwarth ag a ellid. Canys os darfu maeddiad yr ychydig hyn beri y fath gythruddiad yn Josua a'r henuriaid, ac ond odid yn yr holl lu, y mae yn hawdd dyfalu pa fraw a barasai maeddiad yr holl fyddin.

Adn. 4. *A hwy a ffoisant o flaen gwŷr Ai*] Heb ganddynt wroldeb, fel yr ymddengys, i daraw dyrnod. Ai nid allwn gasglu oddiyma, fel y sylwa Benson, fod buddugoliaeth mewn rhyfel rhwng gwahanol genhedloedd, yn dibynu mwy ar ewyllys Duw nag ar un amgylchiad arall; ac nad oes gan genedl a â i ryfel, wedi ei llwytho â throseddau, fawr o reswm i obeithio am fuddugoliaeth yn y pen draw, neu lwyddiant parhaus?

Adn. 5. *Ac a'u hymlidiasant o flaen y porth hyd Sebarim*] Yr oeddynt yn meddwl y gwnai gwŷr Ai agoryd y pyrth iddynt hwy yn ddiatreg, ac am hyny aethant i fyny yn hyderus; ond ar ymddanghosiad y gelyn hwy a ffoisant, llwyr dorwyd eu rhenciau, a lladdwyd o honynt unarbymtheg-ar-hugain. Dywed Clarke fod *shebarim* yn arwyddo *adwyau* neu *leoedd drylliog*, ac y gall yma gyfeirio at *renciau* yr Israeliaid, y rhai a *ddrylliwyd* gan wŷr Ai; oblegid llwyr orthrechwyd y bobl, er na laddwyd ond ychydig: yr oeddynt wedi eu taraw â dychryn, ac yn ffoi yn y dyryswch mwyaf. Ond tybia Gussetius i'r lle hwn gael ei alw yn *Sebarim* oddiwrth *ddrylliau o graig* ag oeddynt yn wasgaredig yma. *A tharawsant hwynt yn y goriwaered—morad* yw y gair gwreiddiol; a thybia rhai mai *enw lle* ydyw; ereill, ei fod yn arwyddo *ar fachludiad haul;* ac ereill, mai *llethr* y bryn ar yr hwn y safai Ai ydoedd. *Am hyny y toddodd calonau y bobl, ac yr aethant fel dwfr*—llwyr ddigalonasant; a thrwy hyn rhoddasant brawf helaeth nas gallasent hwy byth orchfygu y wlad heb gymhorth goruwchnaturiol Duw.

Adn. 6. *A Josua a rwygodd ei ddillad*] Nid o herwydd y gorchfygiad dibwys hwn, a'i ystyried ynddo ei hun, yr ymofidiai Josua gymaint; ond, (1) Am i galon y bobl doddi, a myned fel dwfr, fel nad oedd nemawr obaith y gwnaent unrhyw wrthsafiad pellach yn erbyn y gelyn. (2) Ac am fod y gorchfygiad hwn yn dangos yn amlwg fod Duw wedi troi ei law yn eu herbyn hwynt. *Ac a syrthiodd i lawr ar ei wyneb*—mewn dwfn ymostyngiad

efe a henuriaid Israel, ac a ddodasant
lwch ar eu penau.
7 A dywedodd Josua, Ah, ah, O
Arglwydd IOR, i ba beth y dygaist y
bobl yma dros yr Iorddonen, i'n rhoddi
ni yn llaw yr Amoriaid, i'n dyfetha?
O na buasem foddlawn, ac *na* thrigasem tu hwnt i'r Iorddonen!
8 O Arglwydd, beth a ddywedaf,
pan dry Israel *ei* war o flaen ei elynion!
9 Canys y Canaaneaid, a holl drigolion y wlad a glywant, ac a'n hamgylchant, ac a dorant ymaith ein henw
oddiar y ddaear: a pha beth a wnai
i'th enw mawr?
10 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd
wrth Josua, Cyfod; paham yr ydwyt
yn gorwedd fel hyn ar dy wyneb?
11 Israel a bechodd, a throseddasant fy nghyfammod a orchymynais
iddynt: cymerasant hefyd o'r diofryd-beth, ïe, lladratasant, a gwadasant; gosodasant hefyd *hyny* yn mysg
eu dodrefn eu hun.
12 Am hyny ni ddichon meibion Israel sefyll yn wyneb eu gelynion, *eithr*
troant *eu* gwar o flaen eu gelynion;
am eu bod yn esgymun-beth: ni byddaf mwyach gyda chwi, oni ddyfethwch
yr esgymun-beth o'ch mysg.
13 Cyfod, santeiddia y bobl, a dywed, Ymsanteiddiwch erbyn y fory:
canys fel hyn y dywed Arglwydd
Dduw Israel; Diofryd-beth *sydd* yn
dy blith di, O Israel: ni elli sefyll yn
wyneb dy elynion, nes tynu ymaith y
diofryd-beth o'ch mysg.

---

a thaer erfyniad; *o flaen arch yr Arglwydd*—nid yn y cysegr, ond â'i wyneb tuag ato; *hyd yr hwyr*—gan barhau yr holl ddiwrnod mewn ympryd a gweddi. *Ac a ddodasant lwch ar eu penau*—rhwygo y dillad, curo y ddwyfron, tynu y gwallt, rhoddi llwch ar y pen, a syrthio i lawr ar y wyneb, oeddynt yr arwyddion arferol o drallod a chyfyngder dwys. Yr oedd y rhan fwyaf o'r hen genhedloedd yn mynegu eu gofid a'u tristwch mewn ffordd gyffelyb: gwel ar Exod. xii. 30.

Adn. 7. *Ah, ah, O Arglwydd Ior*] Y mae geiriau o ddolefau a chyfyngder, neu ocheneidiau, agos yr un yn mhob iaith; a'r rheswm yw, am mai llais syml natur ydynt. Y gair Hebreig yma yw *ahah.* Ymddengys i gŵyn Josua yn yr adnod hon a'r rhai canlynol godi yn benaf oddiwrth ei ofal dwys ef am ogoniant Duw, a'r dyddordeb dwfn a gymerai efe yn achos y bobl. Yr oedd yn teimlo dros filoedd Israel, y rhai a ystyriai efe fel wedi eu gadael i ddinystr; ac efe a deimlai hefyd dros ogoniant Duw, am y gwyddai, os dyfethid Israel, y ceblid enw Duw yn mysg y cenhedloedd: a'i ymliwiadau gyda'i Wneuthurwr, y rhai a feiwyd yn rhy brysur gan rai esbonwyr, fel yn sawrio o ormod hyfdra a diffyg amynedd, sydd yn seiliedig ar eiriau Duw ei hun, Deut. xxxii. 26, 27, ac ar arferiad Moses, yr hwn a ddefnyddiasai ymadroddion cyffelyb ar achlysuron cyffelyb: gwel Exod. v. 22, 23, Num. xiv. 13—18.

Adn. 8. *O Arglwydd, beth a ddywedaf*] Mewn atebiad i waradwyddiadau ein gelynion sarhaus, *pan dry Israel ei war o flaen ei elynion*—fel yn analluog i'w gwrthsefyll?

Adn. 9. *A pha beth a wnai i'th enw mawr*] Yr hwn ar yr achlysur yma a geblir, ac a gyhuddir o anwadalwch, ac o anallu i'w gwrthsefyll hwy, neu i wneuthur i'th bobl y daioni hwnw a fwriedaist iddynt? Y mae enw Duw yn *enw mawr*, goruwch pob enw; a pha beth bynag a ddygwyddo i'n henwau ni, dylem wylio na byddo i hwn gael ei halogi na'i fychanu.

Adn. 10. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Josua*] Ond odid yn ddigyfrwng, fel y gwnai efe gynt wrth Moses; neu, yn ol Le Clerc, trwy Eleazar, yr hwn a wisgai yr Urim a'r Thummim. *Paham yr ydwyt yn gorwedd fel hyn ar dy wyneb*—yn lle myned i geisio diwygio y bobl? Y mae yn eglur nad oedd dim yn ngeiriau Josua ag ydoedd yn atgas gan Dduw, canys nid oes yma ddim cerydd yn cael ei roddi iddo.

Adn. 11. *Israel a bechodd*] Sef un o honynt: ond gwel ar adn. 1; *a throseddasant fy nghyfammod*—hyny yw, torasant ammodau fy nghyfammod, y rhai yr addawsant eu cyflawni; un o ba rai oedd, peidio ymyraeth â'r diofryd-beth. *Cymerasant hefyd o'r diofryd-beth*—er i mi wahardd hyny yn llym; gan feddwl, os na welid hwynt gan eu brodyr, y byddai i minau fod heb sylwi arnynt. *Ie, lladratasant*—yr hyn ag yr oeddwn wedi ei gadw i mi fy hun, pen. vi. 19; *a gwadasant*—haerasant yn rhagrithiol eu bod wedi cadw yn fanwl y gorchymyn a roddais iddynt. *Gosodasant hefyd hyny yn mysg eu dodrefn eu hun*—gan ei ystyried fel rhan o'u heiddo eu hunain. Ymddengys ddarfod i Josua, ar ol dyfetha Jericho, holi pa un a ddygwyd yr arian a'r aur i'r drysorfa, a pha un a ddifrodasant hwy yr holl bethau ereill megys y gorchymynasai Duw; ac iddynt oll ateb yn gadarnhaol. Dichon hefyd i Acan gael ei ddrwgdybio o ddarnguddio rhywbeth, ac, ar ol ei gyhuddo, iddo *wadu.*

Adn. 12. *Am eu bod yn esgymun-beth*] Neu yn felldigedig, trwy fod ganddynt un yn eu plith ag sydd wedi syrthio dan fy melldith. Fel hyn yr oedd yr holl wersyll wedi eu gosod eu hunain tufaes i'r amddiffyniad dwyfol, ac felly yn agored i'r un dinystr ag a berthynai i'r Canaaneaid: gwel ar pen. vi. 18. *Oni ddyfethwch yr esgymun-beth o'ch mysg*—gan eu bod yn awr yn gwybod fod trosedd wedi ei gyflawni yn eu mysg, buasent oll mor euog ag Acan pe na chospasent ef.

Adn. 13. *Cyfod, santeiddia y bobl*] Ymddengys fod Josua yn gorwedd ar ei wyneb ar y ddaear yr holl amser ag y llefarai Duw wrtho: yn awr gorchymynir iddo godi, a *santeiddio* y bobl, hyny yw, peri iddynt ymolchi,

14 Am hyny nesêwch y bore wrth
eich llwythau: a'r llwyth a ddalio yr
Arglwydd, nesäed bob yn deulu; a'r
teulu a ddalio yr Arglwydd, nesäed
bob yn dŷ; a'r tŷ a ddalio yr Argl-
wydd, nesäed bob yn ŵr.
15 A'r hwn a ddelir â'r diofryd-beth
*ganddo*, a losgir â thân, efe ac oll *sydd*
ganddo: o herwydd iddo droseddu
cyfammod yr Arglwydd, ac o her-
wydd iddo wneuthur ynfydrwydd yn
Israel.
16 ¶ Felly Josua a gyfododd yn
fore, ac a ddyg Israel wrth eu llwyth-
au: a llwyth Juda a ddaliwyd.
17 Ac efe a ddynesodd deulu Juda;
a daliwyd teulu y Zariaid: ac efe a
ddynesodd deulu y Zariaid bob yn
ŵr; a daliwyd Zabdi.
18 Ac efe a ddynesodd ei dŷaid ef
bob yn ŵr; a daliwyd Acan mab
Carmi, fab Zabdi, fab Zera, o lwyth
Juda.
19 A Josua a ddywedodd wrth Acan,
Fy mab, atolwg, dyro ogoniant i Ar-
glwydd Dduw Israel, a chyffesa iddo;

---

a dyfod i dymher ac agwedd briodol i glywed barn yr Arglwydd mewn perthynas i'r hyn a wnaed. Gorchymynid hyn fel y byddai i'r euog gael ei ddihuno, a'i ddwyn i wneyd cyfaddefiad rhydd o'i fai. Ac y mae yn rhyfedd na ddarfu iddo ar yr achlysur hwn gyfaddef ei drosedd. Ond y mae hyn i gael ei briodoli i duedd *galon-galedol* pechod, yr hwn a wna i ddynion fyned waeth-waeth; i *falchder* Acan, yr hwn a'i gwnai yn anfoddlon i gymeryd iddo ei hun warth y fath weithred ddrygionus a chywilyddus; ac i'w *dyb ofer*, trwy ba un y gallai feddwl fod ereill yn euog yn gystal ag yntau, ac y byddai i rai o honynt hwy gael eu dal, ac yntau ddianc.

Adn. 14. *Am hyny nesêwch y bore wrth eich llwythau*] Y mae wedi bod yn bwnc o ymholiad difrifol yn mha ddull a thrwy ba foddion y cafodd y *llwyth*, y *teulu*, y *tŷ*, a'r *gŵr* euog eu datguddio. Y mae gan yr Iuddewon lawer o dybiau ar y pen hwn. Y mwyaf rhesymol, yn ol barn rhai, ydyw, ar ol i gynrychiolwyr y llwythau gael eu dwyn gerbron yr archoffeiriad, fod y maen yn y ddwyfroneg yn rhoddi arwydd diatreg trwy golli ei ddysgleirdeb yn ddisymwth. Fel y dywedant hwy, dyma yr hyn a elwir yn ymofyn â Duw trwy *Urim* a *Thummim:* gwel yr adfeddyliadau ar Exod. xxviii. Modd bynag y mae yn debycach, yn marn ereill, i'r cwbl gael ei benderfynu trwy *goelbren;* a darfod i Dduw ddewis y drefn hon i ddal y *llwyth* euog, yn nesaf y *teulu*, yn drydydd y *tŷ*, ac yn olaf y *gŵr*. Y mae hyn yn debyg i'r drefn a ddylynwyd yn etholiad Saul gan Samuel. 'Am hyny,' ebai efe, 'sefwch yr awr hon gerbron yr Arglwydd wrth eich llwythau, ac wrth eich miloedd. A Samuel a barodd i holl lwythau Israel nesâu; a daliwyd llwyth Benjamin. Ac wedi iddo beri i lwyth Benjamin nesâu yn ol eu teuluoedd, daliwyd teulu Matri; a Saul mab Cis a ddaliwyd,' 1 Sam. x. 19—21. Os oedd y coelbren yn cael ei ddefnyddio yn y naill achos, y mae yn debyg ei fod yn cael ei ddefnyddio yn y llall hefyd, gan fod yr holl drefn o fyned yn mlaen yn gwbl gyffelyb. Yr un dull a arferwyd i gael allan pwy a droseddodd orchymyn y brenin, pryd y cafwyd mai Jonathan a fwytasai ychydig o fêl, 1 Sam. xiv. 40—43. Y mae yn dra hysbys i wlad yr addewid gael ei rhanu wrth goelbren yn mysg yr Israeliaid, Num. xxvi. 55, a xxxiii. 54, Deut. i. 38, &c.; ac i'r cylchoedd o offeiriaid gael eu dosbarthu wrth goelbren yn nyddiau Dafydd, 1 Cron. xxiv. 5, &c. A bod hwn yn ddull cyffredin o benderfynu pynciau anhawdd, ac wedi ei osod gan Dduw ei hun, sydd amlwg oddiwrth Lef. xvi. 8, Salm xxii. 18, Diar. xvi. 33, a xviii. 18, Act. i. 26. *A'r llwyth a ddalio yr Arglwydd* —yr hwn a ddanghosid yn euog trwy y coelbren, llywodraethiad pa un oedd oddiwrth yr Arglwydd, (Diar. xvi. 33,) yr hwn a fwrid yn ngwydd yr Arglwydd o flaen yr arch.

Adn. 15. *O herwydd iddo wneuthur ynfydrwydd*] Felly y gelwir pechod yn fynych yn yr ysgrythyr, mewn gwrthgyferbyniad i dyb ofer pechaduriaid, y rhai yn gyffredin a'i cyfrifant ef yn ddoethineb.

Adn. 16. *A llwyth Juda a ddaliwyd*] Y mae traddodiad gan yr Iuddewon, pan ddaliwyd llwyth Juda, i wŷr grymus y llwyth hwnw ddynoethi eu cleddyfau, gan ddywedyd na roddent hwynt yn y wain hyd oni welent y troseddwr yn cael ei gospi, a'r rhai diniwed o honynt wedi eu dieuogi.

Adn. 17. *Ac efe a ddynesodd deulu Juda, &c.*] Nesaodd holl Israel yn LLWYTHAU, a phenodwyd ar un *llwyth;* yna daeth y llwyth hwnw wrth ei DEULUOEDD, a phenodwyd ar un *teulu;* yna daeth y teulu hwnw wrth ei DYEIDIAU, a phenodwyd ar un *tŷaid;* ac yna, wrth i'r tŷaid hwnw ddyfod bob yn WR, penodwyd ar un *gŵr*. *Deulu y Zariaid bob yn ŵr*—neu bob yn *dŷaid*, fel yn ddiamau y dylai fod, ac fel y mae mewn chwe ailun Hebreig, ac yn y cyfieithiad Syriaidd.

Adn. 18. *A daliwyd Acan*] Yma ni a ddysgwn, pa mor ddirgel bynag y gallwn ni guddio ein drygioni, eto fod Duw yn ei wybod, ac y bydd iddo ef yn fuan neu yn hwyr ei ddwyn i oleuni!

Adn. 19. *Fy mab*] Felly y mae efe yn ei alw, i ddangos nad oedd yr ymchwiliad a'r ddedfryd lem yma yn tarddu oddiar ddim casineb at ei berson ef, yr hwn a garai efe fel y câr tad ei blentyn, ac fel y dylai tywysog garu pob un o'i ddeiliaid. *Dyro ogoniant i Arglwydd Dduw Israel*—ar ol i'r gŵr yn awr gael ei ddal, myn Josua iddo gydnabod hollwybodaeth, cyfiawnder, a hawliau JEHOFA, a chyffesu ei drosedd. A diamau fod hyn yn cael ei fwriadu nid yn unig er adeiladaeth i'r bobl, ac amddiffyniad i gyfiawn farn Duw, ond gyda golwg ar ei iachawdwriaeth ef ei hun; o herwydd gan fod ei *fywyd* ef yn awr wedi ei fforffetio i'r gyfraith, yr oedd yr angenrheidrwydd mwyaf am ei ymostyngiad gerbron Duw, fel y gallai ei *enaid* gael ei achub. 'Dyro ogoniant

a mynega yn awr i mi beth a wnaeth-
ost: na chela oddiwrthyf.
20 Ac Acan a atebodd Josua, ac a
ddywedodd, Yn wir myfi a bechais yn
erbyn Arglwydd Dduw Israel; canys
fel hyn ac fel hyn y gwnaethym.
21 Pan welais yn mysg yr yspail
fantell Babilonig dêg, a dau can sicl
o arian, ac un llafn aur o ddeg sicl a
deugain ei bwys; yna y chwennych-
ais hwynt, ac a'u cymerais: ac wele
hwy yn guddiedig yn y ddaear yn
nghanol fy mhabell, a'r arian danynt.
22 ¶ Yna Josua a anfonodd genad-
au; a hwy a redasant i'r babell: ac
wele hwynt yn guddiedig yn ei babell
ef, a'r arian danynt.
23 Am hyny hwy a'u cymerasant
o ganol y babell, ac a'u dygasant at
Josua, ac at holl feibion Israel; ac
a'u gosodasant hwy o flaen yr Argl-
wydd.
24 A Josua a gymerth Acan fab
Zera, a'r arian, a'r fantell, a'r llafn
aur, ei feibion hefyd, a'i ferched, a'i
wartheg, a'i asynod, ei ddefaid hefyd,

---

i Dduw' a arwydda, Gwna gyffesiad trwyadl fel yn ngwydd Duw, ac na chela ddim o'r gwir. Yn y modd hwn, ac yn y geiriau yma, y tynghedai yr Iuddewon y dyn a anesid yn ddall i ddywedyd mewn gwirionedd pwy a'i hiachasai ef; canys cymerent arnynt gredu fod Crist y fath bechadur fel na wnai Duw wyrth trwyddo ef, Ioan ix. 24.

Adn. 20. *Yn wir myfi a bechais yn erbyn Arglwydd Dduw Israel*] Yr unig wir Dduw, yr hwn a'm dewisodd i a holl Israel i fod yn bobl ei ofal a'i serch neillduol. Ymddengys fod hwn yn gyffesiad pur onest a diffuant; a gallwn obeithio i drugaredd gael ei hestyn i'w enaid, tra yr oedd cyfiawnder yn cospi ei gorff.

Adn. 21. *Pan welais yn mysg yr yspail fantell Babilonig dêg*] Heb. *addereth shinar*, 'arwisg Shinar ysblenydd,' neu gostfawr. Ond trwy i Babilon neu Babel gael ei hadeiladu yn ngwastadedd *Shinar*, cafodd y gair yn gyffredin ei gyfieithu *Babilon* yn y lle hwn. Y mae y LXX yn cyfieithu y wreiddiol yn 'ddilledyn têg o amrywiol liwiau;' a'r Vulgate, yn 'fantell ysgarlad.' Tybia Clarke mai *gŵn* brenin Jericho ydoedd hi, am yr arferir yr un gair am frenhinwisg brenin Ninefe, yr hon a ddyosgodd efe i'r dyben i ymostwng gerbron Duw, Jona iii. 6. Ond gwna y Cronicl Samaritanaidd i Acan ddywedyd yma, mai mewn *teml* yn Jericho y cafodd efe hi. Danghosodd Bochart yn helaeth fod y mantelli neu yr arwisgoedd Babilonig yn ysblenydd iawn, ac mewn bri uchel. Yr oeddynt o wahanol liwiau ac arluniau, naill ai wedi eu gwau ynddynt, neu wedi eu brwydweithio ynddynt ar ol i'r brethyn ddyfod o'r gwŷdd. Diamau fod y fantell hon yn un dra hardd a chostfawr, ac mai o herwydd hyny y trachwantwyd hi gan Acan. *A dau gan sicl o arian*—nid mewn arian bathol, ond mewn pwysi, canys hyd yn hyn derbynid a thelid arian wrth y pwys. Yr oedd hyn, yn ol 2*s.* 6*c.* y sicl, yn werth £25 o'n harian ni. *Ac un llafn aur*—y mae y wreiddiol yn arwyddo *tafod aur*, neu lafn o aur yn debyg i lun tafod. Tybia rhai mai *eilun* neu *dduw* oedd y llafn hwn, ac mai *offrymau* iddo oedd y siclau arian. *O ddeg sicl a deugain ei bwys*—yr oedd y siclau hyn, yn ol Clarke, yn werth oddeutu £113 o'n harian ni. *Yna y chwennychais hwynt, ac a'u cymerais*—cawn yma anghraifft nodedig o hynt pechod: (1) Y mae yn myned i mewn i'r *llygaid:* 'Pan welais yn mysg yr yspail fantell Babilonig dêg,' &c. (2) Yn suddo i'r *galon:* 'Yna y chwennychais hwynt.' (3) Yn ysgogi y *llaw:* 'Ac a'u cymerais.' (4) Yn arwain i *guddiad:* 'Ac wele hwy yn guddiedig yn y ddaear.' (5) Yn esgor ar *farwolaeth:* 'A holl Israel a'i llabyddiasant ef â meini.' Yn gyson â hyn y dywed yr apostol: 'Yna chwant, wedi ymddwyn, a esgor ar bechod; pechod hefyd, pan orphener, a esgor ar farwolaeth,' Iago i. 15. Fel hyn y mae un pechod llywodraethol yn profi yn aml yn ddinystr i bersonau a chenhedloedd. Y mae *rhysedd* a *gwastraff* yn profi yn gyffredin yn ddinystr i'n hieuenctid: ac nid anfynych y mae *cynildeb* mewn masnachwyr yn dyfod yn *gybydd-dod* sefydlog mewn henaint. Dyma oedd pechod Acan. Efe a aeth ond odid i dŷ tywysog; ac ar ol lladd y teulu, efe a welai mewn dirgel le fantell ysblenydd wedi ei haddurno âg aur; a gwelai yr arian a'r llafn aur yn gorwedd yn ei hymyl. Ar yr olwg yma trachwant ei galon, yr hwn yr esgeulusasai efe ei farweiddio, a ennillodd yr oruchafiaeth arno. Yr arian a'r aur hyn, meddai efe, a'm dyrchafant uwchlaw fy nghyfoedion; a'r fantell hon a'm hynoda goruwch teuluoedd Israel. Y mae genyf blant; a daw henaint yn mlaen; a dylwn ystyried lles fy nheulu. Cydwybod a atebai, Na chyffwrdd â hwynt: y mae y Duw a holltodd yr Iorddonen, ac a ddymchwelodd gedyrn furiau Jericho, wedi eu cyhoeddi yn felldigedig; a'r cysegr-ladrad hwn a ddyg holl bechodau y ddinas esgymun hon arnat ti a'th dŷ. Gwir, ebai yntau: ond y mae yr Arglwydd yn drugarog; a gallaf edifarhau ar ol hyn, a gwneyd defnydd da o'r trysor. Fel hyn chwant, yr hwn oedd eisioes wedi gorchfygu ei ddeall ef, yn nesaf a orchfygodd ei gydwybod. Felly efe a roddodd yr arian a'r aur yn ei gôd; a chan blygu y fantell, efe a'i cuddiai yn ochelgar nes myned i'w babell.

Adn. 22. *Ac wele hwynt yn guddiedig*] Gwnaeth dwll yn y ddaear yn nghanol ei babell; rhoddodd yr arian yn isaf; plygodd y fantell ond odid am y llafn aur, a rhoddodd hi yn uwchaf; ac yna, ar ol diogelu y fantell rhag i'r ddaear ei llychwino, bwriodd y pridd ar y cyfan, a gwastataodd y llawr.

Adn. 23. *Ac a'u gosodasant hwy o flaen yr Arglwydd*] Wrth ddrws y tabernacl ond odid, lle yr oedd yr arch, a lle yr oedd Josua a henuriaid Israel yn aros am danynt. Wrth eu gosod o flaen yr Arglwydd, yr oeddynt yn cydnabod ei hawl ef ynddynt, ac yn dysgwyl am ei gyfarwyddiadau ef mewn perthynas iddynt.

a'i babell, a'r hyn oll a feddai efe: a holl Israel gydag ef a'u dygasant hwynt i ddyffryn Acor.

25 A Josua a ddywedodd, Am i ti ein blino ni, yr Arglwydd a'th flina dithau y dydd hwn. A holl Israel a'*u*

---

Adn. 24. *A Josua a gymerth Acan, &c.*] 'Dygwyd ef a'i anifeiliaid a'i eiddo i'r dyffryn i'w difa; a'i feibion a'i ferched, yn debygol, i fod yn dystion o farnedigaethau Duw yn cael eu gweinyddu ar eu tad anufydd: gwel adn. 25.'—CLARKE. 'Dygwyd ei blant i fod yn *edrychwyr* yn unig: ni oddefai y gyfraith iddynt hwy ddyoddef.'—GROTIUS. 'Y mae y rhan fwyaf o'r esbonwyr yn barnu i'w blant farw gydag ef.'—GILL. Y mae yn dra thebygol, trwy fod Acan yn hen ŵr, fod ei blant ef wedi tyfu i fyny; a thrwy fod y pethau a ladratasai efe wedi cael eu cuddio yn nghanol ei babell, y mae yn debyg eu bod hwy yn wybodus o'r peth, fel y sicrha y doctoriaid Iuddewig eu bod; ac os nad oeddynt yn gyfranogion o'i drosedd ef, eto yr oeddynt o leiaf yn ei gelu. Dywedir hyn ar y dybiaeth iddynt gael eu llabyddio a'u llosgi. Eithr yn ol y LXX, y rhai ni soníant ddim am ei blant, ni roddwyd neb ond *efe* i farwolaeth. Ac nid yw yn angenrheidiol deall hyd yn nod y testyn Hebreig fel yn sicrhau dim yn mhellach. Dywed, *A holl Israel a'i llabyddiasant* EF *â meini,* (adn. 25,) heb grybwyll dim am ei deulu. A'r hyn a chwanegir ar ol hyny, *Ac a'u llosgasant* HWY *â thân, wedi eu llabyddio â meini,* a ellir ei ddeall am y *gwartheg*, yr *asynod*, a'r *defaid*, y rhai a berthynent i Acan, a'r rhai yr ewyllysiai Duw eu dyfetha, gyda'i babell a phethau ereill, i gynhyrfu arswyd mwy rhag ei drosedd ef. Gyda golwg ar y creaduriaid anifeilaidd, er nad oeddynt yn alluog i bechod, nac i gosp, a elwir yn briodol felly; eto, gan ddarfod eu gwneuthur at wasanaeth dyn, gellir eu dyfetha yn gyfiawn er lles dyn. A chan eu bod yn cael eu lladd beunydd yn ymborth i'n cyrff, diau nas gall ymddangos yn hynod fod iddynt gael eu lladd weithiau er addysg i'n meddyliau, fel y gallom trwy hyny ddysgu natur heintus pechod, yr hwn a sudda greaduriaid diniwed yn ei effeithiau dinystriol.

Adn. 25. *Am i ti ein blino ni, &c.*] *Meh achar-tanu.* Y mae yma gyfeiriad at ystyr enw *Acan* neu *Acar;* a chan mai *achar* a arferir yma, ac nid *achan*, a bod y dyffryn yn cael ei alw dyffryn *Acor* neu *Acar*, adn. 24, ac nid dyffryn *Acan*, o ganlyniad tybiodd rhai mai *Acar* oedd ei enw priodol ef, fel ei darllenir yn 1 Cron. ii. 7, ac mewn rhai ysgriflyfrau a hen gyfieithiadau: gwel ar adn. 1. *A holl Israel a'i llabyddiasant ef â meini*—ond paham y *llabyddiwyd* Acan, pan mai y gyfraith oedd, fod iddo gael ei *losgi â thân?* adn. 15. Barna rhai mai y bobl o honynt eu hunain, oblegid eu digofaint ato, a'u llabyddiasant ef, heb un gyfraith yn gorchymyn hyny; tra y tybia ereill mai ar y sabboth y lladrataodd Acan y fantell, a'r arian, a'r aur; ac felly ddarfod ei *labyddio* am halogi y sabboth, a'i *losgi* am ladrata y diofryd-beth. *Ac a'u llosgasant hwy â thân, wedi eu llabyddio â meini*—'gyda pharch mawr i farn ereill, gofynaf,' ebai Clarke, 'A ellir profi yn dêg oddi wrth y testyn i *feibion* a *merched* Acan gael eu llabyddio i farwolaeth, a'u llosgi, yn gystal a'u tad? Y mae y testyn yn ddiau yn ei adael yn *amheus*, ond yn ymddangos yn hytrach i arwyddo mai *Acan* yn unig a labyddiwyd, ac i'w *eiddo* gael ei losgi â thân. Darlleniad y testyn Hebreig presenol ydyw, 'Llabyddiasant *ef* â meini, a llosgasant *hwy* â thân, wedi *eu* llabyddio â meini.' Y mae fod y rhif *unigol* yn cael ei arferyd yn rhan gyntaf yr adnod, a'r *lluosog* yn yr olaf, yn gadael y mater yn *amheus*. Y mae y Vulgate yn bur eglur: 'Holl Israel a'i llabyddiasant *ef;* a'r hyn oll a feddai a yswyd â than.' Y mae y LXX yn chwanegu hyn a'r darn cyntaf o'r adnod nesaf yn nghyd: 'A holl Israel a'i llabyddiasant *ef* â meini, a chodasant arno *ef* garnedd fawr o gerig.' Y Syriaidd a ddywed yn unig, 'Llabyddiasant *ef* â meini, a'r hyn a berthynai iddo a losgasant hwy â thân.' Yr Anglo-Saxonaidd: 'Llabyddiasant *ef* yno, a llosgasant ei *eiddo*.' Y cyfieithiad Arabaidd yn unig a ddywed, 'Llabyddiasant *ef*, a'i *blant*, a'i *eiddo*.' Yn lle *otham*, 'llosgasant *hwy*,' y mae dau o ysgriflyfrau De Rossi yn darllen *otho*, 'llosgasant *ef*;' pa ddarlleniad, os yn ddilys, a wnai i wahanol aelodau yr adnod gytuno yn well. Dichon ddarfod i *Acan*, ei *wartheg*, ei *asynod*, ei *ddefaid*, ei *babell*, a'i holl *ddodrefn* gael eu dyfetha, ond i'w *feibion* a'i *ferched* gael eu gadael heb eu niweidio. Eithr gellir gofyn, Paham y dygid hwy i'r dyffryn gyda'r lleill? Wel, fel y *gwelent*, ac yr *ofnent*, ac yr attelid hwynt am byth, trwy gospedigaeth eu tad, rhag efelychu ei siampl ef.—Aethym cyn belled a hyn i'r orchwyliaeth bwysig hon, yr hon a berthyna gymaint i *gyfiawnder* a *thrugaredd* Duw, fel y gallwn roddi i bob un ei eiddo. Fod bywyd Acan wedi ei fforffetio i gyfiawnder trwy ei drosedd, nid oes neb yn ei amau: pechodd *ef* yn erbyn deddf adnabyddus a phendant. Nis gallai ei *blant* ddyoddef gydag ef, o achos y gyfraith, Deut. xxiv. 16, oddieithr eu bod yn gyfranogion o'i euogrwydd ef: o hyn nid oes dim prawf; ac y mae y testyn dan sylw, yr hwn a sonia am gosp Acan, yn dra *amheus* cyn belled ag y perthyna i'r pwynt hwn. Un amgylchiad yn cadarnhau y dybiaeth nad oedd y plant yn cael eu cynwys, yw gorchymyn yr Arglwydd, adn. 15: 'A'r *hwn* a ddelir â'r diofryd-beth ganddo, a losgir â thân, efe ac oll sydd ganddo.' Yn awr, gall yr *oll sydd ganddo* fod yn cyfeirio yn ddiau at ei *eiddo*, ac nid at ei *blant;* a byddai i'w gosp ef, a dinystr ei eiddo, ateb holl ddybenion cyfiawnder cyhoeddus, fel cospiad a rhagflaeniad y trosedd; ac y mae trugaredd a chyfiawnder yn gofyn na byddo i'r diniwed ddyoddef gyda'r euog, oddieithr mewn achosion pur anghyffredin, lle y gall Duw oddef i'r rhai cyfiawn neu ddieuog gael eu suddo yn y trallodion cyffredinol hyny trwy y rhai yr ysgubir yr annuwiolion ymaith oddiar wyneb y ddaear. Ond yn yr achos o'n blaen, nid oedd dim angenrheidrwydd o'r fath yma yn dirgymhell hyny, ac am hyny yr wyf fi yn casglu mai Acan *yn unig* a ddy-

llabyddiasant ef â meini, ac a'u llosgasant hwy â thân, wedi eu llabyddio â meini.

26 A chodasant arno ef garnedd fawr o gerig hyd y dydd hwn. Felly y dychwelodd yr Arglwydd oddiwrth lid ei ddigofaint: am hyny y gelwir enw y fan hòno Dyffryn Acor, hyd y dydd hwn.

## PENNOD VIII.

A'R Arglwydd a ddywedodd wrth Josua, Nac ofna, ac na arswyda: cymer gyda thi yr holl bobl o ryfel, a

---

oddefodd, a bod ei edifeirwch a'i gyffes yn ddidwyll a chywir; a thra yr oedd CYFIAWNDER yn gofyn ei *fywyd*, ddarfod i DRUGAREDD gael ei hestyn er iachawdwriaeth ei *enaid*.'—CLARKE. Y mae pawb yn addef i *Acan* ei hun gael ei labyddio, er fod llawer yn meddwl, fel y gwelsom, na labyddiwyd ei *blant* ef: ond y mae rhai yn haeru na losgwyd *ef*, eithr yn unig ei *eiddo*. Modd bynag, dywed y rabbiniaid yn gyffredinol ddarfod ei *losgi* yntau; ac y mae yn eglur fod Duw wedi gorchymyn hyny, adn. 15, er nad oedd y gorchymyn hwnw yn cynwys fod iddo gael ei losgi yn *fyw*.

Adn. 26. *A chodasant arno ef garnedd fawr o gerig*] Yn gofgolofn o'r pechod a'r gosp a grybwyllir yma, fel y byddai i ereill gymeryd rhybydd oddiwrtho ef. Yr oedd beddrod arwron a drwgweithredwyr hynod yn cael eu gwahaniaethu gynt fel hyn; a gorchwyliaethau o'r fath yma a roddasant gyfodiad i'r pentyrau mawrion hyny o gerig a elwir *cairns*, neu garneddau, y rhai a welir mor fynych, yn enwedig yn y gwledydd gogleddol. *Felly y dychwelodd yr Arglwydd oddiwrth lid ei ddigofaint*—ymgymododd âg Israel, gwenodd arnynt eilwaith fel ei bobl, a rhoddodd eu gelynion yn eu llaw hwynt. *Am hyny y gelwir enw y fan hòno Dyffryn Acor*—neu *Ddyffryn Blinder:* gwel ar adn. 25. Y mae dyffryn Acor yn *ddrws gobaith* i'r rhai gwir edifeiriol, Hos. ii. 15; a'r rhai a ânt i lawr yno mewn *blinder*, a ddygir i fyny oddiyno mewn *llawenydd*.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Ymddengys mai hwn oedd y pechod cyntaf ar ol cadw y pasc yn Gilgal; a Duw, yn ol ei arferiad, a osododd gosp neillduol ar y pechod rhyfygus cyntaf ar ol adnewyddu y cyfammod. Israel, wedi ymddyrchafu trwy eu buddugoliaeth yn Jericho, a aethant i fyny i Ai; ond ar ol gweled arfau eu gelynion, hwy a ddigalonasant ac a ffoisant. Felly Samson, ar ol tori ei addunedau, oedd cyn waned a dyn arall. Y rheswm am hyn oll oedd, fod Israel yn un corff, ac yn cydgyfranogi o fendithion yr un cyfammod: am hyny gwelodd Duw yn dda attal ffrwd ei fendithion, fel y byddai i'w bobl gael eu chwilio a'u santeiddio. Mor addysgiadol yw yr hanes yma i'r eglwys Gristionogol! Pan syrthio crefydd i adfeiliad mewn unrhyw le, pryd, yn ol yr addewidion, y dylai fod yn flodeuog, dylid edrych i mewn i'r achos. A ydyw y gweinidog a'r bobl yn byw yn ysbryd santeiddrwydd a chariad? A ydyw y weinidogaeth gyhoeddus yn cael ei gwasgu adref yn ffyddlon? A ydyw yr ieuenctid a'r plant yn cael eu haddysgu yn briodol? A oes llinell santaidd o wahaniaeth yn cael ei thynu rhwng y cymunwyr a llygreddau yr oes, megys twyll, malais, meddwdod, &c.? A ydyw yr holl ddyledswyddau teuluaidd yn cael eu cyflawni, a'r addoliad cyhoeddus yn cael ei ddylyn yn ddyladwy? Canys bydd i bob pechod gwirfoddol ac ymarferol beri i'r Arglwydd guddio ei wyneb, ac attal ffrwd ei fendithion: ni fydd ei bresenoldeb ef gyda'i bobl tra y byddo Acan yn cuddio ei bechod. (2) Bydd i Dduw cyn hir ddatguddio holl bechodau dirgel dynion, a dwyn cosp ar y troseddwyr. Ychydig a feddyliai Acan am y blinder ag yr oedd efe yn ei ddwyn ar ei deulu a'i genedl. Wedi ei ddallu gan awydd am gyfoeth a gwychder, nid oedd ganddo un meddwl y byddai i'r coelbren mor fuan ei nodi ef allan. Och! a fydd i ddynion er mwyn elw, pleser, neu anrhydedd, ymdroi mewn arferion odwyll! Y mae y neb sydd yn gorthrymu y tylawd, neu yn attal rhan o'i drysorau oddiwrth ddybenion crefyddol ac elusengar, fel Acan yn yspeilio ei Dduw. Bydd i gyfoeth na chyrhaeddwyd yn gyfiawn brofi iddo ef a'i deulu yn ddiofryd-beth. (3) Gwelwn yn nesaf effeithiau pechod Acan. Efe a'i cuddiodd, a'i gwadodd, ac ni wnaeth gyffesiad gonest nes i angau edrych yn ei wyneb. Modd bynag, darfu i'w gyfaddefiad diweddar hwnw ddwyn gogoniant i santeiddrwydd a hollwybodaeth Duw, yr hwn ni chyfrif yr anwir yn gyfiawn; esmwythaodd ei gydwybod yntau i raddau, trwy ddadlwythiad ei gwelïau crawnllyd; ac efe a ddanghosodd yr holl ffrwythau edifeirwch ag a ganiatäai yr amgylchiadau. Dylid cynghori troseddwyr yn wastadol i roddi y gogoniant i Dduw, a chymeryd y cywilydd iddynt eu hunain. (4) Oddiwrth Josua a'r henuriaid nyni a ddysgwn pa fodd y dylai gweinidogion crefydd buro yr eglwys oddi wrth y rhai a wnant ynfydrwydd yn Israel, gan eu gadael i Dduw i roddi iddynt edifeirwch neu gosp, fel y byddo da yn ei olwg. Mewn llawer achos y mae dyn yn gwneuthur ei deulu yn blaid yn ei droseddau; canys ymddengys fod euogrwydd yn halogi pob llygad a all edrych arno yn ddiddagrau. Boed i bechod y dyn hwn, yr hwn oedd mor arswydus iddo ef, ac mor addysgiadol i'r byd, fod yn rhybydd i ninau i beidio gadael un duedd ddrygionus heb ei darostwng yn ein calon.

PEN. VIII. Adn. 1. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Josua, Nac ofna, ac na arswyda*] Trwy fod yr anwiredd yn awr wedi ei buro ymaith, o herwydd yr hwn y troisai Duw ei law yn erbyn Israel, nid oedd bellach ddim achos i ofni unrhyw anffawd arall, ac am hyny gorchymynir i Josua ymwroli. *Cymer gyda thi yr holl bobl o ryfel*—ymddengys oddiwrth lythyren yr adnod hon fod *pawb* ag oeddynt yn alluog i ddwyn arfau, i fyned allan o'r gwersyll ar yr achlysur hwn: *deng mil ar hugain* o wŷr detholedig a ffurfient gynllwyn mewn un lle, adn. 3, a *phum mil* a os-

chyfod, dos i fyny i Ai: gwel mi a roddais yn dy law di frenin Ai, a'i bobl, ei ddinas hefyd, a'i wlad.

2 A thi a wnai i Ai a'i brenin, megys y gwnaethost i Jericho ac i'w brenin; eto ei hanrhaith a'i hanifeiliaid a ysglyfaethwch i chwi eich hunain: gosod gynllwyn yn erbyn y ddinas, o'r tu cefn iddi.

3 ¶ Yna Josua a gyfododd, a'r holl bobl o ryfel, i fyned i fyny i Ai: a Josua a ddetholodd ddeng mil ar hugain o wŷr cedyrn nerthol, ac a'u hanfonodd ymaith liw nos:

---

odwyd ganddo mewn lle arall, adn. 12, y rhai oll a aethant i'w safleoedd: ac ymddanghosodd yntau bore dranoeth o flaen Ai gyda'r gweddill o'r fyddin, yr hyn y tybiai gwŷr y ddinas hòno yn naturiol oedd yr oll o'r catrodau Israelaidd, ac o ganlyniad byddent yn hyfach i ddyfod allan i ymosod arnynt. Ond y mae rhai yn meddwl mai 30,000 o wŷr oedd yr oll a ddefnyddid ar yr achlysur hwn; 5,000 o ba rai a osodwyd i gynllwyn o du y gorllewin i'r ddinas, rhwng Bethel ac Ai, adn. 12; a chyd a'r gweddill ymddanghosodd yntau o flaen y ddinas yn y bore. Brenin Ai, wrth weled dim ond oddeutu 25,000 yn dyfod yn ei erbyn, ac yn penderfynu amddiffyn ei ddinas a'i goron i'r eithaf, er na feddai ond deuddeg mil o bersonau yn yr holl ddinas, adn. 25, y rhai nas gallwn feddwl fod eu hanner yn wŷr grymus, a benderfynai anturio rhyfel; ac o ganlyniad daethant allan, a maeddwyd hwy trwy y ddyfais a grybwyllir yn y rhan flaenaf o'r bennod hon.—Y mae rhai esbonwyr enwog yn meddwl fod yr holl fyddin Israelaidd ar waith ar yr achlysur hwn, o herwydd yr hyn a ddywedir yn yr adnod gyntaf hon; ond nid yw hyny mewn un modd yn debygol. (1) Ymddengys na ddetholwyd dim ond 30,000 allan o'r holl wersyll i'r rhyfelgyrch hwn, a'r lleill a wnaed yn barod, rhag y byddai angen am eu cydweithrediad: gwel adn. 3, 10. (2) Ddarfod byddino yr *holl bobl* i'r dyben i wneyd y detholiad hwn, adn. 1. (3) Ddarfod i'r 30,000 hyn gael eu hanfon ymaith liw nos, adn. 3, a Josua ei hun yn aros yn y gwersyll ran o'r noson hòno, adn. 9, gyda bwriad i sefyll wrth ben y fyddin bore dranoeth. (4) O'r 30,000 o wŷr, ddarfod gosod 5,000 i gynllwyn rhwng Bethel ac Ai, o du y gorllewin i'r ddinas, adn. 12; trwy fod y 25,000 wedi gwersyllu o du y gogledd i'r ddinas, adn. 11. (5) Mai yr holl finteioedd a roddwyd ar waith yn erbyn Ai ar yr achlysur hwn oeddynt y rhai o du y gogledd ac o du y gorllewin, adn. 13, y rhai y gwyddom oddiwrth yr adnodau blaenorol ddarfod eu gwneyd i fyny o 30,000 o wŷr detholedig. (6) Ddarfod i Josua fyned yn nghorff y nos, yn debygol cyn tori y dydd, i'r dyffryn rhwng Bethel ac Ai, lle yr oedd y cynllwyn o 5,000 o wŷr wedi eu gosod, adn. 13, a rhoddi iddynt y cyfarwyddiadau priodol pa fodd yr oeddynt i fyned yn mlaen, a chytuno ar yr arwydd ag yr oedd efe i'w roddi iddynt y mynyd ag yr ewyllysiai iddynt weithredu, adn. 18; a darfod iddo, ar ol gwneuthur felly, sefyll wrth ben y 25,000 o wŷr o du y gogledd i'r ddinas; canys ni a'i cawn ef yn eu plith hwy pan ddaeth gwŷr Ai allan, adn. 15, er ei fod y noson o'r blaen yn y dyffryn o du y gorllewin, lle yr oedd y cynllwyn yn gorwedd, adn. 13. (7) Trwy nad oedd Ai ond dinas fechan, yn cynwys yn unig ddeuddeng mil o drigolion, y buasai yn afresymol rhoddi byddin o lawer o gannoedd o filoedd o wŷr ar waith yn eu herbyn. (8) Cadarnheir hyn gan dyb yr yspiwyr, pen. vii. 3, y rhai, oddiwrth fychandra y lle, ychydigrwydd ei drigolion, a'r cyflwr brawychus yn yr hwn eu cawsant, a farnent y byddai byddin o dair mil yn eithaf digon i ddarostwng y lle. (9) Ymddengys i'r farn hon gael ei llunio yn ddigon cywir, trwy nad oedd holl boblogaeth y lle yn cyraedd ond i ddeuddeng mil o bersonau, fel y gwelsom eisioes, adn. 25. (10) Y gallasai hyd yn nod byddin lai fod yn ddigonol i ddarostwng y lle hwn, pe buasai ganddynt hyrdd-beiriannau a'r cyffelyb offerynau, y rhai nid ymddengys fod yr Israeliaid yn eu meddu. (11) Mai dyma y rheswm paham yr oedd Josua yn arferyd yr ystrywiau a adroddir yn y bennod hon. Gan na feddai efe offerynau neu beiriannau priodol, trwy y rhai y gallai obeithio cymeryd y ddinas trwy ymosodiad, (a'i darostwng hi trwy newyn, yr hyn oedd hollol ddichonadwy, a gymerasai ormod o amser,) efe a arferodd ffoedigaeth ffugiol, adn. 15, i dynu y trigolion allan o'r ddinas, fel y gallai y cynllwynwyr, adn. 12, 19, fyned y pryd hyny i mewn, a chymeryd meddiant o honi. (12) Ped aethai efe yn mlaen yn erbyn y ddinas gyda byddin fwy, na fuasai gan y trigolion ddim hyder i anturio rhyfel, ac yr ymgadwasent o ganlyniad o fewn y muriau, yr hyn a siomasai amcan yr Israeliaid, sef cael ganddynt ddyfod allan o'u dinas. (13) Wrth ystyried yr holl amgylchiadau hyn, ymddengys fod 30,000 o wŷr, wedi eu trefnu megys uchod, yn llawn ddigon i ddarostwng y ddinas, ac mai dyma y cwbl o'r cadrodau Israelaidd a roddwyd ar waith ar yr achlysur: gwel CLARKE, a gwel ar yr adnodau isod. Pa nifer bynag o'r rhyfelwyr a gymerwyd fel hyn yn erbyn Ai, gallwn feddwl fod yr yspail i gael ei ranu rhwng yr oll, sef y 600,000.

Adn. 2. *A thi a wnai i Ai a'i brenin megys y gwnaethost i Jericho ac i'w brenin*] Sef gorchfygu a dyfetha y ddinas a'r bobl. Gorchymynwyd hyn i geryddu eu trahausder diweddar, a'r gorfoledd a'r cableddau, y rhai yn ddiamau a gynyrchesid trwy eu llwyddiant, ac i adfywio yr arswyd a'r dychryn a ddaliasai y Canaaneaid trwy ddinystr Jericho, yr hwn oedd wedi lleihau gryn lawer trwy lwyddiant diweddar Ai. *Eto ei hanrhaith, a'i hanifeiliaid a ysglyfaethwch i chwi eich hunain* —mynai Duw iddynt oll ymgyfranogi o yspail Ai, fel y cefnogid hwynt i fyned â'r gwaith yn mlaen; ac fel y byddai iddynt hwy, y rhai a ufyddhasent iddo ef wrth ymattal rhag cymeryd dim yn Jericho, gael eu gwobrwyo yn awr âg ysglyfaeth y ddinas hon.

Adn. 3. *A Josua a ddetholodd ddeng mil ar hugain o wŷr*] Y mae rhai yn meddwl y

4 Ac efe a orchymynodd iddynt,
gan ddywedyd, Gwelwch, chwi a gyn-
llwynwch yn erbyn y ddinas, o'r tu
cefn i'r ddinas: nac ewch yn mhell
iawn oddiwrth y ddinas, ond bydd-
wch bawb oll yn barod.
5 Minau hefyd, a'r holl bobl *sydd*
gyda mi, a nesawn at y ddinas: a
phan ddelont allan i'n cyfarfod ni,
megys y waith gyntaf, yna ni a ffown
o'u blaen hwynt,
6 (Canys hwy a ddeuant allan ar
ein hol ni) nes i ni eu tynu hwynt
allan o'r ddinas; oblegid hwy a ddy-
wedant, Ffoi y maent o'n blaen ni,
fel y waith gyntaf: felly y ffown o'u
blaen hwynt.
7 Yna chwi a godwch o'r cynllwyn,
ac a oresgynwch y ddinas: canys yr
Arglwydd eich Duw a'i dyry hi yn
eich llaw chwi.
8 A phan ennilloch y ddinas, llosg-
wch y ddinas â thân: gwnewch yn ol
gair yr Arglwydd. Gwelwch, mi a
orchymynais i chwi.
9 ¶ Felly Josua a'u hanfonodd; a
hwy a aethant i gynllwyn, ac a aros-
asant rhwng Bethel ac Ai, o du y
gorllewin i Ai: a Josua a letyodd y
noson hòno yn mysg y bobl.
10 A Josua a gyfododd yn fore, ac
a gyfrifodd y bobl; ac a aeth i fyny,
efe a henuriaid Israel, o flaen y bobl,
*tuag at* Ai.
11 A'r holl bobl o ryfel, y rhai *oedd*
gydag ef, a aethant i fyny, ac a nes-
asant; daethant hefyd gyferbyn â'r
ddinas, a gwersyllasant o du y gog-
ledd i Ai: a glŷn *oedd* rhyngddynt
hwy ac Ai.
12 Ac efe a gymerth yn nghylch pum
mil o wŷr, ac a'u gosododd hwynt i

---

dylasai y rhif hwn fod yn 3,000, neu o fwyaf yn 5,000, fel yn adn. 12, am y tybiant nas gallai byddin fwy orwedd i gynllwyn am ddiwrnod cyfan rhwng *Bethel* ac *Ai;* ac mai gwall wrth adysgrifenu oedd ei osod yn 30,000: gwel *Houbigant*, *Geddes*, *Boothroyd*, *&c.* Eithr gwel ar adn. 1.

Adn. 4. *Chwi a gynllwynwch yn erbyn y ddinas o'r tu cefn*] Nid oedd Ai i'w chymeryd trwy wyrth, fel y cymerasid Jericho: rhaid iddynt hwy yn awr arferyd eu doethineb eu hunain. Y mae Duw ei hun yn peri iddynt gymeryd y ddinas trwy ystryw; ac felly gallwn fod yn sicr fod gwneuthur yr un fath yn beth cyfreithlon mewn rhyfeloedd ereill. Ond dylid sylwi, nad oedd yma un cytundeb yn cael ei dori, un llw neu addewid yn cael ei halogi, nac un anwiredd yn cael ei ddywedyd: nis gall dim felly fod yn oddefadwy, na chael ei esgusodi mewn unrhyw ryfel nac amgylchiad. Nid oedd yma ddim yn cael ei gelu gan yr Israeliaid ond eu cynghorau eu hunain, y rhai yn ddiau na feddai eu gelynion hawl i'w gwybod; nid oedd dim yn cael ei ledrithio na'i ffugio ond enciliad, yr hyn nid oedd yn un arwydd angenrheidiol mewn modd yn y byd o'u hanallu hwy i gynal eu hymosodiad, nac o'u bwriad i beidio ei adnewyddu. Buasai i synwyr cyffredin, pe llywodraethesid gwŷr Ai ganddo, ddysgu iddynt hwythau fod ar eu gwyliadwriaeth; ac naill ai ymgadw tufewn i'w caerau, neu o leiaf beidio rhuthro allan yn fyrbwyll a rhyfygus ar ol byddin ag y gwyddent ei bod yn llawer lluosocach na hwy.

Adn. 5—7. *Minau hefyd, a'r holl bobl sydd gyda mi, &c.*] Sef y 25,000, fel y tybia rhai: eithr barna ereill mai y fyddin o 5,000 oedd gyda Josua o *flaen* y ddinas, a bod y 25,000 gweddill yn gorwedd *tu cefn* i'r ddinas. Diau mai y fyddin *leiaf* oedd y debycaf i dynu y trigolion allan ar eu hol hwynt, ac mai y *fwyaf* oedd yr addasaf i'w hattal yn ol i'r ddinas, ac i gymeryd meddiant o honi. Ond gwel ar adn. 1.

Adn. 8. *A phan ennilloch y ddinas, llosgwch y ddinas â thân*] 'Y mae yn debyg nad yw hyn yn meddwl dim mwy na bod iddynt gyneu tân yn y ddinas, mwg pa un a fyddai yn arwydd eu bod wedi ei chymeryd hi. O blegid gan fod yspail y ddinas i gael ei ranu rhwng y bobl, buasai raid i'r holl eiddo gael ei ddifa pe llosgasent hwy y ddinas ei hun yn awr; canys ni ddarfu i'r pum mil o wŷr aros yno i waredu dim, gan iddynt yn ddiatreg fyned allan i ymosod ar wŷr Ai y tu cefn iddynt.'—Clarke. Modd bynag, y mae yn eglur iddynt o'r diwedd losgi yr holl ddinas yn garnedd dragywydd, a'i gwneuthur yn ddiffeithwch hollol, adn. 28.

Adn. 9. *Rhwng Bethel ac Ai*] Gwel ar adn. 17.

Adn. 10. *A Josua a gyfododd yn fore, ac a gyfrifodd y bobl*] Nid yr holl bobl ond odid, yr hyn oedd yn afreidiol, ac a fuasai yn awr yn gofyn mwy o amser nag a ellid ei hebgor; eithr y rhan hòno o'r fyddin ag y bwriadai efe ei chymeryd gydag ef. Ac ymddengys iddo wneuthur hyn, fel y byddai yn amlwg fod gorchfygiad Ai wedi ei effeithio heb golli un bywyd, ac fel y byddai iddynt gael eu cefnogi trwy hyny i ymddiried yn Nuw, a myned rhagddynt yn benderfynol a hyf yn y gwaith o ddarostwng y Canaaneaid. Ond tybia Clarke mai yr ystyr yw, 'efe a *ymwelodd* â'r bobl, *vaiyiphkod eth haam*—a fwriodd olwg dros eu rhesau, i edrych a oedd pob peth mewn perffaith barodrwydd, fel, os byddai eu heisiau, y gellid eu harwain yn mlaen i'r ymosodiad;' ac efe a dybia y bydd i'r golygiad yma symud peth o'r anhawsder ag sydd yn codi oddiwrth adn. 1, 3, 10, wrth eu cydmharu â rhanau ereill o'r bennod hon. *Ac a aeth i fyny, efe a henuriaid Israel*—sef eu prif ynadon a'u llywodraethwyr hwy dan Josua. Y rhai hyn ond odid a aethant i fyny gyda Josua a'i fyddin, i ofalu am fod i'r anifeiliaid ac anrhaith y ddinas, y rhai a roddwyd gan Dduw yn ysglyfaeth i holl Israel, gael eu rhanu yn gyfiawn ac uniawn rhwng y rhai a aethant i ryfel a'r lleill o'r bobl.

gynllwyn rhwng Bethel ac Ai, o du y
gorllewin i'r ddinas.
13 A'r bobl a osodasant yr holl
wersyllau, y rhai *oedd* o du y gogledd
i'r ddinas, a'r cynllwynwyr o du y
gorllewin i'r ddinas: a Josua a aeth
y noson hòno i ganol y dyffryn.
14 ¶ A phan welodd brenin Ai *hyny*,
yna gwŷr y ddinas a frysiasant, ac a
fore-godasant, ac a aethant allan i
gyfarfod Israel i ryfel, efe a'i holl
bobl, ar amser nodedig, ar hyd wyneb
y gwastadedd: canys ni wyddai efe
*fod* cynllwyn iddo o'r tu cefn i'r ddi-
nas.
15 A Josua, a holl Israel, *fel pe*
tarawsid hwy o'u blaen hwynt, a ffoi-
sant ar hyd yr anialwch.
16 A'r holl bobl, y rhai *oedd* yn y
ddinas, a alwyd yn nghyd, i erlid ar
eu hol hwynt: a hwy a erlidiasant
ar ol Josua, ac a dynwyd oddiwrth y
ddinas.
17 Ac ni adawyd gŵr yn Ai, nac
*yn* Bethel, a'r nad aethant allan ar ol
Israel: a gadawsant y ddinas yn ag-
ored, ac erlidiasant ar ol Israel.
18 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth
Josua, Estyn y waewffon *sydd* yn dy
law tuag at Ai: canys yn dy law di
y rhoddaf hi. A Josua a estynodd y
waewffon *oedd* yn ei law tua'r ddinas.
19 A'r cynllwynwyr a gyfodasant
yn ebrwydd o'u lle, ac a redasant,
pan estynodd efe ei law: daethant
hefyd i'r ddinas, ac ennillasant hi; ac
a frysiasant, ac a losgasant y ddinas
â thân.
20 A gwŷr Ai a droisant yn eu hol,
ac a edrychasant; ac wele, mwg y
ddinas a ddyrchafodd hyd y nefoedd;
ac nid *oedd* ganddynt hwy nerth i ffoi
yma nac acw: canys y bobl y rhai a
ffoisent i'r anialwch, a ddychwelodd
yn erbyn y rhai oedd yn erlid.
21 A phan welodd Josua a holl Is-

---

Adn. 11, 12. *A'r holl bobl o ryfel*] Sef y rhai hyny o honynt ag oeddynt gyda Josua: gwel ar adn. 1.

Adn. 13. *A Josua a aeth y noson hòno i ganol y dyffryn*] I roddi cyfarwyddiadau ond odid i'r fyddin a gynllwynai yno. Tyb dduwiol y dysgedig Esgob Patrick ydyw, iddo fyned i'r dyffryn ei hunan i weddio am fendith ar ei anturiaethau; ac ni cheisiodd yn ofer.

Adn. 14. *A phan welodd brenin Ai hyny*] Hyny yw, pan hysbyswyd iddo fod y ddinas wedi ei gwarchae gan yr holl wersyllau o du y gogledd, adn. 13; *yna gwŷr y ddinas*—sef brenin Ai, a llawer o'i ryfelwyr; canys yr oedd ereill o honynt wedi eu gadael yn y ddinas, adn. 16. *Ar amser nodedig*—ar yr awr benodol ag y cytunwyd arni gan y brenin a'i bobl. Dichon eu bod wedi penodi yr awr fore ag y rhyfelasant arni y dydd o'r blaen gyda'r fath lwyddiant, gan edrych arni fel awr lwyddiannus.

Adn. 15. *A Josua a holl Israel, &c.*] Cyn gynted ag yr ymddanghosodd brenin Ai a rhan o'i fyddin ar y maes, parodd Josua i'w wŷr ffoi; *ar hyd yr anialwch*—neu, fel y mae Mr. Chais yn ei gyfieithu, *tua'r anialwch*, neu i'r gwastadedd ag ydoedd yn gwahanu Ai oddiwrth Jericho, fel pe buasent yn ofni gwynebu y gwarchawdlu.

Adn. 16. *A'r holl bobl y rhai oedd yn y ddinas*] Sef y gweddill o'r rhyfelwyr, y rhai a adewsid ar ol i amddiffyn Ai: gwel ar adn. 14, 24.

Adn. 17. *Ac ni adawyd gŵr yn Ai nac yn Bethel*] Ag a ydoedd yn addas i ryfel: gwel ar adn. 24. Barna rhai ddarfod dwyn prif nerth *Bethel* i *Ai* cyn hyn, fel y lle cadarnaf i wneuthur gwrthsafiad, trwy nad oedd Bethel ond oddeutu tair milldir oddiwrth Ai, a'i bod ond odid heb ei hamgaeru yn dda. Felly yr oedd Ai yn cynwys ar yr achos hwn holl ryfelwyr Bethel, yn gystal a'i byddinoedd a'i thrigolion ei hun. Tybia ereill mai rhuthro allan o'u dinas, fel yn erbyn gelyn cyffredin, a wnaethai y Betheliaid wrth ganfod yr Israeliaid yn ffoi: ond wrth weled gwŷr Ai yn cael eu maeddu, a'r ddinas yn cael ei chymeryd, iddynt ddychwelyd i Bethel, yr hon ni farnai Josua yn addas ymosod arni y pryd hyn. Oddi wrth Barn. i. 24, cawn fod Bethel yn ddinas gaerog y pryd hyny yn nwylaw y Canaaneaid, ac iddi gael ei chymeryd gan dŷ Joseph.

Adn. 18. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Josua, Estyn y waewffon*] Tybia Clarke fod gan Josua *fflag* neu *lumman* ar ben ei waewffon, yr hon y gellid yn hawdd ei gweled o gryn bellder; ac mai *lledu* neu *chwyfio* hon oedd yr arwydd ag y cytunwyd arno rhyngddo ef a'r cynllwynwyr; (gwel ar adn. 1, sylw 6;) ac wrth weled y fflag neu y lumman yma yn chwyfio, ddarfod i'r cynllwynwyr gyfodi a myned i mewn i'r ddinas, a chyneu y tân ag y cytunwyd arno o'r blaen, adn. 8. Y mae y gair Hebreig *kidon*, a gyfieithir yma gwaewffon, yn arwyddo hefyd *tarian*, a deonglir ef felly gan y Vulgate. Gallai hon, os wedi ei gwneyd o bres neu ddur gloyw, gael ei gweled o bellder mawr o herwydd ei dysgleirder: ond gwel ar adn. 26.

Adn. 19. *Ac a losgasant y ddinas*] Sef rhan o honi, digon i godi mwg, i roddi arwydd i'w brodyr o'u llwyddiant. Ond yn sicr nid yr oll o honi, am y buasent felly yn colli yr ysglyfaeth a ganiatasai Duw iddynt: gwel ar adn. 8.

Adn. 20. *Nid oedd ganddynt hwy*] Sef gwŷr Ai, y rhai oeddynt yn y dychryn mwyaf ar y gwastadedd; *nerth i ffoi yma nac acw*—wrth weled fod ei dinas wedi ei chymeryd, a'u bod hwy eu hunain yn nghanol eu gelynion, a bod eu gwragedd a'u plant a'u heiddo wedi syrthio yn ysglyfaeth i'r Israeliaid; yn ganlynol i'r hyn yr oeddynt wedi brawychu gymaint fel na allent wneuthur unrhyw wrthsafiad.

Adn. 21. *A hwy a ddychwelasant*] Sef yr

rael i'r cynllwynwyr ennill y ddinas,
a dyrchafu o fwg y ddinas, yna hwy
a ddychwelasant, ac a darawsant wŷr
Ai.
22 A'r lleill a aethant allan o'r ddi-
nas i'w cyfarfod; felly yr oeddynt yn
nghanol Israel, y rhai hyn o'r tu yma,
a'r lleill o'r tu acw: a tharawsant
hwynt, fel na adawyd *un* yn ngwedd-
ill nac yn ddiangol o honynt.
23 A brenin Ai a ddaliasant hwy
yn fyw; a dygasant ef at Josua.
24 Pan ddarfu i Israel ladd holl
breswylwyr Ai yn y maes, yn yr an-
ialwch lle yr erlidiasent hwynt, a
*phan* syrthiasent hwy oll gan fin y
cleddyf, nes eu darfod; yna holl Is-
rael a ddychwelasant i Ai, a tharaw-
sant hi â min y cleddyf.
25 A chwbl a'r a syrthiasant y
dwthwn hwnw, yn wŷr ac yn wrag-
edd, *oeddynt* ddeuddeng mil; *sef* holl
wŷr Ai.
26 Canys ni thynodd Josua ei law
yn ei hol, yr hon a estynasai efe gyd
a'r waewffon, nes dyfetha holl drigol-
ion Ai.
27 Yn unig yr anifeiliaid, ac an-
rhaith y ddinas, a ysglyfaethodd yr
Israeliaid iddynt eu hun; yn ol gair
yr Arglwydd, yr hwn a orchymynasai
efe i Josua.
28 A Josua a losgodd Ai, ac a'i
gwnaeth hi yn garnedd dragywydd,
*ac* yn ddiffeithwch hyd y dydd hwn.
29 Ac efe a grogodd frenin Ai ar
bren hyd yr hwyr: ac wedi machlud
haul, y gorchymynodd Josua iddynt
ddisgyn ei gelan ef oddiar y pren, a'i
bwrw i ddrws porth y ddinas; a go-
sodasant garnedd fawr o gerig arni
hyd y dydd hwn.

---

Israeliaid, y rhai a ffugiasant ffoi, adn. 15; hyny yw, troisant yn ol yn erbyn gwŷr Ai, y rhai oedd yn eu hymlid.

Adn. 22. *A'r lleill a aethant allan o'r ddinas i'w cyfarfod*] Sef y cynllwynwyr, y rhai oeddynt yn awr mewn meddiant o'r ddinas.

Adn. 23. *A brenin Ai a ddaliasant hwy yn fyw*] Ac a gadwasant i farwolaeth fwy gwarthus, adn. 29.

Adn. 24. *Yna holl Israel*] Sef y ddwy fintai o 5,000 a 25,000, *a ddychwelasant i Ai*—heb neb yn awr yn cynyg eu hattal; *a tharawsant hi â min y cleddyf*—rhaid fod hyn yn cyfeirio at y gwragedd a'r plant a'r hen bobl a adewsid ar ol; canys y mae yn debyg ddarfod i'r holl wŷr grymus ruthro allan pan dybiasant fod yr Israeliaid wedi ffoi, adn. 16.

Adn. 25. *Ddeuddeng mil*] Trwy nad oedd holl drigolion Ai, a chymeryd i mewn y gwragedd a'r plant, ond deuddeng mil, y mae yn debyg nad oedd nifer eu rhyfelwyr uwchlaw tair neu bedair mil.

Adn. 26. *Canys ni thynodd Josua ei law yn ei hol*] Yr oedd ef nid yn unig yn *gadfridog*, ond hefyd yn *llummanwr* i'w fyddin ei hun; a pharhaodd yn y gwaith hwn tra y parhaodd yr holl ryfel. Y mae rhai esbonwyr yn deall hon ac adn. 18 yn *ffugyrol*, fel yn arwyddo ddarfod i Josua barhau mewn *gweddi* ar Dduw am lwyddiant ei fyddinoedd; ac na pheidiodd efe â gweddio nes gorchfygu byddinoedd Ai, a chymeryd a dinystrio y ddinas. Y mae y gair Hebreig *kidon*, yr hwn a gyfieithwn ni *gwaewffon*, yn cael ei gyfieithu gan y Vulgate *clypeum, tarian;* a rhaid addef yr ymddengys ei fod yn meddu yr ystyr hwn mewn amrai ranau o'r ysgrythyr: gwel 1 Sam. xvii. 6, 45, Job xxxix. 23. Ond y mae yn ddigon amlwg hefyd ei fod yn meddwl *gwaewffon*, neu ryw fath o *arf ymosodol*, mewn manau ereill: gwel Job xli. 29, Jer. vi. 23. 'Gan hyny,' ebai Clarke, 'nis gallaf fi feddwl fod iddo unrhyw ystyr *allegol*, megys yr un a briodolir i gynaliad dwylaw Moses, (Exod. xvii. 10—12,) yr hyn yr addefir yn gyffredin fod iddo ystyr ysbrydol.'

Adn. 27. *Yn unig yr anifeiliaid, ac anrhaith y ddinas*] Megys yr arian a'r aur, y trysorau a'r gwisgoedd, yn nghyda'r dodrefn; *a ysglyfaethodd yr Israeliaid iddynt eu hun*—yn achos Jericho yr oedd y rhai hyn oll wedi eu diofrydu i ddinystr, ac am hyny yr oedd yn feius cymeryd dim yn perthyn i'r ddinas, fel y gwelsom eisioes; ond yn yr achos o'n blaen rhoddwyd yr anifeiliaid a'r anrhaith i'r gorchfygwyr yn benodol trwy orchymyn Duw, adn. 2.

Adn. 28. *A Josua a losgodd Ai*] Sef ar ol ei hysglyfaethu. Darfu iddo yn awr losgi yr holl ddinas, yr hon ni losgwyd ond rhan o honi o'r blaen, adn. 19. *Ac a'i gwnaeth hi yn garnedd dragywydd*—pan ddywed yr Hebreaid fod peth yn parhau yn *dragywydd*, arwydda yn fynych ei fod yn parhau am amser maith iawn, a dim mwy: gwel ar Gen. xvii. 8. Fel hyn ni a gawn fod dinas Ai wedi cael ei hail adeiladu, ac yn cael ei thrigiannu yn amser Ezra a Nehemia: gwel Ezra ii. 28, Neh. xi. 31. *Hyd y dydd hwn*—meddylir i'r darn hwn gael ei chwanegu gan law ddiweddarach: gwel y rhagymadrodd.

Adn. 29. *Ac efe a grogodd frenin Ai ar bren*] Aethai y brenin allan wrth ben ei wŷr, a chymerasid ef yn garcharor, adn. 23; ac ar ol i'r frwydr fyned drosodd, parwyd ei grogi, ond odid ar ol iddo yn gyntaf gael ei lindagu, neu mewn rhyw ffordd arall gael ei amddifadu o'i fywyd, fel yn yr achos a grybwyllir pen. x. 26; canys yn yr amseroedd hyny nid oedd yn arferiad grogi dynion yn fyw. *Ac wedi machlud haul*—nid oedd yn gyfreithlon adael celan dros nos ar bren, Deut. xxi. 23. Dywed y LXX i frenin Ai gael ei grogi ar *bren dwbl*, yr hyn ond odid a arwydda bren *fforchog*, neu rywbeth ar lun *croes*. *A gosodasant garnedd fawr o gerig arni*—sef ar ei gelan ef, yr hyn oedd yn arferiad cyffredin ar y fath achlysur yn mhob gwlad, yn yr holl hen amseroedd, fel y gwelsom eisioes yn achos Acan, pen. vii. 26.

30 ¶ Yna Josua a adeiladodd allor
i Arglwydd Dduw Israel yn mynydd
Ebal.
31 Megys y gorchymynasai Moses
gwas yr Arglwydd i feibion Israel, fel
y mae yn ysgrifenedig yn llyfr cyf-
raith Moses, allor o gerig cyfain, y
rhai ni ddyrchafasid haiarn arnynt: a
hwy a offrymasant arni boeth-offrym-
au i'r Arglwydd, ac a aberthasant eb-
yrth hedd.
32 Ac efe a ysgrifenodd yno ar y
meini gopi o gyfraith Moses, yr hon
a ysgrifenasai efe yn ngwydd meibion
Israel.
33 A holl Israel, a'u henuriaid, eu
swyddogion *hefyd*, a'u barnwyr, oedd
yn sefyll oddeutu yr arch, gerbron yr
offeiriaid y Lefiaid y rhai oedd yn
dwyn arch cyfammod yr Arglwydd,
yn gystal yr estron a'r priodor: eu
hanner *oedd* ar gyfer mynydd Gariz-
im, a'u hanner ar gyfer mynydd Ebal;
fel y gorchymynasai Moses gwas yr
Arglwydd o'r blaen fendithio pobl
Israel.
34 Wedi hyny efe a ddarllenodd
holl eiriau y gyfraith, y fendith a'r
felldith, yn ol y cwbl *sydd* ysgrifen-
edig yn llyfr y gyfraith.
35 Nid oedd air o'r hyn oll a or-
chymynasai Moses, a'r nas darllen-
odd Josua gerbron holl gynulleidfa
Israel, a'r gwragedd, a'r plant, a'r
dyeithr yr hwn oedd yn rhodio yn
eu mysg hwynt.

---

Adn. 30. *Yna Josua a adeiladodd allor*] Gwnaed hyn mewn ufydd-dod i orchymyn pendant Duw, Deut. xxvii. 1—8. *Yn mynydd Ebal*—sef ar ol y buddugoliaethau a adroddir yn pen x a xi, a'r oll a ddygwyddodd yn pen. xv—xvii: gwel WELLS a PATRICK. Gan fod mynydd Ebal yn agos i *Sichem*, ac yn bell iawn o *Ai*, gallwn feddwl na wnaed yr hyn a adroddir yma nes iddynt feddiannu y wlad o amgylch Sichem. Yr oedd allor Duw i'w dodi mewn *un lle*, Deut. xii. 13, 14; a phenodwyd *mynydd Ebal* i fod y lle hwnw, Deut. xxvii. 4, 5; yr hwn hefyd a ymddengys i fod yn dra addas, fel, lle y cyhoeddid melldithion y gyfraith yn erbyn pechaduriaid, y gallai fod yno hefyd arwyddion a moddion o ras, o heddwch, ac o gymod â Duw, i symud y melldithion hyny, ac i gaffael bendith Duw i bechaduriaid.

Adn. 31. *Offrymasant arni boeth-offrymau, &c.*] Ac felly adnewyddasant am y trydydd tro eu cyfammod â Duw.

Adn. 32. *Ac efe a ysgrifenodd yno ar y meini*] Nid ar feini yr allor, y rhai oeddynt i fod yn eirwon a dilathr, adn. 31; ond ar feini ereill, llyfn a chalchedig, fel y mae yn amlwg oddiwrth Deut. xxvii. 2. *Gopi o gyfraith Moses*—'nid yn sicr o holl Bumllyfr Moses, canys pa feini neu amser a fuasai yn ddigon i hyn? ond y rhanau mwyaf pwysig o'r gyfraith, ac yn enwedig cyfraith y Deg Gorchymyn.'—BENSON. '*Mishneh tozath*, yr *ailadroddiad o'r gyfraith;* hyny yw copi o'r *bendithion a'r melldithion*, fel y gorchymynwyd gan Moses: nid copi o'r Deg Gorchymyn, fel y dychymyga rhai; nac o lyfr y Deuteronomium, fel y meddylia ereill; llawer llai o'r Pumllyfr oll; eithr o'r rhan hòno yn unig yr hon a gynwysai y bendithion a'r melldithion, a'r hon oedd i'w darllen ar yr achlysur pwysig hwn, Deut. xxvii. 3.'—CLARKE. Gwel ar adn. 35.

Adn. 33. *A holl Israel*] Sef yr holl gynulleidfa, yn hen ac ieuanc, yn wryw a benyw. *Eu hanner oedd ar gyfer mynydd Garizim*—gwel ar Deut. xxvii. 12, &c.

Adn. 34. *Wedi hyny*] Wedi i'r allor gael ei hadeiladu, ac i'r meini gael eu calchu ac ysgrifenu arnynt; *efe a ddarllenodd*—hyny yw, a orchymynodd i'r offeiriaid neu y Lefiaid ddarllen, Deut. xxvii. 14; er y tybia rhai i Josua hefyd ddarllen. *Holl eiriau y gyfraith, y fendith a'r felldith*—tybia rhai fod y 'fendith a'r felldith' yn cael eu crybwyll yma, nid mewn ffordd o *eglurhad*, fel pe na buasai y gyfraith ddim ond bendithion a melldithion; ond mewn ffordd o *chwanegiad*, i ddangos fod y rhai hyn hefyd wedi cael eu darllen yn chwanegol at eiriau y gyfraith.

Adn. 35. *Nid oedd air o'r hyn oll a orchymynasai Moses, a'r nas darllenodd Josua*] 'Gan hyny efe a ddarllenodd nid y bendithion a'r melldithion yn unig, fel y meddylia rhai; eithr yr holl gyfraith, fel yr arferid pan y byddai holl Israel, yn wŷr a gwragedd, wedi eu cynull yn nghyd.'—BENSON. *Gerbron holl gynulleidfa Israel, a'r gwragedd a'r plant*—yr oedd yn angenrheidiol i *bawb* wybod eu bod dan yr un rwymedigaeth i ufyddhau. Y mae hyd yn nod y *gwragedd* yn cael eu dwyn yn mlaen, nid yn unig o herwydd eu rhwymedigaeth bersonol, ond o herwydd mai iddynt hwy yn benaf yr ymddiriedwyd addysgiad y plant. Y mae y *plant* hefyd i fod yn dystion o'r orchwyliaeth bwysig hon, fel y byddai i ofn iachusol rhag digio Duw gael ei wasgu yn gynar, dyfal, a dwys ar eu calonau: gwel Deut. xxxi. 12, 13. *A'r dyeithr*—sef y proselytiaid, canys nis gallwn feddwl fod neb arall gyda hwy y pryd hyn.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Gellir gofyn, 'Gan fod Duw wedi addaw rhoddi *Ai* yn nwylaw yr Israeliaid, pa angen oedd arnynt am ddefnyddio cynifer o wŷr a chynifer o ystrywiau i'w darostwng hi?' I hyn gellir ateb, y myn Duw i ddyn ddefnyddio y doethineb a'r gallu â pha rai y cynysgaethodd efe ef, yn holl ddybenion pwysig bywyd; ddarfod iddo ei gynysgaethu â'r galluoedd hyny i'r perwyl hwn; ac y byddai yn annghyson â'i fwriad grasol ef iddo helpu dyn ar unrhyw bryd yn y fath fodd fel ag i wneuthur y galluoedd a roddasai efe iddo yn ddiddefnydd. (2) Yn unig yn y defnyddiad o foddion cyfreithlon y mae genym reswm i ddysgwyl bendith a chymhorth Duw. Sylwodd un o'r tadau, 'Er i Dduw wneyd

## PENNOD IX.

WEDI clywed *hyn* o'r holl frenhinoedd, y rhai *oedd* o'r tu yma i'r Iorddonen, yn y mynydd, ac yn y gwastadedd, ac yn holl lanau y môr mawr, ar gyfer Libanus; *sef* yr Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r Canaaneaid, a'r Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r Jebusiaid;

2 Yna hwy a ymgasglasant ynghyd i ymladd yn erbyn Josua, ac yn erbyn Israel, o un-fryd.

3 ¶ A thrigolion Gibeon a glywsant yr hyn a wnaethai Josua i Jericho ac i Ai.

4 A hwy a wnaethant yn gyfrwys, ac a aethant, ac a ymddangosasant fel cenadon: cymerasant hefyd hen sachlenau ar eu hasynod, a hen gostrelau gwin, wedi eu hollti hefyd, ac wedi eu rhwymo,

5 A hen esgidiau baglog am eu traed, a hen ddillad am danynt; a holl fara eu lluniaeth oedd sych *a* brithlwyd.

6 Ac a aethant at Josua i'r gwer-

---

dyn hebddo ei hun, ni fydd iddo ei achub hebddo ei hun;' ac am hyny y mae *cydsyniad ewyllys* a *chydweithrediad gallu* dyn ei hun â Duw yn anhebgorol angenrheidiol er ei gadwraeth a'i achubiaeth. Y cydweithrediad hwn yw yr ammod fawr, *sine qua non*, ar ba un y bydd i Dduw gynorthwyo neu achub. 'Eithr ai nid ceisio *haeddu* iachawdwriaeth trwy ein gweithredoedd ein hunain yw hyn?' Nage: canys y mae hyny yn annichonadwy, oddieithr y gallwn brofi fod yr holl alluoedd meddyliol a chorfforol ag sydd genym wedi dyfod *oddiwrthym* ac *o honom* ein hunain, a'n bod yn eu cynal yn *annibynol* ar allu a haelioni ein Creawdwr; a bod pob gweithred o eiddo y rhai hyn o werth *anfeidrol*, i'w gwneuthur yn gyfwerth â'r nefoedd ag yr ewyllysiwn ei phwrcasu. Nis gall estyn y llaw i dderbyn elusen gŵr haelionus byth gael ei ystyried yn *bridwerth* am yr elusen a roddir. Saif y gair hwnw byth yn wirionedd yn ei holl ranau, *Crist yw* AWDWR *iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a* UFYDDHANT *iddo*, Heb. v. 9.

PEN. IX. Adn. 1. *Wedi clywed hyn o'r holl frenhinoedd*] Ymddengys oddiwrth yr hanes yma eu bod wedi clywed am ddymchweliad *Jericho* ac *Ai* yn mharthau pellaf y wlad; a'u bod yn ofni arfau yr Israeliaid yn gyffredinol; a bod y gwahanol arglwyddiaethau neu yr îs-lywodraethau, i'r rhai y rhanwyd y wlad, gan deimlo eu diogelwch eu hunain mewn perygl, yn penderfynu gwneuthur amddiffyniad eu gwlad yn achos cyffredin. Dyma oedd y cam cyfrwysaf a allent ei gymeryd yn eu hamgylchiadau hwy, ac felly ymgynghreiriasant i'r dyben i roddi attaliad ar hynt yr Israeliaid. *Yn holl lanau y môr mawr*—sef Môr-y-canoldir, glanau yr hwn a breswylid gan y Pheniciaid, y Tyrusiaid, y Sidoniaid, a'r Philistiaid. Y mae yn dra thebygol i'r holl rai hyn ymuno â'r Canaaneaid er eu diogelwch cyffredin.

Adn. 2. *Yna hwy a ymgasglasant ynghyd*] Er eu bod yn llawer o frenhinoedd o wahanol genhedloedd, ac yn ddiamau o wahanol bleidiau, ac wedi bod yn amrafaelio yn fynych â'u gilydd, eto y maent oll yn penderfynu ymuno yn erbyn Israel. O na ddysgai Israel hyn gan y Canaaneaid, sef aberthu hunan-lesâd er mwyn y lles cyffredin, a dodi heibio bob gelyniaeth yn eu plith eu hunain fel y gallont ymuno o un fryd yn erbyn pechod, y gelyn cyffredin!

Adn. 3. *A thrigolion Gibeon a glywsant*] Ymddengys mai y rhai hyn yn unig oeddynt heb ymuno â'r cynghreirwyr. Meddylir mai prif-ddinas yr Hefiaid oedd Gibeon. Wrth ddosbarthu y tir syrthiodd i ran Benjamin, pen. xviii. 25, a rhoddwyd hi wedi hyny i'r offeiriaid, pen. xxi. 17: gwel ar pen. x. 2. Dywed Eusebius fod tref o'r enw hwn yn ei amser ef, bedair milldir o du y gorllewin i Bethel.

Adn. 4. *A hwy a wnaethant yn gyfrwys*] Goddefir cyfrwysdra o'r fath yma gan bob cenedl, ac ystrywiau mewn rhyfel a ystyrir oll fel yn gyfreithlon. Y mae naw o bob deg o'r buddugoliaethau a ennillir, fel y sylwa Clarke, yn cael eu priodoli i *ystryw:* y mae pob ochr yn eu harferyd, ac am hyny nis gall neb eu condemnio. Collwyd llawer o amser a llafur yn yr ymofyniad, 'Ai ni ddywedodd y Gibeoniaid gelwydd?' Do, yn ddiau; ond pa beth yw hyny i ni? Nid yw gair Duw yn eu canmol am hyny, nac yn eu dal allan fel siamplau i ni. Gwnaethant *hwy* yr hyn a wnaethai unrhyw genedl arall yn eu hamgylchiadau, ac nid oes genym ni ddim i'w wneyd â'u siampl. Pe buasent yn dyfod at yr Israeliaid, ac yn ymostwng yn syml heb wrthsafiad na thwyll, buasai yn llawer gwell iddynt. *Ymddangosasant fel cenadon*—fel teyrn-genadon wedi eu hanfon o wlad bell. *Cymerasant hefyd hen sachlenau ar eu hasynod, a hen gostrelau gwin*—gan ffuantu eu bod wedi bod yn teithio amrai ddyddiau; a bod eu sachau, a'r costrelau o grwyn geifr, yn y rhai y carient eu gwin a'u dwfr, wedi treulio allan gan feithder y daith. Mr. Bruce, yr ymdeithydd Abyssiniaidd, a eilw y costrelau hyn *girbashes.* Y maent yn cael eu gwneuthur yn gyffredin o ledr cryf, a'u gwnïo fel ag i ddal unrhyw wlybedd.

Adn. 5. *A hen esgidiau baglog am eu traed*] Neu esgidiau *clytiog.* Cymerent arnynt fod eu sandalau wedi eu treulio allan gan daith hir ac anhawdd, a'u bod wedi gorfod eu clytio yn fynych ar hyd y ffordd; a bod eu *dillad* hefyd wedi eu treulio yn deneu; a bod yr hyn oedd yn weddill o'u *bara* wedi myned yn *sych a brithlwyd*—wedi ysmotio gan henaint; neu, fel y mae mewn hen gyfieithiad Saesonig, wedi ei *dyllu* yn aml gan y pryfed a fagasent ynddo trwy feithder yr amser ag y buasai yn eu sachau.

Adn. 6. *O wlad bell y daethom*] 'Mewn gwirionedd, nid oedd dim ond naw milldir.'—

syll i Gilgal; a dywedasant wrtho ef,
ac wrth wŷr Israel, O wlad bell y
daethom: ac yn awr gwnewch gyf-
ammod â ni.
7 A gwŷr Israel a ddywedasant
wrth yr Hefiaid, Nid hwyrach dy fod
yn ein mysg yn trigo; pa fodd gan
hyny y gwnaf gyfammod â thi?
8 A hwy a ddywedasant wrth Jo-
sua, Dy weision di *ydym* ni. A Josua
a ddywedodd wrthynt, Pwy *ydych?*
ac o ba le y daethoch?
9 A hwy a ddywedasant wrtho, Dy
weision a ddaethant o wlad bell iawn,
o herwydd enw yr Arglwydd dy
Dduw: canys ni a glywsom ei glod
ef, a'r hyn oll a wnaeth efe yn yr
Aifft;
10 A'r hyn oll a wnaeth efe i ddau
frenin yr Amoriaid, y rhai *oedd* o'r tu
hwnt i'r Iorddonen; i Sehon brenin
Hesbon, ac i Og brenin Basan, yr
hwn oedd yn Astaroth.
11 Am hyny ein henuriaid ni, a
holl breswylwyr ein gwlad, a lefar-
asant wrthym ni, gan ddywedyd, Cy-
merwch luniaeth gyda chwi i'r daith,
ac ewch i'w cyfarfod hwynt; a dy-
wedwch wrthynt, Eich gweision yd-
ym: yn awr gan hyny gwnewch gyf-
ammod â ni.
12 Dyma ein bara ni: yn frwd y
cymerasom ef yn lluniaeth o'n tai y
dydd y cychwynasom i ddyfod atoch;
ac yn awr, wele, sych a brithlwyd
yw.
13 Dyma hefyd y costrelau gwin a
lanwasom yn newyddion; ac wele,
hwynt wedi hollti: ein dillad hyn
hefyd a'n hesgidiau a heneiddiasant,
rhag meithied y daith.
14 A'r gwŷr a gymerasant o'u hym-

---

Bunting. *Ac yn awr gwnewch gyfammod â ni*—Heb. *kirethu lanu berith*, 'torwch neu wahenwch yr aberth cyfammodol gyda ni.' Ymddengys oddiyma fod gan baganiaeth y pryd hyn ei hebyrth, a bod cyfammodau yn cael eu cadarnhau ganddynt trwy aberthu i wrthddrychau eu haddoliad.

Adn. 7. *Hwyrach dy fod yn ein mysg yn trigo*] Sef yn y wlad hon, ac felly dy fod o'r bobl hyny ag y gwaherddir i ni wneyd unrhyw gyfammod â hwynt: gwel Exod. xxiii. 32, a xxxiv. 12, Deut. vii. 2. Y mae yn rhyfedd i wŷr Israel feddwl hyn, gan i'r Gibeoniaid ymddwyn mor gyfrwys; ac y mae yr un mor ryfedd, gan fod y fath feddwl ganddynt, iddynt ymddwyn mor anochelgar.

Adn. 8. *Dy weision di ydym ni*] Yn dymuno gwneuthur cyfammod â thi ar unrhyw ammodau. Ymddengys mai dyma yr unig atebiad a roddasant hwy i ofyniad henuriaid Israel; a rhoddasant hwn i Josua, nid i'r henuriaid, gan eu bod yn gweled mai Josua oedd y cadfridog. *Pwy ydych? ac o ba le y daethoch?*—i'r cwestiynau hyn o eiddo y cadfridog teimlent eu hunain yn rhwym i roddi atebion cyfeiriol; a gwnant hyny yn bur gyfrwys, trwy gymysgedd o *wir*, *celwydd*, a *rhagrith*.

Adn. 9. *O herwydd enw yr Arglwydd dy Dduw*] Y maent yn cymeryd arnynt eu bod wedi gwneuthur y daith hon ar gyfrif crefyddol; ac fel yn arwyddo fod ganddynt y parch mwyaf i Jehofa, gwrthddrych addoliad yr Israeliaid: hyn oedd *ragrith*. *Canys ni a glywsom ei glod ef*—hyn oedd *wir:* yr oedd hanes y rhyfeddodau a wnaethai Duw yn yr Aifft, a gorchfygiad Sehon ac Og, wedi cyraedd dros holl wlad Canaan; ac o herwydd hyn yr oedd y trigolion yn frawychus. A'r Gibeoniaid, gan wybod nas gallent hwy sefyll lle y syrthiasai y fath fyddinoedd cryfion, a ewyllysient wneyd yr Israeliaid yn gyfeillion iddynt.

Adn. 10. *A'r hyn oll a wnaeth efe i ddau frenin yr Amoriaid*] Y maent yn gyfrwys yn crybwyll y pethau hyny yn unig a wnaethpwyd ryw amser yn ol, heb son dim am hollti yr Iorddonen, neu ddinystrio Jericho ac Ai, megys pe buasent yn byw mor bell fel nad oedd clod y pethau hyny wedi eu cyraedd hwy eto.

Adn. 11. *Am hyny ein henuriaid ni*] Casgla rhai oddiwrth hyn nad oedd ganddynt frenin: gwel ar pen. x. 2.

Adn. 12, 13. *Dyma ein bara ni; yn frwd y cymerasom ef, &c.*] Yr oedd hyn oll, a'r hyn a ganlyn hyd ddiwedd adn. 13, yn *gelwydd*, wedi ei lunio yn unig i dwyllo yr Israeliaid; a hyn a wnaent i gadw eu bywydau eu hunain, gan eu bod yn dysgwyl y rhoddid holl drigolion Canaan i'r cleddyf.

Adn. 14. *A'r gwŷr a gymerasant o'u hymborth*] I edrych a oedd efe, fel y dywedent hwy, yn sych a brithlwyd. Neu gwnaethant hyn, yn ol barn llawer, mewn ffordd o *gyfeillgarwch;* canys ystyrid *cydfwyta* bob amser, yn ngwledydd y dwyrain, yn arwydd o gyfeillgarwch digyfnewid; ac y mae y rhai a fwytânt hyd yn nod *halen* gyda'u gilydd, yn eu teimlo eu hunain wedi eu rhwymo trwy hyny mewn cyfammod bythol. Ond y darlleniad ar ymyl y ddalen yw, *derbyniasant y gwŷr er mwyn eu hymborth;* ac ni ddylai y darlleniad hwn, ebai Clarke, gael ei wrthod ar frys. *Ac nid ymgynghorasant â genau yr Arglwydd*—gwnaethant gyfammod â'r Gibeoniaid heb ymgynghori â Duw trwy yr Urim a'r Thummim, yr hyn oedd yn dra beius ynddynt, gan ei bod yn weithred *wladwriaethol*, ac yn dal cysylltiad agos âg awdurdod ac anrhydedd Duw eu Brenin. Er fod yn debygol, pe buasent hwy yn ymgynghori â Duw, y cydsyniasai efe i arbed y Gibeoniaid; eto dylasai hyny gael ei wneyd gyda mwy o ocheliad, gan eu rhwymo ar yr un pryd i dderbyn y wir grefydd. Yn mhob gorchwyl pwysig dylem ninau ymgynghori â Duw trwy ei air a gweddi. Mynych y mae ein gorchwylion yn aflwyddo, am nad ydym yn 'ymgynghori â genau yr Arglwydd.' Pe baem yn ein holl

borth hwynt, ac nid ymgynghorasant â genau yr Arglwydd.

15 Felly Josua a wnaeth heddwch â hwynt, ac a wnaeth gyfammod â hwynt, ar eu cadw hwynt yn fyw: tywysogion y gynulleidfa hefyd a dyngasant wrthynt.

16 Ond yn mhen y tridiau wedi iddynt wneuthur cyfammod â hwynt, hwy a glywsant mai cymydogion iddynt *oeddynt* hwy, ac *mai* yn eu mysg yr oeddynt yn aros.

17 A meibion Israel a gychwynasant, ac a ddaethant i'w dinasoedd hwynt y trydydd dydd: a'u dinasoedd hwynt *oedd* Gibeon, a Cephira, Beeroth *hefyd*, a Ciriath-jearim.

18 Ond ni tharawodd meibion Israel mo honynt hwy; oblegid tywysogion y gynulleidfa a dyngasai wrthynt myn Arglwydd Dduw Israel: a'r holl gynulleidfa a rwgnachasant yn erbyn y tywysogion.

19 A'r holl dywysogion a ddywedasant wrth yr holl gynulleidfa, Ni a dyngasom wrthynt i Arglwydd Dduw Israel: am hyny ni allwn ni yn awr gyffwrdd â hwynt.

20 Hyn a wnawn ni iddynt hwy: Cadwn hwynt yn fyw, fel na byddo digofaint arnom ni; o herwydd y llw a dyngasom wrthynt.

21 A'r tywysogion a ddywedasant wrthynt, Byddant fyw (ond byddant yn tori cynud, ac yn tynu dwfr i'r holl gynulleidfa) fel y dywedasai y tywysogion wrthynt.

22 ¶ Yna Josua a alwodd arnynt; ac a lefarodd wrthynt, gan ddywedyd, Paham y twyllasoch ni, gan ddywedyd, Pell iawn *ydym* ni oddiwrthych; a chwithau yn preswylio yn ein mysg ni?

23 Yn awr gan hyny melldigedig ydych; ac ni ddianc un o honoch rhag bod yn *gaeth*-weision, ac yn tori cynud, ac yn tynu dwfr i dŷ fy Nuw.

---

ffyrdd yn ei gydnabod ef, caem hwynt yn fwy esmwyth, diogel, a llwyddiannus.

Adn. 15. *Felly Josua a wnaeth heddwch â hwynt*] Neu a gytunodd i'w derbyn hwynt i gysylltiad cyfeillgar â'r Israeliaid, ac i arbed eu bywydau a'u meddiannau: ac ymrwymodd tywysogion Israel at hyny, gan ei gadarnhau â llw. *Ac a wnaeth gyfammod â hwynt*—gan mai yr un geiriau a arferir yma ag yn adn. 6, gallwn feddwl i'r cyfammod hwn gael ei wneyd yn y ffordd gyffredin, trwy i aberth gael ei offrymu ar yr achlysur, a'i waed gael ei dywallt gerbron yr Arglwydd: gwel ar Gen. xv. 10, &c.

Adn. 16. *Ond yn mhen y tridiau, &c.*] Gellid yn hawdd gael allan y twyll yn yr amser byr hwn, trwy nad oedd Gibeon yn mhell oddi wrth Gilgal: gwel ar adn. 6.

Adn. 17. *A meibion Israel—a ddaethant i'w dinasoedd hwynt*] Y mae yn debygol, pan gawsant allan y twyll, i Josua anfon mintai i chwilio eu gwlad, ac i edrych pa ddefnydd a ellid ei wneyd o honi wrth gario y rhyfel yn mlaen â'r Canaaneaid. Bu rhai o'r dinasoedd a grybwyllir yma mewn bri mawr wedi hyn yn mhlith yr Israeliaid; a dewisodd Duw wneuthur un o honynt, sef *Ciriath-jearim*, yn drigfa i arch y cyfammod am ugain mlynedd, yn nheyrnasiad Saul a Dafydd.

Adn. 18. *A'r holl gynulleidfa a rwgnachasant*] Yn unig o achos eu bod wedi eu hamddifadu o *anrhaith* y Gibeoniaid! Yr oeddynt yn awr dan lawn ddylanwad ysbryd ysglyfaethus, a gwelai Duw eu tuedd at hyn; ac am hyny, ar amserau neillduol, efe a waharddai iddynt yspail y dinasoedd gorchfygedig, fel yn achos Jericho.

Adn. 19. *Ni a dyngasom wrthynt*] Er i'r Israeliaid gael eu *twyllo* yn yr achos hwn, ac i'r cyfammod gael ei wneyd ar dybiaeth benodol ag y profwyd wedi hyny na feddai un sail mewn gwirionedd, ac o ganlyniad fod yr holl ymrwymiad o du yr Israeliaid twylledig yn cael trwy hyny ei ddiddymu; eto, am fod y tywysogion wedi *bwyta gyda hwynt*, offrymu *aberth cyfammodol*, a *thyngu i* JEHOFA, nid ystyrient eu hunain yn rhydd i dori ammodau y cytundeb, cyn belled ag y perthynai i *fywydau* y Gibeoniaid. Fod eu hymddygiad yn hyn yn dra boddhaol gan Dduw sydd amlwg oddiwrth hyn, nad yw Josua mewn un man yn cael ei *feio* am wneyd y cyfammod hwn, ac arbed y Gibeoniaid; ac i Saul, yr hwn yn mhen 400 o flynyddau ar ol hyn a dybiai ei fod ef a'r Israeliaid wedi eu rhyddhau oddi wrth y rwymedigaeth yma, ac o ganlyniad a orthrymodd ac a ddyfethodd y Gibeoniaid, gael ei *gospi* am ddiddymu y cynghrair hwn: gwel 2 Sam. xxi. 2—9, Ezec. xvii. 18, 19. Y mae hyn yn profi nad oedd y gorchymyn i ddyfetha y Canaaneaid mor *ddiammodol* ag y meddylir yn gyffredin; ac y dylai gael ei ddeall ond odid fel yn cyfeirio at ddinystr *bodolaeth wladwriaethol* y cenhedloedd Canaaneaidd, yn hytrach nag at ddinystr eu *bywydau:* gwel ar Deut. xx. 10—17.

Adn. 20. *Fel na byddo digofaint arnom ni o herwydd y llw*] Canys y mae anudoniaeth yn drosedd o'r trydydd gorchymyn: gwel ar Exod. xx. 7. Y mae y neb a gadarnhao ei addewid â llw, yn erfyn am ddialedd dwyfol arno ei hun os tyr efe ei addewid yn wirfoddol, ac y mae ganddo reswm i ddysgwyl y cymer cyfiawnder dwyfol ef ar ei air.

Adn. 21. *Ond byddant yn tori cynud*] Sef coed neu danwydd; *ac yn tynu dwfr i'r holl gynulleidfa*—at wasanaeth Duw yn y tabernacl, adn. 23. Ond tybia rhai mai math ar ymadrodd diarebol yw hwn, yn arwyddo y cyflwr isaf o gaethwasanaeth, er y dichon iddo yma gael ei ddeall yn llythyrenol hefyd: gwel ar adn. 23.

Adn. 22. *Yna Josua a alwodd arnynt*] Y

24 A hwy a atebasant Josua, ac a ddywedasant, Yn ddiau gan fynegi y mynegwyd i'th weision, ddarfod i'r Arglwydd dy Dduw orchymyn i Moses ei was roddi i chwi yr holl wlad hon, a dyfetha holl drigolion y wlad o'ch blaen chwi; am hyny yr ofnasom ni yn ddirfawr rhagoch am ein heinioes, ac y gwnaethom y peth hyn.
25 Ac yn awr, wele, ni yn dy law di: fel *y byddo* da ac union yn dy olwg wneuthur i ni, gwna.
26 Ac felly y gwnaeth efe iddynt; ac a'u gwaredodd hwynt o law meibion Israel, fel na laddasant hwynt.
27 A Josua a'u rhoddodd hwynt y dwthwn hwnw yn gymynwyr coed, ac yn wehynwyr dwfr, i'r gynulleidfa, ac i allor yr Arglwydd, hyd y dydd hwn, yn y lle a ddewisai efe.

---

mae yn debyg fod nid yn unig y cenadon, ond henuriaid Gibeon hefyd, yn wyddfodol yn awr.

Adn. 23. *Yn awr gan hyny melldigedig ydych*] Y mae yn amlwg nad oes dim ond *caethwasanaeth barhaus* yn gynwysedig yn melldithiad y Gibeoniaid, fel yn eiddo Cam a'i hiliogaeth, Gen. ix. 25. Dygwyd hwynt dan deyrnged i'r Israeliaid, cyflawnent y swyddau isaf, diddymwyd eu bodolaeth wladwriaethol, ac ni oddefid iddynt ymgorffori â'r Israeliaid. A gallwn feddwl yn rhesymol mai dyma oedd bwriad Duw gyda golwg ar yr holl genhedloedd Canaaneaidd, ebai Clarke: y rhai *nid* ymwrthodent â'u heilunaddoliaeth, &c., oeddynt i gael eu dyfetha; y rhai a *wnaent*, oeddynt i gael eu cadw yn fyw, ar yr ammod o ddyfod dan deyrnged, a gwasanaethu fel caethweision: gwel ar Deut. xx. 17. *Yn tori cynud, ac yn tynu dwfr*—yr oedd gwarthusrwydd y cyflwr hwn yn gorwedd nid yn ei lafurusrwydd neu ei galedrwydd, ond yn ei fod yn waith cyffredin *benywod*, os oedd yr hen arferion yn mhlith yr un bobl yn gyfryw ag a ffynant yn awr. Y mae yr ymdeithwyr yn y gwledydd hyny yn gosod allan *gasglu tanwydd*, a *chario dwfr*, fel gwaith neillduol y *benywod*. Oddiwrth yr amgylchiad yma ymresyma MR. HARMER fel hyn: 'Nid ymddengys fod chwerwder dedfryd y Gibeoniaid yn gynwysedig yn nghaledi y wasanaeth a erchid iddynt, canys arferai *gwragedd* a *phlant* gyflawni yr hyn a ofynid ganddynt; ond yn eu difreiniad oddiwrth wasanaeth briodol *dynion*, sef dwyn arfau; a'u dedfrydiad hwy a'u hiliogaeth am byth at waith *benywod*. Peidio eu derbyn fel *cynghreiriaid* ydoedd chwerw; eu *diarfogi* hwy y rhai oeddynt wedi bod yn rhyfelwyr, a'u dedfrydu at waith *benywod*, ydoedd chwerwach; eithr estyn y diraddiad hwn at eu *hiliogaeth*, ydoedd y chwerwaf o'r cwbl. Nid rhyfedd dywedyd eu bod yn yr amgylchiadau hyn wedi eu *melldithio*.'—Sylwadau, cyf. iv. dal. 297. *I dŷ fy Nuw*—y wasanaeth hon yn unig a grybwyllir yma, am mai hi oedd eu gwasanaeth barhaus, yn gyntaf yn y tabernacl, ac wedi hyny yn y deml, oddiwrth yr hyn, fel y tybia rhai, y gelwid hwy 'Nethiniaid,' 1 Cron. ix. 2, Ezra ii. 43; tra y darfu i'w gwasanaeth i'r 'holl gynulleidfa,' adn. 21, i fesur mawr beidio ar ol i'r Israeliaid gael eu gwasgaru i'w gwahanol breswylfeydd. Ond gwel ar adn. 26.

Adn. 24. *Am hyny yr ofnasom ni yn ddirfawr rhagoch am ein heinioes*] Hunan-gadwraeth, yr hon yw deddf gryfaf natur, a ddysgai iddynt y mesurau hyny a fabwysiadwyd ganddynt; a dadleuant hyn fel y *cymhelliad* i'w hymddygiad.

Adn. 25. *Wele ni yn dy law di*] Yn hollol dan dy awdurdod; *fel y byddo da ac union yn dy olwg wneuthur i ni*—pa beth bynag a orchymyna cyfiawnder a thrugaredd i ti ei wneuthur i ni, gwna ef. Dysgwylient *gyfiawnder*, o herwydd iddynt *dwyllo* yr Israeliaid; ond dysgwylient *drugaredd* hefyd, am ddarfod eu gyru i arferyd y ddyfais hon rhag colli eu bywydau. Y mae yr apeliad hwn at Josua yn llawn destlusrwydd a rheswm cryf. Boed i ninau yr un modd ymostwng o flaen ein Gwaredwr bendigedig, a dywedyd, 'Wele ni yn dy law di: gwna â ni fel y byddo da yn dy olwg. Yn unig achub ein heneidiau: dyro i ni ein heinioes yn ysglyfaeth, a gad i ni dy wasanaethu di yn ol dy ewyllys!'

Adn. 26. *Ac felly y gwnaeth efe iddynt*] Hyny yw, efe a ymddygodd tuag atynt yn ol cyfiawnder a thrugaredd. Efe a'u gwaredodd hwynt o law meibion Israel, fel na laddasant hwynt—dyma *drugaredd;* ac efe a'u gwnaeth hwynt yn gymynwyr coed ac yn wehynwyr dwfr i'r holl gynulleidfa—dyma *gyfiawnder*. Fel hyn ni wnaeth Josua ddim ond yr hyn oedd *dda ac union*, nid yn unig yn ei olwg ei hun, ond hefyd yn ngolwg yr Arglwydd. Pa hyd ar ol hyn y cadwyd y Gibeoniaid fel pobl wahanedig, nis gwyddom; ond y mae yn eglur oddiwrth yr amgylchiad a grybwyllwyd ar adn. 19, eu bod yn bodoli yn amser Dafydd. Ni chrybwyllir am danynt ar ol y caethgludiad; ac y mae yn debyg eu bod agos wedi eu dileu trwy yr erledigaeth a godwyd yn eu herbyn gan Saul. Tybia rhai, fel y nodwyd uchod, fod y Gibeoniaid yn bodoli dan yr enw *Nethiniaid;* 'ond,' ebai Clarke, 'nid oes un prawf eglur o hyn: y mae yn debyg mai caethweision o hiliogaeth wahanol oedd y Nethiniaid.'

Adn. 27. *Yn gymynwyr coed*] Yr un peth a 'thori cynud,' neu danwydd, adn. 21, 23; oddiwrth *cymynu*—tori, naddu, cwympo: *ac yn wehynwyr dwfr*—yr un peth a 'thynu dwfr,' adn. 21, 23; oddiwrth *gwehynu*—tywallt allan, arllwys, neu ddyhysbyddu. Dylasai ein cyfieithwyr Cymreig arferyd yr un geiriau yn y tair adnod, fel y gwnaeth y cyfieithwyr Saesonig.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Yn y bennod hon ni a welwn i'r Gibeoniaid ddywedyd celwydd i gadw eu heinioes. Nis gall unrhyw fuddioldeb a gyrhaeddir gyfiawnhau hyn; ac ni elwir arnom ni i ddylyn eu siampl hwy yn hyn. Dylem gofio mai *paganiaid* oedd y Gibeoniaid, ac nas gellid dysgwyl pethau llawer gwell oddiwrthynt hwy: gwel yr adfeddyliadau ar pen. ii. (2) Ni a welwn hefyd na ennillasant hwy ddim trwy eu hanwiredd. Pe

## PENNOD X.

A PHAN glybu Adonisedec brenin Jerusalem i Josua ennill Ai, a'i difrodi hi, (fel y gwnelsai efe i Jericho ac i'w brenin, felly y gwnaethai efe i Ai ac i'w brenin) a heddychu o drigolion Gibeon âg Israel, a'u bod yn eu mysg hwynt:

2 Yna yr ofnasant yn ddirfawr; oblegid dinas fawr *oedd* Gibeon, fel un o'r dinasoedd brenhinol; ac o herwydd ei *bod* yn fwy nag Ai; ei holl wŷr hefyd *oedd* gedyrn.

3 Am hyny Adonisedec brenin Jerusalem a anfonodd at Hoham brenin Hebron, ac at Piram brenin Jarmuth, ac at Japhia brenin Lacis, ac at Debir brenin Eglon, gan ddywedyd,

4 Deuwch i fyny ataf fi, a chynorthwywch fi, fel y tarawom ni Gibeon: canys hi a heddychodd â Josua, ac â meibion Israel.

5 Am hyny pum brenin yr Amoriaid a ymgynullasant, ac a ddaethant i fyny, *sef* brenin Jerusalem, brenin Hebron, brenin Jarmuth, brenin Lacis, *a* brenin Eglon, hwynt-hwy a'u holl fyddinoedd, ac a wersyllasant wrth Gibeon, ac a ryfelasant yn ei herbyn hi.

6 ¶ A gwŷr Gibeon a anfonasant at Josua i'r gwersyll i Gilgal, gan ddywedyd, Na thyn ymaith dy ddwylaw oddiwrth dy weision; tyred i fyny yn fuan atom ni, achub ni *hefyd*, a chynorthwya ni: canys holl frenhinoedd yr Amoriaid, y rhai sydd yn trigo yn y mynydd-dir, a ymgynullasant i'n herbyn ni.

---

buasent yn dyfod yn mlaen yn dêg i geisio heddwch, ac yn ymwrthod â'u heilunaddoliaeth, cawsent eu bywydau ar ammodau anrhydeddus. Ond yn yr achos hwn prin y diangasant â'u bywydau ganddynt, a llwyr amddifadwyd hwy o'u rhyddid gwladol. Y mae melldith Duw hyd yn nod ar y *daioni* a geisir trwy foddion annghyfreithlon. (3) Ni a welwn hefyd mor bwysig yr ystyrid llw yn mysg pobl Dduw: hwy a 'dyngent i'w niwed eu hunain, ac ni newidient.' Ar ol iddynt unwaith ymrwymo i'w Gwneuthurwr, ni chredent y gallai unrhyw gyfnewidiad amgylchiadau gyfiawnhau ymadawiad oddiwrth rwymedigaeth mor arswydus. Fel hyn, ddarllenydd, y dylit tithau ofni celwydd, a pharchu llw.

PEN. X. Adn. 1. *A phan glybu Adonisedec*] Y mae yr enw hwn yn arwyddo *arglwydd cyfiawnder;* a meddylir i'r brenhinoedd Canaaneaidd gymeryd yr enw hwn mewn efelychiad i enw hen frenin patriarchaidd y ddinas hon, MELCHISEDEC, yr hwn yr arwydda ei enw *frenin cyfiawnder;* tybiaeth nad yw yn annhebygol pan yr ystyriom enwogrwydd Melchisedec: gwel ar Gen. xiv. *Brenin Jerusalem*—meddylir gan lawer i'r ddinas hon gadw yr enw *Salem*, yr hwn y tybiant hwy iddi ei gael yn amser Abraham, hyd nes i'r Israeliaid ddyfod i wlad Canaan, a chymeryd meddiant o honi, pryd y galwasant hi *Jerusalem*, oddi wrth *Jarash* a *Shalum*, 'meddiannu heddwch;' neu oddiwrth *Jerus* (yr un a *Jebus*) a *Shalem*, trwy i'r lle fod yn perthyn i'r *Jebusiaid.* Gelwir Jerusalem yn *Jebus* yn 1 Cron. xi. 4. *Heddychu o drigolion Gibeon âg Israel* —eu bod yn gyfeillgar â hwynt, ac wedi ymostwng i'w cyfreithiau.

Adn. 2. *Dinas fawr oedd Gibeon, fel un o'r dinasoedd brenhinol*] Nid dinas â *brenin* ynddi; ond un fawr, yn cael ei phreswylio a'i hamgaeru yn dda, *fel* yr oedd y dinasoedd hyny yn gyffredin lle y cartrefai brenin. Nid yw yn debyg fod gan y Gibeoniaid frenin, gan nad ydym yn darllen mewn un man am dano. Ymddengys mai *gwerinlywodraeth* fechan a grymus oeddynt, yn cael eu llywodraethu yn unig gan *henuriaid*, pen. ix. 11.

Adn. 3. *Adonisedec brenin Jerusalem a anfonodd*] Naill ai am ei fod ef yn uwch na'r brenhinoedd ereill hyn; neu ynte am mai efe oedd agosaf i'r perygl, a'r mwyaf blaenllaw yn y gwaith. *At Hoham brenin Hebron*— yr oedd y ddinas hon yn sefyll yn y mynyddau o du i deau i Jerusalem, o ba le yr oedd oddeutu 30 milldir o ffordd; a syrthiodd i lwyth Juda. *Piram brenin Jarmuth*—yr oedd dwy ddinas o'r enw yma; un yn perthyn i lwyth Issacar, pen. xxi. 29. Yr un a grybwyllir yma a syrthiodd i lwyth Juda, pen. xv. 35; a meddylir ei bod oddeutu 18 milldir o Jerusalem. *Japhia brenin Lacis*—y mae y ddinas hon yn glodfawr yn yr ysgrythyr. Yma y lladdwyd Amasia gan fradwyr, 2 Bren. xiv. 19. Gwarchaewyd hi gan Senacherib, 2 Bren. xviii. 14, 17; ac yn ddieffaith gan frenin Assyria, Esay xxxvii. 8. Gwarchaewyd hi hefyd gan fyddin Nebuchodonosor, Jer. xxxiv. 7. Syrthiodd hon hefyd i ran Juda, pen. xv. 39. *Debir brenin Eglon*—y mae y fan lle y safai hon yn dra ansicr; ond oddi wrth pen. xv. 39 ni a ddysgwn iddi syrthio i ran Juda.

Adn. 4. *Fel y tarawom ni Gibeon*] Efe a benderfynai wneuthur hyn naill ai o *gallineb*, fel y gallai ail gymeryd y ddinas, am ei bod yn ddinas gadarn, ac o bwys mawr i'w wlad ef; neu ynte mewn *gwylltineb*, fel y ceryddai efe y dinasyddion am wneyd heddwch gyda Josua.

Adn. 5. *Pum brenin yr Amoriaid*] Y mae hwn yn enw cyffredin ar y Canaaneaid; ac y mae yn dra thebygol iddynt gael yr enw hwn am mai yr Amoriaid oedd y llwyth neu y genedl gryfaf yn y wlad hòno. Trigolion Jerusalem oeddynt *Jebusiaid*, pen. xv. 63; trigolion Hebron oeddynt *Hethiaid*, Gen. xxiii. 2, 3; a'r Gibeoniaid oeddynt *Hefiaid*, pen. ix. 7; ac eto gelwir y rhai hyn oll yn *Amoriaid* yn achlysurol, ond odid am fod y llwyth hwnw yn dra lluosog a chryf.

Adn. 6. *Na thyn ymaith dy ddwylaw oddi*

7 Felly Josua a esgynodd o Gilgal,
efe a'r holl bobl o ryfel gydag ef, a'r
holl gedyrn nerthol.
8 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd
wrth Josua, Nac ofna rhagddynt: ca-
nys yn dy law di y rhoddais hwynt;
ni saif neb o honynt yn dy wyneb di.
9 Josua gan hyny a ddaeth yn ddi-
atreg atynt hwy: *canys* ar hyd y nos
yr aeth efe i fyny o Gilgal.
10 A'r Arglwydd a'u drylliodd
hwynt o flaen Israel, ac a'u tarawodd
hwynt â lladdfa fawr yn Gibeon, ac
a'u hymlidiodd hwynt ffordd yr eir i
fyny i Beth-horon, ac a'u tarawodd
hwynt hyd Azeca, ac hyd Macceda.
11 A phan oeddynt yn ffoi o flaen
Israel, *a* hwy yn ngoriwaered Beth-
horon, yr Arglwydd a fwriodd arnynt
hwy gerig mawrion o'r nefoedd hyd

---

*wrth dy weision*] Nac esgeulusa ac nac oeda ein cynorthwyo ni, â'r rhai y gwnaethost gyfammod, pen. ix. 15.

Adn. 7. *Felly Josua a esgynodd o Gilgal*] Wedi iddo yn ddiamau ofyn cynghor gan Dduw, yr hyn a arwyddir yn yr atebiad a roddes Duw iddo ef, adn. 8.

Adn. 8. *Nac ofna rhagddynt*] Rhag nerth y gelynion, er lluosoced ydynt; canys yn dy law di y rhoddais hwynt. Ac nac amheua ddaioni dy achos, a dilysrwydd dy alwad: er dy fod i gynorthwyo y Gibeoniaid, yr wyt ti ar ffordd dyledswydd, ac y mae Duw gyda thi.

Adn. 9. *Josua gan hyny a ddaeth yn ddiatreg atynt*] Trwy deithio yn gyflym ar hyd y nos; ac wrth syrthio mor ddisymwth ar y brenhinoedd cynghreiriol hyn, taflwyd hwynt yn ddiatreg i ddyryswch. Gwelsom eisioes nad oedd o Gilgal i Gibeon ddim dros naw milldir, er y dywed rhai fod deunaw neu ugain.

Adn. 10. *A'r Arglwydd a'u drylliodd hwynt*] Gwnaeth *Israel* yr hyn a allent hwy, ac eto *Duw* oedd y prif weithredydd, Salm xliv. 3. *Yn Gibeon*—sef *gerllaw* Gibeon, canys y mae yn eglur nad oeddynt yn y ddinas; ac felly y dylem ddeall y gair *yn* mewn amrai fanau ereill o'r ysgrythyr, fel yn arwyddo dim mwy na cherllaw. *I Beth-horon*—i'r lle a alwyd wedi hyny ar yr enw hwn: eithr ni adeiladwyd y ddinas nes i'r Israeliaid ymsefydlu yn Nghanaan. Syrthiodd lluoedd o honynt ar yr ymosodiad cyntaf; yna ffoisant, ac ymlidiwyd hwynt ar hyd ffordd Beth-horon. Yr oedd dwy ddinas o'r enw yma, yr *uwchaf* a'r *isaf;* ac yr oedd y ddwy yn llwyth Ephraim, ac wedi eu hadeiladu gan Seera merch Ephraim, 1 Cron. vii. 24. Meddylir mai yr un ag y sonir am dani yma yw Beth-horon *isaf*, neu y *ddeheuol:* gwel *Well's Geog.*, cyf. ii. dal. 200. Yr oedd yn sefyll ar fryn bychan o du y gogledd i Gibeon. *Hyd Azeca a hyd Macceda*—yr oedd y ddwy ddinas hyn yn llwyth Juda, pen. xv. 35, 41.

Adn. 11. *Yr Arglwydd a fwriodd arnynt hwy gerig mawrion o'r nefoedd*] Fel ag i daraw y Canaaneaid ffoëdig, heb gyffwrdd â'r Israeliaid y rhai oeddynt yn eu hymlid! Yr oeddynt hwy wedi yspeilio y gwir Dduw o'i anrhydedd, trwy addoli y cyrff nefol; ac yn awr y mae y cyrff nefol yn ymladd yn eu herbyn hwythau, ac yn buddugoliaethu yn eu dinystr. *Amlach oedd y rhai a fu feirw gan y cerig cenllusg*—dywed Josephus fod mellt a tharanau yn gymysg â'r cenllusg, yr hyn a all ymddangos yn debygol oddiwrth Hab. iii. 11. Ond dadleua rhai mai CERIG yn ystyr cyffredin y gair, a feddylir yma; a'u bod yn cael eu galw yn *gerig cenllusg* yn unig i ddangos eu hamledd, a chyflymder eu disgyniad. Ddarfod i gerig gwirioneddol syrthio o'r *cymylau*, os nid o uwchder mwy, sydd wirionedd tra anwadadwy; a darfod i'r rhai hyn syrthio mewn gwahanol barthau o'r byd sydd hefyd yn wirionedd: gwel y daflen ganlynol. Bu yr India Ddwyreiniol, America, Ffrainc, yr Almaen, Lloegr, a'r Iwerddon, yn gystal a gwledydd ereill, yn dystion o'r ymddanghosiad hwn; a gellir gweled rhai darnau mawrion yn yr Amgueddfa Frutanaidd yn Llundain y dydd hwn. Y mae yn sicr y gallasai Duw fwrw y fath gerig a'r rhai hyn ar y Canaaneaid, am fod ei allu yn ddiderfyn; ac y mae yn eglur oddiwrth yr holl hanes fod yma gyfryngiad gwyrthiol. Ond y mae yn debycach, yn marn llawer, mai CENLLUSG, yn ystyr priodol y gair, a olygir yn y testyn; a darfod i Dduw ar achlysuron ereill ddefnyddio cenllusg i ddyfetha dynion ac anifeiliaid, a brofir yn helaeth yn *mhla y cenllusg* a syrthiodd ar yr Aifftiaid, Exod. ix. 18. 'Y mae cwar o wydr yn awr o'm blaen,' ebai Clarke, 'wedi ei gymeryd o ffenestr ddeheuol yn nhŷ Mr. Ball o Crockerton, yn mhlwyf Longbridge Deverell, swydd Wilts, trwy yr hwn yr aeth careg genllusg ar gawod a syrthiodd yno Mehefin 1, 1780, am ddau o'r gloch y prydnawn. Y twll sydd *hirgrwn*, ac wedi ei dori fel pe gwnaethid ef âg adamant. Y mae yn dair modfedd a hanner o dryfesur; prawf ddarfod i'r gareg a'i tyllodd, yr hon oedd oddeutu un modfedd ar ddeg o amgylchedd, ddisgyn gyda chyflymdra annirnadwy, onidê buasai raid iddi dori y gwydr yn chwilfriw. Gwn i beled cyflegr fyned trwy gwar o wydr yn ffenestr caban llong, a gwneyd twll yr un fath yn gywir, heb chwilfriwio na chymaint a chracio y gwydr. Afreidiol yw chwanegu ddarfod i'r gawod genllusg hon wneyd niwed mawr, gan dori hyd yn nod goedydd yn ddrylliau, a dyfetha yr hydyfiant yn mhob man lle y cyrhaeddai. Ond a chaniatau i gawodydd anarferol o genllusg syrthio yn Lloegr neu Ffrainc, a ydyw yn debygol i'r fath gawodydd ddisgyn erioed yn *Ngwlad yr Addewid* neu ei chyffiniau? Y mae yn sier iddynt wneyd. *Albertus Aquensis*, un o'r ysgrifenwyr yn y casgliad *Gesta Dei per Francos*, wrth ddarlunio rhyfelgyrch Baldwin I. yn y Tir Santaidd, a sylwa, pan yr oedd ef a'i fyddin yn mynyddoedd *Arabia*, yn nghymydogaeth y *Môr Marw*, ddarfod iddynt ddyoddef yn anghredadwy oddiwrth *genllusg ofnadwy, rhew dychrynllyd*, a *gwlaw* ac *eira annysgrifiadwy*, fel ag y bu i ddeg-arhugain o'i wŷr gael eu lladd ganddynt: *Hist.*

Azeca; a buant feirw: amlach *oedd* y rhai a fu feirw gan y cerig cenllusg, na'r *rhai* a laddodd meibion Israel â'r cleddyf.

---

*Hieros.*, dal. 307. Yr wyf fi yn casglu, gan hyny, y gall mai cawod o *genllusg* a feddylir; a bod y gawod hon, er yn *naturiol* ynddi ei hun, yn cael ei defnyddio yn *oruwchnaturiol* ar yr achlysur hwn, ac yn cael ei chyfeirio yn *wyrthiol* i syrthio lle y gwnaeth, a gwneyd yr hyn a ddarlunir. Ond yr wyf yn barod i addef, er hyny, gan fod gwyrth dra rhyfeddol yn cael ei gwneyd y pryd hyn, wrth beri i'r haul a'r lleuad aros, nad all fod amheuaeth y gallasai y gawod gerig, yr hon hefyd oedd wyrthiol, fod o *gerig gwirioneddol* yn gystal a *chenllusg*. Cafodd y pwnc hwn o syrthiad cerig gwirioneddol o'r cymylau ei olrhain yn fanwl iawn yn ddiweddar; ac y mae nid yn unig y *posibilrwydd* o syrthiad y fath gerig o'r *cymylau*, neu o froydd llawer *uwch*, ond hefyd y *sicrwydd* o'r peth, wedi cael ei lawn egluro. Y sylweddau hyn a elwir yn awr, mewn iaith athronyddol, yn *aeroliths* neu *awyr-gerig;* a'r daflen ganlynol, yr hon a wnaed gan *M. Izarn*, fferyllydd tramor, a esyd allan amrywiaeth o ffeithiau o'r fath yma, ac a ddengys y *lleoedd* a'r *amserau* yn y rhai y disgynodd y sylweddau hyn, a'r *dystiolaeth* gan ba un y cynelir y ffeithiau hyn. Gan fod mor ddichonadwy i Dduw luchio cawod o gerig ar yr eilunaddolwyr hyn, hyd yn nod o'r *lleuad*, ag ydoedd iddo attal y blaned hòno yn ei hynt, yr wyf yn rhoddi y daflen, ac yn gadael i'r darllenydd benderfynu, yn yr achos presenol, o blaid *awyr-gerig* neu *gerig cenllusg*, fel yr ymddanghosa iddo ef yn fwyaf cydgordiol â'r ffaith a adroddir yma.

| *Sylweddau.* | *Lleoedd eu disgyniad.* | *Amser eu disgyniad.* | *Tystiolaeth.* |
|---|---|---|---|
| Cawod o gerig | Rhufain | Dan Tullus Hostilius | Livy. |
| Cawod o gerig | Rhufain | Consuls, C. Martius a M. Torquatus | J. Obsequens. |
| Careg fawr iawn | Ger afon Negos, Thrace | Ail fl. o'r Olymp. 78 | Pliny. |
| Tair careg fawr | Thrace | Fl. cyn I. G. 452 | Brud. Iarll Marcellin. |
| Careg 72 pwys | Ger Larissa, Macedonia | Ionawr, 1706 | Paul Lucas. |
| Oddeutu 1,200 o gerig; un 120 pwys, arall 60 pwys | Ger Padua, yn yr Eidal | Yn 1510 | Carden, Varcit. |
| Careg 59 pwys | Myn. Vasier, Provence | Tach. 27, 1627 | Gassendi. |
| Dwy gareg yn pwyso 20 pwys | Liponas, yn Bresse | Medi, 1753 | De La Lande. |
| Pentwr caregog | Niort, Normandy | Yn 1750 | De La Lande. |
| Careg 7½ pwys | Luce, yn Le Maine | Medi 13, 1768 | Bachelay. |
| Careg | Aire, yn Artois | Yn 1768 | Gurson de Boyaval. |
| Careg | Le Cotentin | Yn 1768 | Morand. |
| Cawod fawr o gerig | Cyffiniau Agen | Gorph. 24, 1790 | St. Amand, Baudin, &c. |
| Oddeutu 12 o gerig | Sienna, Tuscany | Gorph. 1794 | Iarll Caerodor. |
| Careg fawr 56 pwys | Wold Cottage, sir Gaeref. | Rhag. 13, 1795 | Cadben Topham. |
| Careg 10 pwys | Portugal | Chwef. 19, 1796 | Southey. |
| Careg oddeutu 120 pwys | Sale, parth o'r Rhone | Mawrth 17, 1798 | Le Lievre a De Dree. |
| Cawod o gerig | Benares, India Ddwyr. | Rhag. 19, 1798 | J. Lloyd Williams, Ysw. |
| Cawod o gerig | Plann, ger Tabor, Bohemia | Gorph. 3, 1753 | B. de Born. |
| Pentwr o haiarn, 70 troedfedd gubaidd | America | Ebrill 5, 1800 | Philosophical Magazine. |
| Pentwr o haiarn 1,400 p | Abakauk, Siberia | Hen iawn | Pallas, Chladni, &c. |
| Cawod o gerig | Barboutan, ger Roquefort | Gorph. 1789 | Darcet, ieu., Lomet, &c. |
| Careg fawr, 260 pwys | Ensisheim, Rhine Uchaf | Tach. 7, 1492 | Butenschoen. |
| Dwy gareg, 200 a 300 p. | Ger Verona | Yn 1762 | Acad. de Bourd. |
| Careg 20 pwys | Sales, ger Ville Franche | Mawrth 12, 1798 | De Dree. |
| Amrai gerig, o 10 i 17 p. | Ger L'Aigle, Normandy | Ebrill 26, 1803 | Fourcroy. |

Y mae y cerig hyn yn gyffredin yn ymddangos yn oleu wrth ddisgyn, gan ymsymud mewn cyfeiriadau gŵyrdraws gyda chyflymder mawr, ac yn gyffredin gyda swn sïawl. Clywir hwynt yn fynych yn rhuthr-swnio neu yn ymrwygo, ac fel yn ymdaflu yn ddarnau, a'r darnau mwyaf yn syrthio yn gyntaf. Y maent yn aml yn taraw y ddaear gyda'r fath rym fel ag i suddo amrai fodfeddi islaw yr arwyneb. Y maent bob amser yn wahanol i'r cyrff oddiamgylch, ond yn mhob achos yn debyg i'w gilydd, trwy eu bod yn hanner mettelaidd, wedi eu gwisgo â chrest dû teneu. Dygant arwyddion cryfion o doddiad diweddar. Fferyllwyr, wrth chwilio y cerig hyn, a gawsant eu bod yn cytuno yn bur agos yn eu natur a'u defnydd, ac yn nghyfartalwch eu rhanau cyfansoddol. Darfu i'r gareg a ddisgynodd yn Ensisheim yn 1492, a'r rhai a ddisgynasant yn L'Aigle yn 1803, droi allan, wrth eu dosranu gan Fourcroy a Vauquelin, fel yn y daflen hon:

| Careg Ensisheim a ddisgynodd O.C. 1492. | | Careg L'Aigle, a ddisgynodd O.C. 1803. | Eu gwahanol sylweddau. |
|---|---|---|---|
| 56 | 0 | 54 | o gallestr |
| 30 | 0 | 36 | —oxyd haiarn |
| 12 | 0 | 9 | —magnesia |
| 2 | 4 | 3 | —oxyd nickel |
| 3 | 5 | 2 | —frwmstan |
| 1 | 4 | 1 | —galch |
| 105 | 3 | 105 | |

Eu pwysi penodol sydd yn gyffredin oddeutu

12 ¶ Llefarodd Josua wrth yr Arglwydd y dydd y rhoddodd yr Arglwydd yr Amoriaid o flaen meibion Israel; ac efe a ddywedodd yn ngolwg Israel, O haul, aros yn Gibeon; a thithau, leuad, yn nyffryn Ajalon.

---

teirgwaith neu bedair gymaint ag eiddo dwfr, ac felly yn drymach na cherig cyffredin. Oddi wrth yr adroddiad uchod y mae yn rhesymol casglu fod yr un gwreiddyn iddynt oll. I roddi cyfrif am y rhithiant hwn, ymddanghosodd amrai dybiau; crybwyllwn dair: 1. Mai planedau bychain ydynt, y rhai, wrth gylchredeg yn yr eangder, a syrthiant i'r awyrgylch, pa un, trwy ei rugliad, a leiha y cyflymedd, fel ag y maent yn syrthio trwy eu pwysi. 2. Mai cydgorfforiadau ydynt wedi ymffurfio yn y nwyfre. 3. Eu bod yn cael eu taflu o losg-fynyddau yn y lleuad. Dyma y dychymygion mwyaf tebygol ag y gallwn gyfarfod â hwy, a gradd fechan iawn o debygolrwydd sydd gan y ddwy flaenaf o'r rhai hyn, ond y mae rhesymau cryfion iawn o blaid yr olaf. Yn mhlith y rhesymau gallwn sylwi ar y rhai canlynol: 1. Canfyddwyd llosg-fynyddau yn y lleuad trwy y pellddrych. 2. Y mae llosg-fynyddau y lleuad yn uchel iawn, ac y mae arwyneb y belen hòno yn dyoddef cyfnewidiadau mynych, fel yr ymddengys oddiwrth sylwadau diweddar Schroëter. 3. Os teflir corff o'r lleuad i bellder mwy na'r pwynt o gydbwysedd rhwng tyniad y ddaear a'r lleuad, bydd iddo, ar yr egwyddor adnabyddus o ddymgyrch, syrthio i'r ddaear. 4. Y gall corff gael ei daflu o losg-fynyddau y lleuad tuhwnt i ddylanwad y lloer, sydd nid yn unig yn ddichonadwy, ond yn bur debygol; canys wrth wneyd cyfrifiad ceir y bydd cymaint bedair gwaith o rym ag yr arferir ei roddi i gyflegr-beled o 12 pwys, yn llawn ddigon i'r perwyl hwn; a dylid sylwi fod y pwynt o gydbwysedd yn llawer agosach i'r lleuad, ac na fydd i daflgorff o'r lleuad gael ei attal yn gymaint ag un o'r ddaear, o achos nwyfre deneuach y lleuad, a'i grym llai tyniadol. Ar y pen hwn gwel ysgrif werthfawr Mr. Haward yn y *Philosophical Transactions* am 1802, a thraethawd Dr. Hutton yn y talfyriad newydd, parth xxi. Y mae yn dra thebygol mai careg o'r fath yma oedd yr *ancile*, neu y darian gysegredig, a syrthiodd o'r nef yn nheyrnasiad Numa Pompilius. Y mae y darluniad o'i chwymp, fel ei rhoddir gan Ovid, *Fast.* lib. iii, yn dwyn tebygolrwydd nodedig i'r hanesion diweddar am gerig yn syrthio o'r nwyfre, yn enwedig yn yr ymddanghosiad *goleu* a'r swn *sïawl* cydfynedol. Y mae yn bur bosibl mai cerig wedi syrthio mewn gwirionedd o'r nwyfre, yn dwyn rhyw debygolrwydd trwsgl i'r ffurf ddynol, oedd *Palladium Caerdroia*, a *Delw Diana yr Ephesiaid.* Gwel yr Imperial Encyclopædia, erthygl *Aerolith.*—Credwyf fod y philosophyddion yn cytuno yn gyffredin, 1. Fod yr holl gerig awyrol hyn, wrth eu dosranu yn fferyllaidd, yn dangos yr un ansoddau; 2. Nad oes un gareg a gaed ar ein daear ni yn meddu yn gywir yr un ansoddau, nac yn yr un cyfartaledd. Y mae hwn yn amgylchiad annghyffredin, ac yn haeddu sylw neillduol.' —Clarke.

Adn. 12. *Llefarodd Josua wrth yr Arglwydd*] 'Er fod Josua yn gweled,' fel y sylwa Clarke, 'fod gelynion ei bobl yn ffoi, eto efe a wyddai yn dda y byddai i bawb a ddiangent ymfyddino drachefn, ac y byddai raid iddo yntau gyfarfod â hwynt unwaith yn rhagor ar faes y frwydr os goddefid iddynt yn awr ddianc. Wrth weled fod y dydd ar ddiweddu, efe a ofnai na chai ddigon o amser i gwblhau dinystr y byddinoedd cynghreiriol: yn yr eiliad hwn, trwy gael ei ysbrydoli yn ddisymwth â hyder dwyfol, efe a geisiodd gan yr Arglwydd wneuthur y wyrth ryfeddaf a wnaed erioed, yr hon nid oedd ddim llai nag *attal yr haul yn ei yrfa*, ac estyn y dydd nes i ddinystr ei elynion gael ei orphen! *O haul, aros yn Gibeon; a thithau, leuad, yn nyffryn Ajalon*—i roddi cyfrif am y wyrth hon, ac i sicrhau y *modd* yn mha un ei gwnaed, bu ysgrifellau y *duwinyddion* a'r *seryddwyr* galluocaf ar waith, yn enwedig yn y ddau ganrif diweddaf. Trwy eu llafur dysgedig hwy symudwyd llawer o anhawsderau oddiar yr hanes yn y cyffredin; ond y mae y gwahanol a'r croes foddau a ddylynid gan amrai yn eu hymdrechion i egluro y cwbl, ac i wneyd i'r hanes gytuno â chyfundrefn addefedig bresenol y bydysawd a rhithianau anian, yn tueddu yn fawr i ddyrysu y darllenydd cyffredin ac anathronyddol. Nis gellir egluro y pwnc yn dda heb *draethawd* arno; ac nid yw traethawd yn gyson â natur nodiadau byrion, neu esboniad ar ysgrythyr. Modd bynag y mae yn angenrheidiol cynyg eglurhad, a dwyn hwnw gymaint ag a ellir o fewn amgyffrediad darllenwyr cyffredin: mewn trefn i hyn, rhaid i mi erfyn caniatad i ddwyn yn mlaen ychydig o sylwadau rhaglithiol, neu yr hyn y gall y darllenydd ei alw yn *gynseiliau* os myn.

'1. Yr wyf yn cymeryd yn ganiataol i *wyrth* gael ei gwneyd mor agos ag y gallai amgylchiadau oddef, yn y *modd* ag y coffeir yma. Ni fydd i mi, gan hyny, chwilio am unrhyw ddeongliadau *allegol* neu *drawssymudol:* coffeir y wyrth fel *ffaith*, ac fel *ffaith* yr wyf yn ei chymeryd i fyny.

'2. Yr wyf yn ystyried cyfundrefn gredadwy bresenol y bydysawd, a elwir weithiau y gyfundrefn *Pythagoraidd*, *Gopernicaidd*, neu *Newtonaidd*, yn un ddilys; ac hefyd mai hi yw cyfundrefn y bydysawd a osodwyd i lawr yn yr ysgrifau Moesenaidd—fod yr haul yn *nghanolbarth* yr hyn a elwir y gyfundrefn heulaidd; a bod y *ddaear* a'r holl *blanedau* ereill, pa un bynag ai *cyntefig* ai *eilefig*, yn ymsymud o'i amgylch ef mewn amserau cylchynol penodol, yn ol maintioli eu defnydd, a'u pellder oddiwrtho ef eu canolbwynt.

'3. Yr wyf yn ystyried na fedd yr haul un amdreigliad ar hyd unrhyw *drogylch*, ond ei fod yn troi oddeutu ei *echel* ei hun, ac oddeutu canolbwynt cyffredin dymgyrch yn y gyfundrefn blanedaidd, pa ganolbwynt dymgyrch sydd gynwysedig o fewn ei arwyneb ei hun; ac yn mhob ystyr arall yr wyf yn ei ystyried ef mewn *llonyddwch* yn y gyfundrefn.

'4. Yr wyf yn ystyried y ddaear nid yn unig yn *amdreiglo oddeutu yr haul* mewn 365

o ddyddiau, 5 awr, 48 mynyd, a 48 eiliad, ond hefyd *yn troi oddeutu ei hechel ei hun*, ac yn gwneyd y troad hwn mewn 23 o oriau, 56 mynyd, a 4 eiliad; fod pob rhan o'i harwyneb [yn y llinell hòno], yn ystod 24 o oriau cyflawn, yn dröedig yn olynol at yr haul; mai y troad hwn sydd yn gwneyd ein *dydd* a'n *nos* ni, fel y mae y blaenaf yn gwneyd ein *blwyddyn;* ei bod yn *ddydd* i'r holl barthau hyny ag sydd yn meddu yr haul *uwchlaw* y terfyngylch, ac yn *nos* i'r rhai sydd â'r haul *islaw* iddo; ac mai y troad dyddiol hwn o eiddo y ddaear, neu ei throad oddeutu ei hechel ei hun, mewn cyfeiriad o'r gorllewin i'r dwyrain, sydd yn achosi yr hyn a elwir yn gyffredin yn *godiad* a *machludiad haul*, pa *ymddanghosiad* a achosir, nid gan un hyw symudiad yn yr *haul* ei hun, ond gan y symudiad hwn o eiddo y *ddaear*, yr hwn y gellir ei egluro trwy belen neu glôb yn grogedig wrth edaf, ac yn cael ei throi. Os delir hon ar gyfer *canwyll*, ymddengys un hanner iddi yn oleu a'r hanner arall yn dywyll; ond gwelir fod y rhanau tywyllion yn dyfod yn *olynol* i'r goleuni, a'r rhanau goleu i'r *cysgod;* tra y mae y ganwyll ei hun, yr hon sydd yn rhoddi y goleuni, yn *sefydlog*, heb newid ei sefyllfa.

'5. Yr wyf yn ystyried mai dylanwad yr haul yw yr *achos* o symudiad *blynyddol* a *dyddiol* y ddaear; a thra y parhao y dylanwad hwnw i weithredu arni yn ol y ddeddf a osododd Duw ar y cyntaf i'r ddaear a'r haul, fod yn rhaid i symudiadau *blynyddol* a *dyddiol* y ddaear barhau; ac na fedr un gallu ond gallu diderfyn Duw wahaniaethu y dylanwad hwn, newid neu droi heibio weithrediad y ddeddf hon; ond ei fod ef y fath anfeidrol RYDD ORUCHWYLIWR, fel y gall EF, pan y gwelo ei ddoethineb digyfeiliorn yn dda, newid, troi heibio, neu hyd yn nod ddiddymu yr holl ail achosion a'u heffeithiau: canys byddai yn ddiraddiad ar berffeithderau ei natur ef feddwl ei fod wedi *ei rwymo ei hun yn y fath fodd* trwy y deddfau a roddes efe er cadwraeth a threfniad holl anian, fel nas gallai eu newid hwynt, arallu eu heffeithiau, neu droi heibio eu gweithrediadau pan y gellid cynyrchu effeithiau gwell a mwy, mewn rhyw *amser* neu *le*, trwy y cyfryw newidiad neu droad heibio dros amser.

'6. Yr wyf yn ystyried i'r wyrth a wnaed ar yr achlysur hwn wasanaethu yn fawr i gadarnhau yr Israeliaid, nid yn unig yn y grediniaeth o fodaeth a pherffeithderau Duw, ond hefyd yn yr athrawiaeth o ragluniaeth neillduol, ac yn oferedd yr holl gyfundrefn o eilunaddoliaeth a choelgrefydd.

'7. Na wnaed dim drwg trwy y cyfryngiad gwyrthiol hwn, ac na newidiwyd yn hollol un ddeddf na phriodoledd o eiddo anian; yn y gwrthwyneb, parwyd daioni tra phwysig, yr hwn yn debygol, i'r bobl yma, na allasai gael ei ddwyn oddiamgylch mewn un ffordd arall; ac am hyny fod y wyrth a wnaed ar yr achlysur hwn yn dra theilwng o ddoethineb a gallu Duw.

'8. Yr wyf yn ystyried nad yw y geiriau a ddefnyddir yn y testyn i ddarlunio y wyrth hon, pan eu deallir yn iawn, yn groes i'r tybiau iawn-sefydledig am wir gyfundrefn y bydysawd; ac na lefarwyd hwynt, fel y mynai rhai, *ad captum vulgi*, at ragfarnau y bobl gyffredin; llai o lawer y pleidiant y dyb *Ptolemaidd*, nac un arall a esyd y *ddaear* yn nghanolbwynt y gyfundrefn heulaidd.

'Ar ol gosod i lawr y cynseiliau hyn, gall rhai sylwadau byrion ar eiriau y testyn fod yn ddigonol. Y mae cyfarchiad Josua mewn ffurf *farddonol* yn y wreiddiol, ac yn gwneyd y ddwy linell ganlynol:

> *Shemesh begibon dom:*
> *Veyareach beemek Aiyalon.*
>
> Haul! uwch Gibeon bydd fud:
> A'r lleuad uwch dyffryn Ajalon.

Adroddir effaith y gorchymyn hwn yn adn. 13, yn y geiriau canlynol: *Vaiyiddom hash*SHEMESH *ve*YAREACH *amad*, *A'r haul a fu fud* neu *ddystaw*, *a'r lleuad a safodd.* Ac yn y rhan ddiweddaf o'r adnod hon chwanegir: *Felly yr haul a safodd yn nghanol y nefoedd, ac ni frysiodd i fachludo dros ddiwrnod cyfan.*

'Ymddengys yn angenrheidiol yma ateb y cwestiwn, Ar ba *amser* o'r dydd y cymerodd y wyrth hon le? Y mae yr ymadrodd, *yn nghanol y nefoedd*, fel yn arwyddo fod yr haul y pryd hyny ar bwynt *hanner dydd* yn Gibeon, ac o ganlyniad fod ganddo *hanner* ei yrfa i'w rhedeg; a dadleuwyd yn gryf dros yr ystyr hwn i'r lle fel yn hanfodol i'r wyrth, er mwy dadleniad o ogoniant Duw: 'Oblegid,' medd ei bleidwyr, 'pe gwnaethid y wyrth pan oedd yr haul ar fachludo, gallesid ei chamgymeryd am ryw wrthdroad pelydr goleuni, yn cael ei achosi gan ansawdd neillduol laith y nwyfre yn nherfyngylch y lle hwnw, neu gan ryw ymddanghosiad fel y goleuni gogleddol.' Nid oes dim sylweddolrwydd yn ymddangos i mi yn y rheswm hwn. Pe buasai yr haul yn cael ei attal *ganol dydd*, prin y gallasai y wyrth gael sylwi arni, yn enwedig yn ffrwst a ffwdan yr amser hwnw; a gallwn fod yn sicr nad oedd *awrorau* neu *amser-fynegai* yn mhlith y Canaaneaid, trwy y rhai y gallasai hyd goruwchnaturiol y fath ddiwrnod gael ei fesur yn gywir: eithr yn y gwrthwyneb, os oedd yr haul yn nghylch *machludo*, pryd yr oedd yn rhaid i'r *erlynwyr* a'r *erlynedigion* fod yn wybodus o'i fynediad *ebrwydd* o'r golwg, rhaid i'w arhosiad dros amrai oriau *uwchlaw y llywel*, mor agos i'r pwynt pryd y gellid dysgwyl iddo *fachludo*, fod yn dra nodadwy a hynod. Rhaid fod y *gelynion* yn ei weled, yn ei deimlo, ac yn gofidio o'i herwydd; gan y rhaid fod eu gobaith am ddiangfa, yn y fath amgylchiadau, yn seiliedig ar ddyfodiad ebrwydd y *nos*, trwy yr hyn yn unig y gallent ddysgwyl dianc rhag yr Israeliaid erlynol. A rhaid fod yr *Israeliaid* eu hunain yn canfod gyda syndod a rhyfeddod nad oedd yr haul machludol yn *brysio i fachludo dros ddiwrnod cyfan*, ond yn rhoddi iddynt amser goruwchnaturiol i ddyfetha gelynion ffoedig, y rhai amgen a allasent gael amser i ail ymfyddino, ymgynghreirio, a dewis safle priodol, ac ymosod yn eu tro gyda *manteision* neillduol, a thebygolrwydd o *lwyddiant*. Ymddengys gan hyny yn llawer mwy rhesymol i Josua ofyn am i'r wyrth hon gael ei chyflawni *pan yr oedd goleuni y dydd ar ballu*, yn union pryd yr oedd yr haul yn *machludo*. Os ystyriwn yr haul fel yn mhwynt canolddydd Gibeon, fel y dealla rhai yr ymadrodd *canol y nef-*

*oedd*, da y gellir gofyn, Pa fodd y gallai Josua wybod na chai ef ddigon o amser i orphen dinystrio ei elynion, y rhai oeddynt yn awr wedi eu llwyr yru ar ffo? Yr oedd lluoedd o honynt eisioes wedi syrthio trwy y cenllusg a thrwy y cleddyf; a phe buasai ganddo ef eto hanner diwrnod o'i flaen, buasai yn ddigon naturiol iddo gasglu fod ganddo ddigonedd o amser i'r perwyl.—Ond gellir gofyn, Pa beth yw ystyr *bachatsi hashshamayim*, yr hyn a gyfieithwn ni *yn nghanol y nefoedd?* Os bydd i ni, gyda *Mr. Bate*, gyfieithu *chatsah* yn *barthu, gwahanu*, yna gall gyfeirio at y *llywel, (horizon)*, yr hwn yw *rhaniad amlwg* y nefoedd i'r *hannergylch uwchaf* ac *isaf;* ac fel hyn y deallwyd yr holl adnod gan rai dysgedigion enwog, y rhai a gyfieithasant yr holl frawddeg fel hyn: *A'r haul a safodd yn hannergylch* (uwchaf) *y nefoedd, ac ni frysiodd i fachludo pryd yr oedd y diwrnod ar ben:* hyny yw, er fod y diwrnod y pryd hyny ar ben, trwy fod yr haul ar y llywel, y llinell a wnai y *ganol-nef* i'r llygad; eto ni frysiodd i fachludo, ond daliwyd ef yn wyrthiol yn ei agwedd *ar-fachludol.* Ac ymddengys hyn yn amlycach fyth oddiwrth fod y lleuad i'w weled y pryd hyny, yr hon nid yw yn rhesymol meddwl y gallai fod yn weledig yn y dysgleirdeb goleuni a achosid gan haul *canol dydd.*

'Ond y mae y prif orchwyl perthynol i safiad yr haul yn aros fyth i'w ystyried. Gosodais i lawr eisioes, fel gwirionedd wedi ei egluro yn drwyadl, fod yr haul yn *nghanolbarth* y gyfundrefn, yn ymsymud yn unig oddeutu ei echel ei hun, a chanolbwynt cyffredin dymgyrch y gyfundrefn blanedaidd, tra y mae yr holl blanedau yn troi o'i amgylch *ef*, sylw 2 a 3; mai ei ddylanwad ef yw yr achos o droadau *dyddiol* a *blynyddol* y ddaear; ac nis gallaf fi weled pa ddyben arall a fedr ei droad ef oddeutu ei echel ei hun ei ateb, sylw 5.

'Yr wyf yn ystyried fod y gair Hebreig *dom* yn y testyn yn cyfeirio at *attaliad* neu *rwystriad* y dylanwad hwn, fel y byddai i'r ddaear beidio â throi yn ddiatreg. Dymuniad Josua oedd, i'r haul beidio suddo islaw y terfyngylch; ond gan ei fod *ef* yn ymddangos yn awr uwchben Gibeon, a'r *lleuad* uwchben dyffryn Ajalon, efe a weddiodd am iddynt aros yn y manau hyny nes gorphen y rhyfel; neu, mewn geiriau ereill, am i'r diwrnod gael ei estyn yn wyrthiol.

'Pa un a oedd gan Josua dyb athronyddol gywir am wir gyfundrefn y bydysawd, sydd bwnc nad oes achos iddo ddyfod i'r ymchwiliad presenol; ond pa un a *lefarai efe* gyda phriodoldeb manwl ar yr achlysur hwn sydd beth o bwys, oblegid rhaid ei ystyried fel yn gweithredu *dan y dwyfol ddylanwad* wrth ddeisyf cyflawniad y fath wyrth ryfeddol; a gallwn haeru yn ddiogel na feddyliasai un dyn yn ei iawn bwyll am gynyg y fath ddeiseb oni buasai ei fod yn ei deimlo ei hun dan ryw ddwyfol gyffrawd. A gadael gan hyny ei wybodaeth athronyddol ef allan o'r cwestiwn, y mae yn sicr ei fod yn llefaru fel pe buasai yn gwybod mai y dylanwad heulaidd oedd yr achos o *droad* y ddaear; ac am hyny, gyda'r priodoldeb athronyddol mwyaf, efe a ddeisyfai am i'r dylanwad hwnw gael ei attal am dro, fel y byddai i droad dyddiol y ddaear gael ei rwystro, trwy yr hyn yn unig y gallai yr haul gael ei gadw uwchlaw y terfyngylch, a'r dydd gael ei estyn. Y mae yn amlwg fod ei ddull o ymadroddi yn ystyried yr haul fel y *rheolydd* neu y *meistr* mawr yn y gyfundrefn, a'r holl blanedau (neu o leiaf y ddaear) yn ymsymud yn eu cylchoedd priodol wrth ei *orchymyn* ef. Gan hyny y mae yn deisyf iddo ef, yn enw a thrwy awdurdod ei Greawdydd, roddi heibio ei *archiad* gyda golwg ar droad y ddaear, a'i phlaned-osgordd y lleuad. Pe dywedasai efe, *Ddaear, aros*, (peidiad troad dyddiol yr hon oedd *effaith* ei orchymyn ef,) nis gallasai ufyddhau iddo, gan nad yw hyd yn nod yn *ail* achos o'i throad blynyddol oddeutu yr haul, na'i throad dyddiol oddeutu ei hechel ei hun. Yn lle gwneyd felly, efe a lefara wrth yr haul, yr *achos* dan Dduw o'r holl symudiadau hyn, fel y gwnaeth ei Argynddelw mawr pan, yn y dymhestl ar fôr Tiberias, y ceryddodd efe y *gwynt* yn gyntaf, ac wedi hyny y dywedodd wrth y *môr*, Gostega! dystawa! *Siôpa pephimôso*, DYSTEWA! *bydd* FUD! Marc iv. 39; ac effaith y gorchymyn hwn oedd peidiad y cynhyrfiad yn y *môr*, am i'r *gwynt* beidio ei *orchymyn*, hyny yw, arferu ei ddylanwad ar y dyfroedd.

'Y mae y geiriau yn y gorchymyn hwn yn deilwng o sylw neillduol. Ni ddywed Josua wrth yr haul, *Saf*, fel pe meddyliasai ei fod *yn rhedeg ei yrfa o amgylch y ddaear;* ond, *Bydd ddystaw* neu *anweithredgar*, hyny yw, fel yr wyf fi yn ei ddeall, *Attal dy ddylanwad*—na weithreda mwyach ar y ddaear i beri iddi droi oddeutu ei hechel; dull o ymadrodd ag sydd yn ddiau yn gyson â'r wybodaeth seryddol fanylaf: ac y mae ysgrifenydd yr hanes, pa un bynag ai Josua ei hun ynte awdwr llyfr *yr uniawn*, wrth adrodd canlyniad y gorchymyn hwn, yn gydradd fanwl, yn arferyd gair tra gwahanol pan yn son am yr *effaith* a gafodd attaliad y dylanwad heulaidd ar y lleuad: yn yr achos *blaenaf*, yr oedd yr haul yn *ddystaw* neu *anweithredgar (dom);* yn yr *olaf*, y lleuad a *safodd (amad)*. *Safiad* y lleuad, neu ei harosiad uwchlaw y terfyngylch, a fyddai effaith naturiol peidiad y dylanwad heulaidd, yr hyn a orfodai y ddaear i attal ei throad dyddiol, a hyn o ganlyniad a attaliai y lleuad; ac fel yma cadwyd hi a'r haul uwchlaw y terfyngylch, yn debygol am yspaid diwrnod cyfan. Gyda golwg ar y cyfarchiad i'r *lleuad*, ni luniwyd ef yn yr un geiriau a'r un i'r *haul*, a hyny am y rhesymau athronyddol amlycaf: yr oll a ddywedir yw yn unig, *a'r lleuad ar ddyffryn Ajalon*, yr hyn y gellir ei ddeall fel hyn: 'Bydded i'r haul attal ei ddylanwad, neu fod yn anweithredgar, megys y mae yn ymddangos yn awr uwch Gibeon, *fel* y gallo y lleuad barhau megys y mae hithau yn ymddangos yn awr uwch dyffryn Ajalon.' Y mae yn deilwng o sylw fod pob gair yn y cyfarchiad barddonol hwn wedi ei ddethol yn amlwg gyda'r gocheliad a'r manylrwydd mwyaf.

'Dywed y rhai, nad ydynt gyfeillion i ddwyfol ddatguddiad, 'fod yr adroddiad a roddir o'r wyrth hon yn tybio y ddaear yn nghanolbwynt y gyfundrefn, a'r haul yn ymsymud; a chan fod hyn yn amlwg yn athroniaeth gyfeiliornus, o ganlyniad ni chafodd yr hanes erioed ei ffurfio gan Ysbryd y gwirionedd.' Ereill,

13 A'r haul a arhosodd, a'r lleuad
a safodd, nes i'r genedl ddial ar eu
gelynion. Onid *yw* hyn yn ysgrifenedig yn llyfr yr uniawn? Felly yr

---

mewn atebiad, a ddywedant, 'fod yr Ysbryd Glân yn ymostwng at amgyffrediadau y werin. Dychymygasai yr Israeliaid yn naturiol fod Josua wedi gwallgofi pe parasai efe i'r *ddaear sefyll*, yr hyn yr addefant a fuasai y dull mwyaf cywir ac athronyddol o orchymyn ar yr achlysur hwn.' Ond gyda pharch dyladwy i'r *gwrthddadleuwyr* a'r *amddiffynwyr*, rhaid i mi haeru y buasai y gyfryw ffurf o ymadrodd, ar y fath achlysur, yn hollol *anathronyddol;* a bod y geiriau a geir yn y testyn Hebreig y fath ag y gallasai Syr Isaac Newton ei hun eu galw, wrth ystyried pob peth, yn gain, cywir, ac arddunol. Nid ymddengys chwaith mewn un modd fod *rhagfarnau y werin* yn cael eu hystyried ar yr achlysur hwn; ac nid oes yma air, pan ei deallir yn briodol, ag sydd yn annghyson a gosodedigaeth buraf yr athronyddiaeth gywiraf, na dim yn sicr yn cynwys *gwrthddywediad.* Addefaf, pan y mae gan y *bobl* i ymwneyd â materion *seryddol* ac *athronyddol*, y gellir cyfaddasu geiriau y wyddiaunaeth y pryd hyny at eu *hamgyffrediadau:* ar y tir hwn y sonia Syr Isaac Newton ei hun am *godiad* a *machludiad yr haul*, er y gŵyr pob gwir athronydd mai gan droad y *ddaear* ar ei hechel ei hun o'r gorllewin i'r dwyrain y cynyrchir yr *ymddangosiadau* hyn. Ond pan y mae pethau o'r fath yma i gael eu trin rhwng *Duw* a'i *broffwydi*, fel yn yr achos uchod, yna y mae pynciau perthynol i athronyddiaeth yn cael eu meddwl yn eu hymadroddion priodol, a'u mynegu yn ol eu hanian eu hunain Yn niwedd adn. 13 y mae ymadrodd tra gwahanol yn cael ei arferyd, pryd y dywedir, *Felly yr haul a safodd:* nid *dom* ydyw, ond *amad, vaiyaamod hashshemesh;* pa ymadrodd, wrth wahaniaethu fel hyn oddiwrth yr un yn ngorchymyn Josua, a all gael ei ystyried fel yn arwyddo ddarfod i'r haul ei hun, i'r dyben i *attal ei ddylanwad*, (yr hyn y cymerais ei fod yr *achos* o droad y ddaear,) ddyfod yn *anweithredgar*, hyny yw, beidio â throi oddeutu ei echel ei hun, pa droad ond odid yw un achos nid yn unig o droad y ddaear, ond hefyd o droad yr holl gyrff planedaidd ereill yn ein cyfundrefn ni, a gall ei fod wedi effeithio ar yr holl blanedau y pryd hyn; ond nid allai ac ni ddarfu i hyn beri unrhyw annhrefn yn naturiaeth; ac y mae yr oediad o ychydig oriau yn yr holl ysgogiadau planedaidd yn ymddarfod i bwynt diarwybod yn miloedd blynyddoedd eu cylchdroadau. Ond gallasai yr holl effaith a grybwyllir yma gael ei chynyrchu trwy *beidiad troad dyddiol y ddaear*, a'r un *blynyddol* yn cael ei barhau o hyd; ac yr wyf yn dadlu fod hyn yn ddichonadwy i Hollalluogrwydd, ac y gallasai y cyfryw beidiad gymeryd lle heb achosi yr aflonyddwch lleiaf yn symudiadau unrhyw rai ereill o'r gyfundrefn blanedaidd. Ofer yw gwaeddi a dywedyd, 'Nis gallai y cyfryw beidiad ysgogiad mewn un blaned gymeryd lle heb annhrefnuso ysgogiadau y lleill oll.' Yr wyf yn gwadu hyn; a'r rhai a'i haerant, ni wyddant yr *ysgrythyrau* na *gallu Duw;* gan hyny y maent yn mawr gyfeiliorni. Ddarfod i'r dydd gael ei estyn yn oruwchnaturiol sydd wirionedd ysgrythyrol; ei fod felly trwy *wyrth* a sicrheir; a pha un a wnaed y wyrth hon *fel y nodwyd uchod* nid yw o nemawr bwys: y mae y peth yn wirionedd ysgrythyrol, pa un bynag a wyddom ni y *modus operandi* ai peidio. Prin y mae achos i mi chwanegu, fod *gorchymyn Josua i'r haul* i'w ddeall fel *gweddi ar Dduw* (oddiwrth yr hwn y cafodd yr haul ei fodaeth a'i barhad) am i'r effaith fod yr hyn a fynegir yn y gorchymyn; ac am hyny dywedir, adn. 14, i'r ARGLWYDD WRANDAW AR LAIS DYN, *canys yr Arglwydd a ymladdodd dros Israel.*

'Aethym fel hyn trwy wahanol ranau y wyrth ryfeddol hon, ac ymdrechais i roddi cyfrif am y cwbl mewn modd mor eglur a syml ag y medrwn. Nid ydys yn hòni y gwna yr adroddiad hwn foddhau pob darllenydd, a bod pob anhawsder wedi ei chwalu; byddai yn annichonadwy gwneyd hyny yn y fath gylch a'r un ag yr wyf fi wedi fy nghau ynddo o angenrheidrwydd; a gorfu i mi, er mwyn byrdra, daflu i ffurf *cynseiliau* neu nodiadau, amrai bynciau a allant ymddangos fel yn gofyn eglurhad a phrawf: am y cyfryw rhaid i mi gyfeirio y darllenydd at Draethodau Seryddol. Darfu i Calmet, Scheuchzer, a Saurin, yn nghyda llawer o'n cydwladwyr ein hunain, ddywedyd yn helaeth ar y pwnc dyrys hwn; ond yn y fath fodd, yr wyf yn gorfod cyfaddef, ag na roddodd i mi nemawr o foddlonrwydd, ac a ymddengys i mi yn gadael y prif anhawsderau heb eu symud. Yn ymwybodol o anhawsderau y pwnc hwn, erfyniaf ganiatad i gyfarch pob darllenydd têg yn ngeiriau amlddyfynedig awdwr enwog:

> *Vive, Vale! si quid novisti rectius istis,*
> *Candidus imperti; si non, his utere mecum.*
> HOR. Epist. l. i., E. vi., ver. 68.
>
> Bydd iach! ac os trefn well yw d'eiddo di,
> O dyro'n rhwydd, neu arfer 'reiddof fi.'
> CLARKE.

Adn. 13. *A'r haul a arhosodd*] Gwel ar adn. 12; *a'r lleuad a safodd*—ac yr ydym yn rhwym i gredu y ffeithiau hyn ar awdurdod Duw; *nes i'r genedl ddial ar eu gelynion*—nes i Israel lwyr ddystrywio holl fyddinoedd pum brenin yr Amoriaid, y rhai a fwriadent ddyfetha y Gibeoniaid. *Onid yw hyn yn ysgrifenedig yn llyfr yr uniawn?*—Saes. 'yn llyfr Jaser:' gwel ar Num. xxi. 14. 'Y mae yn debyg fod y llyfr hwn, mewn cyfeiriad at Josua a'i weithrediadau, yn gyffelyb i esboniadau Cesar ar ei ryfeloedd â'r Gwâlwys. Y mae berniaid ac esbonwyr yn gwahaniaethu yn fawr yn eu tybiau mewn perthynas i natur y llyfr hwn. Y dyb uchod sydd yn ymddangos i mi y fwyaf tebygol.'—CLARKE. 'Yr oedd y llyfr hwn wedi ei ysgrifenu a'i gyhoeddi cyn i Josua ysgrifenu ei hanesiaeth ef. Y mae yn debyg mai casgliad ydoedd o dystiolaethau neu bryddestau yn nghylch prif ddygwyddiadau y rhyfeloedd hyn, a diamau ei fod yn rhoddi hanes helaethach am y wyrth hon. Ond y mae hwn, a rhai llyfrau ereill o'r oesoedd

haul a safodd yn nghanol y nefoedd,
ac ni frysiodd i fachludo dros ddiwr-
nod cyfan.
14 Ac ni bu y fath ddiwrnod a
hwnw o'i flaen ef, nac ar ei ol ef, fel y
gwrandawai yr Arglwydd ar lef dyn:
canys yr Arglwydd a ymladdodd dros
Israel.
15 ¶ A Josua a ddychwelodd, a
holl Israel gydag ef, i'r gwersyll, i
Gilgal.
16 Ond y pum brenin hyny a ffoi-
sant, ac a ymguddiasant mewn ogof
yn Macceda.
17 A mynegwyd i Josua, gan ddy-
wedyd, Y pum brenin a gafwyd yn
nghudd mewn ogof yn Macceda.
18 A dywedodd Josua, Treiglwch
feini mawrion ar enau yr ogof, a go-
sodwch wrthi wŷr i'w cadw hwynt.
19 Ac na sefwch chwi; erlidiwch
ar ol eich gelynion, a tharewch y rhai
olaf o honynt; na adewch iddynt fyn-
ed i'w dinasoedd; canys yr Arglwydd
eich Duw a'u rhoddodd hwynt yn eich
llaw chwi.
20 A phan ddarfu i Josua a meib-
ion Israel eu taro hwynt â lladdfa
fawr iawn, nes eu difa; yna y gwedd-
illion a adawsid o honynt a aethant
i'r dinasoedd caerog.
21 A'r holl bobl a ddychwelasant
i'r gwersyll at Josua yn Macceda
mewn heddwch, heb symud o neb ei
dafod yn erbyn meibion Israel.
22 A Josua a ddywedodd, Agorwch

---

hyn, wedi eu colli er's talm, trwy nad oedd-ynt yn ganonaidd, nac o ganlyniad yn cael eu cadw gan yr Iuddewon [na chan ragluniaeth Duw] gyda'r un gofal ag y cadwent eu hys-grifau ysbrydoledig.'—Benson. 'Coffadwr-iaethau neu groniclau *uniawn* neu *ddilys*, ond odid eiddo yr archoffeiriad, o ba rai y casglwyd y rhan fwyaf o hanesiaeth yr Hen Destament.'—Williams. 'Gall feddwl, meddai rhai, lyfr y *cyfiawnion*, yn yr hwn y coffeid eu gweith-redoedd arwraidd.'—Patrick. 'Casgliad o ganiadau gwladwriaethol, ond odid yr un a llyfr rhyfeloedd yr Arglwydd.'—Henry. 'Y mae yn debyg mai *prydyddiaeth* ydoedd, ca-nys crybwyllir am dano, 2 Sam. i. 18, yn ach-os galarnad a wnaed ar farwolaeth Saul a Jonathan gan y brenin Dafydd, yr hwn a bar-odd ei ysgrifenu yn y llyfr hwn.'—Grotius. 'Tybiodd rhai mai casgliad o bennillion yd-oedd, y rhai yr arferai yr Israeliaid eu trysori yn eu cof, er mwyn cofio yn well y gwyrthiau ag y rhyngodd bodd i Dduw eu gwneyd o'u plaid.'—Stackhouse.

Adn. 14. *Ac ni bu y fath ddiwrnod a hwnw*] Yn y parthau hyny o'r byd am y rhai y mae efe yn awr yn llefaru. Ofer gan hyny yw yr wrthddadl hôno, fod y dyddiau yn hirach ger y pegwynau gogleddol a deheuol, lle y gwydd-om eu bod yn wastadol yn hwy ar amserau penodol, a hyny trwy drefn reolaidd natur-iaeth. Dywed rhai i'r dydd hwnw barhau am 36 o oriau. *Fel y gwrandawai yr Arglwydd ar lef dyn*—o ganlyniad *gweddi* oedd geiriau Josua, yn hytrach na *gorchymyn*; a dywedir i 'Josua lefaru wrth yr Arglwydd,' adn. 12.

Adn. 15. *A Josua a ddychwelodd, a holl Israel gydag ef, i'r gwersyll i Gilgal*] Na ddychwelodd y fyddin Israelaidd i'r gwersyll yn Gilgal nes iddynt grogi y pum brenin a dyfetha eu dinasoedd, sydd ddigon amlwg oddi wrth ranau dylynol y bennod hon. Ar ol gor-phen y gwaith, ac nid cyn hyny, y dychwelas-ant i'r gwersyll yn Gilgal, adn. 43. Y mae y lxx a'r cyfieithiad *Anglo-Saxonaidd* yn gad-ael allan yr adnod hon; ac nid ymddengys ei bod yn hen gyfieithiadau *Origen*. Hi a saif yn ei lle priodol yn adn. 43; tra y mae yma nid yn unig yn ddiddefnydd, ond yn rhwystr i'r hanes. Ped ystyrid hi fel yn ddilys, ac yn ei lle priodol, mi a gynygiwn fod i *Macceda* gael ei ddarllen yn lle *Gilgal*, ebai Clarke; canys ni a ddysgwn oddiwrth adn. 21, fod gan Josua wersyll dros amser yno:—*Yna Josua a ddy-chwelodd, a holl Israel gydag ef, i'r gwersyll i* Macceda. Ac wedi hyn gallwn feddwl i Josua, ar ol sicrhau yr ogof, anfon rhai min-teioedd i buro y wlad, a thori ymaith yr holl weddill o'r Canaaneaid crwydredig; ac ar ol gwneyd hyny dychwelasant *hwythau* hefyd i'r gwersyll yn Macceda, fel yr adroddir adn. 21; a phan orphenwyd y gwaith, dattodasant y gwersyll yn Macceda, a dychwelasant oll i'w gwersyll caerog yn *Gilgal*, adn. 43.

Adn. 16. *Ymguddiasant mewn ogof*] Tybia rhai fod yr ogof hon yn lle amgaerog yn mysg rhyw greigiau; canys yr oedd ilawer o'r fath leoedd mewn gwahanol barthau o Palestina.

Adn. 17. *Yn Macceda*] Neu *ger* Macceda; canys felly, ebai Coke, y dylid cyfieithu y wreiddiol yma.

Adn. 18. *Treiglwch feini mawrion ar enau yr ogof*] I gadw y pum brenin yn ngharchar nes y dyfethoch eich gelynion. Fel cadfiaenor call y mae efe yn oedi ei ymorfoleddiad hyd nes y gorphenai ei oresgyniadau.

Adn. 19. *Na adewch iddynt fyned i'w din-asoedd*] Rhag iddynt ymadgyfnerthu, ac ad-newyddu y rhyfel.

Adn. 20. *A phan ddarfu i Josua a meibion Israel eu taro hwynt*] Yn hytrach, pan ddarfu i feibion Israel trwy orchymyn Josua; canys nid aethai Josua ei hun gyda hwynt, eithr ar-hosai yn y gwersyll o flaen Macceda.

Adn. 21. *A'r holl bobl a ddychwelasant i'r gwersyll*] Sef y rhai hyny a anfonesid i ymlid y gelynion; *mewn heddwch*—heb neb wedi ei ladd, na chymaint a'i glwyfo; *heb symud o neb ei dafod*—'yr oedd holl orchwyliaethau y dydd pwysig hwn yn cael eu cario yn mlaen mor amlwg dan gyfarwyddyd Duw, fel nad oedd y grwgnachrwydd lleiaf, nac achos am dano, yn eu plith hwynt, canys yr oedd eu gelynion oll wedi eu maeddu.'—Clarke. Ond ymddengys oddiwrth y rhan olaf o'r adnod, *yn erbyn meibion Israel*, mai symudiad tafod y *gelynion* a olygir; a meddylir fod hwn yn

enau yr ogof, a dygwch allan y pum brenin hyny ataf fi o'r ogof.

23 A hwy a wnaethant felly, ac a ddygasant allan y pum brenin ato ef o'r ogof; *sef* brenin Jerusalem, brenin Hebron, brenin Jarmuth, brenin Lacis, *a* brenin Eglon.

24 A phan ddygasant hwy y brenhinoedd hyny at Josua, yna Josua a alwodd am holl wŷr Israel, ac a ddywedodd wrth dywysogion y rhyfelwyr, y rhai a aethai gydag ef, Nesewch, gosodwch eich traed ar yddfau y brenhinoedd hyn. A hwy a nesasant, ac a osodasant eu traed ar eu gyddfau hwynt.

25 A Josua a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch, ac nac arswydwch; *eithr* ymwrolwch ac ymegniwch: canys fel hyn y gwna yr Arglwydd i'ch holl elynion yr ydych chwi yn ymladd i'w herbyn.

26 Ac wedi hyn Josua a'u tarawodd hwynt, ac a'u rhoddodd i farwolaeth, ac a'u crogodd hwynt ar bum pren: a buant yn nghrog ar y prenau hyd yr hwyr.

27 Ac yn mhryd machludo haul, y gorchymynodd Josua iddynt eu disgyn hwynt oddiar y prenau, a'u bwrw hwynt i'r ogof yr ymguddiasant ynddi: a bwriasant gerig mawrion yn ngenau yr ogof, *y rhai sydd yno* hyd gorff y dydd hwn.

28 ¶ Josua hefyd a ennillodd Macceda y dwthwn hwnw, ac a'i tarawodd hi â min y cleddyf, ac a ddifrododd ei brenin hi, hwynt-hwy, a phob enaid ag *oedd* ynddi; ni adawodd efe *un* gweddill: canys efe a wnaeth i frenin Macceda, fel y gwnaethai i frenin Jericho.

29 ¶ Yna yr aeth Josua a holl Israel gydag ef o Macceda i Libna, ac a ymladdodd yn erbyn Libna.

30 A'r Arglwydd a'i rhoddodd hithau, a'i brenin, yn llaw Israel; ac yntau a'i tarawodd hi â min y cleddyf, a phob enaid a'*r oedd* ynddi; ni adawodd ynddi *un* yn ngweddill: canys efe a wnaeth i'w brenin hi fel y gwnelsai i frenin Jericho.

31 ¶ A Josua a dramwyodd, a holl Israel gydag ef, o Libna i Lacis; ac

---

ymadrodd diarebol, yn arwyddo na wnaed niwed iddynt trwy air na gweithred: gwel ar Exod. xi. 7.

Adn. 22, 23. *Agorwch enau yr ogof, &c.*] Daeth yr ogof, yr hon y ffoisant hwy iddi ac yr ymddiriedent ynddi am noddfa, yn garchar iddynt, lle y cauwyd hwynt i fyny hyd onid eisteddai Josua mewn barn arnynt. Ymddengys ddarfod iddynt ddianc yma rhag y cenllusg a'r cleddyf, trwy fod Duw yn trefnu hyny, nid o gymwynas iddynt hwy, ond fel y cedwid hwy i ddienyddiad mwy ofnadwy.

Adn. 24, 25. *Gosodwch eich traed ar yddfau y brenhinoedd hyn*] Gorchymynid hyn, nid mewn gorhydri a balchder, eithr fel arwydd nid yn unig fod y brenhinoedd hyn a'u gwledydd wedi eu dwyn i gyflwr o lwyr ddarostyngiad i'r Israeliaid; ond hefyd o'u hymorfoleddiad nesaol ar eu holl wrthwynebwyr, yr hyn yw y deongliad a ddyry Josua o hono yn adn. 25.

Adn. 26. *A'u crogodd hwynt ar bum pren*] Yn mhlith yr Hebreaid amddifedid drwgweithredwyr yn gyntaf o'u *bywyd*, yr hyn oedd y gosp a ofynid gan gyfiawnder; ac yna crogid hwy gerfydd eu *dwylaw*, nid gerfydd eu *gwddf*, mewn ffordd o siampl, i attal ereill rhag cyflawni y troseddau am ba rai y dyoddefasai y rhai hyny: ond ni oddefid iddynt byth grogi fel hyn *dros nos*, am nas gallai hyny ateb un dyben o *gyfiawnder* na *siampl*, gan nas gellid eu canfod yn y nos: gwel ar Deut. xxi. 23.

Adn. 27. *Gorchymynodd Josua iddynt eu disgyn*] Fel na fyddai i fwystfilod eu gwancio, na neb o'u pobl roddi iddynt gladdiad anrhydeddus; *a'u bwrw i'r ogof yr ymguddiasant ynddi*—felly yr hyn y tybient hwy y buasai iddo eu diogelu, a wnaed yn gyntaf yn garchar iddynt, ac wedi hyny yn fedd! Yr un modd yn ddiau y siomir pawb yn mha beth bynag y ffoant ato oddiwrth Dduw. Dywed Maimonides, a'r Cronicl Samaritanaidd, ddarfod i Josua orchymyn i offerynau eu cosp, a phob peth a ddefnyddiesid i'r perwyl hwnw, gael eu claddu yn yr ogof gyda'u cyrff; a dywed ymdeithwyr fod yr ogof hon i'w gweled eto, a'i bod wedi ei hamgau â muriau.

Adn. 28. *Josua hefyd a ennillodd Macceda y dwthwn hwnw*] Neu y *dydd* hwnw. Dichon i Macceda gael ei chymeryd prydnawn yr un dydd ag y cymerodd safiad gwyrthiol yr haul le; ond am y dinasoedd ereill a grybwyllir yn y bennod hon, diau mai yn mhen rhai dyddiau wedi hyn y darostyngwyd hwy, gan nad oedd yn bosibl i fyddin wedi diffygio fel y rhaid fod hon, gyda thaith noson gyfan a deuddydd o ryfela caled, fyned yn mhellach na Macceda y noson hôno: y dinasoedd ereill a gymerwyd yn olynol y dyddiau canlynol.'—Clarke. Ond ymddengys iddynt gymeryd *Libna* hefyd y dydd *hir* hwnw, gan mai *Lacis*, i'r hon yr aethant o Libna, yw y gyntaf ag y dywedir iddynt ei hennill yr *ail* ddydd, adn. 32.

Adn. 29. *Ac a ymladdodd yn erbyn Libna*] Yr oedd y ddinas hon yn agos i Macceda, pen. xv. 42, a syrthiodd i lwyth Juda, adn. 20, a rhoddwyd hi i'r offeiriaid, pen. xxi. 13. Gwarchaewyd hi gan Senacherib, ar ol iddo orfod myned o Lacis, 2 Bren. xix. 8.

Adn. 30. *Fel y gwnelsai i frenin Jericho*] Ni ddywed yr ysgrythyr pa fodd y triniwyd brenin Jericho; ond tybir oddiwrth yr hyn a ddywedir am y brenhinoedd ereill, i'w gorff

a wersyllodd wrthi, ac a ymladdodd
i'w herbyn.
32 A'r Arglwydd a roddodd Lacis
yn llaw Israel; yr hwn a'i hennillodd
hi yr ail ddydd, ac a'i tarawodd hi â
min y cleddyf, a phob enaid ag *oedd*
ynddi, yn ol yr hyn oll a wnaethai efe
i Libna.
33 ¶ Yna Horam brenin Gezer a
ddaeth i fyny i gynorthwyo Lacis: a
Josua a'i tarawodd ef a'i bobl, fel na
adawyd iddo ef *un* yn ngweddill.
34 ¶ A Josua a dramwyodd, a holl
Israel gydag ef, o Lacis i Eglon: a
hwy a wersyllasant wrthi, ac a ym-
laddasant i'w herbyn.
35 A hwy a'i hennillasant hi y di-
wrnod hwnw, ac a'i tarawsant hi â
min y cleddyf; ac efe a ddifrododd
bob enaid a'*r oedd* ynddi y dwthwn
hwnw, yn ol yr hyn oll a wnaethai
efe i Lacis.
36 ¶ A Josua a esgynodd, a holl
Israel gydag ef, o Eglon i Hebron; a
hwy a ryfelasant i'w herbyn.
37 A hwy a'i hennillasant hi,
ac a'i tarawsant hi â min y cleddyf,
a'i brenin, a'i holl ddinasoedd, a
phob enaid ag *oedd* ynddi; ni adaw-
odd efe *un* yn ngweddill yn ol yr hyn
oll a wnaethai efe i Eglon: canys
efe a'i difrododd hi, a phob enaid ag
*oedd* ynddi.
38 ¶ A Josua a ddychwelodd, a holl
Israel gydag ef, i Ddebir; ac a ym-
laddodd i'w herbyn.
39 Ac efe a'i hennillodd hi, ei bren-
in a'i holl ddinasoedd; a hwy a'u tar-
awsant hwy â min y cleddyf, ac a
ddifrodasant bob enaid ag *oedd* yn-
ddi; ni adawodd efe *un* yn ngwedd-
ill: fel y gwnaethai efe i Hebron,
felly y gwnaeth efe i Ddebir, ac i'w
brenin; megys y gwnelsai efe i Libna,
ac i'w brenin.
40 ¶ Felly y tarawodd Josua yr holl

---

yntau gael ei grogi: ac y mae yr adnod gyntaf o'r bennod hon, wrth ei chydmharu â pen. viii. 29, yn cynal y dybiaeth.

Adn. 31. *A holl Israel gydag ef*] Sef y cwbl ag oedd gyda Josua yn y rhyfelgyrch hwn.

Adn. 32. *Lacis*] Ymddengys fod hon gynt yn le cadarn iawn. Er fod y bobl wedi eu taraw â braw, a'r Israeliaid yn cael eu hurddasu â llwyddiant, eto nis gallai Josua ei darostwng hi hyd yr ail ddydd, er iddo ond odid ddechreu ymosod arni y dydd cyntaf; a gorfu i frenin Assyria, ar ol hyn, droi oddiwrthi: gwel ar adn. 3, 29.

Adn. 33. *Yna Horam brenin Gezer*] Y mae yn debyg fod Horam mewn cynghrair â brenin Lacis, ac am hyny daeth i'w gynorthwyo cyn gynted ag y gwelwyd ei fod yn debygol o gael ymosod arno. Y mae yn debyg i Josua anfon mintai yn ei erbyn ef cyn iddo allu ymuno â byddinoedd Lacis, a'i lwyr ddyfetha ef a'i fyddin. Meddylir fod *Gezer* yn sefyll yn agos i *Azotis*, (gwel 1 Mac. xiv. 34,) ac yr oedd yn rhandir meibion Joseph, pen. xvi. 3. Ond y mae yn debyg iddi gael ei chymeryd wedi hyny gan rai o weddillion y cenhedloedd Canaaneaidd; oblegid cawn ddarfod ei rhoddi gan Pharao i'w ferch, gwraig Solomon, 1 Bren. ix. 16, yr hyn a brofa ei bod wedi myned o feddiant yr Israeliaid cyn dyddiau Solomon: gwel ar adn. 36.

Adn. 34. *Eglon*] Y mae yn debyg nad oedd y ddinas hon yn mhell iawn o Lacis: gwel ar adn. 3.

Adn. 35. *A hwy a'i hennillasant hi y diwrnod hwnw*] Ar yr hwn y cynygiasant hyny gyntaf.

Adn. 36. *Josua a esgynodd—i Hebron*] Ac a'i llwyr ddifrododd hi a'i thrigolion: gwel ar adn. 3. Ymddengys fod dinas *Hebron* wedi syrthio yn ol i ddwylaw y Canaaneaid wedi hyn, canys cymerwyd hi drachefn oddiarnynt hwy gan lwyth Juda, Barn. i. 10. Yr oedd *Debir* hefyd wedi syrthio i'w dwylaw hwy, canys ail orchfygwyd hithau gan *Othniel*, mab-yn-nghyfraith Caleb, Barn. i. 11—13. Y modd y dyry Calmet gyfrif am hyn sydd bur naturiol: Yr oedd Josua, yn ei fuddugoliaethau cyflym, yn ymfoddloni ar gymeryd, dinystrio, a llosgi y dinasoedd hyny; ond ni osodai filwyr i gadw un o honynt, rhag ofn gwanhau ei fyddin. Felly yr oedd y Canaaneaid gwasgaredig weithiau yn dychwelyd, yn adboblogi y cyfryw ddinasoedd, ac yn eu rhoddi mewn cyflwr o ddiffyniad; nes yr oedd yr Israeliaid yn gorfod eu gorchfygu hwy eilwaith. Y mae hon yn ffordd fwy rhesymol o gyfrif am y pethau hyn, na'r un a dybia fod y bennod gyntaf o'r Barnwyr yn rhoddi hanes helaethach am y gorchwyliaethau a goffeir yma; canys dywedir yn bendant yno i'r gorchwyliaethau hyny gymeryd lle *wedi marw Josua*, Barn. i. 1, ac o ganlyniad nis gallant fod y rhai a grybwyllir yma.

Adn. 37. *Tarawsant hi â min y cleddyf, a'i brenin*] Oddiwrth adn. 23 nyni a ddysgwn fod brenin Hebron yn un o'r *pump* hyny a laddwyd ac a grogwyd gan Josua yn Macceda; pa fodd gan hyny y dywedir iddo ladd brenin Hebron pryd y cymerodd efe y ddinas, yr hyn oedd rai dyddiau ar ol yr hyn a wnaed yn Macceda? Rhaid fod y lladdiad hwn ar frenin Hebron yn cyfeirio at yr hyn a wnaethid *eisioes;* neu ynte yr oedd yr Hebroniaid, ar ol deall i'w brenin syrthio yn y rhyfel, wedi gosod i fyny un *arall* yn ei le ef, yr hwn oedd y brenin a laddwyd gan Josua yn awr.

Adn. 38. *A Josua a ddychwelodd—i Ddebir*] Ni fuasai Josua yno o'r blaen; ond wedi iddo fyned cyn belled a Gaza yn orllewinol, adn. 41, efe yn awr a ddychwelodd tua'r gwersyll yn Gilgal, pa un oedd yn ogledd-ddwyreiniol oddiwrtho; ac yn ei daith yno efe a gymerodd Ddebir.

fynydd-dir, a'r deau, y gwastadedd *hefyd*, a'r bronydd, a'u holl frenhinoedd: ni adawodd efe *un* yn ngweddill; eithr efe a ddifrododd bob perchen anadl, fel y gorchymynasai Arglwydd Dduw Israel.
41 A Josua a'u tarawodd hwynt o Cades-Barnea, hyd Gaza, a holl wlad Gosen, hyd Gibeon.
42 Yr holl frenhinoedd hyn *hefyd* a'u gwledydd a ennillodd Josua ar unwaith: canys Arglwydd Dduw Israel oedd yn ymladd dros Israel.
43 Yna y dychwelodd Josua, a holl Israel gydag ef, i'r gwersyll yn Gilgal.

## PENNOD XI.

A PHAN glybu Jabin brenin Hazor *y pethau hyny*, efe a anfonodd at Jobab brenin Madon, ac at frenin Simron, ac at frenin Achsaph,

---

Adn. 39. *Ac a ddifrodasant bob enaid*] '*Vaiyacharimu eth col nephesh*, dygasant bob un dan *felldith:* darfu iddynt naill ai eu lladd, neu eu darostwng i gyflwr o gaethiwed. A ydyw yn rhesymol dywedyd iddynt *ladd* y rhai a gaed dan arfau, ac iddynt wneyd *caethweision* o'r lleill?'—Clarke.

Adn. 40. *Efe a ddifrododd bob perchen anadl*] O leiaf pob un a geid dan arfau yn parhau i wrthsefyll. Ond diamau i lawer ddianc, ac adfeddiannu wedi hyny rai parthau o'r tir: gwel ar adn. 36. *Fel y gorchymynasai Arglwydd Dduw Israel*—chwanegir hyn er amddiffyniad i'r Israeliaid, y rhai ni fynai Duw iddynt ddyoddef yn eu henw da am gyflawni ei orchymynion ef; ac am hyny y mae efe yn eu rhyddhau hwy oddiwrth y creulondeb ag y gallent gael eu cyfrif yn euog o hono, ac yn ei briodoli i'w ddigllonedd cyfiawn ei hun.

Adn. 41. *Holl wlad Gosen*] Myn Calmet mai dyma y wlad lle y trigai yr Hebreaid cyn ymadael o'r Aifft; ac yn ol y dyb hon y lluniodd efe ei *ddarlunlen*, gan beri iddi ymestyn oddiwrth y Nilus, yr hon a elwid afon yr Aifft, ar hyd cyffiniau gwlad Cus neu Arabia. Modd bynag, ymddengys yn eglur fod dinas o'r enw *Gosen* yn llwyth Juda, pen. xv. 51; a hon, fel y tybia rhai, a roddes enw i'r wlad gytagos, yr hon y cyfeirir ati yn y testyn. Dywed Pellicanus fod y tir hwn yn cael ei gyfoethogi â phorfeydd breision a ffrydiau helaeth fel Gosen yn yr Aifft, a'i fod am hyny yn cael ei alw ar yr un enw.

Adn. 42. *A ennillodd Josua ar unwaith*] Hyny yw, efe a faeddodd y brenhinoedd hyny, ac a gymerodd eu holl wledydd, mewn *un* ryfel. Ond yr oedd y buddugoliaethau hyn mor gyflym a rhyfeddol fel nas gellir eu priodoli i gadfridogaeth Josua na dewrder yr Israeliaid; ac am hyny y mae yr awdwr ei hun, gan ddiarddelwi pob clod, yn chwanegu yn ŵylaidd a duwiol, 'Canys Arglwydd Dduw Israel oedd yn ymladd dros Israel.'

Adn. 43. *I'r gwersyll yn Gilgal*] Gwel ar adn. 15. Dychwelasant yma y pryd hyn, naill ai er dadebriad i'w natur; neu i ranu ffrwyth eu buddugoliaethau gyda'r rhai na buont yn rhyfela; neu ynte, yn benaf, i dalu diolch i Dduw yn ei gysegr.

Adfeddyliadau.—(1) Y mae prif bynciau y bennod bwysig hon wedi cael eu hystyried mor helaeth yn y sylwadau blaenorol, fel nad oes nemawr o le i chwanegu dim at yr hyn a ddywedwyd eisioes. Ond gallwn ddysgu oddi wrth ymddygiad y pum brenin tuag at y Gibeoniaid, y bydd i ninau, wrth ymgyngbreirio â phobl Dduw, fod yn sicr o dynu arnom ein hunain ŵg a dygasedd y byd. Ond ceir yn y diwedd mai undeb â phobl Dduw sydd ddiogelaf. 'A phwy a'ch dryga chwi, os byddwch yn dylyn yr hyn sydd dda?' (2) Gan fod yr haul a'r lleuad yn wrthddrychau addoliad y Canaaneaid, yr oedd y wyrth a wnaed arnynt yn cael ei bwriadu yn rasol i attal y goelgrefydd yma, ac i ddangos i'r Israeliaid yn gystal a'r Canaaneaid oferedd y fath addoliad, a ffoledd y fath ymddibyniad. Yr oedd hyd yn nod eu *duwiau* hwy, wrth air *gwas* Jehofa, yn gorfod cynorthwyo i *ddinystrio* eu haddolwyr eu hunain! Mabwysiadwyd y drefn hon i attal coelgrefydd a diddymu eilunaddoliaeth yn mhläau yr Aifft o'r blaen, a thrwy hyny danghosai Duw ei gyfiawnder a'i drugaredd ar unwaith. (3) Yr un Duw ag a ymddanghosodd mor hynod ar ran ei bobl gynt, sydd eto yn Llywydd nefoedd a daear; ac os ceisir ganddo, efe a wna fyth bob peth hanfodol angenrheidiol er lledaenu ei wirionedd a chynal ei grefydd yn mhlith dynion. Gan hyny yn ein holl filwriaeth ysbrydol na foed i ni byth annghofio arferyd gweddi. Nid ydym i ddysgwyl gwyrthiau fel eiddo Josua; ond gallwn ddysgwyl y bydd i'r 'rhai a obeithiant yn yr Arglwydd adnewyddu eu nerth: ehedant fel eryrod, rhedant ac ni flinant, rhodiant ac ni ddiffygiant.'

PEN. XI. Adn. 1. *A phan glybu Jabin brenin Hazor*] Y mae yn debyg mai *Jabin* oedd enw cyffredin holl frenhinoedd Hazor. Yr oedd y brenin hwnw a gadwodd yr Israeliaid mewn cyflwr o gaethiwed am ugain mlynedd, ac a ddarostyngwyd gan Debora a Barac, yn cael ei alw ar yr enw hwn, Barn. iv. 2, 3, 23. Y mae yr enw yn arwyddo *doeth* neu *ddeallus*. Yr oedd dinas *Hazor* yn sefyll uwchlaw llyn *Semechon*, yn Galilea Uwchaf, yn ol Josephus, Hen. llyfr v. pen. 6. Rhoddwyd hi i lwyth Naphtali, Jos. xix. 36, y rhai, fel yr ymddengys, na buont yn ei pherchenogi yn hir; canys er i Josua ei llosgi, adn. 11, y mae yn debyg i'r Canaaneaid ei hail adeiladu, ac adfer yr hen lywodraeth, gan y cawn frenin grymus yno yn mhen 130 o flynyddoedd ar ol marwolaeth Josua, Barn. iv. 1. Yr un ydyw ag a gymerwyd gan Tiglath-pileser, yn nghyda Cades, yn agos i ba un y mae: gwel 2 Bren. xv. 29. Meddylir iddi roddi enw i ddyffryn neu wastadedd *Hazor* neu *Nazor*, yr hwn sydd yn sefyll rhyngddi a Cades, lle y maeddodd Jonathan a Mattathias fyddinoedd Demetrius, ac y lladdasant dair mil o'u gwŷr, 1 Mac. xi. 63—74. Hon oedd prifddinas yr holl dalaeth hòno yn yr hen amseroedd, ac yr

2 Ac at y brenhinoedd *oedd* o du y
gogledd yn y mynydd-dir, ac yn y
rhosdir *tua*'r deau i Cinneroth, ac yn
y dyffryn, ac yn ardaloedd Dor tua'r
gorllewin;
3 *At* y Canaaneaid o'r dwyrain a'r
gorllewin, ac at yr Amoriaid, a'r
Hethiaid, a'r Phereziaid, a'r Jebus-
iaid, yn y mynydd-dir, ac *at* yr Hefiaid
dan Hermon, yn ngwlad Mispa.
4 A hwy a aethant allan, a'u holl
fyddinoedd gyda hwynt, pobl lawer,
fel y tywod *sydd* ar fin y môr o aml-
dra; meirch hefyd a cherbydau lawer
iawn.
5 A'r holl frenhinoedd hyn a ym-
gyfarfuant; daethant hefyd a gwer-
syllasant yn nghyd wrth ddyfroedd
Merom, i ymladd yn erbyn Israel.
6 ¶ A dywedodd yr Arglwydd wrth
Josua, Nac ofna rhagddynt hwy:
canys y fory yn nghylch y pryd hwn
y rhoddaf hwynt oll yn lladdedig o
flaen Israel: llinynau garau eu meirch
hwynt a dori, a'u cerbydau a losgi di
â thân.

---

oedd nifer o îs-frenhinoedd neu benaethiaid yn ddarostyngedig i'w brenin hi, adn, 10: ac y mae yn debyg mai yr îs-frenhinoedd hyny a wysiwyd at frenin Hazor ar yr achlysur hwn; oblegid ar ol i Josua orchfygu parth deheuol gwlad yr addewid, darfu i'r parthau gogleddol, wrth eu gweled eu hunain mewn perygl, ymgynghreirio er ceisio attal hynt yr Israeliaid: gwel CALMET. *Efe a anfonodd at Jobab brenin Madon*—ni chrybwyllir am y ddinas frenhinol hon mewn un lle arall o'r ysgrythyr, oddieithr yn pen. xii. 19. Y mae yr ailun Vaticanaidd o'r LXX yn darllen *Maron*, yr hwn y tybia Calmet ei fod yn meddwl *Maronia* neu *Merath* yn Phenice, o du y gogledd i fynydd Libanus. Ond tybia rhai mai yr un lle a *Meroz* ydoedd, Barn. v. 23, trwy i'r *z* a'r *n* derfynol gael eu cyfnewid, yr hyn a allasai fod yn hawdd, gan eu bod mor debyg yn yr Hebraeg. *Ac at frenin Simron*—meddylir mai yr un yw y ddinas hon a *Symira*, yn Cœlesyria, yn gysylltedig â *Maron* neu *Merath*. Nis gall feddwl *Samaria*, gan mai yn hir wedi hyn y cafodd hòno ei henw gan Omri brenin Israel, 1 Bren. xvi. 24. *Ac at frenin Achsaph*—y mae Eusebius yn gosod hon o fewn deg milldir i Ptolemais, ar y ffordd i Tyrus. Disgynodd i lwyth Aser, pen. xix. 25.

Adn. 2. *Ac at y brenhinoedd oedd o du y gogledd yn y mynydd-dir*] Ond odid mynydd Hermon, neu ryw fynydd nid yn mhell oddi wrth lyn Gennesaret. *Ac yn y rhosdir tua'r deau i Cinneroth*—sef yn nyffrynoedd y mynydd-dir uchod, y rhai oeddynt o du y deau i fôr Cinneroth neu Gennesaret: gwel ar Mat. iv. 18. *Ac yn ardaloedd Dor*—tybia Calmet fod hyn yn meddwl gwlad wastad y ddwy Galilea, yn cyraedd at Fôr-y-canoldir, ac at *Dor*, yr hon oedd ddinas bellaf Phenice. Yr oedd *Dor* yn rhandir hanner llwyth Manasse, ac yn sefyll ar gyffiniau Môr-y-canoldir, naw milldir o Cesarea, ac unarhugain o Ptolemais.

Adn. 3. *At y Canaaneaid o'r dwyrain*] Y rhai a breswylient lanau yr Iorddonen, yn ddeheuol i lyn Gennesaret; *a'r gorllewin*—sef y Pheniciaid, y rhai a breswylient dueddau Môr-y-canoldir, o Dor yn ogleddol, ar y ffordd i fynydd Libanus. *Ac at yr Amoriaid*—yr oedd Amoriaid ereill yn wasgaredig ar hyd y wlad, heblaw y rhai darostyngedig i'r pum brenin crybwylledig yn pen. x. 5; y rhai oll a gynullwyd yn awr gan Jabin, yn nghyda'r gweddill o'r *Hethiaid* a'r *Phereziaid*, y rhai oeddynt mewn gwahanol barthau o'r wlad, fel y gallai ffurfio byddin mor nerthol ag y medrid ei chodi. *A'r Jebusiaid yn y mynydd-dir*—oddeutu Jerusalem, lle y cadwent amddiffynfa gadarn hyd amser Dafydd. *Ac at yr Hefiaid dan Hermon*—fel hyn y gwahaniaethid hwy oddiwrth yr Hefiaid ag oeddynt yn byw yn Gibeon. Yr oedd mynydd Hermon yn ddwyreiniol i Libanus a ffynnonau yr Iorddonen. *Yn ngwlad Mispa*—yr oedd amrai ddinasoedd o'r enw hwn: un yn llwyth Juda, pen. xv. 38; un arall yn llwyth Benjamin, pen. xviii. 26; y drydedd tuhwnt i'r Iorddonen yn llwyth Gad; a'r bedwaredd tuhwnt i'r Iorddonen yn llwyth Manasse, yr hon, fel y tybia Clarke, yw yr un a grybwyllir yn y testyn. Gan fod *Mispa* yn arwyddo *tŵr gwylio*, nid rhyfedd i amrai fanau manteisiol er gwelediad gael eu henwi felly.

Adn. 4. *Pobl lawer, fel y tywod sydd ar fin y môr o amldra*] Y ffurf yma o ymadrodd, yr hon a elwir gan lawer yn *ormodiaith*, a gyflea yn unig feddylddrych o nifer afrifed neu anarferol, neu nifer nad ellir yn hawdd ei rifo. *Meirch hefyd a cherbydau lawer iawn*—dywed Josephus fod y byddinoedd cynghreiriol hyn yn cyraedd i 300,000 o wŷr traed, 10,000 o wŷr meirch, a 20,000 o gerbydau rhyfel. Y mae yr holl hen hanesion yn profi fod *cerbydau* yn cael eu defnyddio yn fynych mewn rhyfel; a meddylir yn gyffredin eu bod yn mysg y Canaaneaid wedi eu harfogi â phladuriau heiyrn wedi eu sicrhau wrth *fôthau* eu holwynion. Dywedir pethau dychrynllyd am y rhai hyn, a'r hafog a wneid ganddynt wrth eu gyru yn ffyrnigwyllt i ganol rhenciau y milwyr traed! Yma gallwn weled y manteision mawrion ag oeddynt gan y cynghreirwyr hyn ragor yr Israeliaid, y rhai yr oedd eu byddinoedd yn gynwysedig o *wŷr traed* yn unig.

Adn. 5. *Gwersyllasant yn nghyd wrth ddyfroedd Merom*] Sef llyn yn rhanbarth ogleddol Palestina, trwy yr hwn y rhed yr Iorddonen. Gelwir ef yn awr *Llyn Huleh*, ac y mae yn sefyll mewn dyffryn deuddeg milldir o led. Gelwid ef *Merom, uchel*, am ei fod yn sefyll yn uwch na llynau ereill yr Iorddonen. Yr oedd ef yn agos i Hazor, dinas frenhinol Jabin, a bron yn nghanol tiriogaethau y brenhinoedd cynghreiriol hyn.

Adn. 6. *Nac ofna rhagddynt*] Yr oedd yn ofynol i Josua gael mwy na chefnogaeth gyffredin i gyfarfod â'r fath lu ofnadwy, wedi ymarfogi mor gryf, ac yn eu gwlad eu hunain. Felly yr oedd yr hysbysiad hwn oddiwrth

7 Felly Josua a ddaeth, a'r holl
bobl o ryfel gydag ef, yn ddisymwth
arnynt hwy wrth ddyfroedd Merom;
a hwy a ruthrasant arnynt.
8 A'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt
yn llaw Israel; a hwy a'u tarawsant
hwynt, ac a'u herlidiasant hyd Sidon
fawr, ac hyd Misrephoth-maim, ac hyd
glyn Mispeh o du y dwyrain; a hwy
a'u tarawsant hwynt, fel na adawodd
efe o honynt *un* yn ngweddill.
9 A Josua a wnaeth iddynt fel yr
archasai yr Arglwydd iddo: llinynau
garau eu meirch hwynt a dorodd efe,
a'u cerbydau a losgodd â thân.
10 ¶ A Josua y pryd hyny a ddy-
chwelodd, ac a ennillodd Hazor, ac a
darawodd ei brenin hi â'r cleddyf:
canys Hazor o'r blaen oedd ben yr
holl deyrnasoedd hyny.
11 Tarawsant hefyd bob enaid a'r
*oedd* ynddi â min y cleddyf, gan *eu*
difrodi *hwynt:* ni adawyd un perchen
anadl: ac efe a losgodd Hazor â thân.
12 A holl ddinasoedd y brenhinoedd
hyny, a'u holl frenhinoedd hwynt, a
ennillodd Josua, *ac* a'u tarawodd â
min y cleddyf, gan eu difrodi hwynt:
megys y gorchymynasai Moses gwas
yr Arglwydd.
13 Ond ni losgodd Israel yr un o'r
dinasoedd oedd yn sefyll yn eu cadern-
id; namyn Hazor yn unig a losgodd
Josua.

---

Dduw yn dra angenrheidiol, i'r dyben i attal y bobl rhag digaloni ar fin brwydr, yn yr hon yr oedd eu *cwbl* mewn perygl. *Rhoddaf hwynt oll yn lladdedig o flaen Israel*—y LXX a'i cyfieithiant, 'rhoddaf hwynt oll *ar ffô*:' ac y mae yn sicr na laddwyd hwynt oll, eithr llawer a ddiangasant. Y meddwl gan hyny yw, y byddent wedi eu dryllio a'u gwasgaru, fel na fyddai ganddynt nerth i wrthsefyll mwy na lladdedigion. *Llinynau garau eu meirch hwynt a dori*—gwel ar adn. 9. Nid yw tywysogion, y rhai sydd mewn angen am feirch i'w byddinoedd eu hunain, yn arfer dinystrio y rhai a gymerir oddiar y gelyn, na'u gwneyd yn ddiddefnydd trwy dori llinyn eu gar. Ond yr oedd Duw wedi gwahardd i'w bobl ef gael meirch a cherbydau rhyfel yn amddiffyn iddynt, (gwel Deut. xvii. 16, a xx. 1,) nid am y meddylid eu bod yn ddiddefnydd mewn rhyfel, ond am ei fod ef ei hun wedi cymeryd eu hachos arno, ac nad oedd ef mewn angen am feirch i ymladd ei ryfeloedd ef.

Adn. 7. *Felly Josua a ddaeth—yn ddisymwth arnynt*] Trwy fod Josua yn gwybod am y cynghrair mawr hwn, ni chollodd ddim amser, ond aeth allan i'w cyfarfod hwynt; a chyn iddynt allu meddwl ei fod gerllaw, efe a ruthrodd yn ddisymwth arnynt, a gyrodd hwynt ar ffo.

Adn. 8. *Ac a'u herlidiasant hyd Sidon fawr*] Os oedd hon yr un a Sidon yr henafiaid, yr oedd yn enwog yn hir cyn rhyfel Caerdroia; ac y mae hi a'i thrigolion yn cael eu crybwyll yn fynych gan Homer fel yn rhagori mewn gweithiau o gywreinrwydd a defnyddioldeb, ac yn llawn o gyfoeth. Priodola Pliny y gelfyddyd o wneuthur *gwydr* i'r ddinas hon. *Ac hyd Misrephoth-maim*—tybia Calmet fod y lle hwn yr un a *Sarepta*, sef dinas yn Phenice, yn agos i Sidon. Arwydda yr enw *losgiad dyfroedd;* a meddylir ei fod yn le nodedig am ei *ffynnonau poethion.*

Adn. 9. *Llinynau garau eu meirch hwynt a dorodd efe*] Y mae y gair *akar*, yr hwn a gyfieithiwn ni 'tori llinynau y garau,' yn arwyddo *archolli, tori, ysgythru.* Y mae yn bur debyg ei fod yn meddwl yma nid yn unig gweithred trwy yr hon y gwnaed hwynt yn ddiddefnydd, ond un trwy yr hon y *dystrywiwyd* hwynt. *A'u cerbydau a losgodd â thân*—am nas gallai y rhai hyn fod o un defnydd heb y meirch.

Adn. 10. *A Josua y pryd hyny a ddychwelodd, ac a ennillodd Hazor*] Gwel ar adn. 1; *ac a darawodd ei brenin hi â'r cleddyf*—yn ei ddinas frenhinol, i'r hon y ffoisai efe o'r rhyfel. *Canys Hazor o'r blaen oedd ben yr holl deyrnasoedd hyny*—nid holl Ganaan, eithr yr holl îs-lywodraethau cynghreiriol yn y rhan hòno o'r wlad.

Adn. 11. *Ni adawyd un perchen anadl*] Difrodwyd y plant, (1) Mewn trugaredd, am na fyddai neb i edrych ar eu eu hol hwynt ar ol colli eu rhieni, ac am fod cyflwr gwell yn eu haros yn y nef. (2) Mewn barn, trwy fod cosp anwiredd y tadau yn ymweled â'r plant. (3) Mewn calldriniaeth, rhag iddynt wedi hyn ddyfod i hawlio y tir fel etifeddion ar ol eu rhieni.

Adn. 12. *Megys y gorchymynasai Moses*] Gwel ar adn. 15.

Adn. 13. *Ond ni losgodd Israel yr un o'r dinasoedd oedd yn sefyll yn eu cadernid*] 'Cafodd y gair *tillam*, yr hwn a gyfieithwn ni *eu cadernid*, a'r ymylnod *eu pentwr*, ei ddeall ddwy ffordd: (1) Fel yn arwyddo y dinasoedd hyny a wnaethant heddwch â'r Israeliaid, pan yr oedd ammodau heddwch yn cael eu cynyg yn ol gorchymyn y gyfraith, ac o ganlyniad na ddyfethwyd; megys dinasoedd yr *Hefiaid*, adn. 19. (2) Y dinasoedd ag oeddynt yn sefyll ar *fryniau* a *mynyddau*, y rhai, ar ol eu cymeryd, a ellid eu cadw yn hawdd. Yn yr ystyr yma y deallid y lle gan y Vulgate, fel yn nodi allan y dinasoedd ag oeddynt yn sefyll ar *fryniau* ac *uchelfeydd.*' —CLARKE. 'Ymddengys na ddinystriodd yr Israeliaid y dinasoedd ag oeddynt â'u muriau heb eu curo i lawr, neu y rhai ag oeddynt yn sefyll ar uchelfa, ac o fwy o gadernid; ond cadwasant hwynt yn drigleoedd iddynt eu hunain.'—WELLS. 'Heb. *gyda'u caerau*—muriau neu wrthgloddiau; hyny yw, y rhai ni ddyfethwyd gyda'u muriau wrth eu cymeryd. *Namyn Hazor*—am mai y ddinas hon a ddechreuodd y rhyfel, (adn. 1,) ac a allai, fel y brif ddinas frenhinol, adnewyddu y rhyfel.'—BENSON.

14 A holl anrhaith y dinasoedd hyny, a'r anifeiliaid, a ysglyfaethodd meibion Israel iddynt eu hun: yn unig pob dyn a darawsant hwy â min y cleddyf, nes iddynt eu dyfetha; ni adawsant berchen anadl.

15 ¶ Fel y gorchymynasai yr Arglwydd i Moses ei was, felly y gorchymynodd Moses i Josua, ac felly y gwnaeth Josua; ni adawodd efe ddim o'r hyn oll a orchymynasai yr Arglwydd i Moses.

16 Felly Josua a ennillodd yr holl dir hwnw, y mynyddoedd, a'r holl ddeau, a holl wlad Gosen, a'r dyffryn, a'r gwastadedd, a mynydd Israel, a'i ddyffryn;

17 O fynydd Halac, yr hwn sydd yn myned i fyny i Seir, hyd Baal-Gad, yn nglyn Libanus, dan fynydd Hermon: a'u holl frenhinoedd hwynt a ddaliodd efe; tarawodd hwynt hefyd, ac a'u rhoddodd i farwolaeth.

18 Josua a gynaliodd ryfel yn erbyn yr holl frenhinoedd hyny ddyddiau lawer.

19 Nid oedd dinas a'r a heddychodd â meibion Israel, heb law yr Hefiaid preswylwyr Gibeon: yr holl rai *ereill* a ennillasant hwy trwy ryfel.

20 Canys o'r Arglwydd yr ydoedd galedu eu calon hwynt i gyfarfod âg Israel mewn rhyfel, fel y difrodai efe hwynt, *ac* na fyddai iddynt drugaredd; ond fel y dyfethai efe hwynt, fel y gorchymynasai yr Arglwydd wrth Moses.

---

Adn. 14. *Holl anrhaith y dinasoedd—a ysglyfaethodd meibion Israel*] Oddieithr y pethau a ddefnyddiesid i ddybenion eilunaddolgar: gwel Deut. vii. 25.

Adn. 15. *Fel y gorchymynasai yr Arglwydd i Moses, &c.*] Gwel ar Deut. xxxi. 9. Y mae hyn yn brawf ddarfod i Moses adael mewn *ysgrifen* yr hyn a orchymynasai yr Arglwydd, fel y darllenwn yn y llyfrau blaenorol; ac nad mewn amser diweddarach yr ysgrifenwyd hwynt, fel y tybia rhai: canys buasai yn anmhosibl i Josua wneyd pob dim a orchymynasai Moses, heb fod llyfr y gyfraith ganddo o'i flaen i'w gyfarwyddo.

Adn. 16. *Yr holl dir hwnw*] Yn Nghanaan, a grybwyllir yma; *y mynyddoedd*—sef mynydd-dir Judea, yr hwn a gynwysai gryn lawer o'r wlad hòno, Luc i. 39, 65; *a'r holl ddeau*—nid yn unig y rhanau mynyddig, ond holl wlad Judea, yr hon a orweddai yn rhan ddeheuol Canaan; *a holl wlad Gosen*—gwel ar pen. x. 41; *a'r dyffryn a'r gwastadedd*—yr holl iseldiroedd yn y rhan hòno o Ganaan; *a mynydd Israel a'i ddyffryn*—sef lle a enwid felly ar ol hyn. Rhoddodd y frawddeg olaf hon lawer o drafferth i esbonwyr. (1) Os ystyriwn i'r adnod hon a'r 21ain gael ei chwanegu ar ol yr amseroedd yn y rhai y rhanwyd brenhiniaethau Israel a Juda, symudir yr anhawsder ar unwaith. (2) Symudir yr anhawsder hefyd os ystyriwn fod *mynydd* a *dyffryn* yn cael eu rhoddi yma am *fynyddoedd* a *dyffrynoedd*, a bod y rhai hyn yn cynwys yr holl fynyddoedd a'r dyffrynoedd nad oeddynt yn y rhandir a ddisgynodd i lwyth Juda. Neu, (3) Os wrth *fynydd Israel* y deallwn *Bethel*, lle yr ymddanghosodd Duw i Jacob, yr hwn wedi hyny a alwyd *Israel*, ac yr addawodd iddo wlad Canaan, symudir rhan o'r anhawsder. Ond y dyb gyntaf a ymddengys debycaf; canys y mae yn sicr i lawer o nodiadau gael eu chwanegu at y llyfr hwn ar ol dyddiau Josua: gwel y rhagymadrodd.

Adn. 17. *Yr hwn sydd yn myned i fyny i Seir*] Neu wlad Edom, sef i'r rhan hòno ag ydoedd yn gorwedd yn ddeheuol i Judea. *Hyd Baal-Gad yn nglyn Libanus*—fel y mae y geiriau blaenorol yn gosod allan derfynau buddugoliaethau Josua o du y deau; felly dengys y rhai hyn i ba le y cyrhaeddent o du y gogledd. Tybia yr Archesgob Usher fod hyn yn ddarluniad o hŷd y wlad a gymerth Josua oddiar frenin Hazor a'i gynghreirwyr.

Adn. 18. *A Josua a gynaliodd ryfel yn erbyn yr holl frenhinoedd hyny ddyddiau lawer*] Ni ennillwyd yr holl fuddugoliaethau hyn mewn un faes-frwydr, ond cymerodd i fyny o *chwech* i *saith* mlynedd. Yr oedd Caleb yn 40 mlwydd oed pryd yr anfonwyd ef o Cades-Barnea i chwilio y wlad, pen. xiv. 7. Bu ef a holl Israel 38 o flynyddau wedi hyny yn crwydro yn yr anialwch, Num. xiv. 33, 34; yr hyn a'i gesyd ef, pan groesasant yr Iorddonen i ddechreu y rhyfel yma, oddeutu 78 mlwydd oed. Ac yn ei diwedd hi yr oedd ef, fel y dywed ei hunan, yn 85 mlwydd oed, pen. xiv. 10; yr hyn a ddengys i'r rhyfel bresenol barhau oddeutu *saith mlynedd.* Mynai Duw i'r wlad gael ei gorchfygu yn RADDOL am lawer o resymau: (1) Fel y byddai i'r Canaaneaid gael amser i edifarhau, wrth ganfod fod llaw JEHOFA yn eu herbyn. (2) Fel y byddai i amaethyddiaeth gael ei chario yn mlaen, trwy yr hyn y darperid at gynaliaeth hyd yn nod y gorchfygwyr. (3) Rhag i'r bwystfilod amlhau arnynt, ac felly anrheithio y wlad, Exod. xxiii. 29, Deut. vii. 22. (4) Rhag i'r fuddugoliaeth, wrth gael ei gwneuthur yn gyflym a hawdd, gael yn fuan ei hannghofio a'i diystyru. (5) Er profi eu hamynedd, a'u gwroldeb, a'u hymddiriediad hwy yn Nuw; a pheri iddynt fod yn fwy gofalus i'w foddhau ef, wrth weled eu bod mewn angen am ei help a'i nawdd ef yn erbyn eu gelynion. (6) I ddysgu iddynt arferyd eu nerth a'u medrusrwydd eu hunain yn y gwaith hwn, heb ddysgwyl dim ond ei nawdd a'i fendith ef ar eu hymdrechiadau eu hunain: gwel ar pen. xiii. 6.

Adn. 19. *Heblaw yr Hefiaid, preswylwyr Gibeon*] Gwel ar pen. ix. 3, &c.

Adn. 20. *Canys o'r Arglwydd yr ydoedd galedu eu calon hwynt*] 'Megys y caledwyd calon Pharao trwy ei falchder a'i ystyfnigrwydd ei hun yn gyntaf, ac wedi hyny trwy gyfiawn farn Duw i'w ddinystr; felly y caledwyd calonau y Canaaneaid hyn.'—HENRY.

21 ¶ A'r pryd hyny y daeth Josua ac a dorodd yr Anaciaid ymaith o'r mynydd-dir, o Hebron, o Ddebir, o Anab, ac o holl fynyddoedd Juda, ac o holl fynyddoedd Israel: Josua a'u difrododd hwynt a'u dinasoedd.

22 Ni adawyd *un* o'r Anaciaid yn ngwlad meibion Israel: yn unig yn Gaza, yn Gath, ac yn Asdod, y gadawyd hwynt.

23 Felly Josua a ennillodd yr holl wlad, yn ol yr hyn oll a lefarasai yr Arglwydd wrth Moses; a Josua a'i rhoddodd hi yn etifeddiaeth i Israel, yn ol eu rhanau hwynt, trwy eu llwythau. A'r wlad a orphwysodd heb ryfel.

PENNOD XII.

DYMA frenhinoedd y wlad, y rhai a darawodd meibion Israel, ac a feddiannasant eu gwlad hwynt o'r tuhwnt i'r Iorddonen tua chodiad yr haul; o afon Arnon hyd fynydd Hermon, a'r holl wastadedd tua'r dwyrain:

---

'Ni thynerodd efe eu calonau hwynt trwy ddylanwad ei ras hollalluog, eithr rhoddodd hwynt i fyny i'w gelyniaeth, eu balchder, a'u cyndynrwydd eu hunain; fel ag yr hyfhawyd hwynt i ymladd â'r Israeliaid, er iddynt glywed am y rhyfeddodau a wneid yn fynych erddynt.'—BENSON. 'Yr oeddynt wedi pechu yn erbyn yr holl oleuni a dderbyniasent, a gadawodd Duw hwynt yn gyfiawn i galedwch, cyndynrwydd, a balchder eu calonau eu hunain; oblegid gan eu bod yn dewis cadw eu heilunaddoliaeth, yr oedd Duw yn penderfynu iddynt gael eu tori ymaith. O herwydd gan nad oedd dinas a'r a heddychodd â'r Israeliaid oddi eithr Gibeon a rhai ereill o'r Hefiaid, adn. 19, daeth yn angenrheidiol eu dyfetha hwynt; canys eu gwrthodiad o wneuthur heddwch ydoedd brawf eu bod yn ystyfnigo yn eu heilunaddoliaeth.'—CLARKE. *Fel y difrodai efe hwynt*—sef fel y difrodai Israel hwynt, Deut. vii. 2, a xx. 16, 17. *Ac na fyddai iddynt drugaredd*—yr hon a allasent ei chael pe na buasent mor anystyriol a hunan-hyderus fel ag i feddwl y gallent wrthsefyll y gwŷr hyny ag y ffoisai yr Iorddonen yn ol rhagddynt, ac y syrthiodd caerau Jericho i'r llawr o'u blaen!

Adn. 21. *Ac a dorodd yr Anaciaid ymaith*] Pobl gawraidd, farbaraidd, a gwylltion, gwahanol i'r Canaaneaid o ran eu gwreiddyn, ac yn preswylio y mynyddoedd, Num. xiii. 33. Buasai yn beryglus trugarhau wrthynt hwy, ac nid oeddynt yn haeddu cael eu harbed. *O Hebron, o Ddebir*—hyn sydd ailadroddiad eglur o'r gweithrediadau milwraidd a goffawyd pen. x. 36—41. *Difrododd hwynt a'u dinasoedd*—sef yr Anaciaid a'u dinasoedd; canys arbedodd Josua rai dinasoedd ereill, adn. 13.

Adn. 22. *Yn Gaza, yn Gath, ac yn Asdod y gadawyd hwynt*] Cafodd holl hil Anac eu dinystrio yn y rhyfel yma, oddieithr y rhai a ymnoddasent yn y dinasoedd uchod, y rhai a berthynent i'r Philistiaid, ac yn y rhai y caed rhai o hiliogaeth Anac hyd yn nod yn nyddiau Dafydd.

Adn. 23. *Felly Josua a ennillodd yr holl wlad*] A'i darostyngodd hi, fel nad oedd neb o'r Canaaneaid yn codi yn ei erbyn, er fod llawer o leoedd heb fod eto yn ei feddiant ef. *Yn ol yr hyn oll a lefarasai yr Arglwydd wrth Moses*—addawsai Duw yru y cenhedloedd allan o'u blaen hwy, ac yn awr efe a gyflawnodd ei addewid. Tybia rhai i blaid o'r Canaaneaid ffoedig hyn feddiannu yr Aifft Isaf, a gosod llin o frenhinoedd yno a adwaenid wrth yr enw 'bugail-frenhinoedd.' Dywedir mai hwynt hwy a seiliasant *Tangier*, lle y codasant ddwy golofn wen, gyda'r arysgrifen ganlynol yn y Phenisiaeg, 'NYNI YW Y RHAI A FFOISOM RHAG WYNEB JOSUA YR YSPEILIWR, MAB NAF,' neu *Nun:* gwel Procobius, Bochart, &c. Bernir i lawer o honynt ymsefydlu mewn gwahanol barthau o Affrica, Asia Leiaf, tir Groeg, ac ynysoedd Môr-y-canoldir; a meddylir hefyd i drefedigaethau o'r bobl hyn ymwasgaru dros wahanol barthau o'r Almaen, Sclavonia, &c. Ond y mae eu hiliogaeth erbyn hyn wedi ymgymysgu yn y fath fodd gyda chenhedloedd y ddaear, fel nad ydynt mwyach yn dal eu henw gwreiddiol, nac yn wahaniaethadwy. *A Josua a'i rhoddodd hi yn etifeddiaeth i Israel*—nid arddelwai efe un awdurdodaeth arbenig drosti: ni feddai ei deulu un ran neillduol o honi, nac yntau ei hun ddim ond dinas anrheithiedig *Timnath-Serah*, yn llwyth Ephraim, yr hon y gorfu iddo ei hailadeiladu, pen. xix. 49, 50. *A'r wlad a orphwysodd heb ryfel*—trwy fod yr holl diriogaeth hòno yn awr wedi ei gorchfygu, yr hon y bwriadai Duw i Israel eu meddiannu y pryd hyn. Yma, ebai Dodd, y dechreua y *seithfed flwyddyn*, a chyfrif o'r *pryd hau* cyntaf ar ol croesi yr Iorddonen, sef y *flwyddyn sabbothol* gyntaf a gadwyd ganddynt ar ol i Josua eu dwyn hwynt i orphwysfa; ac y mae yr orphwysfa hon yn gysgod o'r orpwysfa dragwyddol hòno, yr hon y mae JOSUA bendigedig y cyfammod newydd yn ei pharotoi i'w bobl yn y nef, Heb. iv. 8, 9.

PEN. XII. Adn. 1. *Dyma frenhinoedd y wlad, y rhai a darawodd meibion Israel*] Yn adn. 1—6, cawn hanes y ddau frenin a darawyd gan feibion Israel dan lywyddiaeth MOSES; ac yn adn. 7—24, cawn hanes yr un brenin ar ddeg ar hugain a darawsant hwy dan lywyddiaeth JOSUA. Y mae yr hanes gryno hon am fuddugoliaethau Israel yn dyfod i mewn yma, nid yn unig fel terfyniad hanes rhyfeloedd presenol Canaan, fel y gallem ar un olwg weled yr hyn a ennillasant hwy; ond fel rhagarweiniad i hanes rhaniad Canaan, fel y byddai i'r holl diriogaethau hyny gael eu gosod yn nghyd o flaen llygad y darllenydd, y rhai yr oeddynt yn awr i'w rhanu. *O afon Arnon hyd fynydd Hermon*—Arnon oedd derfyn holl dueddau *deheuol* y tir a feddiennid gan yr Israeliaid tuhwnt i'r Iorddonen, a mynyddoedd Hermon oeddynt y terfynau *gogleddol*. Y mae Ar-

2 Sehon brenin yr Amoriaid, yr hwn oedd yn trigo yn Hesbon, *ac* yn arglwyddiaethu o Aroer, yr hon *sydd* ar fin yr afon Arnon, ac o ganol yr afon, ac o hanner Gilead hyd yr afon Jabboc, *yn* mro meibion Ammon;

3 Ac o'r gwastadedd hyd fôr Cinneroth o du y dwyrain, ac hyd fôr y gwastadedd, *sef* y môr heli, o du y dwyrain, tua Beth-jesimoth; ac o du y deau, dan Asdoth-Pisgah:

4 A goror Og brenin Basan, *yr hwn oedd* o weddill y cawri, ac oedd yn trigo yn Astaroth ac yn Edrei;

5 Ac efe oedd yn arglwyddiaethu yn mynydd Hermon, ac yn Salchah, ac yn holl Basan, hyd derfyn y Gessuriaid, a'r Maachathiaid, a hanner Gilead, terfyn Sehon brenin Hesbon.

6 Moses gwas yr Arglwydd a meibion Israel a'u tarawsant hwy: a Moses gwas yr Arglwydd a'i rhoddodd hi *yn* etifeddiaeth i'r Reubeniaid, ac i'r Gadiaid, ac i hanner llwyth Manasse.

7 ¶ Dyma hefyd frenhinoedd y wlad y rhai a darawodd Josua a meibion Israel o'r tu yma i'r Iorddonen o du y gorllewin, o Baal-Gad, yn nglyn Libanus, hyd fynydd Halac, yr hwn sydd yn myned i fyny i Seir; a Josua a'i rhoddodd hi i lwythau Israel *yn* etifeddiaeth yn ol eu rhanau;

8 Yn y mynydd, ac yn y dyffryn, ac yn y gwastadedd, ac yn y bronydd, ac yn yr anialwch, ac yn y deau,; yr Hethiaid, yr Amoriaid, a'r Canaaneaid, y Phereziaid, yr Hefiaid, a'r Jebusiaid:

9 ¶ Brenin Jericho, yn un; brenin Ai, yr hwn *oedd* o ystlys Bethel, yn un;

10 Brenin Jerusalem, yn un; brenin Hebron, yn un;

11 Brenin Jarmuth, yn un; brenin Lacis, yn un;

12 Brenin Eglon, yn un; brenin Gezer, yn un;

13 Brenin Debir, yn un; brenin Geder, yn un;

---

non yn codi yn mynyddoedd Gilead; ac ar ol rhedeg ffordd faith o'r gogledd i'r deau, hi a ymarllwysa i'r môr marw yn agos i'r fan lle yr ymarllwysa yr Iorddonen. *A'r holl wastadedd tua'r dwyrain*—yr holl dir o rosydd Moab hyd fynydd Hermon.

Adn. 2. *O Aroer*] Yr oedd Aroer yn sefyll yr ochr orllewinol i afon Arnon, yn nghanol y dyffryn trwy ba un y rhed yr afon hòno. Yr oedd teyrnas Sehon yn cyraedd oddiwrth afon Arnon a dinas Aroer yn ddeheuol, hyd afon Jabboc yn ogleddol. *O ganol yr afon*—nid peth anarferol hyd yn nod yn ein plith ni ydyw i afon gael ei rhanu rhwng dau arglwydd, ac i'w tiriogaethau neu eu hawdurdodaeth gyfarfod yn nghanol yr afon. Modd bynag dewisa rhai gyfieithu *tock hannachal* 'RHWNG yr afon,' gan olygu ei fod yn teyrnasu ar ryw diriogaeth a safai rhwng gwahanol ffrydiau yr afon hòno. *Ac o hanner Gilead*—yr oedd mynyddoedd Gilead yn cyraedd o'r gogledd i'r deau, o fynydd Hermon tua chodiad afon Arnon, pa un oedd oddeutu *canol* teyrnas Sehon: fel hyn dywedir fod Sehon yn meddiannu *hanner Gilead*, sef hanner y mynyddoedd a'r wlad a ddygent yr enw Gilead yn ddwyreiniol i'w diriogaethau ef. *Afon Jabboc*—y mae yr afon hon yn codi yn mynyddoedd Gilead, a chan redeg o'r dwyrain i'r gorllewin hi a ymarllwysa i'r Iorddonen. Y mae yn terfynu tiriogaethau Sehon o du y gogledd, ac eiddo yr Ammoniaid o du y deau.

Adn. 3. *Hyd fôr Cinneroth*] Neu Gennesaret, yr hwn hefyd a elwir môr Galilea a llyn Tiberias. *Y môr heli o du y dwyrain*—y mae *yam hammelach*, yr hwn a gyfieithir yma 'môr heli,' yn cael ei ddeall gan ereill fel yn meddwl 'môr dinas Melach,' am nad oes môr *hallt* o du y dwyrain i lyn Gennesaret: gwel ar pen. xv. 62. Tybia rhai mai y llyn *Asphaltites*, yr hwn a elwir y *môr heli* a'r *môr marw*, a feddylir yma. *Beth-jesimoth*—dinas yn agos i'r môr marw yn rhosydd Moab. *Asdoth-Pisgah*—dinas wrth droed mynydd Pisgah, Deut. iii. 17.

Adn. 4. *Goror Og brenin Basan*] Am y dyn hwn gwel y sylwadau ar Deut. iii. 11. *Yr hwn oedd o weddill y cawri*—neu *Rephaim:* gwel ar Deut. ii. 11.

Adn. 5. *Hyd derfyn y Gessuriaid*] Yr oedd gwlad Basan, yn nyddiau Moses a Josua, yn cyraedd o afon Jabboc yn ddeheuol, hyd gyffiniau y Gessuriaid a'r Maachathiaid yn ogleddol, at droed mynyddoedd Hermon.

Adn. 6. *Moses gwas yr Arglwydd a'i rhoddodd hi*] Rhaid i drugareddau newyddion beidio boddi y goffadwriaeth o'r trugareddau gynt; a rhaid i ogoniant yr offerynau presenol o ddaioni i'r eglwys beidio lleihau anrhydedd cyfiawn y rhai a fuont o'u blaen hwy. Yr oedd gwasanaeth Josua yn ddiddadl yn fawr; ond nac annghofier gwasanaeth Moses. Y mae y ddau yn nghyd yn cyhoeddi mai Duw yw Alpha ac Omega iachawdwriaeth ei bobl.

Adn. 7. *O Baal-Gad*] Ailadroddiad o'r hyn a grybwyllwyd pen xi. 17.

Adn. 8. *Ac yn yr anialwch*] Nid ydym i feddwl fod yr anialwch yn wlad ddibobl, eithr yn unig yn wlad ag yr oedd ei phreswylwyr yn anaml mewn cydmhariaeth i barthau ereill o'r tir; canys ni a ddarllenwn am dai a threfi yn yr anialwch.

Adn. 9. *Brenin Jericho—brenin Ai*] Gwel ar pen. vi. 1, a viii. 2, &c.

Adn. 10—12. *Brenin Jerusalem, &c.*] Gwel ar pen x. 1—3.

Adn. 13. *Brenin Geder*] Ond odid yr un a *Gedor*, pen. xv. 58: yr oedd yn sefyll yn llwyth Juda.

14 Brenin Hormah, yn un; brenin
Arad, yn un;
15 Brenin Libna, yn un; brenin
Adulam, yn un;
16 Brenin Macceda, yn un; brenin
Bethel, yn un;
17 Brenin Tapua, yn un; brenin
Hepher, yn un;
18 Brenin Aphec, yn un; brenin
Lassaron, yn un;
19 Brenin Madon, yn un; brenin
Hazor, yn un;
20 Brenin Simron Meron, yn un;
brenin Achsaph, yn un;
21 Brenin Taanach, yn un; brenin
Megido, yn un;
22 Brenin Cades, yn un; brenin
Jocneam o Carmel, yn un;
23 Brenin Dor yn ardal Dor, yn un;
brenin y cenhedloedd o Gilgal yn un;
24 Brenin Tirzah, yn un: yr holl
frenhinoedd *oedd* unarddeg-ar-hugain.

## PENNOD XIII.

A PHAN heneiddiodd Josua *a* phwyso o hono mewn cedran, dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Tydi a heneiddiaist, daethost i ddydd-

---

Adn. 14. *Brenin Hormah*] Meddylir mai yma y maeddwyd yr Israeliaid gan y Canaaneaid, Num. xiv. 45; a galwyd y lle *Hormah*, neu 'ddinystr,' oddiwrth yr amgylchiad hwnw, Num. xxi. 3.

Adn. 15. *Adulam*] Dinas yn perthyn i lwyth Juda, pen. xv. 35. Mewn ogof yn y lle hwn yr ymguddiai Dafydd yn fynych pan yr oedd Saul yn ei erlid, 1 Sam. xxi. 1. Dywedir fod yr ogof hon yn cyraedd dair milldir dan y mynydd.

Adn. 16. *Macceda*] Yr oedd yma hefyd ogof lle yr ymguddiodd ac y claddodd y pum brenin, pen. x. 16, &c.

Adn. 17. *Tapua*] Yr oedd dau le o'r enw hwn; un yn llwyth Juda, pen. xv. 34, a'r llall yn llwyth Ephraim, pen. xv. 53; ond nis gellir sicrhau pa un o'r ddau a feddylir yma. *Hepher*—yr un, yn ol Calmet, ag Ophra yn llwyth Benjamin, pen. xviii. 23.

Adn. 18. *Aphec*] Yr oedd amrai ddinasoedd o'r enw hwn; un yn llwyth Aser, pen. xix. 30; un arall yn llwyth Juda, 1 Sam. iv. 1; a'r drydedd yn Syria, 1 Bren. xx. 30. Nis gellir sicrhau pa un o'r ddwy flaenaf a feddylir yma. *Lassaron*—nid oes un ddinas o'r enw hwn yn awr yn adnabyddus; a thybia rhai mai *Saron* a feddylir. Yr oedd Saron yn dalaeth yn gystal a dinas, a chanmolir hi yn yr ysgrythyrau am ei ffrwythlondeb, Esay xxxv. 2. Gwel ar Act. ix. 35.

Adn. 19, 20. *Brenin Madon, &c.*] Gwel ar pen. xi. 1.

Adn. 21. *Taanach*] Dinas yn hanner llwyth Manasse, o du y gorllewin i'r Iorddonen, nid yn mhell o gyffiniau Zabulon, pen. xvii. 11. Rhoddwyd hi i'r Lefiaid, pen. xxi. 25.

Adn. 22. *Cades*] Neu *Cedes*. Yr oedd dinas o'r enw hwn yn llwyth Naphtali, pen. xix. 37; ac yr oedd wedi hyn yn un o'r dinasoedd noddfa, pen. xx. 7. *Jocneam o Carmel*—dywedir fod y ddinas hon wrth droed mynydd Carmel, yn agos i'r afon Belus, yn llwyth Zabulon. Rhoddwyd hi i'r Lefiaid.

Adn. 23. *Brenin Dor*] Syrthiodd dinas o'r enw hwn i ran meibion Manasse, pen. xvii. 11. Dywed Bochart ei bod yn un o'r dinasoedd brenhinol henaf yn Phenice. Gwarchaeodd Antiochus Sydetes hi mewn amseroedd diweddarach, ond methodd ei meistroli. *Brenin y cenhedloedd o Gilgal*—nid dyma y Gilgal lle y gwersyllodd Josua ar ol croesi yr Iorddonen; canys nid oedd un ddinas yno, na brenin namyn brenin Jericho, pen. iv. 19. Y mae y LXX yn ei ddarllen, 'brenin *Gei Galilea*.' Tybia rhai ei bod yn meddwl Galilea Uwchaf, yr hon a elwid *Galilea y Cenhedloedd*, fel y mae y gair Hebreig *goyim* yn arwyddo; a thybia ereill mai y wlad hôno ydoedd, ar yr hon yr oedd *Tidal* yn frenin, Gen. xiv. 1.

Adn. 24. *Brenin Tirzah*] Ymddengys i'r ddinas hon fod am gryn amser yn brifddinas brenhiniaeth Israel, ac yn drigfa ei brenhinoedd, 1 Bren. xiv. 17, a xv. 21, 33. Nis gellir sicrhau ei safle yn gywir, ond meddylir ei bod yn sefyll ar fynydd oddeutu naw milldir yn ddeheuol o Samaria. *Yr holl frenhinoedd oedd unarddeg-ar-hugain*—y LXX a ddywedant 29, ac eto ni ddodant i lawr ond 28, gan eu bod yn cymysgu neu yn gadael allan dri o'r brenhinoedd hyn.

ADFEDDYLIADAU.—Y mae fod cynifer o frenhinoedd mewn cyn lleied tiriogaeth yn dangos y rhaid fod eu teyrnasoedd yn fychain iawn yn wir. Nid oedd gan frenhinoedd *Bethel* ac *Ai* ddim ond oddeutu 12,000 o ddeiliaid yn y cyfan, pen. viii. 17, 25; ac yn yr hen amseroedd tiriogaethau bychain iawn oedd gan yr holl frenhinoedd. Yr oedd gan bob tref neu faesdref ei phenaeth; ac yr oedd y penaeth hwn yn annibynol ar ei gymydogion, ac yn arferyd awdurdod *brenhinol* yn ei dalaeth ei hun. Wrth ddarllen pob hen hanesiaeth, yn gystal a'r Beibl, dylid cadw hyn yn wastadol mewn cof; canys nid oedd *brenhinoedd* a *brenhiniaethau* yn yr amseroedd hyny ddim ond delw wan o'r rhai presenol. Yr oedd Brydain Fawr, yn yr hen amseroedd, yn rhanedig i amrai deyrnasoedd: yn amser y Saxoniaid yr oedd wedi ei rhanu yn *saith*, ac am hyny gelwid hi y *Saxon heptarchy*, neu y saith-benogaeth Saesonig. Pan ddaeth Iŵl Cesar gyntaf i'r ynys hon, efe a gafodd bedwar brenin yn Nghent ei hun, sef *Cingetorix*, *Carnilius*, *Taximagulus*, a *Segonax*. O ganlyniad ni ddylem ryfeddu wrth y niferoedd ag y darllenwn am danynt yn ngwlad Canaan. Yr oedd Cymru hefyd gynt yn rhanedig fel hyn; a'r nifer mawr o dywysogion, duciaid, talaethwyr, &c., yn yr Almaen, ydynt weddillion diweddar o'r hen raniadau hyny.

PEN. XIII. Adn. 1. *A phan heneiddiodd Josua*] Cyfrifir yn gyffredin ei fod ef y pryd hyn oddeutu 100 mlwydd oed: efe a dreuliasai oddeutu saith mlynedd yn gorchfygu y

iau *oedranus*, a thir lawer iawn sydd
eto i'w feddiannu.
2 Dyma y wlad sydd eto yn ol:
holl derfynau y Philistiaid, a holl Ges-
suri,
3 O Sihor, yr hon *sydd* o flaen yr
Aifft, hyd derfyn Ecron tua'r gogledd,
*yr hwn* a gyfrifir i'r Canaaneaid: pum
tywysog y Philistiaid; y Gazathiaid,
a'r Asdodiaid, yr Escaloniaid, y Gith-
iaid, yr Ecroniaid; yr Afiaid:
4 O'r deau, holl wlad y Canaaneaid,
a'r ogof *oedd* yn ymyl y Sidoniaid, hyd
Aphec, hyd derfyn yr Amoriaid:
5 A gwlad y Gibliaid, a holl Liban-
us, tua chyfodiad haul, o Baal-Gad
dan fynydd Hermon, nes dyfod i Ha-
math.
6 Holl breswylwyr y mynydd-*dir* o
Libanus hyd Misrephoth-maim, *a*'r
holl Sidoniaid; y rhai hyny a yraf
ymaith o flaen meibion Israel: yn

---

wlad, a thybir iddo fod oddeutu blwyddyn yn ei rhanu hi; a bu farw yn mhen oddeutu deng mlynedd ar ol hyny yn 110 mlwydd oed. Y mae yn bur debyg ei fod yn meddwl darostwng yr holl wlad cyn iddo ei rhanu rhwng y llwythau; ond nid oedd Duw yn meddwl yn addas i hyn gael ei wneuthur. Yr oedd yr Israeliaid mor anffyddlon nes yr ymddengys ei fod ef yn bwriadu y cai rhai o'r hen drigolion aros fyth i'w ffrwyno hwy, ac y cai y gwahanol lwythau beth trafferth i yru o'u cyffiniau penodedig y gweddill o'r cenhedloedd Canaaneaidd. *Dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Tydi a heneiddiaist*—gan hyny nac oeda wneyd y gwaith a orchymynais i ti. Da yw i'r rhai *oedranus* gael adgofio iddynt eu bod felly, fel y bywioger hwynt i wneyd gwaith bywyd, ac ymbarotoi erbyn angau, yr hwn sydd yn dyfod yn mlaen yn gyflym. *A thir lawer iawn sydd eto i'w feddiannu*—hyny yw, llawer iawn mewn cydmhariaeth i'r tir o'r tu arall i'r Iorddonen, yr hyn oedd y cwbl ag y gellid dywedyd eto ei fod yn nwylaw yr Israeliaid.

Adn. 2. *Dyma y wlad sydd eto yn ol*] Heb ei gorchfygu genyt ti, ac i gael ei gorchfygu gan yr Israeliaid, os ymddygant yn addas. Yn yr oedran mawr hwn nis gallai Josua obeithio byw i orchfygu yr hyn oedd yn aros o'r wlad heb ei darostwng, ac am hyny yr oedd ef i fyned oddeutu gwaith arall, sef ei rhanu hi. *Holl derfynau y Philistiaid*—gall hyn fod yn meddwl y tir a feddiannai y Philistiaid ar lan y môr, yn ddeau-orllewinol i wlad Canaan. *A holl Gessuri*—yr oedd amrai leoedd o'r enw hwn; ond yr un ag y sonir am dano yma oedd ond odid y goror deheuol i Ganaan, tuag Arabia neu tua'r Aifft. Ond tybia Cellarius mai gwlad ydoedd yn nghymydogaeth yr Amaleciaid.

Adn. 3. *O Sihor, yr hon sydd o flaen yr Aifft*] Tybia rhai mai y gangen Belusiaidd o'r Nilus, yn agos i anialwch Arabia, yw *Sihor*, yr hon hefyd a elwir *afon yr Aifft*, Num. xxxiv. 5, Jer. ii. 18. Crybwyllir am yr afon hon yn fynych fel terfyn yr Israeliaid i'r deau-orllewin, fel yr oedd yr Euphrates, yr *afon fawr*, i'r gogledd-ddwyrain. *Hyd derfyn Ecron tua'r gogledd*—Ecron oedd un o bum arglwyddiaeth y Philistiaid, a'r fwyaf gogleddol o'u holl daleithiau. Y mae *Baal-zebub*, ei heilun, yn cael ei goffâu 2 Bren. i. 2, &c. Pum arglwyddiaeth y Philistiaid oeddynt Gaza, Asdod, Ascalon, Gath, ac Ecron. Nid oes un prawf i'r Israeliaid erioed feddiannu Ecron, er y casgla rhai, oddiwrth pen. xv. 11, ddarfod ei rhoddi ar y cyntaf i Juda; eithr ni ddywedir yno ond fod *terfyn* llwyth Juda yn myned i neu at *ystlys* Ecron. Oddiwrth pen. xix. 43, nyni a ddysgwn mai parth o randir Dan ydoedd, ond nid ymddengys iddi gael ei meddiannu gan neb o'r llwyth hwnw. *Yr hwn a gyfrifir i'r Canaaneaid*—ac felly a berthyna yn briodol i'r Israeliaid. Addefir yn gyffredin mai hiliogaeth *Canaan*, mab ieuangaf Cam, oedd yr Afiaid, meddianwyr gwreiddiol y wlad hon. Y *Philistiaid* hefyd a ddeilliasant oddiwrth *Mizraim*, ail fab Cam; ac ar ol difeddiannu yr Afiaid o'r lleoedd a ddalient yn y wlad hon, trigasant yn eu lle: gwel Gen. x. 13, 14. *Pum tywysog y Philistiaid*—y mae y rhai hyn yn enwog yn yr ysgrythyr am eu rhyfeloedd llwyddiannus yn erbyn yr Israeliaid, i'r rhai yr oeddynt yn ffrewyll barhaus. *Yr Afiaid*—Saes. '*hefyd* yr Afiaid,' yn chwanegol at y pum tywysog uchod. Rhaid peidio cymysgu y rhai hyn gyda'r *Hefiaid*. Ymddengys mai llwyth dibwys iawn oedd yr Afiaid, yn trigo mewn rhai o gyrau Palestina. Amddifadwyd hwynt ar y cyntaf o'u gwlad gan y Philistiaid; ac er eu bod yn byw fel pobl wahanol, ni chyraeddasant byth wedi hyny i ddim awdurdod.

Adn. 4. *Holl wlad y Canaaneaid*] Yr oedd hon yn gorwedd yn agos i wlad y Philistiaid, tua glan y môr. *A'r ogof oedd yn ymyl y Sidoniaid*—y mae y Saes. yn galw hon *Mearah;* a thybia Calmet mai y DDINAS *Maratha*, wrth Fôr-y-canoldir, a feddylir; a dywed Pliny mai yr AFON *Majora*, yr hon sydd yn ymarllwys i Fôr-y-canoldir rhwng Sidon a Beratus, a olygir. Modd bynag y mae ymylnod ein Beiblau Saesonig yn ei galw yn OGOF. *Hyd Aphec*—gwel ar pen. xii. 18; *hyd derfyn yr Amoriaid*—er fod y gair *Amoriaid* yn cael ei arfer weithiau i osod allan breswylwyr gwlad Canaan yn gyffredinol, eto dylai gael ei ystyried yma mewn ystyr llawer cyfyngach. Modd bynag, gan nad yw yn hysbys fod neb o'r Amoriaid yn preswylio yn y lle hwn, tybia Calmet a Houbigant y dylem ddarllen *Aramiaid* neu *Syriaid*.

Adn. 5. *A gwlad y Gibliaid*] Y bobl hyn a drigent tuhwnt i gyffiniau gwlad Canaan, yn ddwyreiniol i Tyrus a Sidon. Eu prifddinas a elwid *Gebal:* gwel Salm lxxxiii. 7, Ezec. xxvii. 9.

Adn. 6. *A yraf ymaith o flaen meibion Israel*] Hyny yw, os parhâai meibion Israel yn *ufydd* i Dduw: ond ni wnaethant hyny, ac o ganlyniad ni chawsant erioed lawn feddiant o'r *holl* dir a addawsai Duw iddynt ar yr ammod hon yn unig: gwel Exod. xxxiv. 11, &c. Ni chafodd y *Sidoniaid* erioed eu gyru ymaith gan yr Israeliaid, na dim ond eu dwyn i ryw

unig rhan di hi wrth goelbren i Israel yn etifeddiaeth, fel y gorchymynais i ti.

7 Ac yn awr rhan di y wlad hon yn etifeddiaeth i'r naw llwyth, ac i hanner llwyth Manasse.

8 Gyda'r rhai y derbyniodd y Reubeniaid a'r Gadiaid eu hetifeddiaeth, yr hon a roddodd Moses iddynt hwy, o'r tu hwnt i'r Iorddonen, tua'r dwyrain, fel y rhoddes Moses gwas yr Arglwydd iddynt;

9 O Aroer, yr hon *sydd* ar fin afon Arnon, a'r ddinas *sydd* yn nghanol y dyffryn, a holl wastadedd Medeba, hyd Ddibon;

10 A holl ddinasoedd Sehon brenin yr Amoriaid, yr hwn a deyrnasodd yn Hesbon, hyd ardal meibion Ammon;

11 Gilead hefyd, a therfyn y Gessuriaid, y Maachathiaid hefyd, a holl fynydd Hermon, a holl Basan hyd Salchah;

12 Holl frenhiniaeth Og yn Basan, yr hwn a deyrnasodd yn Astaroth, ac yn Edrei; efe a adawyd o weddill y cawri: canys Moses a'u tarawsai hwynt, ac a'u gyrasai ymaith.

13 Ond meibion Israel ni yrasant allan y Gessuriaid na'r Maachathiaid: eithr trigodd y Gessuriaid a'r Maachathiaid yn mhlith Israel hyd y dydd hwn.

14 Yn unig i lwyth Lefi ni roddodd efe etifeddiaeth; aberthau tanllyd Arglwydd Dduw Israel *oedd* ei etifeddiaeth ef, fel y llefarasai efe wrtho.

15 ¶ A Moses a roddasai i lwyth meibion Reuben *etifeddiaeth* trwy eu teuluoedd:

16 A'u terfyn hwynt oedd o Aroer, yr hon *sydd* ar fin afon Arnon, a'r ddinas *sydd* yn nghanol y dyffryn, a'r holl wastadedd wrth Medeba;

17 Hesbon a'i holl ddinasoedd, y rhai *sydd* yn y gwastadedd; Dibon, a Bamoth-Baal, a Beth-Baal-meon;

18 Jahaza *hefyd*, a Cedemoth, a Mephaath;

19 Ciriathaim *hefyd*, a Sibmah, a Sareth-sahar, yn mynydd-dir y glyn;

---

fath o ddarostyngiad yn nyddiau Dafydd a Solomon. Cymerodd rhai achlysur oddiyma i wadu dilysrwydd y dwyfol ddatguddiad, 'am y dywedir i Dduw,' meddant, 'addaw yn benodol y byddai i Josua orchfygu yr holl wlad, a rhoddi yr Israeliaid mewn meddiant o honi.' Y mae hyn yn gamgymeriad hollol. (1) Ni ddarfu i Dduw erioed addaw yn benodol, h.y. yn *ddiammodol*, eu rhoddi hwynt mewn meddiant o'r wlad hon. Yr addewid i feddiannu yr *oll* o honi a ymddibynai ar eu *ffyddlondeb* hwy i Dduw. Ni buont yn ffyddlon iddo, ac am hyny nid oedd Duw yn rhwym trwy ei addewid i roddi iddynt unrhyw ran o'r wlad, ar ol eu gweithred gyntaf o wrthgiliad cyffredinol oddiwrth ei addoliad ef. (2) Ni ddywedodd Duw erioed y cai Josua orchfygu yr holl wlad, a'i *rhoddi* iddynt hwy; hyn yn unig oedd yr addewid: 'Ti a'u *dygi* hwynt i'r wlad, a thi a'i *rheni* rhyngddynt hwy.' Ac efe a wnaeth y ddau beth hyn, a thrwy ei fuddugoliaethau dygodd hwynt i gyflwr yn yr hwn y gallasent ymsefydlu ynddi am byth. (3) Ni ddywedwyd erioed, Ti a'i *gorchfygi* hi oll, ac wedi hyny a'i *rheni;* naddo. Gorfu i amrai o'r llwythau, ar ol i'w rhan gael ei phenodi iddynt, yru allan yr hen drigolion: gwel ar pen. xi. 18.

Adn. 7, 8. *Ac yn awr rhan di y wlad hon*] Yr oedd y rhanau a orchfygwyd, a'r rhanau ag oeddynt yn aros heb eu gorchfygu, i gael eu rhanu yn awr, fel y gallai pob llwyth wybod yr hyn a berthynai iddo trwy roddiad Duw, a chael eu gwroli i gynyg ar ei buddugoliaethu pan fyddai hyny yn gyfleus. *I'r naw llwyth, ac i hanner llwyth Manasse*—yr oedd yr hanner arall o lwyth Manasse, yn nghyda dau lwyth Reuben a Gad, wedi cael eu hetifeddiaeth yr ochr draw i'r Iorddonen, yn y wlad a berthynai gynt i Og brenin Basan, a Sehon brenin yr Amoriaid.

Adn. 9—12. *O Aroer*] Y mae y pedair adnod hyn yn dangos y tiriogaethau ar yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen, y rhai a feddiennid eisioes gan y ddau lwyth a hanner: gwel Num. xxi. 24, &c., a xxxii. 33, &c., Deut. iii. 1, &c., a Jos. xii. 1—6. *A'r ddinas sydd yn nghanol y dyffryn*—Saes. 'yn nghanol yr *afon*.' Y mae y gair gwreiddiol yn arwyddo y naill neu y llall.

Adn. 13. *Ni yrasant allan y Gessuriaid na'r Maachathiaid*] Er fod Duw wedi bwriadu iddynt gael meddiant o'u gwlad hwythau: gwel ar pen. xii. 5.

Adn. 14. *Yn unig i lwyth Lefi ni roddodd efe etifeddiaeth*] Gwel ar Num. xviii. 20—24.

Adn. 15. *Trwy eu teuluoedd*] Saes. '*yn ol* eu teuluoedd.'

Adn. 16. *Y dyffryn*] Neu yr *afon:* gwel ar adn. 9—12.

Adn. 17. *Bamoth-Baal*] Neu 'uchel-leoedd Baal,' fel y mae ar ymyl y ddalen; a elwid felly ond odid oddiwrth allorau wedi eu hadeiladu ar *fryniau* i addoliad aflan y Priapus Canaaneaidd hwn. *Beth-Baal-meon*—sef tŷ neu deml Baal-meon.

Adn. 18. *Jahaza*] Dinas ger Medeba a Dibon, a roddwyd i'r Lefiaid, 1 Cron. vi. 78. *Cedemoth*—crybwylledig Deut. ii. 26, ac yn sefyll tuhwnt i afon Arnon. *Mephaath*—yn sefyll ar gyffiniau Moab, y rhan ddwyreiniol o'r anialwch. Rhoddwyd hi i'r Lefiaid, pen. xxi. 37.

Adn. 19. *Ciriathaim*] Yr oedd y ddinas hon, yn ol Eusebius, naw milldir o Medeba, tua'r dwyrain. *Sibmah*—lle nodedig am ei winwydd, Esay xvi. 8, 9. *Sareth-sahar*—hon yn

20 Beth-Peor *hefyd*, ac Asdoth-Pis-
gah, a Beth-jesimoth,
21 A holl ddinasoedd y gwastadedd,
a holl frenhiniaeth Sehon brenin yr
Amoriaid, yr hwn a deyrnasodd yn
Hesbon, yr hwn a ddarfuasai i Moses
ei daro gyda thywysogion Midian, Efi,
a Recem, a Sur, a Hur, a Reba, duc-
iaid Sehon, *y rhai* oedd yn preswylio
yn y wlad.
22 ¶ Balaam hefyd fab Beor, y
dewin, a laddodd meibion Israel â'r
cleddyf, yn mhlith eu lladdedigion
hwynt.
23 A therfyn meibion Reuben oedd
yr Iorddonen a'*i* goror. Dyma etifedd-
iaeth meibion Reuben, yn ol eu teulu-
oedd, y dinasoedd, a'u trefi.
24 ¶ Moses *hefyd* a roddodd *etifedd-
iaeth* i lwyth Gad, *sef* i feibion Gad,
trwy eu teuluoedd:
25 A Jaser oedd derfyn iddynt hwy,
a holl ddinasoedd Gilead, a hanner
gwlad meibion Ammon, hyd Aroer,
yr hon *sydd* o flaen Rabbah;
26 Ac o Hesbon hyd Ramath-Mis-
pah, a Betonim; ac o Mahanaim hyd
gyffinydd Debir;
27 Ac yn y dyffryn, Beth-Aram, a
Beth-Nimrah, a Succoth, a Saphon,
gweddill brenhiniaeth Sehon brenin
Hesbon, yr Iorddonen a'i therfyn, hyd
gŵr môr Cinneroth, o'r tu hwnt i'r
Iorddonen, o du y dwyrain.
28 Dyma etifeddiaeth meibion Gad,
yn ol eu teuluoedd, y dinasoedd, a'u
trefydd.
29 ¶ Moses hefyd a roddodd *eti-
feddiaeth* i hanner llwyth Manasse: a
bu *etifeddiaeth* i hanner llwyth meib-
ion Manasse, yn ol eu teuluoedd:
30 A'u terfyn hwynt oedd o Mahan-
aim, holl Basan, holl frenhiniaeth Og
brenin Basan, a holl drefi Jair, y rhai
*sydd* yn Basan, triugain dinas;
31 A hanner Gilead, ac Astaroth,
ac Edrei, dinasoedd brenhiniaeth Og
yn Basan, *a roddodd efe* i feibion Ma-
chir mab Manasse, *sef* i hanner meib-
ion Machir, yn ol eu teuluoedd.
32 Dyma y *gwledydd* a roddodd Mo-
ses i'w hetifeddu, yn rhosydd Moab,
am yr Iorddonen a Jericho, o du y
dwyrain.
33 Ond i lwyth Lefi ni roddodd Mo-
ses etifeddiaeth: Arglwydd Dduw Is-
rael *yw* eu hetifeddiaeth hwynt, fel y
llefarodd efe wrthynt.

---

debygol oedd dref ar neu ger rhyw fynydd mewn gwlad wastad.

Adn. 20. *Beth-Peor*] Tŷ neu deml Peor: gwel ar Num. xxv. 3.

Adn. 21, 22. *Gyda thywysogion Midian*] Gwel hanes y rhyfel hon, Num. xxxi. 1—12; ac y mae yn cael ei hailadrodd yma, am fod diddymiad bwriad Balaam i regi Israel, a throad y rheg hòno yn fendith, yn fath anghraifft o allu a daioni Duw ag ydoedd addas i fod mewn tragwyddol goffadwriaeth.

Adn. 23. *Y dinasoedd a'u trefi*] Tybia rhai mai pentrefi neu bebyll symudadwy a feddylir wrth y *chatserim* neu y *trefi* hyn, y fath ag a ddefnyddir yn mhlith yr Arabiaid Bedowinaidd i borthi eu hanifeiliaid.

Adn. 24. *Trwy eu teuluoedd*] Gwel ar adn. 15.

Adn. 25. *Hanner gwlad meibion Ammon*] Hon yn debygol oedd wlad a gymerasid oddi ar yr Ammoniaid gan Sehon brenin yr Amoriaid, a'r hon a feddiannai yr Israeliaid trwy hawl buddugoliaeth. Canys er y gwaherddid i'r Israeliaid gymeryd tir yr *Ammoniaid*, Deut. ii. 37, eto gallent feddiannu y rhan hon, yr hon oedd yn unedig â thiriogaethau *Sehon*, ar ol iddynt faeddu y brenin hwnw a darostwng ei deyrnas.

Adn. 26. *Ramath-Mispah*] Yr un a Ramoth-Gilead, yr hon oedd un o'r dinasoedd noddfa, pen. xx. 8. *Mahanaim*—gwel ar Gen. xxxii. 2.

Adn. 27. *Beth-Aram*] Ailadeiladwyd y ddinas hon gan Herod, yr hwn a'i galwodd hi *Livias*, o anrhydedd i *Livia* gwraig Augustus. Y mae Josephus yn ei galw hi *Julias*, am mai Julia yw yr enw a ddyry y Groegiaid yn gyffredin i Livia: gwel CALMET. *Succoth*—gwel ar Gen. xxxiii. 17.

Adn. 28. *A'u trefydd*] Gwel ar adn. 23.

Adn. 29. *I hanner llwyth Manasse*] Nid am eu bod hwy yn chwennych hyny, fel y gwnai llwythau Reuben a Gad, Num. xxxii. 1; ond, (1) Am fod llwyth Manasse yn lluosog iawn, ac yn meddu llawer o anifeiliaid. (2) Fel gwobr i feibion Machir, o lwyth Manasse, am eu gwasanaeth ddewr yn erbyn yr Amoriaid yn Gilead, Num. xxxii. 39. (3) Ac am fod y wlad hòno yn rhy fawr i ddau lwyth Reuben a Gad.

Adn. 30. *Holl drefi Jair*] Yr hwn er ei fod o lwyth Juda o du ei dad, 1 Cron. ii. 21, 22, eto a elwir yn fab Manasse, Num. xxxii. 41, am iddo briodi merch i Manasse, ac ymgymysgu yn hollol â'r Manassiaid dewrion; a thrwy eu cymhorth hwy efe a gymerth driugain o ddinasoedd, Deut. iii. 4, 14, y rhai am hyny a elwid yn 'drefi Jair.'

Adn. 31. *I feibion Machir*] Y rhai o'r blaen a alwai efe yn feibion Manasse, a eilw efe yn awr yn feibion Machir, am mai Machir oedd yr enwocaf o feibion Manasse.

Adn. 32. *Y gwledydd a roddodd Moses*] Yr oedd Moses wedi trefnu tiriogaethau Og brenin Basan, a Sehon brenin yr Amoriaid, i'r llwythau hyn cyn ei farwolaeth, Num. xxxii. 33.

Adn. 33. *Arglwydd Dduw Israel yw eu hetifeddiaeth hwynt*] A chynelid hwy yn helaeth trwy ei wasanaeth ef. Ni ddylai y rhai

## PENNOD XIV.

DYMA *hefyd y gwledydd* a etifeddodd meibion Israel yn ngwlad Canaan, y rhai a ranodd Eleazar yr offeiriad, a Josua mab Nun, a phenau cenedl llwythau meibion Israel, iddynt hwy i'w hetifeddu.

2 Wrth goelbren *yr oedd* eu hetifeddiaeth hwynt; fel y gorchymynasai yr Arglwydd trwy law Moses *eu rhoddi* i'r naw llwyth, ac i'r hanner llwyth.

3 Canys Moses a roddasai etifeddiaeth i ddau lwyth, ac i hanner llwyth, o'r tuhwnt i'r Iorddonen; ond i'r Lefiaid ni roddasai efe etifeddiaeth yn eu mysg hwynt;

4 Canys meibion Joseph oedd ddau lwyth, Manasse ac Ephraim: am hyny ni roddasant ran i'r Lefiaid yn y tir, ond dinasoedd i drigo, a'u maesydd pentrefol i'w hanifeiliaid ac i'w golud.

5 Fel y gorchymynasai yr Arglwydd i Moses, felly y gwnaeth meibion Israel, a hwy a ranasant y wlad.

6 ¶ Yna meibion Juda a ddaethant at Josua yn Gilgal: a Chaleb mab Jephunneh y Ceneziad a ddywedodd wrtho ef, Tydi a wyddost y gair a lefarodd yr Arglwydd wrth Moses gŵr Duw o'm plegid i, ac o'th blegid dithau, yn Cades-Barnea.

7 Mab deugain mlwydd *oeddwn* i pan anfonodd Moses gwas yr Arglwydd fi o Cades-Barnea, i edrych ansawdd y wlad; a mi a ddygais air iddo ef drachefn, fel *yr oedd* yn fy nghalon.

---

y mae yr Arglwydd yn rhan iddynt, genfigenu wrth y rhai sydd â'u rhan yn y bywyd hwn.

PEN. XIV. Adn. 1. *Dyma hefyd y gwledydd*] Sef y rhai a grybwyllir yn pen. xv—xx; canys nid yw y bennod hon ddim ond math ar arweiniad i mewn. *Y rhai a ranodd Eleazar*—ELEAZAR, fel gweinidog Duw mewn pethau *cysegredig*, a enwir gyntaf; JOSUA, fel penllywydd mewn pob peth *gwladol*, a grybwyllir yn nesaf; a THYWYSOGION y llwythau, y rhai a weithredent *dan* Josua, a grybwyllir yn ddiweddaf. Yr oedd y penau cenedl neu y tywysogion hyn yn ddeuddeg, trwy Eleazar a Josua; a gall y darllenydd weled eu henwau yn Num. xxxiv. 17—28. Ni chymerwyd un tywysog o lwythau *Reuben* a *Gad*, am fod y rhai hyny wedi derbyn eu hetifeddiaeth eisioes yr ochr arall i'r Iorddonen, ac am hyny nid oedd ganddynt ddim i'w wneyd â'r rhaniad hwn.

Adn. 2. *Wrth goelbren yr oedd eu hetifeddiaeth hwynt*] Gwel ar Num. xxvi. 55, a Lef. xvi. 8, 9. Er fod Duw wedi nodi allan yn ddigonol, trwy ragfynegiadau Jacob a Moses wrth farw, pa ranau a fwriadai efe i bob llwyth, eto ni a ganfyddwn brawf rhyfeddol o'i ddoethineb yn y gorchymyn a roddodd efe i'w penderfynu hwynt wrth goelbren. Trwy hyn rhagflaenwyd y camddeongliadau a allasent gael eu rhoddi i eiriau Jacob a Moses; ac wrth daraw ar wraidd pa beth bynag a allai beri drwgdybiau a dadleuon yn mhlith y llwythau, efe yn amlwg a ddiogelai onestrwydd y rhai a benodid i ranu iddynt y wlad. Heblaw hyn, yr oedd llwyddiant y drefn hon yn dyfod yn brawf newydd o ddwyfoldeb crefydd yr Iuddewon, a gwirionedd ei horaclau. Wrth i bob llwyth weled ei fod wedi ei osod yn gywir trwy goelbren yn y fan a ragfynegasai Jacob a Moses, yr oedd yn amlwg fod rhagluniaeth yn cyfeirio y rhagfynegiadau hyny yn gystal a'r coelbren. Syrthiodd ei ran i bob llwyth yn union fel y rhagfynegasai Jacob 250 o flynyddau cyn hyny, yn mynydau olaf ei einioes, a Moses ychydig cyn iddo farw. Gan hyny, pwy na chydnebydd *ysbrydoliaeth* Duw yn ngenau Jacob a Moses, hyfforddiad ei *law* yn y coelbren, a'i *ragluniaeth* yn y cwbl! Nis gellir penderfynu yn hollol pa fodd y defnyddid y coelbren yn yr achos hwn. Dichon, (1) Fod y wlad wedi cael ei rhanu yn ddeg rhan. (2) Fod pob rhan yn cael ei galw ar enw neillduol. (3) Fod enw pob rhan wedi ei ysgrifenu ar ddarn gwahanol o femrwn neu bren. (4) Fod enwau y llwythau hefyd wedi eu hysgrifenu ar gynifer o ddarnau. (5) Fod enwau y rhanau, a'r llwythau, wedi eu rhoddi mewn llestri gwahanol. (6) Fod Josua, er anghraifft, yn rhoddi ei law yn y llestr a gynwysai enwau y *llwythau*, ac yn tynu allan un darn; tra yr oedd Eleazar yn tynu un allan o'r llestr arall, lle yr oedd enwau y *rhanau* wedi eu dodi. (7) Ar ol darllen yr *enw* a dynwyd, a'r *darn* a dynwyd, canfyddid ar unwaith pa *randir* a fwriadasai Duw i'r cyfryw *lwyth*. Rhyw drefn fel hon a ymddengys hawddaf i benderfynu y fath orchwyl.

Adn. 3. *O'r tuhwnt i'r Iorddonen*] Yn ngwlad Sehon ac Og.

Adn. 4. *Canys meibion Joseph oedd ddau lwyth*] Ac am hyny, er fod llwyth Lefi wedi ei gau allan, yr oedd fyth naw llwyth a hanner i gael darparu iddynt yn Nghanaan.

Adn. 5. *A hwy a ranasant y wlad*] Wrth goelbren, trwy wasanaeth y personau a nodwyd adn. 1; neu parotoisant y dydd hwnw i'w rhanu hi. Dechreuwyd y rhaniad yn *Gilgal*, a gorphenwyd ef yn *Silo*, yn mhen amser ar ol hyn.

Adn. 6. *Yna meibion Juda a ddaethant at Josua*] Pryd yr oedd ef, ac Eleazar, a'r lleill, yn ymgynghori yn nghylch rhaniad y wlad; a chyn iddynt ddechreu bwrw coelbreni, daeth rhai o feibion Juda gyda Chaleb, i gyfryngu ar ei ran ef, gan ddangos iddo barch, ac i ddwyn tystiolaeth i wirionedd yr hyn a ddywedai. *Tydi a wyddost y gair a lefarodd yr Arglwydd*—yr addewid a wnaeth efe i ti a minau gyda golwg ar y wlad hon: gwel ar Num. xiv. 24, 30.

Adn. 7. *Mab deugain mlwydd oeddwn i*] Gwel ar pen xi. 18. *Fel yr oedd yn fy nghalon*—nid oedd ofn na chariad yn dylanwadu arnaf

8 Ond fy mrodyr, y rhai a aethant
i fyny gyda mi, a ddigalonasant y
bobl: eto myfi a gyflawnais *fyned* ar
ol yr Arglwydd fy Nuw.
9 A Moses a dyngodd y diwrnod
hwnw, gan ddywedyd, Diau y bydd
y wlad y sathrodd dy droed arni, yn
etifeddiaeth i ti ac i'th feibion hyd
byth; am i ti gyflawni *myned* ar ol yr
Arglwydd fy Nuw.
10 Ac yn awr, wele yr Arglwydd
a'm cadwodd yn fyw, fel y llefarodd
efe, y pum mlynedd a deugain hyn,
er pan lefarodd yr Arglwydd y gair
hwn wrth Moses, tra y rhodiodd Is-
rael yn yr anialwch: ac yn awr, wele
fi heddyw yn fab pum mlwydd a phed-
war ugain.
11 *Yr ydwyf* eto mor gryf heddyw
a'r dydd yr anfonodd Moses fi: fel *yr*
*oedd* fy nerth i y pryd hyny, felly *y*
*mae* fy nerth i yn awr, i ryfela, ac i
fyned allan, ac i ddyfod i mewn.
12 Yn awr gan hyny dyro i mi y
mynydd yma, am yr hwn y llefarodd
yr Arglwydd y dwthwn hwnw (canys
ti a glywaist y dwthwn hwnw *fod* yr
Anaciaid yno, a dinasoedd mawrion
caerog) ond odid yr Arglwydd *fydd*
gyda mi, fel y gyrwyf hwynt allan,
megys y llefarodd yr Arglwydd.
13 A Josua a'i bendithiodd ef, ac a
roddodd Hebron i Caleb fab Jephun-
neh, yn etifeddiaeth.
14 Am hyny mae Hebron yn eti-
feddiaeth i Caleb fab Jephunneh y
Ceneziad hyd y dydd hwn: o herwydd
iddo ef gwblhau *myned* ar ol Argl-
wydd Dduw Israel.
15 Ac enw Hebron o'r blaen *oedd*

---

ar y pryd; eithr dywedais y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir.

Adn. 8. *A digalonasant y bobl*] Trwy roddi anair i'r wlad dda, Num. xiii. 31, 32. *Eto myfi a gyflawnais fyned ar ol yr Arglwydd fy Nuw*—fel teithiwr yn sangu yn gywir yn ôl traed ei arweinydd. Yr oedd Duw ei hun wedi dwyn y dystiolaeth hon i Caleb, Num. xiv. 24; ac y mae gwaith Caleb yn ei hadrodd yma yn eithaf cyson â gŵyleidd-dra, ac yn angenrheidiol fel sail ei ddeiseb a'i hawl.

Adn. 9. *Y wlad y sathrodd dy droed arni*] Sef *Hebron*, Num. xiii. 22. Duw a dyngasai hyn, ac nid Moses; ond gan iddo ef wneuthur hyny trwy enau Moses, yn briodol y dywedir i Moses dyngu.

Adn. 10. *Wele yr Arglwydd a'm cadwodd yn fyw—y pum mlynedd a deugain hyn*] O'r rhai y treuliodd efe oddeutu 38 yn yr anialwch, a 7 yn Nghanaan: gwel ar pen. xi. 18. Pa hwyaf y byddom ni byw, mwyaf teimladwy y dylem fod o ddaioni Duw i ni yn ein cadw yn fyw. *Pum mlwydd a phedwar ugain*—trwy ei fod yn 40 mlwydd oed pan ei hanfonwyd o Cades-Barnea i yspïo y tir, adn. 7, ac wedi ei gadw yn fyw 45 o flynyddau ar ol hyny, fel y dywedir yma.

Adn. 11. *Yr ydwyf eto mor gryf heddyw*] Fel pe dywedasai, Nid wyf yn gofyn y lle hwn am fy mod bellach yn ewyllysio eistedd i lawr mewn esmwythyd; i'r gwrthwyneb, mi a wn y rhaid i mi ryfela i yru allan feibion Anac: ac yr wyf mor alluog ac ewyllysgar i wneuthur hyny ag yr oeddwn bum mlynedd a deugain yn ol, pryd yr anfonodd Moses fi i chwilio y tir. *Fel yr oedd fy nerth i y pryd hyny, felly y mae fy nerth i yn awr*—dywedasai Moses fod ein nerth, ar ol cyraedd pedwar ugain mlynedd, yn boen a blinder: ond y mae nerth Caleb yn eithriad i'r rheol hon, am iddo gyflawn ddylyn yr Arglwydd. Y mae Duw yn rhoddi nid yn unig yr hyn a addawodd, ond mwy na hyny. Os addawa efe fywyd, efe a chwanega iechyd a nerth, a phob peth a duedd i wneyd y bywyd addawedig yn fendith a chysur. Y mae Caleb yn crybwyll hyn er gogoniant i Dduw, ac fel rheswm dros ofyn cyfran ag y byddai raid iddo ei chipio allan o feddiant cawri: gwel isod.

Adn. 12. *Dyro i mi y mynydd yma*] Neu y wlad fynyddig lle yr oedd Hebron yn gorwedd, pen xi. 21. *Fel y gyrwyf hwynt allan*—yr oedd Josua wedi gorchfygu Hebron eisioes, a lladd ei brenin, a phob enaid ag oedd ynddi, pen. x. 36, 37; a pha fodd y sonia Caleb yn awr am yru allan yr Anaciaid? Dichon fod yr Anaciaid wedi ail gymeryd y ddinas hon erbyn hyn, tra yr oedd Josua yn rhwym mewn lle arall; neu gallai Caleb feddwl, trwy fod rhai o'r cawri hyn yn llochesu fyth yn y mynyddau cymydogaethol, y byddai iddynt yn fynych ymosod ar Hebron.

Adn. 13. *A Josua a'i bendithiodd ef*] A ganiataodd iddo y fendith ag yr oedd efe yn ei cheisio, gan gydnabod ei hawl i Hebron, a gweddio am i'r Arglwydd fod gydag ef yn ol ei ddymuniad.

Adn. 14. *Am hyny y mae Hebron yn etifeddiaeth i Caleb*] Sef y wlad amgylchynol: rhoddwyd y ddinas wedi hyn i'r Lefiaid, ac yr oedd yn un o'r dinasoedd noddfa, pen. xx. 7, a xxi. 11. Gelwid hi hefyd *Mamre:* gwel ar Gen. xxiii. 2, 19.

Adn. 15. *Ac enw Hebron o'r blaen oedd Caer Arba*] Neu *ddinas y pedwar:* gwel ar Gen. xxiii. 2. Tybia rhai i'r ddinas hon gael ei henw oddiwrth bedwar gŵr awdurdodol, nerthol, a chawraidd, y rhai a'i hadeiladasant neu a'i gorchfygasant hi. Y mae y dyb hon yn derbyn peth cadarnhad oddiwrth pen. xv. 14, lle y dywedir i Caleb yru oddiyno dri mab Anac, 'Sesai, Ahiman, a Thalmai,' y rhai, yn nghyda'u tad, a wnaent *bedwar.* Ond casgla ereill, oddiwrth pen. xv. 13, fod *Arba* yn enw priodol, gan y gelwir ef yno yn *dad* yr Anaciaid, yn gystal ag yn y testyn yn *ŵr mawr* yn eu mysg. *A'r wlad a orphwysodd heb ryfel*—gwel ar pen. xi. 23.

PEN. XV. Adn. 1. *A rhandir llwyth meibion Juda*] Y mae yn naearyddiaeth yr ysgrythyrau santaidd lawer o anhawsderau,

Caer Arba; *yr Arba hwnw oedd* ŵr mawr yn mysg yr Anaciaid. A'r wlad a orphwysodd heb ryfel.

## PENNOD XV.

A RHANDIR llwyth meibion Juda, yn ol eu teuluoedd, ydoedd tua therfyn Edom: anialwch Sin, tua'r deau, *oedd* eithaf y terfyn deau.

2 A therfyn y deau oedd iddynt hwy o gŵr y môr heli, o'r graig sydd yn wynebu tua'r deau.

3 Ac yr oedd yn myned allan o'r deau hyd riw Acrabbim, ac *yr oedd* yn myned rhagddo i Sin, ac yn myned i fyny o du y deau i Cades-Barnea; ac yn myned hefyd i Hesron, ac yn esgyn i Adar, ac yn amgylchynu i Carcaa.

4 Ac *yr oedd* yn myned tuag Azmon, ac yn myned allan i afon yr Aifft; ac eithafoedd y terfyn hwnw oedd wrth y môr: hyn fydd i chwi yn derfyn deau.

5 A'r terfyn tua'r dwyrain *yw* y môr heli, hyd eithaf yr Iorddonen: a'*r* terfyn o du y gogledd, *sydd* o graig y môr, *yn* eithaf yr Iorddonen.

6 A'r terfyn hwn oedd yn myned i fyny i Beth-Hogla, ac yn myned o'r gogledd hyd Beth-Arabah; a'r terfyn hwn oedd yn myned i fyny at faen Bohan mab Reuben.

---

wedi eu hachosi gan y cyfnewidiadau a wnaed yn nghyflwr gwladwriaethol gwlad yr addewid yn y ddwy fil o flynyddoedd diweddaf. Y mae enwau llawer o'r hen ddinasoedd a'r trefi wedi eu cyfnewid mor lwyr, fel nad yw y rhai blaenaf mwyach yn adnabyddus; y mae ereill yn gorwedd yn gladdedig dan eu hadfeilion eu hunain, ac ereill wedi eu dinystrio er's cymaint o amser fel nad oes dim olion o honynt yn aros. Ar y cyfrifon hyn y mae yn dra anhawdd sicrhau sefyllfa llawer o'r lleoedd a grybwyllir yn y bennod hon a'r rhai canlynol. Ond pa fodd bynag y gall hyn ddyrysu yr esboniwr, nis gall effeithio dim ar *wirionedd* yr hanes. Y mae rhai o brif ddinasoedd y byd, eisteddle yr amherodraethau mwyaf galluog, nid yn unig wedi eu gwneyd yn *adfeilion*, ond wedi eu dileu mor hollol oddiar ddarlunlen y byd, fel nas gellir dangos y fan lle y safent. Yn mha le hyd yn ddiweddar y gellid dangos y llanerchi ar ba rai y safai *Babilon* a *Ninefe?* Yn mha le y mae *Carthage*, *Thebes*, *Baalbec*, *Palmyra*, a'r enwog *Gaerdroia?* A ddylai hyn beri i ni wadu hanesiaeth yr hen fyd, yn mha un y gwnaent y fath ddarlun amlwg? Ac a all dilysrwydd ein hanesiaeth gysegredig ninau gael ei wanhau, am fod llawer o'r lleoedd a grybwyllir ynddi heb fodoli mwyach? Diau na all: ac ni ddichon iddo gael ei amau ond gan yr *anystyriol* a'r *arwynebol*, neu yr hollol *halogedig*. Er fod rhai o ddinasoedd Canaan wedi eu dinystrio, ac er y byddai yn anhawdd penderfynu safleoedd amrai ereill, eto y mae digon yn aros, naill ai dan eu hen enwau, neu gyda'r fath nodweddau eglur dan eu henwau newyddion, fel ag y gellir yn hawdd canfod gwirionedd yr hanes santaidd ag sydd yn awr o'n blaen.—Y mae yn naturiol meddwl, ebai Clarke, ddarfod i'r *rhaniad* a grybwyllir yma gael ei wneyd ar ol archwiliad manwl o'r tir, yr hyn a ellid ei wneyd gan ddynion addas yn dylyn byddin orchfygol yr Israeliaid. Yr oedd naw llwyth a hanner i gael eu diwallu eto, a rhaid i'r wlad gael ei rhanu yn ddeg rhan. Gwnaed hyn yn ddiamau gyda'r iawnfarn a'r dyspwyll eithaf, gan bwyso yn ofalus fanteision ac anfanteision pob rhan. Dyma y rhanau a benodwyd wrth goelbren; ac ymddengys mai *Juda* a goelbrenwyd *gyntaf;* ac o herwydd pwysigrwydd a rhagoroldeb y llwyth hwn, ei randir ef a ddarlunir gyntaf. *Yn ol eu teuluoedd*—meddylir nad oedd y rhaniadau *teuluaidd* yn cael eu penderfynu wrth goelbren, ond eu bod yn cael eu gadael i synwyr a doethineb Eleazar, Josua, a'r deg tywysog, y rhai a benodent i bob teulu ran gyfartal i'w nifer, &c.; ac mai y rhaniad cyffredinol i'r llwythau yn unig a benodid wrth goelbren. *Tua therfyn Edom*—llwyth Juda a ddalient y rhan fwyaf deheuol o wlad Canaan. Yr oedd ei therfynau yn cyraedd o ben deheuol y môr marw, ar hyd Idumea, heibio anialwch Sin, ac yn myned yn mlaen o'r dwyrain i'r gorllewin at Fôr-y-canoldir. Yn briodol y dywed Calmet, fod Josua yn nodi terfynau y llwyth hwn gyda manylwch, fel yr un blaenaf, lluosocaf, a phwysicaf; yr un ag ydoedd i roddi *brenhinoedd* i Judea, ac i gadw i fyny *grefydd bur*, ac o ba un yr oedd y MESSIA i ddeilliaw.

Adn. 2. *O'r graig sydd yn wynebu tua'r deau*] Heb. 'o'r *tafod;*' hyny yw, o'r fraich hòno o'r môr heli, neu o'r penrhyn, ag ydoedd yn wynebu tua'r deau.

Adn 3. *Hyd riw Acrabbim*] Neu 'fynydd yr ysgorpionau;' a elwid felly oddiwrth y nifer mawr o ysgorpionau a geid yno, meddai Bochart. *Cades-Barnea*—gelwid y lle hwn *Enmispat*, Gen. xiv. 7. Yr oedd ar fin anialwch Paran, ac oddeutu pedair milldir ar hugain o Hebron. Yma y bu farw Miriam, chwaer Moses ac Aaron; ac yma y gwrthryfelasant hwythau yn erbyn yr Arglwydd, Num. xx. *Carcaa*—meddylir mai yr un ydyw a *Coracea* Ptolemy, yn Arabia Petræa.

Adn. 4. *Tuag Azmon*] Dyma y ddinas olaf a feddiannent tua'r Aifft. *I afon yr Aifft*—y gangen fwyaf dwyreiniol o'r afon Nilus, yn ol rhai: ond gwel ar pen. xiii. 3.

Adn. 5. *Hyd eithaf yr Iorddonen*] Sef y fan lle yr oedd yr Iorddonen yn ymarllwys i'r môr heli neu y môr marw. Awgrymir yma fod terfyn dwyreiniol llwyth Juda yn ymestyn ar hyd ochr y môr heli o'r naill ben i'r llall.

Adn. 6. *Beth-Hogla*] Lle rhwng Jericho a'r môr heli, yn perthyn i lwyth Benjamin, pen. xviii. 21, er ei fod yn gwasanaethu yma fel terfyn i lwyth Juda. *At faen Bohan*—lle a elwid felly, nid oddiwrth breswyliad Bohan yno, canys ni feddai y Reubeniaid un gyfran

7 A'r terfyn hwn oedd yn myned i fyny i Ddebir o ddyffryn Acor, a thu a'r gogledd yn edrych tua Gilgal, o flaen rhiw Adummim, yr hon *sydd* o du y deau i'r afon: y terfyn hefyd sydd yn myned hyd ddyfroedd Ensemes, a'i gŵr eithaf sydd wrth Enrogel.
8 A'r terfyn sydd yn myned i fyny *trwy* ddyffryn meibion Hinnom, gan ystlys y Jebusiaid o du y deau, hòno *yw* Jerusalem: y terfyn hefyd sydd yn myned i fyny i ben y mynydd *sydd* o flaen dyffryn Hinnom, tua'r gorllewin, yr hwn *sydd* yn nghwr glyn y cawri, tua'r gogledd.
9 A'r terfyn sydd yn cyrhaeddyd o ben y mynydd hyd ffynnon dyfroedd Nephtoah, ac *sydd* yn myned allan i ddinasoedd mynydd Ephron: y terfyn hefyd sydd yn tueddu i Baalah, hòno *yw* Kiriath-jearim.
10 A'r terfyn *sydd* yn amgylchu o Baalah tua'r gorllewin, i fynydd Seir, ac *sydd* yn myned rhagddo at ystlys mynydd Jearim, o du y gogledd (hòno *yw* Chesalon) ac y mae yn disgyn i Beth-semes, ac yn myned i Timnah.
11 A'r terfyn *sydd* yn myned i ystlys Ecron, tua'r gogledd: a'r terfyn sydd yn tueddu i Sicron, ac yn myned rhagddo i fynydd Baalah, ac yn cyrhaeddyd i Jabneel; a chyrau eithaf y terfyn sydd *wrth* y môr.
12 A therfyn y gorllewin *yw* y môr mawr a'*i* derfyn. Dyma derfyn meibion Juda o amgylch, wrth eu teuluoedd.
13 ¶ Ac i Caleb fab Jephunneh y rhoddodd efe ran yn mysg meibion Juda, yn ol gair yr Arglwydd wrth Josua; *sef* Caer Arba, tad yr Anaciaid, hòno *yw* Hebron.
14 A Chaleb a yrodd oddiyno dri mab Anac, Sesai, ac Ahiman, a Thalmai, meibion Anac.
15 Ac efe a aeth i fyny oddiyno at drigolion Debir: ac enw Debir o'r blaen *oedd* Ciriath-sepher.
16 ¶ A dywedodd Caleb, Pwy byn-

---

yr ochr hòno i'r Iorddonen; ond o herwydd rhyw weithred orchestol a wnaethai efe yno, er coffadwriaeth am ba un y codwyd maen.

Adn. 7. *O ddyffryn Acor*] Gwel ar pen. vii. 25, 26. *Tua Gilgal*—nid Gilgal ger Jericho, ond y lle a elwid Geliloth, pen. xviii. 17. *Ensemes*—'ffynnon yr haul;' yr oedd yn ddwyreiniol o Jerusalem, ar gyffiniau Juda a Benjamin.

Adn. 8. *Trwy ddyffryn meibion Hinnom*] Ni wyddis pwy oedd Hinnom, na phaham y gelwid y lle hwn yn ddyffryn ei feibion ef. Yr oedd yn sefyll yn ddwyreiniol i Jerusalem, a chrybwyllir am dano yn fynych yn yr ysgrythyr. Ymddengys fod delw yr eilun Moloch wedi ei gosod i fyny yno; ac yno y parai yr Israeliaid eilunaddolgar i'w meibion a'u merched gael eu tynu trwy y tân er anrhydedd i'r ellyll hwnw, 2 Bren. xxiii. 10. Gelwid ef hefyd *Tophet*, Jer. vii. 32. Pan symudodd y brenin Josia ddelw yr eilun hwn o'r dyffryn yma, ymddengys ei fod yn cael ei ffieiddio gymaint, fel ag y daeth yn dderbynfa gyffredinol pob aflendid a budreddi a ddygid allan o Jerusalem; a dywedir fod *tânau parhaus* yn cael eu cadw i fyny yno, i ddifa y budreddi hyny, ac i attal haint. Oddiwrth y geiriau Hebreig *gei Hinnom*, 'dyffryn Hinnom,' y deilliodd *Gehenna* y Testament Newydd, yr hwn sydd yn gysgod o *uffern*, neu le y damnedigion: gwel Mat. v. 22, 29, 30, a x. 28, a xviii. 9, &c. *Hòno yw Jerusalem*—yr hon a elwid gynt *Jebus:* gwel ar pen. x. 1. Yr oedd rhan o honi yn llwyth Benjamin; a Seion, y rhan arall, yn llwyth Juda.

Adn. 9. *Baalah, hòno yw Kiriath-jearim*] Lle y bu yr arch yn aros am ugain mlynedd, ar ol ei hanfon yn ol gan y Philistiaid, 1 Sam. vii. 2.

Adn. 10. *Beth-semes*] 'Tŷ' neu 'deml yr haul.' Y mae yn amlwg fod yr *haul* yn wrthddrych addoliad yn mhlith y Canaaneaid; ac am hyny yr oedd *ffynnonau, bryniau, &c.*, yn cael eu cysegru iddo. Y mae Beth-semes yn hynod o herwydd i lawer o'i gwŷr gael eu lladd am edrych yn gywrain i'r arch, 1 Sam. vi. 19.

Adn. 11. *I ystlys Ecron*] Gwel ar pen. xiii. 3.

Adn. 12. *Y môr mawr*] Sef Môr-y-canoldir. *Dyma derfyn meibion Juda o amgylch*—hyny yw, yr oedd eu rhandir hwy yn cael ei derfynu o bob tu fel hyn yn y rhaniad cyntaf o hono; ac wrth ei gael wedi hyny yn rhy helaeth, cyfyngwyd ef i gylch llai, fel y gellid gwneyd mwy o le i lwyth Simeon, y rhai a gawsant beth o hono; a rhoddwyd rhai lleoedd ereill i lwythau Benjamin a Dan, fel y cawn weled eto.

Adn. 13. *Ac i Caleb—y rhoddodd efe ran yn mysg meibion Juda*] Gwel ar pen. xiv. 14.

Adn. 14. *Dri mab Anac*] Gwel ar pen. xiv. 15.

Adn. 15. *Ciriath-sepher*] 'Dinas y llyfr.' Nid yw yn hysbys paham ei gelwid felly. Gelwid hi hefyd *Debir*, a *Chiriath-sannath*, adn 49.

Adn. 16. *A dywedodd Caleb*] Efe a gyhoeddodd trwy y fyddin a arweinid ganddo yn erbyn Debir. *Pwy bynag a darawo Ciriath-sepher*—fel ag i'w hennill hi; *iddo ef y rhoddaf Achsa fy merch yn wraig*—yn yr hen amseroedd, ebai Clarke, yr oedd gan y tadau awdurdod hollol dros eu plant, yn enwedig i'w rhoddi hwynt mewn priodas; ac yr oedd yn arferiad i *frenin* neu *ŵr mawr* addaw ei ferch yn wraig i'r hwn a ennillai ddinas, a laddai elyn, &c. Felly yr addawodd Saul ei ferch yn wraig i'r neb a laddai Goliath, 1 Sam. xvii. 25, fel y gwna Caleb yma i'r neb a gymerai

ag a darawo Ciriath-sepher, ac a'i
hennillo hi; iddo ef y rhoddaf Achsa
fy merch yn wraig.
17 Ac Othniel mab Cenaz, brawd
Caleb, a'i hennillodd hi. Yntau a
roddodd Achsa ei ferch iddo ef yn
wraig.
18 A phan ddaeth hi i mewn *ato ef*,
yna hi a'i hannogodd ef i geisio gan ei
thad faes: ac a ddisgynodd oddiar yr
asyn. A dywedodd Caleb wrthi, Beth
a fyni di?
19 A hi a ddywedodd, Dyro i mi
rodd; canys gwlad y deau a roddaist
i mi; dyro i mi hefyd ffynnonau dyfr-
oedd. Ac efe a roddodd iddi y ffyn-
nonau uwchaf, a'r ffynnonau isaf.
20 Dyma etifeddiaeth llwyth meib-
ion Juda, wrth eu teuluoedd.
21 ¶ A'r dinasoedd o du eithaf i
lwyth meibion Juda, tua therfyn
Edom ar du y deau, oeddynt Cabseel,
ac Eder, a Jagur,
22 Cinah *hefyd*, a Dimonah, ac Ada-
dah,
23 Cedes *hefyd*, a Hazor, ac Ith-
nan,
24 A Ziph, a Thelem, a Bealoth,
25 A Hazor, Hadattah, a Cirioth, *a*
Hesron, hòno *yw* Hazor,
26 Ac Amam, a Sema, a Moladah,
27 A Hasar-Gadah, a Hesmon, a
Bethpalet,
28 A Hasarsual, a Beerseba, a
Biziothia,
29 Baalah, a Iim, ac Azem,
30 Ac Eltolad, a Chesil, a Hormah,
31 A Siclag, a Madmannah, a San-
sannah,
32 A Lebaoth, a Silhim, ac Ain, a
Rimmon: yr holl ddinasoedd *oedd*
naw-ar-hugain, a'u pentrefydd.
33 *Ac* yn y dyffryn, Esthaol, a Zo-
reah, ac Asnah,
34 A Zanoah, ac En-gannim, Tap-
puah, ac Enam,

---

Ciriath-sepher. Y mae hanesiaeth gyffredin yn rhoddi amrai anghreifftiau cyffelyb. Ond tybia ereill fod yma ammodau yn ddealledig; megys, os byddai ef yn un ag a allai ei phriodi hi un unol â chyfraith Duw; ac os byddai hithau yn foddlon: canys er fod gan rieni awdurdod mawr dros eu plant, ebai Benson, nis gallent eu gorfodi hwynt i briodi neb yn groes i'w hewyllys eu hunain.

Adn. 17. *Ac Othniel mab Cenaz, brawd Caleb*] Felly yr oedd Othniel yn nai fab brawd i Caleb, ac yn gefnder i Achsa. Diamau fod dylanwad dwyfol yn cynhyrfu Othniel ar yr achlysur hwn, fel y gwnaed wedi hyn ar achlysur arall: gwel Barn. iii. 9, 10. Yr oedd rhagluniaeth yn parotoi ei ffordd ef yn hyn oll i farnu Israel.

Adn. 18. *A phan ddaeth hi i mewn ato ef*] I dŷ Othniel ei gŵr; *yna hi a'i hannogodd ef i geisio gan ei thad faes*—neu i ganiatâu iddi hi wneuthur hyny, yr hyn a wnaeth. *Ac a ddisgynodd oddiar yr asyn*—ar ol cyraedd at dŷ ei thad: *vattitsnach*, a ddisgynodd mewn *brys*, fel pe buasai wedi annghofio rhyw beth. 'Hi a *lefodd* oddiar yr asyn.'—LXX. 'Hi a ocheneidiai ar gefn yr asyn.'—VULGATE. *A dywedodd Caleb wrthi, Beth a fyni di?*—beth sydd yn bod? pa beth sydd arnat ei eisiau?

Adn. 19. *Dyro i mi rodd*] Saes. 'dyro i mi *fendith;*' neu gwna â mi weithred o diriondeb. *Gwlad y deau a roddaist i mi*—yr hon ond odid oedd yn sych, neu heb gael ei dyfrhau yn dda; ac yn dra noeth i wynt y deau, yr hwn yn y parthau hyny oedd yn crasu yn ddirfawr, wrth chwythu dros anialwch Arabia. *Dyro i mi hefyd ffynnonau dyfroedd*—sef maes yn yr hwn y mae ffynnonau; yr hyn yn y wlad hòno oedd werthfawr iawn. *Ac efe a roddodd iddi y ffynnonau uwchaf a'r ffynnonau isaf*—efe a roddodd iddi fwy nag a geisiai: cafodd ran o'r *mynyddau* a rhan o'r *dyffrynoedd*, lle yr oedd digonedd o ddyfroedd. (1) Pan y mae rhieni yn rhoddi eu plant mewn priodas, y maent yn rhwym o'u diwallu hwynt â'r hyn ag y maent mewn angen am dano, os gallant ei hebgor. (2) Nid oes gan ŵr a gwraig ddim ond un achos, ac ni ddylai fod ganddynt ddim ond un gôd yn gystal ag un galon. (3) Gallwn yn ddibechod chwennychu cysuron a chyfleusderau bywyd, a defnyddio moddion cyfreithlon i'w cyraedd. (4) Os yw tad daearol mor dirion, ai ni fydd i ni gael breintiau mwy gan ein Tad nefol, pan y gweddiom arno? (5) Y mae gan y rhai a feddant y ffynnonau isaf o fendithion daearol, a'r ffynnonau uwchaf o ddwyfol ras, ddigon o reswm yn wir i fod yn foddlon gyda'u cyfran, ac yn ddiolchgar am dani.

Adn. 20—32. *Dyma etifeddiaeth llwyth meibion Juda*] O du y deau, tua therfyn meibion Edom. *Yr holl ddinasoedd oedd naw ar hugain*—hyny yw, yr holl ddinasoedd *caerog*, y rhai a feddent *bentrefydd* ymddibynol arnynt; ac yr oedd *naw* o'r rhai hyny, trwy fod y rhestr hon yn cynwys 38 yn y cyfan. Ond tybia rhai mai 29 a berthynent i Juda, a bod y *naw* ereill wedi disgyn i ran Simeon; (gwel ar adn. 12;) sef Beerseba, Moladah, Hasarsual, Baalah, Azem, Hormah, Siclag, Ain, a Rimmon. Eithr barna Clarke fod yma 38 o ddinasoedd yn y rhestr yn lle 29, am fod amrai ddinasoedd yn ngwlad yr addewid yn meddu enwau *cyfansawdd;* a bod gwahanol gyfieithiadau, trwy fod y lleoedd yn anadnabyddus, yn uno yn fynych yr enwau a ddylent fod ar wahan, ac yn aml yn gwahanu y rhai a ddylent fod yn un, fel ag i wneyd dinas o'r *ansoddair*, ac felly wneyd *un* ddinas yn *ddwy*.

Adn. 33. *Esthaol a Zoreah*] Yma y claddwyd Samson, yn meddrod ei dadau, Barn. xvi. 31. Y lleoedd hyn, er wedi eu rhoddi ar y cyntaf i Juda, a syrthiasant wedi hyny i randir Dan, pen. xix. 41.

35 Jarmuth, ac Adulam, Socoh, ac Azecah,
36 A Saraim, ac Adithaim, a Gederah, a Gederothaim; pedair-ar-ddeg o ddinasoedd, a'u pentrefydd.
37 Senan, a Hadasah, a Migdal-Gad,
38 A Dilean, a Mispe, a Joctheel,
39 Lacis, a Boscath, ac Eglon,
40 Chabbon *hefyd*, a Laman, a Chithlis,
41 A Gederoth, Beth-Dagon, a Naamah, a Maccedah; un ddinas ar bymtheg, a'u pentrefydd.
42 Libna, ac Ether, ac Asan,
43 Jiphtah, ac Asnah, a Nesib,
44 Ceilah *hefyd*, ac Achzib, a Maresah; naw o ddinasoedd, a'u pentrefi.
45 Ecron, â'i threfi, a'i phentrefydd;
46 O Ecron hyd y môr, yr hyn oll *oedd* gerllaw Asdod, a'u pentrefydd:
47 Asdod, â'i threfydd, a'i phentrefydd; Gaza, â'i threfydd, a'i phentrefydd, hyd afon yr Aifft; a'r môr mawr, a'*i* derfyn.
48 ¶ Ac yn y mynydd-dir; Samir, a Jattir, a Socoh,
49 A Dannah, a Ciriath-sannath, hòno *yw* Debir,
50 Ac Anab, ac Astemoh, ac Anim,
51 A Gosen, a Holon, a Giloh; un ddinas ar ddeg, a'u pentrefydd.
52 Arab, a Dumah, ac Esean,
53 A Janum, a Beth-tappua, ac Aphecah,
54 A Humtah, a Chaer Arba, (hòno *yw* Hebron) a Sior; naw dinas, a'u trefydd.
55 Maon, Carmel, a Ziph, a Juttah,
56 A Jezreel, a Jocdeam, a Zanoah,
57 Cain, Gibeah, a Timnah; deg o ddinasoedd, a'u pentrefydd.
58 Halhul, Bethsur, a Gedor,
59 A Maarath, a Beth-anoth, ac Eltecon; chwech o ddinasoedd, a'u pentrefydd.
60 Ciriath-Baal (hòno *yw* Ciriath-jearim) a Rabbah; dwy ddinas, a'u pentrefydd.
61 ¶ Yn yr anialwch; Beth-araba, Midin, a Sechacha,
62 A Nibsan, a dinas yr halen, ac Engedi; chwech o ddinasoedd, a'u pentrefydd.

---

Adn. 35. *Jarmuth*] Gwel ar pen. x. 3. *Adulam*—gwel ar pen. xii. 15. *Socoh*—yn agos i'r fan yma y lladdodd Dafydd Goliath, campwr y Philistiaid, 1 Sam. xvii. 1.

Adn. 36. *Pedair ar ddeg o ddinasoedd*] Ac un pentref. Ond trwy fod y rhestr yma yn cynwys 15 o ddinasoedd, tybia rhai mai yr un lle yw Gederah a Gederothaim: gwel ar adn. 32.

Adn. 37—41. *Un ddinas ar bymtheg, a'u pentrefydd*] Neu 16 trwy gyfrif eu pentrefydd.

Adn. 42—44. *Libna*] Gwel ar pen. x. 29. *Ether*—nyni a ddysgwn oddiwrth pen. xix. 7, i'r ddinas yma gael ei rhoddi wedi hyn i lwyth Simeon. *Ceilah*—yn agos i Hebron; a dywedir mai yma y claddwyd y proffwyd Habaccuc: gwel ar 1 Sam. xxiii. 1, &c. *Maresah*—a elwir hefyd Maresheth a Marasthi; lle genedigol y proffwyd Mica.

Adn. 45, 46. *Ecron*] Gwel ar pen. xiii. 3.

Adn. 47. *Asdod*] A elwir hefyd Azotus, Act. viii. 40. *Hyd afon yr Aifft*—y gangen Belusiaidd o'r Nilus, neu y Sihor. *A'r môr mawr*—sef Môr-y-canoldir.

Adn. 48. *Socoh*] Yn y mynydd-dir: gwelsom fod dinas o'r un enw yn y dyffryn, adn. 35.

Adn. 49—52. *Ciriath-sannath*] Gwel ar adn. 15. *Gosen*—gwel ar pen. x. 41. *Giloh*—gwlad y bradwr Ahitophel, 2 Sam. xv. 12.

Adn. 53. *Beth-tappua*] 'Tŷ y pren afalau;' yn debygol lle y tyfai y rhai hyn mewn helaethrwydd a pherffeithrwydd mawr.

Adn. 54. *Caer Arba*] Gwel ar pen. xiv. 15.

Adn. 55. *Maon*] Mewn anialwch a gai ei enw oddiwrth y ddinas hon, yr ymguddiodd Dafydd am gryn amser rhag erledigaeth Saul, 1 Sam. xxiii. 24, 25. *Carmel*—nid y mynydd a elwid felly, ond tref lle y cartrefai Nabal, gerllaw Maon, oddeutu deg milldir o du y dwyrain i Hebron: gwel 1 Sam. xxv. 2, &c.

Adn. 56. *Jezreel*] Gwel ar pen. xix. 18.

Adn. 57. *Timna*] Yr un a Timnath, lle y cafodd Samson ei wraig, Barn. xiv. 1.

Adn. 58, 59. *Gedor*] Gwel ar pen. xii. 13. Y mae yr ailun Alexandriaidd o'r LXX, a'r CODEX VATICANUS, yn chwanegu yma unarddeg o drefi fel y canlyn: *Teca, ac Ephratha* (hòno yw Bethlehem), *a Phagor, ac Etan, a Culon, a Tatam, a Thebes, a Caram, a Galam, a Thether, a Manocho; unarddeg o ddinasoedd, a'u pentrefydd.* Y mae St. Jerome, ar Mica v. 1, yn crybwyll am danynt; ac felly gwelwn eu bod yn yr ailunau a ddefnyddiai efe. Myn Dr. Kennicott y dylent gael eu hadfer i'r testyn; ac efe a ddyry gyfrif fel hyn am eu gadawiad allan: 'Trwy fod yr un gair *vechatsreyhen*, 'a'u pentrefydd,' yn dygwydd yn union *cyn* y geiriau hyn, ac yn eu *diwedd* hwynt, aeth llygad yr adysgrifenydd oddiwrth y naill at y llall trwy gamgymeriad. Parodd dygwyddiad cyffelyb i ddwy adnod gyfan gael eu gadael allan o pen xxi, sef adn. 35, 36.' Gwel y sylw yno.

Adn. 60. *Ciriath-Baal*] Yr un a Baalah, adn. 9.

Adn. 61. *Yn yr anialwch*] Yn debygol yr un a elwir 'anialwch Engedi,' 1 Sam. xxiv. 1.

Adn. 62. *Dinas yr halen*] Neu 'ddinas *Melach*:' gwel ar pen. xii. 3. Tybia Clarke fod y ddinas hon yn agos i'r môr marw, dyfroedd yr hwn yw y rhai halltaf ond odid yn y byd: gwel ar Gen. xix. 25. Barna rhai ei bod yr un a *Soar*, i'r hon y diangodd Lot ar ol dinystrio Sodom a Gomorra. *Engedi*—'ffynnon

63 Ond ni allodd meibion Juda yru allan y Jebusiaid, trigolion Jerusalem: am hyny y trig y Jebusiaid gyd a meibion Juda yn Jerusalem hyd y dydd hwn.

PENNOD XVI.

A RHANDIR meibion Joseph oedd yn myned o'r Iorddonen *wrth* Jericho, i ddyfroedd Jericho o du y dwyrain, i'r anialwch sydd yn myned i fyny o Jericho i fynydd Bethel;

2 Ac yn myned o Bethel i Lus, ac yn myned rhagddo i derfyn Archi i Ataroth;

3 Ac yn disgyn tua'r gorllewin i ardal Japhleti, hyd derfyn Beth-horon isaf, ac hyd Gezer: a'*i* gyrau eithaf sydd hyd y môr.

4 Felly meibion Joseph, Manasse ac Ephraim, a gymerasant eu hetifeddiaeth.

5 ¶ A therfyn meibion Ephraim *oedd*, yn ol eu teuluoedd; a therfyn eu hetifeddiaeth hwynt o du y dwyrain, oedd Ataroth-adar, hyd Beth-horon uwchaf.

6 A'r terfyn sydd yn myned tua'r môr, i Michmethah o du y gogledd; a'r terfyn sydd yn amgylchu o du y dwyrain i Taanath-Silo, ac yn myned heibio iddi o du y dwyrain i Janohah:

7 Ac yn myned i waered o Janohah, *i* Ataroth, a Naarath; ac yn cyrhaeddyd i Jericho, ac yn myned allan i'r Iorddonen.

8 O Tappua y mae y terfyn yn myned tua'r gorllewin i afon Canah; a'i gyrau eithaf sydd wrth y môr. Dyma etifeddiaeth llwyth meibion Ephraim, yn ol eu teuluoedd.

9 A dinasoedd neillduedig meibion Ephraim *oedd* yn mysg etifeddiaeth

---

y mỳn:' yr oedd yn sefyll rhwng Jericho a'r môr marw.

Adn. 63. *Ond ni allodd meibion Juda yru allan y Jebusiaid, trigolion Jerusalem*] Yr oedd Jerusalem mewn rhan wedi ei chymeryd gan Josua cyn hyn; ond yr oedd y rhan uwchaf a chryfaf o honi, a elwid Seion, yn cael ei dal fyth gan y Jebusiaid hyd amser Dafydd. Ac y mae yn debyg iddynt ddisgyn oddiyno i'r dref isaf, a elwid 'Jerusalem,' a'i chymeryd hi; fel ag y bu orfod i'r Israeliaid ei hennill hi eilwaith, ïe a'r drydedd waith hefyd; canys yr oedd y Jebusiaid yn ei meddiannu hi ar ol hyny, Barn. xix. 11, 2 Sam. v. 6, 7. *Am hyny y trig y Jebusiaid gyda meibion Juda yn Jerusalem*—yr oedd rhan o Jerusalem yn llwyth Juda, sef tŵr neu amddiffynfa Seion, mynydd Moria, yn nghyda rhai o'i rhanau deheuol; ond yr oedd y gweddill o honi, sef y rhan fwyaf o'r ddinas, yn llwyth Benjamin. *Hyd y dydd hwn*—y mae hyn yn brawf chwanegol na chafodd llyfr Josua ei ysgrifenu *ar ol* dyddiau y brenhinoedd Iuddewig, fel y ceisiodd rhai brofi; canys pan ysgrifenwyd yr adnod hon, yr oedd y Jebusiaid yn trigo gyda meibion Juda yn Jerusalem, yr hyn ni wnaethant ar ol dyddiau Dafydd.

PEN. XVI. Adn. 1. *A rhandir meibion Joseph*] Sef Ephraim a Manasse, a'u hiliogaeth. Yr oedd terfynau llwyth Ephraim yn cyraedd ar hyd cyffiniau Benjamin a Dan, o'r *Iorddonen* yn ddwyreiniol, hyd *Fôr-y-canoldir* yn orllewinol.

Adn. 2. *O Bethel i Lus*] Oddiwrth Gen. xxviii. 19, ymddengys fod y lle a alwodd Jacob *Bethel* yn cael ei alw cyn hyny *Lus;* ond yma gellir meddwl eu bod yn ddau le gwahanol. Tybia Clarke mai nid yn *Lus* y cafodd Jacob y weledigaeth, ond mewn rhyw le yn ymyl y ddinas neu y dref hòno; a bod yr holl le yn cael ei alw weithiau *Bethel*, dro arall *Lus*, a phryd arall, megys yma, fod y ddau le yn cael eu gwahaniaethu; yn debyg fel y mae LLUNDAIN yn cynwys nid yn unig *Llundain*, ond hefyd dinas *Westminster*, a bwrdeisdref *Southwark;* er fod y tri lle ar brydiau ereill yn cael eu crybwyll ar wahan. Ond y mae Dupin yn ei gyfieithu 'Bethel-Lus;' a Dr. Waterland, 'Bethel, yr hon yw Lus;' a dichon fod y ddau le yn mhen amser wedi eu cysylltu yn un. *I derfyn Archi i Ataroth*—neu yn hytrach, 'i derfyn Archi-Ataroth,' fel y mae y LXX a'r Vulgate yn ei gyfieithu, ac fel y mae y geiriau yn sefyll yn yr Hebraeg. Felly gellir darllen yr holl adnod fel hyn: 'Ac yn myned o Bethel-Lus i derfyn Archi-Ataroth.'

Adn. 3. *Hyd derfyn Beth-horon isaf*] Gwel ar pen. x. 10.

Adn. 4. *Manasse*] Sef hanner llwyth Manasse, trwy fod yr hanner arall yn etifeddu yr ochr draw i'r Iorddonen, Num. xxxii. 33. *A gymerasant eu hetifeddiaeth*—cymerodd llwyth Juda, a meibion Joseph, feddiant o'u hetifeddiaeth o flaen neb o'r lleill; ac yr oedd yn iawn iddynt wneuthur hyny, er diogelu y prif wersyll, yr hwn oedd yn Gilgal, pen. xviii. 5.

Adn. 5. *O du y dwyrain*] Hyny yw, o du y gogledd-ddwyrain. Nid rhyfedd os yw rhai o'r darluniadau hyn yn dywyll i ni yn y pelldra amser hwn, trwy fod cynifer o gyfnewidiadau wedi eu gwneuthur mewn lleoedd: gwel yr adfeddyliadau. Ond hyn sydd sicr, fod yr holl ddarluniadau a grybwyllir yma yn amlwg y pryd hyny i'r Israeliaid, y rhai a ddalient y rhandiroedd hyn yn heddychol am lawer o oesoedd.

Adn. 6. *Tua'r môr*] Sef Môr-y-canoldir yn orllewinol.

Adn. 7. *Ac yn cyrhaeddyd i Jericho*] Nid i ddinas Jericho, canys yr oedd hòno yn llwyth Benjamin, pen. xviii. 21; ond i'w hymyl hi, ac heibio iddi at yr Iorddonen: gwel y darluniadau hyny lle y mae rhandiroedd y llwythau wedi eu gwahaniaethu.

meibion Manasse; yr holl ddinas-
oedd, a'u pentrefydd.
10 Ond ni oresgynasant hwy y Ca-
naaneaid, y rhai oedd yn trigo yn Ge-
zer: am hyny y trigodd y Canaaneaid
yn mhlith yr Ephraimiaid hyd y dydd
hwn, ac y maent yn gwasanaethu dan
dreth.

## PENNOD XVII.

AC yr oedd rhandir llwyth Manasse
(canys efe *oedd* cyntafanedig Jo-
seph) i Machir, cyntafanedig Manas-
se, tad Gilead: o herwydd ei fod efe
yn rhyfelwr, yr oedd Gilead a Basan
yn eiddo ef.
2 Ac yr oedd *rhandir* i'r rhan arall
o feibion Manasse, yn ol eu teulu-
oedd; *sef* i feibion Abiezer, ac i feib-
ion Helec, ac i feibion Asriel, ac i feib-
ion Sichem, ac i feibion Hepher, ac i
feibion Semida: dyma feibion Manas-
se mab Joseph, *sef* y gwrywiaid, yn
ol eu teuluoedd.
3 ¶ Ond Salphaad mab Hepher, mab
Gilead, mab Machir, mab Manasse,
nid oedd iddo feibion, ond merched:
a dyma enwau ei ferched ef; Mahlah,
a Noah, Hoglah, Milcah, a Thirza:
4 Y rhai a ddaethant o flaen Elea-
zar yr offeiriad, ac o flaen Josua mab
Nun, ac o flaen y tywysogion, gan
ddywedyd, Yr Arglwydd a orchy-
mynodd i Moses roddi i ni etifedd-
iaeth yn mysg ein brodyr: am hyny
efe a roddodd iddynt etifeddiaeth, yn
ol gair yr Arglwydd, yn mysg brodyr
eu tad.
5 A deg rhandir a syrthiodd i Ma-
nasse, heblaw gwlad Gilead a Basan,
y rhai *sydd* tuhwnt i'r Iorddonen;
6 Canys merched Manasse a eti-
feddasant etifeddiaeth yn mysg ei
feibion ef: a gwlad Gilead oedd i'r
rhan arall o feibion Manasse.
7 ¶ A therfyn Manasse oedd o Aser
i Michmethath, yr hon *sydd* gyferbyn
â Sichem; a'r terfyn oedd yn myned
ar y llaw ddeau, hyd breswylwyr En-
tappua.
8 Gwlad Tappua oedd eiddo Ma-
nasse: ond Tappua, *yr hon oedd* ar

---

Adn. 8. *Afon Canah*] Ger Apollonias, yn nyffryn Saron, ar fin Môr-y-canoldir.

Adn. 9. *A dinasoedd neillduedig*] Sef y dinasoedd a neillduwyd o hanner llwyth Manasse i'w rhoddi i lwyth Ephraim, yr hwn oedd yn llawer lluosocach: gwel pen. xvii. 9.

Adn. 10. *Y Canaaneaid y rhai oedd yn trigo yn Gezer*] Ymddengys na chafodd y Canaaneaid eu gyru allan o'r ddinas hon hyd ddyddiau Solomon, pan ei cymerwyd gan frenin yr Aifft, ei dad-yn-nghyfraith, yr hwn a'i rhoddodd hi yn anrheg i'w ferch, gwraig Solomon, 1 Bren. ix. 16: gwel ar Jos. x. 33. Darfu i feibion Ephraim, modd bynag, lwyddo mor bell i ddarostwng y bobl hyn, fel ag i'w gorfodi i dalu teyrnged, er nas gallent, neu o leiaf na wnaethant, eu gyru hwynt allan yn hollol.

ADFEDDYLIADAU.—Gallwn ddywedyd am yr *enwau* a'r *lleoedd* yn y bennod hon, fel y sylwa Clarke, megys ag am ereill a grybwyllwyd eisioes: gwel ar pen. xv. 1. Yr oedd llawer o'r trefydd hyny yn fychain, ac wedi eu hadeiladu yn weiniaid fel y gallwn gasglu yn rhesymol, ac am hyny syrthiasant i ddadfeiliad yn debygol er's mwy na mil o flynyddau yn ol. Gan hyny ofer fyddai edrych am y fath leoedd *yn awr*. Y mae llawer o drefydd Lloegr, gwlad heb fod yn agored i'r fath chwyldroadau ag a fuont yn Palestina bob amser, y rhai a grybwyllir gan Cesar a hen ysgrifenwyr ereill, heb fod mwyach yn adnabyddus. Darfu i lawer newid eu henwau, ac nid ychydig eu safleoedd. Dywed traddodiad fod dinas *Norwich* yn sefyll gynt rai milldiroedd o'r fan lle y saif yn awr; ac y mae genym y prawf llawnaf mai dyma fel y mae yn bod gyda dinas *Salisbury*. Nid yw y cyfryw gyfnewidiadau yn effeithio ar wirionedd hen ddaearlun ein gwlad ein hunain; ac nis gallant chwaith niweidio eiddo yr hanesydd santaidd o'n blaen.

PEN. XVII. Adn. 1. *Ac yr oedd rhandir llwyth Manasse*] Yr hanner hwnw o honynt na feddent gyfran yr ochr draw i'r Iorddonen. *Canys efe oedd cyntafanedig Joseph*—ac am hyny dylasai gael ei ran, er i Ephraim gael ei ddewis o'i flaen ef. Yma cafodd rhagfynegiad Jacob ei gyflawni yn llythyrenol, y cai Ephraim fod o flaen Manasse, Gen. xlviii. 19, 20. *I Machir—o herwydd ei fod efe yn rhyfelwr*—nid yw yn debyg fod Machir ei hun yn fyw yn awr: os ydoedd, rhaid ei fod bellach yn agos i 200 mlwydd oed. Gan hyny y mae yn debyg fod yr hyn a ddywedir yma yn cael ei ddywedyd am ei blant ef, y rhai yn awr a gaent y rhan a fwriadwyd ar y cyntaf i'w tad, yr hwn yr ymddengys ei fod wedi ei hynodi ei hun fel gŵr dewr a medrus mewn rhai o'r rhyfeloedd blaenorol, er nad yw yr amgylchiadau wedi eu coffâu. Yr oedd ei hiliogaeth ef, gan eu bod o ysbryd rhyfelgar a gwrol, yn dra chyfaddas i amddiffyn gwlad gyffiniol, yr hon a fyddai yn naturiol yn agored i ymosodiad.

Adn. 2. *Ac yr oedd rhandir i'r rhan arall o feibion Manasse*] Sef ei *ŵyrion* ef, yn ol Clarke; canys meddylia rhai nad oedd gan Manasse un mab ond Machir; a'r rhai hyn yn dra thebygol oeddynt blant Gilead mab Machir.

Adn. 3, 4. *Ond Salphaad—nid oedd iddo feibion, ond merched*] Gwel yr achos hwn yn cael ei ystyried yn helaeth ar Num. xxvii. 1—7, a xxxvi. 1, &c.

Adn. 5—8. *A deg rhandir a syrthiodd i Manasse*] Gan fod *chwech* o feibion a *phump*

derfyn Manasse, *oedd* eiddo meibion
Ephraim.
9 A'r terfyn sydd yn myned i waered
i afon Canah, o du deau yr afon.
Y dinasoedd hyn, eiddo Ephraim, *oedd*
yn mhlith dinasoedd Manasse: a therfyn
Manasse *sydd* o du y gogledd i'r
afon, a'i ddiwedd oedd y môr.
10 Y deau *oedd* eiddo Ephraim, a'r
gogledd *eiddo* Manasse; a'r môr oedd
ei derfyn ef: ac yn Aser yr oeddynt
yn cyfarfod, o'r gogledd; ac yn Issacar,
o'r dwyrain.
11 Yn Issacar hefyd ac yn Aser yr
oedd gan Manasse, Beth-sean a'i threfydd,
ac Ibleham a'i threfydd, *a* thrigolion
Dor a'i threfydd, a thrigolion
Endor a'i threfydd, a phreswylwyr
Taanach a'i threfydd, a thrigolion
Megido a'i threfydd; tair talaeth.
12 Ond ni allodd meibion Manasse
yru ymaith *drigolion* y dinasoedd
hyny; eithr mynodd y Canaaneaid
breswylio yn y wlad hòno.
13 Eto pan gryfhaodd meibion Israel,
hwy a osodasant y Canaaneaid
dan dreth: ni yrasant hwynt ymaith
yn llwyr.
14 ¶ A meibion Joseph a lefarasant
wrth Josua, gan ddywedyd, Paham y
rhoddaist i mi, yn etifeddiaeth, un afael
ac un ran, a minau yn bobl aml,
wedi i'r Arglwydd hyd yn hyn fy
mendithio?
15 A Josua a ddywedodd wrthynt,
Os pobl aml *ydwyt*, dos i fyny i'r coed,
a thor *goed* i ti yno yn ngwlad y Phereziaid,
a'r cawri, od yw mynydd Ephraim
yn gyfyng i ti.
16 A meibion Joseph a ddywedasant,
Ni bydd y mynydd ddigon i ni:
hefyd *y mae* cerbydau heiyrn gan yr

---

o ferched, dylasai fod *unarddeg* o randiroedd; ond trwy fod Salphaad, mab Hepher, wedi gadael pump o ferched yn ei le, nid yw ef na Hepher yn cael eu cyfrif. Gan hyny rhanwyd dosbarth Manasse yn *ddeg* rhan; pump i bum mab *Gilead*, y rhai oeddynt Abiezer, Helec, Asriel, Sichem, a Semida; a phump i bum merch *Salphaad*, sef Mahlah, Noah, Hoglah, Milcah, a Thirza: gwel Calmet.

Adn. 9. *A therfyn Manasse sydd o du y gogledd i'r afon*] Wrth 'derfyn Manasse' y meddylir y dinasoedd a breswylid gan y Manasseaid, y rhai oeddynt o du y gogledd i'r afon Canah.

Adn. 10. *Yn Aser yr oeddynt yn cyfarfod*] Er fod Zabulon yn dyfod rhyngddynt hwy ac Aser am y rhan fwyaf o'u tir, eto ymddengys fod tafodau o dir yn perthyn i Ephraim a Manasse, y rhai a ymdaflent allan yn mhellach na'r lleill, ac a gyffyrddent â therfynau Aser.

Adn. 11. *Yn Issacar hefyd ac yn Aser yr oedd gan Manasse, &c.*] Yr un modd ag yr oedd gan Ephraim rai dinasoedd yn llwyth Manasse, a Juda yn llwythau Dan a Simeon, a Simeon yn Juda. Weithiau, pan fyddai y lle a benodwyd i ryw lwyth yn rhy gyfyng iddo, a'r un nesaf ato yn rhy fawr, rhoddid rhan o'r mwyaf i'r un lleiaf; a thro arall hwy a newidient neu a brynent leoedd gan eu gilydd; fel ag yr oedd cymysgedd weithiau yn eu meddiannau, heb unrhyw gymysgedd nac annhrefn yn eu llwythau na'u teuluoedd. *A thrigolion Dor*—nid y lleoedd yn unig, ond y bobl hefyd, y rhai a arbedent ac a ddefnyddient yn weision. *Tair talaeth*—neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'y drydedd ran o'r dalaeth hòno;' ac yna yr ystyr yw, fod y dinasoedd a'r trefydd a grybwyllir yma yn un ran o dair o'r holl wlad. Y LXX a'u cyfieithant, 'a'r drydedd ran o Nopheth.'

Adn. 12, 13. *Ond ni allodd meibion Manasse yru ymaith drigolion y dinasoedd hyny*] Yr oeddynt yn analluog trwy eu hanffyddlondeb, neu o ddiffyg dewrder a hyder yn addewidion Duw. Ac ar ol iddynt fyned yn ddigon cryf i'r gwaith, darfu iddynt osod y Canaaneaid hyny dan dreth, yn hytrach na'u gyru ymaith.

Adn. 14. *A meibion Joseph*] Sef hiliogaeth Ephraim a Manasse; *a lefarasant wrth Josua*—ar ol iddynt weled y rhan a benodwyd iddynt, a chael ei bod yn llawer llai na'u dysgwyliad. *Un afael ac un ran*—a elwid felly, (1) Am na feddent ar y cyntaf ond un gafaeliad neu ddosbarth, yr hwn oedd i gael ei ranu rhyngddynt ar ol hyny; neu, (2) Am nad oedd y rhandir a roddwyd i bob un o honynt ond digon bach i *un* o honynt.

Adn. 15. *Os pobl aml ydwyt*] Er fod Josua ei hun o lwyth Ephraim, ni wnai efe gamddefnyddio ei awdurdod i foddhau eu tueddiadau hwy; ond y mae yn ymresymu â hwy ar eu tir eu hunain. Dywedasant hwy eu bod yn *bobl aml*, adn. 14; 'Purion,' ebai Josua; 'gan dy fod yn bobl aml neu luosog, tro dy achwyniadau i weithrediad, a helaetha dy derfynau â'th law dy hun, yn yr hyn y gelli yn hyderus ddysgwyl cymhorth oddiwrth Dduw.' *Dos i fyny i'r coed*—neu i'r mynydd coediog, adn. 18; *a thor goed it' yno*—er dy fantais dy hun, fel y gallot adeiladu ychwaneg o ddinasoedd, a pharotoi y tir at borfa ac arddwriaeth.' *Yn ngwlad y Phereziaid*—gwel ar pen. iii. 10; *a'r cawri*—y rhai a drigent mewn ogofau ac yn y mynyddau, ar ol iddynt gael eu gyru allan o'u dinasoedd.

Adn. 16. *Ni bydd y mynydd ddigon i ni*] Pe gallem gael meddiant o'r mynydd coediog, a thori ei holl goed ef, a dyfetha ei holl drigolion, ni fyddai ef yn ddigon i ni. *Hefyd y mae cerbydau heiyrn gan yr holl Ganaaneaid*—y meddwl yw, fod rhwystr ar eu ffordd hwy i gyraedd at y mynydd pe buasai yn ddigon iddynt, trwy fod Canaaneaid arfog yn trigo yn y dyffryndir. Nid ydym i feddwl fod y cerbydau hyn wedi eu gwneyd oll o haiarn, eithr yr oeddynt wedi eu harfogi â haiarn, a hyny er ymosodiad yn gystal a diffyniad. Dywedir fod math ar bladuriau miniog, oddeutu llathen o hyd, yn taflu allan o'r olwynion, y rhai,

holl Ganaaneaid sydd yn trigo yn y
dyffryndir, gan y rhai *sydd* yn Beth-
sean a'i threfi, a chan y rhai *sydd* yn
nglyn Jezreel.
17 A Josua a ddywedodd wrth dŷ
Joseph, wrth Ephraim ac wrth Ma-
nasse, gan ddywedyd, Pobl aml *yd-
wyt,* a nerth mawr *sydd* genyt: ni
fydd i ti un rhan *yn unig.*
18 Eithr bydd y mynydd eiddot ti:
canys coediog *yw,* arloesa ef; a bydd
ei eithafoedd ef eiddot ti: canys ti a
yri ymaith y Canaaneaid, er bod cer-
bydau heiyrn ganddynt, *ac* er eu *bod*
yn gryfion.

## PENNOD XVIII.

A HOLL gynulleidfa meibion Is-
rael a ymgynullasant i Silo, ac a
osodasant yno babell y cyfarfod: a'r
wlad oedd wedi ei darostwng o'u
blaen hwynt.
2 A saith llwyth oedd yn aros yn
mysg meibion Israel, i'r rhai ni ran-
asent eu hetifeddiaeth eto.
3 A Josua a ddywedodd wrth feib-
ion Israel, Pa hyd *yr ydych* yn esgeul-
uso myned i oresgyn y wlad a roddes
Arglwydd Dduw eich tadau i chwi?
4 Moeswch o honoch dri-wŷr o *bob*
llwyth; fel yr anfonwyf hwynt, ac y
cyfodont, ac y rhodiont y wlad, ac y
dosbarthont hi yn ol eu hetifeddiaeth
hwynt; ac y delont ataf *drachefn.*
5 A hwy a'i rhanant hi yn saith
rhan. Juda a saif ar ei derfyn o du y
deau, a thŷ Joseph a safant ar eu
terfyn o du y gogledd.

---

wrth eu gyru yn gyflym trwy fyddin, a wnaent hafog ofnadwy, gan eu tori i lawr fel gwair neu ŷd.

Adn. 17. *Pobl aml ydwyt, a nerth mawr sydd genyt*] Nid oedd Josua yn newid ei farn trwy eu gwrthddadleuon, ond dywedai wrthynt eu bod, yn ol eu cyfaddefiad eu hunain, yn bobl luosog, ac o ganlyniad yn dra nerthol, ac am hyny nad oedd raid iddynt fod yn gyfyng eu preswylfod. *Ni fydd it' un ran yn unig*—yr wyt mewn angen ac yn haeddu mwy na'r rhan sydd genyt, ac y mae genyt nerth i gael mwy gyda bendith Duw.

Adn. 18. *Bydd y mynydd eiddot ti*] Sef mynydd Gilboa, fel y tybir; *a bydd ei eithafoedd ef eiddot ti*—y dyffrynoedd a'r maesydd perthynol iddo; *canys ti a yri ymaith y Canaaneaid*—trwy gymhorth Duw, er fod cerbydau heiyrn ganddynt, ac er eu bod yn gryfion: gwel ar Deut. xx. 1.

PEN. XVIII. Adn. 1. *A holl gynulleidfa meibion Israel*] Nid yn unig eu henuriaid, a phenaethiaid eu llwythau, ond hefyd holl gorff y bobl, y rhai a ddylynent yr arch i'w rhoddi mewn lle newydd. *A ymgynullasant i Silo*—tref yn llwyth Ephraim, oddeutu pymtheg milldir o Jerusalem, yn sefyll ar fryn yn nghanol y wlad. *Ac a osodasant yno babell y cyfarfod*—neu y tabernacl, yr hwn oedd wedi bod yn aros bellach saith mlynedd gyda'r gwersyll yn Gilgal. Diamau mai trwy orchymyn Duw y symudwyd ef yma; canys efe oedd i ddewis lle ei breswylfod, Deut. xii. 5, 11, 14. Bu y tabernacl yn aros yma am oddeutu 330 o flynyddau, fel lle tra chyfleus i'r gwahanol lwythau ddyfod yn nghyd; ac yr oedd hefyd yn le tra diogel, yn cael ei warchad gan ddau lwyth grymus Juda ac Ephraim. SILO oedd yr enw a roddwyd i'r MESSIA yn mhroffwydoliaeth Jacob wrth farw. Felly yr oedd gosod y babell yn *Silo* yn awgrymu i'r Iuddewon y byddai i holl ordinhadau y cysegr daearol hwn gael eu cyflawniad mewn Tabernacl mwy a pherffeithiach. *A'r wlad oedd wedi ei darostwng o'u blaen hwynt*—fel nad oedd mwyach un gwrthsafiad cyffredinol o eiddo y Canaaneaid yn erbyn arfau yr Israeliaid.

Adn. 2. *Saith llwyth—i'r rhai ni ranasent eu hetifeddiaeth eto*] Yr achos o hyny ond odid oedd, fod llwythau meibion Joseph yn anfoddlon i'r rhaniad ag y dechreuwyd ei wneuthur yn Gilgal; ac am hyny oedodd Josua y rhaniad nes iddo ail fesur yr holl wlad, yr hyn, trwy ei fod yn awr yn ei chanol hi, a allai ei wneuthur gyda mwy o rwyddineb na phan yn Gilgal.

Adn. 3. *Pa hyd yr ydych yn esgeuluso, &c.*] Ymddengys eu bod wedi blino ar ryfel, ac yn awr yn meddu digonedd o bob peth angenrheidiol, fel nad oedd ynddynt duedd i redeg i beryglon newyddion wrth oresgyn y wlad a roddasai yr Arglwydd iddynt. Hefyd yr oeddynt wedi bod yn cael eu cynal cyhyd trwy *wyrth,* heb unrhyw ymdrech o'r eiddynt eu hunain, nes yr oedd yn anhawdd ganddynt ymysgwyd oddiwrth eu hanweithgarwch.

Adn. 4. *Moeswch o honoch dri-wŷr o bob llwyth*] O'r saith llwyth ag oeddynt eto heb dderbyn eu hetifeddiaeth. *Fel yr anfonwyf hwynt*—y mae yn debyg fod yr un gŵr ar hugain hyn yn cael eu gwylio gan warchawdlu o filwyr, heb yr hyn buasent yn debyg o gael eu haflonyddu gan y Canaaneaid gwasgaredig. *Ac y dosbarthont hi*—Saes. 'y *dysgrifiont* hi,' nid yn unig o ran ei mesur, ond hefyd o ran ei chyflwr a'i hansawdd, pa un ai mynyddig ai gwastad, ffrwythlon ai anffrwythlon ydoedd.

Adn. 5. *A hwy a'i rhanant hi yn saith rhan*] Gyfartal mewn maintioli neu werth, gan adael i Dduw benodi pa ran a ddisgynai i bob un o'r saith llwyth. *Juda a saif ar ei derfyn o du y deau*—heb gael ei aflonyddu yn ei etifeddiaeth yn awr o leiaf. Fel pe dywedasai Josua, 'Ewch i edrych yr holl wlad ag sydd yn aros eto heb ei meddiannu: na sylwch ar lwyth Juda, yr hwn sydd yn *ddeheuol,* nac ar lwyth Ephraim, yr hwn sydd yn *ogleddol* o'r fan lle yr ydym ni yn awr; eithr rhanwch yn ofalus y tir ag sydd eto heb ei feddiannu gan y llwythau hyn, yn saith rhan gyfartal.'

6 A chwi a ddosperthwch y wlad
*yn* saith rhan, a dygwch *y dosbarth-
iadau* ataf fi yma; fel y bwriwyf goel-
bren drosoch yma, o flaen yr Argl-
wydd ein Duw.
7 Ond ni *bydd* rhan i'r Lefiaid yn
eich mysg chwi; o herwydd offeiriad-
aeth yr Arglwydd *fydd* eu hetifedd-
iaeth hwynt. Gad hefyd, a Reuben, a
hanner llwyth Manasse, a dderbynias-
ant eu hetifeddiaeth o'r tuhwnt i'r Ior-
ddonen, o du y dwyrain, yr hon a rodd-
odd Moses gwas yr Arglwydd iddynt.
8 ¶ A'r gwŷr a gyfodasant, ac a
aethant: a Josua a orchymynodd i'r
rhai oedd yn myned i ranu y wlad,
gan ddywedyd, Ewch, a rhodiwch
trwy y wlad, a dosberthwch hi, a dy-
chwelwch ataf fi; ac yma y bwriaf
drosoch chwi goelbren gerbron yr
Arglwydd yn Silo.
9 A'r gwŷr a aethant ymaith, ac a
gerddasant trwy y wlad, ac a'i dos-
barthasant hi bob yn ddinas, yn saith
rhan, mewn llyfr; a daethant at Josua
i'r gwersyll *yn* Silo.
10 ¶ A Josua a fwriodd goelbren
drostynt hwy gerbron yr Arglwydd
yn Silo: a Josua a ranodd yno y wlad
i feibion Israel yn ol eu rhanau.
11 ¶ A choelbren llwyth meibion
Benjamin a ddaeth i fyny yn ol eu
teuluoedd: a therfyn eu hetifeddiaeth
hwynt a aeth allan rhwng meibion
Juda a meibion Joseph.
12 A'r terfyn oedd iddynt hwy tua'r
gogledd o'r Iorddonen: y terfyn
hefyd oedd yn myned i fyny gan yst-
lys Jericho, o du y gogledd, ac yn my-
ned i fyny trwy y mynydd tua'r gor-
llewin; a'i gyrau eithaf oedd yn an-
ialwch Beth-afen.
13 Y terfyn hefyd sydd yn myned
oddiyno i Lus, gan ystlys Lus (hòno
*yw* Bethel) tua'r deau; a'r terfyn
*sydd* yn disgyn i Ataroth-adar, i'r
mynydd *sydd* o du y deau i Beth-
horon isaf.
14 A'r terfyn sydd yn tueddu, ac
yn amgylchu cilfach y môr tua'r deau,
o'r mynydd *sydd* ar gyfer Beth-horon
tua'r deau; a'i gyrau eithaf ef *sydd*
wrth Ciriath-baal (hòno *yw* Ciriath-
jearim) dinas meibion Juda. Dyma
du y gorllewin.
15 A thu y deau *sydd* o gŵr Cir-
iath-jearim; a'r terfyn *sydd* yn myned
tua'r gorllewin, ac yn cyrhaeddyd hyd
ffynnon dyfroedd Nephtoah.
16 Y terfyn hefyd sydd yn disgyn
tua chwr y mynydd *sydd* ar gyfer glyn
mab Hinnom, yr hwn *sydd* yn nyffryn
y cawri tua'r gogledd; ac y mae efe
yn disgyn i ddyffryn Hinnom, gan yst-
lys y Jebusiaid tua'r deau, ac yn dy-
fod i waered i ffynnon Rogel.

---

Adn. 6. *Fel y bwriwyf goelbren drosoch yma o flaen yr Arglwydd*] Sef o flaen yr arch neu y tabernacl, fel y byddo yr Arglwydd yn dyst ac yn farnydd, ac y cydnabydder ef yn awdwr y penodiad.

Adn. 7. *Offeiriadaeth yr Arglwydd fydd eu hetifeddiaeth hwynt*] Yr hon a roddai iddynt hawl mewn rhanau o'r ebyrth, eu crwyn, y bwyd-offrymau, y blaenffrwythau, y degymau, a phris pryniad y cyntafanedigion, &c.

Adn. 8. *A'r gwŷr a gyfodasant, ac a aethant*] Dywed Josephus iddynt fod saith mis yn gwneyd y dosbarthiad hwn.

Adn. 9. *Dosbarthasant hi bob yn ddinas*] Neu, 'yn ol y dinasoedd,' i'r rhai y perthynai y gwahanol diriogaethau. *Mewn llyfr*—yn saith o *ddarlunleni* gwahanol, gyda dysgrifiad manwl o ansawdd pob rhan. Dywed Josephus fod y gwŷr hyn wedi dysgu daear-fesuriaeth yn dda.

Adn. 10. *Yn ol eu rhanau*] Sef yn ol y rhaniadau a wnaed gan y mesurwyr, y rhai oeddynt mor gyfiawn a chyfartal nes yr oedd pawb yn foddlon i'r coelbren benderfynu pa ran a gaent hwy.

Adn. 11. *A choelbren llwyth meibion Benjamin*] Yn nghylch y modd o ddefnyddio y coelbren, gwel ar pen. xiv. 2, a Num. xxvi. 55. Y mae yn debyg fod enwau y saith *llwyth* yn cael eu rhoddi mewn un llestr, ac enwau neu rif y saith *rhan* yn cael eu rhoddi mewn llestr arall, ac fel hyn eu bod yn cael eu codi i fyny yn gymheiriaid. *Rhwng meibion Juda a meibion Joseph*—trefnodd rhagluniaeth fod i feibion Benjamin gael y rhan gyntaf o'r saith, yn nesaf at feibion Joseph, gan mai hwynthwy oeddynt unig blant Rahel, anwyl wraig Jacob; ac hefyd, wrth fod yn nesaf at Juda, gallai y Benjaminiaid ymuno wedi hyn â llwyth Juda, mewn ymlyniad wrth orsedd Dafydd a theml Jerusalem.

Adn. 12. *Anialwch Beth-afen*] Yr un lle oedd hwn a *Beth-el;* ond ni roddwyd yr enw hwn iddo nes i Jeroboam osod i fyny yno un o'i loi aur. Y mae ei enw cyntaf yn arwyddo *tŷ Dduw;* a'i ail enw, *tŷ drygioni.*

Adn. 13. *Gan ystlys Lus*] Neu 'hyd at ystlys Bethel.'

Adn. 14, 15. *Cilfach y môr*] Neu 'gilfach y gorllewin,' fel y mae gan y LXX; canys nid oedd Beth-horon yn agos i'r môr. *Ciriath-baal*—yr hon a alwai yr Israeliaid yn *Ciriath-jearim,* 'dinas y fforestau,' i ddileu y goffadwriaeth am Baal.

Adn. 16. *Gan ystlys y Jebusiaid*] Neu 'hyd at fynydd Seion,' ger Jerusalem; canys *Jebus* oedd hen enw y ddinas hòno, adn. 28.

Adn. 17. *En-semes*] 'Ffynnon yr haul;' prawf o arferion eilunaddolgar cyndrigolion y wlad hon. *Geliloth*—gan fod y gair hwn yn arwyddo cyffiniau neu derfynau, tybia rhai nad yw yma yn enw priodol, ond ei fod yn

17 Ac y mae yn tueddu o'r gogledd,
ac yn myned i En-semes, ac yn cyrhaeddyd tua Geliloth, yr hon *sydd* gyferbyn a rhiw Adummim, ac yn disgyn *at* faen Bohan fab Reuben:
18 Ac y mae efe yn myned ar hyd
yr ystlys ar gyfer Araba tua'r gogledd, ac yn disgyn i Araba.
19 Y terfyn hefyd sydd yn myned
rhagddo i ystlys Beth-hogla tua'r gogledd: a chwr eithaf y terfyn oedd wrth lan y môr heli tua'r gogledd, hyd gŵr yr Iorddonen tua'r deau. Dyma derfyn y deau.
20 Yr Iorddonen hefyd sydd derfyn
iddo o ystlys y dwyrain. Dyma etifeddiaeth meibion Benjamin, trwy eu terfynau o amgylch, yn ol eu teuluoedd.
21 A dinasoedd llwyth meibion
Benjamin yn ol eu teuluoedd, oedd, Jericho, a Beth-hoglah, a glyn Cesis,
22 A Beth-arabah, a Semarim, a
Bethel,
23 Ac Afim, a Pharah, ac Ophrah,
24 A Chephar-haammonai, ac Ophni, a Gaba; deuddeg o ddinasoedd, a'u pentrefydd:
25 Gibeon, a Ramah, a Beeroth,
26 A Mispeh, a Chephirah, a Mosah,
27 A Recem, ac Irpeel, a Tharalah,
28 A Zelah, Eleph, a Jebusi (hôno
*yw* Jerusalem) Gibeath, *a* Chiriath; pedair-ar-ddeg o ddinasoedd, a'u pentrefydd. Dyma etifeddiaeth meibion Benjamin, yn ol eu teuluoedd.

## PENNOD XIX.

A'R ail goelbren a aeth allan i Simeon, dros lwyth meibion Simeon, yn ol eu teuluoedd: a'u hetifeddiaeth hwynt oedd o fewn etifeddiaeth meibion Juda.
2 Ac yr oedd ganddynt hwy, yn eu
hetifeddiaeth, Beer-seba, a Seba, a Moladah,
3 A Hasar-sual, a Balah, ac Asem,
4 Ac Eltolad, a Bethul, a Hormah,
5 A Siclag, a Beth-marcaboth, a
Hasar-susah,
6 A Beth-lebaoth, a Sarhuen; tair
dinas ar ddeg, a'u pentrefydd;
7 Ain, Rimmon, ac Ether, ac Asan;
pedair o ddinasoedd, a'u pentrefydd:
8 A'r holl bentrefydd y rhai *oedd* o
amgylch y dinasoedd hyn, hyd Baal-

---

arwyddo y *cyffiniau* ag oeddynt gyferbyn â rhiw Adummim. *At faen Bohan*—gwel ar pen. xv. 6.

Adn. 18. *Araba*] Neu y gwastadedd ag oedd yn rhedeg i'r gogledd.

Adn. 19. *Beth-hogla*] Gwel ar pen. xv. 6.

Adn. 20. *O ystlys y dwyrain*] Hyny yw, yr oedd yr Iorddonen yn derfyn i randir Benjamin o du y dwyrain.

Adn. 21—23. *A dinasoedd llwyth meibion Benjamin, &c.*] Crybwyllwyd am rai o'r dinasoedd hyn o'r blaen; ac ni wyddys ddim am y lleill ond eu henwau.

Adn. 24. *Gaba*] A dybir ei bod yr un a *Gibea-Saul*, 1 Sam. x. 4, lle y ganed brenin cyntaf Israel, a lle y darostyngwyd gwraig y Lefiad, (Barn. xix,) yr hyn a fu yn achos o ryfel, yn yr hon y dyfethwyd agos holl lwyth Benjamin, Barn. xx.

Adn. 25. *Gibeon*] Lle yr ymgynghreiriodd y pum brenin yn erbyn Israel, ac y bwriwyd cerig mawrion o'r nefoedd arnynt, pen. x. *Ramah*—lle oddeutu chwech neu wyth o filldiroedd yn ogleddol o Jerusalem. *Beeroth*—'ffynnonau;' un o'r pedair dinas a berthynent i'r Gibeoniaid, y rhai a ymheddychasant â'r Israeliaid trwy dwyll, pen. x. 17.

Adn. 26, 27. *Mispeh*] Yr oedd y lle hwn yn *gysegredig* yn mhlith yr Israeliaid; canys yma yr ymgynullasant i ymgynghori yn nghylch y gosp ag ydoedd i gael ei gweinyddu ar wŷr Gibea yn achos gwraig y Lefiad, Barn. xx. 1—3. Casglodd Samuel y bobl i'r lle hwn i weddio drostynt ar yr Arglwydd, 1 Sam. vii. 5, 6. Ac ni a ddysgwn oddiwrth 1 Mac. iii. 46, ddarfod i'r Iuddewon ymgynull yma i geisio Duw, pryd yr oedd eu teml yn nwylaw eu gelynion.

Adn. 28. *Zelah*] Yma yr oedd beddrod Saul, Jonathan, a theulu Cis: gwel 2 Sam. xxi. 14. *Jebusi, hôno yw Jerusalem*—yr hon hefyd a elwid *Salem*, y fan ond odid lle y teyrnasai Melchisedec yn nyddiau Abraham, er y tybia rhai yn wahanol: gwel ar Gen. xiv. 18, &c. *Dyma etifeddiaeth meibion Benjamin*—gwel pen. xv. 63, lle y priodolir Jerusalem i lwyth Juda, am fod rhan o honi yn perthyn i'r llwyth hwnw yn gystal a Benjamin.

PEN. XIX. Adn. 1. *A'r ail goelbren a aeth allan i Simeon*] Yn y penodiad hwn gallwn weled rhagluniaeth Duw yn amlwg. O herwydd drygioni Simeon a Lefi yn llofruddiad y Sichemiaid diniwed, Gen. xxxiv., rhagfynegodd Jacob, trwy ysbryd proffwydoliaeth, 'y rhenid hwynt yn Jacob, ac y gwasgerid hwynt yn Israel,' Gen. xlix. 7; a chyflawnwyd hyny yn llythyrenol. Gwasgarwyd *Lefi* trwy holl Palestina, heb dderbyn un etifeddiaeth ond *dinasoedd* i drigo ynddynt mewn gwahanol barthau o'r tir; a gwasgarwyd *Simeon* 'o fewn etifeddiaeth meibion *Juda*,' fel y dywedir yma, heb ganddynt un etifeddiaeth a ellid ei galw yn briodol yn eiddo iddynt eu hunain: gwel ar Gen. xlix. 7.

Adn. 2. *Beer-seba*] Gwel ar Gen. xxi. 31.

Adn. 3, 4. *Hasar-sual, &c.*] Gwel ar pen. xv. 1, &c.

Adn. 5. *Beth-marcaboth*] 'Tŷ' neu ddinas 'y cerbydau;' ond odid lle yr oedd eu cerbydau rhyfel a'u gwŷr meirch yn aros.

Adn. 6. *Beth-lebaoth*] 'Tŷ' neu ddinas 'y

ath-beer, Ramath *o'r* deau. Dyma etifeddiaeth llwyth meibion Simeon, yn ol eu teuluoedd.
9 O randir meibion Juda *yr oedd* etifeddiaeth meibion Simeon: canys rhan meibion Juda oedd ormod iddynt; am hyny meibion Simeon a gawsant eu hetifeddiaeth o fewn eu hetifeddiaeth hwynt.
10 ¶ A'r trydydd coelbren a ddaeth i fyny dros feibion Zabulon, yn ol eu teuluoedd: a therfyn eu hetifeddiaeth hwynt oedd hyd Sarid.
11 A'u terfyn hwynt sydd yn myned i fynu tua'r môr, a Maralah, ac yn cyrhaeddyd i Ddabbaseth; ac yn cyrhaeddyd i'r afon *sydd* ar gyfer Jocneam;
12 Ac yn troi o Sarid, o du y dwyrain tua chyfodiad haul, hyd derfyn Cisloth-Tabor; ac yn myned i Ddaberath, ac yn esgyn i Japhia;
13 Ac yn myned oddiyno yn mlaen tua'r dwyrain, i Gittah-Hepher, i Ittah-Casin; ac yn myned allan i Rimmon-Methoar, *i* Neah.
14 A'r terfyn sydd yn amgylchu o du y gogledd i Hinnathon; a'i ddiweddiad yn nglyn Jiphtael.
15 Cattath *hefyd*, a Nahalal, a Simron, ac Idalah, a Bethlehem: deuddeg o ddinasoedd, a'u pentrefydd.
16 Dyma etifeddiaeth meibion Zabulon, yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd yma, a'u pentrefydd.
17 ¶ Y pedwarydd coelbren a ddaeth allan dros Issacar; dros feibion Issacar, yn ol eu teuluoedd.
18 A'u terfyn hwynt oedd tu *a* Izreel, a Cesuloth, a Sunem,
19 A Hapharaim, a Sihon, ac Anaharath,
20 A Rabbith, a Cision, ac Abes,
21 A Remeth, ac En-gannim, ac Enhadah, a Beth-passes.
22 A'r terfyn sydd yn cyrhaeddyd i Tabor, a Sahasimah, a Beth-semes; a'u cyrau eithaf hwynt yw yr Iorddonen: un ddinas ar bymtheg, a'u pentrefydd.
23 Dyma etifeddiaeth llwyth meibion Issacar, yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd, a'u pentrefydd.
24 ¶ A'r pummed coelbren a ddaeth allan dros lwyth meibion Aser, yn ol eu teuluoedd.
25 A'u terfyn hwynt oedd, Helcath, a Hali, a Beten, ac Achsaph,
26 Ac Alammelech, ac Amad, a

---

llewesau;' a elwid felly yn debygol oddiwrth y niferoedd o'r creaduriaid hyny a fagent yno.

Adn. 8. *Baalath-beer*] 'Ffynnon y meistresi;' a elwid felly yn debygol o herwydd rhyw addoliad coelgrefyddol neu aflan a osodwyd i fyny yno.

Adn. 9. *O randir meibion Juda*] Gwel ar adn. 1.

Adn. 10—16. *A'r trydydd coelbren a ddaeth i fyny dros feibion Zabulon*] Yr oedd rhandir y llwyth hwn yn cyraedd o Fôr-y-canoldir yn orllewinol hyd fôr Tiberias yn ddwyreiniol, ac yn cyfateb i broffwydoliaeth Jacob, Gen. xlix. 13, 'Zabulon a fydd yn borthladd llongau;' llongau marsiandwyr ar y môr mawr, a llongau pysgodwyr ar fôr Galilea. Yn ddeheuol iddo yr oedd rhandir Issacar, ac eiddo Aser a Naphtali o du y gogledd. *Bethlehem*—nid lle y ganed ein Ceidwad, yr hon oedd yn Juda, ond un arall yn Zabulon, adn. 15. Yn y rhandir hwn yr oedd Nazareth, Tabor, a'r manau lle y gwnai Crist fwyaf o'i wyrthiau.

Adn. 17. *Y pedwarydd coelbren a ddaeth allan dros Issacar*] Y mae yn hynod, er mai Issacar oedd y brawd hynaf, eto ddarfod i goelbren Zabulon gael ei dynu allan o flaen ei goelbren ef; ac yn y drefn hon y mae Jacob ei hun yn eu crybwyll hwynt, Gen. xlix. 13, 14, yn gystal a Moses, Deut. xxxiii. 18, er nad oes un rheswm yn cael ei enwi dros roddi y flaenoriaeth i'r brawd ieuangaf. 'Hysbys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed;' ac y mae ganddo ef reswm dros ei ymddygiad, pan na byddom ni yn gallu ei amgyffred.

Adn. 18. *Izreel*] Yr un â *Jesreel*, y ddinas frenhinol: gwel 1 Bren. xxi. 1. *Sunem*—cartref achlysurol y proffwyd Eliseus, a'r fan lle yr adferodd efe fab y weddw i fywyd, 2 Bren. iv. 8.

Adn. 19—23. *Hapharaim, &c.*] Ni wyddom ddim am lawer o'r dinasoedd hyn, ond fod rhai o honynt wedi cael eu rhoddi i'r Lefiaid o deulu Gerson. *Beth-semes*—'tŷ yr haul.' Yr oedd amrai ddinasoedd neu drefydd o'r enw hwn yn Palestina; yr hyn sydd yn brawf fod addoliad yr haul yn beth cyffredin yn y wlad eilunaddolgar hòno.

Adn. 24, 25. *A'r pummed coelbren a ddaeth allan dros lwyth meibion Aser*] Yr oedd y llwyth hwn yn meddiannu y dalaeth ogleddorllewinol o Ganaan, yr hon oedd yn terfynu ar Syria o du y gogledd, Zabulon o du y deau, Naphtali o du y dwyrain, a Môr-y-canoldir o du y gorllewin. Yr oedd y dalaeth hon yn cynwys Phenice, yr hon, er ei phenodi i Aser, na orchfygwyd ganddo ef; ac yr oedd oddeutu 60 milldir o hyd, a 30 o led.

Adn. 26. *Carmel*] Lle enwog yn yr ysgrythyr, yn enwedig ar gyfrif gwyrthiau Elias: gwel ar 1 Bren. xviii. Yr oedd mynydd Carmel mor ffrwythlon fel ag i fod yn ddiarebol. Yr oedd Carmel arall yn llwyth *Juda*, pen. xv. 55; eithr hwn, yn llwyth *Aser*, a safai oddeutu pymtheg milldir o du y deau i Ptolemais, ar fin Môr-y-canoldir. Dywed Calmet fod teml ar y mynydd hwn yn amser Vespasian, wedi ei chysegru i Dduw o'r un enw. Sefydlwyd mynachdy, ac urdd grefyddol a adwaenid wrth yr enw *Carmeliaid*, ar

Misal; ac yn cyrhaeddyd i Carmel,
tua'r gorllewin, ac i Sihor-Libnath;
27 Ac yn troi tua chyfodiad haul i
Beth-dagon, ac yn cyrhaeddyd i Zabu-
lon, ac i ddyffryn Jiphtael, tua'r gog-
ledd i Beth-Emec, ac i Neiel, ac yn
myned ar y llaw aswy i Cabul;
28 A Hebron, a Rehob, a Hammon,
a Cana, hyd Sidon fawr.
29 A'r terfyn sydd yn troi i Ramah,
ac hyd Zor, y ddinas gadarn: a'r ter-
fyn sydd yn troi i Hosah; a'i gyrau
eithaf sydd wrth y môr, o randir
Achzib,
30 Ummah hefyd, ac Aphec, a Re-
hob: dwy ddinas ar hugain, a'u pen-
trefydd.
31 Dyma etifeddiaeth llwyth meib-
ion Aser, yn ol eu teuluoedd; y dinas-
oedd hyn, a'u pentrefydd.
32 ¶ Y chweched coelbren a ddaeth
allan i feibion Naphtali, dros feibion
Naphtali, yn ol eu teuluoedd.
33 A'u terfyn hwy oedd o Heleph,
o Alon i Saanannim, ac Adami, Ne-
ceb, a Jabneel hyd Lacum: a'i gyrau
eithaf oedd *wrth* yr Iorddonen.
34 A'r terfyn sydd yn troi tua'r
gorllewin i Aznoth-Tabor, ac yn my-
ned oddiyno i Huccoc; ac yn cyr-
haeddyd i Zabulon o du y deau, *ac* yn
cyrhaeddyd i Aser o du y gorllewin,
ac i Juda a'r Iorddonen tua chyfodiad
haul.
35 A'r dinasoedd caerog, Sidim, Ser,
a Hammath, Raccath, a Cinnereth,
36 Ac Adamah, a Ramah, a Hasor,
37 A Cedes, ac Edrei, ac Enhasor,
38 Ac Iron, a Migdal-el, Horem, a
Beth-anath, a Beth-semes: pedair di-
nas ar bymtheg, a'u pentrefydd.
39 Dyma etifeddiaeth llwyth meib-

---

y mynydd hwn er anrhydedd i *Elias*. Myn rhai ei bod wedi ei sefydlu gan Elias ei hun; ond y mae yn debycach ddarfod gwneuthur hyny tua'r flwyddyn 1180, yn amser y Pab Alexander III.

Adn. 27. *Ar y llaw aswy i Cabul*] Hyny yw, o du y *gogledd* i Cabul; canys felly y mae y *llaw aswy*, pan yn cyfeirio at *le*, yn cael ei ddeall gan yr Hebreaid, am y dariunient hwy leoedd â'u gwyneb tua chodiad haul. Casglodd rhai oddiwrth yr adnod hon nad allai llyfr Josua fod wedi cael ei ysgrifenu cyn dyddiau Solomon, am i wlad Cabul, meddent hwy, gael ei henw gan Hiram, brenin Tyrus, yr hwn a'i galwodd hi felly mewn dirmyg, 1 Bren. ix. 11—13. Ond y mae hyn yn gamgymeriad amlwg; canys cyfeirir yma nid at *wlad Cabul* a'i hugain dinas, ond at *dref Cabul* ger Ptolemais. Y mae Josephus ei hun yn gwahaniaethu rhyngddynt, *De Bell. Jud.*, *lib.* iii. *c.* 4.

Adn. 28. *Cana*] Sef Cana fwyaf, yn Galilea Uwchaf; ac nid Cana leiaf, yr hon oedd yn Galilea Isaf. *Sidon fawr*—a elwid felly ar gyfrif ei henafiaeth, ei chyfoeth, a'i gogoniant: gwel ar pen. xi. 8. Ni roddwyd y ddinas hon i'r Israeliaid, neu o leiaf ni feddiannwyd hi erioed ganddynt, a hyny trwy ragluniaeth neillduol Duw, fel na fyddai iddynt, trwy fantais o'r fath borthladd enwog, fasnachu llawer â chenhedloedd ereill, a thrwy hyny gael eu llygru ganddynt.

Adn. 29. *Hyd Zor, y ddinas gadarn*] Tybia rhai, gan ddylyn y Saesonaeg, mai yr un yw hon a *Tyrus;* ond y mae yn debycach mai lle arall ydyw, am nad adeiladwyd *Tyrus* hyd oddeutu 200 o flynyddoedd ar ol dyddiau Josua, sef tua'r flwyddyn O.B. 2760. Nid yw Homer, yr hwn a grybwylla yn fynych am *Sidon* a'r *Sidoniaid*, byth yn son am *Tyrus;* yr hyn sydd yn brawf nad oedd y ddinas enwog hon yn adnabyddus yn ei amser ef. Dywed rhai fod Homer yn cydoesi â'r Barnwyr Iuddewig, tra y tybia ereill ei fod yn gydoeswr â Josua ei hun.

Adn. 30, 31. *Dwy ddinas ar hugain*] Y mae yma fwy yn cael eu henwi; ond nid oedd rhai o honynt o fewn y llwyth hwn, eithr yn lleoedd terfynol neu gyffiniol: neu gall fod rhai o'r *pentrefydd* yn cael eu henwi uchod yn gystal a'r *dinasoedd*.

Adn. 32. *Y chweched coelbren a ddaeth allan i feibion Naphtali*] Yma y mae mab ieuangaf Bilha, llawforwyn Rahel, yn cael ei ddewis o flaen yr hynaf, yr hwn oedd Dan, Gen. xxx. 6, 8, megys y cafodd Zabulon o flaen Issacar. Y fath oedd trefn dwyfol ragluniaeth yn mhlith y genedl hòno, i'w hargyhoeddi na ddylent hwy eu prisio eu hunain yn rhy uchel, fel yr oeddynt yn dueddol i wneuthur, o herwydd eu rhagorfreintiau allanol.

Adn. 33. *A'u terfyn hwy, &c.*] Yr oedd hon yn randir dra phrydferth, yn llawn coed, y rhai a ddygent bob math ar ffrwythau. Y mae Josephus yn canmol ffrwythlondeb rhandir Naphtali yn ei amser ef, ac yn bostio fod yno 214 o drefi o fewn y dalaeth.

Adn. 34. *I Juda a'r Iorddonen tua chyfodiad haul*] Y mae yn sicr nad *rhandir Juda* a olygir, am fod amrai lwythau yn gorwedd rhyngddi a rhandir Zabulon; eithr *tref* o'r enw *Juda*, yn rhandir Naphtali, ar lan yr Iorddonen, nid yn mhell oddiwrth Edrei: gwel *Ddarlunleni Murphy*.

Adn. 35. *Cinnereth*] Y ddinas oddiwrth ba un y mae llyn *Gennesaret* yn cael ei enw. Dywed yr Iuddewon iddi gael ei henw *Cinnereth* oddiwrth ei ffrwythau, y rhai oeddynt mor beraidd i'r chwaeth ag yw y *cinnor*, neu y 'delyn' i'r glust. Y mae llyn *Gennesaret* yn debyg i *delyn* hefyd o ran llun: gwel Num. xxxiv. 11.

Adn. 36. *Hazor*] Gwel ar pen. xi. 1.

Adn. 37. *Cedes*] Gwel ar pen. xii. 22.

Adn. 38, 39. *Pedair dinas ar bymtheg*] Os cyfrifwn y dinasoedd hyn, ni a'u cawn yn fwy o rifedi; eithr hyn a achosir trwy gyfrif dinasoedd *cyffiniol* yn perthyn i lwythau ereill, y rhai a enwir yma fel *terfynau* y llwyth hwn: gwel ar adn. 30, 31.

ion Naphtali, yn ol eu teuluoedd; y
dinasoedd, a'u pentrefydd.
40 ¶ Y seithfed coelbren a ddaeth
allan dros lwyth meibion Dan, yn ol
eu teuluoedd.
41 A therfyn eu hetifeddiaeth
hwynt oedd Sorah, ac Estaol, ac Ir-
Semes,
42 A Saalabbin, ac Ajalon, ac Ith-
lah,
43 Ac Elon, a Thimnathah, ac Ec-
ron,
44 Ac Elteceh, a Gibbethon, a Ba-
alath,
45 A Jehud, a Bene-berac, a Gath-
rimmon,
46 A Meiarcon, a Raccon, gyda'r
terfyn ar gyfer Japho.
47 A therfyn meibion Dan a aeth
yn *rhy fychan* iddynt: am hyny meib-
ion Dan a aethant i fyny i ymladd yn
erbyn Lesem, ac a'i hennillasant hi;
tarawsant hefyd hi â min y cleddyf, a
meddiannasant hi, a thrigasant ynddi;
a galwasant Lesem yn Ddan, yn ol
enw Dan eu tad.
48 Dyma etifeddiaeth llwyth meib-
ion Dan, yn ol eu teuluoedd; y dinas-
oedd hyn, a'u pentrefydd.
49 ¶ Pan orphenasant ranu y wlad
yn etifeddiaethau yn ol ei therfynau,
meibion Israel a roddasant etifedd-
iaeth i Josua fab Nun yn eu mysg:
50 Wrth orchymyn yr Arglwydd y
rhoddasant iddo ef y ddinas a ofynodd
efe; *sef* Timnath-serah, yn mynydd

Adn. 40—45. *Y seithfed coelbren a ddaeth allan dros lwyth meibion Dan*] Yr oedd llwyth Dan yn dal y rhandir a derfynai o du y gogledd wrth diriogaeth llwyth Ephraim, o du y dwyrain wrth eiddo Benjamin a Juda, o du y deau wrth eiddo Simeon, ac o du y gorllewin wrth Fôr-y-canoldir. Nid oedd ei hyd mwyaf uwchlaw deugain milldir, na'i led ond pump-ar-hugain. Yr oedd y tir yn ffrwythlon, ac yn cynyrchu ŷd, gwin, olew, ffrwythau, ac angenrheidiau ereill.

Adn. 46. *Japho*] Neu *Joppa*, yr hon yn awr a elwir *Jaffa*, 'têg neu brydferth.' Joppa oedd un o'r porthladdoedd hynaf yn y byd, a'r penaf yn meddiant y deuddeg llwyth. Yma y cludid y defnyddiau at deml Solomon o fynydd Libanus, (2 Cron. ii. 16,) i'w hanfon ar hyd y tir i Jerusalem, oddeutu deugain milldir o ffordd. Yma y cymerth y proffwyd anufydd Jona long, (c.c. 862,) i ffoi i Darsis oddi gerbron yr Arglwydd, Jona i. 3. Yma y darfu i Pedr godi Tabitha o farw yn fyw, lle y bu yn aros lawer o ddyddiau gyda Simon y barcer, Act. ix. 36—43. Bu Bonaparte yn gwersyllu yma yn 1799, yn ystod ei ryfelgyrch yn yr Aifft.

Adn. 47. *A therfyn meibion Dan a aeth yn rhy fychan iddynt*] Nid yw y geiriau 'rhy fychan' yn yr Hebraeg, y Roeg, na'r Lladin. Y cyfieithiad llythyrenol o'r wreiddiol yw, 'A gwlad meibion Dan a aeth allan oddiwrthynt;' hyny yw, difeddianwyd hwy o rai rhanau o honi, neu cedwid hwynt allan o honynt gan eu cynfeddianwyr; ac ni a ddysgwn oddi wrth Barn. i. 34, ddarfod i'r Amoriaid eu gyru hwynt i'r mynydd, heb adael iddynt ddyfod i waered i'r dyffryn. Dygodd hyn hwynt i'r fath gyfyngder, fel y bu orfod iddynt helaethu eu terfynau yn y modd a nodir yma. *Am hyny meibion Dan a aethant i fyny i ymladd yn erbyn Lesem*—dinas nid yn mhell oddi wrth godiad yr Iorddonen, yr hon a elwir *Lais* yn llyfr y Barnwyr, cyn ei chymeryd gan feibion Dan. Yr oedd hi yn sefyll yn nherfyn eithaf gwlad yr addewid o du y *gogledd*, fel yr oedd *Beerseba* yn y terfyn *deheuol;* a chan iddi, ar ol ei chymeryd gan y Daniaid, gael ei galw yn *Dan*, rhoddes hyny fod i'r ymadrodd, 'o Dan hyd Beerseba,' yr hyn a arwydda holl eangder gwlad yr addewid. Rhaid addef fod yr hanes a roddir yn yr adnod hon yn cyfeirio at bethau a gymerasant le ar ol marwolaeth Josua; ac felly dylid ei hystyried yn un o'r sylwadau ymylaidd neu eglurhaol hyny a chwanegwyd gan ryw law ddiweddarach: gwel y rhagarweiniad, a'r sylwadau ar Barn. xviii.

Adn. 48. *Dyma etifeddiaeth llwyth meibion Dan*] Yr oedd nifer rhyfelwyr y llwyth hwn yn 64,000, Num. xxvi. 43, yr hyn oedd yn fwy na rhifedi gwŷr unrhyw lwyth arall oddieithr eiddo Juda: ac er fod gan y llwythau ereill dir llawer helaethach na'r eiddynt hwy, eto yr oedd eu gwlad hwy yn rhagori ar y lleill o ran ffrwythlonder, ac yn rhoddi iddynt fantais i fasnachu â lleoedd ereill trwy ei phorthladdoedd ar fin Môr-y-canoldir.

Adn. 49. *Pan orphenasant ranu y wlad*] Hyny yw, ar ol i bob un o'r llwythau gael ei ran, a chael yr holl wlad rhyngddynt; *meibion Israel a roddasant etifeddiaeth i Josua*—nis gallwn lai na rhyfeddu wrth anhunangarwch y dyn mawr hwn, yr hwn a dderbyniodd ei gyfran yn ddiweddaf o bawb, a'r pryd hyny nid wrth goelbren, ond trwy rodd meibion Israel. Y mae yn wir fod Duw wedi gorchymyn iddo ef gael cyfran, a chael ei dewis hi ei hunan; ond yr oedd efe yn foddlon i aros am dani hyd nes y diwellid pawb ereill; ac wedi hyny nid yw yn dewis ond lle garw a mynyddig, gan adael y manau brasaf i'w frodyr.

Adn. 50. *Wrth orchymyn yr Arglwydd*] Nid ydym yn darllen am y gorchymyn hwn; ond cafodd llawer o bethau eu dywedyd a'u gwneuthur gan Dduw, y rhai na chofeir yn yr ysgrythyrau. Dichon mai trwy Eleazar yr archoffeiriad y gorchymynwyd hyn; neu, fel y mae debycaf, ar yr un pryd ag y rhoddodd efe orchymyn gyda golwg ar berchenogaeth Caleb: gwel ar pen. xiv. 6, &c., a Num. xiv. 30. *Timnath-serah, yn mynydd Ephraim*—pa un a elwir *Timnath-heres* yn Barn. ii. 9. Tybia rhai mai rhyw hen gastell neu ddinas o du y gogledd i fynydd *Gaas* ydoedd; ac y mae yn bur debyg ei fod yn rhyw le diffrwyth mewn gwlad ddiffrwyth: gwel ar pen. xvii.

Ephraim: ac efe a adeiladodd y ddinas, ac a drigodd ynddi.

51 Dyma yr etifeddiaethau a roddodd Eleazar yr offeiriad, a Josua mab Nun, a phenau tadau llwythau meibion Israel, yn etifeddiaeth wrth goelbren, yn Silo, o flaen yr Arglwydd, *wrth* ddrws pabell y cyfarfod. Felly y gorphenasant ranu y wlad.

## PENNOD XX.

A LLEFARODD yr Arglwydd wrth Josua, gan ddywedyd,

2 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Moeswch i chwi ddinasoedd nodded, *am* y rhai y lleferais wrthych trwy law Moses;

3 Fel y ffo yno y llofrudd a laddo *neb* mewn amryfusedd, *neu* mewn anwybod: a byddant i chwi yn noddfa rhag dialydd y gwaed.

4 A phan ffo efe i un o'r dinasoedd hyny, a sefyll *wrth* ddrws porth y ddinas, a mynegi ei achosion lle y clywo henuriaid y ddinas hòno; cymerant ef atynt i'r ddinas, a rhoddant le iddo, fel y trigo gyda hwynt.

5 Ac os dialydd y gwaed a erlid ar ei ol ef, na roddant y lleiddiad yn ei law ef: canys mewn anwybod y tarawodd efe ei gymydog, ac nid oedd gas ganddo ef o'r blaen.

6 Ac efe a drig yn y ddinas hòno, nes iddo sefyll o flaen y gynulleidfa i farn, *ac* nes marw yr archoffeiriad fyddo yn y dyddiau hyny: yna dychweled y llofrudd, a deued i'w ddinas ac i'w dŷ ei hun; *sef* y ddinas yr hon y ffoisai efe o honi.

7 ¶ Am hyny y cysegrasant Cedes yn Galilea, yn mynydd Naphtali, a Sichem yn mynydd Ephraim, a Chaer Arba (hon *yw* Hebron) yn mynydd Juda.

8 Ac o'r tuhwnt i'r Iorddonen, o du y dwyrain i Jericho, y rhoddasant Beser (yn yr anialwch ar y gwastadedd) o lwyth Reuben, a Ramoth yn Gilead o lwyth Gad, a Golan yn Basan o lwyth Manasse.

---

18. *Efe a adeiladodd y ddinas*—hyny yw, a adeiladodd un newydd, neu a adgyweiriodd yr hen ddinas, yn gartref cyfleus iddo ef a'i deulu. Nid ydym yn clywed dim am feibion na merched iddo; ond yr oedd yn ystyried holl genedl Israel fel plant ei ofal.

Adn. 51. *Dyma yr etifeddiaethau, &c.*] Y mae yn deilwng o sylw, ddarfod i'r coelbren syrthio i'r gwahanol lwythau yn union fel y rhagfynegasai Jacob a Moses. Ac yr oedd y rhaniad hwn yn gwasanaethu i gadw i fyny wahaniaethiad y llwythau, yr hyn oedd i barhau hyd nes y deuai y MESSIA. *A phenau tadau*—y rhai a nodasai Duw wrth eu henwau lawer o flynyddau cyn hyn: gwel Num. xxxiv. 17—29.

PEN. XX. Adn. 1. *A llefarodd yr Arglwydd wrth Josua*] Ond odid o'r babell, wrth ddrws pa un yr oedd ef, ac Eleazar, a'r tywysogion, wedi bod yn rhanu y tir, fel y gwelsom yn niwedd y bennod flaenorol.

Adn. 2. *Moeswch i chwi ddinasoedd nodded*] Gan fod y wlad yn awr wedi ei rhanu rhyngoch, penodwch rai o'i dinasoedd i fod yn noddfa rhag dialydd y gwaed. Yr oedd y rhai hyn yn gysgod o'r ymwared ag y mae yr efengyl yn ei ddarparu i bechaduriaid edifeiriol, a'r nodded rhag melldith y ddeddf a dialedd dwyfol ag sydd yn Nghrist Iesu i'r rhai a ffoant ato ef trwy ffydd.

Adn. 3. *Mewn amryfusedd, neu mewn anwybod*] Y mae yr un peth yn cael ei adrodd ddwywaith, i dori ymaith bob gobaith y byddai i fwrddrwr gwirfoddol, maleisus, neu fwriadol, gael nodded yma. *Dialydd y gwaed*—y berthynas agosaf, gan yr hwn yr oedd hawl i ddial am y llofruddiaeth: gwel ar Num. xxxv. 19.

Adn. 4. *A sefyll wrth ddrws porth y ddinas*] Lle yr oedd y barnwyr yn arferol o eistedd; *a mynegu ei achosion*—pa beth a wnaeth, a'r modd y cymerodd le; *cymerant ef atynt i'r ddinas*—os cânt foddlonrwydd nad oedd ganddo falais yn y llofruddiaeth, ond darfod iddi ddygwydd yn anfwriadol.

Adn. 5. *Ac os dialydd y gwaed a erlid ar ei ol ef*] Ar ol i'r henuriaid ei brofi yn rhydd oddiwrth lofruddiaeth fwriadol.

Adn. 6. *Nes iddo sefyll*] Yr hyn oedd agwedd neu ystum y cyhuddedig a'i gyhuddwyr; *o flaen y gynulleidfa*—sef y cynghor a benodwyd i farnu yn yr achos hwn: nid henuriaid y ddinas noddfa, canys yr oeddynt hwy wedi bod yn ei chwilio ef o'r blaen, adn. 4; eithr cynghor y ddinas i'r hon y perthynai efe, neu yr hon y gwnaed y llofruddiaeth ynddi neu gerllaw iddi, fel yr ymddengys oddiwrth Num. xxxv. 25.

Adn. 7, 8. *Am hyny y cysegrasant Cedes yn Galilea*] Yr oedd y dinasoedd noddfa ar wasgar dros y wlad, ac mewn pellder priodol oddiwrth eu gilydd, fel ag i fod yn gyfleus i bob rhan o'r wlad; ac yr oeddynt oll, oddieithr *Bezer*, yn sefyll ar le uchel, fel ag y gellid yn hawdd eu canfod o bell: gwel yr adfeddyliadau. Meddylir fod *enwau* y dinasoedd hyn yn arwyddo rhyw rinwedd neu weddnod o eiddo ein Gwaredwr. *Cedes* a arwydda santeiddrwydd; *Sichem*, ysgwydd; *Hebron*, cymundeb; *Bezer*, amddiffynfa; *Ramoth*, dyrchafiadau neu uchelfeydd; *Golan*, llawenydd. Fel hyn, yn *santeiddrwydd* neu berffeithrwydd haeddiannau ein Gwaredwr y gorwedd diogelwch gobaith y pechadur; ar ei *ysgwydd* ef y gosodwyd y llywodraeth, fel nas gall un gelyn ein niweidio; y *cymundeb* neu y gyfeillach felysaf yw yr un a fwynheir trwy ffydd ynddo ef; breichiau ei gariad ef sydd *amddiffynfa* gadarn; a'i *ddyrchafiad* ef yw y

9 Y rhai hyn oedd ddinasoedd gosodedig i holl feibion Israel, ac i'r dyeithr a ymdeithiai yn eu mysg hwynt; fel y ffoai pawb iddynt a'r a laddai *neb* mewn amryfusedd; ac na byddai marw trwy law dialydd y gwaed, nes iddo sefyll o flaen y gynulleidfa.

## PENNOD XXI.

YNA penau tadau y Lefiaid a nesasant at Eleazar yr offeiriad, ac at Josua fab Nun, ac at benau tadau llwythau meibion Israel;

2 Ac a lefarasant wrthynt yn Silo, o fewn gwlad Canaan, gan ddywedyd, Yr Arglwydd a orchymynodd, trwy law Moses, roddi i ni ddinasoedd i drigo, a'u maesydd pentrefol i'n hanifeiliaid.

3 A meibion Israel a roddasant i'r Lefiaid o'u hetifeddiaeth, wrth orchymyn yr Arglwydd, y dinasoedd hyn a'u maesydd pentrefol.

4 A daeth y coelbren allan dros deuluoedd y Cohathiaid: ac yr oedd i feibion Aaron yr offeiriad, *y rhai oedd*

---

gwystl o'n dyrchafiad ninau; canys efe a ddyg y rhai a ffoisant ato ef am noddfa, ac a lynant wrtho, i Seion, â *llawenydd* tragwyddol ar eu pen. Yr oedd *Cedes* a *Hebron* yn sefyll yn nau ben gwlad yr addewid; un yn Galilea, a'r llall yn llwyth Juda, a'r ddau mewn parthau mynyddig; ac yr oedd *Sichem* yn llwyth Ephraim, rhwng y ddau. Yr oedd *Bezer* yn sefyll o du y dwyrain i'r Iorddonen, yn y gwastadedd gyferbyn â Jericho, ac felly mor amlwg a phe buasai ar ben mynydd; a *Ramoth* oddeutu canol y wlad a ddelid gan y ddau lwyth a hanner, tua chanol mynyddoedd Gilead; a *Golan* oedd brifddinas y dalaeth a elwid *Gaulonitis*, yn ngwlad Basan, tua therfyn deheuol rhandir Manasse.

Adn. 9. *Y rhai hyn oedd ddinasoedd gosodedig i holl feibion Israel*] Er i'r tair olaf gael eu neillduo gan Moses i fod yn ddinasoedd noddfa, eto ni chysegrwyd hwynt hyd yn awr i fod yn gyfryw mewn gwirionedd. *Ac i'r dyeithr*—nid yn unig i broselytiaid, ond i ereill hefyd; canys yr oedd hon yn fraint yn perthyn i bawb fel eu gilydd, fel y byddai i wahaniaeth gael ei wneuthur rhwng llofrudd damweiniol a mwrddrwr gwirfoddol: gwel ar Num. xxxv. 6, &c., Deut. iv. 41, &c., a xix. 2, &c.

ADFEDDYLIADAU.—(1) Yr oedd y dinasoedd noddfa hyn oll ar *fynyddoedd*, neu ar y *gwastadedd*, fel ag i fod yn ganfyddadwy i'r rhai a ffoent yno o bellder mawr. (2) Yr oeddynt yn gorwedd mewn *pellder cyfleus* oddiwrth eu gilydd, er budd i'r gwahanol lwythau; canys yr oedd *Cedes* yn y gogledd, *Hebron* yn y deau, a *Sicem* rhwng y ddwy. (3) Yr oeddynt oll yn perthyn i'r *Lefiaid;* mewn rhan, fel y gallai yr achosion hyn gael eu chwilio yn fwy diduedd, a'u penderfynu yn gyfiawn, gan y rhai a dybid addasaf i ddeall cyfraith Dduw, ac a oeddynt fwyaf rhwymedig i'w dylyn hi, heb gael eu gogwyddo gan unrhyw bleidgarwch nac egwyddorion llygredig; ac mewn rhan, fel y byddai i'w dylanwad a'u bri hwynt gyda'r bobl, a'u cynghorion daionus, osod attaliad ar bersonau dialeddgar, y rhai a allent gael eu tueddu i erlyn y llofrudd yno, a cheisio ei ladd ef; ac mewn rhan, er budd ysbrydol i'r ymnoddwr, yr hwn, pan nad allai fyned i fyny i dŷ yr Arglwydd, a gai weinidogion tŷ Dduw gydag ef, i'w hyfforddi, gweddio drosto, a llenwi y diffyg o addoliad cyhoeddus. Fel hyn yr oedd ganddo foddion gras yn wastadol wrth law, trwy yr iawn ddefnyddiad o ba rai y gallai ddyfod yn ddoethach a gwell, a diogelu ffafr ei Dduw, a chyfran o wynfydedigrwydd mewn byd gwell. Mor ddoeth, cyfiawn, a da, yw holl sefydliadau Duw!

PEN. XXI. Adn. 1. *Yna penau tadau y Lefiaid*] TADAU y Lefiaid oeddynt *Cohath*, *Gerson*, a *Merari;* a PHENAU y rhai hyn oeddynt y penaethiaid ag oeddynt yn awr yn fyw o'r gwahanol deuluoedd hyn. Nid oedd Duw wedi penodi un gyfran i'r rhai hyn yn nosbarthiad y wlad. Eithr yn y dosbarthiad cyffredinol hwn y mae yn amlwg y bwriedid i'r gwahanol lwythau roddi iddynt *drigfanau;* ac yr oedd hyny yn ol gorchymyn pendant Duw, Num. xxxv. 2. Wrth weled yn awr fod pob llwyth wedi cael ei etifeddiaeth, daeth penaethiaid y Lefiaid at Eleazar, Josua, a thywysogion y llwythau y rhai a fuont yn rhanu y wlad, i Silo, i ofyn am i ddinasoedd a maesydd pentrefol gael eu rhoddi iddynt yn ol y gorchymyn dwyfol.

Adn. 2. *Yr Arglwydd a orchymynodd*] 'Nodwch: nid peth mympwyol, yn cael ei adael yn hollol i ewyllys da y bobl, yw cynaliad gweinidogion. Nage: fel y darfu i Dduw Israel orchymyn fod i'r Lefiaid gael darparu iddynt, felly yr ordeiniodd yr Arglwydd Iesu, (ac ordinhad fythol ydyw,) 'i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl, fyw wrth yr efengyl.'—BENSON. 'Y mae darparu at weinidogaeth yr efengyl yn sefydliad dwyfol; ac y mae y neb sydd hwyrfrydig i'w chynal hi nid yn unig yn twyllo dynion, ond yn yspeilio Duw.'—COKE.

Adn. 3. *A meibion Israel a roddasant i'r Lefiaid*] Ufyddhasant yn llawen i'r gorchymyn dwyfol; a phenodwyd dinasoedd i'r Lefiaid o'r gwahanol lwythau wrth *goelbren*, fel yr ymddanghosai mor gyflawn fod Duw yn penodi iddynt hwythau eu *trigfanau*, ag y penodasai efe i'r lleill eu *hetifeddiaethau.*

Adn. 4. *Ac yr oedd i feibion Aaron yr offeiriad*] Yr oedd Aaron a'i feibion wedi disgyn o Amram, mab hynaf Cohath, fab Lefi; ac yr oedd eu dinasoedd hwy yn cael eu rhoddi iddynt o lwythau Juda, Simeon, a Benjamin, y rhai a orweddent yn nesaf i'r deml, fel ag i fod yn wastadol yn nghyraedd y gwaith santaidd a benodasai Duw iddynt. *Dair dinas ar ddeg*—er fod rhif yr offeiriaid yn awr yn rhy fach i lenwi un ddinas, eto edrychid ar gynydd eu rhif mewn oesoedd dyfodol. A chan y gallai y Lefiaid *werthu* eu tai hyd y jubili,

o'r Lefiaid, allan o lwyth Juda, ac o lwyth Simeon, ac o lwyth Benjamin, dair dinas ar ddeg, wrth goelbren.
5 Ac i'r rhan arall o feibion Cohath *yr oedd*, o deuluoedd llwyth Ephraim, ac o lwyth Dan, ac o hanner llwyth Manasse, ddeg dinas, wrth goelbren.
6 Ac i feibion Gerson *yr oedd*, o deuluoedd llwyth Issacar, ac o lwyth Aser, ac o lwyth Naphtali, ac o hanner llwyth Manasse yn Basan, dair dinas ar ddeg, wrth goelbren.
7 I feibion Merari, wrth eu teuluoedd, *yr oedd*, o lwyth Reuben, ac o lwyth Gad, ac o lwyth Zabulon, ddeuddeg o ddinasoedd.
8 A meibion Israel a roddasant i'r Lefiaid y dinasoedd hyn, a'u maesydd pentrefol, fel y gorchymynasai yr Arglwydd trwy law Moses, wrth goelbren.
9 ¶ A hwy a roddasant, o lwyth meibion Juda, ac o lwyth meibion Simeon, y dinasoedd hyn a enwir erbyn *eu* henwau;
10 Fel y byddent i feibion Aaron o deuluoedd y Cohathiaid, o feibion Lefi: canys iddynt hwy yr oedd y coelbren cyntaf.
11 A rhoddasant iddynt Gaer Arba, tad Anac (hòno *yw* Hebron) yn mynydd-*dir* Juda, a'i maesydd pentrefol oddiamgylch.
12 Ond maes y ddinas, a'i phentrefydd, a roddasant i Caleb mab Jephunneh, yn etifeddiaeth iddo ef.
13 ¶ Ac i feibion Aaron yr offeiriad y rhoddasant Hebron a'i maesydd pentrefol yn ddinas nodded i'r llofrudd; a Libnah a'i maesydd pentrefol,
14 A Jattir a'i maesydd pentrefol, ac Estemoa a'i maesydd pentrefol,
15 A Holon a'i maesydd pentrefol, a Debir a'i maesydd pentrefol,
16 Ac Ain a'i maesydd pentrefol, a Juttah a'i maesydd pentrefol, *a* Bethsemes a'i maesydd pentrefol: naw dinas o'r ddau lwyth hyny.
17 Ac o lwyth Benjamin, Gibeon a'i maesydd pentrefol, a Geba a'i maesydd pentrefol,
18 Anathoth a'i maesydd pentrefol,

---

(Lef. xxv. 33,) diamau y gallent hefyd eu *rhentu* hwynt; ac am hyny y mae yn debyg na bu eu dinasoedd hwy yn hir yn ddidrigolion, trwy fod llawer yn cael eu tueddu i drigo yn eu plith er mwyn gwasanaeth Duw, a lles eu heneidiau eu hunain: gwel yr adfeddyliadau.

Adn. 5. *Ac i'r rhan arall o feibion Cohath*] Y rhai nid oeddynt o deulu Aaron, neu wedi disgyn oddiwrth Cohath trwy Amram ei fab hynaf ef; eithr oddiwrth Ishar, Hebron, ac Uzziel, Exod. vi. 18. Fel hyn Lefiaid cyffredin oeddynt, ac nid offeiriaid. *Ddeg dinas*—o lwythau Ephraim, Dan, a Manasse, y rhai oeddynt agosaf i'r tri llwyth blaenorol; ac felly yr oedd y Cohathiaid yn cael eu gosod yn nesaf at eu brodyr meibion Aaron. Yr oedd llai o ddinasoedd yn cael eu rhoddi o'r tri llwyth hyn, am fod eu hetifeddiaeth hwy yn llai nag eiddo Juda, Simeon, a Benjamin.

Adn. 6. *Ac i feibion Gerson*] Y rhai hyn oeddynt Lefiaid oddiwrth Gerson, mab hynaf Lefi; ac am hyny cawsant dair-ar-ddeg o ddinasoedd mewn llwythau pellach. Yr oedd rhandiroedd Issacar, Aser, a Naphtali, yn gorwedd yn *Nghanaan;* a hanner llwyth Manasse yn *Basan*, yr ochr arall i'r Iorddonen.

Adn. 7. *I feibion Merari*] Trydydd mab Lefi. Yr oedd rhandiroedd Reuben a Gad yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen; ac eiddo Zabulon yn Nghanaan, yn cyraedd o fôr Tiberias i Fôr-y-canoldir. *Ddeuddeg o ddinasoedd*—yn gwneyd 48 yn y cyfan, adn. 41.

Adn. 8. *Wrth goelbren*] Y mae yn debyg fod pob tri llwyth yn rhoddi y nifer o ddinasoedd a nodir uchod, ac yna fod y coelbren yn penderfynu pa rai a fyddent o'u holl ddinasoedd.

Adn. 9. *O lwyth meibion Juda, ac o lwyth meibion Simeon*] Y mae y rhai hyn yn cael eu henwi yn nghyd, am fod dinasoedd Simeon o fewn etifeddiaeth Juda, pen. xix. 1. *Y dinasoedd hyn a enwir*—yn adn. 13—16.

Adn. 10. *O deuluoedd y Cohathiaid*] Yr oedd Aaron yn fab i Amram, ac Amram yn fab i Cohath, i'r hwn yr oedd pedwar o feibion, y rhai a wnaent i fyny bedwar o deuluoedd: gwel ar adn. 5.

Adn. 11. *Gaer Arba*] Gwel ar pen. xiv. 15. *A'i maesydd pentrefol*—y rhai oeddynt yn ddwy fil o gufyddau, Num. xxxv. 5.

Adn. 12. *Ond maes y ddinas a'i phentrefydd*] Sef yr holl wlad gwmpasog hòno ag ydoedd tuallan i'r maesydd pentrefol a enwyd yn adn. 11; *a roddasant i Caleb*—crybwyllir hyn nid fel achos neillduol Caleb, ond fel anghraifft o'r hyn a gymerai le gyda'r holl ddinasoedd ereill; canys yr oedd maes a phentrefydd pob dinas yn perthyn fyth i'r gwahanol lwythau oddiwrth y rhai y cymerwyd y dinasoedd a'r maesydd pentrefol hyn. Byddai y lleill o'r Israeliaid yn fwy boddlon i roddi i fyny ran o'u meddiannau i'r Lefiaid, wrth weled ddarfod i Caleb wneuthur hyny, er fod ei etifeddiaeth ef wedi ei haddaw iddo er's hir amser, ac yn awr wedi cael ei rhoddi iddo yn weithredol trwy orchymyn pendant Duw, fel arwydd o anrhydedd a gwobr am ei wasanaeth faith a ffyddlon: gwel ar pen. xiv. 13.

Adn. 13—16. *Yn ddinas nodded*] Gwel ar pen. xx. 7, 8. *Libnah a'i maesydd pentrefol, &c.*—rhoddwyd y naw dinas hyn i'r offeiriaid o lwythau Juda a Simeon. *Ain*—nid yw Ain, Gibeon, a rhai dinasoedd ereill a enwir yn y bennod hon, yn cael eu crybwyll yn 1 Cron. vi. 59. Naill ai yr oeddynt wedi eu dinystrio yn yr ymosodiadau â pha rai y blin-

ac Almon a'i maesydd pentrefol: pedair dinas.
19 Holl ddinasoedd meibion Aaron, yr offeiriaid, *oedd* dair dinas ar ddeg, a'u maesydd pentrefol.
20 ¶ A chan deuluoedd meibion Cohath, y Lefiaid, y rhan arall o feibion Cohath, yr oedd dinasoedd eu coelbren o lwyth Ephraim.
21 A hwy a roddasant iddynt yn ddinas nodded y lleiddiad, Sicem a'i maesydd pentrefol, yn mynydd Ephraim, a Gezer a'i maesydd pentrefol.
22 A Cibsaim a'i maesydd pentrefol, a Beth-horon a'i maesydd pentrefol; pedair o ddinasoedd.
23 Ac o lwyth Dan, Eltece a'i maesydd pentrefol, Gibbethon a'i maesydd pentrefol,
24 Ajalon a'i maesydd pentrefol, Gath-Rimmon a'i maesydd pentrefol: pedair o ddinasoedd.
25 Ac o hanner llwyth Manasse, Tanac a'i maesydd pentrefol, a Gath-Rimmon a'i maesydd pentrefol: dwy ddinas.
26 Yr holl ddinasoedd, *y rhai oedd* eiddo y rhan arall o deuluoedd meibion Cohath, *oedd* ddeg, a'u maesydd pentrefol.
27 ¶ Ac i feibion Gerson, o deuluoedd y Lefiaid, *y rhoddasid*, o hanner *arall* llwyth Manasse, yn ddinas nodded y llofrudd, Golan yn Basan a'i maesydd pentrefol, a Beesterah a'i maesydd pentrefol: dwy ddinas.
28 Ac o lwyth Issacar, Cison a'i maesydd pentrefol, Dabareth a'i maesydd pentrefol.
29 Jarmuth a'i maesydd pentrefol, Engannim a'i maesydd pentrefol: pedair dinas.
30 Ac o lwyth Aser, Misal a'i maesydd pentrefol, Abdon a'i maesydd pentrefol.
31 Helcath a'i maesydd pentrefol, a Rehob a'i maesydd pentrefol: pedair dinas.
32 Ac o lwyth Naphtali, yn ddinas nodded y lleiddiad, Cedes yn Galilea a'i maesydd pentrefol, a Hammoth-dor a'i maesydd pentrefol, a Cartan a'i maesydd pentrefol: tair dinas.
33 Holl ddinasoedd y Gersoniaid, yn ol eu teuluoedd, *oedd* dair dinas ar ddeg, a'u maesydd pentrefol.
34 ¶ Ac i deuluoedd meibion Merari, y rhan arall o'r Lefiaid, *y rhoddasid*, o lwyth Zabulon, Jocneam a'i maesydd pentrefol, a Cartah a'i maesydd pentrefol,
35 Dimnah a'i maesydd pentrefol, Nahalal a'i maesydd pentrefol: pedair dinas.
36 Ac o lwyth Reuben, Beser a'i maesydd pentrefol, a Jahasah a'i maesydd pentrefol,
37 Cedemoth a'i maesydd pentrefol, Mephaath a'i maesydd pentrefol; pedair dinas.
38 Ac o lwyth Gad, yn ddinas noddfa y llofrudd, Ramoth yn Gilead a'i maesydd pentrefol, a Mahanaim a'i maesydd pentrefol,
39 Hesbon a'i maesydd pentrefol, Jazer a'i maesydd pentrefol: pedair dinas o gwbl.
40 Holl ddinasoedd meibion Merari,

---

wyd eu gwlad cyn y pryd hyny; neu y maent yn ymddangos yno dan enwau gwahanol.

Adn. 17—19. *Gibeon a'i maesydd pentrefol, &c.*] Rhoddwyd y pedair dinas hyn i'r offeiriaid, o lwyth Benjamin, yn chwanegol at y naw uchod oddiwrth Juda a Simeon; yn gwneyd tair-ar-ddeg yn y cyfan, fel y dywedir adn. 4. *Anathoth*—yma y ganed Jeremia; ac yr oedd yn sefyll dair milldir yn ogleddol o Jerusalem, yn ol St. Jerome.

Adn. 20—26. *A chan deuluoedd meibion Cohath*] Y rhai nad oeddynt offeiriaid fel teulu Aaron, eithr Lefiaid yn unig. Cafodd y rhai hyn ddeg o ddinasoedd oddiwrth Ephraim, Dan, a hanner llwyth Manasse, (gwel ar adn. 5,) sef yr hanner ag oedd yn preswylio yn Nghanaan.

Adn. 27—33. *Ac i feibion Gerson*] Cafodd y rhai hyn dair dinas ar ddeg, fel y dywedir adn. 6, oddiwrth yr hanner arall o lwyth Manasse a orweddai yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen, a llwythau Issacar, Aser, a Naphtali.

Adn. 34—40. *Ac i deuluoedd meibion Merari*] Rhoddwyd deuddeg o ddinasoedd i'r Lefiaid hyn o lwythau Zabulon, Reuben, a Gad, fel y dywedir adn. 7. Y mae adn. 36, 37, o'r bennod hon yn cael eu gadael allan gan y *Masora*, a chan rai o'r Beiblau Hebreig cywiraf. Y mae y berniaid yn annghytuno yn fawr gyda golwg ar ddilysrwydd yr adnodau hyn; a'r sawl a ddymunent weled y rhesymau o bob tu, rhaid iddynt ddarllen y *Variæ Lectiones* ar y lle hwn gan *De Rossi*. Y mae yn amlwg mai gwall yw eu gadawiad allan, am fod cyfanrif y dinasoedd a roddir i'r Merariaid, hyd yn nod yn y Beiblau hyny, yn 12, ac i'r Lefiaid oll yn 48, fel y dywedir yn ein Beiblau ni, adn. 40, 41; tra nad allent fod, pe gadewid y ddwy adnod dan sylw allan o'r cyfrif, ddim ond 8 a 44. Hefyd, y mae Dr. Kennicott wedi cael hyd i 149 o ysgriflyfrau Hebreig, a De Rossi uwchlaw 40, yn cynwys y ddwy adnod dan sylw, y rhai sydd mor hanfodol i wirionedd a chysondeb y bennod hon.

yn ol eu teuluoedd (*sef* y rhan arall o deuluoedd y Lefiaid) oedd *wrth* eu coelbren, ddeuddeng ninas.
41 Holl ddinasoedd y Lefiaid, yn meddiant meibion Israel, *oedd* wyth ddinas a deugain, a'u maesydd pentrefol.
42 Y dinasoedd hyn oedd bob un â'u maesydd pentrefol o'u hamgylch. Felly *yr oedd* yr holl ddinasoedd hyn.
43 ¶ A'r Arglwydd a roddodd i Israel yr holl wlad a dyngodd efe ar *ei* rhoddi wrth eu tadau hwynt: a hwy a'i meddiannasant hi, ac a wladychasant ynddi.
44 Yr Arglwydd hefyd a roddodd lonyddwch iddynt hwy o amgylch, yn ol yr hyn oll a dyngasai efe wrth eu tadau hwynt: ac ni safodd neb yn eu hwyneb hwynt o'u holl elynion; eu holl elynion a roddodd yr Arglwydd yn eu dwylaw hwynt.
45 Ni phallodd dim o'r holl bethau da a lefarasai yr Arglwydd wrth dŷ Israel: daeth y cwbl i ben.

## PENNOD XXII.

YNA Josua a alwodd y Reubeniaid a'r Gadiaid, a hanner llwyth Manasse,

---

Adn. 41. *Holl ddinasoedd y Lefiaid*] Y rhai a ranwyd rhwng y pedwar dosbarth o honynt, sef, (1) Yr offeiriaid o hil Aaron; (2) Y Cohathiaid ereill nad oeddynt yn offeiriaid; (3) Y Gersoniaid; (4) A'r Merariaid. *Oedd wyth ddinas a deugain*—sef y nifer a orchymynodd yr Arglwydd eu rhoddi iddynt pryd yr oeddynt yn rhosydd Moab, Num. xxxv. 7.

Adn. 42. *A'u maesydd pentrefol o'u hamgylch*] Gwel y darlun yn y sylw ar Num. xxxv. 5.

Adn. 43. *A'r Arglwydd a roddodd i Israel yr holl wlad*] Efe a roddodd *hawl* iddynt yn yr holl wlad, a *meddiant* hefyd o'r rhan fwyaf o honi. Awdurdododd hwynt hefyd i ddarostwng a meddiannu y gweddill o honi cyn gynted ag y byddai hyny yn angenrheidiol iddynt trwy luosogiad eu nifer, ac i osod y Canaaneaid arbosol dan dreth: ac yr oedd hyn oll yn unol â'i *addewid* a'i *lw* ef. Ni fwriadodd Duw erioed i'r Israeliaid yru allan yr holl Ganaaneaid ar eu dyfodiad cyntaf i'r wlad, trwy nad oeddynt yn ddigon lluosog i'w phoblogi a'i thrin oll; ond 'o fesur ychydig ac ychydig,' fel y dywedir yn bendant, Exod. xxiii. 29, 30: gwel ar pen. xi. 18.

Adn. 44. *Yr Arglwydd hefyd a roddodd lonyddwch iddynt hwy o amgylch*] Nid yn unig oddiwrth eu teithiau blinion, ond hefyd oddiwrth eu rhyfeloedd poethion â'r Canaaneaid, y Midianiaid, a'r Amoriaid. Rhaid deall hyn am y rhan ag oedd yn ol o fywyd Josua, sef oddeutu deng mlynedd; oblegid ar ol ei farwolaeth ef, aeth y genedl i wasanaethu Baalim, nes y llidiodd digllonedd yr Arglwydd yn erbyn Israel, ac y rhoddodd efe hwynt yn llaw yr anrheithwyr, Barn. ii. 14.

Adn. 45. *Ni phallodd dim*] O'r cwbl a addawsai yr Arglwydd iddynt hwy a'u tadau o'r Aifft i Ganaan. Ac yr oedd hyn yn sail iddynt ddysgwyl cyflawniad o'r holl addewidion ereill, y rhai yr oedd eu hamser eto heb ddyfod i ben, os byddent hwy yn ffyddlon i'r Arglwydd: gwel ar pen. xxiii. 12—16.

ADFEDDYLIADAU.—Gofynwyd yn mha ystyr yr oedd y Lefiaid yn meddiannu y dinasoedd hyn, gan na feddent hwy un etifeddiaeth? I hyn gellir ateb, nad yw yn debyg fod y Lefiaid yn meddiannu y cwbl o'r dinasoedd yn y rhai y trigent; canys y mae yn eglur fod yr Israeliaid ereill yn byw yn eu mysg. Y mae genym hanes, fel y sylwa Calmet, fod dinasoedd y Lefiaid yn cael bron eu llenwi âg Israeliaid o lwythau ereill. Er anghraifft, yr oedd Gibea Benjamin, yr hon a roddir yma i'r Lefiaid, adn. 17, yn cael ei phoblogi yn wastadol gan y *Benjaminiaid*, fel yr ymddengys oddiwrth hanes y Lefiad, gwraig yr hwn a faeddwyd mor ofnadwy ganddynt, Barn. xix. Yr oedd Saul a'i holl deulu yn byw yn yr un ddinas; a threuliodd Dafydd a'i lys y rhan gyntaf o'i deyrnasiad yn *Hebron*, yr hon hefyd oedd un o ddinasoedd y Lefiaid, adn. 13. Ymddengys gan hyny nad oedd ganddynt hwy ddim meddiant o'r dinasoedd hyny amgen na hawl mewn rhai tai, y rhai y gallent eu gwerthu, ond gydag awdurdod i'w prynu yn ol unrhyw amser, canys nis gallent lwyrwerthu dim; ac os byddai i feddiannydd y cyfryw dŷ, ar ol ei werthu, beidio ei brynu, yr oedd yn dyfod yn ol i'r Lefiaid yn mlwyddyn y jubili. A chyda golwg ar eu tiroedd i'w hanifeiliaid, y rhai a gyrhaeddent ddwy fil o gufyddau tu allan i'r ddinas, ni chaniateid iddynt werthu y rhai hyn, am eu bod yn cael eu hystyried yn eiddo yr Arglwydd: gwel Lef. xxv. 32—34. Gan hyny y mae yn dra thebyg nad oedd gan y Lefiaid ar y cyntaf, yn yr holl ddinasoedd a benodwyd iddynt, ddim ond hawl i ddewis y tai yn y rhai yr oeddynt i breswylio; a bod y llwyth i'r hwn yr oedd y ddinas yn perthyn yn dal yr holl dai ereill. Y mae genym hefyd le i gredu ddarfod iddynt yn mhen amser, ar ol i deuluoedd y Lefiaid gynyddu, gael mwy o dai, y rhai ond odid a adeiladwyd iddynt ar draul y cyffredin. Gallwn sylwi hefyd nad oedd y Lefiaid yn hollol rwym i fyw yn y dinasoedd hyn yn unig; canys pan oedd y tabernacl yn *Nob*, yr oedd offeiriaid a Lefiaid yn byw yno, 1 Sam. xxi. 1, &c.; a phan sefydlwyd addoliad Duw yn *Jerusalem*, darfu i luoedd o offeiriaid a Lefiaid drigo yno, er nad oedd yn ddinas Lefiaidd, megys y gwnai cylchoedd o offeiriaid yn *Jericho*. Yr oedd hwn yn amgylchiad a ragwelid gan Moses, gogyfer â pha un y darparasai efe, Deut. xviii. 6, &c.

PEN. XXII. Adn. 1. *Yna Josua a alwodd y Reubeniaid, &c.*] Gwelsom eisioes fod 40,000 o wŷr o lwythau Reuben a Gad, a hanner llwyth Manasse, wedi croesi yr Iorddonen yn arfogion gyda'u brodyr, yn ol eu cytundeb â

2 Ac a ddywedodd wrthynt, Chwi a
gadwasoch yr hyn oll a orchymynodd
Moses gwas yr Arglwydd i chwi, ac a
wrandawsoch ar fy llais yn yr hyn oll
a orchymynais i chwi.
3 Ni adawsoch eich brodyr, er ys
llawer o ddyddiau bellach, hyd y dydd
hwn: ond cadwasoch reol gorchymyn
yr Arglwydd eich Duw.
4 Ac yn awr yr Arglwydd eich Duw
a roddes esmwythdra i'ch brodyr, fel
y llefarodd wrthynt: yn awr gan hyny
trowch, ac ewch rhagoch i'ch pebyll,
i wlad eich meddiant, yr hon a rodd-
odd Moses gwas yr Arglwydd i chwi,
o'r tuhwnt i'r Iorddonen.
5 Yn unig cedwch yn ddyfal ar
wneuthur y gorchymyn a'r gyfraith a
orchymynodd Moses gwas yr Argl-
wydd i chwi; *sef* caru yr Arglwydd
eich Duw, a rhodio yn ei holl ffyrdd
ef, a chadw ei orchymynion ef, a glynu
wrtho ef, a'i wasanaethu ef â'ch holl
galon, ac â'ch holl enaid.
6 A Josua a'u bendithiodd hwynt,
ac a'u gollyngodd ymaith. A hwy a
aethant i'w pebyll.
7 ¶ Ac i hanner llwyth Manasse y
rhoddasai Moses *etifeddiaeth* yn Ba-
san; ac i'r hanner *arall* y rhoddodd
Josua, gyda'u brodyr, tu yma i'r Ior-
ddonen tua'r gorllewin. Hefyd pan
ollyngodd Josua hwynt i'w pebyll,
yna efe a'u bendithiodd hwynt;
8 Ac efe a lefarodd wrthynt, gan
ddywedyd, Dychwelwch â chyfoeth
mawr i'ch pebyll, âg anifeiliaid lawer
iawn, âg arian, ac âg aur, a phres

---

Moses. Trwy fod y rhyfel yn awr ar ben, y mae Josua yn galw y rhyfelwyr hyn ato, a chyda chanmoliaeth am eu gwasanaeth ffyddlon y mae yn eu gollwng hwy adref at eu teuluoedd yr ochr draw i'r Iorddonen, ar ol iddo yn gyntaf roddi iddynt gynghorion tra duwiol a chyfaddasol. Yr oeddynt bellach wedi bod dros saith mlynedd oddiwrth eu teuluoedd; ac er nad oedd dim ond afon yr Iorddonen rhwng y gwersyll yn Gilgal a'u hetifeddiaethau hwy eu hunain, eto nid ymddengys iddynt fyned gymaint ag unwaith i ymweled â'u cartref, yr hyn a allent ei wneuthur unrhyw bryd yn y flwyddyn oddieithr yn amser y *cynauaf*, gan y gellid yn hawdd groesi yr Iorddonen ar bob amser arall. Yn wir yr oeddynt hwy wedi addaw 'na ddychwelent i'w tai nes i feibion Israel berchenogi bob un ei etifeddiaeth,' Num. xxxii. 18.

Adn. 2. *Chwi a gadwasoch, &c.*] Yr oeddynt wedi dyfod drosodd yn arfog i'r rhyfel yn ol gorchymyn Moses, Num. xxxii. 21; ac wedi ymddwyn yn y rhyfel mewn ufydd-dod hollol i orchymyn Josua; ac y mae pob peth a orchymynodd Moses a Josua iddynt, yn cael ei alw yn 'reol gorchymyn yr Arglwydd,' adn. 3. Fel hyn y mae efe yn eu gollwng hwynt ymaith gyda chymeriad anrhydeddus.

Adn. 3. *Er ys llawer o ddyddiau*] O leiaf saith neu wyth mlynedd: gwel ar pen. xi. 18.

Adn. 4. *Yn awr gan hyny trowch, ac ewch rhagoch i'ch pebyll*] Adref at eich teuluoedd. Er nad allai eu serch at eu teuluoedd lai na'u gwneuthur yn bur awyddus i ddychwelyd, eto, fel milwyr da, ni symudent nes cael gorchymyn gan eu cadfridog. Felly rhaid i ninau, er dymuno bod gartref gyda Christ, aros yma nes y byddo ein milwriaeth ar ben.

Adn. 5. *Yn unig cedwch yn ddyfal ar wneuthur y gorchymyn a'r gyfraith*] Y deg gorchymyn, neu y ddeddf foesol; a'r holl gyfreithiau seremonïol a gwladol ereill a roisai yr Arglwydd iddynt o bryd i bryd. *Sef caru yr Arglwydd eich Duw*—canys heb ymlyniad serchus wrth eu Gwneuthurwr, byddai pob dyledswydd yn faich blinderus ac anhawdd ei ddwyn. *A rhodio yn ei holl ffyrdd ef*—y rhai a orchymynodd efe, sef llwybrau ffydd, gwirionedd, cyfiawnder, a santeiddrwydd, neu ffyrdd ei addoliad ef. *A chadw ei orchymynion ef*—pa un bynag ai o rwymedigaeth foesol a naturiol, ynte yn tarddu oddiar ei awdurdod penarglwyddiaethol. *A glynu wrtho ef*—yn ol eu cyfammod âg ef, heb adael ei addoliad i fyned ar ol eilunod. *A'i wasanaethu ef â'ch holl galon*—â'ch holl serchiadau, gan ymblesera yn ei waith. *Ac â'ch holl enaid*—gan ddefnyddio pob cyneddf o'r eiddoch yn ei wasanaeth ac er ei ogoniant.

Adn. 6. *A Josua a'u bendithiodd hwynt*] Nid yn unig gweddiodd drostynt fel cyfaill, ond bendithiodd hwynt fel tad, yn enw yr Arglwydd, gan eu gorchymyn hwy, a'u teuluoedd, a'u hachosion, i ofal a bendith Duw. Y mae yn debyg iddo roddi rhoddion hefyd i'w blaenoriaid hwy, y rhai a'u hynodasant eu hunain fwyaf yn y saith mlynedd hyn o ryfel. Yr oedd ef yn teimlo yn fwy cynhes atynt ond odid am eu bod yn myned yn ol dros yr Iorddonen, ac wrth feddwl na chai eu gweled byth mwyach.

Adn. 7. *Ac i hanner llwyth Manasse, &c.*] Hyny yw, yr oedd Moses wedi rhoddi etifeddiaeth i hanner y llwyth hwn yn Basan, yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen, Deut. iii. 13, gyda'r Reubeniaid a'r Gadiaid; a chafodd yr hanner arall etifeddiaeth gan Josua yr ochr orllewinol i wlad Canaan, fel y gwelsom pen. xvii. 7, &c.

Adn. 8. *Dychwelwch â chyfoeth mawr*] Sef eu rhan o'r yspail a gymerasid oddiar y Canaaneaid, yn cynwys llawer iawn o anifeiliaid, yn nghydag arian, aur, pres, a haiarn, mewn batheiniau, llestri, ac arfau. *A gwisgoedd lawer iawn*—y rhai yn ddiamau oeddynt wychion a chostfawr, trwy fod llawer o honynt wedi eu cymeryd oddiar frenhinoedd a mawrion Canaan, yn wŷr ac yn wragedd. *Rhenwch â'ch brodyr*—yr oedd yn iawn i'r rhai a arosasant gartref i amddiffyn teuluoedd y rhai a aethent drosodd i'r rhyfel, ac i drin eu tir, gael rhan o'r yspail a gymerwyd oddiar y gelyn; oblegid heb iddynt hwy ymddwyn fel y gwnaethant, nis gallai y lleill yn ddiogel

*hefyd,* ac â haiarn, ac â gwisgoedd
lawer iawn: rhenwch â'ch brodyr anrhaith eich gelynion.

9 ¶ A meibion Reuben, a meibion
Gad, a hanner llwyth Manasse, a
ddychwelasant, ac a aethant ymaith
oddiwrth feibion Israel, o Silo, yr
hon *sydd* yn ngwlad Canaan, i fyned i
wlad Gilead, i wlad eu meddiant hwy,
yr hon a feddiannasant wrth orchymyn yr Arglwydd trwy law Moses.

10 ¶ A phan ddaethant i gyffiniau
yr Iorddonen, y rhai *sydd* yn ngwlad
Canaan, meibion Reuben, a meibion
Gad, a hanner llwyth Manasse, a
adeiladasant yno allor wrth yr Iorddonen, allor fawr mewn golwg.

11 ¶ A chlybu meibion Israel ddywedyd, Wele, meibion Reuben, a
meibion Gad, a hanner llwyth Manasse, a adeiladasant allor ar gyfer
gwlad Canaan, wrth derfynau yr Iorddonen, gan ystlys meibion Israel.

12 A phan glybu meibion Israel
*hyny,* yna holl gynulleidfa meibion
Israel a ymgynullasant i Silo, i ddyfod i fyny yn eu herbyn hwynt i
ryfel.

13 A meibion Israel a anfonasant
at feibion Reuben, ac at feibion Gad,
ac at hanner llwyth Manasse, i wlad
Gilead, Phinees mab Eleazar yr offeiriad,

14 A deg o dywysogion gydag ef,
un tywysog o bob tŷ, penaf trwy holl
lwythau Israel; a phob un *oedd* ben
yn nhŷ *eu* tadau, yn mysg miloedd
Israel.

15 A hwy a ddaethant at feibion
Reuben, ac at feibion Gad, ac at hanner llwyth Manasse, i wlad Gilead;
ac a ymddyddanasant â hwynt, gan
ddywedyd,

16 Fel hyn y dywed holl gynulleidfa yr Arglwydd, Pa gamwedd *yw*
hwn a wnaethoch yn erbyn Duw Israel, gan ddychwelyd heddyw oddiar
ol yr Arglwydd, pan adeiladasoch i
chwi allor, i wrthryfela heddyw yn erbyn yr Arglwydd?

17 Ai bychan genym ni anwiredd
Peor, yr hwn nid ymlanhasom oddi-

---

adael eu teuluoedd. Gwnaeth Dafydd hyn yn gyfraith, 1 Sam. xxx. 24, 25.

Adn. 9. *I fyned i wlad Gilead*] Felly y gelwir yma yr holl wlad y tu hwnt i'r Iorddonen, yn cynwys tir Jaser a theyrnas Basan, y rhai a roed yn feddiant i'r ddau lwyth a hanner.

Adn. 10. *A phan ddaethant i gyffiniau yr Iorddonen, y rhai sydd yn ngwlad Canaan*] Nis gall yr adnod hon byth feddwl ddarfod iddynt adeiladu yr allor ar yr ochr orllewinol i'r Iorddonen, canys nid oedd hòno yn eu tiriogaethau hwy; ac nis gallai fod yn le addoliad i'w pobl hwy, pe buasai wedi ei hadeiladu yno: ac y mae yr adnod nesaf yn dywedyd yn bendant ddarfod iddynt ei hadeiladu *ar gyfer gwlad Canaan.* Y meddwl gan hyny yw, pan ddaethant at fin yr afon yn ngwlad Canaan, bwriadasant adeiladu yr allor; a phan groesasant yr afon, cyflawnasant eu bwriad. *Allor fawr mewn golwg*—uchel iawn, a hawdd ei chanfod o bell.

Adn. 11. *Ar gyfer gwlad Canaan*] Yn nhiriogaethau y ddau lwyth a hanner; *gan ystlys meibion Israel*—nid yn ngwlad Canaan, ond wrth ei hystlys hi y tu arall i'r afon. Saes. '*wrth fynedfa* meibion Israel,' sef yn y fan lle y croesasant hwy drosodd.

Adn. 12. *A phan glybu meibion Israel hyny*] Sef y naw llwyth a hanner ag oeddynt yn Nghanaan; *ymgynullasant i Silo*—i ymgynghori â'u gilydd pa beth i'w wneyd yn yr achos hwn. Er mai yma yr oedd y tabernacl a'r arch, a Josua a'r offeiriaid, eto nid ymddengys iddynt ymofyn â'r Arglwydd trwy yr Urim a'r Thummim, onide cawsent eu boddloni ar yr achos hwn heb gyrchu at y ddau lwyth a hanner. *I ddyfod i fyny yn eu herbyn hwynt i ryfel*—os hyny a fernid ddoethaf. Tybiasant fod y ddau lwyth a hanner naill ai wedi troi yn wrthgilwyr oddiwrth Dduw a'r wir grefydd, neu ynte yn meddwl addoli Duw Israel mewn modd gwahanol i'r hyn a drefnasai efe: canys gorchymynwyd iddynt yn benodol, gan nad oedd ond *un Duw,* fod iddynt aberthu ar *un allor,* a hyny yn y fan a ddewisai yr Arglwydd, Deut. xii. 5—18.

Adn. 13. *Phinees*] Yr oedd hwn yn ŵr addas iawn i fyned drosodd, o herwydd ei eiddigedd dros enw ac addoliad ei Arglwydd; (gwel Num. xxv. 7, 11, 13;) ac, fel offeiriad, gallai roddi cynghor i'r ddwy blaid.

Adn. 14. *A deg o dywysogion gydag ef*] Felly yr oedd tywysog dros hanner llwyth Manasse, yn gystal a thros bob un o'r naw llwyth ereill.

Adn. 15. *A hwy a ddaethant at feibion Reuben, &c.*] At eu blaenoriaid hwy, y rhai oeddynt wedi ymgynull mewn rhyw le yn ngwlad Gilead, i holi yn nghylch y mater. Yr oedd hyn yn llawer gwell na rhuthro yn waedwyllt i ryfel â'u brodyr, heb chwilio i mewn i'r achos: gwel ar Deut. xiii. 14.

Adn. 16. *Fel hyn y dywed holl gynulleidfa yr Arglwydd*] Y maent yn eu galw yn 'gynulleidfa yr Arglwydd,' ac nid 'cynulleidfa Israel,' am mai ar achos crefyddol, ac nid gwladol, yr oeddynt wedi dyfod atynt; ar achos Duw, nid achos dynion; gyda golwg ar anrhydedd a gogoniant JEHOFA. *Gan ddychwelyd heddyw oddiar ol yr Arglwydd*—hyny yw, mor fuan a hyn ar ol i Dduw ddangos i chwi y fath ffafr, a'ch gollwng adref i fwynhau eich gwobrau. *Pan adeiladasoch i chwi allor*—i aberthu arni, fel y tybient hwy, a hyny mewn gwrthryfel yn erbyn awdurdod a gorchymyn pendant Duw.

Adn. 17. *Ai bychan genym ni anwiredd*

wrtho eto hyd y dydd hwn (er bod pla yn mysg cynulleidfa yr Arglwydd)

18 Ond bod i chwi droi ymaith heddyw oddiar ol yr Arglwydd? Ac am i chwi wrthryfela heddyw yn erbyn yr Arglwydd, efe a lidia y fory yn erbyn holl gynulleidfa Israel.

19 Ac od *yw* gwlad eich meddiant chwi yn aflan, deuwch drosodd i wlad meddiant yr Arglwydd, yr hon y mae tabernacl yr Arglwydd yn aros ynddi, a chymerwch feddiant yn ein mysg ni: ond na wrthryfelwch yn erbyn yr Arglwydd, ac na childynwch i'n herbyn ninau, trwy adeiladu o honoch i chwi eich hun allor, heblaw allor yr Arglwydd ein Duw.

20 Oni wnaeth Acan mab Zera gamwedd, o herwydd y diofryd-beth, fel y bu digofaint yn erbyn holl gynulleidfa Israel? ac efe *oedd* un gŵr; *eto* nid efe *yn unig* a fu farw am ei anwiredd.

21 ¶ Yna meibion Reuben, a meibion Gad, a hanner llwyth Manasse, a atebasant, ac a lefarasant wrth benaethiaid miloedd Israel;

---

*Peor?*] Y mae Phinees yn cymeryd yn ganiataol fod yr allor hon wedi ei chodi mewn gwrthwynebiad i allor Duw yn Silo, a'u bod hwy yn bwriadu cael gwasanaeth ac offeiriadaeth wahanol i'r hon a sefydlwyd gan Moses, yr hyn a fyddai yn wrthryfel yn erbyn Duw, ac a dynai i lawr ei felldith ef arnynt hwy a'u hiliogaeth: ac i'r dyben i ddangos fod Duw yn eiddigeddus dros ei ogoniant, efe a gyfeiria at yr ymgyfeillach â Baal-Peor, yr hyn a gymerasai le yn y wlad hòno, canlyniadau dinystriol pa un y bu ef, trwy ei sel dros ogoniant Duw, yn foddion i'w hattal. *Yr hwn nid ymlanhasom oddiwrtho eto*—canys er fod Duw wedi ei faddeu ef o ran ei gosp genedlaethol, Num. xxv. 11; eto nid oeddynt wedi eu llwyr lanhau oddiwrtho, am fod y cywilydd a'r gwarth o hono heb ei ddileu eto, ac am fod peth o'r lefain llygredig hwnw yn aros fyth yn eu plith, ac yn barod i dori allan ar bob achlysur, pen. xxiv. 23. *Er bod pla*—o'r hwn y bu feirw pedair mil ar hugain, Num. xxv. 9.

Adn. 18. *Ac am i chwi wrthryfela heddyw yn erbyn yr Arglwydd*] Canys pa un bynag ai eu bod hwy yn bwriadu addoli duwiau ereill, ynte addoli Duw Israel mewn modd nad oedd efe yn ei ganiatâu, yr oedd pob un o'r rhai hyn yn eilunaddoliaeth a gwrthryfel yn marn Phinees. *Efe a lidia y fory*—hyny yw, yn ebrwydd a disymwth, fel yr arwydda yr ymadrodd yn fynych. *Yn erbyn holl gynulleidfa Israel*—yn eich erbyn chwi am wneuthur felly, ac yn ein herbyn ninau am oddef hyny, neu beidio ei gospi.

Adn. 19. *Ac od yw gwlad eich meddiant chwi yn aflan*] Os ydych yn meddwl fod y wlad hon yn halogedig, ac heb gael ei chynwys ar y cyntaf yn y cyfammod; neu yn ofni nad ellwch ddysgwyl bendith Duw oddieithr fod genych allor, aberthau, a ffurf o grefydd o'r eiddoch eich hunain; *deuwch drosodd i wlad meddiant yr Arglwydd*—i Ganaan, yr unig le cyfreithlon i aberthu ac offrymu; *yr hon y mae tabernacl yr Arglwydd yn aros ynddi*—ac yntau ei hun yn preswylio ynddo; *a chymerwch feddiant yn ein mysg ni*—ni a roddwn i fyny yn llawen ran o'n meddiannau yn Nghanaan i chwi, er mwyn attal y pechod ofnadwy hwn o adeiladu allor heblaw allor yr Arglwydd ein Duw. Y mae y cynygiad hwn yn dangos duwioldeb a haelfrydedd canmoladwy. Er eu bod wedi ceryddu eu brodyr yn llym, ac yn barod i ryfela â hwynt â holl rym Israel, os byddai gogoniant Duw a chrefydd yn galw am hyny; eto yr oeddynt yn eu caru mor fawr, nes yr oeddynt yn barod i ranu eu hetifeddiaethau â hwynt, yn hytrach na gorfod myned i ryfel.

Adn. 20. *Oni wnaeth Acan mab Zera gamwedd, &c.*] Gwel ar pen. vii. 1, &c. Fel pe dywedasai, Nid yn eich erbyn chwi eich hunain y bydd eich pechod; bydd i'ch camweddau ddwyn i lawr ddigofaint Duw ar yr holl bobl, fel y dygwyddodd yn nghamwedd Acan: efe yn unig a bechodd, ac eto darfu i Dduw droi ei wyneb yn erbyn yr holl gynulleidfa, fel ag y syrthiasant o flaen eu gelynion. Ni allwn ni gan hyny fod yn edrychwyr difater ar eich pechod, am y gallwn oll gael ein cyfrif yn euog o'u herwydd; a bydded i hyn, yn nghyd a'r dianrhydedd ag y mae yn ei ddwyn ar Dduw, ein hesgusodi ni, ac amddiffyn yr angenrheidrwydd am yr ymddanghosiad rhyfelgar hwn ag yr ydym yn ei wneuthur o'ch blaen.

Adn. 21. *Yna meibion Reuben—a atebasant*] Er fod cynrychiolwyr y ddau lwyth a hanner yn ymwybodol o'u diniweidrwydd eu hunain, eto goddefasant i Phinees orphen ei arawd, er nad oedd yn cynwys nemawr heblaw cyhuddiadau disail, cyn gwneuthur hunan-amddiffyniad.

Adn. 22. *Arglwydd Dduw y duwiau, &c.*] Neu, fel y mae yn yr Hebraeg, 'Duw y duwiau, Jehofa; Duw y duwiau, Jehofa:' neu yn hytrach, y mae yma dri enw i Dduw, EL, ELOHIM, a JEHOFA, i arwyddo nad oeddynt hwy yn arddel un Duw ond yr hwn yr oedd eu tadau yn ei addoli, wrth ba enw bynag y gelwid ef. Fel pe dywedasent, 'Y *Duw cadarn, Elohim Jehofa*, yr hwn sydd yn anfeidrol uwchlaw pob creadur, ac yn ffynnonell pob bodaeth arall, yr ydym ni yn gystal a chwithau yn ei gydnabod fel *Duw y duwiau*.' Y mae eu *hailadroddiad* o'r enwau mawreddig hyn yn dangos eu gofal dwys am anrhydedd Duw, a'u hawydd am ddileu y gwarth ag y tybient fod eu brodyr wedi ei daflu arnynt hwy wrth feddwl eu bod yn anffyddlon i bur addoliad Duw. *Efe sydd yn gwybod*—gan ei fod yn hollwybodol; *ac Israel yntau a gaiff wybod*—nid yn unig trwy ein hymadroddion hyn, ond hefyd trwy ein hymddygiadau cyson rhagllaw, ein bod ni yn parhau yn addolwyr ffyddlon o'r gwir Dduw. *Os mewn gwrthryfel neu mewn camwedd yn erbyn yr Argl-*

22 Arglwydd Dduw y duwiau, Ar-
glwydd Dduw y duwiau, efe sydd yn
gwybod, ac Israel yntau a gaiff wy-
bod, os mewn gwrthryfel, neu mewn
camwedd yn erbyn yr Arglwydd *y bu*
*hyn,* (na wareder ni y dydd hwn)
23 Os adeiladasom i ni allor i droi
oddiar ol yr Arglwydd, neu os off-
rymasom arni boeth-offrwm, neu
fwyd-offrwm, neu os aberthasom arni
ebyrth hedd: yr Arglwydd ei hun a'i
gofyno:
24 Ac onid rhag ofn y peth *yma* y
gwnaethom hyn; gan ddywedyd, Ar
ol hyn eich meibion chwi a adroddant
wrth ein meibion ninau, gan ddywed-
yd, Beth *sydd* i chwi *a wneloch* âg Ar-
glwydd Dduw Israel?
25 Canys yr Arglwydd a roddodd
yr Iorddonen hon yn derfyn rhyngom
ni a chwi: meibion Reuben, a meib-
ion Gad, nid *oes* i chwi ran yn yr Ar-
glwydd. Felly y gwnai eich meibion
chwi i'n meibion ni beidio âg ofni yr
Arglwydd.
26 Am hyny y dywedasom, Gan
adeiladu gwnawn yn awr i ni allor:
nid i boeth-offrwm, nac i aberth;
27 Eithr *i fod* yn dyst rhyngom ni
a chwi, a rhwng ein hiliogaeth ni ar
ein hol, i *gael o honom* wasanaethu
gwasanaeth yr Arglwydd ger ei fron
ef, â'n poeth-offrymau ac â'n hebyrth,
ac â'n hoffrymau hedd; fel na ddy-
wedo eich meibion chwi ar ol hyn
wrth ein meibion ni, Nid *oes* i chwi
ran yn yr Arglwydd.
28 Am hyny y dywedasom, Pan
ddywedont hwy *felly* wrthym ni neu
wrth ein hepil ar ol hyn; yna y dy-
wedwn ninau, Gwelwch lun allor yr
Arglwydd yr hon a wnaeth ein tadau
ni, nid i boeth-offrwm, nac i aberth;
ond *i fod* yn dyst rhyngom ni a chwi.
29 Na ato Duw i ni wrthryfela yn
erbyn yr Arglwydd, a dychwelyd
heddyw oddiar ol yr Arglwydd; gan
adeiladu allor i boeth-offrwm, i fwyd-
offrwm, neu i aberth, heb law allor yr
Arglwydd ein Duw yr hon *sydd* ger-
bron ei dabernacl ef.
30 ¶ A phan glybu Phinees yr off-

---

*wydd y bu hyn*—os adeiladasom ni yr allor hon gyda'r bwriad hwnw; *na wareder ni y dydd hwn*—rhag cleddyf ein brodyr. Yr oedd hyn yn apeliad difrifol at Dduw, yr hwn a wyddai bob peth, ac yn dangos eu bod yn foddlon i ddyoddef y gosp drymaf os oeddynt yn euog o'r hyn y cyhuddid hwynt o hono.

Adn. 23. *Os adeiladasom i ni allor i droi oddiar ol yr Arglwydd*] At eilunaddoliaeth; *neu os offrymasom arni boeth-offrwm, &c.*—hyd yn nod i'r Arglwydd ei hun, llawer llai i au-dduwiau. Enwant bob math o offrymau a arferid, i'r dyben i ddileu pob drwgdybiaeth o feddyliau eu brodyr; a thystiant nad oeddynt wedi offrymu un o honynt ar yr allor hòno, nac yn bwriadu gwneyd hyny byth. *Yr Arglwydd ei hun a'i gofyno*—a ddialo arnom am y weithred neu y bwriad.

Adn. 24. *Ac onid rhag ofn y peth yma y gwnaethom hyn*] Yr oedd ein dyben ni yn adeiladu yr allor hon yn hollol groes i'r hyn y cyhuddwch ni o hono; sef rhag i'ch meibion chwi gyhuddo ein meibion ni, ar ol i ni fyned i'n beddau, o hollol ddyeithrwch i grefydd Duw Israel; a dywedyd wrthynt, *Beth sydd i chwi a wneloch âg Arglwydd Dduw Israel?*—ni feddwch chwi un berthynas âg ef, na hawl ynddo ef na'i addoliad.

Adn. 25. *Canys yr Arglwydd a roddodd yr Iorddonen hon yn derfyn rhyngom ni a chwi*] I'ch cau chwi allan o wlad yr addewid, ac o ganlyniad allan o'r cyfammod a wnaed rhwng Duw a'n tadau ni. *Nid oes i chwi ran yn yr Arglwydd*—ddim hawl i'w wasanaethu ef, na dysgwyl ffafr oddiwrtho. *Felly y gwnai eich meibion chwi i'n meibion ni beidio âg ofni yr Arglwydd*—a'u gyru at eilunaddoliaeth. Y mae y rhai a dorir ymaith oddiwrth ordinhadau cyhoeddus, yn gyffredin yn colli pob crefydd yn raddol. Y mae yn wir y gellir cadw ffurf a phroffes o dduwioldeb heb ei bywyd a'i grym hi; ond ni fydd i'w bywyd a'i grym hi gael ei gadw yn hir, heb ffurf a phroffes o honi.

Adn. 26. *Am hyny y dywedasom*] Wrth ddychwelyd o ryfeloedd Canaan, adn. 10; *Gan adeiladu gwnawn yn awr i ni allor*—tra y mae y peth yn aros ar ein meddyliau; *nid i boeth-offrwm nac i aberth*—o un math ar yr allor hon, yr hyn a fyddai yn groes i gyfraith Dduw: gwel Lef. xvii. 8, 9, Deut. xii. 5—14.

Adn. 27. *Eithr i fod yn dyst rhyngom ni a chwi*] Mai yr un bobl ydym ni a chwithau, yn addoli yr un Duw, ac yn aberthu ar yr un allor, sef hòno yn Nghanaan; o ba un y mae hon yn arlun, i'n cadw ni mewn coffadwriaeth o honi. *I gael o honom wasanaethu gwasanaeth yr Arglwydd ger ei fron ef*—fel y gallom ni a'n plant gadw y fraint a'r hawl o addoli ac aberthu, nid ar yr allor hon, ond yn eich tabernacl chwi, ac ar eich allor.

Adn. 28. *Gwelwch lun allor yr Arglwydd*] Yr hon sydd yn berffaith arlun o'r allor sydd yn y cysegr, ac felly yn brawf fod ein tadau ni wedi gweled hòno, ac aberthu arni; ein bod ni a chwithau ar y cyntaf yn un bobl, yn gwasanaethu yr un Duw, a hyny wrth yr un allor; a'n bod o'r un ffydd, ffurf, a chymundeb a'n gilydd.

Adn. 29. *Na ato Duw i ni wrthryfela yn erbyn yr Arglwydd*] Yma y maent yn y modd mwyaf difrifol yn gwadu y cyhuddiad a roddasai eu brodyr yn eu herbyn, adn. 16—18, ac yn dychrynu rhag syrthio byth yn euog o'r fath bechod. Nid oeddynt erioed wedi meddwl am offrymu unrhyw aberth ar un allor ond yr hon oedd y pryd hyny gerbron tabernacl yr

eiriad, a thywysogion y gynulleidfa, a phenaethiaid miloedd Israel y rhai *oedd* gydag ef, y geiriau a lefarasai meibion Reuben, a meibion Gad, a meibion Manasse, da oedd *y peth* yn eu golwg hwynt.
31 Phinees mab Eleazar yr offeiriad a ddywedodd wrth feibion Reuben ac wrth feibion Gad, ac wrth feibion Manasse, Heddyw y gwybuom *fod* yr Arglwydd yn ein plith, o herwydd na wnaethoch y camwedd hwn yn erbyn yr Arglwydd: yn awr gwaredasoch feibion Israel o law yr Arglwydd.
32 ¶ Am hyny y dychwelodd Phinees mab Eleazar yr offeiriad, a'r tywysogion, oddiwrth feibion Reuben, ac oddiwrth feibion Gad, o wlad Gilead, i wlad Canaan, at feibion Israel, ac a ddygasant drachefn air iddynt.
33 A da oedd y peth yn ngolwg meibion Israel; a meibion Israel a fendithiasant Dduw, ac ni soniasant am fyned i fyny yn eu herbyn hwynt i ryfe[1], i ddyfetha y wlad yr oedd meibion Reuben a meibion Gad yn preswylio ynddi.
34 A meibion Reuben a meibion Gad a alwasant yr allor *Ed:* canys tyst *fydd* hi rhyngom ni, mai yr Arglwydd *sydd* Dduw.

## PENNOD XXIII.

A DARFU, ar ol dyddiau lawer, wedi i'r Arglwydd roddi llonyddwch i Israel gan eu holl elynion, o

---

Arglwydd yn Silo; ac y maent yn gweddio na byddo y bwriad hwnw byth yn eu calon.

Adn. 30. *A phan glybu Phinees yr offeiriad, &c.*] Yr amddiffyniad hwn o eiddo y ddau lwyth a hanner, a'r eglurhad a roisant ar eu dyben yn adeiladu y gyfryw allor; *da oedd y peth yn eu golwg*—nid yn unig yr oeddynt yn foddlon i'r ateb, ond yr oedd yn dda ganddynt fod yr allor wedi ei chodi, fel peth yn tueddu i gadw undeb ffydd, addoliad, a chymdeithas rhwng y ddau bobl o bob tu i'r Iorddonen trwy yr holl genedlaethau.

Adn. 31. *Heddyw y gwybuom*] Neu y cawsom brawf adnewyddol, *fod yr Arglwydd yn ein plith*—yn ei ras attaliol, i'ch cadw chwi rhag y fath bechod dirfawr, a ninau oll rhag y fath drychineb ag a ganlynasai. *Gwaredasoch feibion Israel o law yr Arglwydd*—oddi wrth ddigofaint a barn Duw, trwy ochelyd y pechod hwnw a'n suddasai ni a chwithau mewn rhyfel waedlyd, ac yn agored i anfoddlonrwydd dwyfol. Y mae yr hwn sydd yn rhagflaenu neu yn attal drwg nesaol, yn gwaredu oddiwrtho mor wirioneddol a phe bae yn ei symud ar ol iddo ymaflyd.

Adn. 32. *Am hyny y dychwelodd Phinees, &c.*] Mewn perffaith heddwch â'u brodyr, wedi cael llwyr foddlonrwydd yn eu hatebiad mewn perthynas i'r allor; *at feibion Israel*—at y naw llwyth a hanner i Ganaan, i egluro y mater iddynt hwythau.

Adn. 33. *A da oedd y peth yn ngolwg meibion Israel*] Cawsant hwythau oll yr un boddlonrwydd gyda golwg ar yr allor ag a gawsai y cenadau eu hunain; a hwy *a fendithiasant Dduw*—am na chyflawnodd eu brodyr ddim bai yn ei erbyn ef, fel ag i haeddu ei ddigofaint; *ac ni soniasant*—rhoddasant heibio eu bwriad o fyned yn eu herbyn hwynt i ryfel, yr hyn a amcanent ar y cyntaf, adn. 12; *i ddyfetha y wlad*—sef trigolion y wlad, yr hyn y buasent hwy yn rhwym yn ol y gyfraith o'i wneuthur, pe buasai y ddau lwyth a hanner hyn yn euog: gwel Deut. xiii. 12—18.

Adn. 34. *A meibion Reuben a meibion Gad*] Yn cynwys hefyd hanner llwyth Manasse, adn. 21; *a alwasant yr allor Ed*—nid yw y gair *Ed*, yr hwn a arwydda *tyst* neu *dystiolaeth*, i'w gael yn yr argraffiadau cyffredin o'r Beibl Hebreig, eithr rhoddwyd ef i mewn gan ein cyfieithwyr ni mewn llythyrenau Italaidd, ac y mae yn angenrheidiol i wneyd y synwyr yn gyflawn. Modd bynag, ceir ef mewn amrai o ysgriflyfrau *Kennicott* a *De Rossi*, ac hefyd yn y cyfieithiadau *Syriaidd* ac *Arabaidd;* ac y mae amrai o'r argraffiadau boreaf o'r Beibl Hebreig yn ei feddu, naill ai yn y testyn neu ar ymyl y ddalen. Y mae yn dra thebygol fod rhyw *arysgrifen* yn gerfiedig ar yr allor hon, i ddangos dyben ei chyfodiad. *Canys tyst fydd hi rhyngom ni*—o'n cyduniad ni â llwythau ereill Israel yn y ffydd gyffredin, mai JEHOFA yw yr unig wir Dduw.

ADFEDDYLIADAU.—Oddiwrth gynwysiad y bennod hon ni a ddysgwn fod yr Israeliaid wedi dychrynu yn ddirfawr mewn rhagolwg ar *sism* neu rwygiad yn eu corff eu hunain, mewn pethau eglwysig a gwladol. 'Pan fyddo y mwyafrif o genedl yn cyduno mewn rhyw ffurfiau a moddau neillduol yn eu gwasanaeth grefyddol,' ebai DR. A. CLARKE, 'ni fydd i un dyn cydwybodol ymadael yn *hawdd* oddiwrth y rhai hyn; nac ymadael mewn un modd, oddieithr iddo gael eu bod nid yn unig heb eu hawdurdodi gan air Duw, ond yn *groes* iddo. Y mae yn beth i'w ddymuno yn fawr fod i bobl gyfain, yn byw dan yr un cyfreithiau, ogoneddu Duw, cyn belled ag y byddo modd, nid yn unig âg un *galon*, ond hefyd âg un *genau.*—Pan fyddo Cristionogion proffesedig yn ymneillduo oddiwrth eu gilydd, i osod i fyny un ffurf *afreidiol* neu *ddihanfodol*, &c., yn lle ereill a alwant yn afreidiol neu ddihanfodol, y maent yn dra beius. Nid yn unig ni chynyrcha hyn ddim da, eithr tuedda at lawer o ddrwg; canys y mae y ddwy blaid, i'r dyben i wneyd pynciau eu gwahaniaeth yn ddigon o bwys i gyfiawnhau eu hannghydfod, yn mawrygu y pethau dihanfodol hyn tuhwnt i bob *rheswm*, ac weithiau tuhwnt i *gydwybod* ei hun; ac fel hyn degymir y *mintys* a'r *cwmin*, tra y byddo pethau trymach y gyfraith, [barn, a thrugaredd, a ffydd, Mat. xxiii. 23,] yn cael eu llwyr esgeuluso. Os na all neu na fyn Cristionogion feddwl yr un fath ar bob

amgylch, i Josua heneiddio *a* myned
mewn dyddiau.
2 A Josua a alwodd am holl Israel,
am eu henuriaid, ac am eu penaeth-
iaid, ac am eu barnwyr, ac am eu
swyddogion; ac a ddywedodd wrth-
ynt, Myfi a heneiddiais *ac* a aethym
yn oedranus:
3 Chwithau hefyd a welsoch yr hyn
oll a wnaeth yr Arglwydd eich Duw
i'r holl genhedloedd hyn, er eich
mwyn chwi: canys yr Arglwydd eich
Duw *yw* yr hwn a ymladdodd dros-
och.
4 Gwelwch, rhenais i chwi y cen-
hedloedd hyn a adawyd, yn etifedd-
iaeth i'ch llwythau chwi, o'r Iorddon-
en, a'r holl genhedloedd y rhai a dor-
ais i ymaith, hyd y môr mawr tua'r
gorllewin.
5 A'r Arglwydd eich Duw a'u hym-
lid hwynt o'ch blaen chwi, ac a'u gyr
hwynt ymaith allan o'ch gwydd chwi;
a chwi a feddiennwch eu gwlad hwynt,
megys y dywedodd yr Arglwydd eich
Duw wrthych.
6 Am hyny ymwrolwch yn lew, i
gadw ac i wneuthur y cwbl sydd ys-
grifenedig yn llyfr cyfraith Moses; fel
na chilioch oddiwrthynt, tua'r llaw
ddeau na thua'r llaw aswy;
7 Ac na chydymgyfeilloch â'r cen-
hedloedd yma, y rhai a adawyd gyda
chwi; ac na chofioch enw eu duwiau
hwynt, ac na thyngoch *iddynt*, na was-
anaethoch hwynt chwaith, ac nac ym-
grymoch iddynt.
8 Onid glynu wrth yr Arglwydd
eich Duw, fel y gwnaethoch hyd y
dydd hwn.

---

pwnc, diau y gallant gytuno i annghytuno, a gadael i bob un fyned i'r nef yn ei ffordd ei hun. 'Ond pe cymerem ni y cynghor hwn, ai ni fyddai iddo ein harwain ni i hollol *ddifaterwch* yn nghylch crefydd?' Na fyddai mewn un modd; canys yn y pethau a berthynant i *hanfodolion* Cristionogaeth, mewn *athrawiaeth* ac *ymarferiad*, dylem bob amser deimlo yn selog, ac *ymdrech yn mhlaid y ffydd a rodded unwaith i'r saint.*'

PEN. XXIII. Adn. 1. *A darfu ar ol dyddiau lawer*] Yn mhen oddeutu deng mlynedd ar ol rhanu y wlad, sef yn niwedd oes Josua: gwel ar pen. xiii. 1.

Adn. 2. *A Josua a alwodd am holl Israel*] Sef am eu cynrychiolwyr hwy, yn cynwys hefyd y ddau lwyth a hanner, i ddyfod ato ef i Silo, lle y byddai i'w eiriau ef, wrth gael eu traethu gerbron yr Arglwydd wrth ddrws y babell, gael mwy o ddylanwad; neu ynte i Sichem, pen. xxiv. 1; neu i Timnath-serah, ei ddinas ei hun. *Am eu henuriaid*—tywysogion y llwythau; *penaethiaid*—neu benau eu teuluoedd; *barnwyr*—y rhai a ddeonglent ac a benderfynent yn ol y gyfraith; *swyddogion*—y rhai a weinyddent benderfyniadau y barnwyr. Tybia rhai mai ar un o'r tair gwŷl arbenig y cymerodd hyn le. *Myfi a heneiddiais*—fel pe dywedasai, Ni chewch fi yn hir bellach i lefaru wrthych; am hyny sylwch yn fanwl ar yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd.

Adn. 3. *Chwithau hefyd a welsoch*] Yr oedd llawer o'r tô presenol yn rhy ieuainc i gofio rhyfeddodau Duw yn yr Aifft, ond yr oeddynt oll wedi gweled y buddugoliaethau rhyfedd ar y Canaaneaid. *Yr hyn oll a wnaeth yr Arglwydd eich Duw*—nid yw Josua yn priodoli un o'r buddugoliaethau hyny iddo ei hun, nac i ddewrder Israel, nac yn ei enwi ei hun na hwythau yma fel offerynau; eithr priodola y cwbl i'r Arglwydd, yr hwn a ymladdodd drostynt, ac a orchfygodd eu gelynion.

Adn. 4. *Gwelwch, rhenais i chwi y cenhedloedd hyn a adawyd*] Sydd eto heb eu gorchfygu. Y mae y bobl yn cael eu rhoddi yma am y wlad, fel y mae y wlad bryd arall yn cael ei rhoddi am y bobl. *Yn etifeddiaeth i'ch llwythau chwi*—y rhai a feddiennwch mor sicr ag y meddiannasoch y lleill, os na fydd y bai arnoch chwi eich hunain. *Hyd y môr mawr*—sef Môr-y-canoldir, lle yr oedd y Philistiaid eto heb eu gorchfygu.

Adn. 5. *A'u hymlid hwy o'ch blaen chwi*] Os byddwch chwi yn ffyddlon ac ufydd i'w gyfammod a'i orchymynion ef, adn. 13.

Adn. 6. *Am hyny ymwrolwch yn lew*] Canys yr oedd llawer o wroldeb santaidd, a phenderfyniad cadarn a sefydlog, yn ofynol i ddarostwng a difrodi y Canaaneaid, a pheidio gwneyd un math o gyfathrach â hwynt, a chadw holl orchymynion Moses. Y mae yn amlwg oddiyma fod *llyfr cyfraith Moses* yn ysgrifenedig gan y bobl hyn, a'i fod yn cael ei ddarllen iddynt yn fynych: gwel ar pen. i. 6—8, a Deut. xxxi. 9—13.

Adn. 7. *Ac na chydymgyfeilloch â'r cenhedloedd yma*] Mewn materion cymdeithasol, gwladol, na chrefyddol, oddieithr iddynt gofleidio y wir grefydd. *Na chofioch enw eu duwiau*—Saes. 'na *sonioch* am eu henw,' rhag i hyny eich arwain yn raddol i'w parchu a'u haddoli: neu, na enwch hwynt, fel y byddo iddynt cyn hir gael eu hannghofio. *Na thyngoch iddynt*—eich hunain, na pheri i neb o'r cenhedloedd dyngu iddynt mewn llw, yr hyn a dybiai fod y duwiau dychymygol hyn yn wybodol o feddyliau dynion, ac yn meddu gallu i gospi yr anudonwr. *Na wasanaethoch hwynt*—trwy offrymu ac aberthu iddynt. *Ac nac ymgrymoch*—i weddio arnynt na rhoddi addoliad iddynt.

Adn. 8. *Onid glynu wrth yr Arglwydd*] Trwy ufydd-dod cyson i'w air, a sel dros ei ogoniant, ac mewn addoliad o hono ef yn unig. *Fel y gwnaethoch hyd y dydd hwn*—er pan ddaethoch i wlad Canaan, a than lywodraeth Josua. Er y pryd hyny yr oedd corff y bobl (canys nid am bersonau unigol y llefara efe) wedi ymddwyn yn llawer gwell nag y gwnaethant yn yr anialwch: gwel brawf yn y bennod flaenorol.

9 Canys yr Arglwydd a yrodd allan
o'ch blaen chwi genhedloedd mawr-
ion a nerthol: ac am danoch chwi, ni
safodd neb yn eich wynebau chwi hyd
y dydd hwn.
10 Un gŵr o honoch a erlid fil: ca-
nys yr Arglwydd eich Duw *yw* yr hwn
sydd yn ymladd drosoch, fel y llefar-
odd wrthych.
11 Ymgedwch gan hyny yn ddyfal
ar eich eneidiau, ar i chwi garu yr Ar-
glwydd eich Duw.
12 Canys, os gan ddychwelyd y dy-
chwelwch, ac yr ymlynwch wrth wedd-
ill y cenhedloedd yma, y rhai a adaw-
yd gyda chwi; *os* ymgyfathrechwch â
hwynt, ac *os* ewch i mewn atynt hwy,
a hwythau atoch chwithau:
13 Gan wybod gwybyddwch, na ŷr
yr Arglwydd eich Duw y cenhedloedd
hyn mwyach allan o'ch blaen chwi;
ond byddant i chwi yn fagl ac yn dram-
gwydd, ac yn ffrewyll yn eich ystlys-
au, ac yn ddrain yn eich llygaid, nes
eich difa chwi allan o'r wlad dda yma
yr hon a roddodd yr Arglwydd eich
Duw i chwi.
14 Ac wele, fi yn myned heddyw i
ffordd yr holl ddaear: a chwi a wydd-
och yn eich holl galonau, ac yn eich
holl eneidiau, na phallodd dim o'r holl
bethau daionus a lefarodd yr Argl-
wydd eich Duw am danoch chwi; hwy
a ddaethant oll i chwi, *ac* ni phallodd
dim o honynt.
15 Ac fel y daeth i chwi bob peth
daionus a addawodd yr Arglwydd eich
Duw wrthych; felly y dwg yr Argl-
wydd arnoch chwi bob peth drygion-
us, nes eich difa chwi allan o'r wlad
dda yma a roddodd yr Arglwydd eich
Duw i chwi.
16 Pan droseddoch gyfammod yr
Arglwydd eich Duw, a orchymynodd
efe i chwi, a myned a gwasanaethu
duwiau dyeithr, ac ymgrymu iddynt;
yna y llidia digofaint yr Arglwydd yn
eich erbyn chwi, ac y cyfrgollir chwi
yn ebrwydd o'r wlad dda yma a rodd-
odd efe i chwi.

---

Adn. 9. *Ni safodd neb yn eich wynebau*] Hyny yw, ni allasant sefyll, neu ni safasant yn llwyddiannus, pan y codasant i'ch erbyn.

Adn. 10. *Un gŵr o honoch a erlid fil*] Ymadrodd diarebol yn arwyddo, er na fyddai mor hawdd iddynt gasglu byddin luosog ar ol ymwasgaru i'w gwahanol etifeddiaethau, ac a ydoedd pan yr oedd y deuddeg llwyth yn cydwersyllu; eto nad oedd achos iddynt ofni o herwydd hyny, gan y gallai yr Arglwydd, yr hwn oedd yn ymladd drostynt, orchfygu eu gelynion gydag ychydig filwyr yn gystal a chyda llawer: gwel ar Lef. xxvi. 8, Deut. xxxii. 30. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn Samson, Barn. xv. 15.

Adn. 11. *Ymgedwch gan hyny yn ddyfal ar eich eneidiau*] Yr oedd mwy o angenrheidrwydd iddynt wylio yn ddyfal ar eu ffyrdd yn awr na phan yn yr anialwch, am fod eu temtasiynau yn gryfach oddiwrth siamplau eu cymydogion drygionus, yn gystal ag oddiwrth eu heddwch a'u llwyddiant eu hunain, yr hyn a dueddai i fagu ynddynt falchder, annghof o Dduw, a phob math ar rysedd.

Adn. 12. *Canys os gan ddychwelyd y dychwelwch*] Oddiwrth Dduw, ei air, a'i wasanaeth; *ac yr ymlynwch wrth weddill y cenhedloedd yma*—trwy gyweithasu â hwynt, ac ymbriodi i'w teuluoedd.

Adn. 13. *Gan wybod gwybyddwch*] Gwybyddwch yn y modd mwyaf sicr, *na ŷr yr Arglwydd eich Duw*—er ei fod yn Dduw mewn cyfammod â chwi, *y cenhedloedd hyn mwyach allan o'ch blaen chwi*—am nad yw ef wedi addaw hyny ond ar yr ammod i chwi lynu wrtho ef yn unig. *Ond byddant i chwi yn fagl ac yn dramgwydd*—trwy eu hudoliaethau a'u siamplau drwg, i'ch rhwydo mewn pob aflendid, drygioni, ac eilunaddoliaeth; *yn ffrewyll yn eich ystlysau ac yn ddrain yn eich llygaid*—yn ffynnonell ddibaid o ofid, poen, a niwed i chwi; *nes eich difa chwi allan o'r wlad dda yma*—trwy gleddyf, newyn, haint, neu gaethgludiad, yr hyn oll a ddygwyddodd iddynt yn y diwedd: gwel ar Num. xxxiii. 55, 56.

Adn. 14. *Ac wele fi yn myned heddyw*] Nid ar y dydd penodol hwnw, ond yn bur fuan ar ol hyny, yr hyn a wyddai efe oddiwrth ei oedran mawr, a'r gwendidau a deimlai yn ei babell. *I ffordd yr holl ddaear*—yr hon y mae pawb i'w theithio: yr wyf yn myned i farw, yr hyn y rhaid i holl drigolion y ddaear ei wneuthur. Marw yw myned i daith, taith i dragwyddoldeb; ac nis gallai Josua ei hun, er mor fawr oedd ei ddefnyddioldeb ar y ddaear, gael ei ryddhau oddiwrthi. *A chwi a wyddoch yn eich holl galonau*—y mae genych y profiad llawnaf, yn mhob mynwes a chydwybod, na phallodd un o addewidion yr Arglwydd ag oeddynt i gael eu cyflawni hyd yn hyn: gwel ar pen. xxi. 45.

Adn. 15. *Ac fel y daeth i chwi bob peth daionus*] O'r hyn y mae genych gyflawn brawf yn y mwynhad o honynt; *felly y dwg yr Arglwydd arnoch chwi bob peth drygionus*—os annogwch chwi ef i hyny trwy anufydd-dod i'w orchymynion: gwel ar Lef. xxvi. 14, &c., a Deut. xxviii. 15, &c. Y mae ffyddlondeb Duw i'w ganfod yn nghyflawniad ei fygythion, mor eglur ag yn nghyflawniad ei addewidion: yn wir, y mae cyflawniad ei addewidion yn wystl y bydd iddo hefyd gyflawni ei fygythion, trwy fod pob un o honynt yn sefyll ar yr un tir, sef geirwiredd Duw.

Adn. 16. *Pan droseddoch gyfammod yr Arglwydd eich Duw*] Trwy ei adael ef, a gwasanaethu duwiau dyeithr; *yna y llidia digofaint yr Arglwydd yn eich erbyn chwi*—am ei fod ef yn eiddigus dros ei anrhydedd a'i

## PENNOD XXIV.

A JOSUA a gynullodd holl lwythau Israel i Sichem; ac a alwodd am henuriaid Israel, ac am eu pennaethiaid, ac am eu barnwyr, ac am eu swyddogion: a hwy a safasant gerbron Duw.
2 A dywedodd Josua wrth yr holl
bobl, Fel hyn y dywed Arglwydd
Dduw Israel; Tuhwnt i'r afon y trig-
odd eich tadau chwi gynt, *sef* Terah
tad Abraham, a thad Nacor: a hwy
a wasanaethasant dduwiau dyeithr.
3 A mi a gymerais eich tad Abra-
ham ymaith o'r tuhwnt i'r afon, ac a'i
harweiniais ef trwy holl wlad Canaan,
ac a amlheais hefyd ei had ef, ac a
roddais iddo Isaac.
4 Ac i Isaac y rhoddais Jacob ac
Esau: ac i Esau y rhoddais fynydd
Seir i'w etifeddu; ond Jacob a'i feib-
ion a aethant i waered i'r Aifft.
5 A mi a anfonais Moses ac Aaron,
ac a darewais yr Aifftiaid, yn ol yr
hyn a wnaethym yn eu mysg; ac wedi
hyny y dygais chwi allan,
6 Ac a ddygais eich tadau chwi
allan o'r Aifft: chwi a ddaethoch at y
môr; a'r Aifftiaid a erlidiodd ar ol
eich tadau â cherbydau, ac â gwŷr
meirch, hyd y môr coch.
7 A phan waeddasant ar yr Argl-
wydd, efe a osododd dywyllwch rhyng-
och chwi a'r Aifftiaid, ac a ddyg y
môr arnynt hwy, ac a'u gorchudd-
iodd: eich llygaid chwi a welsant yr
hyn a wnaethym yn yr Aifft: trigas-
och *hefyd* yn yr anialwch ddyddiau
lawer.
8 A mi a'ch dygais i wlad yr Amor-
iaid, y rhai oedd yn trigo o'r tuhwnt

---

addoliad ei hun, yr hwn ni ddyry ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig, Esay xlii. 8. *Ac y cyfrgollir chwi yn ebrwydd o'r wlad dda yma a roddodd efe i chwi*—byddai yn chwanegiad mawr ar eu trueni fod y wlad o'r hon y cyfrgollwyd hwynt yn *wlad dda*, ac yn wlad ag yr oedd *Duw* ei hun newydd ei rhoddi iddynt! Fel hyn, ni fydd i ddim wneuthur dynion yn fwy truenus yn uffern, na'r ystyriaeth mor ddedwydd y gallasent fod yn y nef! Nid oes gan *Gristion* bydol a chnawdol ddim mwy o sail i ddysgwyl arbediad gan gyfiawnder na thrugaredd Duw, nag sydd gan *Iuddew* anfad: gwel ar Rhuf. xi. 20, 21.

PEN. XXIV. Adn. 1. *A Josua a gynullodd holl lwythau Israel*] Yn cynwys cynrychiolwyr y ddau lwyth a hanner yr ochr draw i'r Iorddonen, yn gystal a'r naw llwyth a hanner yn Nghanaan; *i Sichem*—nid yn unig am ei bod yn perthyn i'r Lefiaid, ac yn ddinas noddfa, ac yn agos i ddinas Josua; ond hefyd er mwyn adnewyddu eu cyfammod â Duw, yr hwn yn y lle yma a wnaed gyntaf rhwng Duw ac Abraham, Gen. xii. 6, 7, ac wedi hyny a adnewyddwyd gan yr Israeliaid ar eu mynediad i wlad Canaan, rhwng mynyddoedd Ebal a Garizim, pen. viii. 30, &c., yr hyn oedd ger llaw Sichem: ac am hyny yr oedd y lle hwn yn dra addas i ddwyn ar gof iddynt eu rhwymedigaethau blaenorol i Dduw, ac i gadarnhad pellach o honynt. *Ac a alwodd am henuriaid Israel*—gwel ar pen. xxiii. 2. *A hwy a safasant gerbron Duw*—i wrandaw beth oedd gan Josua i'w ddywedyd wrthynt yn enw Duw, ac i dderbyn gorchymynion Duw o'i enau ef. Tybia rhai i Josua ddwyn y babell a'r arch o Silo i Sichem ar yr achlysur hwn, er gosod mwy o fawredd santaidd ar ei gyfarfyddiad olaf hwn â'r bobl: modd bynag, ymddengys fod llyfr y gyfraith wedi ei ddwyn yno, adn. 26, yr hwn a gedwid wrth ystlys yr arch, Deut. xxxii. 26.

Adn. 2. *Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel*] Y mae Josua yma yn llefaru yn enw yr Arglwydd, fel yr arferai y proffwydi wneuthur; yr hyn sydd yn brawf ei fod yntau yn broffwyd y pryd hwn o leiaf, a than ddwyfol ysbrydoliaeth. *Tuhwnt i'r afon*—sef yr Euphrates, *y trigodd eich tadau*—yn Ur y Caldeaid, Gen. xi. 31. *A hwy a wasanaethasant dduwiau dyeithr*—fel ereill o ddynolryw. Dywedir hyn i ragflaenu eu hymffrost gwâg hwy yn eu henafiaid; ac i ddangos iddynt fod pa ddaioni bynag ag ydoedd yn, neu a wnaed gan, eu henafiaid, yn deilliaw yn unig o rad ras Duw, ac nid oddiwrth eu haeddiant neu eu cyfiawnder eu hunain.

Adn. 3. *A mi a gymerais eich tad Abraham*] A'i cipiais ef o'r lle eilunaddolgar hwnw; *ac a'i harweiniais ef trwy holl wlad Canaan*—fel y gallai weled y wlad ag yr oedd ei had i'w hetifeddu; *amlheais hefyd ei had ef*—hiliogaeth Ismael, Gen. xvii. 20, a meibion Cetura, Gen. xxv. 1, &c.; *ac a roddais iddo Isaac*—i fod yn etifedd fy nghyfammod a'i fendithion.

Adn. 4. *I Esau y rhoddais fynydd Seir*] Fel y byddai iddo adael Canaan yn hollol i'w frawd Jacob, Gen. xxxvi. 6—8. *Ond Jacob a'i feibion a aethant i waered i'r Aifft*—yn cael eu gyru gan newyn tost, am nad oedd yr amser wedi dyfod pryd yr oedd Duw yn bwriadu eu sefydlu hwy yn ngwlad yr addewid.

Adn. 5. *A mi a anfonais Moses ac Aaron*] I ofyn am ollyngdod Israel o law Pharao, ac i fod yn waredwyr iddynt o'r Aifft. *Ac a darewais yr Aifftiaid*—â'r deg pla, Exod. vii. 20, &c.

Adn. 6, 7. *Ac a ddygais eich tadau chwi allan o'r Aifft*] Y mae y geiriau hyn yn eglurhad ar y frawddeg olaf yn adn. 5, lle y dywedir, 'dygais *chwi* allan,' yr hyn oedd wir am ychydig o'r rhai hynaf o honynt; ond yma dywedir, 'dygais eich *tadau*,' yr hyn oedd wir am bawb a waredwyd o'r Aifft. *A'r Aifftiaid a erlidiodd ar ol eich tadau*—gwel yr hanes yn Exod. xiv. 6, &c.

Adn. 8. *A mi a'ch dygais i wlad yr Amor-*

i'r Iorddonen; a hwy a ymladdasant
i'ch erbyn: a myfi a'u rhoddais hwynt
yn eich llaw chwi, fel y meddiannas-
och eu gwlad hwynt; a minau a'u
dyfethais hwynt o'ch blaen chwi.
9 Yna Balac mab Sippor brenin
Moab, a gyfododd, ac a ryfelodd yn
erbyn Israel; ac a anfonodd, ac a
alwodd am Balaam fab Beor, i'ch
melldigo chwi.
10 Ond ni fynwn i wrando ar Ba-
laam; am hyny gan fendithio y ben-
dithiodd efe chwi: felly y gwaredais
chwi o'i law ef.
11 A chwi a aethoch dros yr Ior-
ddonen, ac a ddaethoch i Jericho: a
gwŷr Jericho a ymladdodd i'ch erbyn,
yr Amoriaid, a'r Phereziaid, a'r Ca-
naaneaid, a'r Hethiaid, a'r Girgasiaid,
yr Hefiaid, a'r Jebusiaid; a mi a'u
rhoddais hwynt yn eich llaw chwi.
12 A mi a anfonais gacwn o'ch blaen
chwi, a'r *rhai hyny* a'u gyrodd hwynt
allan o'ch blaen chwi; *sef* dau frenin
yr Amoriaid: nid â'th gleddyf di, ac
nid â'th fwa.
13 A mi a roddais i chwi wlad ni
lafuriasoch am dani, a dinasoedd y
rhai nid adeiladasoch, ac yr ydych yn
trigo ynddynt: o'r gwinllanoedd, a'r
olewlanoedd, ni phlanasoch, yr ydych
yn bwyta o honynt.
14 ¶ Yn awr gan hyny ofnwch yr
Arglwydd, a gwasanaethwch ef mewn
perffeithrwydd a gwirionedd, a bwr-
iwch ymaith y duwiau a wasanaeth-
odd eich tadau o'r tuhwnt i'r afon, ac
yn yr Aifft; a gwasanaethwch chwi
yr Arglwydd.
15 Ac od yw ddrwg yn eich golwg
wasanaethu yr Arglwydd, dewiswch
chwi heddyw pa un a wasanaethoch,
ai y duwiau a wasanaethodd eich tad-
au, y rhai *oedd* o'r tuhwnt i'r afon, ai

---

*iaid*] Sef gwlad Sehon ac Og: gwel ar Num. xxi. 13, &c.

Adn. 9. *Yna Balac—a ryfelodd yn erbyn Israel*] Hyny yw, efe a fwriadodd ryfela; a chyfrifir y bwriad yn weithred yma; canys nid oes genym hanes yn Num. xxii. ddarfod i'r Moabiaid ymosod ar yr Israeliaid. Neu dichon nad yw y *rhyfela* yma yn arwyddo dim mwy nag ymgais Balac i ddyfetha Israel trwy regfeydd Balaam ac ystrywiau y Moabesau.

Adn. 10. *Ond ni fynwn i wrandaw ar Balaam*] Ymddengys oddiwrth hyn fod gan Balaam duedd gref i wneyd ewyllys Balac, a darfod iddo ofyn cenad gan Dduw i regi Israel; ac am hyny nid rhyfedd fod Duw, yr hwn ni wnaeth ond goddef iddo fyned, mor ddigllon wrtho am fyned gyda'r fath fwriad drygionus: gwel yr hanes, Num. xxii—xxiv.

Adn. 11. *A gwŷr Jericho a ymladdodd i'ch erbyn*] Nid mewn brwydr, ond trwy geisio dal yr yspiwyr, a chau pyrth eu dinas yn erbyn Israel, a thaflu saethau a cherig atynt oddiar y muriau, fel y tybia rhai: gwel ar pen. vi. 1, &c.

Adn. 12. *A mi a anfonais gacwn o'ch blaen chwi*] Megys ag yr addawyd, Exod. xxiii. 28. Dywedir yma i hyn gael ei wneuthur yn y rhyfel â Sehon ac Og: a thybia llawer i'r creaduriaid hyn gael eu defnyddio yn y rhyfeloedd â'r Canaaneaid hefyd, i'w taflu hwynt i boen a dyryswch, ac felly roddi i Israel fuddugoliaeth hawdd arnynt; neu i'w blino hwy cyn y rhyfel, fel ag i'w gorfodi i adael eu gwlad.

Adn. 13. *A mi a roddais i chwi wlad ni lafuriasoch am dani*] Am ei ffrwythau hi, trwy ei gwrteithio, ei haredig, na'i hau; neu ni lafuriasoch i'w haeddu hi. *A dinasoedd y rhai nid adeiladasoch*—ond a gawsoch wedi eu hadeiladu yn barod: gwel ar Deut. vi. 10, 11.

Adn. 14. *Yn awr gan hyny*] Gan iddo wneuthur y fath bethau mawrion a daionus i chwi, *ofnwch yr Arglwydd*—gydag ofn parchedig a mabaidd; *a gwasanaethwch ef mewn perffeithrwydd a gwirionedd*—â'ch holl galon, ac yn ol y cyfarwyddiadau a roddodd efe yn ei gyfraith; *a bwriwch ymaith y duwiau a wasanaethodd eich tadau*—yn Caldea, adn. 2, ac yn yr Aifft. Ymddengys oddiyma, er i Josua yn ddiamau garthu ymaith bob eilunaddoliaeth cyhoeddus o'u plith, eto fod rhai o'r bobl yn cadw fyth ryw greiriau o dduwiau eu henafiaid yn eu pebyll, a'u bod o hyd yn talu rhyw fath ar barch neu addoliad iddynt!

Adn. 15. *Ac od yw ddrwg yn eich golwg wasanaethu yr Arglwydd*] Os yw hyny yn flin, yn anhyfryd, ac yn faich, ac nid yn hyfrydwch ac yn llawenydd eich calon; os ydych yn meddwl ei fod yn beth drwg, annghyfiawn, ac afresymol, i chwi addoli yr Arglwydd yr hwn a'ch gwnaeth, ac a wnaeth gymaint eroch. *Dewiswch iwch' heddyw pa un a wasanaethoch*—yn ei le ef; canys y mae yn rhesymol i greadur moesol a chyfrifol gael rhyw wrthddrych addoliad. *Ai y duwiau a wasanaethodd eich tadau*—y rhai y mae rhai o honynt yn awr yn eich tai, adn. 15, 23; *ai ynte duwiau yr Amoriaid*—megys Baal-Peor neu Priapus, Astaroth neu Venus, &c. Nid ydym i feddwl fod Josua yn eu gadael hwy at eu *rhyddid* i ddewis yr un a fynent ai gwasanaeth Duw ynte gwasanaeth eilunod; canys nid oedd gan Josua y fath ryddid ei hun, ac ni allai ei roddi i neb arall; ond yr oedd ef a hwythau yn *rhwym*, wrth gyfraith Moses a chyfraith y nef, i addoli Jehofa yn unig, gan gilio oddiwrth bob eilunaddoliaeth, a'i gospi i'r eithaf yn mhawb ereill. Eithr ei eiriau ef sydd awgrymiad grymus fod addoli Duw yn beth mor dra rhesymol, angenrheidiol, a buddiol, a gwasanaethu eilunod yn beth mor afresymol, diles, a niweidiol, fel pe gadewid pob dyn yn rhydd at ei ddewisiad, y byddai raid i bawb yn eu hiawn bwyll ddewis gwasanaeth Duw o flaen eiddo eilunod. Felly y mae efe yn eu hannog hwynt i ymlyniad cryfach wrth

ynte duwiau yr Amoriaid, y rhai yr
ydych yn trigo yn eu gwlad: ond
myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn
yr Arglwydd.
16 Yna yr atebodd y bobl, ac y dy-
wedodd, Na ato Duw i ni adael yr
Arglwydd, i wasanaethu duwiau dy-
eithr.
17 Canys yr Arglwydd ein Duw *yw*
yr hwn a'n dyg ni i fyny a'n tadau o
wlad yr Aifft, o dŷ y caethiwed; a'r
hwn a wnaeth y rhyfeddodau mawr-
ion hyny yn ein gwydd ni, ac a'n cad-
wodd ni yn yr holl ffordd y rhodias-
om ynddi, ac yn mysg yr holl bobl-
oedd y tramwyasom yn eu plith.
18 A'r Arglwydd a yrodd allan yr
holl bobloedd, a'r Amoriaid, preswyl-
wyr y wlad o'n blaen ni: *am hyny*
ninau a wasanaethwn yr Arglwydd;
canys efe *yw* ein Duw ni.
19 A Josua a ddywedodd wrth y
bobl, Ni ellwch wasanaethu yr Ar-
glwydd; canys Duw santeiddiol *yw*
efe: Duw eiddigus yw; ni ddy-
oddef efe eich anwiredd, na'ch pech-
odau.
20 O gwrthodwch yr Arglwydd, a
gwasanaethu duwiau dyeithr; yna
efe a dry, ac a'ch dryga chwi, ac efe
a'ch difa chwi, wedi iddo wneuthur i
chwi ddaioni.
21 A'r bobl a ddywedodd wrth Jo-
sua, Nage; eithr ni a wasanaethwn
yr Arglwydd.
22 A dywedodd Josua wrth y bobl,
Tystion *ydych* yn eich erbyn eich hun,
ddewis o honoch i chwi yr Arglwydd
i'w wasanaethu. Dywedasant hwy-
thau, Tystion *ydym.*
23 Am hyny yn awr *(eb efe)* bwr-
iwch ymaith y duwiau dyeithr *sydd*

---

Dduw trwy eu dewisiad eu hunain. *Ond myfi, mi a'm tylwyth*—efe a'i berthynasau, neu ei weinidogion, y rhai oeddynt yn byw yn ei dŷ ef; canys nid ymddengys fod ganddo ef blant, na darfod iddo erioed briodi. *A wasanaethwn yr Arglwydd*—y Meistr goraf o bawb. Fel pe dywedasai, Os bydd i chwi oll fod mor halogedig a direswm fel ag i ddewis eilunod meirwon a gwael o flaen y gwir a'r bywiol Dduw, fy mhenderfyniad diysgog i yw, y bydd i mi, a'm teulu hefyd cyn belled ag y gallaf fi ddylanwadu arnynt, fod yn ffyddlon a chyson yn ngwasanaeth yr Arglwydd hyd ein bedd.

Adn. 16. *Yna yr atebodd y bobl*] Bawb o honynt fel âg un genau, *Na ato Duw i ni adael yr Arglwydd*—ffieiddient y meddwl o wasanaethu eilunod yn lle yr Arglwydd; a gweddient fel hyn na byddai i Dduw byth adael iddynt wneyd peth mor ffol a drygionus.

Adn. 17, 18. *Canys yr Arglwydd ein Duw yw yr hwn a'n dyg ni i fyny, &c.*] Yma y maent yn cydnabod yr hyn a wnaethai Duw iddynt hwy a'u tadau, megys y nodwyd uchod, adn. 6—13, fel rheswm dros beidio gadael ei wasanaeth ef.

Adn. 19. *Ni ellwch wasanaethu yr Arglwydd*] Nid yw Josua yn cyfeirio at hollol anallu *naturiol*, canys felly buasai ei benderfyniad ef ei hun i wasanaethu yr Arglwydd, a'i gynghor iddynt hwythau wneuthur hyny, yn gwbl ofer; ond at anallu *moesol*, neu anhawsder mawr, yr hyn a grybwylla efe, nid i'w digaloni hwy yn ngwasanaeth Duw, ond i'w hannog i fwy o ymdrech. Gan hyny rhaid deall y geiriau mewn un o'r tair ffordd hyn: (1) Ni *wnewch* wasanaethu yr Arglwydd: yr wyf yn rhagweled na fydd i chwi gadw eich gair, am y bydd i'ch llygredd a'ch hudoliaethau eich attal. Neu, (2) Y mae y peth yn *anhawdd*, ac yn gofyn mwy o wroldeb a sel nag yr ydych yn ei feddwl. Neu ynte, (3) Ni *ellwch*, am ei fod ef yn Dduw santaidd ac eiddigus, *oddieithr* i chwi fwrw ymaith y duwiau a wasanaethodd eich tadau tuhwnt i'r afon. *Canys Duw santeiddiol yw efe*—yr hwn sydd lanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg, Hab. i. 13. *Duw eiddigus yw*—dros ei anrhydedd a'i ogoniant, ei wasanaeth a'i addoliad, ac am hyny rhaid i chwi fwrw ymaith y duwiau dyeithr sydd yn eich mysg, adn. 23. *Ni ddyoddef ef eich anwireddau na'ch pechodau*—os bydd i chwi, y rhai ydych bobl iddo ac yn ei wasanaeth, droseddu yn wirfoddol ei gyfreithiau ef, ni âd efe i hyny ddianc yn ddigosp ynoch chwi mwy nag mewn ereill: gan hyny ystyriwch pa beth yr ydych yn ei wneuthur wrth gymeryd JEHOFA yn Dduw i chwi.

Adn. 20. *O gwrthodwch yr Arglwydd*] Ar ol i chwi unwaith ei ddewis ef a'i addoliad; *yna efe a dry, ac a'ch dryga chwi*—a newidia ei ymddygiad tuag atoch, ac a fydd mor lym ag y bu erioed yn dirion a grasol. *Efe a'ch difa chwi, wedi iddo wneuthur i chwi ddaioni*—efe a edifarha am ei diriondeb blaenorol, a'i ddaioni camddefnyddiedig a dry yn llidiogrwydd angherddol. Deddf annghyfnewidiol JEHOFA yw, 'Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi, a'm dirmygwyr a ddirmygir,' 1 Sam. ii. 30.

Adn. 21. *Nage*] Hyny yw, ni wrthodwn yr Arglwydd, ac ni wasanaethwn dduwiau dyeithr, adn. 20; *eithr ni a wasanaethwn yr Arglwydd*—ac ef yn unig, fel na byddo iddo ein difa na'n drygu. Felly nid oeddynt hwy yn deall geiriau Josua fel yn cynwys anallu naturiol, adn. 19.

Adn. 22. *Tystion ydych yn eich erbyn eich hun*] Fel pe dywedasai Josua, A ydych chwi yn foddlon i'r ardystiad deublyg hwn a wnaethoch heddyw (adn. 18, 21) godi yn eich erbyn fel anudoniaeth, os bydd i chwi ar ol hyn wrthod yr Arglwydd? *Tystion ydym*—yr ydym yn ystyried yr ardystiad hwn fel llw o ffyddlondeb i'r Arglwydd.

Adn. 23. *Am hyny yn awr*] Ebai Josua, gan eich bod wedi tyngu llw o ffyddlondeb o'r newydd i wasanaethu yr Arglwydd, ac ef yn unig; *bwriwch ymaith y duwiau dyeithr sydd yn eich mysg*—dechreuwch ddangos eich ffydd-

yn eich mysg, a gostyngwch eich
calon at Arglwydd Dduw Israel.
24 A'r bobl a ddywedasant wrth
Josua, Yr Arglwydd ein Duw a was-
anaethwn, ac ar ei lais ef y gwran-
dawn.
25 Felly Josua a wnaeth gyfammod
â'r bobl y dwthwn hwnw, ac a osod-
odd iddynt ddeddfau, a barnedigaeth-
au, yn Sichem.
26 ¶ A Josua a ysgrifenodd y geir-
iau hyn yn llyfr cyfraith Dduw, ac a
gymerth faen mawr, ac a'i gosododd
i fyny yno dan dderwen *oedd* yn agos
i gysegr yr Arglwydd.
27 A Josua a ddywedodd wrth yr
holl bobl, Wele, y maen hwn fydd yn
dystiolaeth i ni: canys efe a glywodd
holl eiriau yr Arglwydd, y rhai a lef-
arodd efe wrthym: am hyny y bydd
efe yn dystiolaeth i chwi, rhag i chwi
wadu eich Duw.
28 Felly Josua a ollyngodd y bobl,
bob un i'w etifeddiaeth.
29 ¶ Ac wedi y pethau hyn, y bu
farw Josua mab Nun, gwas yr Argl-
wydd, yn fab dengmlwydd a chant.
30 A hwy a'i claddasant ef yn nher-
fyn ei etifeddiaeth, o fewn Timnath-
serah; yr hon *sydd* yn mynydd Eph-
raim, o du y gogledd i fynydd Gaas.
31 Ac Israel a wasanaethodd yr

londeb iddo ef trwy daflu y rhai hyn 'i'r wâdd ac i'r ystlumod:' gwel ar adn. 14. Dengys hyn yn amlwg fod Josua yn broffwyd, yn gallu darllen tueddiadau eilunaddolgar eu meddyliau, yn gystal a'u harferion dirgel gartref, er eu bod yn gyhoeddus yn addolwyr y gwir Dduw. *A gostyngwch eich calon at Arglwydd Dduw Israel*—ymadrodd rhyfedd yw hwn, fod iddynt *ostwng* eu calon at un *uwch* na hwynt; fel pe buasent yn eu hystyried eu hunain, neu eu duwiau cartrefol, yn *uwch* na Chreawdwr y bydoedd!

Adn. 24. *A'r bobl a ddywedasant wrth Josua*] Y drydedd waith, fel y byddai y peth yn eithaf safadwy trwy dystiolaeth driphlyg, adn. 18, 21.

Adn. 25. *Felly Josua a wnaeth gyfammod â'r bobl*] Yn llythyrenol, 'a *dorodd* y cyfammod,' gan gyfeirio at yr *aberth* a offrymid ac a *holltid* ar yr achlysur: gwel ar Gen. xv. 10. *Ac a osododd iddynt ddeddfau a barnedigaethau*—hyny yw, gwnaeth y cyfammod hwn yn ddeddf a barnedigaeth rwymedig arnynt o'r newydd; neu adroddodd ac adnewyddodd ddeddfau Moses, yn foesol a seremonïol, fel rheolau ac ammodau y cyfammod hwn. Modd bynag, nid ydym i feddwl ddarfod i Josua osod unrhyw ddeddfau na barnedigaethau newyddion iddynt.

Adn. 26. *A Josua a ysgrifenodd y geiriau hyn*] Sef y cyfammod hwn, neu y cytundeb rhwng y bobl a'r Arglwydd, yn nghyda chofnodiad o'i gadarnhad trwy hollti aberth: gwel ar adn. 27. *Yn llyfr cyfraith Dduw*—yr hwn a ysgrifenwyd gan Moses, ac a gedwid ar ystlys yr arch, (Deut. xxxii. 9, 26,) yr hon oedd yn awr wedi ei dwyn o Silo i Sichem, oddeutu wyth milldir o ffordd. Y mae yn debygol i'r un geiriau gael eu hysgrifenu hefyd yn yr holl ailunau ag oeddynt yn mhlith y llwythau, os nid ar y maen hefyd. *Ac a gymerth faen mawr*—i fod yn dyst a chofeb o'r weithred hon, yn ol arferiad yr hen amseroedd hyny. *Ac a'i gosododd i fyny yno dan dderwen*—dan yr un dderwen, meddai yr Iuddewon, ag y cuddiasai Jacob y duwiau dani, Gen. xxxv. 4. *Yn agos i gysegr yr Arglwydd*—gerllaw y fan lle yr oedd yr arch a'r tabernacl y pryd hyny. Er y gwaherddid i'r Israeliaid blanu llwyn yn ymyl yr allor, fel y gwnai y cenhedloedd; eto gallent godi allor, neu osod yr arch, am dro, yn ymyl rhyw goeden fawr a blanesid yno o'r blaen.

Adn. 27. *Wele, y maen hwn fydd yn dystiolaeth i ni*] O'r cyfammod a wnaed yn awr, fel y garnedd gerig rhwng Laban a Jacob, Gen. xxxi. 48. *Canys efe a glywodd holl eiriau yr Arglwydd*—y rhai a lefarodd efe trwy enau Josua, adn. 2—13; yn gystal a geiriau *Josua*, adn. 14, 15, 19, 20, 22, 23; a geiriau y *bobl* hefyd, adn. 16—18, 21, 24. Hwn sydd ddull cyffelybiaethol o lefaru, fel pe buasai y maen yn ddyn, ac yn clywed yr hyn oll a ddywedwyd yn ngwneuthuriad y cyfammod hwn. Awgrymir yma, os byddai iddynt hwy annghofio y geiriau a thori y cyfammod hwn, y byddent yn fwy caled a dideimlad na'r gareg farw. Tybia rhai fod y maen hwn yn cynrychioli Crist, yr hwn yn fynych a elwir yn *faen*, ac mai efe oedd y tyst o'r cyfammod hwn.

Adn. 28. *Felly Josua a ollyngodd y bobl*] Gan ymadael yn heddychol a brawdol â hwy am y waith olaf yn y byd hwn; *bob un i'w etifeddiaeth*—yn ngwahanol barthau y wlad, a thuhwnt i'r Iorddonen. Y mae y LXX yn dodi adn. 31 i ddylyn yr adnod hon.

Adn. 29. *Ac wedi y pethau hyn*] Sef yn ebrwydd ar ol hyny; *y bu farw Josua*—yn heddwch Duw, ar ol gorphen ei waith yn ffyddlon; *yn fab dengmlwydd a chant*—yr un oed a Joseph o'r hwn yr hanasai, a deng mlynedd yn ieuangach na Moses.

Adn. 30. *A hwy a'i claddasant ef yn nherfyn ei etifeddiaeth*] Canys nid oeddid yn claddu mewn dinasoedd a threfi yn yr amseroedd hyny. *O fewn Timnath-serah*—yr hon oedd ei etifeddiaeth ef ei hun, pen. xix. 50, ac yn cynwys y ddinas a'i hamgylchoedd. Y mae y LXX yn chwanegu yma, *A dodasant gydag ef yno, yn y bedd yn yr hwn y claddasant ef, y cyllyll cerig â'r rhai yr enwaedodd efe blant Israel yn Gilgal, megys y gorchymynodd yr Arglwydd wrth eu dwyn hwynt allan o'r Aifft; ac y maent yno hyd heddyw.* Y mae St. Awstin yn dyfynu y geiriau hyn yn ei ddegfed cwestiwn ar hugain ar lyfr Josua, y rhai yn debygol a gymerth efe o ryw ailun o eiddo y LXX. Y mae yn bur hynod nad oes dim hanes am unrhyw alar cyhoeddus am farwolaeth y cadfridog enwog hwn, nac ychwaith am Eleazar. Y mae yn debyg, gan iddo gael

Arglwydd holl ddyddiau Josua, a holl ddyddiau yr henuriaid a fu fyw ar ol Josua, ac a wybuasant holl waith yr Arglwydd a wnaethai efe er Israel.

32 ¶ Ac esgyrn Joseph y rhai a ddygasai meibion Israel i fyny o'r Aifft, a gladdasant hwy yn Sichem, mewn rhan o'r maes a brynasai Jacob gan feibion Hemor tad Sichem, er can darn o arian; a bu i feibion Joseph yn etifeddiaeth.

33 ¶ Ac Eleazar mab Aaron a fu farw: a chladdasant ef yn mryn Phinees ei fab, yr hwn a roddasid iddo ef yn mynydd Ephraim.

---

ei gladdu o fewn ei etifeddiaeth ei hun, ddarfod iddo wahardd pob rhwysg anghladdol, a pheri iddynt ei gladdu yn ddirgel.

Adn. 31. *Ac Israel a wasanaethodd yr Arglwydd holl ddyddiau Josua*] Er fod eilunaddoliaeth dirgelaidd yn eu plith, adn. 14, 23, eto nid oedd dim eilunaddoliaeth cyhoeddus neu gyffredinol holl ddyddiau Josua; *a holl ddyddiau yr henuriaid*—y rhai a fuont byw ar ol Josua. Tybia Calmet fod hyn yn cynwys oddeutu pymtheg mlynedd yn unig, gan fod y rhan fwyaf o'r henuriaid mewn gwth o oedran pan fu farw Josua. Tra yr oedd Josua yn fyw, yr oedd crefydd yn cael ei chadw i fyny dan ei ofal a'i ddylanwad ef; ond ar ol iddo ef a'r henuriaid farw, buan y dirywiodd. Mor dda i'r eglwys Gristionogol ydyw fod Crist, ein Josua bendigedig ni, fyth gyda hi trwy ei Ysbryd, ac y bydd iddo yn barhaus fod hyd ddiwedd y byd! Mat. xxviii. 20.

Adn. 32. *Ac esgyrn Joseph*] Yr hwn a fuasai farw er's yn agos i ddau gant o flynyddau cyn hyn yn yr Aifft, ac a 'roddasai orchymyn am ei esgyrn,' na fyddai iddynt orphwys mewn bedd nes i Israel orphwys yn ngwlad yr addewid. *A ddygasai meibion Israel i fyny o'r Aifft*—gan eu cario gyda hwy yn eu holl deithiau a'u crwydriadau: gwel ar Gen. l. 25, 26, Exod. xiii. 19, Heb. xi. 22. *A gladdasant hwy yn Sichem*—cymerodd y claddiad hwn le ond odid yn ebrwydd ar ol iddynt orchfygu Canaan, a'i rhanu rhwng y llwythau; canys nid yw yn debyg ddarfod i hyn gael ei oedi hyd ar ol marwolaeth Josua. Modd bynag, tybia rhai mai ar y cynulliad diweddaf hwn o gynrychiolwyr Israel yn Sichem y claddwyd esgyrn Joseph; ac mai hyn oedd un rheswm o eiddo Josua dros alw am danynt yno, adn. 1. *Mewn rhan o'r maes a brynasai Jacob gan feibion Hemor tad Sichem*—gwel ar Gen. xxxiii. 19. *A bu i feibion Joseph yn etifeddiaeth*—yn enwedig i lwyth Ephraim wrth goelbren.

Adn. 33. *Ac Eleazar mab Aaron a fu farw*] Ond odid oddeutu yr un amser a Josua, neu yn fuan wedi hyny; er y tybia rhai iddo ei orfucheddu ef chwe blynedd. Dywed yr Iuddewon i Eleazar gasglu Israel yn nghyd ychydig cyn marw, i'w cynghori hwy i lynu wrth yr Arglwydd, megys y gwnaethai Josua; ac yna iddo ddyosg ei wisgoedd archoffeiriadol oddiam dano, a'u gwisgo am Phinees ei fab. *A chladdasant ef yn mryn Phinees ei fab*—â'r hwn ond odid yr anrhegwyd Phinees, fel arwydd o barch yr holl genedl iddo am ei sel, ei wroldeb, a'i ddefnyddioldeb; ac fel y byddai yn fwy cyfleus iddo i fod gyda'r *arch*, yr hon oedd y pryd hyn yn Silo, yn agos i'r lle hwnw; tra yr oedd y dinasoedd a roddwyd i'r offeiriaid yn rhandiroedd Juda, Benjamin, a Simeon, yn mhell o Silo, ond yn agos i Jerusalem, lle yr oedd yr arch wedi hyn i gael ei sefydlu. —Yn niwedd y bennod hon y mae y LXX yn chwanegu y tair adnod ganlynol: '34 Y dydd hwnw meibion Israel, gan gymeryd i fyny arch cyfammod Duw, a'i dygasant hi gyda hwy oddi amgylch: a Phinees a fu yn archoffeiriad yn lle ei dad hyd ei farwolaeth; ac efe a gladdwyd yn Gabaath, yr hon a berthynai iddo ei hun. 35 Yna meibion Israel a aethant bob un i'w le ei hun, ac i'w ddinas ei hun. 36 A meibion Israel a addolasant Astarte ac Astaroth, a duwiau y cenhedloedd oddiamgylch: a'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn nwylaw Eglon brenin Moab, ac efe a ormesodd arnynt ddeunaw mlynedd.'

Adfeddyliadau.—Addefir yn gyffredin i'r pum adnod ddiweddaf yn y bennod hon, sef adn. 29—33, yn gystal a'r tair adnod uchod y rhai a geir yn nghyfieithiad y LXX, pa un bynag ai eu bod yn ddilys ai peidio, gael eu hysgrifenu gan law ddiweddarach nag eiddo Josua; canys ni all neb roddi hanes am ei farwolaeth a'i gladdedigaeth ei hun. Gallasai Eleazar ysgrifenu y pedair gyntaf, neu gallasai Phinees neu Samuel eu chwanegu hwynt, i ddwyn yr hanes i lawr fel ag i'w chysylltu â'u hamserau eu hunain, ac felly gadw llinyn yr hanesiaeth yn ddidor. Y mae hyn yn beth cyffredin: cawn lawer o ddynion yn ysgrifenu hanesion eu bywydau eu hunain, y rhai, yn yr amgylchiadau olaf, a orphenir gan ereill; a phwy erioed a feddyliodd am gyhuddo dilysrwydd y rhan flaenaf, am fod y rhan ddiweddaf yn waith llaw wahanol? Ni ddarfu i attodiad *Hirtius* erioed ddiddymu dilysrwydd *Esboniadau Cæsar;* na gwaith *Quintus Smyrnæus*, eiddo *Iliad* ac *Odyssey Homer;* na'r trydydd llyfr ar ddeg o'r *Æneid*, gan *Mapheus Viggius*, ddilysrwydd y deuddeg blaenorol, fel gwir waith *Virgil*. Dylem fod yn ddiolchgar fod llaw gyfaddas a ffyddlon wedi chwanegu y pethau hyny nas gallai yr awdwr gwreiddiol eu hysgrifenu, ac heb ba rai y buasai y gwaith yn ammherffaith. Gwel y rhagarweiniad i lyfr Josua.

# LLYFR
# Y BARNWYR.

Y BARNWYR oeddynt yr ynadon goruchel a reolent y genedl Hebreaidd o yn fuan ar ol dyddiau Josua hyd amser Saul. Y llywodraeth y pryd hyny oedd *Dduwlywiadaeth*, canys JEHOFA ei hun oedd eu Brenin; a'r BARNWYR oeddynt ei raglawiaid ef, y rhai a ddewisai efe, mewn achos o drallod a pherygl gwladwriaethol, i lywio ac arwain Israel cyn iddynt gael brenin. Yr oeddynt rywbeth yn debyg i *suffetes* y Carthaginiaid, *archons* yr Atheniaid, a *dictators* yr hen Rufeiniaid. Nid oeddynt yn llywodraethwyr trefdadol, ac nid oedd y swydd yn un barhaus, eithr yn bodoli pan fyddai achos am dani; canys yr oedd amserau pryd na feddai y genedl farnwyr, fel y cawn weled yn nghorff yr hanes. Fel brenhinoedd, y barnwyr a wnaent heddwch neu ryfel; a hwy a ddialent anrhydedd Duw yn erbyn eilunaddoliaeth. Ni chodent deyrnged, eithr eu cyllid oedd gynwysedig mewn anrhegion. Parhausant mewn awdurdod, yn ol *Lightfoot* ac ereill, am 299 o flynyddau, yn ol ereill 309, ac yn ol ereill 339; ond y mae yr amser cywir yn dra anhawdd ei benderfynu: gwel ar Act. xiii. 20. Bu 16 o farnwyr o Othniel hyd Samuel, am yr oll o ba rai y darllenwn yn y llyfr hwn oddieithr y ddau olaf, Eli a Samuel, y rhai y cawn eu hanes yn llyfr cyntaf Samuel. Cafodd ysgrifeniad y llyfr hwn ei briodoli i *Phinees*, *Hezecia*, *Ezeciel*, ac *Ezra*; eithr y dyb gyffredin yn awr yw, mai *Samuel* a'i hysgrifenodd, yr hwn oedd yr olaf o'r barnwyr. Heb y llyfr hwn nis gallasai hanes plant Israel fod yn berffaith a chyflawn. Cynwysa, (1) Hanes y genedl tra y bu yr henuriaid a gydoesent â Josua yn fyw, pen. i a ii. (2) Helyntion y genedl dan lywodraeth y barnwyr o Othniel hyd Samson, pen. iii—xvi. (3) Hanes llygriad y genedl ar ol marwolaeth Josua, ei heilunaddoliaeth, a'r trueni a ddaeth ar lwyth Benjamin yn ganlynol i'w gweithred ysgeler i ordderchwraig y Lefiad, pen. xvii—xxi.

## PENNOD I.

AC wedi marw Josua, meibion Israel a ymofynasant â'r Arglwydd, gan ddywedyd, Pwy a â i fyny drosom ni yn erbyn y Canaaneaid yn flaenaf, i ymladd â hwynt?

2 A dywedodd yr Arglwydd, Juda a â i fyny: wele, rhoddais y wlad yn ei law ef.

3 A Juda a ddywedodd wrth Simeon ei frawd, Tyred i fyny gyda mi i'm rhandir, fel yr ymladdom yn erbyn y Canaaneaid; a minau a âf gyda thi i'th randir dithau. Felly Simeon a aeth gydag ef.

4 A Juda a aeth i fyny; a'r Arglwydd a roddodd y Canaaneaid a'r Phereziaid yn eu llaw hwynt: a lladdasant o honynt, yn Bezec, ddengmil o wŷr.

5 A hwy a gawsant Adoni-bezec yn Bezec: ac a ymladdasant yn ei erbyn; ac a laddasant y Canaaneaid a'r Phereziaid.

6 Ond Adoni-bezec a ffôdd; a hwy a erlidiasant ar ei ol ef, ac a'i dalias-

---

PEN. I. Adn. 1. *Ac wedi marw Josua*] Pa mor fuan ar ol marw Josua y dygwyddodd hyn nis gallwn ddywedyd; ond y mae yn debyg nad yn hir. *Meibion Israel a ymofynasant â'r Arglwydd*—yn Silo, trwy yr Urim a'r Thummin gan yr archoffeiriad. *Pwy a â i fyny drosom ni yn erbyn y Canaaneaid yn flaenaf*—nid pa ŵr a gymerai y flaenoriaeth yn lle Josua a feddylir, eithr pa lwyth a ymosodai gyntaf ar y Canaaneaid gweddill. Dymunent gael meddwl Duw am y peth, fel y ffordd sicraf i lwyddo; ac os llwyddent yn yr ymosodiad cyntaf ar ol colli eu blaenor, byddai hyny yn galondid i'r llwythau ereill yn eu gwahanol randiroedd. Fel yr oedd Israel yn awr yn lluosogi, yr oedd arnynt eisiau ychwaneg o dir a dinasoedd; ac eiddynt hwy oedd y cwbl, ond iddynt yru y Canaaneaid ymaith.

Adn. 2. *Juda a â i fyny*] Am mai efe oedd y llwyth lluosocaf, cryfaf, a mwyaf dewr, a'r tebycaf o lwyddo, yr hyn a fyddai yn galondid i'r lleill. Hefyd yr oedd y Canaaneaid yn lluosog a chryfion yn y parthau hyny, ac yr oedd yn angenrheidiol iddynt gael eu trechu cyn iddynt fyned yn rhy gryfion. *Wele, rhoddais y wlad yn ei law ef*—sef y rhandir perthynol iddo. Yr oedd hyn yn annogaeth gref i Juda cyn dechreu ar ei ymosodiad.

Adn. 3. *A Juda a ddywedodd wrth Simeon ei frawd*] Yr oedd y ddau lwyth hyn yn berthynasau agos, trwy fod eu tadau, Juda a Simeon, yn frodyr o'r un tad a mam. Hefyd, yr oeddynt yn byw yn agos i'w gilydd, trwy fod etifeddiaeth Simeon o fewn etifeddiaeth Juda, pen. xix. 1. *Felly Simeon a aeth gydag ef*—ymunodd y ddwy fyddin dan un cadfridog cyffredinol.

Adn. 4. *A'r Arglwydd a roddodd y Canaaneaid a'r Phereziaid yn eu llaw hwynt*] Y mae y *Canaaneaid* yma yn arwyddo un o'r saith lwyth Canaaneaidd, i'w wahaniaethu oddiwrth y Phereziaid. *Yn Bezec*—yr oedd dinas o'r enw yma yn llwyth Manasse, lle yr oedd y Phereziaid yn cartrefu; (gwel y darlunleni;) a rhaid fod un arall yn llwyth Juda, am yr hon y sonir yma, neu ynte fod milwyr Juda a Simeon wedi myned tufaes i'w terfynau eu hunain.

Adn. 5. *A hwy a gawsant Adoni-bezec yn Bezec*] Ystyr y gair *Adoni* yw *arglwydd;* a'r meddwl yw, fod *arglwydd* neu *frenin* Bezec gartref pan ymosodasant ar y ddinas, er iddo ffoi wedi hyny o honi.

Adn. 6. *Ac a dorasant fodiau ei ddwylaw ef*] Fel na fyddai yn alluog i dynu mewn bwa na thrin ei gledd; *a'i draed*—sef bodiau ei draed, fel nad allai ymlid ar ol ei elynion na dianc rhagddynt: gwel isod.

ant ef, ac a dorasant fodiau ei ddwylaw ef a'i draed.

7 Ac Adoni-bezec a ddywedodd, Deg-a-thriugain o frenhinoedd, wedi tori bodiau eu dwylaw a'u traed, a fu yn casglu *eu bwyd* dan fy mwrdd i: fel y gwnaethym, felly y talodd Duw i mi. A hwy a'i dygasant ef i Jerusalem; ac efe a fu farw yno.

8 (A meibion Juda a ymladdasant yn erbyn Jerusalem; ac a'i hennillasant hi, ac a'i tarawsant â min y cleddyf; a llosgasant y ddinas â thân)

9 ¶ Wedi hyny meibion Juda a aethant i waered i ymladd yn erbyn y Canaaneaid oedd yn trigo yn y mynydd, ac yn y deau, ac yn y gwastadedd.

10 A Juda a aeth yn erbyn y Canaaneaid oedd yn trigo yn Hebron (ac enw Hebron o'r blaen *oedd* Caer Arba) a hwy a laddasant Sesai, ac Ahiman, a Thalmai.

11 Ac efe a aeth oddiyno at drigolion Debir (ac enw Debir o'r blaen *oedd* Ciriath-sepher)

12 A dywedodd Caleb, Yr hwn a darawo Ciriath-sepher, ac a'i hennillo hi, mi a roddaf Achsah fy merch yn wraig iddo.

13 Ac Othniel mab Cenaz, brawd Caleb, ieuangach nag ef, a'i hennillodd hi. Yntau a roddes Achsah ei ferch yn wraig iddo.

14 A phan ddaeth hi i mewn *ato ef*, hi a'i hannogodd ef i geisio gan ei thad *ryw* faes: a hi a ddisgynodd oddiar yr asyn. A dywedodd Caleb wrthi, Beth a fyni di?

15 A hi a ddywedodd wrtho, Dyro i mi fendith: canys gwlad y deau a roddaist i mi; dyro i mi hefyd ffynnonau dyfroedd. A Caleb a roddodd iddi y ffynnonau uchaf, a'r ffynnonau isaf.

16 ¶ A meibion Ceni, chwegrwn Moses, a aethant i fyny o ddinas y palmwydd gyda meibion Juda, i an-

---

Adn. 7. *Deg-a-thriugain o frenhinoedd*] Gynt yr oedd penaeth pob dinas neu dref fawr yn cael ei alw yn frenin. *Wedi tori bodiau eu dwylaw a'u traed*—o dro i dro yn ystod ei ryfeloedd a'i deyrnasiad ef. *A fu yn casglu eu bwyd dan fy mwrdd i*—yn casglu y briwsion a syrthient oddiar y bwrdd, neu yn ymborthi ar ryw weddillion gwael a daflai efe iddynt megys i gynifer o gŵn. Gosodai hwynt dan ei fwrdd, fel y gallai ymorfoleddu yn eu darostyngiad hwy, a'i oruchafiaeth ei hun arnynt. Ond dichon mai ymadrodd diarebol yw hwn, yn arwyddo eu bod wedi eu darostwng i'r gaethwasanaeth isaf. *Fel y gwnaethym*—i'r brenhinoedd hyny, *felly y talodd Duw i mi*—ymddengys oddiyma fod gan frenin Bezec wybodaeth o'r gwir Dduw, a thyb briodol am ddwyfol ragluniaeth. Ni sonia efe am dduwiau, yn ol arfer y paganiaid; ond am Dduw, yn y rhif unigol: a dichon mai yr arwydd hwn o edifeirwch, a ffydd yn y gwir Dduw, oedd yr achos i'r Israeliaid arbed ei fywyd. *A hwy a'i dygasant ef i Jerusalem*—i'w gadw yno yn garcharor hyd ei farwolaeth.—Nid yw TORI Y BODIAU yn gosp anadnabyddus mewn hanesiaeth gyffredin; canys dywed *Ælian* ddarfod i'r Atheniaid, ar gais *Cleon*, orchymyn tori bodiau deheulaw holl drigolion ynys *Ægina*, fel ag i'w hanalluogi i ddal gwaewffon: gwel *Var. Hist. lib.* ii. *c.* 9. Arferai y Rhufeiniaid ac ereill, y rhai na hoffent fywyd milwraidd, dori ymaith eu bodiau eu hunain, fel ag i fod yn analluog i wasanaethu yn y fyddin.

Adn. 8. *A meibion Juda a ymladdasant yn erbyn Jerusalem, &c.*] Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at y rhyfel yn amser Josua, pryd y gorchfygodd efe ei byddin, ac y crogodd ei brenin, Jos. x. 26; tra y tybia ereill mai cyfeiriad sydd yma at y rhyfel bresenol: ac y mae hyny yn debycach, gan y priodolir y weithred i feibion JUDA. *Llosgasant y ddinas â thân*—sef rhan o honi: gwel ar Jos. xv. 63. Yr oedd Adoni-bezec, fel y darllenwn uchod, yn cael ei gadw ar ol hyny mewn rhyw gŵr o honi, a'r Jebusiaid yn preswylio ynddi, adn. 21.

Adn. 9. *Wedi hyny*] Sef wedi ennill Jerusalem.

Adn. 10—15. *A Juda a aeth yn erbyn y Canaaneaid, &c.*] Cawsom sylwedd yr adnodau hyn o'r blaen yn Jos. xv. 13—19, lle yr eglurwyd hwynt yn fanwl; ac felly rhaid eu bod yn cael eu crybwyll yno mewn ffordd o ragflaeniad, neu yma mewn ffordd o ailadroddiad.

Adn. 16. *A meibion Ceni, chwegrwn Moses*] Am hanes Jethro neu Hobab, chwegrwn Moses, gwel ar Num. x. 29, a'r lleoedd ag y cyfeirir atynt yno; ac ymddengys ei fod yn cael ei alw yn *Ceni*, oddiwrth y bobl ag yr hanai o honynt, Num. xxiv. 21, 22. *A aethant i fyny o ddinas y palmwydd*—sef o Jericho, yr hon a elwir felly, Deut. xxxiv. 3; nid yn wir o'r ddinas, yr hon a ddystrywiesid, ond o'r diriogaeth berthynol iddi; neu gallai fod rhyw gŵr o honi yn aros, neu faesdref berthynol iddi: gwel ar Jos. vii. 26. *I anialwch Juda, yr hwn sydd yn neau Arad*—neu yn rhan ddeheuol gwlad Canaan, lle y safai Arad, Num. xxi. 1. *Ac a drigasant gyda'r bobl*—gyda gwŷr Juda, lle y buont yn aros hyd ddyddiau Saul, yn draphlith â'r Amaleciaid. Pan gafodd Saul orchymyn gan Dduw i ddyfetha yr Amaleciaid, efe a anfonodd genadwri at y *Ceneaid* i ymadael oddiwrthynt, 1 Sam. xv. 6. Oddiwrthynt hwy yr hanodd Hemath, tad tylwyth *Rechab*, 1 Cron. ii. 55: gwel ar Jer. xxxv. 1, &c.

Adn. 17. *A Juda a aeth gyda Simeon ei frawd*] Yn ol eu haddewid, adn. 3. Ar ol gorchfygu y Canaaneaid yn rhandir Juda,

ialwch Juda, yr hwn *sydd* yn neau
Arad: a hwy a aethant ac a drigas-
ant gyda'r bobl.
17 A Juda a aeth gyda Simeon ei
frawd: a hwy a darawsant y Canaan-
eaid oedd yn preswylio yn Sephath,
ac a'i difrodasant hi. Ac efe a alwodd
enw y ddinas Hormah.
18 Juda hefyd a ennillodd Gaza a'i
therfynau, ac Ascalon a'i therfynau,
ac Ecron a'i therfynau.
19 A'r Arglwydd oedd gyda Juda;
ac efe a oresgynodd y mynydd: ond
ni *allai efe* yru allan *drigolion* y dyff-
ryn; canys cerbydau heiyrn *oedd*
ganddynt.
20 Ac i Caleb y rhoisant Hebron;
fel y llefarasai Moses: ac efe a yrodd
oddiyno dri mab Anac.
21 Ond meibion Benjamin ni yras-
ant allan y Jebusiaid y rhai oedd yn
preswylio yn Jerusalem: ond y mae
y Jebusiaid yn trigo yn Jerusalem
gyda meibion Benjamin hyd y dydd
hwn.
22 ¶ A thŷ Joseph, hwythau hefyd
a aethant i fyny yn erbyn Bethel: a'r
Arglwydd *oedd* gyda hwynt.
23 A thylwyth Joseph a barasant
chwilio Bethel (ac enw y ddinas o'r
blaen *oedd* Lus)
24 A'r yspiwyr a welsant ŵr yn dy-
fod allan o'r ddinas; ac a ddywedas-
ant wrtho, Dangos i ni, atolwg, y
ffordd yr eir i'r ddinas, a ni a wnawn
drugaredd â thi.
25 A phan ddanghosodd efe iddynt
hwy y ffordd i fyned i'r ddinas, hwy a
darawsant y ddinas â min y cleddyf;
ac a ollyngasant ymaith y gŵr a'i
holl deulu.
26 A'r gŵr a aeth i wlad yr Heth-
iaid; ac a adeiladodd ddinas, ac a al-
wodd ei henw Lus: dyma ei henw hi
hyd y dydd hwn.
27 ¶ Ond ni oresgynodd Manasse

---

aethant i ymosod arnynt yn awr yn rhandir Simeon. *Ac efe a alwodd enw y ddinas Hormah*—sef lle wedi ei ddiofrydu i ddystryw. Tybia Clarke mai yr un orchwyliaeth yw hon ag a grybwyllir Num. xxi. 1—3; ac os felly, rhaid ei bod wedi ei chwanegu yno ar ol amser Moses, gan Ezra neu Samuel, i brofi fod adduned Israel wedi ei chyflawni: ond barna Poole, Benson, ac ereill, mai rhyw Hormah arall yw hon, yn cael ei galw ar yr un enw am yr un achos.

Adn. 18. *Juda hefyd a ennillodd Gaza, &c.*] Y mae gwahaniaeth hynod yma yn nghyfieithiad y LXX: 'Ond Juda NI FEDDIANNODD Gaza na'i therfynau, nac Ascalon na'i therfynau, nac Ecron na'i therfynau, nac Azotus na'i lleoedd cyfagos.' Dywed Josephus hefyd na chymerodd yr Israeliaid ddim ond *Ascalon* ac *Azotus*, eithr na chymerasant *Gaza* nac *Ecron;* a dengys yr holl hanes fod y dinasoedd hyn yn meddiant y Philistiaid, nid yr Israeliaid. Ond os darfu i'r Israeliaid eu hennill hwynt y pryd hyn, fel y dywed y testyn Hebreig, y mae yn sicr iddynt eu colli yn fuan ar ol hyny.

Adn. 19. *A'r Arglwydd oedd gyda Juda*] Ac am hyny *efe a oresgynodd y mynydd*—hyny yw, a yrodd allan drigolion y rhanau mynyddig, y rhai yr oedd eu gwlad yn rhy anwastad iddynt allu defnyddio cerbydau heiyrn. *Ond ni allai efe*—sef tŷ Juda, *yru allan drigolion y dyffryn*—o herwydd eu hannghrediniaeth; canys wrth weled fod gan wŷr y dyffryn gerbydau heiyrn, darfu iddynt anhyderu yn ngallu Duw i'w dyfetha, trwy yr hyn y cythruddasant yr Arglwydd i dynu yn ol ei law gynorthwyol. Felly y dywed *Jonathan ben Uzziel*, yr alleirydd Caldeaidd: 'A GAIR Jehofa a gynorthwyai dŷ Juda, a hwy a ddiwreiddiasant drigolion y mynyddoedd; eithr wedi hyny, AR OL IDDYNT BECHU, nid allent ddiwreiddio trigolion y gwastadedd, am fod ganddynt gerbydau heiyrn.' Gadawyd hwynt yn awr i'w *nerth eu hunain*, a'u gelynion a lwyddasant yn eu herbyn.

Adn. 20. *Ac i Caleb y rhoisant Hebron*] Gwel hyn yn cael ei egluro ar Jos. xiv. 12—15.

Adn. 21. *Ond y mae y Jebusiaid yn trigo yn Jerusalem gyda meibion Benjamin hyd y dydd hwn*] Yn Jos. xv. 63, dywedir yr un peth am feibion *Juda;* canys yr oedd rhan o Jerusalem yn llwyth *Juda*, a rhan yn llwyth *Benjamin;* ac ni lwyr yrwyd hwynt allan oddiyno hyd ddyddiau Dafydd: gwel ar Jos. xv. 63.

Adn. 22. *A thŷ Joseph*] Sef llwyth Ephraim; *a aethant i fyny yn erbyn Bethel*—ni chymerwyd Bethel gynt gan Josua, er iddo gymeryd Ai, yr hon oedd o fewn oddeutu tair milldir iddi: ond efe a laddodd ei milwyr, Jos. viii. 17.

Adn. 23. *A thylwyth Joseph a barasant chwilio Bethel*] Sef chwilio y fynedfa fwyaf diberygl ati, ac ansawdd ei chaerau. *Ac enw y ddinas o'r blaen oedd Lus*—yr hyn a arwydda *almon* neu *gneuen;* a gelwid hi felly ond odid am fod llawer o'r coed hyny yn tyfu yno. Dywed yr Iuddewon fod y ddinas yn gauedig oll o amgylch fel *cneuen*, heb un fynedfa iddi, nac o honi, ond trwy ogof neu ffordd dan-ddaearol: gwel ar Gen. xxviii. 19.

Adn. 24. *Dangos i ni, atolwg, y ffordd yr eir i'r ddinas*] Sef genau yr ogof, neu y ffordd dan-ddaearol, fel y sylwyd uchod; *a ni a wnawn drugaredd â thi*—a'th arbedwn di a'th deulu, fel yr arbedwyd Rahab yn Jericho.

Adn. 25. *A ollyngasant ymaith y gŵr a'i holl deulu*] Yn nghyda'i feddiannau hefyd, fel yr ymddengys oddiwrth ei waith yn adeiladu dinas, adn. 26.

Adn. 26. *A'r gŵr a aeth i wlad yr Hethiaid*] I ryw le yn Arabia fel y meddylir, lle yr enciliodd yr Hethiaid pan eu gyrwyd allan

Beth-sean na'i threfydd, na Thaanach na'i threfydd, na thrigolion Dor na'i threfydd, na thrigolion Ibleam na'i threfydd, na thrigolion Megido na'i threfydd: eithr mynodd y Canaaneaid breswylio yn y wlad hôno.
28 Ond pan gryfhaodd Israel, yna efe a osododd y Canaaneaid dan dreth; ond nis gyrodd hwynt ymaith yn llwyr.
29 ¶ Ephraim hefyd ni yrodd allan y Canaaneaid oedd yn gwladychu yn Gezer; eithr y Canaaneaid a breswyliasant yn eu mysg hwynt yn Gezer.
30 ¶ A Zabulon ni yroddd ymaith drigolion Citron, na phreswylwyr Nahalol; eithr y Canaaneaid a wladychasant yn eu mysg hwynt, ac a aethant dan dreth.
31 ¶ Ac Aser ni yrodd ymaith drigolion Acco, na thrigolion Sidon, nac Alab, nac Achzib, na Helbah, nac Aphic, na Rehob:
32 Ond Aser a drigodd yn mysg y Canaaneaid, trigolion y wlad; canys ni yrasant hwynt allan.
33 ¶ A Naphtali ni yrodd allan breswylwyr Beth-semes, na thrigolion Beth-anath; eithr efe a wladychodd yn mysg y Canaaneaid, trigolion y wlad: er hyny preswylwyr Beth-semes a Beth-anath oedd dan dreth iddynt.
34 ¶ A'r Amoriaid a yrasant feibion Dan i'r mynydd: canys ni adawsant iddynt ddyfod i waered i'r dyffryn.
35 A'r Amoriaid a fynai breswylio yn mynydd Heres yn Ajalon, ac yn Saalbim: eto llaw tŷ Joseph a orthrechodd, a'r *Amoriaid* fuant dan dreth *iddynt*.
36 A therfyn yr Amoriaid *oedd* o riw Acrabbim, o'r graig, ac uchod.

## PENNOD II.

AC angel yr Arglwydd a ddaeth i fyny o Gilgal i Bochim, ac a ddy-

---

gan Josua. *Ac a adeiladodd ddinas*—am fod ei gyfoeth yn fawr a'i deulu yn lluosog. *Ac a alwodd ei henw Lus*—i fytholi enw gwreiddiol ei ddinas ei hun, adn. 23.

Adn. 27. *Ond ni oresgynodd Manasse*] Sef yr hanner llwyth a drigent yn Nghanaan. *Beth-sean*—er ei bod yn eiddo iddynt: gwel Jos. xvii. 11.

Adn. 28. *Ond pan gryfhaodd Israel*] Sef llwyth Manasse, mewn nifer a nerth, fel ag i fod yn drech na'u gelynion; *yna efe a osododd y Canaaneaid dan dreth*—er mwyn cael elw oddiwrthynt. Yn hyn hwy a droseddasant y gyfraith, yr hon a orchymynai iddynt ddyfetha neu yru ymaith y fath eilunaddolwyr o'u mysg.

Adn. 29. *Ephraim hefyd ni yrodd allan y Canaaneaid oedd yn gwladychu yn Gezer*] Er eu bod yn llwyth cyfan, lluosog, a nerthol; *eithr y Canaaneaid a breswyliasant yn eu mysg*—gan wasanaethu dan dreth, Jos. xvi. 10: felly hefyd y LXX.

Adn 30. *A Zabulon ni yrodd ymaith, &c.*] Gwel ar Jos. xix. 10—15.

Adn. 31. *Ac Aser ni yrodd ymaith, &c.*] Gwel ar Jos. xix. 24—31.

Adn. 32. *Ond Aser a drigodd yn mysg y Canaaneaid*] Ymddengys oddiyma fod Aser mewn gwaeth cyflwr na'r llwythau ereill. Am y lleill, dywedir fod y Canaaneaid yn trigo yn eu mysg hwynt; ond am Aser, ei fod ef yn trigo yn mysg y Canaaneaid, fel pe buasai heb feddiant o'r wlad, a than eu llywodraeth hwy.

Adn. 33. *A Naphtali ni yrodd allan, &c.*] Gwel ar Jos. xix. 32—39.

Adn. 34. *A'r Amoriaid a yrasant feibion Dan i'r mynydd*] Yn union fel y gyrodd y Rhufeiniaid yr hen Frython i fynyddoedd Cymru, ac y gyrodd yr ymsefydlwyr Brutanaidd yn America yr Indiaid brodorol i'r coed.

Adn. 35. *Eto llaw tŷ Joseph a orthrechodd*] Sef llaw yr Ephraimiaid, y rhai a gynorthwyasant eu brodyr y Daniaid yn erbyn yr Amoriaid.

Adn. 36. *O riw Acrabbim*] Yr hwn oedd yn rhan ddeheuol Canaan, Jos. xv. 2, 3, ac yn cyraedd oddiyno tua'r gogledd. *O'r graig*—neu ddinas *Petra* yn Idumea; *ac uchod*—sef tuhwnt i'r lle hwnw. Chwanegir hyn i ddangos gallu mawr a helaethrwydd tir y bobl hyn.

PEN. II. Adn. 1. *Ac angel yr Arglwydd*] 'Yn debygol rhyw *broffwyd* ag ydoedd yn byw yn Gilgal.'—BOOTHROYD. 'Rhyw *genad dynol* annghyffredin, y rhai yn fynych a elwir yn *angylion*.'—CLARKE. '*Phinees* yr archoffeiriad.'—JONATHAN BEN UZZIEL. Ond tybia Benson, Coke, Gill, Henry, Lightfoot, Patrick, Poole, Scott, Sutcliffe, ac amrai ereill, mai Angel mawr y cyfammod, sef yr ARGLWYDD IESU, oedd hwn, yr hwn a ymddangosasai i Josua yn agos i Jericho, Jos. v. 13—15, ac a arweiniasai Israel o'r Aifft i Ganaan. Nis gallai neb ond efe lefaru y geiriau a briodolir iddo yma yn ei enw ei hun; ac arferai proffwydi ac angylion creadigol ddwyn i mewn eu cenadwri gyda'r geiriau, 'Fel hyn y dywed yr Arglwydd,' neu y cyffelyb. Ac ar ol iddo gymeryd arno agwedd dyn, efe a efelychai symudiad dyn, fel pe buasai yn dyfod o *Gilgal;* ond odid i ddwyn ar gof i'r Israeliaid ei ymddangosiad i Josua o'r blaen yn agos i'r lle hwnw, a'r sicrwydd a roddodd efe iddynt y pryd hyny o'i bresenoldeb gyda hwy yn ngorchfygiad y wlad, ac o'r cyfammod a wnaethant yno âg ef trwy adnewyddiad yr enwaediad. *I Bochim*—gair yn arwyddo *wylwyr*, neu *le wylofain*. Nid dyma enw y lle o'r blaen; ond rhoddwyd ef iddo ar yr achos hwn, o herwydd galarnadau y bobl pan glywsant yr hyn a ddywedodd yr angel wrthynt,

wedodd, Dygais chwi i fyny o'r Aifft, ac arweiniais chwi i'r wlad *am* yr hon y tyngais wrth eich tadau; ac a ddywedais, Ni thoraf fy nghyfammod â chwi byth.

2 Na wnewch chwithau gyfammod â thrigolion y wlad hon; *ond* bwriwch i lawr eu hallorau: eto ni wrandawsoch ar fy llef: paham y gwnaethoch hyn?

3 Am hyny y dywedais, Ni yraf hwynt allan o'ch blaen chwi: eithr byddant i chwi *yn ddrain* yn eich ystlysau, a'u duwiau fydd yn fagl i chwi.

4 A phan lefarodd angel yr Arglwydd y geiriau hyn wrth holl feibion Israel, yna y bobl a ddyrchafasant eu llef, ac a ŵylasant.

5 Ac a alwasant enw y lle hwnw Bochim: ac yna yr aberthasant i'r Arglwydd.

6 ¶ A Josua a ollyngodd y bobl ymaith; a meibion Israel a aethant bob un i'w etifeddiaeth, i feddiannu y wlad.

7 A'r bobl a wasanaethasant yr Arglwydd holl ddyddiau Josua, a holl ddyddiau yr henuriaid y rhai a fu fyw ar ol Josua, y rhai a welsent holl fawrwaith yr Arglwydd, yr hwn a wnaethai efe er Israel.

8 A bu farw Josua mab Nun, gwas yr Arglwydd, yn fab dengmlwydd a chant.

9 A hwy a'i claddasant ef yn nherfyn ei etifeddiaeth, o fewn Timnath-heres, yn mynydd Ephraim, o du y gogledd i fynydd Gaas.

10 A'r holl oes hòno hefyd a gasglwyd at eu tadau: a chyfododd oes arall ar eu hol hwynt, y rhai nid adwaenent yr Arglwydd, na'i weithredoedd a wnaethai efe er Israel.

---

adn. 4, 5. Meddylir mai *Silo* oedd y lle hwn, lle yr oedd y bobl wedi ymgynull ar un o'r gŵyliau arbenig. *Ni thoraf fy nghyfammod â chwi byth*—ac ni thorodd Duw erioed mohono. Nid yw cyfammod byth yn cael ei dori ond gan y neb ag sydd yn troseddu ei ammodau. Pan y byddo un o'r pleidiau cyfammodol yn tori un o'r ammodau, y mae y cyfammod y pryd hyny yn cael ei dori, a chan y blaid hòno yn unig; ac y mae y blaid arall yn rhydd oddiwrth ei hymrwymiadau: gwel ar Gen. xv. 10. Gellir ystyried y bennod hon, a'r wyth adnod gyntaf o'r bennod nesaf, fel crynodeb o'r holl lyfr; lle y gwelwn, ar un law, bechodau yr Israeliaid; ac, ar y llall, y cospau a weinyddid arnynt gan yr Arglwydd; eu hedifeirwch a'u dychweliad hwy, ac amynedd a thrugaredd Duw yn maddeu eu gwrthgiliadau, ac yn eu gwaredu o ddwylaw eu gelynion.

Adn. 2. *Na wnewch chwithau gyfammod â thrigolion y wlad hon*] Canys ar yr ammod hon, gydag ereill, yr addawsai Duw eu hamddiffyn hwy, a gyru allan y Canaaneaid o'u blaen: gwel Deut. vii. 2, &c., a xii. 2, &c.

Adn. 3. *Am hyny y dywedais, &c.*] Ar y dybiaeth y byddent hwy yn euog o ymgyfathrachu gyda gweddill y cenhedloedd eilunaddolgar hyn, heb fwrw i lawr eu hallorau, na dinystrio eu duwiau. *Eithr byddant i chwi yn ddrain yn eich ystlysau*—yn ffynonell barhaus o boen a gofid: gwel ar Num. xxxiii. 55, Jos. xxiii. 12, 13. *A'u duwiau fydd yn fagl i chwi*—i'ch denu i eilunaddoliaeth, a than gosp gyfiawn Jehofa am hyny.

Adn. 4. *A phan lefarodd angel yr Arglwydd y geiriau hyn*] O adn. 1 hyd ddiwedd adn. 3; *yna y bobl a ddyrchafasant eu llef, ac a ŵylasant*—rhai o honynt, ond odid, oddiar wir deimlad o'u heuogrwydd; ac ereill, rhag ofn y canlyniadau.

Adn. 5. *Ac a alwasant enw y lle hwnw Bochim*] I fytholi y goffadwriaeth o'u hŵylofain: gwel ar adn. 1. *Ac yna yr aberthasant i'r Arglwydd*—i wneuthur cymod dros eu pechodau, trwy y rhai y cythruddasant yr Arglwydd i'r penderfyniad hwn, ac i adennill ei ffafr a'i dosturi.

Adn. 6. *A Josua a ollyngodd y bobl*] Neu, 'wedi i Josua ollwng y bobl ymaith,' &c. Nid yw hyn yn perthyn i'r hanes ddiweddaf, eithr ailadroddiad ydyw o'r hyn a draethwyd Jos. xxiv. 28—31; ac y mae yn cael ei goffâu yma mewn ffordd o ragarweiniad i'r hanes ganlynol am lygriad a chosp y bobl, yr hon a gynwysir yn rhanau dylynol y llyfr. Yr ystyr yw, wedi i Josua ranu iddynt eu hetifeddiaethau, a'u gollwng hwynt bob un i gymeryd meddiant o honynt, ddarfod iddynt wasanaethu yr Arglwydd yn ffyddlon am yr oes hòno, hyd nes y cododd oes arall ar eu hol hwynt.

Adn. 7—9. *A'r bobl a wasanaethasant yr Arglwydd, &c.*] Gwel ar Jos. xxiv. 30, 31. *Timnath-heres*—yn Josua gelwir y lle hwn *Timnath-serah*; ond gan fod *heres* a *serah* yn arwyddo *haul*, *seren*, neu *ddysgleirder*, ac mai *delw* yw ystyr y gair *Timnath*, felly y mae y ddau enw yn arwyddo yr un peth, sef *delw yr haul*. Dywed yr Iuddewon fod llun yr haul yn gerfiedig ar fedd-golofn Josua, yn nghyda'r geiriau, 'Hwn a barodd i'r haul sefyll.'

Adn. 10. *A'r holl oes hòno hefyd a gasglwyd at eu tadau*] Nid yn unig y rhai a welsent weithredoedd rhyfedd Duw yn yr Aifft a'r anialwch, ond hefyd y rhai a fuont yn dystion o holltiad yr Iorddonen, syrthiad caerau Jericho, a safiad yr haul, yr hyn a barodd y fath argraff ar eu calonau nes y parhausant yn ngwasanaeth Duw tra y buont byw yn y byd. *A chyfododd oes arall ar eu hol hwynt, y rhai nid adwaenent yr Arglwydd*—i'w garu, ei ofni, a'i wasanaethu, er y gwyddent yn hanesiol am dano. Trwy fod eu tadau wedi bod yn rhyfela cymaint â'r Canaaneaid, ac wedi hyny yn treulio cynifer o flynyddoedd i ranu, meddiannu, a thrin y wlad, ymddengys na thalasant y sylw a ddylasent i hyfforddiad ysbrydol eu plant.

11 ¶ A meibion Israel a wnaethant
ddrygioni yn ngolwg yr Arglwydd, ac
a wasanaethasant Baalim:
12 Ac a wrthodasant Arglwydd
Dduw eu tadau, yr hwn a'u dygasai
hwynt o wlad yr Aifft, ac a aethant
ar ol duwiau dyeithr, *sef rhai* o dduw-
iau y bobloedd *oedd* o'u hamgylch, ac
a ymgrymasant iddynt, ac a ddigias-
ant yr Arglwydd.
13 A hwy a wrthodasant yr Argl-
wydd, ac a wasanaethasant Baal ac
Astaroth.
14 ¶ A llidiodd digllonedd yr Ar-
glwydd yn erbyn Israel; ac efe a'u
rhoddodd hwynt yn llaw yr anrheith-
wyr, y rhai a'u hanrheithiasant hwy;
ac efe a'u gwerthodd hwy i law eu
gelynion o amgylch, fel na allent sef-
yll mwyach yn erbyn eu gelynion.
15 I ba le bynag yr aethant, llaw
yr Arglwydd oedd er drwg yn eu
herbyn hwynt; fel y llefarasai yr
Arglwydd, ac fel y tyngasai yr Ar-
glwydd wrthynt hwy: a bu gyfyng
iawn arnynt.
16 ¶ Eto yr Arglwydd a gododd
farnwyr, y rhai a'u hachubodd hwynt
o law eu hanrheithwyr.
17 Ond ni wrandawent chwaith ar
eu barnwyr; eithr puteiniasant ar ol
duwiau dyeithr, ac ymgrymasant idd-
ynt: ciliasant yn ebrwydd o'r ffordd
y rhodiasai eu tadau hwynt ynddi,
gan wrando ar orchymynion yr Ar-
glwydd; *ond* ni wnaethant hwy felly.
18 A phan godai yr Arglwydd farn-
wyr arnynt hwy, yna yr Arglwydd
fyddai gyda'r barnwr, ac a'u gwaredai
hwynt o law eu gelynion holl ddydd-
iau y barnwr: canys yr Arglwydd a
dosturiai wrth eu griddfan hwynt,
rhag eu gorthrymwyr a'u cystudd-
wyr.

---

Adn. 11. *Ac a wasanaethasant Baalim*] Y mae y gair hwn yn arwyddo *arglwyddi;* ac yn wir yr oedd gan y cenhedloedd 'dduwiau lawer ac arglwyddi lawer,' 1 Cor. viii. 5. Yr oeddynt yn ystyried eu gau-dduwiau yn llywodraethwyr neu arglwyddi goruwchnaturiol, pob un yn meddu ei dalaeth a'i swydd neillduol ei hun: ond pan yr ewyllysient fynegu neu osod allan ryw *Baal* arbenig, hwy yn gyffredin a chwanegent ato ryw gyfenw neillduol, megys *Baal-zephon*, *Baal-peor*, *Baal-zebub*, *Baal-berith*, *Baal-shamayim*, &c. Yr oedd y ddau flaenaf yn cael eu haddoli gan y *Moabiaid*, a Baal-zebub gan yr *Ecroniaid*, a Baal-berith yn *Sichem;* a Baal-shamayim, 'arglwydd neu lywodraethwr y nefoedd,' a addolid yn mhlith y *Phenisiaid*, y *Syriaid*, y *Caldeaid*, &c. A pha bryd bynag y cyfarfyddwn â'r gair *Baal* heb ryw gyfenw wrtho, *Baal-shamayim* a feddylir; ac y mae yn debygol ei fod, yn mhlith yr holl bobloedd hyny, yn meddwl yr *haul.*

Adn. 12. *Ac a ddigiasant yr Arglwydd*] Nid rhyfedd i'r Arglwydd ddigio, wrth weled fod ei ogoniant yn cael ei roddi i arall, a'i fawl i ddelwau cerfiedig, a hyny gan ei feibion a'i ferched ei hun, ac yn fuan wedi iddo eu sefydlu hwy yn Nghanaan! Eu pechod oedd gwrthod *Duw*, gwrthod Duw *eu tadau;* gwrthod y Duw a'u dygasai hwynt o *wlad yr Aifft;* ac yn ei le ef ddewis *duwiau dyeithr*, duwiau eu *gelynion*, a'r rhai *nid oeddynt dduwiau!*

Adn. 13. *Baal ac Astaroth*] Y mae y rhai hyn yn gyffredin, ebai Clarke, yn meddwl yr *haul* a'r *lleuad;* ond tybia Gill fod y cyntaf yn arwyddo *duwiau* y cenhedloedd, a'r olaf eu *duwiesau.* Modd bynag ymddengys fod *Astaroth* yn mhlith y Canaaneaid, fel *Venus* yn mhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, yn cael ei haddoli gyda defodau ac arferion rhy aflan i'w hadrodd.

Adn. 14. *Ac efe a'u rhoddodd hwynt yn llaw yr anrheithwyr*] Sef y Canaaneaid yspeilgar, y rhai a ddygent ymaith eu hanifeiliaid a'u meddiannau. *Ac efe a'u gwerthodd hwy*—a'u rhoddodd hwynt i fyny i ddwylaw y Moabiaid, y Midianiaid, a'r Ammoniaid ag oeddynt o'u hamgylch, fel y dyry gwerthwr ei nwyddau i fyny i'r prynwr.

Adn. 15. *I ba le bynag yr aethant*] Pa beth bynag yr ymaflent ynddo i'w wneuthur, mewn ffordd o fasnach neu ryfel; *llaw yr Arglwydd oedd er drwg yn eu herbyn*—yn siomi eu dysgwyliadau, yn gwrthwynebu eu bwriadau, ac yn gwywo eu holl obeithion. *A bu gyfyng iawn arnynt*—fel hyn y mae pechod yn cael ei ddylyn yn wastadol gan gosp a blinder.

Adn. 16. *Eto yr Arglwydd a gododd farnwyr*] Wedi eu hysbrydoli a'u haddasu ganddo ef ei hun yn oruwchnaturiol i'r gwaith ag oedd ganddo iddynt; sef achub Israel o ddwylaw eu gelynion, eu hadfer i'w rhyddid a'u breintiau, eu hamddiffyn yn y mwynhad o honynt, a gweinyddu barn a chyfiawnder yn eu plith. Yr oedd daioni Duw i'w weled yn amlwg yn hyn, ar ol holl bechodau ffiaidd y bobl: gwel y rhagarweiniad i'r llyfr hwn.

Adn. 17. *Ond ni wrandawent chwaith ar eu barnwyr*] Hyny yw, ni wrandawent yn *barhaus*, pan rybyddient hwynt yn erbyn eu pechodau, a phan gynghorent hwynt i rodio yn ffordd yr Arglwydd, a'i wasanaethu ef yn unig. Ar ol eu gwaredu, hwy a ymgaledent drachefn, ac a syrthient eilwaith i'r un pechodau. *Eithr puteiniasant* — fel gwraig yn tori ei chyfammod priodasol â'i gŵr. Gwelsom yn fynych fod *eilunaddoliaeth* yn cael ei alw yn *buteindra* yn yr ysgrythyrau; a chan fod llawer o'u harferion eilunaddolgar yn cael eu dylyn â *defodau aflan*, yr oedd yr enw yn briodol mewn ystyr llythyrenol yn gystal a chyffelybiaethol.

Adn. 18. *Yna yr Arglwydd fyddai gyd a'r barnwr*] I'w nerthu a'i lwyddo yn mhob peth a wnelai er lles gwladol a chrefyddol y genedl. Duw ei hun oedd eu Brenin, a'r barnwr oedd ei raglaw ef. *Canys yr Argl-*

19 A phan fyddai farw y barnwr, hwy a ddychwelent, ac a ymlygrent yn fwy na'u tadau, gan fyned ar ol duwiau dyeithr, i'w gwasanaethu hwynt, ac i ymgrymu iddynt: ni pheidiasant â'u gweithredoedd eu hunain, nac â'u ffordd wrthnysig.

20 ¶ A digllonedd yr Arglwydd a lidiai yn erbyn Israel: ac efe a ddywedai, Oblegid i'r genedl hon droseddu fy nghyfammod a orchymynais i'w tadau hwynt, ac na wrandawsant ar fy llais;

21 Ni chwanegaf finau yru ymaith o'u blaen hwynt neb o'r cenhedloedd, a adawodd Josua pan fu farw:

22 I brofi Israel trwyddynt hwy, a gadwent hwy ffordd yr Arglwydd, gan rodio ynddi, fel y cadwodd eu tadau hwynt, neu beidio.

23 Am hyny yr Arglwydd a adawodd y cenhedloedd hyny, heb eu gyru ymaith yn ebrwydd; ac ni roddodd hwynt yn llaw Josua.

## PENNOD III.

DYMA y cenhedloedd a adawodd yr Arglwydd i brofi Israel trwy-

*wydd a dosturiai* — wrth eu clywed hwy yn griddfan dan orthrymder eu cystuddwyr, fel yn yr Aifft: gwel Exod. ii. 23—25, a iii. 7, 9. Fel hyn, trugarog a thosturiol iawn yw yr Arglwydd yn mhob oes.

Adn. 19. *A phan fyddai farw y barnwr*] Ymddengys oddiyma fod swydd y barnwr, ar ol iddo unwaith gael ei ddewis, yn parhau dros ei oes ef. *Hwy a ddychwelent* — i'w hen ffordd o eilunaddoliaeth a thrueni. *Ymlygrent yn fwy na'u tadau*—yn yr Aifft a'r anialwch. *Ni pheidiasant â'u gweithredoedd eu hunain*—er cael eu cospi mor drwm o oes i oes, rhwng barnwr a barnwr. Y mae eu pechodau yn cael eu galw 'eu gweithredoedd eu hunain,' am eu bod yn deilliaw o'u calonau eu hunain, ac yn foddhaol ganddynt eu hunain, ac yn groes i ddeddf ac ewyllys Duw. *Nac â'u ffordd wrthnysig*—Heb. 'eu ffordd *galed* neu *anhawdd*.' Y mae pechaduriaid yn cymeryd llawer o drafferth a phoen i ddamnio eu heneidiau: cawsent lai o ofid ar eu ffordd i'r nef. 'Ffordd troseddwyr sydd *galed*,' Diar. xiii. 15.

Adn. 20. *A digllonedd yr Arglwydd a lidiai*] O dro i dro, ac yn drymach y naill dro ragor y llall, fel yr oeddynt hwy yn chwanegu ei annog ef i lidio: gwel ar adn. 12—15. *Droseddu fy nghyfammod*— sef cyfammod Sinai, yr hwn a waharddai iddynt dduwiau ereill, Exod. xx. 3.

Adn. 21. *Ni chwanegaf finau yru ymaith*] Yr oedd Duw wedi gyru rhai o'r cenhedloedd ymaith ar ol marwolaeth Josua; ond bygythir yma na *chwanegai* efe yru.

Adn. 22. *I brofi Israel*] Gwyddai Duw yn dda pa beth a wnaent hwy heb eu profi; ond yr oedd yn eu profi, fel y gallent hwy eu hunain ac ereill weled pa beth a wnaent. Y mae y geiriau hyn wedi eu llefaru yn ol dull dynion; a chymerir y gyffelybiaeth oddiwrth achos meistr neu dad, yr hwn a amheua ffyddlondeb ei was neu ei fab, ac a'i gesyd ef yn y fath amgylchiadau fel ag y byddo iddo, trwy ei ymddygiad da neu ddrwg, gyfiawnhau ei amheuon ef, neu roddi iddo brawf o'i ffyddlondeb.

Adn. 23. *Ni roddodd hwynt yn llaw Josua*] Am fod ganddo amcan y pryd hyny i brofi Israel ar ol dyddiau Josua.

Adfeddyliadau. — (1) Y mae yn syndod ddarfod i'r Israeliaid mor fuan ar ol marwolaeth yr henuriaid droi yn eilunaddolwyr, ac ymgyfathrachu â'r cenhedloedd diofrydedig. Y fath brawf o'r llygredd gwreiddiol a gawn yma, ac o'r angenrheidrwydd am ddwyn i fyny y tô ieuainc yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd! Y mae yn wir fod swynion eilunaddoliaeth yn dra hudol i'r rhai dibrofiad yn mysg yr Hebreaid. Yr oedd y gwin, y wledd, y gerddoriaeth, y ddawns anllad, a chysylltiad y ddau ryw, yr hyn a ddylynai addoliad Baal ac Astaroth, yn hudo yr Israeliaid gwrthgiliol yn gyntaf i edrych ar, ac yna i ymuno yn yr hyn ag ydoedd mor foddhaol i'r cnawd. A dylid cofio fod ein chwareudai a'n dawns-ystafelloedd ninau yn gyffredin yr un modd yn allorau cythreuliaid, a'r un mor ddinystriol i'r enaid. (2) Wedi i blant Israel syrthio i wrthgiliad, ac felly newid meistri, daeth Angel yr Arglwydd i'w dedfrydu hwy i gael eu fflangellu gan y cenhedloedd, megys y dedfrydasai efe eu tadau yn Cades. Ni oddef Duw i wrthgiliad oddiwrtho ef fyned heibio yn ddigerydd: y mae yn fynych yn rhoddi un i fyny i'w feddwdod, a'r llall i'w gybydd-dod, nes y maent yn bwyta ffrwyth eu gweithredoedd eu hunain. (3) Yr oedd yr achos yn gyffelyb yn yr eglwys gyntefig: hyd yn nod cyn dyddiau Cystenyn, yr oedd gogoniant yr eglwys Gristionogol wedi anmharu yn fawr; canys brawychwyd St. Cyprian, pan mewn alltudiaeth, wrth glywed fod y brif-ffordd i Carthage wedi ei llenwi â Christionogion yn myned i offrwm arogldarth i'r duwiau! A pha beth a gawn ni ei wneuthur i gadw ein plant rhag dylyn ysbryd a dullïau y byd? Y maent yn anianol a llygredig wrth natur, ac am hyny rhaid iddynt gael eu hadgenhedlu gan yr Ysbryd Glân. Rhaid iddynt dderbyn yr ysgrythyrau fel unig reol ffydd a buchedd; onidê gallant hwythau, fel hiliogaeth wrthgiliedig y puritaniaid, droi i wawdio Duwdod a gogoniant Crist. (4) Oddiwrth weddnod tadol y barnwyr a godid gan Dduw o dro i dro, ac oddiwrth yr adfydau a'r trallodion a ddisgynent ar y wlad pan nad oedd y fath noddwyr yn gwylio lles y cyffredin, nyni a welwn y fath fendith anmhrisiadwy i genedl yw llywodraeth dadol a gwyliadwrus. Mor fawr gan hyny y dylem ni brisio a pharchu brenin neu frenhines rasol, ynad gweithgar, a gweinidog ffyddlon; a galaru o herwydd eu symudiad trwy law angau, gan na wyddom weddnod y rhai a'u dylynant!

ddynt (*sef* y rhai oll ni wyddent gwbl
o ryfeloedd Canaan;
2 Yn unig i beri i genedlaethau
meibion Israel wybod, i'w dysgu
hwynt i ryfel; y rhai yn ddiau ni
wyddent hyny o'r blaen)
3 Pum tywysog y Philistiaid, a'r
holl Ganaaneaid, a'r Sidoniaid, a'r
Hefiaid y rhai oedd yn aros yn myn-
ydd Libanus, o fynydd Baal-hermon,
hyd y ffordd y deuir i Hamath.
4 A hwy a fuant i brofi Israel trwy-
ddynt, i wybod a wrandawent hwy ar
orchymynion yr Arglwydd, y rhai a
orchymynasai efe i'w tadau hwynt
trwy law Moses.
5 ¶ A meibion Israel a drigasant yn
mysg y Canaaneaid, yr Hethiaid, a'r
Amoriaid, a'r Phereziaid, yr Hefiaid
*hefyd*, a'r Jebusiaid:
6 Ac a gymerasant eu merched
hwynt iddynt yn wragedd, ac a rodd-
asant eu merched i'w meibion hwy-
thau, ac a wasanaethasant eu duwiau
hwynt.
7 Felly meibion Israel a wnaethant
ddrygioni yn ngolwg yr Arglwydd, ac
a annghofiasant yr Arglwydd eu
Duw, ac a wasanaethasant Baalim
a'r llwyni.
8 ¶ Am hyny digllonedd yr Argl-
wydd a lidiodd yn erbyn Israel; ac
efe a'u gwerthodd hwynt i law Chusan-
risathaim, brenin Mesopotamia: a
meibion Israel a wasanaethasant Chu-
san-risathaim wyth mlynedd.
9 A meibion Israel a waeddasant
ar yr Arglwydd: a'r Arglwydd a god-
odd achubwr i feibion Israel, yr hwn
a'u hachubodd hwynt; *sef* Othniel
mab Cenaz, brawd Caleb, ieuangach
nag ef.
10 Ac ysbryd yr Arglwydd a ddaeth
arno ef, ac efe a farnodd Israel, ac a

---

PEN. III. Adn. 1. *Dyma y cenhedloedd*] Y rhai a enwir adn. 3, 5; *a adawodd yr Arglwydd i brofi Israel*—i brofi eu ffyddlondeb a'u sel yn ei wasanaeth ef: gwel ar pen. ii. 22. *Y rhai oll ni wyddent gwbl o ryfeloedd Canaan*—hyny yw, y rhai oll o'r ISRAELIAID; sef y cyfryw ag a aned ar ol gorphen y rhyfeloedd, neu nad oeddynt ond babanod pryd eu gorphenwyd, ac felly na wyddent yn brofiadol am danynt, nac am allu goruwchnaturiol Duw yr hwn a amlygid ynddynt.

Adn. 2. *I'w dysgu hwynt i ryfel*] Dyma reswm arall paham y gadawyd y Canaaneaid yn y wlad, fel na fyddai i'r Israeliaid annghofio dysgyblaeth filwraidd, ond ymarfer â thrin arfau, fel ag i fod bob amser yn alluog i'w hamddiffyn eu hunain yn ngwyneb eu gelynion. Pe buasent hwy yn ffyddlon i Dduw, ni fuasai achos iddynt ddysgu y gelfyddyd o ryfela; ond yn awr yr oedd *arfau* wedi dyfod yn fath ar ddirprwy angenrheidiol yn lle y nerth ysbrydol hwnw a ymadawsai oddiwrthynt. Fel hyn y mae Duw yn ei farnau yn gadael y naill genedl ddrygionus i aflonyddu a phoeni y llall. Pe troai pawb at Dduw, ni fyddai achos i ddynion ddysgu rhyfel mwyach.

Adn. 3. *Pum tywysog y Philistiaid*] Gwel ar Num. xiii. 29, Jos. xiii. 3, &c.

Adn. 4. *I wybod a wrandawent hwy*] Gwel ar pen. ii. 22. Dyma fyddai y canlyniad o adawiad y Canaaneaid yn eu plith: os byddent hwy yn ffyddlon i Dduw, ni fyddai eu gelynion yn alluog i'w caethiwo; os byddent yn wrthryfelgar, rhoddai yr Arglwydd hwynt i fyny i'w gelynion.

Adn. 5. *A meibion Israel a drigasant yn mysg y Canaaneaid*] Fel pe na buasent ddim ond ymdeithwyr yn cael eu goddef gyda hwy, ac nid eu gorchfygwyr.

Adn. 6. *Ac a gymerasant eu merched hwynt iddynt yn wragedd*] Fel hyn hwy a droseddasant orchymyn pendant Duw, Deut. vii. 3, llygrasant yr had santaidd, gwasanaethasant eu heilunod, a daethant yn un â hwynt mewn llywod-ddysg a chrefydd! Dichon mai at y priodasau annghyfreithlon hyn y cyfeirir Ezec. xvi. 3: 'Dy dad oedd Amoriad, a'th fam yn Hitees.'

Adn. 7. *Ac a wasanaethasant Baalim a'r llwyni*] Y mae yn dra thebyg mai llygriad o'r gair *Astaroth* yw y gair *asheroth*, yr hwn a gyfieithir yma yn *llwyni*, ac felly ei fod yn meddwl y *lleuad* neu *Venus;* (gwel ar pen. ii. 13;) neu yn arwyddo *duwiesau*, fel yn wrthgyferbyniol i *Baalim*, neu *arglwyddi*. Rhaid addef, modd bynag, fod y coedydd eu hunain, dan gysgod y rhai y gosodent eu heilunod, yn cael eu hystyried yn gysegredig gan yr hen baganiaid, ac mewn bri mawr. Addurnent hwy âg ysnodenau a goleuadau, gwnaent addunedau iddynt, a chrogent arnynt yspail eu gelynion; a phan elai ymdeithwyr heibio, nesäent atynt gyda pharch ac ofn crefyddol. Ond y mae y Galdeaeg, y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r Vulgate, yn nghydag un o ysgriflyfrau Kennicott, ac amrai esbonwyr, yn darllen yma *Astaroth*, ac nid *llwyni*.

Adn. 8. *Ac efe a'u gwerthodd hwynt*] Gwel ar pen. ii. 14; *i law Chusan-risathaim*—felly gorthrymwyr cyntaf yr Israeliaid oeddynt Syriaid, y rhai naill ai o ddygasedd, neu oddiar awydd i eangu eu llywodraeth, a ddaethant dros yr Euphrates i ymosod arnynt. *Brenin Mesopotamia*—neu Padan-aram: gwel ar Gen. xxviii. 2. Y rhan hòno o Syria ydoedd ag a orweddai rhwng y ddwy afon, sef y Tigris a'r Euphrates. *Wyth mlynedd*—buont yn ei wasanaethu ef fel milwyr, a than deyrnged iddo, am yr yspaid hwnw.

Adn. 9. *A meibion Israel*] Yn debygol tua diwedd yr wyth mlynedd, *a waeddasant ar yr Arglwydd*—am faddeuant ac achubiaeth, gan ei gydnabod ef fel yr unig un a allai eu gwaredu a'u noddi. *Othniel, mab Cenaz*—o lwyth Juda, nai a mab-yn-nghyfraith Caleb: gwel ar Jos. xv. 17.

Adn. 10. *Ac ysbryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef*] Mewn modd grymus a goruwchnat-

aeth allan i ryfel: a'r Arglwydd a
roddodd yn ei law ef Chusan-risath-
aim, brenin Mesopotamia; a'i law ef
oedd drech na Chusan-risathaim.
11 A'r wlad a gafodd lonydd ddeu-
gain mlynedd. A bu farw Othniel
mab Cenaz.
12 ¶ A meibion Israel a chwaneg-
asant wneuthur yr hyn oedd ddrwg
yn ngolwg yr Arglwydd: a'r Argl-
wydd a nerthodd Eglon brenin Moab
yn erbyn Israel, am iddynt wneuthur
drygioni yn ngolwg yr Arglwydd.
13 Ac efe a gasglodd ato feibion
Ammon, ac Amalec, ac a aeth ac a
darawodd Israel; a hwy a feddian-
nasant ddinas y palmwydd.
14 Felly meibion Israel a wasan-
aethasant Eglon brenin Moab ddeu-
naw mlynedd.
15 Yna meibion Israel a lefasant ar
yr Arglwydd: a'r Arglwydd a god-
odd achubwr iddynt; *sef* Ehwd mab
Gera, fab Jemini, gŵr llaw-chwith:
a meibion Israel a anfonasant anrheg
gydag ef i Eglon brenin Moab.
16 Ac Ehwd a wnaeth iddo ddager
ddau finiog o gufydd ei hyd, ac a'i
gwregysodd dan ei ddillad, ar ei glun
ddeau.

---

uriol, i'w gynhyrfu ef i achub y genedl, ac i'w wroli i fyned allan i ryfel â'u gorthrymwyr. Tybia rhai mai *gwroldeb anarferol* yn unig a feddylir yma, yn wrthwyneb i *ysbryd ofn:* ond gan fod Othniel i fod yn FARNWR, a bod ganddo lawer o swyddau i'w cyflawni heblaw bod yn gadfridog, yr oedd arno angen am Ysbryd Duw, yn ystyr priodol y gair, i'w alluogi i arwain a llywodraethu y bobl gyndyn ac anwastad hyn. *Ac efe a farnodd Israel*—y peth cyntaf a wnaeth ond odid oedd eu ceryddu a'u hargyhoeddi hwynt o'u pechodau, a'u diwygio oddiwrth eu heilunaddoliaeth; canys heb hyny nis gallai ddysgwyl am fendith yr Arglwydd ar ei waith. *Ac a aeth allan i ryfel*—nid yw yr hanesydd santaidd yn rhoddi dim hanes am y rhyfel hon, amgen na darfod i Othniel gael buddugoliaeth ar frenin Mesopotamia, ac adfer heddwch a barhaodd ddeugain mlynedd.

Adn. 11. *A bu farw Othniel*] Yn niwedd y deugain mlynedd o lonyddwch, meddai rhai; ond tybia ereill iddo farw cyn hyny. Y mae amseryddiaeth y llyfr hwn yn dra ansicr, ac yn dyrysu yr esbonwyr penaf.

Adn. 12. *A meibion Israel a chwanegasant wneuthur yr hyn oedd ddrwg, &c.*] Sef anghofio yr Arglwydd, a throi yn eilunaddolwyr. Yr un gŵr ag a'u rhyddhäai hwynt o gaethiwed, a'u purai hwynt hefyd oddiwrth eilunaddoliaeth: ond cyn gynted ag y byddai ef farw, darfyddai eu crefydd, eu heddwch, a'u dedwyddwch; fel nad yw eu holl hanes hwy, tra dan weinyddiaeth y barnwyr, ddim amgen nag olyniad cylchynol o bechod ac edifeirwch, caethiwed a rhyddhad. Dengys hyn y fath ddylanwad cryf a all un gŵr da, mewn awdurdod, ei gael dros genedl gyfan. *A'r Arglwydd a nerthodd Eglon*—trwy roddi iddo wroldeb, gallu, a llwyddiant yn erbyn Israel. Fel yr oedd Duw yn codi achubwyr iddynt ar eu hedifeirwch; felly efe a wrolai eu gelynion, ac a roddai iddynt allu i'w gorthrymu hwynt, pa bryd bynag y cilient oddiwrth ei wasanaeth ef.

Adn. 13. *Ddinas y palmwydd*] Sef Jericho, neu y rhan hono o'r wlad lle y safai Jericho: gwel ar pen. i. 16. Ymddengys iddynt sefydlu eu prif amddiffynfa yno, i ddrygu Israel yn barhaus o bob tu i'r Iorddonen. Ond tybia Calmet mai *Engedi* a feddylir.

Adn. 14. *Ddeunaw mlynedd*] Ni pharhaodd y caethiwed blaenorol ddim ond wyth mlynedd, adn. 8; eithr hwn ddeunaw mlynedd. Os na fydd i drallodion llai wneyd y gwaith, enfyn Duw rai mwy.

Adn. 15. *Yna meibion Israel a lefasant ar yr Arglwydd*] Ar ol dal ddeng mlynedd yn hwy na'r tro o'r blaen heb wneyd hyny. *A'r Arglwydd a gododd achubwr iddynt*—mor wir yw geiriau Nehemia am Dduw, mai 'Duw parod i faddeu' yw efe; a geiriau Daniel, 'Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn!' Neh. ix. 17, Dan. ix. 9. *Sef Ehwd mab Gera, fab Jemini*—hyny yw, o lwyth Benjamin. Y llwyth hwn oedd nesaf i Eglon, ac yn ddiamau a flinid fwyaf ganddo; ac o hwn y cododd Duw achubwr iddynt. *Gŵr llaw-chwith — ish itter yad yemino*, 'gŵr anafus yn ei ddeheulaw,' ac am hyny yn gorfod defnyddio ei law *chwith.* Y mae y LXX yn ei gyfieithu *amphoterodexion*, 'gŵr cyflaw,' neu un yn gallu defnyddio y ddwy law fel eu gilydd: felly hefyd y Vulgate, a'r esbonwyr yn gyffredinol. Y mae yn debyg mai hyn yw yr ystyr, gan fod yr un peth yn cael ei briodoli i saith gant o wŷr etholedig llwyth Benjamin, pen. xx. 16; canys prin y gallwn feddwl fod anaf ar ddeheulaw cynifer a hyny o honynt. Y mae yn dra hysbys fod gŵr a allai ddefnyddio ei ddwy law fel eu gilydd mewn bri mawr yn mysg yr henafiaid; ac yr oedd Plato yn cynghori pob milwr i ddysgu hyny trwy ymarferiad. *A meibion Israel a anfonasant anrheg gydag ef i Eglon*—y mae rhai yn deall hyn am y deyrnged a godid oddiarnynt; eithr tebycach yw ei fod yn meddwl rhodd wirfoddol dros ben eu taliadau arferol, trwy yr hon y gobeithient dyneru ei galon ac ennill ei ffafr. Dichon na wyddent hwy am fwriad Ehwd.

Adn. 16. *Ac Ehwd a wnaeth iddo ddager ddau finiog*] Fel y torai bob ffordd, ac y gwanai y cnawd yn rhwyddach a sicrach. *O gufydd ei hyd*—neu ddeunaw modfedd. Ond y mae *gomed*, yr hwn a gyfieithir yma yn *gufydd*, o arwyddocâd tra ambeus. Gan fod y gwreiddair yn arwyddo *cyfyngedig*, y mae yn debyg ei fod yn meddwl offeryn a wnaed yn fwriadol yn *fyrach* nag arferol, rywbeth tebyg i *stiletto* neu fidawg yr Eidaliaid. Y mae y LXX yn ei gyfieithu yn *rhychwant;* ac y mae y rhan fwyaf o'r cyfieithiadau yn ei dde-

17 Ac efe a ddyg yr anrheg i Eglon
brenin Moab. Ac Eglon *oedd* ŵr tew
iawn.
18 A phan ddarfu iddo ef gyflwyno
yr anrheg, efe a ollyngodd ymaith y
bobl a ddygasai yr anrheg.
19 Ond efe ei hun a drôdd oddiwrth
y chwarelau *oedd* yn Gilgal, ac a ddy-
wedodd, *Y mae* i mi air o gyfrinach â
thi, O frenin. Dywedodd yntau, Gos-
teg. A'r holl rai oedd yn sefyll yn ei
ymyl ef a aethant allan oddiwrtho ef.
20 Ac Ehwd a ddaeth i mewn ato
ef: ac yntau oedd yn eistedd mewn
ystafell haf; yr hon *oedd* iddo ef ei
hunan. A dywedodd Ehwd, Gair oddi
wrth Dduw *sydd* genyf atat ti. Ac
efe a gyfododd oddiar *ei* orseddfa.
21 Ac Ehwd a estynodd ei law as-
wy, ac a gymerth y ddager oddiar ei

---

all yn yr un ystyr. *Ac a'i gwregysodd dan ei ddillad ar ei glun ddeau*—yr hyn oedd yn fwy cyfleus at ei law chwith, ac i ochelyd drwgdybiaeth.

Adn. 17. *Ac Eglon oedd ŵr tew iawn*] Wedi cymeryd byd da yn helaeth-wych beunydd ar frasder Israel a gwlad Canaan, nes yr oedd wedi tewychu yn anferth, ac o ganlyniad yn rhy swrth i ffoi nac i'w amddiffyn ei hun. Ond y mae y LXX yn ei gyfieithu, 'gŵr *boneddigaidd* iawn,' i'r dyben ond odid i roddi cyfrif am y moesgarwch â pha un y derbyniodd efe Ehwd. Modd bynag, y mae *ish bari* yn meddwl *tew* neu *gorffol.*

Adn. 18. *A phan ddarfu iddo ef gyflwyno yr anrheg*] Mewn araeth briodol ar ran a thros Israel; *efe a ollyngodd ymaith y bobl a ddygasai yr anrheg*—sef oddiwrth y chwarelau. Yr oedd anrhegion yn cael eu cyflwyno gyda rhwysg mawr yn ngwledydd y dwyrain, nid yn unig i frenhinoedd a thywysogion, ond hefyd i foneddwyr îs. Yr oedd lluoedd yn cael eu rhoddi ar waith i gludo yr hyn na fuasai yn ormod baich i un, ac yr oedd y rhai hyny wedi eu gwisgo âg amrai addurniadau.

Adn. 19. *Ond efe ei hun a drôdd oddiwrth y chwarelau oedd yn Gilgal*] A drôdd yn ol, ar ol iddo ollwng ei weision tuag adref, adn. 18; gan gymeryd arno ei fod wedi anghofio rhan o'i neges, neu fod ganddo genadwri gyfrinachol at Eglon. Y mae y LXX a'r Vulgate yn deall y gair *pesilim*, yr hwn a gyfieithir yma yn *chwarelau*, fel yn arwyddo *eilunod* neu *ddelwau cerfiedig*. Gan fod *pasal* yn arwyddo *tori*, *naddu*, neu *gerfio*, gall gael ei gymhwyso at ddelwau a gerfiwyd fel hyn, neu at y chwarelau o ba rai y torwyd neu y cloddiwyd hwynt. Tybia rhai fod y Moabiaid wedi gosod y delwau hyn yn Gilgal i ddirmygu Duw Israel, yr hwn a anrhydeddasai Gilgal cyhyd â'i bresenoldeb; ac fel y gallent briodoli darostyngiad y wlad i'w heilunod, megys yr oedd yr Israeliaid yn rhoddi gogoniant eu buddugoliaethau i'r gwir Dduw: a thybiant yn mhellach ddarfod i Ehwd, pan ganfu efe y delwau hyn, gael ei gynhyrfu yn y fath fodd gan sel a digllonedd, fel, yn lle myned adref, y penderfynodd efe ddychwelyd i ddial yr anmharch a ddanghosid fel hyn i JEHOFA, yn gystal a'r gorthrymder â pha un y gwesgid ei bobl ef. *Y mae i mi air o gyfrinach â thi, O frenin*—rywbeth i'w ddywedyd wrthyt ar dy ben dy hun. *Dywedodd yntau, Gosteg*—hyny yw, dywedodd wrth Ehwd am beidio llefaru nes yr elai ei lyswyr allan o'r ystafell; neu, fel y mae yn y Syriaeg, dywedodd wrth ei lyswyr, 'Ewch allan;' a'r holl rai oedd yn sefyll yn ei ymyl ef a aethant allan.

Adn. 20. *Ac yntau oedd yn eistedd mewn ystafell haf*] Y mae yn debyg mai haf oedd hi y pryd hyn, a bod yr hin yn boeth: ac yr oedd gan y mawrion yn y dwyrain ystafelloedd oerion o ryw fath i eistedd ynddynt yr haf, a rhai cynhesach y gauaf, Jer. xxxvi. 22, Amos iii. 15. *Gair oddiwrth Dduw sydd genyf atat ti*—i'w draddodi nid mewn lleferydd, ond mewn gweithred. Yr oedd hyn yn wir os oedd Ehwd yn cael ei gynhyrfu i hyn, fel yr ymddengys ei fod, gan ddylanwad dwyfol. Modd bynag, llefarai Ehwd fel hyn i symud oddiwrth y brenin bob ofn perygl, ac hefyd i beri iddo godi oddiar ei sedd, yr hyn y gwyddai Ehwd y byddai iddo ei wneuthur, yn ol arferiad cyffredin y paganiaid, pan yn dysgwyl derbyn rhyw genadwri oddiwrth y duwiau a addolent. Efe yn fwriadol a ddefnyddiodd y gair *elohim*, yr hwn oedd gyffredin i'r gwir Dduw a duwiau y paganiaid, yn lle YEHOVAH, yr hwn oedd neillduol i'r gwir Dduw; canys byddai i Eglon fel hyn, heb wybod nad oddi wrth ei au-dduwiau ei hun y daethai y genadwri, fod yn fwy parod i godi, yr hyn a roddai fantais i Ehwd ei frathu ef yn angeuol. *Ac efe a gyfododd oddiar ei orseddfa*—yn arwydd o barch i'w dduwiau; yr hyn ni wnaethai pe gwybuasai mai oddiwrth Dduw Israel y daethai y genadwri. Cawn yma anghraifft hynod o'r parch a dalai dynion gynt i ba beth bynag a wisgai enw ac awdurdod dwyfol; ac y mae hyn yn gywilydd i'r rhai a ryfygant ymddwyn yn awr yn anmharchus yn nhŷ Dduw, lle y mae ei air ef yn cael ei draethu.

Adn. 21. *Ac Ehwd a estynodd ei law aswy*] Am ei fod yn ŵr llaw-chwith, adn. 15; a gallai estyn ei law aswy heb i Eglon feddwl ei fod yn myned i ymaflyd mewn dager, yn enwedig gan fod y ddager o'r golwg dan ei ddillad ef, adn. 16. *Ac a'i brathodd hi yn ei boten ef*—Saes. 'yn ei *fol;*' neu, yn ol Josephus, yn ei *galon*. Dylid sylwi fod Ehwd yn ymddwyn yma nid fel llofrudd neu fwrddrwr, ond fel swyddog yn gweinyddu barnau Duw, neu fel barnwr yn dial cyfiawnder dwyfol ar orthrymydd anfad ei bobl. Dywedir yn bendant i'r Arglwydd godi Ehwd yn achubwr iddynt, adn. 15; ac y mae yn eglur fod yr holl waredigaethau a gafodd yr Israeliaid dan y barnwyr, yn cael eu cyfarwyddo a'u dwyn i ben trwy awdurdod Duw. Gan hyny y mae yr awdurdod dwyfol yn ddigon o reswm i gyfiawnhau ymddygiad Ehwd, er na ddylai ei siampl ef yn hyn gael ei dylyn heb yr awdurdod hwnw. Y mae rhai esbonwyr yn beio Ehwd yn fawr am y weithred hon; ond paham nad allai ef fod wedi ei ysbrydoli i ladd y gor-

glun ddeau, ac a'i brathodd hi yn ei
boten ef.
22 A'r carn a aeth i mewn ar ol y
llafn, a'r brasder a amgauodd am y
llafn, fel na allai dynu y ddager allan
o'i boten; a'r dom a ddaeth allan.
23 Yna Ehwd a aeth allan trwy y
cyntedd, ac a gauodd ddrysau yr ys-
tafell arno, ac a'i clôdd.
24 Pan aeth efe ymaith, ei weision
a ddaethant: a phan welsant, wele,
*fod* drysau yr ystafell yn glöedig,
hwy a ddywedasant, Diau esmwyth-
âu ei gorff y mae efe yn yr ystafell
haf.
25 A hwy a ddysgwyliasant, nes
cywilyddio *o honynt:* ac wele, nid
oedd efe yn agori drysau yr ystafell.
Yna hwy a gymerasant agoriad, ac a
agorasant: ac wele, eu harglwydd
hwy wedi cwympo i lawr yn farw.
26 Ac Ehwd a ddiangodd, tra fuant
hwy yn aros; ac efe a aeth y tu
hwnt i'r chwarelau, ac a ddiangodd i
Seirath.
27 A phan ddaeth, efe a udganodd
mewn udgorn yn mynydd Ephraim:
a meibion Israel a ddisgynasant gyd
ag ef o'r mynydd, ac yntau o'u blaen
hwynt.
28 Ac efe a ddywedodd wrthynt,
Canlynwch fi: canys yr Arglwydd a
roddodd eich gelynion chwi, *sef* Mo-
ab, yn eich llaw chwi. A hwy a aeth-
ant i waered ar ei ol ef, ac a ennillas-
ant rydau yr Iorddonen tua Moab, ac
ni adawsant i neb fyned drwyodd.
29 ¶ A hwy a darawsant o'r Moab-

---

thrymwr hwn ar bobl yr Arglwydd, yn gystal a Josua, Caleb, neu Dafydd?

Adn. 22. *A'r carn a aeth i mewn ar ol y llafn*] Gan fod y ddager yn lled fyr, adn. 16, ac Eglon yn ŵr tew iawn, a'r tarawiad yn rymus i'r eithaf, gallasai fod fel hyn yn hawdd. *Fel na allai dynu y ddager allan*—ond gadawodd hi yn ei gnawd ef, gan fyned ymaith hebddi. *A'r dom a ddaeth allan*—nid trwy yr archoll, oblegid yr oedd y ddager yno, a'r brasder wedi ymgau am dani; eithr i waered yn y ffordd arferol, yn effaith dychryn a phoen, fel y dygwydda yn fynych ar ymollyngiad natur mewn marwolaeth.

Adn. 23. *Yna Ehwd a aeth allan trwy y cyntedd*] Yn arafaidd a digyffro, heb ddim yn ei agwedd na'i wynebpryd i'w fradychu: yr oedd ef yn ei feddiannu ei hun fel arferol, canys gwyddai ei fod wedi cyflawni ei ddyledswydd, a gwneyd yr hyn a fynai Duw iddo ei wneyd. *Ac a gauodd ddrysau yr ystafell*—sef drws yr ystafell, a drws y fynedfa iddi; *ac a'u clôdd*—trwy dynu y drysau ar ei ol, y rhai a glieiedent oddifewn, neu trwy gymeryd yr allweddau ymaith.

Adn. 24. *Pan aeth efe ymaith, &c.*] Ar ol i Ehwd fyned allan o'r ystafell haf, a thrwy y cyntedd, daeth gweision Eglon at y drysau, i sefyll yn y cyntedd fel arferol, i fod yn barod i weini ar y brenin wrth ei alwad. *A phan welsant, wele, fod drysau yr ystafell yn gloedig*—gan dybied fod y brenin ei hun wedi eu cloi hwynt ar ymadawiad Ehwd, i'r dyben a grybwyllir yma. *Diau mai esmwythâu ei gorff y mae efe*—yn y geudy perthynol i'r ystafell haf: ond tybia rhai mai gorwedd i gysgu ar esmwythfainc a feddylir.

Adn. 25. *A hwy a ddysgwyliasant nes cywilyddio o honynt*] Nes bod mewn dyryswch mawr; yn ofni myned i mewn ato, rhag ei aflonyddu ef; ac yn ofni dysgwyl yn mhellach, rhag ymddangos yn euog o esgeulusdra tuag ato. *Yna hwy a gymerasant agoriad*—sef agoriad neu allwedd arall, trwy fod yn arferol mewn llysoedd brenhinoedd i fwy nag un feddu agoriadau i'r un ystafell. *Ac wele eu harglwydd hwy wedi cwympo i lawr yn farw*—yn ei waed a'i dom ei hun, a'r ddager ddaufiniog yn ei boten. Fel hyn cafwyd y gorthrymwr gormesol yn farw yn yr ystafell lle y mynych arferasai efe foethineb a rhysedd, ac ond odid lawer o bechodau ysgeler ac aflan.

Adn. 26. *Ac Ehwd a ddiangodd tra fuant hwy yn aros*] Hyny yw, yr oedd gweinyddydd cyfiawnder wedi myned lawer o filldiroedd o'r lle cyn i weision Eglon ddatgloi y drysau. Yr oedd oddeutu tair milldir i'r chwarelau yn Gilgal; ac yr oedd Seirath yn mynydd Ephraim, amrai filldiroedd i'r gogledd-orllewin o Gilgal.

Adn. 27. *A phan ddaeth, efe a udganodd mewn udgorn*] I roddi rhybydd i bawb a ewyllysient adennill eu rhyddid, i ymarfogi a'i ddylyn ef. Y mae yn debyg fod Ehwd wedi crybwyll am yr arwydd hwn o'r blaen, os llwyddai efe yn ei fwriad yn erbyn Eglon. *A meibion Israel a ddisgynasant gydag ef o'r mynydd*—lle yr oeddynt wedi ymgasglu wrth sain yr udgorn; *ac yntau o'u blaen* — fel eu cadfridog.

Adn. 28. *Yr Arglwydd a roddodd eich gelynion chwi, sef Moab, yn eich llaw chwi*] Efe a lefarai fel hyn trwy ddylanwad dwyfol ar ei feddwl mai felly y byddai, a chadarnheid ef yn y grediniaeth trwy y llwyddiant a gawsai efe yn erbyn Eglon brenin Moab. *A hwy a aethant i waered ar ei ol ef*—yn siriol a chalonog, gan gredu fod Ehwd yn achubwr iddynt oddiwrth yr Arglwydd; *ac a ennillasant rydau yr Iorddonen*—lle yr arferid croesi yr afon hòno, fel ag i attal i'r Moabiaid ag oeddynt yn Nghanaan allu dianc i'w gwlad eu hunain, ac i rwystro i ychwaneg o Foabiaid groesi yr Iorddonen i'w cynorthwyo. Yr oedd gwlad Moab yn gorwedd o du y dwyrain i'r Iorddonen a'r Môr Marw, ger afon Arnon.

Adn. 29. *A hwy a darawsant o'r Moabiaid y pryd hwnw yn nghylch deng mil o wŷr*] Y rhai a geisient groesi yr Iorddonen i ffoi i'w gwlad eu hunain. *Pawb yn rymus*—neu yn dewion o gyrff, fel yr arwydda y gair: yr oeddynt hwythau, fel Eglon, wedi bod yn byw ddeunaw mlynedd ar frasder y wlad, adn. 17. *A phawb yn wŷr nerthol*—yn filwyr galluog,

iaid y pryd hyny yn nghylch deng mil
o wŷr, pawb yn rymus, a phawb yn
wŷr nerthol; ac ni ddiangodd neb.
30 Felly y darostyngwyd Moab y
dwthwn hwnw dan law Israel. A'r
wlad a gafodd lonydd bedwar ugain
mlynedd.
31 ¶ Ac ar ei ol ef y bu Samgar
mab Anath; ac efe a darawodd o'r
Philistiaid chwe-channwr âg irai ych-
ain: yntau hefyd a waredodd Israel.

## PENNOD IV.

A MEIBION Israel a chwanegas-
ant wneuthur drygioni yn ngolwg
yr Arglwydd, wedi marw Ehwd.
2 A'r Arglwydd a'u gwerthodd
hwynt i law Jabin brenin Canaan, yr
hwn oedd yn teyrnasu yn Hazor: a
thywysog ei lu ef *oedd* Sisera; ac efe
oedd yn trigo yn Haroseth y cen-
hedloedd.
3 A meibion Israel a lefasant ar yr
Arglwydd: canys naw can cerbyd
haiarn *oedd* ganddo ef; ac efe a or-
thrymodd feibion Israel yn dost ug-
ain mlynedd.
4 ¶ A Debora y broffwydes, gwraig
Lapidoth, y hi oedd yn barnu Israel
yr amser hwnw.
5 Ac yr oedd hi yn trigo dan balm-
wydden Debora, rhwng Rama a Beth-

---

y rhai a gadwai brenin Moab yn Nghanaan i ddarostwng yr Israeliaid.

Adn. 30. *A'r wlad a gafodd lonydd*] Nid holl wlad Israel, eithr y rhan ddwyreiniol o honi, yr hon fel hyn a ysgydwasai ymaith iau Moab. Yr oedd y Philistiaid yn y cyfamser yn blino y parthau gorllewinol, fel yr adroddir adn. 31; a Jabin yn blino y parthau gogleddol, fel yr adroddir yn y bennod nesaf. *Bedwar ugain mlynedd*—y mae hyn yn cael ei gyfrif yn gyffredin o amser y waredigaeth dan Othniel; ond ar hyn nid oes sicrwydd.

Adn. 31. *Ac ar ei ol ef y bu Samgar*] Efe oedd trydydd barnwr yr Israeliaid, yr hwn a'u hachubodd hwynt oddiwrth ryw fân adfydau a ddyoddefent oddiwrth y Philistiaid. Ni ddyry yr hanesydd santaidd ddim o'i hanes ef, amgen na'i fod yn waredwr i Israel, ac iddo ladd chwe-channwr o'r Philistiaid. *Ag irai ychain*—neu, fel y mae y Lladin a'r Roeg yn ei gyfieithu, 'â swch neu gwlltwr arad.' Y mae y wreiddiol, *malmad habbakar*, yn arwyddo unrhyw offeryn â'r hwn y dysgir ychain i aredig. Y mae yn debyg ei fod ef yn dylyn yr arad pan y daeth y Philistiaid i mewn; a chan nad oedd ganddo na chleddyf na gwaewffon pan roddodd Duw yn ei galon i'w gwrthwynebu, efe a ymaflodd yn yr offeryn nesaf at law. Ni waeth pa mor wael y byddo yr offeryn, os bydd Duw yn cyfarwyddo ac yn nerthu y fraich. Bydd i irai neu swmbwl ychain, pan y gwelo Duw yn dda, wneyd mwy na chleddyf Goliath. Ac y mae ef rai troion yn dewis gweithio trwy y fath offerynau gwael, fel y byddo godidogrwydd y gallu o Dduw, ac y caffo ef yr holl ogoniant. Y mae y Galdeaeg, y Syriaeg, a'r Arabaeg, yn ei ddeall am irai, ierthi, neu swmbwl, â'r hwn y y gyrir ychain wrth aredig. Gwelodd Mr. Maundrell rai yn cael eu defnyddio yn Palestina yn wyth troedfedd o hyd, ac yn y pen praffaf yn chwe modfedd o amgylchedd. Yr oedd eu blaen yn bigfain i yru yr ychain, ac yn eu bôn yr oedd math ar raw haiarn i lanhau yr arad oddiwrth y pridd a'r clai. Rhaid addef mai offeryn ofnadwy fyddai hwn, neu gwlltwr arad, yn llaw gŵr bywiog a nerthol i ymosod ar ei elynion; ond nid yw yr hanesydd santaidd yn priodoli y gyflafan a wnaed, na'r fuddugoliaeth a ennillwyd gan Samgar, i ardderchogrwydd yr offeryn a ddefnyddiai efe, ond i allu Duw. *Yntau hefyd a waredodd Israel*—oddiwrth y Philistiaid yspeilgar, fel na feiddiasant flino Israel am hir amser wedi hyn.

PEN. IV. Adn. 1. *A meibion Israel a chwanegasant wneuthur drygioni yn ngolwg yr Arglwydd*] Trwy syrthio i eilunaddoliaeth, a'r pechodau cydfynedol, y drydedd waith: gwel pen. iii. 7, 12. *Wedi marw Ehwd*—neu '*oblegid* marw Ehwd,' fel y gellir ei ddarllen, ebai Patrick. Y mae yn debyg fod Samgar wedi marw o flaen Ehwd, a bod y bobl yn gyffredinol yn parhau yn ffyddlon i'r Arglwydd hyd farwolaeth Ehwd. Ymddengys fod y ddau farnwr hyn yn cydoesi, ond yn byw mewn rhanau gwahanol o wlad Canaan: gwel ar pen. iii. 30.

Adn. 2. *A'r Arglwydd a'u gwerthodd hwynt*] Yr oeddynt hwy wedi ymwerthu i eilunaddoliaeth, neu werthu yr Arglwydd am eilunod; ac y mae yntau yn eu gwerthu hwythau i'r Canaaneaid: gwel ar pen. ii. 14. *I law Jabin*—y mae yn debyg fod y Jabin hwn yn fab neu ŵyr i'r Jabin a syrthiodd trwy ddwylaw Josua, Jos. xi. 1, &c.; ac iddo fod yn dysgwyl am gyfleusdra i adennill ei hen feddiannau, a dial cweryl ei dad. *Brenin Canaan*—nid brenin yr oll o Ganaan, eithr y rhan hôno o honi lle yr oedd Hazor yn sefyll; a dichon ei fod yn frenin ar genedl y Canaaneaid, fel un o'r saith genedl. *Yr hwn oedd yn teyrnasu yn Hazor*—yr hon, er ddarfod ei llosgi gan Josua, Jos. xi. 11, a allai fod yn awr wedi ei hailadeiladu, a'i hadfer i'w nerth a'i rhwysg blaenorol. *A thywysog ei lu ef oedd Sisera*—gan yr hwn yr oedd gofal y naw can cerbyd haiarn, adn. 13. *Ac efe oedd yn trigo yn Haroseth y cenhedloedd*—lle a elwid felly am i lawer o genhedloedd Canaan ymgynull yno i gynorthwyo Sisera yn erbyn Israel, ac i gael eu hamddiffyn ganddo ef. Yr oedd hefyd ar derfyn y cenhedloedd a breswylient o du y gogledd i wlad Canaan: gwel ar Mat. iv. 15.

Adn. 3. *A meibion Israel a lefasant ar yr Arglwydd*] Am waredigaeth o'u gorthrymder tost: gwel ar pen. iii. 9, 15. *Naw can cerbyd haiarn oedd ganddo ef*—y rhai yr oedd math ar bladuriau haiarn yn ymestyn allan o'u hochrau, i dori eu gelynion i lawr fel

el, yn mynydd Ephraim: a meibion Israel a ddeuent i fyny ati hi am farn.

6 A hi a anfonodd, ac a alwodd am Barac fab Abinoam, o Cedes Naphtali; ac a ddywedodd wrtho, Oni orchymynodd Arglwydd Dduw Israel, *gan ddywedyd,* Dos, a thyn tua mynydd Tabor, a chymer gyda thi ddeng mil o wŷr, o feibion Naphtali, ac o feibion Zabulon.

7 A mi a dynaf atat, i afon Cison, Sisera, tywysog llu Jabin, a'i gerbydau, a'i luaws; ac a'i rhoddaf ef yn dy law di.

8 A Barac a ddywedodd wrthi, Od âi di gyda mi, minau a âf; ac onid âi gyda mi, nid âf.

---

gwair: gwel ar Jos. xvii. 16. Dywedir fod cerbydau o'r fath gan yr hen Gymry gynt. *Ac efe a orthrymodd feibion Israel yn dost ugain mlynedd*—ddwy flynedd yn hwy na'r tro o'r blaen, a deuddeng mlynedd yn hwy na'r tro cyntaf: (gwel ar pen. iii. 8, 14:) ac yr oedd y gorthrymder hwn nid yn unig yn feithach, ond hefyd yn dostach, am fod eu drygioni yn awr yn fwy.

Adn. 4. *A Debora y broffwydes*] Fel Miriam, chwaer Moses ac Aaron, yr oedd Debora wedi ei chynysgaethu â doniau y nef, angenrheidiol i addysgu, hyfforddi, a cheryddu: ac heblaw hyny, yr oedd hi yn cael ei galluogi gan Ysbryd Duw i draethu ei ewyllys ef i'r bobl, ac i ragfynegu pethau i ddyfod, fel yr ymddengys oddiwrth yr adnodau dylynol. Ystyr ei henw yw *gwenynen;* ac yr oedd hi yn ateb i'w henw yn ei diwydrwydd, ei challineb, ei mwynder melys i'w chyfeillion, a'i llymder poenus i'w gelynion. *Gwraig Lapidoth*—tybia rhai mai Lapidoth oedd enw ei *gŵr* hi; eithr tybia ereill mai enw *lle* oedd Lapidoth; a darllenant y geiriau, 'gwraig *o* Lapidoth,' sef o ryw *dref* o'r enw hwnw, fel y gellir cyfieithu y wreiddiol. Terfyniad *benywaidd* lluosog yw *oth,* ac anfynych y defnyddir ef mewn enw gwryw. Ystyr y gair yw *lampau* neu *oleuadau;* ac y mae rhai yn darllen y frawddeg, 'gwraig o *oleuadau,*' neu o *oleuni* yn Israel. *Hi oedd yn barnu Israel yr amser hwnw*—yn eu hannog i edifeirwch a diwygiad, ac i ymysgwyd odditan iau drom Jabin, ac yn gwneuthur cyfiawnder rhwng gŵr a gŵr. Dyma y wraig gyntaf a gawn yn trin materion gwladol a chrefyddol.

Adn. 5. *Ac yr oedd hi yn trigo dan balmwydden*] Yr oedd ei thŷ hi dan bren a elwid *Palmwydden Debora,* am ei bod yn trigo dani. Neu, fel y mae y LXX a'r Vulgate yn ei ddeall, 'hi a *eisteddai* dan balmwydden,' i wrando, barnu, a chynghori y bobl pan ddygent eu hachosion ati. *Rhwng Rama a Bethel*—lleoedd yn rhandir Benjamin, ar derfyn Ephraim, Jos. xviii. 22, 25. Dywed yr Iuddewon fod Debora yn wraig gyfoethog iawn, yn gystal ag yn dduwiol; fod ganddi balmwydd yn Jericho, perllanau yn Rama, olewwydd yn y dyffryn, a baddon yn Bethel.

Adn. 6. *A hi a anfonodd ac a alwodd am Barac*] Hi a'i penododd ef yn *gadfridog* y byddinoedd ar yr achlysur hwn; yr hyn a ddengys mai ganddi hi yr oedd y prif awdurdod yn y llywodraeth. Dywed yr Iuddewon mai gŵr Debora oedd Barac, ond nad oedd hi yn byw gydag ef er pan ddaethai ysbryd proffwydoliaeth arni. Modd bynag, y mae yn debyg y gwyddai hi rywbeth am ei wroldeb milwraidd ef o'r blaen, er ei fod yn byw yn mhell oddiwrthi, sef yn rhandir Naphtali. *Oni orchymynodd Arglwydd Dduw Israel*—hyny yw, efe a orchymynasai wrthi hi trwy ysbryd proffwydoliaeth. *Dos, a thyn tua mynydd Tabor*—mynydd ar derfynau Zabulon, rhwng Issacar a Naphtali, ac felly yn gyfleus iawn i'r llwythau hyn gydgyfarfod yno. Y mae yn sefyll wrtho ei hun ar wastadedd Esdraelon, oddeutu hanner cant o filldiroedd yn ogleddol o Jerusalem, ar lun torth siwgr, a'r ffordd yn dyrwyn o'i amgylch i'w ben, yr hon a gymerodd i Mr. Maundrell yn agos i awr i'w theithio. Y mae ar ei gopa wastadedd hirgrwn, oddeutu chwarter milldir o hyd, yn ddigon eang i gynwys byddin o 10,000 o wŷr, a'u hyfforddi mewn ymarferiadau milwraidd. Meddylia rhai mai yma y gweddnewidiwyd ein Hiachawdwr; ac y mae ar ei ben dwyreiniol lawer o adfeilion, gweddillion amddiffynfeydd, muriau, ac eglwys hen iawn. Pan edrychir arno o bell, ymddanghosa yn brydferth hynod, trwy fod ei ochrau wedi eu haddurno â choedydd iraidd a deiliog. Oddiar ei ben gellir gweled Môr-y-canoldir yn orllewinol, Môr Galilea yn ogledd-ddwyreiniol, mynyddoedd Libanus yn ogleddol, a'r wlad o amgylch Jerusalem yn ddeheuol; ac wrth ei droed, yn nghanol coedydd, danghosir y fan lle y dywedir i Debora gael ei geni. *O feibion Naphtali, ac o feibion Zabulon*—y rhai hyn oeddynt nesaf at law, ac ond odid yn cael eu gorthrymu dostaf; ac felly byddent yn barotach i fyned allan yn erbyn eu gelynion.

Adn. 7. *A mi a dynaf atat i afon Cison*] Y rhai hyn ydynt eiriau Duw trwy Debora, fel y geiriau o'r blaen, adn. 6; yn dangos y tynai efe Sisera a'i fyddin, trwy ddylanwadu ar eu meddyliau, i ymladd â Barac wrth *afon Cison.* Yr oedd un gangen o'r afon hon yn codi yn agos i Daberah, pentref bychan wrth droed Tabor. Yn ystod y tymhor gwlawog y mae yr holl ddwfr ag sydd yn disgyn ar ochr ddwyreiniol y mynydd, ac ar y codiad tir deheuol, yn rhedeg iddi yn ffrydiau lluosog, nes y mae yn gorlifo ei glanau, a chyda gorwylltedd mawr yn cario y cwbl o'i blaen. Gall mai ar y fath dymhor a hwn yr oedd y 'ser,' fel y dywedir, 'yn ymladd yn erbyn Sisera,' (gwel ar pen. v. 20, 21,) trwy ddwyn y fath helaethrwydd o wlaw nes yr oedd y *Cison* yn ysgubo ymaith fyddin Sisera wrth geisio ei chroesi. *Sisera tywysog llu Jabin, a'i gerbydau, a'i luaws*—gan fod rhif y cerbydau yn naw cant, rhaid fod lluaws ei filwyr ef yn fawr iawn, i gyfateb i gynifer o gerbydau: ond pa nifer bynag oedd o honynt, rhoddai Duw hwynt oll yn llaw Barac: gwel ar adn. 13.

Adn. 8. *Od âi di gyda mi*] I roddi dy weddiau a'th gyfarwyddyd yn yr ymgyrch,

9 A hi a ddywedodd, Gan fyned yr
âf gyda thi: eto ni bydd gogoniant i
ti yn y daith yr wyt yn myned iddi;
canys yn llaw gwraig y gwerth yr Ar-
glwydd Sisera. A Debora a gyfododd,
ac a aeth gyda Barac i Cedes.
10 ¶ A Barac a gynullodd Zabulon
a Naphtali i Cedes; ac a aeth i fyny â
deng mil o wŷr wrth ei draed: a De-
bora a aeth i fyny gydag ef.
11 A Heber y Cenead, o feibion
Hobab, chwegrwn Moses, a ymneill-
duasai oddiwrth y Ceneaid, ac a led-
asai ei babell hyd wastadedd Zaanaim,
yr hwn *sydd* yn ymyl Cedes.
12 A mynegasant i Sisera, fyned o
Barac mab Abinoam i fyny i fynydd
Tabor.
13 A Sisera a gynullodd ei holl ger-
bydau, *sef* naw can cerbyd haiarn, a'r
holl bobl y rhai *oedd* gydag ef, o Há-
roseth y cenhedloedd hyd afon Cison.
14 A Debora a ddywedodd wrth
Barac, Cyfod; canys hwn *yw* y dydd
y rhoddodd yr Arglwydd Sisera yn dy
law di: onid aeth yr Arglwydd allan
o'th flaen di? Felly Barac a ddisgyn-
odd o fynydd Tabor, a deng mil o wŷr
ar ei ol.
15 A'r Arglwydd a ddrylliodd Si-
sera, a'i holl gerbydau, a'i holl fydd-
in, â min y cleddyf, o flaen Barac: a

---

fel proffwydes a barnyddes; *minau a âf*—mewn ufydd-dod i orchymyn Duw, ac mewn ffydd yn ei addewid ef. *Ac onid âi di gyda mi, nid âf* — y mae y LXX yn chwanegu yma, *am nas gwn* Y DYDD *yr enfyn yr Arglwydd ei angel i'm llwyddo.* Ymddengys ei fod yn arwyddo wrth hyn, er ei fod yn *credu* iddo gael galwad ddwyfol i'r gwaith, eto, gan na wyddai efe yr *amser* yn yr hwn yr oedd yn briodol iddo wneyd yr ymosodiad, ei fod yn ewyllysio i Debora, ar yr hon yr oedd yr Ysbryd Dwyfol yn gorphwys yn barhaus, fyned gydag ef, i roddi gwybodaeth iddo *pa bryd* i wneuthur y tarawiad ag y gwyddai efe y byddai yn effeithiol. Y mae hyn yn gwbl naturiol a rhesymol, ac yn eithaf cyson â'r ganmoliaeth a ddyry yr apostol i *ffydd* Barac, Heb. xi. 32. Gwel ar adn. 14.

Adn. 9. *Gan fyned yr âf gyda thi*] Yn ol dy ddeisyfiad; *eto ni bydd gogoniant i ti yn y daith*—sef gogoniant y fuddugoliaeth, am y priodolid hyny i Debora fel barnyddes, ac nid iddo ef fel cadfridog, os nad âi efe hebddi hi. *Canys yn llaw gwraig y gwerth yr Arglwydd Sisera*—os bydd i mi fyned gyda thi yn yr ymgyrch hwn. Ond tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at waith *Jael* yn pwyo yr hoel yn ei arlais ef fel ag i'w ladd, adn. 21. Pa un bynag ai ati ei hun ynte at Jael y cyfeiria Debora, y mae yn amlwg ei bod yn llefaru dan ysbryd proffwydoliaeth. *A Debora a gyfododd*—odditan y balmwydden rhwng Rama a Bethel, adn. 5; *ac a aeth gyda Barac i Cedes*—i gynull y deng mil o wŷr i'r rhyfel bresenol, adn. 6. Yr oedd y daith hon, yn ol y darlunleni, oddeutu 75 o filldiroedd o leiaf.

Adn. 10. *A Barac a gynullodd Zabulon a Naphtali*] Sef deg mil o wŷr o'r ddau lwyth hyn; *i Cedes*—ei gartref ei hun. Efe a wnaeth hyny trwy anfon swyddogion i'w gwahodd, neu trwy udganu mewn udgorn fel Ehwd, pen. iii. 27. *Ac a aeth i fyny*—i fynydd Tabor, adn. 12; *a deng mil o wŷr wrth ei draed*—yn ei ddylyn ef fel eu cadfridog: neu gall arwyddo mai milwyr traed oeddynt oll, ac nid gwŷr meirch.

Adn. 11. *A Heber y Cenead*] Gŵr Jael, adn. 17; *o feibion Hobab* — gwel ar pen. i. 16; *a ymneillduasai oddiwrth y Ceneaid*—oddiwrth y lleill o'i frodyr, y rhai a breswylient yn niffaethwch Juda. *Ac a ledasai ei babell hyd wastadedd Zaanaim*—yr hwn oedd ychydig yn ogledd-orllewinol o Cedes. Crybwyllir hyn am Heber a'i breswylfod, fel rhagarweiniad i'r hyn a ddywedir eto am ei wraig ef, adn. 17, &c.

Adn. 12. *A mynegasant i Sisera*] Sef rhyw ysbïwyr ag oedd gan Sisera yn gwylio symudiadau Barac a'i fyddin.

Adn. 13. *A Sisera a gynullodd ei holl gerbydau*] Y rhai oeddynt ar wasgar trwy y wlad, i gadw Israel mewn braw a darostyngiad. *Naw can cerbyd haiarn*—gwel ar adn. 3. Dywed Josephus fod holl fyddin Sisera yn cynwys 300,000 o wŷr traed, 10,000 o wŷr meirch, a 3,000 o gerbydau heiyrn. *O Haroseth* — gwel ar adn. 2. Yr oedd o Haroseth at afon Cison yn agos i ddeugain milldir o ffordd.

Adn. 14. *Cyfod; canys hwn yw y dydd*] Yn ol y LXX, fel y gwelsom ar adn. 8, yr oedd Barac yn anfoddlon i fyned i'r ymgyrch hwn heb i Debora fyned gydag ef, i fynegu iddo *y dydd* priodol i ymosod ar Sisera yn llwyddiannus; ac y mae hithau yn awr, ar ol i'r dydd hwnw wawrio, yn dangos iddo mai dyna yr *adeg* y rhoddai yr Arglwydd Sisera yn ei law ef. *Onid aeth yr Arglwydd allan o'th flaen di*—fel pen-rhyfelwr i ymladd drosot? Dywed yr Iuddewon fod Debora yn canfod y *Secina*, neu yr arwydd dysglaer a gogoneddus o bresenoldeb JEHOFA, yn myned tua gwersyll Sisera, ac megys yn amneidio ar Israel i ganlyn. *Felly Barac a ddisgynodd o fynydd Tabor*—ni ddefnyddiodd Barac y fantais o'r mynydd, o'r lle y gallai anfon ei saethau at y gelyn, a bod allan ei hun o gyraedd y cerbydau heiyrn; eithr efe a aeth yn hyf i'r gwastadedd, i ganol y meirch a'r cerbydau, fel y byddai y fuddugoliaeth yn ogoneddusach. Y mae yn debyg nad aeth Debora i faes y gwaed gyda Barac; eithr ddarfod iddi hi aros ar ben Tabor i weddio dros Israel, i weled y fuddugoliaeth, ac i gyfansoddi o leiaf ran o'r gân a adroddir yn y bennod nesaf.

Adn. 15. *A'r Arglwydd a ddrylliodd Sisera, &c.*] Y mae yn sicr i Israel ymladd yn wrol a ffyrnig; eto priodolir dinystr eu gelynion i'r Arglwydd. Arwydda y wreiddiol ddarfod iddynt gael eu dyrysu a'u gorchfygu gan *dwrf* a *dychryn* ofnadwy; ac ymddengys oddiwrth pen. v. 20, ddarfod i'r Arglwydd beri

Sisera a ddisgynodd oddiar *ei* gerbyd,
ac a ffôdd ar ei draed.
16 Ond Barac a erlidiodd ar ol y
cerbydau, ac ar ol y fyddin, hyd Ha-
roseth y cenhedloedd: a holl lu Sisera
a syrthiodd ar fin y cleddyf; ni adaw-
yd un o honynt.
17 Ond Sisera a ffôdd ar ei draed i
babell Jael, gwraig Heber y Cenead:
canys *yr oedd* heddwch rhwng Jabin
brenin Hazor a thŷ Heber y Cenead.
18 ¶ A Jael a aeth i gyfarfod â
Sisera; ac a ddywedodd wrtho, Tro i
mewn, fy arglwydd, tro i mewn ataf
fi; nac ofna. Yna efe a drôdd ati i'r
babell, a hi a'i gorchuddiodd ef â
gwrthban.
19 Ac efe a ddywedodd wrthi, Dioda
fi, atolwg, âg ychydig ddwfr; canys
sychedig wyf. Yna hi a agorodd gyn-
nog o laeth, ac a'i diododd ef, ac a'i
gorchuddiodd.
20 Dywedodd hefyd wrthi, Saf *wrth*
ddrws y babell; ac os daw neb i mewn,
a gofyn i ti, a dywedyd, A oes yma
neb? yna dywed dithau, Nac *oes.*
21 Yna Jael gwraig Heber a gy-
merth hoel o'r babell, ac a gymerodd
forthwyl yn ei llaw, ac a aeth i mewn
ato ef yn ddystaw, ac a bwyodd yr
hoel yn ei arlais ef, ac a'i gwthiodd
i'r ddaear (canys yr oedd efe yn cysgu,
ac yn lluddedig) ac *felly* y bu efe
farw.
22 Ac wele, a Barac yn erlid Sisera,
Jael a aeth i'w gyfarfod ef; ac a ddy-

---

ystorm arswydus o wynt, mellt a tharanau, yn nghyda gwlaw a chenllusg dychrynllyd, fel nad allai byddin Sisera ymladd dim, yr hyn a gadarnheir gan Josephus. *A min y cleddyf*—sef cleddyf Barac a'i fyddin, y rhai a ddefnyddid fel rhan o offerynau Duw ar yr achlysur. Nid oedd ganddynt hwy ddim i'w wneuthur ond lladd y rhai ag yr oedd Duw, trwy arfau grymusach, wedi eu gorchfygu eisioes. *A Sisera a ddisgynodd oddiar ei gerbyd*—fel y gallai ffoi yn fwy disylw, ac heb i'w gerbyd fyned ar draws cerbydau ereill yn yr annhrefn.

Adn. 16. *Ond Barac a erlidiodd ar ol y cerbydau*] Gan rifo i'r cleddyf bob un a oddiweddent ar y ffordd; *hyd Haroseth y cenhedloedd*—gwel ar adn. 2. *A holl lu Sisera a syrthiodd ar fin y cleddyf*—neu *trwy* fin y cleddyf; *ni adawyd un*—ar y maes, neu ar y ffordd i Haroseth, er y gallai i rai o honynt ddianc ymaith, fel y gwnaethai Sisera.

Adn. 17. *Ond Sisera a ffôdd ar ei draed i babell Jael*] Canys yr oedd gan y gwragedd eu pebyll ar wahan i eiddo eu gwŷr, Gen. xxiv. 67, a xxxi. 33; a thybiai Sisera y byddai ef yn fwy dirgel a diogel yma nag yn mhabell ei gŵr. *Canys yr oedd heddwch rhwng Jabin brenin Hazor a thŷ Heber*—am eu bod hwy yn bobl heddychol yn y wlad, yn ffieiddio rhyfel, ac yn rhoddi eu holl fryd ar fagu anifeiliaid; ac heblaw hyny, nid oeddynt hwy yn Israeliaid o genedl, â'r rhai yr oedd Jabin yn cweryla yn benaf; a gellir meddwl hefyd fod Duw yn tueddu ei galon ef i bleidio y rhai ag oeddynt yn ofalus i ochel eilunaddoliaeth, a phechodau ereill trwy y rhai yr ymlygrasai Israel.

Adn. 18. *A Jael a aeth i gyfarfod â Sisera*] Wrth ei weled ef yn ffoi am ei einioes; canys y mae yn debyg ei bod yn ei adnabod ef, trwy fod heddwch rhyngddynt, adn. 17. *Tro i mewn, fy arglwydd*—hi a'i cyfenwai ef felly o anrhydedd iddo fel gŵr mawr, a chadfridog byddin Jabin. *Tro i mewn ataf fi*—gwahoddai ef fel hyn ddwywaith, i ddangos fod croesaw iddo, a'i bod hi yn awyddus am ei ddiogelwch. Y mae yn debyg ei bod hi y pryd hyn yn gwbl ddiragrith, heb fwriadu dim niwed i Sisera; ac mai trwy weithrediad dwyfol wedi hyn ar ei meddwl yr arweiniwyd hi i ymddwyn fel y gwnaeth: gwel ar adn. 21. *A hi a'i gorchuddiodd ef â gwrthban*—fel y gallai orphwys a huno, a bod heb gael anwyd trwy ei chwŷs mawr.

Adn. 19. *Dioda fi, atolwg, âg ychydig ddwfr*] Canys yr oedd efe yn sychedig iawn ar ol bod yn rhyfela ac yn rhedeg cymaint am ei einioes. *Yna hi a agorodd gynnog o laeth*—a wnaeth iddo fwy nag a ofynasai. Yr oedd yr ymddanghosiad hwn o garedigrwydd yn ennill ei hyder chwanegol ef yn y wraig, ac yn peri iddo ei dybied ei hun yn ddiogel yn ei phabell. *Cynnog* yw *llestraid* o laeth: gwel Eiriadur Dr. Pughe, dan y gair *cunnawg.*

Adn. 20, *Saf wrth ddrws y babell*] Rhag i neb o filwyr Israel droi i mewn, a'i ganfod ef. Er nad âi un gŵr i mewn i babell y gwragedd yn y gwledydd hyny heb ryw achos annghyffredin, eto, mewn achos o ryfel, nid oedd defodau gwladol yn cael eu parchu bob amser.

Adn. 21. *Yna Jael*] Wedi ei chynhyrfu, fel y meddylir, gan ddylanwad dwyfol. Y pethau a barant i mi feddwl hyny yw, (1) Fod cwpan anwiredd Sisera yn llawn, a bod ei fywyd ef a'r Canaaneaid wedi ei fforffetio i gyfiawnder dialeddol. (2) Fod yr Arglwydd wedi gwerthu Sisera yn llaw *gwraig,* adn. 9, sef y wraig hon, fel y barna llawer. (3) A bod Debora, dan ddylanwad dwyfol, yn bendithio Jael am y weithred hon, pen. v. 24. *A gymerth hoel o'r babell*—sef un o'r hoelion hirion â pha rai y sicrheid cortynau y babell wrth y ddaear. *Ac a aeth i mewn ato ef yn ddystaw*—rhag ei ddihuno ef cyn iddi gyflawni ei hamcan. *Ac a bwyodd yr hoel yn ei arlais ef*—nes treiddio trwy ei benglog i'r ddaear, yr hyn a barodd iddo farw yn y fan. Yn y weithred hon cynhyrfid hi nid gan falais a digofaint, eithr gan deimlad santaidd dros ogoniant Duw, lles crefydd, a daioni Israel.

Adn. 22. *Ac wele, a Barac yn erlid Sisera*] Am y gwyddai iddo ffoi y ffordd hôno; *Jael a aeth i'w gyfarfod ef*—fel yr aethai i gyfarfod Sisera, adn. 18. *Dyred, a mi a ddanghosaf i ti y gŵr yr wyt ti yn ei geisio*—fel hyn yr oedd dwy ran proffwydoliaeth Debora gyda golwg ar Sisera wedi eu cyflawni. Efe a

wedodd wrtho, Tyred, a mi a ddanghosaf i ti y gŵr yr wyt ti yn ei geisio. Ac efe a ddaeth i mewn ati; ac wele, Sisera yn gorwedd yn farw, a'r hoel yn ei arlais.

23 Felly y darostyngodd Duw y dwthwn hwnw Jabin brenin Canaan o flaen meibion Israel.

24 A llaw meibion Israel a lwyddodd, ac a orchfygodd Jabin brenin Canaan, nes iddynt ddystrywio Jabin brenin Canaan.

PENNOD V.

YNA y canodd Debora, a Barac mab Abinoam, y diwrnod hwnw, gan ddywedyd,

2 Am ddial dialeddau Israel, *ac* ymgymhell o'r bobl, bendithiwch yr Arglwydd.

3 Clywch, O frenhinoedd; gwrandewch, O dywysogion: myfi, myfi a ganaf i'r Arglwydd; canaf *fawl* i Arglwydd Dduw Israel.

4 O Arglwydd, pan aethost allan

---

'roddwyd yn llaw Barac,' fel y rhagfynegwyd adn. 7; eithr nid yn *fyw*, ac felly nid er 'gogoniant' i Barac, fel y rhagddywedwyd adn. 9. *A'r hoel yn ei arlais*—wedi ei gadael felly, fel y gwelai Barac pa fodd y lladdasai hi ef.

Adn. 23, 24. *Felly y darostyngodd Duw y dwthwn hwnw*] Saes. 'y *dydd* hwnw,' *Jabin brenin Canaan*—trwy orchfygu Sisera a'i fyddin ef. Dywed Josephus i Barac gyfarfod Jabin ei hun yn dyfod o Hazor â byddin arall yn ei erbyn ef, ac iddo ladd Jabin a'i fyddin. Pa fodd bynag am hyny, ni allodd ef orthrymu Israel mwyach.

PEN. V. Adn. 1. *Yna y canodd Debora*] Yr hon a gyfansoddodd y gân hon, un o swyddau neillduol pa un, fel proffwydes, oedd canu clodydd JEHOFA, 1 Cron. xxv. 1—3. *A Barac*—yr hwn ond odid yn awr a wnaed yn farnwr, yn ganlynol i'r waredigaeth fawr a ddygasai Duw oddiamgylch trwyddo ef. *Y diwrnod hwnw*—pryd y gorphenasent eu buddugoliaeth trwy ddystrywio brenhiniaeth Jabin. Nid yw yn gwbl sicr pa un ai hwynthwy ill dau yn unig a ganent y gân hon, ynte a oedd henuriaid y bobl yn ei chanu gyda hwy. Ni sonir am neb, modd bynag, ond Debora a Barac; a thybia Dr. Kennicott eu bod yn ei chanu bob yn ail, gan ateb eu gilydd; a darfod i rai, wrth beidio sylwi ar hyn, wneuthur llawer rhan o honi yn dywyll, a dinystrio grym a phrydferthwch yr oll. 'Y mae yn sicr,' ebai efe, 'fod ynddi ranau nad allai Debora eu canu, yn gystal a rhanau nad allai Barac eu canu. Er siampl, nid allai Debora alw ar Debora, gan ei chynghori ei hun i *ddeffro*, fel yn adn. 12; ac nis gallai Barac ei gynghori ei hun i *godi*, yn yr un adnod.' Gan hyny darfu i'r gŵr dysgedig hwn wneuthur cyfieithiad newydd o honi, gan nodi i Debora a Barac y rhanau hyny ag y tybiai ef fod pob un yn eu canu, a'u gosod allan, trwy yr oll o honi, fel yn ateb eu gilydd: gwel 'Nodiadau Kennicott ar Ranau Neillduol o'r Hen Destament,' dal. 94. Rhaid i ni adael i'r darllenydd farnu drosto ei hun pa bwys sydd yn yr hyn a ddywed y doctor, gan sylwi yn unig fod y gân hon, fel caniadau Moses, (Exod. xv, a Deut. xxxii,) yn cael ei gwahaniaethu yn yr Hebraeg fel PRYDYDDIAETH; ac ymddangosasai yn well yn ein cyfieithiad ninau pe buasai wedi ei hargraffu ar ffurf barddoniaeth: gwel ar Deut. xxxii. 1. Cenfydd pob darllenydd ei bod yn wahanol ei harddull i ranau hanesyddol y llyfr hwn, ac mewn iaith mor fawreddog, arddunawl, a hedegog, fel na ddarfu i un o'r beirdd Groeg na Lladin erioed ei chystadlu.

Adn. 2. *Am ddial dialeddau Israel*] Sef y drygau a ddyoddefodd Israel oddiwrth Jabin am yr ugain mlynedd diweddaf, pen. iv. 3; *ac ymgymhell o'r bobl*—am iddynt yn ewyllysgar gynyg eu gwasanaeth i gynorthwyo Barac yn erbyn Sisera. *Bendithiwch yr Arglwydd*—yr hwn a ddialodd y dialeddau, ac a roddodd yn nghalon llwyth Zabulon a Naphtali i fyned yn erbyn eu gelynion. Tybia Kennicott mai *Debora* a ganai y frawddeg gyntaf, a darfod i *Barac* ei hateb yn yr ail, ac iddynt ill *dau* gyduno yn yr olaf.

Adn. 3. *Clywch, O frenhinoedd, &c.*] Mynai Debora i holl benaethiaid y ddaear sylwi ar fawrion weithredoedd Duw ar ran ei bobl, fel y gwybyddent fod un yn uwch ac yn drech na hwy, ac yr ofnent orthrymu ei bobl ef. *Myfi, myfi a ganaf i'r Arglwydd*—a'i moliannaf ef am ei ryfeddodau. Y mae yn dyblu yr ymadrodd, i ddangos mor wresog a phenderfynol yr oedd hi yn ei chân o fawl i'r Arglwydd; ac fel hyn annogai ereill i'r un ysbryd o ddiolchgarwch a hi ei hun.

Adn. 4. *O Arglwydd*] Yma yn briodol y dechreua y gân, a'r ddwy adnod flaenorol sydd ragymadrodd iddi. *Pan aethost allan o Seir*—hyny yw, pan aethost allan mewn rhwysg a gogoniant, fel yr arwydda y gair; *pan gerddaist o faes Edom*—yr un lle yw Seir ac Edom, ac y mae y ddau ymadrodd hwn yn meddwl yr un peth. Yno y trigai hiliogaeth Esau, y rhai a ommeddasant adael i Israel fyned trwy eu gwlad, Num. xx. 14, &c. *Y ddaear a grynodd*—yr oedd Duw yn parotoi y ffordd i'w bobl, ac yn brawychu eu gelynion, trwy ddaeargrynfäau, yn gystal a thrwy arwyddion dychrynllyd ereill. *A'r nefoedd a ddyferasant*—wlawogydd mawrion a chenllusg ofnadwy, fel arwyddion o anfoddlonrwydd Duw, ac offerynau ei ddigofaint ef ar elynion ei bobl. Y mae yn wir nad yw llyfrau Moses yn crybwyll am y pethau hyn yn ystod eu taith o Edom i ryfela â Sehon ac Og, ac i gymeryd meddiant o'u gwlad; ond y mae yn dra thebyg, oddiwrth yr hyn a ddywedir mor fynych am y dychryn a achoswyd trwy eu taith, fod y fath gynhyrfiadau anian yn cymeryd lle: gwel Salm lxviii. 7, 8, Esay lxiv. 3, Hab. iii. 6, Deut. i. 19, 20.

Adn. 5. *Y mynyddoedd a doddasant*] Neu a ddylifasant gan wlawogydd yn ymdywallt ar-

o Seir, pan gerddaist o faes Edom, y
ddaear a grynodd, a'r nefoedd a ddi-
ferasant, a'r cymylau a ddefnynasant
ddwfr.
5 Y mynyddoedd a doddasant o
flaen yr Arglwydd, *sef* y Sinai hwnw,
o flaen Arglwydd Dduw Israel.
6 Yn nyddiau Samgar mab Anath,
yn nyddiau Jael, y llwybrau a aeth yn
anhygyrch, a'r fforddolion a gerddas-
ant lwybrau ceimion.
7 Y maes-drefi a ddarfuant yn Is-
rael: darfuant, nes i mi, Debora, gyf-
odi; nes i mi gyfodi yn fam yn Israel.
8 Dewisasant dduwiau newyddion;
yna rhyfel *oedd* yn y pyrth: a welwyd
tarian na gwaewffon yn mysg deugain
mil yn Israel?
9 Fy nghalon *sydd* tuag at ddeddf-
wyr Israel, y rhai fu ewyllysgar yn
mhlith y bobl. Bendithiwch yr Ar-
glwydd.
10 Y rhai sydd yn marchogaeth ar
asenod gwynion, y rhai sydd yn eist-

nynt o'r cymylau, y rhai, wrth ddylifo i lawr i'r gwastadedd yn ffrydiau cryfion, a garient ymaith ran o'r mynyddoedd gyda hwynt. *Sef y Sinai hwnw*—neu yn hytrach, '*fel* y Sinai hwnw.' Y mae Debora yma yn cyfeirio at gyfryngiad boreach Duw ar ran ei bobl ar Sinai, gan yr arferai ysgrifenwyr ysbrydoledig, wrth son am weithrediadau blaenorol Duw, grynhoi amrai o honynt yn nghyd mewn cylch bychan. Yr ystyr yw, 'Nid rhyfedd i fynyddoedd yr Amoriaid a'r Canaaneaid doddi a chrynu o'th flaen, wrth arwain o honot dy bobl atynt; canys ni allai Sinai ei hun oddef dy bresenoldeb, eithr toddodd yntau yr un modd o'th flaen.'

Adn. 6. *Yn nyddiau Samgar*] Gwel ar pen. iii. 31. *Yn nyddiau Jael*—tybia rhai fod hyn yn cyfeirio nid at wraig Heber, ond at ryw Jael a farnasai Israel o flaen Debora, eithr a fuasai farw heb eu gwaredu hwy. *Y llwybrau a aeth yn anhygyrch*—neu heb neb yn eu teithio, trwy fod yn beryglus i neb gerdded y prif-ffyrdd o herwydd y minteioedd lladron. *A'r fforddolion*—y rhai a anturient dramwy o'r naill fan i'r llall, *a gerddasant lwybrau ceimion*—yn lle y ffordd gyfeiriol, i'r dyben i ochelyd yr yspeilwyr hyn.

Adn. 7. *Y maes-drefi a ddarfuant*] Trwy fod y trigolion yn gorfod byw yn nghyd mewn dinasoedd caerog, neu yn niferoedd mawrion yn yr un lle, i amddiffyn eu gilydd rhag ymosodiadau y minteioedd lladron a gyniweirient trwy y wlad. *Nes i mi, Debora, gyfodi*—i fod i Israel megys *mam*, i'w hyfforddi, eu llywodraethu, a'u noddi.

Adn. 8. *Dewisasant dduwiau newyddion*] Newydd iddynt hwy, ac anadnabyddus i'w tadau, a newydd mewn cydmhariaeth i dragwyddol Dduw Israel. Nid yn unig yr oedd Israel yn ymostwng i eilunaddoliaeth pan y gorfodid hwy gan eu gormeswyr, ond *dewisent* hyny yn ewyllysgar. *Yna rhyfel oedd yn y pyrth*—yn gosp arnynt, o dro i dro, am eu heilunaddoliaeth olynol. Daeth rhyfel hyd yn nod i byrth eu dinasoedd caerog mwyaf cedyrn, y rhai a syrthiasant i ddwylaw eu gelynion. *A welwyd tarian na gwaewffon yn mysg deugain mil yn Israel?*—er fod nifer milwyr Israel yn llawer o gannoedd o filoedd, eto nid oedd yn eu plith hwy oll y pryd hyn ddigon o darianau a gwaewffyn i ddeugain mil; neu, nid oedd un o bob deugain mil wedi ymarfogi â tharian na gwaewffon. Yr achos o hyn oedd eu diofalwch hwy i ddarpar arfogaeth yn amser heddwch; neu ynte fod eu gelynion wedi eu hamddifadu hwy o honynt. Tybia rhai mai pethau tebyg i offeryn Samgar, gyda rhai cleddyfau a bwäau, oedd gan y rhan fwyaf o'r deng mil o filwyr Barac ar y cyntaf; ond wedi i'r Arglwydd yn oruwchnaturiol ddechreu dryllio llu Sisera, ac iddynt daflu eu harfau ymaith a ffoi, ddarfod i filwyr Barac gymeryd yr arfau hyny, a lladd y ffoedigion â'u cleddyfau eu hunain.

Adn. 9. *Fy nghalon sydd tuag at ddeddfwyr Israel*] Y rhai a ymdrechent i ddysgu y bobl yn neddfau yr Arglwydd, ac yn egwyddorion y wir grefydd, hyd yn nod pan yn cael eu gorthrymu gan eu gelynion. Neu gall mai cyfeirio y mae at *lywodraethwyr Israel*, (felly y Saesonaeg,) y rhai y mae hi yn eu parchu ac yn eu caru am iddynt ymuno yn ewyllysgar â'u brodyr yn erbyn Sisera. Oddi wrth hyn gallwn gasglu fod rhai o'r gwŷr mwyaf yn llwythau Zabulon a Naphtali wedi peryglu eu bywydau yn wirfoddol yn mysg y bobl gyffredin yn yr ymgyrch hwn. *Y rhai fu ewyllysgar*—i fyned gyda Barac yn erbyn Sisera a'i fyddin. *Bendithiwch yr Arglwydd*—am roddi yn nghalon y fath ddynion i fyned gyda'r milwyr cyffredin, ac am eu llwyddo yn eu gwaith. Fel hyn, tra y mae hi yn cydnabod gwasanaeth yr offerynau, y mae yn benaf yn cydnabod Duw yr hwn a'u tueddodd hwynt, ac yn galw pawb i'w fendithio ef.

Adn. 10. *Y rhai sydd yn eistedd ar asenod gwynion*] Sef ynadon a phendefigion, y rhai a arferent wneuthur hyny, pen. x. 4, a xii. 14. Y mae y Vulgate yn eu cyfieithu yn 'asynod *dysglaer*;' ac ereill, 'asynod *tewion*;' tra y tybia ereill eu bod yn cael eu galw yn 'asynod *gwynion*,' oddiwrth eu cêr, eu cyfrwyau, neu eu harnais gwŷnion, y fath ag a arferir gan yr Arabiaid hyd heddyw. Ond tybia Bochart mai y *zebra* a olygir; tra y barna Harris mai yr *onager*, neu yr 'asyn gwyllt,' a feddylir yma, yr hwn y mae ei goesau a'i dor yn hollol wŷn. Gwaherddid meirch i frenhinoedd Israel, Deut. xvii. 16; ac yr oedd eu gwŷr penaf yn defnyddio asynod; a bu ein Harglwydd bendigedig ei hun yn eistedd ar asyn, Mat. xxi. 2—7. *Y rhai sydd yn eistedd mewn barn*—yn llysoedd barn, i farnu achosion y bobl. *Ac yn rhodio ar hyd y ffordd*—y marsiandwyr a'r ymdeithwyr, y rhai a allent yn awr rodio yn ddiberygl o'r naill fan i'r llall, heb gerdded 'llwybrau ceimion,' adn. 6. *Lleferwch*—dyrchefwch glodydd ein Duw, a rhoddwch iddo ogoniant, am y waredigaeth fawr ag sydd wedi dyfod yn awr i'r holl wlad.

edd mewn barn, ac yn rhodio ar hyd
y ffordd, lleferwch.
11 *Y rhai a waredwyd* rhag trwst y
saethyddion yn y lleoedd y tynir dwfr;
yno yr adroddant gyfiawnderau yr Ar-
glwydd, cyfiawnderau *tuag at* y tref-
ydd yn Israel: yna pobl yr Arglwydd
a ânt i waered i'r pyrth.
12 Deffro, deffro, Debora; deffro,
deffro, traetha gân: cyfod, Barac, a
chaethgluda dy gaethglud, O fab Abi-
noam.
13 Yna y gwnaeth i'r hwn a adewir
lywodraethu ar bendefigion y bobl:
yr Arglwydd a roddes i mi lywod-
raeth ar gedyrn.
14 O Ephraim *yr oedd* eu gwreiddyn
hwynt yn erbyn Amalec: ar dy ol di,
Benjamin, yn mysg dy bobl: y deddf-
wyr a ddaeth i waered o Machir, yr
ysgrifenyddion o Zabulon.
15 A thywysogion Issacar *oedd* gyd
a Debora; îe, Issacar a Barac: efe a
anfonwyd ar ei draed i'r dyffryn; am
neillduaeth Reuben *yr oedd* mawr ofal
calon.

---

Y mae y gair *sichu*, a gyfieithir yma 'lleferwch,' yn arwyddo yn fwy priodol *ystyriwch*, neu *ddwys fyfyriwch* ar y cyflwr truenus ag yr oeddych ynddo o'r blaen, ac ar y waredigaeth ogoneddus a gawsoch gan Dduw. Nis gallai y rhai hyn, yn ystod gorthrymder Jabin, farchogaeth mewn rhwysg, na thrin eu materion eu hunain, na rhodio yn ddiberygl o'r naill fan i'r llall; ond yn awr, ar ol eu hadfer i'w hurddas a'u breintiau, y mae Debora yn galw arnynt i *ystyried* yr hyn a wnaethai Duw erddynt, ac i'w foliannu ef am hyny.

Adn. 11. *Y rhai a waredwyd rhag trwst y saethyddion*] Rhag bloeddiadau buddugol yr yspeilwyr wrth gyfarfod â'u hysglyfaeth; *yn y lleoedd y tynir dwfr*—wrth bydewau neu ffynnonau. Gyda'r tywysogion, y barnwyr, a'r marsiandwyr, hi a fyn i'r *bugeiliaid* foliannu yr Arglwydd bob tro y deuent i ddyfrhau eu deadellau; gan gofio pa fodd yr oeddynt gynt yn cael eu haflonyddu gan y saethyddion, y rhai a'u hyspeilient o'u hanifeiliaid, a'u bod yn awr yn gallu dylyn eu galwedigaeth yn ddiberygl. *Yno yr adroddant gyfiawnderau yr Arglwydd*—pan gyfarfyddent â'u gilydd yn y lleoedd hyny, caent yno adrodd wrth eu gilydd am ddialeddau cyfiawn yr Arglwydd ar eu gorthrymwyr, a chydganu y gân hon o fawl iddo ef am y waredigaeth. *Cyfiawnderau tuag at y trefydd yn Israel*—trigolion pa rai nid oeddynt mwyach mewn perygl o gael eu hyspeilio o'u meddiannau. Hi a fyn i'r *werin* ddistadlaf gyduno â'r rhai uchod i ganu clodydd Ior, am eu bod yn awr yn gallu byw mor ddiogel a thawel mewn trefydd agored, a phe buasent mewn dinasoedd caerog. *Yna pobl yr Arglwydd a ânt i waered i'r pyrth*—i dderbyn barn a chyfiawnder fel arferol, trwy nad oedd yno ryfel mwyach, adn. 8.

Adn. 12. *Deffro, deffro, Debora*] Ymysgwyd o'th farweidd-dra, i ryfeddu a moliannu JEHOFA. Tybia Dr. Kennicott mai *Barac* sydd yma yn galw ar Debora i ddeffro a thraethu cân; ac mai *Debora* sydd yn niwedd yr adnod yn galw ar Barac i gyfodi a chaethgludo ei gaethglud: gwel ar adn. 1. Tybia ereill, modd bynag, mai iaith Debora yw yr oll; a'i bod hi, fel yr oedd yn myned yn mlaen i adolygu yr hyn a wnaethai yr Arglwydd i elynion Israel, a'r breintiau mawrion ag oeddynt yn meddiant Israel yn awr, yn ymgynhyrfu ac yn ymwresogi mewn ysbryd mawl, yn debyg i'r modd y galwai y Salmydd ar ei enaid i fendithio yr Arglwydd am ei holl ddoniau, Salm ciii. 1, &c. *Cyfod, Barac, a chaethgluda dy gaethglud*—gwna y rhai hyny yn gaethion, y rhai gynt a'n caethiwent ni.

Adn. 13. *Yna y gwnaeth i'r hwn a adewir lywodraethu ar bendefigion y bobl*] Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at *Barac*, yr hwn yn awr oedd yn ben ar bendefigion Canaan; barna ereill ei fod yn cyfeirio at *weddill Israel*, sef y rhai ag oeddynt heb eu lladd neu eu halltudio gan Jabin a Sisera yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, mai ganddynt hwy yn awr yr oedd yr oruchafiaeth ar gedyrn Canaan, a hyny trwy lywodraeth Debora. Eithr Dr. Kennicott, yr hwn a bleidir gan y LXX, a gyfieitha yr adnod ddyrys hon fel hyn: 'Yna, pan ddisgynodd y rhai a adawyd ar ol eu pendefigion, pobl yr Arglwydd a ddisgynasant ar fy ol i yn erbyn y cedyrn.' Boothroyd a'i cyfieitha, 'Yna y disgynodd gweddill o bendefigion; ataf fi y disgynodd pobl yr Arglwydd.'

Adn. 14. *O Ephraim yr oedd eu gwreiddyn hwynt yn erbyn Amalec, &c.*] Meddwl Debora ond odid yw, mai o Ephraim a Benjamin y daethai rhyfelwyr enwog. Yr oedd *Josua*, yr hwn oedd o lwyth *Ephraim*, wedi gorchfygu yr *Amaleciaid* yn fuan ar ol dyfodiad Israel o'r Aifft, Exod. xvii. 10. Yr oedd *Ehwd*, yr hwn oedd o lwyth *Benjamin*, wedi lladd Eglon, a gorchfygu y Moabiaid, cyfeillion a chynghreirwyr yr Ammoniaid a'r Amaleciaid. Yr oedd *Machir*, yn ngwlad Gilead, wedi cynyrchu *rhyfelwyr* enwog; a *Zabulon* wladweinwyr nodedig, a gwŷr *llên*. Y mae yn debyg fod Debora yma, ebai Clarke, yn llefaru am y rhyfeloedd a aethent heibio, ac nid am ddim a wnaed ar yr achlysur hwn; canys gwyddom nad oedd neb o Gilead, y tuhwnt i'r Iorddonen, yn wyddfodol yn y rhyfel rhwng Jabin ac Israel. *Y deddfwyr*—neu y llywodraethwyr, adn. 9. *Yr ysgrifenyddion o Zabulon*—sylwodd Mr. Green, a chyda rheswm mawr, fod anmhriodoldeb amlwg i ysgrifenyddion ddyfod i waered i ryfel; ac nad yw y gair *shebet* byth yn yr ysgrythyrau yn arwyddo *pin* yr ysgrifenydd, eithr bob amser deyrnwialen neu ffon awdurdod; ac am hyny y dylasai y frawddeg hon gael ei chyfieithu, 'a'r rhai a lywodraethant â theyrnwialen o Zabulon.'

Adn. 15. *A thywysogion Issacar oedd gyda Debora*] Ar fynydd Tabor, pen. iv. 12, i gynorthwyo yn y rhyfel â'u harfau a'u cynghor-

16 Paham yr arhosaist rhwng y corlanau, i wrando brefiadau y defaid? am neillduaeth Reuben *yr oedd* mawr ofal calon.

17 Gilead a drigodd o'r tuhwnt i'r Iorddonen: a phaham yr erys Dan mewn llongau? Aser a drigodd wrth borthladd y môr, ac a arhosodd ar ei adwyau.

18 Pobl Zabulon a roddes eu heinioes i farw; felly Naphtali ar uchelfanau y maes.

19 Y brenhinoedd a ddaethant, *ac* a ymladdasant; yna brenhinoedd Canaan a ymladdasant yn Taanach, wrth ddyfroedd Megido; ni chymerasant elw o arian.

20 O'r nefoedd yr ymladdasant; y sêr yn eu graddau a ymladdodd yn erbyn Sisera.

21 Afon Cison a'u hysgubodd hwynt; yr hen afon, yr afon Cison: fy enaid, ti a sethraist gadernid.

22 Yna y drylliodd carnau y meirch

---

ion; oblegid yr oeddynt hwy yn medru 'deall yr amseroedd, i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur,' 1 Cron. xii. 32. *Efe a anfonwyd ar ei draed i'r dyffryn*—hyny yw, gyda'i filwyr traed at afon Cison, lle yr oedd i ymladd â gwŷr meirch a cherbydau heiyrn Sisera. *Am neillduaeth Reuben*—oddiwrth gydweithrediad â'r llwythau ereill yn erbyn y gelyn cyffredin; *yr oedd mawr ofal calon*—neu ofid calon i Barac a'i frodyr, rhag fod y Reubeniaid naill ai yn ddifater am eu rhyddid, neu ynte am ymuno â byddin Sisera.

Adn. 16. *Paham yr arhosaist rhwng y corlanau, i wrando brefiadau y defaid*] Yn lle cynorthwyo dy frodyr yn erbyn gelyn cyffredin Israel? Yr oedd Reuben yn caru gofalu am ei ddefaid, a'i esmwythyd a'i ddiogelwch ei hun, yn hytrach na pheryglu ei feddiannau trwy fyned yn arfog yn erbyn y fath elyn cadarn a Jabin; canys 'yr ydoedd anifeiliaid lawer i feibion Reuben,' Num. xxxii. 1. *Am neillduaeth Reuben*—gwel ar adn. 15. Ail ddywedir yr un peth, i ddangos y mawr anfoddlonrwydd oedd i'w ymddygiad ef yn mhlith y llwythau.

Adn. 17. *Gilead*] Sef llwyth Gad, a hanner llwyth Manasse, y rhai a breswylient *Gilead* a'i hamgylchoedd o du y dwyrain i'r Iorddonen: yma rhoddir y wlad am ei thrigolion. Yr oedd y rhai hyn, fel Reuben, yn trigo yn ddiofal yn y fan lle yr oeddynt, yn lle dyfod drosodd i gynorthwyo eu brodyr yn erbyn Sisera. *A phaham yr erys Dan mewn llongau?*—trwy fod rhandir Dan yn cyraedd o Ascelon i Joppa, ar hyd glan Môr-y-canoldir, yr oedd ganddynt lawer o longau; ac arosasant hwythau gyda'u masnach fordwyol yn lle dyfod i gynorthwyo eu brodyr. *Aser a drigodd wrth borthladd y môr*—yr oedd y llwyth hwn hefyd yn cyfaneddu ar hyd glan Môr-y-canoldir, yn uwch i'r gogledd o lawer na Dan; ac yno yr arosasant hwythau gyda'u gorchwylion, yn lle dyfod i gynorthwyo eu brodyr. *Ac a arhosodd ar ei adwyau*—sef yr adwyau a wnaethai y môr i mewn i'w tir, i'w hadgyweirio; neu yr adwyau a wnaethai y Canaaneaid yn muriau eu dinasoedd, i'w hamddiffyn. Trwy fod rhandir Aser yn cydio wrth eiddo Zabulon a Naphtali, gallasent yn hawdd gynorthwyo eu brodyr; ond cymerent arnynt fod eu gwlad yn ddiamddiffyn, ac arosasant gartref i'w gwarchad.

Adn. 18. *Pobl Zabulon a roddes eu heinioes i farw*] Neu mewn perygl marwolaeth, trwy fyned i ryfel â'r fath luaws o elynion cedyrn ac arfog. Yr oeddynt yn ddibris o'u bywyd mewn trefn i geisio ysgwyd ymaith iau y Canaaneaid, ac adfeddiannu eu rhyddid a'u breintiau. *Felly Naphtali*—o'r ddau lwyth hyn y cymerasai Barac ar y cyntaf ddeng mil o wŷr i fyned i fynydd Tabor yn erbyn Sisera a'i fyddin, a'i naw cant o gerbydau heiyrn, pen. iv. 7—13. Ond ymddengys ddarfod i ereill ddyfod wedi hyny i'w cynorthwyo, er i lawer beidio. *Ar uchelfanau y maes*—ar gopa gwastad mynydd Tabor, lle yr oeddynt wedi ymfyddino i ryfel, ac yn dysgwyl y gelyn; ond wrth weled nad oedd y Canaaneaid yn dyfod i fyny atynt, aethant hwy i waered i'w cyfarfod.

Adn. 19. *Y brenhinoedd a ddaethant ac a ymladdasant*] Canys yr oedd amrai îs-frenhinoedd yn y parthau hyny, un yn mhob dinas fawr, y rhai oeddynt yn ddarostyngedig i Jabin. *Yn Taanach, wrth ddyfroedd Megido*—y rhai hyn oeddynt ddwy ddinas enwog yn nghymydogaeth afon Cison, ac nid yn mhell oddiwrth fynydd Tabor: gwel y darlunleni. *Ni chymerasant elw o arian*—ni chymerent arian gan Jabin am ei gynorthwyo ef, ond deuent yn wirfoddol o gasineb at Israel, gan ddysgwyl llawer o yspail oddiwrth yr Israeliaid; ond yn hyn fe'u siomwyd. Ond os am *Israel* y dywedir hyn, y meddwl yw, eu bod hwy yn ymladd am *ryddid*, nid am *yspail.*

Adn. 20. *O'r nefoedd yr ymladdasant*] Ar ol i Debora yn yr adnod flaenorol fynegu pwy oedd cynghreirwyr a chynorthwywyr Jabin, y mae hi yma mewn modd ardderchog, yn arddangos pwy oedd cynghreirwyr a chynorthwywyr Israel: 'O'r nefoedd yr ymladdasant' o blaid Israel. Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at *angylion* y nefoedd, ond y mae yn debycach mai at *ser* y nefoedd y cyfeirir, y rhai a enwir yn niwedd yr adnod. Fel y mae 'brenhinoedd Canaan,' yn adn. 19, yn eglurhad ar y brenhinoedd a gynorthwyent Jabin; felly y mae y 'ser,' yn yr adnod hon, yn eglurhad ar y cymhorth a gai Israel o'r nefoedd. *Y ser yn eu graddau*—neu yn eu llwybrau, fel ar ymyl y ddalen, *a ymladdodd yn erbyn Sisera*—hyny yw, daeth yr elfenau, trwy orchymyn Duw, i'w cynorthwyo. Y mae yn debyg i ystorm ofnadwy o wynt a gwlaw, mellt a tharanau, a gorlifiad yr afon Cison, gymeryd lle ar y pryd, yr hyn mewn iaith farddonol a briodolir i'r *ser.*

Adn. 21. *Afon Cison a'u hysgubodd hwynt*] Dyry hyn debygolrwydd i'r dychymyg uchod, fod yno ystorm y pryd hyn, yr hon a barodd

gan garlamau, carlamau ei gryfion
ef.
23 Melldigwch Meroz (eb angel yr
Arglwydd) gan felldigo melldigwch ei
thrigolion: am na ddaethant yn gy-
northwy i'r Arglwydd, yn gynorthwy
i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn.
24 Bendithier Jael, gwraig Heber
y Cenead, goruwch gwragedd; ben-
dithier *hi* goruwch gwragedd yn y
babell.
25 Dwfr a geisiodd efe, llaeth a
roddes hithau: mewn phiol ardderch-
og y dyg hi ymenyn.
26 Ei llaw a estynodd hi at yr hoel,
a'i llaw ddeau at forthwyl y gweith-
wyr: a hi a bwyodd Sisera, ac a dor-
odd ei ben ef; gwanodd hefyd, a thry-
wanodd ei arlais ef.
27 Wrth ei thraed yr ymgrymodd
efe; syrthiodd, gorweddodd: wrth ei
thraed yr ymgrymodd efe, y syrth-
iodd: lle yr ymgrymodd, yno y syrth-
iodd yn farw.

---

lifeiriant yn yr afon fel ag i ysgubo ymaith y Canaaneaid ffoedig wrth geisio ei chroesi. *Yr hen afon*—gelwir hi felly am ei bod yno erioed, ac nid wedi ei gwneyd yn ddiweddar gan law dyn; neu am fod son am dani er's oesoedd gan feirdd a haneswyr, oblegid rhyw bethau rhyfedd a wnaethid yno yn yr amserau gynt. *Fy enaid, ti a fethraist gadernid*—sef byddin gadarn, luosog, ac arfog Sisera. Yma y mae Debora fel yn ei llon-gyfarch ei hun ar y llwyddiant a gafodd hi i'w gweddiau gan Dduw, ac i'w chynghorion a'i chyfarwyddiadau i Barac a'i fyddin.

Adn. 22. *Yna y drylliodd carnau y meirch gan garlamau*] Yn yr hen amseroedd nid oeddid yn pedoli meirch, ac nid ydys hyd heddyw mewn amrai barthau o'r dwyrain. Yr oedd gan Sisera gerbydau heiyrn pan orchfygwyd ei fyddin; ac wrth i'r meirch a lusgent y rhai hyn gael eu gyru yn mlaen yn gyflym, yr oedd eu carnau yn dryllio o herwydd gerwindeb y ffyrdd; yn ganlynol i'r hyn y cloffent, fel nas gallent gario ymaith eu gyrwyr. *Carlamau ei gryfion ef*—sef ei feirch cryfion a rhagorol.

Adn. 23. *Melldigwch Meroz*] Lle ag ydoedd y pryd hyny yn ddiamau yn enwog a phwysig, er nad oes yn awr goffadwriaeth o hono wedi ei gadael, yr hyn yw effaith y felldith hon; yr un modd ag y melldithiodd yr Arglwydd Amalec, fel ag i ddileu ei goffadwriaeth yntau odditan y nefoedd, Exod. xvii. 14. *Eb angel yr Arglwydd*—hi a ddywed hyn i arwyddo nad oedd y felldith hon yn deilliaw oddiar ddim drwg-ewyllys ynddi hi, ond oddi ar ddwyfol ysbrydoliaeth. *Gan felldigo melldigwch ei thrigolion*—hyny yw, melldigwch hwynt i'r eithaf; canys yr oedd eu dinas hwy yn agos i faes y rhyfel, ac felly yr oedd ganddynt well cyfleusdra, ac yr oeddynt dan fwy o rwymau, i ddyfod i gynorthwyo eu brodyr. *Am na ddaethant yn gynorthwy i'r Arglwydd*—sef i bobl yr Arglwydd; canys y mae Duw yn edrych ar yr hyn a wneir i neu yn erbyn ei bobl ef, fel yn cael ei wneuthur iddo ei hun. *Yn erbyn y cedyrn*—milwyr Sisera, a gwŷr ei gerbydau heiyrn. Ond myn rhai gyfieithu *baggibborim*, 'gyda'r cedyrn,' neu 'yn mhlith y gwroniaid.' Yn ol hyn Barac a gwŷr Zabulon a Naphtali oedd y *cedyrn* ag y gommeddai trigolion Meroz ymuno â hwy.

Adn. 24. *Bendithier Jael, gwraig Heber y Cenead*] Y mae y broffwydes yma, ar ol melldithio Meroz trwy orchymyn yr angel, yn troi, ond odid trwy yr un gorchymyn, i fendithio Jael am y wasanaeth a wnaethai hi i Israel trwy ladd Sisera, pen. iv. 17—22; a gallwn feddwl i'r fendith ddisgyn arni hi mor bendant ag y disgynodd y felldith ar y Meroziaid. *Goruwch gwragedd*—yn fwy na neb o wragedd Israel, am iddi ddewis heddwch â Duw Israel o flaen heddwch â brenin Canaan. *Yn y babell*—yn ei hannedd, ei theulu, a'i holl achosion. Dywedir hyn, am mai yn ei phabell y pwyodd hi yr hoel yn arlais y gelyn. Yn lle i felldith ddisgyn arni am hyny, disgyned bendith.

Adn. 25. *Dwfr a geisiodd efe*] Gwel ar pen. iv. 19; *llaeth a roddes hithau*—gan ragori mewn tiriondeb ar ei gais. *Mewn phiol ardderchog y dyg hi ymenyn*—sef llaeth â'r hufen arno; neu yn hytrach llaeth enwyn, ar ol corddi; canys y mae y gair *chemah*, a gyfieithir yma *ymenyn*, yn arwyddo ysgwyd, cynhyrfu, &c.

Adn. 26. *Ei llaw a estynodd hi at yr hoel*] Sef ei llaw aswy; *a'i llaw ddeau at forthwyl y gweithwyr*—fel y gallai wneyd y weithred angeuol yn effeithiol. *Ac a dorodd ei ben ef*—hyny yw, a dorodd dwll ynddo; er y tybia rhai iddi dori ei ben ef ymaith â'i gleddyf ei hun. Modd bynag, ni wnaed hyny cyn trywanu ei arlais ef. *Gwanodd hefyd a thrywanodd ei arlais ef*—gwanodd ei ben â'r tarawiad cyntaf, a *thrywanodd* ef pan bwyodd hi yr hoel trwyddo i'r ddaear.

Adn. 27. *Wrth ei thraed yr ymgrymodd efe*] Ystyrir yr adnod gan rai fel darluniad o ymdrechiadau Sisera ar ol ei glwyfo: ond dichon nad yw ddim ond adroddiad o'r modd y gorweddai efe i lawr i gysgu, ar ol ei orchfygu gan ing a lludded, o ba le ni chododd mwyach; canys dywedir yn bendant, pen. iv. 21, ddarfod i Jael bwyo yr hoel trwy ei arlais, fel ag i'w sicrhau ef wrth y ddaear. Fel hyn yn warthus y bu farw y cadfridog mawr hwn. Cafodd ei angau lle yr aethai i geisio ei fywyd; a chafodd elynes ofnadwy lle y dysgwyliai gyfeilles dirion. Nis gellir cyfiawnhau y weithred hon ond trwy feddwl fod Jael yn ei gwneyd dan ddwyfol gymhelliad, i dori ymaith elyn a gorthrymwr atgas pobl Dduw; ac nid yw yn siampl i neb heb y fath gymhelliad ag a weithredai ar feddwl Jael.

Adn. 28. *Mam Sisera a edrychodd trwy ffenestr*] Gan ddysgwyl gweled ei mab yn dychwelyd; canys yr oedd yn meddwl ei fod ef wedi myned allan nid yn gymaint i ryfela, ag i gymeryd yr yspail. *Ac a waeddodd trwy y dellt*—yr oedd ffenestri tai benywod y dwyr-

28 Mam Sisera a edrychodd trwy ffenestr, ac a waeddodd trwy y dellt, Paham yr oeda ei gerbyd ddyfod? paham yr arafodd olwynion ei gerbydau?
29 Ei harglwyddesau doethion a'i hatebasant; hithau hefyd a atebodd iddi ei hun,
30 Oni chawsant hwy? oni ranasant yr anrhaith, llances *neu* ddwy i bob gŵr? anrhaith o *wisgoedd* symudliw i Sisera, anrhaith o wniadwaith symudliw, symudliw o wniadwaith o'r ddeutu, *cymhwys* i yddfau yr anrheithwyr?
31 Felly y darfyddo am dy holl elynion, O Arglwydd: a *bydded* y rhai a'i hoffant ef fel yr haul yn myned rhagddo yn ei rym. A'r wlad a gaffodd lonydd ddeugain mlynedd.

PENNOD VI.

A MEIBION Israel a wnaethant ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: a'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn llaw Midian saith mlynedd.

---

ain wedi eu gweithio yn gyffredin â dellt croesion, i oleuo ac awyro yr ystafelloedd; ac yr oedd y rhwyllwaith mor fân, fel na allent roddi na derbyn dim trwyddynt; a dywedir mai o herwydd eiddigedd y gwŷr y gwneid ffenestri felly iddynt. *Paham yr oeda ei gerbyd ddyfod?*—yn llythyrenol, 'pabam y *cywilyddia* ei gerbyd ddyfod?' *Paham yr arafodd olwynion ei gerbydau?*—sef y naw can cerbyd haiarn a gymerasai efe i'r rhyfel yn erbyn Barac, pen. iv. 13.

Adn. 29. *Ei harglwyddesau doethion a'i hatebasant*] Y rhai ond odid a ddaethent i mewn i'w llon-gyfarch hi ar ddyfodiad ei mab yn fuddugoliaethus o'r frwydr. Gelwir hwynt yn *ddoethion* mewn ffordd o wawd. Atebai y rhai hyn mai rhanu yr yspail rhwng ei filwyr yr oedd Sisera, ac mai hyny oedd yr achos ei fod ef cyhyd yn dychwelyd adref. *Hithau hefyd a atebodd iddi ei hun*—yr oedd hithau yn barod i wenieithio iddi ei hun gyd a'r un dychymygion.

Adn. 30. *Oni chawsant hwy?*] Hyny yw, y mae yn sicr iddynt gael anrhaith fawr; a rhanu yr anrhaith, a threfnu pa fodd i'w dwyn adref, yw yr achos eu bod cyhyd yn dychwelyd. *Llances neu ddwy i bob gŵr*—yr oedd y benywod creulon hyn yn ymhyfrydu wrth feddwl y cai gwyryfon diwair Israel eu darostwng a'u halogi gan eu milwyr cyffredin hwy, yn ol arfer y paganiaid pan gymerent ferched yn gaethion rhyfel. *Anrhaith o wisgoedd symudliw i Sisera*—fel y gŵr mwyaf yn y fyddin. *Anrhaith o wniadwaith symudliw*—sef gwisgoedd o'r defnyddiau goraf, ac wedi eu brwydweithio gan foneddigesau Israel â sidan o wahanol liwiau; *o'r ddeutu*—y tufewn yn gystal a'r tufaes; *cymhwys i yddfau yr anrheithwyr*—i fod yn addurniadau i'r gwŷr penaf yn myddin Sisera, er mai oddi wrth yr Israeliaid y daethant.—Y mae bron yn annichonadwy meddwl am ddim yn fwy prydferth a darluniadol na'r geiriau hyn. Ni ffurfiodd unrhyw fardd nac areithydd erioed ddarlun prydferthach ar unrhyw destyn. Ymddengys ei fod tuhwnt i ddim a allasai paentwaith ei osod allan; canys ni allai un arlun arddangos cymaint o weithrediad neu ysgogiad ag a wna y geiriau hyn. Yr ydym yn gweled yn amlwg fam Sisera yn dysgwyl am ddychweliad buddugol ei mab, ac yn edrych allan trwy y ffenestr i ganfod ei gerbyd llwythog yn dechreu dyfod i'r golwg. Yr ydym yn ei gweled yn ymorfoleddu ar y caethion Israelaidd; ac, fel pe byddai, yn difyru ei llygaid â'r olwg ar y gwisgoedd symudliw costfawr a ddygasai ei mab adref, gan eu troi a'u chwilio gyda'r awydd a'r difyrwch mwyaf. O fel y mae hyn, yn ein golwg ni, yn mwyhau cwymp Sisera, yr hwn sydd ar yr un pryd yn gorwedd yn farw yn mhabell Jael, a'r hoel trwy ei arlais, heb fam na chwaer na brawd i ŵylo uwch ei ben, ac wedi syrthio trwy ddwylaw gwraig! Ni allai Titian, Raphael, na Reubens byth baentio darlun perffeithiach na hwn.

Adn. 31. *Felly y darfyddo am dy holl elynion, O Arglwydd*] Fel y darfu am Sisera a'i fyddin, felly y darfyddo am holl elynion yr Arglwydd a'i bobl—mor sydyn, mor sicr, ac mor lwyr ac anadferadwy. Y mae y geiriau yn weddi ac yn broffwydoliaeth ar yr un pryd. Fel y dechreuodd Debora ei chân gyd a'r Arglwydd, felly y mae yn ei gorphen hi. *A bydded y rhai a'i hoffant ef*—a hoffant yr Arglwydd a'i wasanaeth yn wirioneddol a diffuant; *fel yr haul yn myned rhagddo yn ei rym*—fel y mae yr haul yn cryfhau mewn gwres a goleuni hyd hanner dydd, felly bydded i Israel Duw gryfhau mewn nerth ac enwogrwydd, a bod yn orchfygol ar eu holl elynion. Dyma ddiwedd y gân; a thybia Kennicott fod y geiriau olaf hyn yn gydgor cyffredinol. *A'r wlad a gafodd lonydd ddeugain mlynedd*—ar ol gorchfygu Jabin a Sisera.

PEN. VI. Adn. 1. *A meibion Israel a wnaethant ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] Gan annghofio y waredigaeth hynod a wnaethai Duw iddynt trwy Debora a Barac. Gallwn gasglu oddiwrth adn. 10, 25, mai eilunaddoliaeth oedd y *drwg* hwn eto, yn gystal a'r troion o'r blaen: gwel ar pen. iv. 1. *A'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn llaw Midian*—yr oedd y Midianiaid yn mhlith gelynion henaf a ffyrnicaf meibion Israel. Ymunasant â'r Moabiaid i'w hudo hwy i eilunaddoliaeth, a bu agos iddynt gael eu llwyr ddifodi ganddynt, Num. xxxi. Yr oeddynt yn cyfaneddu yr ochr ddwyreiniol i'r môr marw: gwel ar Exod. ii. 15. Er fod y rhan fwyaf o honynt wedi eu dyfetha gan Moses oddeutu dau gant o flynyddau yn ol, eto darfu i lawer o honynt yn ddiamau ffoi i'r gwledydd cymydogaethol, o ba le y dychwelasant wedi hyny i'w gwlad eu hunain, lle y gallent yn hawdd, mewn dau gan mlynedd, gynyddu i rifedi dirfawr; yn enwedig gan fod Duw yn bendithio

2 A llaw Midian a orthrechodd Is-
rael: *a* rhag y Midianiaid meibion Is-
rael a wnaethant iddynt y llochesau
*sydd* yn y mynyddoedd, a'r ogofeydd,
a'r amddiffynfaoedd.
3 A phan hauasai Israel, yna Mid-
ian a ddaeth i fyny, ac Amalec, a
meibion y dwyrain; hwy a ddaeth-
ant i fyny yn eu herbyn hwy:
4 Ac a wersyllasant yn eu herbyn
hwynt, ac a ddinystriasant gnwd y
ddaear, hyd oni ddelych i Gaza; ac
ni adawsant ddim ymborth yn Israel,
na dafad, nac eidion, nac asyn.
5 Canys hwy a ddaethant i fyny â'u
hanifeiliaid, ac â'u pebyll, a daethant
fel locustiaid o amldra; *ac* nid *oedd*
rhifedi arnynt hwy, nac ar eu camel-
od: a hwy a ddaethant i'r wlad i'w
dystrywio hi.
6 Ac Israel a aeth yn dylawd iawn
o achos y Midianiaid: a meibion Is-
rael a lefasant ar yr Arglwydd.
7 ¶ A phan lefodd meibion Israel ar
yr Arglwydd oblegid y Midianiaid,
8 Yr Arglwydd a anfonodd broff-
wydwr at feibion Israel, yr hwn a
ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dy-
wedodd Arglwydd Dduw Israel; Myfi
a'ch dygais chwi i fyny o'r Aifft, ac
a'ch arweiniais chwi o dŷ y caeth-
iwed;
9 Ac a'ch gwaredais chwi o law yr
Aifftiaid, ac o law eich holl orthrym-
wyr; gyrais hwynt allan o'ch blaen
chwi, a rhoddais eu tir hwynt i chwi:
10 A dywedais wrthych, Myfi *yw*
yr Arglwydd eich Duw chwi; nac
ofnwch dduwiau yr Amoriaid, y rhai
yr ydych yn trigo yn eu gwlad: ond
ni wrandawsoch ar fy llais i.
11 ¶ Ac angel yr Arglwydd a ddaeth,

---

eu cynydd i fod yn ffrewyll i Israel pan y troseddent. Boed i bawb a bechant, ddysgwyl dyoddef; boed i bawb a droant at ynfydrwydd, ddysgwyl troi i drueni. *Saith mlynedd*—er fod gorthrwm Midian yn fwy blin, os oedd lle, na gorthrwm Jabin; eto, gan na pharhaodd ond saith mlynedd, gellir meddwl nad oedd pechod Israel mor fawr y tro hwn a'r troion o'r blaen; neu ynte ddarfod i'w blinder tostach eu toddi yn gynt mewn edifeirwch.

Adn. 2. *A llaw Midian a orthrechodd Israel*] Ac nid rhyfedd, gan i'r Arglwydd roddi Israel yn eu llaw hwynt, a'u bod yn aneirif o amldra hefyd, adn. 5. *Y llochesau sydd yn y mynyddoedd*—ni feiddient drigo yn y dyffrynoedd gan ofn y Midianiaid, eithr yr oeddynt yn gorfod ffoi i ogofeydd y mynyddoedd, lle yr oeddynt yn byw ac yn cael eu herlid fel anifeiliaid gwylltion. Dywed Dr. Shaw fod rhes o fynyddoedd a chreigiau bob tu i Joppa, ar fin y môr, lle y ceir y ffauau, y tyllau, a'r ogofau a grybwyllir yn yr ysgrythyr, i'r rhai mor fynych yr enciliai yr Israeliaid erlidiedig.

Adn. 3. *A phan hauasai Israel*] Y rhai a ddeuent allan o'r ogofau bob blwyddyn i hau; neu gall mai cyfeirio y mae at yr amser cyntaf ag y ffoisent i'w llochesau. *Yna Midian a ddaeth i fyny*—yn eu herbyn hwy, gan gymeryd mantais o'r cnydau; *ac Amalec*—gelynion dygn Israel o hyd, er pan ddaethent o'r Aifft, Exod. xvii. 8, &c.; *a meibion y dwyrain*—yr Ismaeliaid, y rhai a breswylient yn anialwch Arabia: gwel ar Gen. xvi. 11, a xxv. 18.

Adn. 4. *Ac a wersyllasant yn eu herbyn hwynt*] Ac o'r gwersylloedd hyny danfonent finteioedd allan i bob rhan o'r wlad, i yspeilio yr Israeliaid. *Ac a ddinystriasant gnwd y ddaear*—trwy droi eu hanifeiliaid eu hunain iddo i'w bori a'i sathru, a chludo y gweddill gyda hwynt. *Hyd oni ddelych i Gaza*—hyny yw, dinystriasant yr holl wlad o'r dwyrain, lle y daethant i mewn, hyd y gorllewin, lle yr oedd Gaza yn sefyll, ar lan Môr-y-canoldir. *Ac ni adawsant ddim ymborth yn Israel*—i ddyn nac anifel. *Na dafad, nac eidion, nac asyn*—hyny yw, ni adawsant ddim anifeiliaid i ymborthi arnynt, i'w haberthu i'r Arglwydd, nac i weithio â hwynt.

Adn. 5. *Fel locustiaid*] Gyda golwg ar eu hamldra a'u difrod: gwel ar Exod. x. 4, 5. *Eu camelod*—y rhai a ddygent i farchogaeth arnynt, ac i gario ymaith y cnwd a'r yspail y rhai ni allent eu difa yn y fan.

Adn. 6, 7. *Ac Israel a aeth yn dylawd iawn*] Trwy gael eu hyspeilio bron o'u holl feddiannau gan y Midianiaid, yr Amaleciaid, a'r Ismaeliaid. *A lefasant ar yr Arglwydd*—fel yr unig un a allai eu gwaredu. Fel hyn da oedd iddynt gael eu cystuddio, canys cyn hyny yr oeddynt yn cyfeiliorni, Salm cxix. 67.

Adn. 8, 9. *Yr Arglwydd a anfonodd broffwydwr*] Neu 'ŵr o broffwyd,' fel yr arwydda y wreiddiol, nid *angel*. Hwn oedd ryw athraw a godwyd i fyny gan yr Arglwydd, mewn atebiad i'w gweddiau, i'w rhybyddio a'u hyfforddi. *Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel*—y Duw ag sydd mewn cyfammod âg Israel. Felly y mae efe yn llefaru nid yn ei enw ei hun, fel yr Angel yn pen. ii. 1, ond yn enw yr Arglwydd. *Myfi a'ch dygais chwi i fyny*—efe a goffäai iddynt ddaioni yr Arglwydd iddynt hwy a'u tadau, i'r dyben i ddangos iddynt eu rhwymedigaeth arbenig i'w wasanaethu ef yn well.

Adn. 10. *Myfi yw yr Arglwydd eich Duw*] Gwel ar Exod. xx. 2. *Nac ofnwch dduwiau yr Amoriaid*—hyny yw, na wasanaethwch hwynt. Rhoddir yr Amoriaid yma am yr holl Ganaaneaid, am eu bod y genedl luosocaf a chryfaf o honynt. *Ond ni wrandawsoch ar fy llais i*—ond syrthiasoch yn olynol i eilunaddoliaeth, yr hyn yw yr achos o'ch trallod parhaus. Y mae yn dra thebyg fod y proffwydwr hwn yn myned trwy yr holl wlad i draddodi y genadwri hon; a gellir meddwl iddi gael argraff da ar feddyliau y bobl, gan iddi barotoi y ffordd i'w gwaredigaeth.

ac a eisteddodd dan dderwen *oedd* yn
Ophrah, yr hon *oedd eiddo* Joas yr
Abi-ezriad: a Gedeon ei fab ef oedd
yn dyrnu gwenith wrth y gwinwrŷf,
i'*w* guddio rhag y Midianiaid.
12 Ac angel yr Arglwydd a ym-
ddanghosodd iddo ef, ac a ddywedodd
wrtho, Yr Arglwydd *sydd* gyda thi,
*ŵr* cadarn nerthol.
13 A Gedeon a ddywedodd wrtho,
O fy arglwydd, od yw yr Arglwydd
gyda ni, paham y dygwyddodd hyn
oll i ni? a pha le *y mae* ei holl ryfedd-
odau ef, y rhai a fynegodd ein tadau i
ni, gan ddywedyd, Oni ddyg yr Argl-
wydd ni i fyny o'r Aifft? Ond yn awr
yr Arglwydd a'n gwrthododd ni, ac
a'n rhoddodd i law y Midianiaid.
14 A'r Arglwydd a edrychodd arno
ef, ac a ddywedodd, Dos yn dy rym-
usdra yma; a thi a waredi Israel o
law y Midianiaid: oni anfonais i dydi?
15 Dywedodd yntau wrtho ef, O fy
arglwydd, pa fodd y gwaredaf fi Is-
rael? Wele, fy nheulu yn dylawd yn
Manasse, a minau yn lleiaf yn nhŷ fy
nhad.
16 A dywedodd yr Arglwydd wrtho
ef, Diau y byddaf fi gyda thi; a thi a
darewi y Midianiaid fel un gŵr.
17 Ac efe a ddywedodd wrtho, O
chefais yn awr ffafr yn dy olwg, gwna

---

Adn. 11. *Ac angel yr Arglwydd a ddaeth*] Nid angel creedig, eithr Angel y Cyfammod, Mab Duw ei hun, yr hwn a elwir JEHOFA, adn. 14, 16, 23, 25. Daeth y proffwydwr yn gyntaf i addysgu a chynghori, ac yna daeth yr ANGEL i gadarnhau geiriau y proffwydwr, i alw ac awdurdodi Gedeon i fod yn waredwr iddynt, ac i wneuthur gwyrthiau mewn trefn i'w ysbrydoli ef â gwrolder goruwchnaturiol, ac â hyder am lwyddiant. *Ac a eisteddodd dan dderwen oedd yn Ophrah*—sef dinas yn hanner llwyth Manasse, yn Nghanaan. Yr oedd lle arall o'r enw hwn yn llwyth Benjamin, Jos. xviii. 23. *Yr hon oedd eiddo Joas yr Abi-ezriad*—un o deulu Manasse oedd Abi-ezer, yr hwn yr hanai Joas o hono, adn. 15, Jos. xvii. 2. *A Gedeon ei fab ef oedd yn dyrnu gwenith wrth y gwinwrŷf*—neu 'â gwialen yn y gwinwrŷf,' fel y mae rhai yn ei ddarllen. Nid âg ychain, yn y modd arferol, am nad oedd ond ychydig o hono; neu am y gallai ei ddyrnu felly yn fwy diarwybod i'r Midianiaid, y rhai ni feddylient fod neb yn dyrnu gwenith yn y fath le.

Adn. 12. *Ac angel yr Arglwydd a ymddanghosodd iddo ef*] Ond odid mewn rhith gŵr, fel yr ymddangosasai o'r blaen i Josua wrth Jericho, Jos. v. 13. *Yr Arglwydd sydd gyda thi*—i'th gyfarwyddo â'th galonogi, i'th nerthu a'th lwyddo. Y Galdeaeg a'i deongla, 'GAIR yr Arglwydd yw dy gymhorth.' *Ŵr cadarn nerthol*—i'r hwn y rhoddais gadernid a nerth i'r gwaith y gelwais di iddo. Nis gallai Gedeon, er yn ŵr nerthol yn naturiol, ddwyn dim daioni oddiamgylch heb fendith a phresenoldeb Duw.

Adn. 13. *A Gedeon a ddywedodd wrtho, O fy arglwydd*] Ymddengys oddiwrth hyn na wyddai Gedeon â phwy yr oedd yn ymddyddan, a'i fod yn meddwl mai rhyw broffwyd ydoedd. *Od yw yr Arglwydd gyda ni*—ni ddywedasai yr angel hyn, ond yn unig ei fod gydag EF. *Paham y dygwyddodd hyn oll i ni*—yr holl orthrymder yma oddiwrth y Midianiaid? *A pha le y mae ei holl ryfeddodau ef*—y rhai yr arferai efe eu gwneuthur i'n tadau yn yr Aifft, wrth y môr coch, yn yr anialwch, ac yn Nghanaan? Yr oeddynt wedi clywed am ryfeddodau felly gynt, ond nid oedd yr Arglwydd yn gwneyd dim felly yn awr; a chasglai Gedeon yn ddigon naturiol a chywir fod yr Arglwydd yn awr wedi gwrthod ei bobl, a'u rhoddi i fyny i ddwylaw eu gelynion.

Adn. 14. *A'r Arglwydd a edrychodd arno ef*] Gyda golwg sefydlog, hyfrydol, a bywiocaol, fel arwydd o'i ffafr, a'i barodrwydd i'w gynorthwyo. *Dos yn dy rymusdra yma*—yn ngrym yr awdurdod ag yr wyf fi yn awr yn ei roddi i ti, ac yn y nerth â pha un y'th gynysgaethaf. Yr oedd yma orchymyn iddo fyned at y gwaith, a grym yn cael ei roddi iddo mewn corff a meddwl i'w gyflawni. *A thi a waredi Israel*—ac felly y gwnaeth efe, fel y cawn weled eto. *Oni anfonais i dydi?*—dylasai Gedeon wybod oddiwrth hyn mai Duw oedd yn llefaru wrtho.

Adn. 15. *Pa fodd y gwaredaf fi Israel*] A minau heb filwyr nac arian? *Wele fy nheulu yn dylawd yn Manasse*—Heb. 'fy *mil*.' Rhenid pob llwyth yn *filoedd* yn Israel, heb law rhaniadau llai, Exod. xviii. 21; ac nid oedd miloedd Manasse ond ychydig, ac yr oedd y mil y perthynai Gideon iddo yn dylotaf un o honynt, ac yntau yn ei feddwl gostyngedig ei hun y lleiaf un o'r mil hwnw. Efe a edrychai arno ei hun fel y dyn distadlaf yn y mil tylotaf o'r llwyth gwanaf yn Israel, yn enwedig gan nad oedd ond hanner llwyth Manasse yn Nghanaan. *A minau yn lleiaf*—neu yr *ieuangaf*, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu yr annhebycaf i allu gwaredu Israel. Nid yw yn un prawf o annghymhwysder dyn i gyflawni gwaith pwysig, ei fod ef yn meddwl yn isel am dano ei hun.

Adn. 16. *A dywedodd yr Arglwydd wrtho*] Yr hwn yn adn. 12 a elwir yn Angel yr Arglwydd. *Diau y byddaf fi gyda thi*—nid yn unig yr ydwyf yn awr, adn. 12, ond byddaf nes y cyflawni di dy orchwyl. *A thi a darewi y Midianiaid fel un gŵr*—ti a orchfygi eu holl *luoedd* hwynt mor sicr a phe na buasai genyt ond *un gŵr* i ymryson âg ef; neu ti a ddyfethi *bob gŵr* o honynt.

Adn. 17. *O chefais yn awr ffafr yn dy olwg*] Neu GAN ei fod yn awr wedi cael ffafr yn ei olwg, yr hyn oedd amlwg oddiwrth ei fod yn ei anfon ef i waredu Israel, ac yn addaw bod gydag ef i'w nerthu a'i lwyddo. *Gwna erof fi arwydd mai ti sydd yn llefaru wrthyf*—fod awdurdod dwyfol yn gorchymyn i mi, neu y bydd i mi gyflawni yr hyn yr wyt ti yn ei orchymyn. Efe a geisiai hyn nid yn unig

erof fi arwydd mai ti sydd yn llefaru
wrthyf.
18 Na chilia, atolwg, oddiyma hyd
oni ddelwyf atat, ac oni ddygwyf fy
anrheg, a'i gosod ger dy fron. Dy-
wedodd yntau, Myfi a arhosaf nes i
ti ddychwelyd.
19 A Gedeon a aeth i mewn, ac a
barotôdd fŷn gafr, ac epha o beillied
yn fara croyw: y cig a osododd efe
mewn basged, a'r isgell a osododd efe
mewn crochan; ac a'*i* dyg ato ef dan
y dderwen, ac a'*i* cyflwynodd.
20 Ac angel Duw a ddywedodd
wrtho, Cymer y cig, a'r bara croyw,
a gosod ar y graig hon, a thywallt yr
isgell. Ac efe a wnaeth felly.
21 ¶ Yna angel yr Arglwydd a es-
tynodd flaen y ffon *oedd* yn ei law, ac
a gyffyrddodd â'r cig, ac â'r bara
croyw: a'r tân a ddyrchafodd o'r
graig, ac a ysodd y cig, a'r bara croyw.
Ac angel yr Arglwydd a aeth ymaith
o'i olwg ef.
22 A phan welodd Gedeon mai ang-
el yr Arglwydd *oedd* efe, y dywedodd
Gedeon, Och, O Arglwydd Dduw! o
herwydd i mi weled angel yr Argl-
wydd wyneb yn wyneb.
23 A dywedodd yr Arglwydd wrtho,
Tangnefedd i ti: nac ofna; ni byddi
farw.
24 Yna Gedeon a adeiladodd yno
allor i'r Arglwydd, ac a'i galwodd

---

er sicrwydd iddo ei hun, ond er boddlonrwydd i ereill hefyd fod Duw wedi ei anfon ef. Y mae hyn yn un prawf, yn mysg llawer ereill, fod arwydd neu wyrth yn cael ei hystyried yn y dyddiau hyny fel tystiolaeth angenrheidiol a digonol o ddwyfol anfoniad ac awdurdod. A gallwn ddysgu oddiyma fod genym reswm digonol i fod yn sicr gyda golwg ar sail ein ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, gan ei fod ef yn 'ŵr profedig gan Dduw, trwy nerthoedd a rhyfeddodau ac arwyddion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo ef' yn ngolwg pob dyn, Act. ii. 22.

Adn. 18. *Na chilia, atolwg, oddiyma hyd oni ddelwyf atat*] Efe a ddeisyfai iddo aros yn y fan lle yr oedd ef yn dyrnu, nes iddo fyned i dŷ ei dad i gyrchu ymborth er ei groesawu; canys nis gwyddai Gedeon eto mai yr Arglwydd oedd yn ymddyddan âg ef. *Dywedodd yntau, Mi a arhosaf*—yr oedd hyn yn siampl ryfeddol o ymostyngiad Duw, yn addaw aros yno nes i Gedeon ddychwelyd, gan y cymerai gryn amser i ddarparu y pethau a enwir yn yr adnod nesaf.

Adn. 19. *Ac a barotôdd fŷn gafr*] Trwy ei ladd a'i ferwi, fel yr ymddengys oddiwrth yr isgell a grybwyllir isod. *Ac epha o beillied yn fara croyw*—am nad oedd amser i'w lefeinio. *Y cig a osododd efe mewn basged*—fel y gallai y gŵr dyeithr gymeryd y gweddill o hono gydag ef i'w daith ar ei ymadawiad. *A'r isgell*—yn yr hwn y berwyd y cig, *a osododd efe mewn crochan*—neu lestr, fel y gallai efe gymeryd peth o hwnw hefyd os mynai. *Ac a'i dyg ato ef dan y dderwen*—fel y gwnaethai Abraham i'r angylion, Gen. xviii. 8. *Ac a'i cyflwynodd*—nid yn aberth, fel y meddyliodd rhai, ond at ei wasanaeth; canys nid oedd Gedeon yn offeiriad, ac nid oedd yno allor, ac ni wyddai efe eto fod y gŵr yn berson dwyfol.

Adn. 20. *Cymer y cig a'r bara croyw, a gosod ar y graig hon*] Fel y byddai y graig nid yn fwrdd i fwyta arno, ond yn allor i offrymu arni. Efe a fwriadai i'r cig a'r bara fod yn offrwm, a'r isgell yn ddiod offrwm, iddo ei hun.

Adn. 21. *Yna angel yr Arglwydd a estynodd flaen y ffon oedd yn ei law*] A'r hon y cerddai efe, fel y tybiai Gedeon, megys ymdeithydd. *Ac a gyffyrddodd â'r cig ac â'r bara croyw*—ni tharawodd efe y graig fel y gwnaethai Moses, ac ni chyffyrddodd â hi chwaith, eithr â'r cig a'r bara a roddesid arni. *A'r tân a ddyrchafodd o'r graig*—yn arwydd amlwg o offerynoliaeth oruwchnaturiol; *ac a ysodd y cig a'r bara*—trwy yr hyn y danghosodd nad dyn oedd efe mewn angen am y fath luniaeth, eithr MAB DUW; a thrwy yr anghraifft hon o'i hollalluogrwydd, yn gystal a'i ddiflaniad disymwth, efe a roddes sicrwydd i Gedeon y gallai ac y gwnai efe ddyfetha y Midianiaid a gwaredu Israel. *Ac angel yr Arglwydd a aeth ymaith o'i olwg ef*—a ddiflanodd yn ddisymwth tra yr oedd Gedeon yn synu wrth yr olygfa. Ond er i'r angel ddiflanu o'i olwg ef, eto efe a barhaodd i ymddyddan âg ef, naill ai trwy ysbrydoliaeth ddirgel yn ei feddwl, neu trwy lais hyglyw, neu trwy freuddwyd, adn. 25.

Adn. 22. *A phan welodd Gedeon mai angel yr Arglwydd ydoedd*] Yr hyn a ddysgodd yn eglur oddiwrth y wyrth ryfeddol hon, efe a ddywedodd, *Och! O Arglwydd Dduw, o herwydd i mi weled angel yr Arglwydd wyneb yn wyneb*—y mae hon yn frawddeg ddiffygiadol, ac yn ddanghosiad naturiol o sefyllfa drallodus meddwl Gedeon; fel pe dywedasai, 'Cymer drugaredd arnaf, O Arglwydd Dduw! onidê byddaf farw, o herwydd i mi weled angel yr Arglwydd wyneb yn wyneb!' Er y buasai golwg ar angel crëedig yn synu Gedeon yn fawr, eto ni ddychrynesid ef fel hyn, oddi eithr ei fod yn credu iddo weled Duw. Gwelsom yn fynych ei bod yn dyb gyffredin, os gwelai neb Dduw, fod yn rhaid iddo farw; ac ar y cyfrif hwn y mae Gedeon yn ofni, ac yn gweddio am ei fywyd. Yr oedd y dyb hon yn ffynu yn mhlith y paganiaid hefyd: gwel ar Gen. xvi. 13, a xxxii. 30, Exod. xxxiii. 20.

Adn. 23. *A dywedodd yr Arglwydd wrtho*] Ond odid trwy lais hyglyw, neu trwy weithrediad grymus ar ei feddwl ef. *Tangnefedd it'*—yr oedd y gair TANGNEFEDD, yn mhlith yr Iuddewon, o ystyr helaeth iawn, ac yn cynwys pob bendith a daioni a allai neb fod mewn angen am danynt. *Nac ofna*—na therfysged dy feddwl gan arswyd a braw, rhag y dygwydd i ti unrhyw niwed, yn enwedig marwolaeth, am i ti weled angel yr Arglwydd. *Ni byddi farw*—am mai Duw a'i datgudd-

Jehofa-shalom: hyd y dydd hwn *y mae* hi eto yn Ophrah *eiddo* yr Abiezriaid.
25 ¶ A'r noson hòno y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Cymer y bustach *sydd* eiddo dy dad, sef yr ail bustach saith mlwydd oed; a bwrw i lawr allor Baal yr hon *sydd* eiddo dy dad, a thor i lawr y llwyn *sydd* yn ei hymyl hi:
26 Ac adeilada allor i'r Arglwydd dy Dduw ar ben y graig hon, yn y lle trefnus; a chymer yr ail bustach, ac offryma boeth-offrwm â choed y llwyn, yr hwn a dori di.
27 Yna Gedeon a gymerodd ddengwr o'i weision, ac a wnaeth fel y llefarasai yr Arglwydd wrtho: ac o herwydd ei fod yn ofni teulu ei dad, a gwŷr y ddinas, fel nas gallai wneuthur *hyn* liw dydd, efe a'*i* gwnaeth liw nos.
28 ¶ A phan gyfododd gwŷr y ddinas y bore, *yna* wele, allor Baal wedi ei bwrw i lawr, a'r llwyn yr hwn *oedd* yn ei hymyl wedi ei dori, a'r ail bust-

---

iodd ei hun i ti, heb i ti mewn cywreinrwydd chwilio i mewn o honot dy hun i ddirgeledigaethau gwaharddedig.

Adn. 24. *Yna Gedeon a adeiladodd yno allor i'r Arglwydd*] Sef ar ben y graig o'r hon y daethai tân i ysu y cig a'r bara, fel y mae yn eglur oddiwrth adn. 26, lle y mae yr hyn a grybwyllir yma yn cael ei ddarlunio yn fanylach. *Ac a'i galwodd Jehofa-shalom*—hyny yw, 'Yr Arglwydd yw fy nhangnefedd,' neu, 'Tangnefedd Jehofa;' yr arwydd neu y tyst ddarfod i Jehofa lefaru tangnefedd i mi, ac i'w bobl; neu y fan lle y llefarodd efe dangnefedd wrthyf, pan nad oeddwn yn dysgwyl dim ond dinystr. *Hyd y dydd hwn*—pryd yr ysgrifenwyd yr adnod hon gan Samuel neu arall.

Adn. 25. *A'r noson hòno y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef*] Ond odid mewn breuddwyd. *Cymer y bustach sydd eiddo dy dad*—gan fod Duw yn gorchymyn, yr oedd yn gyfreithlon iddo ef ei gymeryd heb ganiatâd ei dad, am ei fod yn eiddo Duw yn fwy nag yn eiddo ei dad. *Sef yr ail bustach saith mlwydd oed*—yr ail mewn oedran, yr un saith mlwydd oed, yr hwn oedd yn ei amser goraf, yn dew, ac heb ddechreu gwaelu. Tybia rhai fod y bustach hwn wedi ei besgi i'r dyben i'w offrymu yn aberth i Baal, a hyny ar gost gwŷr y ddinas. Fel yr oedd y bustach hwn wedi ei eni yn nechre gorthrymder y Midianiaid, felly gorchymynir iddo gael ei aberthu fel arwydd y byddai i'r gorthrymder hwnw ddybenu ar ei farwolaeth ef. Tybia Houbigant ac ereill fod diffyg yn y testyn yma, trwy na sonir dim am y bustach *cyntaf*. Ond yn lle 'SEF *yr ail*,' ceir ar ymyl y ddalen 'A'R *ail;*' yr hyn a arwydda ei fod ef i offrymu DAU, y naill drosto ei hun, a'r llall dros bechodau y bobl y rhai yr oedd efe i'w gwaredu. *A bwrw i lawr allor Baal yr hon sydd eiddo dy dad*—yr hon sydd ar ei dir ef, ac wedi ei chodi ganddo ar ei draul ei hun, er ei bod at wasanaeth gyffredin, fel yr ymddengys oddiwrth adn. 28. *A thor i lawr y llwyn*—yr hwn a blanwyd yn ymyl yr allor i ddybenion eilunaddolgar. Tybia rhai fod y gair *asherah*, a gyfieithir yma yn *llwyn*, yn meddwl *Astarte;* a bod delw goed o'r dduwies hon wedi ei gosod ar allor y duw Baal: gwel ar pen. ii. 13, a iii. 7. Duwiau aflendid ac anlladrwydd ffiaidd oedd y ddau: ac yr oedd Gedeon i ddechreu rhyfel âg eilunod Israel, cyn dechreu rhyfel â'u gelynion hwynt; ac yr oedd efe i ddechreu y diwygiad yn ei deulu ei hun. Gall y weithred hon ymddangos yn niweidiol i awdurdod ei dad: ond yr oedd gorchymyn Duw yn ddigonol warant; canys gelwir Gedeon yn awr i fod yn brif farnwr, trwy yr hyn y dyrchafwyd ef mewn awdurdod uwchlaw ei dad.

Adn. 26. *Ac adeilada allor i'r Arglwydd dy Dduw ar ben y graig hon*] Tybia Clarke, Benson, a llawer ereill, mai yr un allor yw hon a'r un a nodwyd adn. 24, ond ei bod yno yn cael ei rhag-grybwyll; ac y mae hyny yn debyg oddiwrth ei bod wedi aros yn Ophrah am lawer o ganrifoedd, fel arwydd o 'dangnefedd Jehofa.' Ond tybia ereill mai allor wahanol oedd hon, yn agos ati; a'u rheswm am hyny yw, fod Gedeon wedi adeiladu hòno o'i ben ei hun, eithr hon trwy orchymyn Duw; nad oedd hòno ddim ond tyst neu arwydd, eithr fod hon i aberthu arni; ddarfod i hòno gael ei hadeiladu y dydd o'r blaen, eithr hon y nos ganlynol. *Yn y lle trefnus* — mewn lle gwastad a chyfleus ar y graig; neu 'mewn *modd* trefnus,' fel y mae ar ymyl y ddalen. Ai nid yw hyn yn cyfeirio at adgyweiriad a threfniad yr allor ag y sonir am dani adn. 24, yr hon a allasai fod wedi cael ei gwneyd mewn gormod brys? *Ac offryma boeth-offrwm*—nid oedd Gedeon yn offeiriad, ac nid hwn oedd y lle penodedig i aberthu, eithr yn Silo yr aberthid yn awr: ond gall Duw gyfnewid ei osodiadau ei hun, er nas gallwn ni; ac yr oedd ei orchymyn ef yn rhoddi i Gedeon awdurdod digonol.

Adn. 27. *Yna Gedeon a gymerodd ddengwr o'i weision*] Y rhai y gallai ymddiried ynddynt y byddai iddynt ei gynorthwyo ef; a chan fod allor Baal i'w bwrw i lawr, a'r llwyn i'w dori, ac allor i Dduw i gael ei hadeiladu, a bustach i gael ei offrymu, a hyn oll mewn rhan o noswaith, yr oedd yno ddigon o waith i Gedeon a'i ddeg gwas. *Ac o herwydd ei fod yn ofni teulu ei dad a gwŷr y ddinas*—trwy fod teulu ei dad a gwŷr y ddinas oll yn eilunaddolwyr, yr oedd Gedeon yn eu hofni; nid yn ofni cosp oddiwrthynt am fwrw i lawr allor Baal, ond yn ofni y buasent yn ei rwystro ef i wneuthur hyny pe ymosodasai ar y gorchwyl liw dydd; am hyny efe a'i gwnaeth liw nos, pryd yr oeddynt hwy yn cysgu.

Adn. 28 *A phan gyfododd gwŷr y ddinas y bore*] Dichon eu bod yn arfer myned at allor Baal ar eu cyfodiad yn y bore, i weddio arno neu offrymu rhywbeth iddo; ac erbyn myned yno y bore hwn, cawsant yr allor wedi ei bwrw i lawr yn chwilfriw, a'r llwyn wedi ei

ach wedi ei offrymu ar yr allor a ad-
eiladasid.
29 A dywedodd pawb wrth eu gil-
ydd, Pwy a wnaeth y peth hyn? Ac
wedi iddynt ymofyn a chwilio, y dy-
wedasant, Gedeon mab Joas a wnaeth
y peth hyn.
30 Yna gwŷr y ddinas a ddywedas-
ant wrth Joas, Dwg allan dy fab, fel
y byddo marw: am iddo fwrw i lawr
allor Baal, ac am iddo dori y llwyn
*oedd* yn ei hymyl hi.
31 A Joas a ddywedodd wrth y rhai
oll a oeddynt yn sefyll yn ei erbyn ef,
A ddadleuwch chwi dros Baal? ai
chwi a'i ceidw ef? yr hwn a ddadleuo
drosto ef, bydded farw y bore hwn:
os Duw *yw* efe, dadleued drosto ei
hun, am fwrw ei allor ef i lawr.
32 Ac efe a'i galwodd ef y dwth-
wn hwnw Jerubbaal; gan ddywedyd,
Dadleued Baal drosto ei hun, am fwrw
ei allor i lawr.
33 ¶ Yna y Midianiaid oll, a'r Am-
aleciaid, a meibion y dwyrain, a gasgl-
wyd yn nghyd, ac a aethant drosodd,
ac a wersyllasant yn nyffryn Jezreel.
34 Ond ysbryd yr Arglwydd a

---

dori; ac yn agos yno cawsant allor arall wedi ei chodi i'r gwir Dduw, a'r ail fustach wedi ei offrymu arni yn boeth-offrwm, ac ond odid heb ddarfod llosgi.

Adn. 29. *A dywedodd pawb wrth eu gilydd, &c.*] Yr oeddynt oll wedi synu, ac yn holi ac yn chwilio pwy a allai fod mor rhyfygus a drygionus fel ag i ddystrywio allor eu hoff eilun hwy, ac adeiladu un arall mewn dirmyg iddi. *Gedeon mab Joas a wnaeth y peth hyn*—enwent ef yn fwy parod, nid yn unig am fod y bustach wedi ei gymeryd o feudy ei dad, ond hefyd am ei fod ef, gallwn feddwl, yn arferol o fod â'i wyneb yn erbyn addoliad Baal.

Adn. 30. *Yna gwŷr y ddinas*] O'r rhai yr oedd y rhan fwyaf, gallwn feddwl, os nid yr oll, yn Israeliaid o lwyth Manasse, adn. 15 *Dwg allan dy fab, fel y byddo marw*—nid oeddynt yn gofyn am i'r achos gael ei brofi gerbron y barnwyr, nac am gael clywed pa beth oedd gan Gedeon i'w ddywedyd drosto ei hun; ond mynent i Joas draddodi ei fab i'w cynddaredd hwy, i'w ladd heb na barn na rhaith! Yn ol cyfraith Moses, hwynt-hwy oeddynt i farw, nid Gedeon: gwel Deut. xiii. 6, &c. *Am iddo fwrw i lawr allor Baal*—yn addoliad pa un yr oeddynt hwy mor fynych wedi cael boddineb cnawdol. Nid ydynt yn son dim am y bustach, canys eiddo Joas oedd hwnw; nac am ei offrymu gan Gedeon, yr hwn nid oedd yn offeiriad yn Israel; nac am godi allor wahanol i un Silo: dinystrio allor a llwyn Baal oedd yr unig beth a'u gofidiai hwy.

Adn. 31. *A Joas a ddywedodd*] Y mae yn eglur i Joas fod unwaith yn addolwr Baal, trwy gael ei droi gyda'r ffrwd, gan y cawn fod allor Baal wedi ei chodi ar ei dir ef; ond y mae yn debyg ei fod ef yn awr wedi ei argyhoeddi o'i bechod a'i ffolineb gan Gedeon, yr hwn a hysbysodd iddo am ymddanghosiad yr angel, ac am y genadwri ddwyfol a dderbyniasai yntau. *A ddadleuwch chwi dros Baal?*—fel pe dywedasai, Chwi, y rhai ydych ISRAELIAID, a ddadleuwch chwi dros eilun! *Ai chwi a'i ceidw ef?*—pa beth! chwi yn cymeryd arnoch gadw eich *duw*, yr hwn a ddylai ei gadw ei hun, a'ch cadw chwithau hefyd, os ydyw yn *dduw!* Beth bynag oedd meddwl Joas am Baal o'r blaen, y mae yn gweled yn amlwg yn awr nad yw efe yn deilwng o'i alw yn dduw. *Yr hwn a ddadleuo drosto ef, bydded farw y bore hwn*—hyny yw, yn ebrwydd; canys yn y bore y dygwyddodd hyn, adn. 28; ac efe a gofiai fod eilunaddoliaeth yn drosedd angeuol yn ol y gyfraith, Deut. xiii. 9. *Os duw yw efe, dadleued drosto ei hun*—fel y gwnai Duw Israel yn fynych pan y cynygid sarhad neu niwed iddo ef. Os oedd Baal yn dduw, efe a wyddai yr hyn a wnaed i'w allor, ac yr oedd ganddo allu i ddial; ac os nad oedd efe yn dduw, nid oedd dim drwg wedi ei wneyd, nac achos dial ar Gedeon. Yr oedd yr atebiad penderfynol hwn yn angenrheidiol i attal ffrwd cynddaredd y bobl; a chymhellid Joas i'w wneuthur gan deimlad o'r perygl mawr ag yr oedd ei fab ynddo, a chan yr hyder a feddai y byddai i JEHOFA ddadlu achos ei fab, a'i ddefnyddio ef yn waredwr i'w bobl.

Adn. 32. *Ac efe a'i galwodd ef y dwthwn hwnw*] Neu y dydd hwnw, *Jerubbaal*—hyny yw, 'Dadleued Baal.' Rhoddes Joas yr enw hwn i'w fab yn chwanegol at ei enw Gedeon, pen. vii. 1. Yn 2 Sam. xi 21, gelwir ef *Jerubbesheth*, gan newid *baal*, 'arglwydd,' yn *bosheth*, 'cywilydd neu warth;' canys yr oedd Baal mewn gwirionedd yn *gywilydd* a *gwarth* iddynt.

Adn. 33. *Yna y Midianiaid oll*] Gwel ar adn. 3; *a gasglwyd yn nghyd*—nid i ddial ar Gedeon am ddinystrio allor Baal, canys ni wyddent hwy ond odid ddim am hyny; eithr i ddifrodi y wlad, yn ol eu harfer bob blwyddyn tuag amser y cynauaf, adn. 3, 11. *Ac a aethant drosodd*—sef dros yr Iorddonen i Ganaan. *Ac a wersyllasant yn nyffryn Jezreel*—yn llwyth Issacar, ychydig yn uwch i'r gogledd nag Ophrah, lle yr oedd Gedeon yn preswylio.

Adn. 34. *Ond Ysbryd yr Arglwydd a ddaeth ar Gedeon*] Gan ei ysbrydoli ef â doethineb, gwroldeb, a sel, i amddiffyn anrhydedd Duw a rhyddid ei wlad. Yr Hebraeg yw, 'Ysbryd yr Arglwydd a *wisgodd* Gedeon;' a'i gwisgodd ef fel â *dilledyn*, i roddi anrhydedd arno; a'i gwisgodd ef fel â *llurig*, i roddi amddiffyniad drosto. *Ac efe a udganodd mewn udgorn*—alarwm rhyfel, i alw ar ei frodyr i ymgynull yn nghyd yn erbyn eu gelynion. *Ac Abiezer a aeth ar ei ol ef*—neu yr *Abi-ezriaid*, sef ei berthynasau, ei weision, ac ereill: gwel ar adn. 11. Mynai y rhai hyn yn ddiweddar ladd Gedeon am fwrw i lawr allor Baal, adn. 30; ond wrth weled nad oedd dim drwg wedi

ddaeth ar Gedeon; ac efe a udganodd mewn udgorn, ac Abiezer a aeth ar ei ol ef.

35 Ac efe a anfonodd genadau trwy holl Manasse, yr hwn hefyd a'i canlynodd ef: anfonodd hefyd genadau i Aser, ac i Zabulon, ac i Naphtali; a hwy a ddaethant i fyny i'w cyfarfod hwynt.

36 ¶ A Gedeon a ddywedodd wrth Dduw, O gwaredi di Israel trwy fy llaw i, megys y lleferaist;

37 Wele fi yn gosod cnu o wlan yn y llawr-dyrnu: os gwlith a fydd ar y cnu yn unig, a sychder ar yr holl ddaear; yna y caf wybod y gwaredi di Israel trwy fy llaw i, fel y lleferaist.

38 Ac felly y bu: canys cyfododd yn fore dranoeth, ac a sypiodd y cnu yn nghyd, ac a wasgodd wlith o'r cnu, lonaid phiol o ddwfr.

39 A Gedeon a ddywedodd wrth Dduw, Na lidied dy ddigllonedd i'm herbyn, a mi a lefaraf unwaith eto. Profaf yn awr, y waith hon yn unig, trwy y cnu: bydded, atolwg, sychder ar y cnu yn unig, ac ar yr holl ddaear bydded gwlith.

40 A Duw a wnaeth felly y noson hono: canys yr oedd sychder ar y cnu yn unig, ac yr holl ddaear yr oedd gwlith.

## PENNOD VII.

YNA Jerubbaal (hwnw *yw* Gedeon) a gyfododd yn fore, a'r holl bobl y rhai *oedd* gydag ef, ac a wersyllas-

dygwydd iddo ef am hyny, ond yn hytrach ei fod wedi ei fendithio gan Dduw â nerth a gwroldeb a doethineb, hwy a newidiasant eu meddyliau, ac a'u canlynasant ef fel eu gwaredwr dan Dduw.

Adn. 35. *Ac efe a anfonodd genadau trwy holl Manasse*] Ond odid o bob tu i'r Iorddonen, lle nis gallasai sain yr udgorn gyraedd, i wahodd ei holl lwyth ei hun i ymuno âg ef yn erbyn y gelynion. Anfonodd hefyd at lwythau Aser, Zabulon, a Naphtali, y rhai oeddynt agosaf ato ef yn ogleddol; ond ni anfonodd at lwyth Ephraim, y rhai oeddynt nesaf ato yn ddeheuol, yr hyn a fu yn achos o beth cweryl, pen. viii. 1.

Adn. 36. *A Gedeon a ddywedodd wrth Dduw*] Mewn gweddi ostyngedig. *O gwaredi di Israel trwy fy llaw i* — yn ol dy addewid, adn. 14, 16. Efe a ofynai am arwydd i gryfhau ffydd ei filwyr yn hytrach na'i ffydd ei hun, canys gallwn feddwl ei fod ef yn gadarn a gwrol er pan ddaethai Ysbryd Duw arno, adn. 34.

Adn. 37. *Wele fi yn gosod cnu o wlan yn y llawr-dyrnu*] Yr hwn oedd allan dan yr awyr agored. *Os gwlith a fydd ar y cnu yn unig* —erbyn y bore; *a sychder ar yr holl ddaear* —o amgylch y cnu; canys yr oedd y gwlith yn drwm iawn ar y ddaear bob nos yn y gwledydd hyny. *Yna y caf wybod y gwaredi di Israel trwy fy llaw i*—bydd cyfryngiad dwyfol yn y naill achos yn arwydd ac yn brawf o gyfryngiad dwyfol yn y llall.

Adn. 38. *Ac felly y bu*] Yr oedd y cnu gwlan yn llawn gwlith, a'r ddaear yn mhob man o'i amgylch yn crasu gan sychder.

Adn. 39. *Na lidied dy ddigllonedd i'm herbyn*] Am geisio arwydd eto yn y gwrthwyneb i'r llall, er symud ymaith bob amheuaeth o feddyliau y milwyr; canys gwyddent fod yn natur gwlan sugno i mewn bob gwlybedd, os byddai dim yn yr awyr, hyd yn nod pan y byddai y llawr o'i ddeutu yn eithaf sych. *Profaf yn awr* — hyny yw, efe a brofai nid gallu Duw, ond ei ewyllysgarwch ef. *Bydded, atolwg, sychder ar y cnu yn unig* — trwy yr holl nos; *ac ar yr holl ddaear bydded gwlith* — yr oedd hyn yn arwydd llawer amlycach na'r llall o gyfryngiad dwyfol; canys tra yr oedd yn bosibl i ddynion wlychu y cnu ar lawr sych, yr oedd yn anmhosibl cadw y cnu yn sych dros nos ar lawr gwlyb, heb allu goruwchnaturiol.

Adn. 40. *A Duw a wnaeth felly*] A thrwy hyny efe a dorodd ymaith bob amheuaeth gyda golwg ar sicrwydd buddugoliaeth Gedeon. Yr oedd y ddau arwydd hyn yn dra mynegiadol i Israel wrth fyned i gyfarfod â'u gelynion. A all Duw wahaniaethu rhwng cnu bychan Israel a llawr-dyrnu mawr Midian?—ymddengys oddiwrth yr arwydd hwn y gall efe. A ydyw Gedeon yn awyddus am i wlith dwyfol ras ddisgyn arno ef ei hun yn neillduol? — y mae yn canfod y cnu yn wlyb gan wlith, i sicrhau hyny iddo. A ddymuna efe i Dduw fod megys gwlith i holl Israel?—wele, y mae yr holl ddaear yn wlyb!

ADFEDDYLIADAU. — Y mae gan Origen rai meddyliau cywrain a dyddorol ar y wyrth hon, yn ei wythfed homili ar Lyfr y Barnwyr. 'Y *cnu*,' meddai efe, 'yw y genedl Iuddewig. Y cnu wedi ei orchuddio â *gwlith*, tra yr oedd y cwbl o'i amgylch yn *sych*,—y genedl Iuddewig wedi ei ffafrio â'r gyfraith a'r proffwydi. Y cnu yn *sych*, — y genedl Iuddewig wedi ei bwrw ymaith am wrthod yr efengyl. Yr holl ddaear yn *wlyb*,—yr efengyl yn cael ei phregethu i'r Cenhedloedd, a hwythau yn cael eu dychwelyd at Dduw. Y cnu ar y *llawr-dyrnu*, —yr Iuddewon yn ngwlad Judea yn cael eu nithio, eu puro, a'u glanhau gan yr efengyl. Y gwlith yn cael ei *wasgu i'r phiol*,—athrawiaethau Cristionogaeth, wedi eu tynu o'r ysgrythyrau Iuddewig, yn cael eu dangos yn gysgodol trwy waith Crist yn tywallt dwfr i'r cawg, ac yn golchi traed y dysgyblion.' Yna casgla y tad duwiol hwn ei fod ef yn awr wedi gwasgu y dwfr hwn o gnu Llyfr y *Barnwyr*, fel y gobeithia efe wneyd yn y man o gnu Llyfr y *Brenhinoedd*, ac allan o gnu Llyfr *Esay* neu *Jeremia;* ac efe a'i derbyniodd ef i gawg ei galon, lle y deallodd ei wir ystyr; ac y mae yn awyddus i olchi traed ei frodyr, fel y gallont hwythau rodio yn ffordd parotoad efengyl

ant wrth ffynnon Harod: a gwersyll
y Midianiaid oedd o du y gogledd idd-
ynt, wrth fryn Moreh, yn y dyffryn.
2 A dywedodd yr Arglwydd wrth
Gedeon, Rhy luosog yw y bobl *sydd*
gyda thi, i mi i roddi y Midianiaid yn
eu dwylaw; rhag i Israel ymogon-
eddu i'm herbyn, gan ddywedyd, Fy
llaw fy hun a'm gwaredodd.
3 Am hyny, yn awr, cyhoedda lle y
clywo y bobl, gan ddywedyd, Yr hwn
*sydd* ofnus ac arswydus, dychweled
ac ymadawed y bore o fynydd Gilead.
A dychwelodd o'r bobl ddwy fil ar
hugain, a deng mil a arosasant.
4 A dywedodd yr Arglwydd wrth
Gedeon, Eto *y mae* gormod o bobl.
Dwg hwynt i waered at y dyfroedd,
a mi a'u profaf hwynt yno i ti: ac
am yr hwn y dywedwyf wrthyt, Hwn
a â gyda thi, eled hwnw gyda thi; ac
am bwy bynag y dywedwyf wrthyt,
Hwn nid â gyda thi, nac eled hwnw
gyda thi.
5 Felly efe a ddygodd y bobl i wae-
red at y dyfroedd. A dywedodd yr
Arglwydd wrth Gedeon, Pob un a
lepio â'i dafod o'r dwfr fel y llepio ci,
gosod ef o'r neilldu; a phob un a ym-
grymo ar ei liniau i yfed.
6 A rhifedi y rhai a godasant *y*
*dwfr* â'u llaw at eu genau, oedd dri
chânwr: a'r holl bobl ereill a ym-
grymasant ar eu gliniau i yfed dwfr.

---

y tangnefedd. — ORIGEN, *Op.* vol. ii. p. 475, edit. *Benedict.* 'Diamau,' ebai Clarke, 'y bydd i hyn oll ymddangos i rai yn ffiloreg; ond nid gormod yw dywedyd nas gall braidd unrhyw feddwl duwiol ystyried homili y dyn rhagorol hwn heb yfed i fesur o'r un ysbryd, trwy fod cymaint o gywirdeb, dwfn dduwiolddeb, ac eneiniad, yn ymddangos trwy y cyfan.'

PEN. VII. Adn. 1. *Yna Jerubbaal, hwnw yw Gedeon*] Ymddengys fod Jerubbaal yn awr yn *gyfenw* i Gedeon, oddiwrth yr amgylchiad a grybwyllwyd pen. vi. 32: gwel ar pen. viii. 35. *A gyfododd yn fore* — am ei fod yn awyddus bellach i ymosod ar ei elynion, ar ol cael digon o sicrwydd trwy addewid ac arwyddion Duw y rhoddai efe y Midianiaid yn ei law ef. *Ac a wersyllasant wrth ffynnon Harod* — fel na thrallodid ei fyddin o eisiau dwfr: ac yr oedd y lle hwn ar godiad tir, yr hyn a allai fod yn fanteisiol iddo; canys yr oedd y Midianiaid islaw iddo yn y dyffryn.

Adn. 2. *Rhy luosog yw y bobl sydd gyda thi*] Yr oeddynt oll yn 32,000, adn. 3, yr hyn nid oedd ond byddin fechan, a llefaru yn ddynol, i ymosod ar fyddin o 135,000, pen. viii. 10. *Rhag i Israel ymogoneddu i'm herbyn*—trwy briodoli y fuddugoliaeth iddynt eu hunain, ac nid i allu a daioni Duw.

Adn. 3. *Yr hwn sydd ofnus ac arswydus*] Yn ofni na chyflawna Duw ei addewid, ac yn arswydo rhag lluosogrwydd a nerth y gelynion; *dychweled ac ymadawed y bore*—yr hyn oedd y gyfraith mewn achos o'r fath, Deut. xx. 8. *O fynydd Gilead* — y mae yn sicr nad oedd Gedeon y pryd hyn yn mynydd Gilead, yr hwn sydd o du y dwyrain i'r Iorddonen, eithr yn Nghanaan, yn agos i fynydd Gilboa. Tybia Calmet y rhaid naill ai fod dau Gilead, yr hyn nid awgrymir yn yr ysgrythyrau; neu ynte fod y testyn Hebreig wedi ei gamysgrifenu, gan ddarllen *Gilead* yn lle *Gilboa.* Tybia Dr. Hales fod yn myddin Gedeon lawer o hanner llwyth dwyreiniol Manasse, wedi dyfod dros yr Iorddonen o fynydd Gilead; a bod y rhai hyn yn fwy ofnus rhag eu cymydogion y Midianiaid, nag yr oedd y llwythau gorllewinol; ac am hyny efe a gynygia ddarllen y testyn fel hyn: 'Yr hwn o fynydd Gilead sydd ofnus ac arswydus, dychweled (adref), ac ymadawed y bore.' *A dychwelodd o'r bobl ddwy fil ar hugain* — fel rhai llwfr ac ofnus; *a deng mil a arosasant*—yn foddlon i ryfela. O'r rhai hyn eto ni a gawn 9,700 yn cael eu troi adref, a dim ond 300 yn myned yn erbyn y gelynion; canys yr un peth gyda Duw yw buddugoliaethu trwy ychydig a thrwy lawer: gwel ar adn. 7.

Adn. 4. *Eto y mae gormod o bobl*] Tybiai y rhan fwyaf o fyddin Gedeon eu bod yn rhy ychydig ar y dechre, pan yr oedd 32,000 o honynt yn nghyd; eithr tybia Duw eu bod yn ormod yn awr, pryd nad oes ond 10,000 o honynt, iddo ef gael y clod a'r gogoniant am y fuddugoliaeth. *Dwg hwynt i waered at y dyfroedd*—y rhai a redent ond odid o ffynnon Harod, adn. 1; *a mi a'u profaf hwynt yno i ti* — i Gedeon y gwnaed y prawf hwn, fel y gwypai efe pa rai y mynai Duw iddo eu cymeryd gydag ef.

Adn. 5. *Pob un a lepio â'i dafod o'r dwfr*] Wedi iddo ei godi at ei enau yn gyntaf ar gledr ei law; *fel y llepio ci*—dywed Clarke fod cynaniad y gair *yalok,* a gyfieithir yma *llepio,* o'r un swn yn union a'r hwn a wneir gan gi wrth yfed. Ychydig o ddwfr oedd ar y rhai hyn yn eisiau, i wlychu ac oeri eu geneuau; ac nid llawer, i drymhau a marweiddio eu cyrff, a'u hannghymhwyso i wynebu yn fywiog ar y gelyn. *A phob un a ymgrymo ar ei liniau i yfed*— yn awyddus i ymlenwi âg ef. Yr oedd Gedeon i osod pob un o'r ddwy blaid hyn ar eu penau eu hunain, ac ni wyddai efe eto pa un a ddewisai yr Arglwydd, ai y blaid fwyaf ynte y leiaf.

Adn. 6. *A rhifedi y rhai a godasant y dwfr â'u llaw at eu genau, oedd dri chânwr*] O ddeng mil o wŷr. Yr oeddynt fel hyn yn dangos mwy o ofal a gwyliadwriaeth rhag y Midianiaid, a mwy o barodrwydd i'w gwrthwynebu os deuent ar eu gwarthaf wrth y dyfroedd, na'r rhai a ymgryment yn ddiofal i yfed eu gwala o'r dyfroedd, gan osod eu harfau ond odid o'r neilldu. Dywedir mai fel hyn yr yfai yr Aifftiaid ddwfr y Nilus, rhag ofn y crocodiliaid ag oeddynt yn yr afon hôno. *A'r holl bobl ereill* — yn cynwys 9,700 o wŷr, *a ymgrymasant ar eu gliniau*—heb ofalu dim rhag eu gelynion, nac am ymgadw yn heinif ac addas i ymosod arnynt.

7 A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon, Trwy y tri chànwr a lepiasant *y dwfr,* y gwaredaf chwi, ac y rhoddaf y Midianiaid yn dy law di: ac eled yr holl bobl *ereill* bob un i'w fangre ei hun.

8 Felly y bobl a gymerasant fwyd yn eu dwylaw, a'u hudgyrn; a *Gedeon* a ollyngodd ymaith holl wŷr Israel, bob un i'w babell, a'r tri chànwr a attaliodd efe: a gwersyll y Midianiaid oedd odditanodd iddo yn y dyffryn.

9 ¶ A'r noson hòno y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Cyfod, dos i waered i'r gwersyll; canys mi a'i rhoddais yn dy law di.

10 Ac od wyt yn ofni myned i waered, dos di a Phurah dy lanc i waered i'r gwersyll.

11 A chei glywed beth a ddywedant; fel yr ymnertho wedi hyny dy ddwylaw, ac yr elych i waered i'r gwersyll. Yna efe a aeth i waered, a Phurah ei lanc, i gẁr y rhai arfogion *oedd* yn y gwersyll.

12 A'r Midianiaid, a'r Amaleciaid, a holl feibion y dwyrain, oedd yn gorwedd yn y dyffryn fel locustiaid o amldra; a'u camelod *oedd* heb rif, fel y tywod *sydd* ar fin y môr o amldra.

13 A phan ddaeth Gedeon, wele, ŵr yn mynegu i'w gyfaill freuddwyd, ac yn dywedyd, Wele, breuddwyd a freuddwydiais; ac wele, dorth o fara haidd yn ymdreiglo i wersyll y Midianiaid, a hi a ddaeth hyd at babell, ac a'i tarawodd fel y syrthiodd, a hi a'i hymchwelodd, fel y syrthiodd y babell.

14 A'i gyfaill a atebodd ac a ddywedodd, Nid *yw* hyn ddim ond cledd-

---

Adn. 7. *Trwy y tri chànwr a lepiasant y dwfr y gwaredaf chwi*] Am eu bod yn ddynion celyd, y rhai a allent oddef lludded, heb gwyno o herwydd syched neu flinder; neu am eu bod yn ddynion awyddus i gyfarfod â'r gelynion, gan ddewis gwasanaethu Duw a'u gwlad yn hytrach na thori eu syched eu hunain. *Ac eled yr holl bobl ereill bob un i'w fangre ei hun*—adref at ei deulu. Tybia rhai mai y gwŷr cryfaf a dewraf oedd y rhai a ymgrymasant i yfed dwfr, ac mai y rhai gwanaf a godasant ddwfr yn eu dwylaw, sef rhai analluog i blygu; ac i Dduw ddewis y rhai hyny yn hytrach na'r lleill, fel y gallai ddangos ei allu ei hun yn fwy yn y fuddugoliaeth.

Adn. 8. *Felly y bobl a gymerasant fwyd yn eu dwylaw*] Sef y tri chànwr ag oeddynt i fyned gyda Gedeon; *a'u hudgyrn*—un i bob gŵr, adn. 16; ac y mae yn debyg nad oedd ganddynt ddim arfau ond yr udgyrn hyn. Ymddengys fod Gedeon yn awr wedi cael datguddiad dwyfol o'r cynllun ag yr oedd efe i'w ddylyn yn y rhyfelgyrch hwn. *A Gedeon a ollyngodd ymaith holl wŷr Israel*—y 22,000 o'r rhai ofnus ac arswydus, adn. 3; a'r 9,700 a ymgrymasent i yfed dwfr, adn. 6. *A'r tri chànwr a attaliodd efe*—i fyned gydag ef yn erbyn y gelynion: ac y mae yn debyg iddynt ddychwelyd i ben y bryn i ddysgwyl am orchymyn yr Arglwydd, gan fod y Midianiaid odditanynt yn nyffryn Jezreel.

Adn. 9. *A'r noson hòno*] Ar ol gollwng ymaith holl wŷr Israel oddieithr y tri chànwr; *y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef*—yn debygol mewn breuddwyd. *Cyfod, dos i waered i'r gwersyll*—sef i wersyll y Midianiaid, y rhai yr oedd Duw mor sicr o'u rhoddi yn ei law ef a phe buasai wedi gwneuthur hyny. Gorchymynir iddo fyned i'r gwersyll ei hun, gan adael y tri chànwr ar ben y bryn.

Adn. 10. *Ac od wyt ti yn ofni myned i waered*] Dy hunan i'r gwersyll; *dos di a Phurah dy lanc*—yr hwn yn debygol oedd ei gadweinydd ef. Yr oeddynt ill dau i fyned yn ddirgelaidd, yn hollol ddiarwybod i wyliedyddion y gwersyll.

Adn. 11. *A chei glywed beth a ddywedant*] Beth a ddywedai rhai o'r Midianiaid wrth eu gilydd; *fel yr ymnertho wedi hyny dy ddwylaw*—neu fel y byddai yr hyn a glywai yn galondid iddo ef i ddwyn ei fyddin fechan yn erbyn y Midianiaid lluosog. *I gẁr y rhai arfogion*—i ymyl y gwylwyr arfog ag oeddynt wedi eu gosod i gadw y gwersyll.

Adn. 12. *Yn gorwedd yn y dyffryn*] Sef yn nyffryn Jezreel: gwel ar pen. vi. 5, 33. *Fel locustiaid o amldra*—yr oedd eu nifer o leiaf yn 135,000, pen. viii. 10. *A'u camelod*—y rhai oeddynt yn wasanaethgar iawn yn yr anturiaethau yspeilgar hyn, i gludo yr anrheithiau i'w gwledydd eu hunain; *fel y tywod*—gorwireb gyffredin, yn dangos eu bod yn lluosog iawn.

Adn. 13 *A phan ddaeth Gedeon*] I ymyl y gwylwyr; *wele ŵr yn mynegu i'w gyfaill freuddwyd*—Duw oedd wedi rhoddi y breuddwyd i'r naill wyliedydd, a'i ddeongliad i'r llall, ac wedi peri iddynt ei adrodd wrth eu gilydd ar yr amser penodol pan fyddai Gedeon a'i lanc yno i'w glywed; ac yr oedd hyn yn brawf nid yn unig o ragwybodaeth Duw, ond hefyd o'i allu ef i weithredu ar feddyliau dynion, i ddwyn oddiamgylch ei amcanion ei hun. *Wele dorth o fara haidd yn ymdreiglo i wersyll y Midianiaid*—fel pe buasai yn dyfod o ben y bryn lle yr oedd byddin fechan Gedeon. Yr oedd hon ynddi ei hun yn annhebyg o wneuthur nemawr o niwed, ac mor analluog i ddymchwelyd pabell ag ydoedd i symud mynydd; a diamau ei bod yn gysgod o waelder a gwendid Gedeon a'i fyddin fechan i ymosod ar wersyll mawr y Midianiaid. *A hi a ddaeth hyd at babell*—sef pabell y brenin, yn ol Josephus; *ac a'i tarawodd fel y syrthiodd*—neu yr ymchwelodd â'i gwaelod i fyny.

Adn. 14. *A'i gyfaill a atebodd*] Sef ei gydwyliedydd, yr hwn a ysbrydolwyd gan Dduw i roddi deongliad cywir er calonogiad i Gede-

yf Gedeon mab Joas, gŵr o Israel: Duw a roddodd Midian a'i holl fyddin yn ei law ef.

15 ¶ A phan glybu Gedeon adroddiad y breuddwyd, a'i ddirnad, efe a addolodd, ac a ddychwelodd i wersyll Israel; ac a ddywedodd, Cyfodwch: canys rhoddodd yr Arglwydd fyddin y Midianiaid yn eich llaw chwi.

16 Ac efe a ranodd y tri chânwr *yn* dair byddin, ac a roddodd udgyrn yn llaw pawb o honynt, a phiserau gwâg, a lampau yn nghanol y piserau.

17 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Edrychwch arnaf fi, a gwnewch yr un ffunud: ac wele, pan ddelwyf i gŵr y gwersyll, yna fel y gwnelwyf fi, gwnewch chwithau.

18 Pan udganwyf fi mewn udgorn, myfi a'r holl rai *sydd* gyda mi, udgenwch chwithau mewn udgyrn o amgylch yr holl wersyll, a dywedwch, *Cleddyf* yr Arglwydd, a Gedeon.

19 ¶ Felly Gedeon a ddaeth i mewn, a'r cànwr *oedd* gydag ef, i gŵr y gwersyll, yn nechre y wyliadwriaeth ganol, a'r gwylwyr wedi eu newydd osod, ac a udganasant mewn udgyrn, ac a ddrylliasant y piserau *oedd* yn eu dwylaw.

20 A'r tair byddin a udganasant mewn udgyrn, ac a ddrylliasant y piserau, ac a ddaliasant y lampau yn eu llaw aswy, a'r udgyrn yn eu llaw ddeau i udganu: a hwy a lefasant, Cleddyf yr Arglwydd, a Gedeon.

---

on, adn. 11, er na wyddai y gwyliedydd hyny. *Nid yw hyn ddim ond cleddyf Gedeon*—sef arwydd neu ragddanghosiad o hono, a'r modd y dyfetha efe holl fyddin y Midianiaid.

Adn. 15. *A phan glybu Gedeon adroddiad y breuddwyd*] Gan y naill; *a'i ddirnad*—neu ei ddeongliad, gan y llall; *efe a addolodd*—a fendithiodd Dduw am gael clywed hyn, i'w galonogi a'i nerthu yn ei ymosodiad; *ac a ddychwelodd i wersyll Israel*—i ddihuno ei dri chànwr, ac i'w calonogi hwythau â'r sicrwydd o fuddugoliaeth.

Adn. 16. *Ac efe a ranodd y tri chànwr yn dair byddin*] I wneyd ymddanghosiad o fyddin fawr. Er mai oddiwrth yr Arglwydd yr oedd y fuddugoliaeth i ddyfod, eto efe a wyddai fod yn rhaid iddo yntau arferyd moddion call; a'r hyn a wnaeth efe yn awr ydoedd debycaf i ateb y dyben. Pe na wnaethai efe yr hyn a grybwyllir yma, nid yw yn debyg y rhoddasai Duw y Midianiaid yn ei law ef. Rai troion, hyd yn nod wrth wneuthur gwyrthiau, myn Duw i ddyn ddefnyddio moddion naturiol. 'Dos, ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen.' 'Dos, ac ymolch yn llyn Siloam.' *Ac a roddodd udgyrn yn llaw pawb o honynt*—fel y byddai i'r tri chànwr, wrth gydudganu, ymddangos fel byddin ddirfawr; *a phiserau gwâg*—neu lestri pridd, yn y rhai yr arferent gario dwfr at eu gwasanaeth; *a lampau yn nghanol y piserau*—fel na fyddai i'r gelynion eu gweled hyd yr amser penodol. Y lampau hyn oeddynt fath o ganwyllau neu ffaglau wedi eu gwneuthur o gŵyr, pŷg, neu ryw ddefnydd llosgadwy a goleuawl arall.

Adn. 17. *Edrychwch arnaf fi*] Yn udganu mewn udgorn, yn dryllio y piser, ac yn bloeddio; *a gwnewch yr un ffunud*—gwnewch hyny pan weloch fi yn ei wneuthur, a gwnewch yr un fath. Yma efe a ymddygai fel *corporal*, neu îs-swyddog milwraidd.

Adn. 18. *Cleddyf yr Arglwydd a Gedeon*] Nid yw y gair *chereb*, 'cleddyf,' yn y wreiddiol, er ei fod yn cael ei gynwys o angenrheidrwydd, ac i'w gael yn adn. 20. Eithr ceir ef yma yn y Galdeaeg, y Syriaeg, a'r Arabaeg, ac mewn wyth o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi.

Adn. 19. *Felly Gedeon a ddaeth i mewn*] I gŵr y gwersyll, lle y buasai o'r blaen gyda Phurah ei lanc, adn. 11. *A'r cànwr oedd gydag ef*—tra yr oedd y ddwy fyddin arall ar ddeau ac aswy iddo, dan dywysiad rhyw ddau flaenor gwahanol. *Yn nechre y wyliadwriaeth ganol*—am wyliadwriaethau yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid, gwel ar Mat. xiv. 25; ond dichon nad oedd y Midianiaid yn cadw yr unrhyw oriau. Fe allai ei bod y pryd hyn tua hanner nos, pryd yr oedd yr ail ddosbarth o wylwyr newydd gael eu gosod ar waith, a'r dosbarth cyntaf ar fyned i orphwys hyd y bore. *Ac a udganasant mewn udgyrn*—gwnaeth Gedeon hyny yn gyntaf, ac yna y cànwr ag oeddynt gydag ef, ac wedi hyny y ddwy fyddin arall, adn. 20.

Adn. 20. *Ac a ddrylliasant y piserau*] Trwy eu taraw yn erbyn eu gilydd, neu ar y ddaear; *ac a ddaliasant y lampau yn eu llaw aswy*—y rhai a ffaglent yn oleuni mawr o amgylch yr holl wersyll; *a'r udgyrn yn eu llaw ddeau*—felly, pe buasai ganddynt gleddyfau, nis gallent eu defnyddio. *A hwy a lefasant*—yn awr ac eilwaith rhwng udganiadau yr udgyrn, *Cleddyf yr Arglwydd a Gedeon!*—priodolent y fuddugoliaeth i'r Arglwydd fel yr achos o honi, ac i Gedeon fel offeryn yn ei law ef. Pa mor fawr y rhaid fod dychryn a syndod y Midianiaid hanner effro, yn nyfnder tywyllwch y nos, wrth glywed dylliad y piserau, ac wrth ganfod tri chant o ffaglau yn neidio fel ar unwaith i fodoldeb, gan daflu eu pelydr tanbaid i lewyrchu ar eu golygon hanner cysglyd, ac yn cael eu dylyn gan swn taranawl tri chant o udgyrn, bob yn ail â'r fanllef fuddugawl, *Chereb layhovah ulegidon*, 'cleddyf dros yr Arglwydd a thros Gedeon!' Wrth glywed y fath swn, a chanfod y fath oleuni, tybiai y Midianiaid yn ddiamau eu bod wedi eu hamgylchu gan ryw luoedd aneirif o elynion arfog, y rhai nad oedd wiw iddynt gynyg sefyll yn eu gwyneb. Y mae ORIGEN, yn ei nawfed homili ar y llyfr hwn, yn gwneyd y *tri chànwr* hyn yn gysgodau o bregethwyr yr efengyl; eu *hudgyrn*, o bregethiad Crist croeshoeliedig; a'u *lampau*, o ymarweddiad santaidd y cyfiawnion.

21 A safasant bob un yn ei le, o
amgylch y gwersyll: a'r holl wersyll
a redodd, ac a waeddodd, ac a ffôdd.
22 A'r tri chant a udganasant âg
udgyrn; a'r Arglwydd a osododd
gleddyf pob un yn erbyn eu gilydd,
trwy yr holl wersyll: felly y gwer-
syll a ffôdd hyd Beth-sittah, yn Sere-
rath, hyd fin Abel-meholah, hyd Tab-
bath.
23 A gwŷr Israel a ymgasglasant,
o Naphtali, ac o Aser, ac o holl Ma-
nasse, ac a erlidiasant ar ol y Midian-
iaid.
24 ¶ A Gedeon a anfonodd genad-
au trwy holl fynydd Ephraim, gan
ddywedyd, Deuwch i waered yn erbyn
y Midianiaid, ac achubwch o'u blaen
hwynt y dyfroedd hyd Beth-bara a'r
Iorddonen: a holl wŷr Ephraim a
ymgasglasant, ac a ennillasant y dyfr-
oedd hyd Beth-bara a'r Iorddonen.
25 A daliasant ddau o dywysogion
Midian, Oreb a Zeeb; a lladdasant
Oreb ar graig Oreb, a lladdasant Zeeb
wrth winwrŷf Zeeb, ac a erlidiasant
Midian, ac a ddygasant benau Oreb a
Zeeb at Gedeon, i'r tu arall i'r Ior-
ddonen.

## PENNOD VIII.

A GWYR Ephraim a ddywedasant wrtho ef, Paham y gwnaethost y peth hyn â ni, heb alw arnom ni pan aethost i ymladd yn erbyn y Midianiaid? A hwy a'i dwrdiasant ef yn dost.
2 Ac efe a ddywedodd wrthynt,

---

Adn. 21. *A safasant bob un yn ei le*] Sef pob un o'r tri chânwr, gan barhau i floeddio ac udganu yn olynol. *A'r holl wersyll a redodd*—a aethant i'r annhrefn mwyaf ar draws eu gilydd, gan y dychryn a syrthiasai arnynt; ac yn y dychryn hwnw *gwaeddasant* yn frawychus, a *ffoisant* ymaith, gan feddwl fod y gelynion eisioes yn eu mysg.

Adn. 22. *A'r Arglwydd a osododd gleddyf pob un yn erbyn eu gilydd*] Gan dybied eu bod wedi bradychu eu gilydd i Israel; neu, yn eu braw a thywyllwch y nos, ni wyddent ragor rhwng eu pobl eu hunain a'u gelynion, canys yr oeddynt hwy o wahanol genhedloedd ac o wahanol ieithoedd, yn Fidianiaid, Amaleciaid, ac Arabiaid, pen. vi. 3. Ac heblaw hyn, yr oedd Duw wedi dyrysu eu synwyrau a'u rheswm, ac wedi gosod y gorphwylldra cynddeiriog hwn arnynt yn farnol, fel y lladdent eu gilydd yn y modd ofnadwy hwn. *Felly y gwersyll*—y rhai a adawyd yn fyw o'r Midianiaid a'u cynghreirwyr; *a ffôdd hyd Beth-sittah yn Sererath*—neu Zarthan, sef lleoedd i'r deau o ddyffryn Jezreel, yn rhandir Manasse, ac yn tynu tua'r Iorddonen, dros yr hon ond odid yr amcanent fyned yn ol i'w gwlad eu hunain.

Adn. 23. *A gwŷr Israel a ymgasglasant*] Y mae yn debygol fod y rhan fwyaf o'r rhai hyn yn mhlith y rhai a ddanfonwyd adref gan Gedeon y dydd o'r blaen; ond yn awr, ar ol clywed i'r Midianiaid ffoi, hwy a aethant yn ebrwydd i geisio eu dal.

Adn. 24. *A Gedeon a anfonodd genadau trwy holl fynydd Ephraim*] I godi yr Ephraimiaid yn erbyn y Midianiaid, ac i rwystro eu ffoad hwy dros yr Iorddonen yn nherfynau Ephraim. *Achubwch o'u blaen hwynt y dyfroedd*—er i Gedeon eu gyru hwy ar ffo, a chael cymhorth gwŷr Naphtali ac Aser a Manasse i'w herlid hwynt, eto nid oedd ganddo neb i'w cyfarfod hwynt wrth yr Iorddonen; ac am hyny efe a alwai ar wŷr Ephraim i fyned yno o'u blaen; fel, rhwng y rhai hyn o'u blaen, a'r lleill ar eu hol, y lleddid hwynt oll cyn iddynt groesi yr Iorddonen. *Hyd Beth-bara a'r Iorddonen*—neu yr Iorddonen oll i lawr hyd Beth-bara. Tybia rhai mai yr un yw hon a Beth-araba yn ymyl y môr marw: gwel y ddarlunlen.

Adn. 25. *A daliasant ddau o dywysogion Midian*] Ymddengys fod y ddau gadfridog hyn wedi ymguddio, un yn ogof y graig, a'r llall mewn cafn gwinwrŷf; a chafodd y ddau le hyn, oddiwrth yr amgylchiad yma, eu galw wedi hyny ar eu henwau hwy. Y mae OREB yn arwyddo *cigfran*, a ZEEB *flaidd*. Yn mhlith yr holl hen genhedloedd cawn gadfridogion a thywysogion yn cymeryd eu henwau oddiwrth adar ac anifeiliaid. *Ac a ddygasant benau Oreb a Zeeb at Gedeon*—yr oedd pen y tywysog gorchfygedig yn cael ei ddwyn yn fynych at y gorchfygwr yn mhlith cenhedloedd barbaraidd. Dygwyd pen Pompey at Cesar, a phen Cicero at Mark Antony, a phenau meibion Ahab at Jehu. *I'r tu arall i'r Iorddonen*—ar ol i Gedeon ei chroesi hi, pen. viii. 4.

PEN. VIII. Adn. 1. *A gwŷr Ephraim a ddywedasant wrtho ef*] Sef wrth Gedeon, pan ddygasant iddo benau Oreb a Zeeb. Yr oeddynt yn barnu hwnw yn gyfleusdra priodol i'w ddwrdio ef am ei esgeulusdra, ar ol iddynt wneyd y fath wasanaeth i'r wlad. Y mae yn debygol fod yr hanes yma wedi ei gosod allan o'i le priodol; canys nis gallai yr hyn a grybwyllir yma fod wedi cymeryd lle cyn dychweliad Gedeon ar ol bod yn erlid y Midianiaid; canys nid oedd efe eto wedi myned dros yr Iorddonen, adn. 4. A phan yr oedd Gedeon y tu arall i'r afon hòno y dygodd yr Ephraimiaid benau Oreb a Zeeb ato ef, pen. vii. 25. *Paham y gwnaethost y peth hyn â ni?*—sef peidio eu galw hwy allan, yn gystal a'r llwythau ereill, i'w gynorthwyo ef yn erbyn y Midianiaid; yn enwedig gan eu bod hwy yn preswylio yn agosach ato, ac yn perthyn iddo yn nes na'r lleill, fel hiliogaeth Joseph. Yr oedd peth eiddigedd rhwng llwythau Ephraim a Manasse; a thrwy fod Ephraim wedi cael y flaenoriaeth yn mendith Jacob, yr oeddynt yn ofni i lwyth Manasse ar unrhyw bryd gymylu yr eiddynt hwy. Gan hyny yr oeddynt yn

Beth a wnaethym i yn awr wrth *a wnaethoch* chwi? Onid gwell *yw* lloffiad grawnwin Ephraim, na chasgliad grawnwin Abiezer?
3 Duw a roddodd yn eich llaw chwi dywysogion Midian, Oreb a Zeeb: a pheth a allwn i ei wneuthur wrth *a wnaethoch* chwi? Yna yr arafodd eu dig hwynt tuag ato ef, pan lefarodd efe y gair hwn.
4 ¶ A daeth Gedeon i'r Iorddonen; *ac* a aeth drosti hi, efe a'r tri chânwr *oedd* gydag ef, yn ddiffygiol, ac eto yn *eu* herlid *hwy.*
5 Ac efe a ddywedodd wrth wŷr
Succoth, Rhoddwch, atolwg, dorthau o fara i'r bobl sydd i'm canlyn i: canys lluddedig ydynt hwy; a minau yn erlid ar ol Zeba a Salmunna, brenhinoedd Midian.
6 ¶ A dywedodd tywysogion Succoth, *A yw* llaw Zeba a Salmunna yn awr yn dy law di, fel y rhoddem ni fara i'th lu di?
7 A dywedodd Gedeon, O herwydd hyny, pan roddo yr Arglwydd Zeba a Salmunna yn fy llaw i, yna y drylliaf eich cnawd chwi â drain yr anialwch, ac â mieri.
8 Ac efe a aeth i fyny oddiyno i

---

ddig am nad anfonodd Gedeon am danynt hwy i ddechreu yr ymosodiad ar Midian, yn lle i orphen y gorchwyl. *A hwy a'i dwrdiasant ef yn dost*—gan ddefnyddio geiriau cas, a llawer o ymadroddion pigog, fel pe buasai Gedeon yn ceisio dyrchafu ei lwyth ei hun, sef eiddo Manasse, a'u darostwng hwythau.

Adn. 2. *Ac efe a ddywedodd wrthynt*] Mewn modd tawel ac addfwyn, gan roddi iddynt yr 'ateb arafaidd a ddettry lid,' Diar. xv. 1. *Beth a wnaethym i yn awr wrth a wnaethoch chwi?*—ni wnaethym i a'm pobl ddim ond udganu mewn udgyrn, tori y piserau, dal i fyny y lampau, a bloeddio; eithr darfu i chwi ddal a lladd dau dywysog mawr, a dwyn eu penau ataf fi yn fuddugoliaethus. *Onid gwell yw lloffiad grawnwin Ephraim*—sef yr hyn a loffasoch neu a wnaethoch chwi ar fy ol i; *na chasgliad grawnwin Abiezer?*—Gedeon, yr hwn oedd o deulu Abiezer, (pen. vi. 11,) a ddechreuodd y rhyfel, yr hyn nid oedd ond megys dechreu casglu y gwinrawn, neu yru y Midianiaid ar ffo; eithr yr Ephraimiaid, fel lloffwyr, a'i gorphenasant hi, trwy ladd y tywysogion, ac fe allai lawer ereill. Tybia rhai mai *Abi-ezriaid* oedd y rhan fwyaf o'r tri chânwr ag oeddynt gyda Gedeon.

Adn. 3. *Duw a roddodd yn eich llaw chwi dywysogion Midian*] Yr hyn oedd yn anrhydedd mawr iddynt; a dylasent fod yn foddlawn ar hyny, heb genfigenu wrtho ef, na'i ddwrdio fel y gwnaethant. *Yna yr arafodd eu dig hwy*—trwy fod y gair hwn yn boddhau eu balchder hwynt. Gallasai ddywedyd wrthynt nad allai efe osod nemawr o ddibyniad ar ei frodyr, pan, trwy lwfrdra ac ofn, yr oedd dwy fil ar hugain o honynt wedi ei adael ef ar unwaith, pen. vii. 3; ond ni soniodd efe am hyny, a chymerodd ffordd fwy rhagorol i'w tawelu.

Adn. 4. *Ac a aeth drosti*] Neu yn hytrach, 'a aethai drosti;' canys yr oedd ef wedi croesi yr Iorddonen cyn i Oreb a Zeeb gael eu lladd: ond ni chrybwyllir am hyny hyd yn awr, fel y byddai i'r hyn a berthynai i'r Ephraimiaid gael ei adrodd ar unwaith yn ddidor: gwel ar adn. 1. *Efe a'r tri chânwr*—y rhai oeddynt gydag ef yn amgylchu gwersyll y Midianiaid yn nyffryn Jezreel: nid oedd un o honynt wedi colli. *Yn ddiffygiol*—wrth floeddio ac udganu trwy yr holl nos, ac erlid ar ol y gelynion yn ddibaid, ac heb gael seibiant i gymeryd lluniaeth; *ac eto yn eu herlid hwy*—mewn hunan-ymwadiad, amynedd, a sel, gan fod yn awyddus i ddarostwng gelynion yr Arglwydd, ac i waredu ei bobl ef. Fel hyn rhaid i'n rhyfel ysbrydol ninau gael ei chario yn mlaen gyda'r ychydig nerth ag sydd genym: er bod yn *ddiffygiol* gan wendid yn mhoethder y frwydr, eto rhaid *erlid* ein gelynion nes eu llwyr orchfygu.

Adn. 5. *Ac efe a ddywedodd wrth wŷr Succoth*] Sef dinas o du y dwyrain i'r Iorddonen, yn llwyth Gad, Jos. xiii. 27. *Rhoddwch, atolwg, dorthau o fara i'r bobl sydd i'm canlyn i*—nid yw yn ceisio dynion nac arfau ganddynt, er y buasai yn rhesymol iddo gael hyny i erlid gelyn cyffredin; ac nid yw yn ceisio danteithfwyd ganddynt, ddim ond torthau o fara; ac y mae yn ceisio y rhai hyny yn ostyngedig iawn, gan *atolygu* eu cael; pryd y gallasai, fel cadfridog byddin, eu gorchymyn trwy awdurdod. *A minau yn erlid ar ol Zeba a Salmunna*—y rhai, fel BRENHINOEDD, oeddynt o uwch gradd nag Oreb a Zeeb, TYWYSOGION Midian.

Adn. 6. *A yw llaw Zeba a Salmunna yn awr yn dy law di?*] A wyt ti wedi eu dal hwynt, a buddugoliaethu yn sicr arnynt? neu, a wyt ti mor ynfyd a meddwl y gelli di, gyd a'th 300 o filwyr diffygiol a lluddedig, orchfygu a dyfetha 15,000 o wŷr cryfion? Fel hyn y maent yn gwneyd yn ysgafn o'r fantais a ennillasai efe, gan ddywedyd wrtho yn wawdlyd, nad oedd efe eto wedi gorchfygu y brenhinoedd hyn, fel ag iddynt hwy redeg y perygl o roddi bwyd iddo ef a'i wŷr, ac felly beri i'r brenhinoedd hyny ddial arnynt hwy am hyny.

Adn. 7. *O herwydd hyny*] Sef o herwydd eu gommeddiad gwawdlyd hwy o gydymffurfio â'i gais resymol a gostyngedig ef; *pan roddo yr Arglwydd Zeba a Salmunna yn fy llaw*—canys efe a gredai yn ddiysgog y cyflawnid addewid Duw yn hyny; *yna y drylliaf eich cnawd chwi â drain yr anialwch*—y rhai a dyfent mewn anialwch yn agos i Succoth. Fel pe dywedasai, Mi a ddyrnaf eich cnawd chwi â drain a mieri, fel y dyrnir ŷd â ffustiau; neu, Chwi a fethrir dan draed fy myddin fuddugol, fel y methrir ŷd wrth ei ddyrnu dan draed ychain: gwel ar adn. 16.

Adn. 8. *Ac efe a aeth i fyny oddiyno i Penuel*] Lle yn llwyth Gad, ychydig yn uwch

Penuel, ac a lefarodd wrthynt hwy-
thau yn yr un modd. A gwŷr Pen-
uel a'i hatebasant ef fel yr atebasai
gwŷr Succoth.
9 Ac efe a lefarodd hefyd wrth wŷr
Penuel, gan ddywedyd, Pan ddy-
chwelwyf mewn heddwch, mi a ddys-
trywiaf y tŵr yma.
10 ¶ A Zeba a Salmunna *oedd* yn
Carcor, a'u lluoedd gyda hwynt, yn
nghylch pymtheng mil, yr hyn oll a
adawsid o holl fyddin meibion y
dwyrain: canys lladdwyd cant ac
ugain mil o wŷr yn tynu cleddyf.
11 ¶ A Gedeon a aeth i fyny ar
hyd ffordd y rhai oedd yn trigo
mewn pebyll, o'r tu dwyrain i Nobah
a Jogbehah; ac efe a darawodd y fydd-
in: canys y fyddin oedd ysgafala.
12 A Zeba a Salmunna a ffoisant:
ac efe a erlidiodd ar eu hol hwynt; ac
a ddaliodd ddau frenin Midian, Zeba
a Salmunna, ac a darfodd yr holl lu.
13 ¶ A Gedeon mab Joas a ddy-
chwelodd o'r rhyfel cyn *codi* yr haul.
14 Ac efe a ddaliodd lanc o wŷr
Succoth, ac a ymofynodd âg ef. Ac
yntau a ysgrifenodd iddo dywysogion
Succoth, a'r henuriaid; *sef* dau ŵr ar
bymtheg a thriugain.
15 Ac efe a ddaeth at wŷr Succoth,
ac a ddywedodd, Wele, Zeba a Sal-
munna, *trwy* y rhai y danodasoch i
mi, gan ddywedyd, *A ydyw* llaw Zeba
a Salmunna yn awr yn dy law di, fel
y rhoddem fara i'th wŷr lluddedig?
16 Ac efe a gymerth henuriaid y
ddinas, a drain yr anialwch, a mieri,
ac a ddysgodd wŷr Succoth â hwynt.
17 Tŵr Penuel hefyd a ddinystr-

i'r gogledd-ddwyrain na Succoth, yr hwn a alwyd felly ar ol i Jacob fod yn ymdrechu yno â Duw, Gen. xxxii. 30; *ac a lefarodd wrthynt hwythau yn yr un modd*—gan ofyn yn ostyngedig am dorthau o fara iddo ef a'i wŷr newynog; eithr nacasant hwythau yn wawdlyd, fel y gwnaethai gwŷr Succoth, adn. 6.

Adn. 9. *Pan ddychwelwyf mewn heddwch*] Ar ol gorchfygu gelynion Israel, a sefydlu heddwch a llwyddiant iddynt yn y wlad; *mi a ddystrywiaf y tŵr yma*—eu hamddiffynfa gadarn, yn yr hon yr hyderent yn ormodol. Y mae yn debyg eu bod yn cyfeirio at y tŵr hwnw, yn yr hwn y gallent hwy eu hamddiffyn eu hunain yn ddigonol, pan yn rhoddi iddo ef eu hatebiad dirmygus.

Adn. 10. *A Zeba a Salmunna oedd yn Carcor*] Os *lle* oedd hwn, ni chrybwyllir am dano mewn un man arall yn yr ysgrythyr. Myn rhai fod *karkor* yn arwyddo *gorphwysdra;* ac felly y mae y Vulgate yn ei ddeall ef: 'Zeba a Salmunna oedd yn *gorphwys*, a'u lluoedd gyda hwynt.' Ac y mae hyn yn debygol, am y dywedir, adn. 11, fod y fyddin yn *ysgafala*, neu yn esmwyth a diofal. *Yn nghylch pymtheng mil*—hyn yn unig a adawsid o fyddin yn cynwys 135,000; canys yr oedd 120,000 o honynt wedi eu lladd gan eu gilydd yn y gwersyll, ac wrth ffoi tuag adref, pen. vii. 22.

Adn. 11. *A Gedeon a aeth i fyny ar hyd ffordd y rhai oedd yn trigo mewn pebyll*] Sef yr Arabiaid, y rhai a drigent mewn pebyll i fugeilio eu deadellau. *O'r tu dwyrain i Nobah*—ni chanlynodd hwy ar hyd y ffordd uniawn, eithr aeth oddiamgylch, fel ag i syrthio arnynt tu ol iddynt, o le nad oeddynt yn ei ddysgwyl. *Ac efe a darawodd y fyddin*—canys y mae yn debyg fod gan wŷr Gedeon gleddyfau erbyn hyn, wedi eu cymeryd oddiar y lladdedigion. *Canys y fyddin oedd ysgafala*—ond odid yn cysgu yn anwyliadwrus.

Adn. 12. *Ac efe a erlidiodd ar eu hol hwynt*] Sef ar ol dau frenin Midian, y rhai, ar ol i Gedeon gyraedd i Carcor, a ffoisent oddiyno yn y dychryn mwyaf; ac o'r diwedd daliwyd hwynt, a chymerwyd hwynt gan Gedeon yn garcharorion rhyfel. *Ac a darfodd yr holl lu*—gan ladd rhai, a gwasgar y lleill.

Adn. 13. *A ddychwelodd o'r rhyfel*] I Penuel a Succoth, i gyflawni ei fygythiad ar wŷr y lleoedd hyny, adn. 7, 9; *cyn codi yr haul*—yr ail fore. Felly yr oedd Gedeon a'i wŷr lluddedig wedi bod ar ol y gelynion ddwy noson a diwrnod. Ond y mae y LXX, yn nghyd a'r Syriaeg a'r Arabaeg yn ei ddarllen, 'A ddychwelodd o'r rhyfel *o riw Hares*.'

Adn. 14. *Ac efe a ddaliodd lanc o wŷr Succoth*] A'r hwn yr ymofynodd efe am brif ddynion y ddinas hòno, pwy oeddynt, pa nifer oedd o honynt, pa beth oedd eu henwau, a pha le yn y ddinas yr oedd eu preswylfeydd. *Ac yntau a ysgrifenodd*—eu henwau hwynt, yn nghyda phob dysgrifiad o honynt a allai ei roddi, fel y gallai Gedeon wahaniaethu rhwng yr euog a'r dieuog, ac felly gospi y rhai hyny yn unig a ommeddasent iddo fara, y rhai yr oedd eu nifer yn ddau ar bymtheg a thriugain.

Adn. 15. *Wele, Zeba a Salmunna*] Yn awr yn fy llaw i. Yr oeddynt erbyn hyn wedi eu dodi mewn cadwynau, ac yn cael eu dangos i'r rhai a'i gwawdient ef y dydd o'r blaen, adn. 6.

Adn. 16. *Ac efe a gymerth henuriaid y ddinas*] Sef y ddau ŵr ar bymtheg a thriugain, adn. 14; *a drain yr anialwch*—y rhai a wnaed ganddo yn fath o ffrewyllau; *ac a ddysgodd wŷr Succoth â hwynt*—trwy gospi y troseddwyr er siampl a dychryn i'r lleill. Ond yn lle *dysgodd*, y mae Houbigant, trwy newid dwy lythyren Hebreig led debyg i'w gilydd, yn darllen *drylliodd;* ac y mae hyn yn gyson nid yn unig â bygythiad Gedeon, adn. 7, ond hefyd â'r LXX, y Vulgate, y Galdeaeg, y Syriaeg, a'r Arabaeg. Hwy a ffrewyllwyd ar eu cyrff noethion nes rhwygo eu cnawd, pa un bynag a roddwyd hwynt i farwolaeth ai peidio.

Adn. 17. *Tŵr Penuel hefyd a ddinystriodd efe*] Yn ol ei fygythiad adn. 9. *Ac a laddodd wŷr y ddinas*—trwy i'r tŵr, yn yr hwn yr ymnoddent, gael ei dynu i lawr am

iodd efe, ac a laddodd wŷr y ddinas.

18 ¶ Yna efe a ddywedodd wrth Zeba a Salmunna, Pa fath wŷr *oedd* y rhai a laddasoch chwi yn Tabor? A hwy a ddywedasant, Tebyg i ti, *pob un* o ddull meibion brenin.

19 Ac efe a ddywedodd, Fy mrodyr, meibion fy mam, *oeddynt* hwy: *fel* mai byw yr Arglwydd, pe gadawsech hwynt yn fyw, ni laddwn chwi.

20 Ac efe a ddywedodd wrth Jether ei gyntafanedig, Cyfod, lladd hwynt. Ond ni thynai y llanc ei gleddyf: o herwydd efe a ofnodd, canys bachgen *oedd* efe eto.

21 Yna y dywedodd Zeba a Salmunna, Cyfod di, a rhuthra i ni: canys fel *y byddo* y gŵr, *felly y bydd* ei rym. A Gedeon a gyfododd, ac a laddodd Zeba a Salmunna, ac a gymerth y colerau *oedd* am yddfau eu camelod hwynt.

22 ¶ A gwŷr Israel a ddywedasant wrth Gedeon, Arglwyddiaetha arnom ni, tydi, a'th fab, a mab dy fab hefyd: canys gwaredaist ni o law Midian.

23 A Gedeon a ddywedodd wrthynt, Ni arglwyddiaethaf fi arnoch, ac ni arglwyddiaetha fy mab arnoch, *eithr* yr Arglwydd a arglwyddiaetha arnoch.

24 Dywedodd Gedeon hefyd wrth-

eu penau. Ond os yw hyn yn cyfeirio at eu lladdiad â'r cleddyf, y mae yn debyg hefyd i wŷr Succoth gael eu fflangellu i farwolaeth, trwy fod eu trosedd yr un.

Adn. 18. *Pa fath wŷr oedd y rhai a laddasoch chwi yn Tabor?*] Ymddengys oddiyma fod y brenhinoedd hyn wedi lladd teulu Gedeon yn ystod y rhyfelgyrch hwn, ond odid ar ol iddo ef ddyfod oddicartref, y rhai a ffoisent o Ophrah tua mynydd Tabor. Yr oedd Gedeon wedi clywed rhyw awgrym am hyny o'r blaen, ac yn awr y mae yn eu holi hwynt yn nghylch y peth. *Tebyg i ti*—o ran eu gwynebpryd, eu llun, a'u maintioli; *pob un o ddull meibion brenin*—o ran gwedd, taclusrwydd, ac ymddygiad boneddigaidd a mawreddog. Bwriadent trwy y weniaith hon, ond odid, ymlusgo i'w ffafr ef.

Adn. 19. *Fy mrodyr, meibion fy mam, oeddynt*] Efe a ddywed meibion ei *fam*, i arwyddo brodyr o'r fath anwylaf, rhai o groth yr un fam ag ef, pa un bynag ai eu bod o'r un tad ai peidio. *Pe gadawsech hwynt yn fyw*—heb eu lladd mewn gwaed oer pan yr oeddynt yn ymguddio am eu bywyd, ac nid yn rhyfela â'r Midianiaid; *ni laddwn chwi*—trwy nad oeddynt yn Ganaaneaid, nid oedd raid iddo eu lladd wrth gyfraith Dduw, er eu bod wedi eu cymeryd yn garcharorion rhyfel; ond fel llofruddion ei frodyr, yr oedd yn ddyledswydd arno eu lladd hwynt, nid yn unig fel barnwr, ond hefyd fel cyfnesaf ei frodyr, neu fel dialydd eu gwaed hwy.

Adn. 20. *Ac efe a ddywedodd wrth Jether ei gyntafanedig*] Efe a ewyllysiai ond odid arferyd ei fab i ddefnyddio arfau dros ei Dduw a'i wlad, a mynai iddo gael rhan o anrhydedd y fuddugoliaeth. Hefyd yr oedd yntau yn gyfathrachwr agos i'r rhai a laddesid, ac yn meddu hawl, yn enwedig yn ol gorchymyn ei dad, i ddial ar y llofruddion. Yn ol hen gyfreithiau rhyfel gellid lladd, gwerthu, neu gaethiwo carcharorion rhyfel; ac os eu lladd a wneid, nid oedd eisiau un *dienyddwr swyddogol* at hyny. Y mae Gedeon yma yn lladd Zeba a Salmunna â'i law ei hun. Darniodd Samuel Agag, 1 Sam. xv. 33. Lladdodd Benaiah Joab, 1 Bren. ii. 34. Gorchymynodd Saul i Doeg yr Edomiad ladd yr offeiriaid y rhai a gynorthwyasant ffoedigaeth Dafydd, 1 Sam. xxii. 18. A pharodd Dafydd i un o'i weision ladd yr Amaleciad a honasai iddo ladd Saul, 2 Sam. i. 15. *Ond ni thynai y llanc ei gleddyf*—nid o anufydd-dod i'w dad, nac o herwydd annghyfreithlondeb y weithred; eithr oddiar ofn a thynerwch bachgenyn dibrofiad.

Adn. 21. *Cyfod di, a rhuthra i ni*] Ystyrid yn warthus i ŵr syrthio trwy ddwylaw *plentyn;* a gallai dyn grymus eu rhoddi o'u poen yn llawer cynt nag y gallai plentyn. *Canys fel y byddo y gŵr*—hyny yw, y mae grym gŵr bob amser yn gyfatebol i'w oedran a'i faintioli. *A Gedeon a gyfododd*—ac a ddialodd waed ei frodyr â'i law ei hun. *Ac a gymerth y colerau oedd am yddfau eu camelod*—y rhai a elwir ar ymyl y ddalen yn *lloerdlysau*, mewn cyfeiriad ond odid at addoliad y lloer. Yr oedd penau, gyddfau, cyrff, a choesau camelod, meirch, a chawrfilod, yn cael eu gwisgo âg addurniadau gorwych a chostfawr yn y gwledydd dwyreiniol er yr amseroedd boreaf. Cyfeiria Virgil at hyn, *Æn.* llyfr vii, llin. 274.

Adn. 22. *A gwŷr Israel a ddywedasant wrth Gedeon*] Ar ol iddo ennill y fuddugoliaeth a'r waredigaeth fawr hon. *Arglwyddiaetha arnom ni*—nid fel barnwr, canys yr oedd ef yn y swydd hono eisioes, eithr fel brenin. *Tydi a'th fab*—bydded y frenhiniaeth yn drefdadol yn dy deulu byth.

Adn. 23. *Ni arglwyddiaethaf fi arnoch*] Fel brenin. Efe a wrthodai eu cynygiad, am ei fod yn edrych ar Dduw fel eu Brenin, yr hwn a benodai y rhaglaw a fynai i'w llywodraethu hwy; ac am yr ystyriai y cynygiad hwn fel ymgais, neu o leiaf fel yn tueddu, i newid y ffurflywodraeth hono a osodasai Duw, yr hon ni roddasai efe awdurdod iddynt i'w newid. *Eithr yr Arglwydd a lywodraetha arnoch chwi*—mewn modd neillduol, fel y gwnaeth efe hyd yma, trwy farnwyr. 'Mor wahanol yw yr ymadrodd hwn,' fel y sylwa Clarke, 'i eiddo *Oliver Cromwell*, pan y cynygiodd tŷ y cyffredin iddo ef goron Lloegr!'

Adn. 24. *Gofynaf ddymuniad genych*] Yr oedd hon yn adeg gyfleus iawn iddo ef ei ofyn ganddynt, gan eu bod hwy yn awr newydd gynyg coron iddo ef, trwy ei wneyd yn frenin arnynt. *Ar roddi o bob un o honoch i mi glust-dlysau ei ysglyfaeth*—neu '*un* clustdlws o'i ysglyfaeth,' fel y gellir cyfieithu y

ynt, Gofynaf ddymuniad genych, ar roddi o bob un o honoch i mi glust-dlysau ei ysglyfaeth: canys clust-dlysau aur *oedd* ganddynt hwy, o herwydd mai Ismaeliaid oeddynt hwy.

25 A dywedasant, Gan roddi y rhoddwn *hwynt.* A lledasant *ryw* wisg, a thaflasant yno bob un glust-dlws ei ysglyfaeth.

26 A phwys y clust-dlysau aur a ofynasai efe, oedd fil a saith gant *o siclau* aur; heblaw y colerau, a'r arogl-bellenau, a'r gwisgoedd porffor, y rhai *oedd* am frenhinoedd Midian; ac heblaw y tyrch *oedd* am yddfau eu camelod hwynt.

27 A Gedeon a wnaeth o honynt ephod, ac a'i gosododd yn ei ddinas ei hun Ophrah: a holl Israel a buteiniasant ar ei hol hi yno: a bu *hyny* yn dramgwydd i Gedeon ac i'w dŷ.

28 ¶ Felly y darostyngwyd Midian o flaen meibion Israel, fel na chwanegasant godi eu penau. A'r wlad a gafodd lonydd ddeugain mlynedd yn nyddiau Gedeon.

29 ¶ A Jerubbaal mab Joas a aeth, ac a drigodd yn ei dŷ ei hun.

---

wreiddiol. Gallai fod ganddynt lawer; ond un a geisiai efe gan bob un, a hyny hefyd a gafodd, adn. 25. *Canys clust-dlysau aur oedd ganddynt hwy*—sef gan yr Ismaeliaid, oddiar y rhai yr ysglyfaethasai yr Israeliaid hwynt.

Adn. 25. *Gan roddi y rhoddwn hwynt*] Saes. 'rhoddwn hwynt *yn ewyllysgar*,' yn y modd mwyaf rhwydd a siriol, heb rwgnach. *A thaflasant yno bob un glust-dlws ei ysglyfaeth*—sef i'r wisg neu y llieinlen. Gwnaed hyn gan bob un o'r tri-chânwr ag oeddynt gyda Gedeon, ac ond odid gan amrai ereill ag oeddynt o'r diwedd wedi ymuno â hwynt i erlid ac yspeilio y gelyn.

Adn. 26. *A phwys y clust-dlysau aur a ofynasai efe oedd fil a saith gant o siclau aur*] Yr hyn, yn ol Clarke, oedd yn werth oddeutu £3,100 o'n harian ni. Bydd i hyn adgofio i'r darllenydd gyflafan y marchogion Rhufeinig gan y Carthaginiaid yn mrwydr *Cannæ*, o yspail pa rai yr anfonodd Hannibal dri phecaid o glust-dlysau aur i ddinas Carthage! *Heblaw y colerau*—oddiam yddfau y camelod, adn. 21; *a'r arogl-bellenau*—neu lestri aur, yn ol yr Iuddewon, yn y rhai y dodid rhyw gyfferi neu wlybedd pêr-aroglaidd; *a'r gwisgoedd porffor*—gwerthfawr ag oeddynt am Zeba a Salmunna; *ac heblaw y tyrch oedd am yddfau eu camelod*—y mae yn debyg mai rhyw gadwyni aur oedd y rhai hyn, gwahanol i'r colerau uchod. Meddylir i'r pethau olaf hyn ddyfod i ran Gedeon, fel blaenor y fyddin, heblaw y clust-dlysau a ofynodd efe gan y bobl, adn 24.

Adn. 27. *A Gedeon a wnaeth o honynt ephod*] Sef o'r clust dlysau yn unig, y rhai a ofynasai efe i'r perwyl hwn. *Ac a'i gosododd yn ei ddinas ei hun Ophrah*—nid fel cofgolofn o'i fuddugoliaeth, canys nid oedd y cyfryw gofebau yn briodol nac yn arferol; eithr i ddyben *crefyddol,* i'r hwn yn unig y penodid yr ephod. Ymddengys fod yr achos yn sefyll fel hyn: Ar ol i Gedeon, trwy orchymyn Duw, adeiladu allor yn ei ddinas ei hun Ophrah, pen. vi. 26, ar adeg ac achlysur anarferol, efe a dybiai y gallai hi gael ei pharhau i ddefnydd cyffredinol; ac am hyny, gan fwriadu cael offeiriaid, efe a amcanai wneyd gwisgoedd offeiriadol, yn enwedig ephod, yr hon oedd y benaf a'r fwyaf costfawr; pa un, heblaw ei defnydd mewn gweinyddiadau cysegredig, oedd hefyd yn offeryn i ymofyn â'r Arglwydd trwyddi, 1 Sam. xxiii. 6—9; a gallai ymddangos yn angenrheidiol i'r barnwr gael hon wrth law, fel y gallai efe ymgynghori â Duw ar bob achos. Tybia rhai iddo wneuthur hefyd bob peth arall a berthynai i'r tabernacl a'i wasanaeth, o'r colerau aur a'r pethau ereill a enwir yn adn. 26; gan feddwl, trwy i Dduw unwaith ei alw ef i offrymu, (pen. vi. 26,) ei fod i barhau gwasanaeth felly yn ei ddinas ei hun. *A holl Israel a buteiniasant ar ei hol hi yno*—hyny yw, gwnaethant eilun o honi; neu aent yno i ymofyn am ewyllys Duw trwyddi, trwy yr hyn y denid hwy oddiwrth y wir ephod a osodwyd gan Dduw i'r dyben hwnw, yr hon a wisgid gan yr archoffeiriad yn unig. *A bu hyny yn dramgwydd i Gedeon*—yn achos o bechod a gofid iddo ef, a dinystr i'w dŷ, fel y dengys y bennod ganlynol. Er fod Gedeon yn ŵr da, ac iddo wneuthur hyn gyda meddwl gonest, a dymuniad i osod crefydd i fyny yn ei deulu a'i ddinas ei hun; eto ymddengys fod yn y weithred hon lawer o bechodau: (1) Coelgrefydd, neu addoli Duw trwy ddyfais o'i eiddo ei hun, yr hyn a waherddid yn benodol. (2) Rhyfyg, sef gwisgo, neu beri i offeiriaid ereill wisgo, y fath yma o ephod, yr hon oedd briodol i'r archoffeiriad yn unig. (3) Troseddiad o orchymyn eglur, yr hwn a waharddai addoli Duw yn gyffredin ond mewn un lle, ac wrth un allor, Deut. xii. 5, 11—14. (4) Gwneuthur ymraniad neu rwyg crefyddol yn mhlith y bobl. (5) Gosod tramgwydd, neu achlysur i eilunaddoliaeth, o flaen pobl ag y gwyddai efe eu bod yn rhy dueddol i hyny eisioes.

Adn. 28. *Fel na chwanegasant godi eu penau*] Mewn modd balch a thrahaus; neu, ni ennillodd y Midianiaid nerth na gwroldeb i orthrymu Israel mwyach yn ystod y deugain mlynedd dros y rhai y parhaodd llywodraeth Gedeon.

Adn. 29. *A Jerubbaal mab Joas*] Sef Gedeon, yr hwn a gafodd yr enw hwn gan ei dad, pen. vi. 32, a vii. 1; *a aeth*—o'r fan lle y gorphenodd efe y fuddugoliaeth, neu y derbyniodd y clust-dlysau; *ac a drigodd yn ei dŷ ei hun*—nid yn nhŷ ei dad, fel y gwnai o'r blaen; nac mewn llys, fel brenin, megys yr ewyllysiai y bobl; eithr mewn sefyllfa ganolig rhwng y ddau, er cadw ac amddiffyn eu crefydd a'u rhyddid iddynt hwy.

Adn. 30. *Ac i Gedeon yr oedd deng mab a thriugain*] Heblaw rhai merched, fel y gellir meddwl, yn mhlith cynifer o feibion; *a ddaeth-*

30 Ac i Gedeon yr oedd deng mab
a thriugain, a ddaethai o'i gorff ef:
canys gwragedd lawer oedd iddo ef.
31 A'i ordderchwraig ef, yr hon
*oedd* yn Sichem, a ymddyg hefyd iddo
fab: ac efe a osododd ei enw ef yn
Abimelec.
32 ¶ Felly Gedeon mab Joas a fu
farw mewn oedran têg, ac a gladdwyd
yn meddrod Joas ei dad, yn Ophrah
yr Abi-ezriaid.
33 A phan fu farw Gedeon, yna
meibion Israel a ddychwelasant, ac a
buteiniasant ar ol Baalim; ac a wnaethant Baal-berith yn dduw iddynt.
34 Felly meibion Israel ni chofiasant yr Arglwydd eu Duw, yr hwn
a'u gwaredasai hwynt o law eu holl
elynion o amgylch;
35 Ac ni wnaethant garedigrwydd
â thŷ Jerubbaal, *sef* Gedeon, yn ol yr
holl ddaioni a wnaethai efe i Israel.

PENNOD IX.

AC Abimelec mab Jerubbaal a
aeth i Sichem, at frodyr ei fam,
ac a ymddyddanodd â hwynt, ac â holl
dylwyth tŷ tad ei fam, gan ddywedyd,
2 Dywedwch, atolwg, lle y clywo
holl wŷr Sichem, Pa un oraf i chwi,
ai arglwyddiaethu arnoch o ddengwr a
thriugain, *sef* holl feibion Jerubbaal,
ai arglwyddiaethu o un gŵr arnoch?
cofiwch hefyd mai eich asgwrn a'ch
cnawd chwi *ydwyf* fi.
3 A brodyr ei fam a ddywedasant
am dano ef, lle y clybu holl wŷr
Sichem, yr holl eiriau hyn: a'u calon-

---

*ai o'i gorff ef*—ac felly nid meibion mabwysiedig oeddynt, na meibion-yn-nghyfraith. *Canys gwragedd lawer oedd iddo*—heblaw gordderchwragedd, adn. 31. Er nad oedd hyn yn gyson â deddf wreiddiol priodas, eto yr oedd yn cael ei oddef yn y dyddiau hyny hyd yn nod yn mhlith dynion da: gwel ar Mat. xix. 8. Yr oedd gan Gedeon rai meibion cyn y frwydr â Midian, canys darllenwn am yr hynaf o honynt, neu y cyntafanedig, yn llanc digon hen i dynu cleddyf, adn. 20.

Adn. 31. *A'i ordderchwraig ef*] Nid putan ydoedd, ond math o ail wraig gyfreithlon yn y dyddiau gynt, er na allai ei phlant etifeddu, yn enwedig lle y byddai plant ereill: gwel ar Gen. xxii. 24. Yr oedd hon yn byw yn *Sichem*, lle yr oedd ef yn gorfod myned yn fynych fel *barnwr;* a ganed iddo fab o honi. *Ac efe a osododd ei enw ef yn Abimelec*—hyny yw, 'fy nhad sydd frenin,' neu 'fy nhad a deyrnasodd.' Y mae yn debyg iddo ei alw ef felly er boddhau y *fam*, yr hon a ewyllysiai ddyrchafu ei mab i'r frenhiniaeth, ac am hyny a roddai iddo enw a fyddai yn debyg o'i gynhyrfu ef mewn amser dyfodol i geisio yr anrhydedd hwn yn hawl ei dad: gwel y bennod ganlynol.

Adn. 32. *Felly Gedeon mab Joas a fu farw mewn oedran têg*] Wedi ei fendithio â theulu lluosog, ac mewn anrhydedd a pharch mawr yn mhlith y bobl. Meddylir i hyn ddygwydd yn y flwyddyn O.B. 2799, C.C. 1205. *Ac a gladdwyd yn meddrod Joas*—sef yn yr un bedd a'i dad.

Adn. 33. *A phan fu farw Gedeon*] Saes 'cyn *gynted* ag y bu Gedeon farw;' *yna meibion Israel a ddychwelasant*—oddiwrth yr Arglwydd i'w hen ffyrdd; *ac a buteiniasant ar ol Baalim*—hwn sydd enw cyffredin, yn y rhif lluosog, yn cynwys llawer Baal, un o ba rai a ganlyn yma; *ac a wnaethant Baal-berith yn dduw iddynt*—ystyr yr enw hwn yw 'arglwydd y cyfammod;' a hwy a addolent Baal fel y duw ag yr oeddynt wedi *ymgyfammodi* i fod yn bobl iddo, ac i'w gymeryd yntau yn dduw iddynt hwythau.

Adn. 34. *Felly meibion Israel ni chofiasant yr Arglwydd eu Duw*] Priodolent eu gwaredigaethau mynych i ryw achos arall, heb roddi iddo ef y gogoniant o honynt.

Adn. 35. *Ac ni wnaethant garedigrwydd â thŷ Jerubbaal*] Eithr, i'r gwrthwyneb, gwnaethant annghāredigrwydd mawr, trwy gynorthwyo Abimelec i ladd ei feibion ef, fel yr adroddir yn y bennod nesaf. *Sef Gedeon*—dylasai fod yn *Jerubbaal Gedeon*, yr un modd ag y dywedwn ni *Simon Pedr*, gan ystyried un yn *enw*, a'r llall yn *gyfenw:* gwel ar pen. vi. 32, a vii. 1. *Yn ol yr holl ddaioni a wnaethai efe i Israel*—sef peryglu ei fywyd ei hun i'w gwaredu hwy o ddwylaw eu gorthrymwyr, gweini barn a chyfiawnder iddynt am ddeugain mlynedd, a'u gadael mewn heddwch a llwyddiant yn y diwedd. Fel hyn, er eu bod dan y rhwymedigaethau mwyaf i Gedeon, a'u bod unwaith mor deimladwy o hyny fel ag i gynyg ei wneyd ef yn frenin, eto yn awr annghofiasant yntau hefyd; canys ar ol myned yn *elynion* i DDUW, nis gallent fod yn *gyfeillion* i DDYN.

PEN. IX. Adn. 1. *Ac Abimelec mab Jerubbaal a aeth i Sichem*] Gwelsom eisioes fod Abimelec yn fab i Gedeon o'i ordderchwraig yn Sichem, pen. viii. 31; ond ymddengys ei fod ef wedi cael ei ddwyn i fyny yn nhŷ ei dad yn Ophrah, neu o leiaf ei fod yno pan fu farw ei dad. *At frodyr ei fam*—hyny yw, at ei theulu hi, y rhai ond odid oeddynt led gyfrifol. *Ac a ymddyddanodd â hwynt*—gan geisio eu hennill i'w bleidio ef yn ei fwriad o fod yn llywodraethwr yn lle ei dad.

Adn. 2. *Pa un oraf i chwi, ai arglwyddiaethu arnoch ddengwr a thriugain*] Efe a awgryma yn ddrygionus, ac ond odid heb un sail, fod holl feibion Gedeon yn awyddus am y frenhiniaeth a wrthodasai eu tad; ac am hyny efe a atolyga iddynt ystyried pa ryw ymraniadau ac annhrefn dychrynllyd a ganlynai os goddefid i gynifer hôni hawl i'r llywodraeth, a pha faint gwell fyddai iddynt ddewis *un* o blith y lleill, gan eu cyfeirio yn y geiriau nesaf ato ei hun. *Cofiwch hefyd mai eich asgwrn a'ch cnawd chwi ydwyf fi*—eich per-

au hwynt a drôdd ar ol Abimelec; canys dywedasant, Ein brawd ni *yw* efe.

4 A rhoddasant iddo ddeg a thriugain o arian o dŷ Baal-berith: ac Abimelec a gyflogodd â hwynt oferwyr gwamal, y rhai a aethant ar ei ol ef.

5 Ac efe a ddaeth i dŷ ei dad i Ophrah, ac a laddodd ei frodyr meibion Jerubbaal, y *rhai oedd* ddengwr a thriugain, ar un gareg: ond Jotham, mab ieuangaf Jerubbaal, a adawyd; canys efe a ymguddiasai.

6 A holl wŷr Sichem a holl dŷ Milo a ymgasglasant, ac a aethant, ac a urddasant Abimelec yn frenin, wrth ddyffryn y golofn yr hwn *sydd* yn Sichem.

7 ¶ A phan fynegasant *hyny* i Jotham, efe a aeth ac a safodd ar ben mynydd Garizim, ac a ddyrchafodd ei lef, ac a waeddodd, dywedodd *hefyd* wrthynt, Gwrandewch arnaf fi, O wŷr Sichem, fel y gwrandawo Duw arnoch chwithau.

8 Y prenau gan fyned a aethant i eneinio brenin arnynt; a dywedasant wrth yr olewwydden, Teyrnasa arnom ni.

9 Ond yr olewwydden a ddywedodd wrthynt, A ymadawaf fi â'm brasder,

---

thynas agos, o'r un llwyth a dinas a chwi eich hunain; a bydd hyn yn anrhydedd a mantais nid bychan i chwi. Yr oedd Sichem yn ddinas enwog yn llwyth Ephraim, tra yr oedd Ophrah yn llwyth Manasse.

Adn. 3. *A'u calonau hwynt a drôdd ar ol Abimelec*] Trwy fod yn hoff ganddynt lywodraeth frenhinol dan un teyrn. *Ein brawd ni yw efe*—ein perthynas agos o du ei fam, yr hwn a fydd yn barod ar bob achlysur i'n gwasanaethu a'n pleidio. Yr oedd yn dda ganddynt hefyd fod eu dinas yn debyg o fod yn un frenhinol, ac yn brifddinas holl Israel.

Adn. 4. *A rhoddasant iddo ddeg a thriugain o arian*] Neu o *siclau* arian, i ddwyn ei draul wrth geisio cario allan ei gynlluniau. *O dŷ Baal-berith*—o drysorfa gysegredig teml yr eilun, yr hon a adeiladwyd ond odid ar ol marwolaeth Gedeon: gwel ar pen. viii. 33. *Ac Abimelec a gyflogodd â hwynt oferwyr gwamal*—neu ddyhirynod anfad, yn debygol ddeg a thriugain o honynt, sef un am bob darn o arian, yr hyn hefyd oedd un ar gyfer pob un o feibion Gedeon, adn. 2.

Adn. 5. *Ac efe a ddaeth i dŷ ei dad i Ophrah*] Pa un oedd oddeutu tair milldir ar ddeg o Sichem; *ac a laddodd ei frodyr*—oll oddieithr Jotham yr ieuangaf, yr hwn a ymguddiasai; *ar un gareg*—trwy fod careg neu faen yn cael ei defnyddio weithiau fel allor, 1 Sam. vi. 14, tybiodd rhai mai allor Baal oedd y gareg hon, a darfod i Abimelec eu hoffrymu hwynt yno yn aberth i Baal, i ddial am aberthiad y bustach hwnw gan Gedeon, yr hwn a fwriedid i Baal, pen. vi. 26.

Adn. 6. *A holl wŷr Sichem*] Sef penaethiaid neu brif swyddogion y ddinas; *a holl dŷ Milo*—sef rhyw ŵr o ddylanwad mawr yn neu ger Sichem. Ond gan fod *milo* yn arwyddo *llawnder*, tybiodd rhai mai y 'tŷ llawn,' neu holl wŷr y cynghor, a feddylir; ac os felly, gall 'holl wŷr Sichem' fod yn golygu yr holl bobl gyffredin, a 'holl dŷ Milo' fod yn arwyddo yr holl gynghorwyr a'r penaethiaid yn Sichem. *A aethant*—nid i gospi Abimelec a'i wŷr am y gyflafan ofnadwy, fel y dylasent; ond i'w urddo ef yn *frenin!* Ni ofynasant i Dduw a gaent hwy frenin, llawer llai pwy a fyddai ef, Deut. xvii. 15. Nid ymgynghorasant â'r archoffeiriad, na chyda'u brodyr o un ddinas na llwyth arall, er y bwriedid iddo deyrnasu ar holl Israel, adn. 22; eithr cymerai y Sichemiaid arnynt wneyd y cwbl o honynt eu hunain, fel pe buasent yn ben ar bawb. Ar yr un pryd eisteddai y lleill o'r Israeliaid yn hollol ddifater, heb gynyg rhwystro ei uchelgais ef, nac amddiffyn meibion Gedeon, na dial eu gwaed! *Wrth ddyffryn y golofn*—y mae y gair *eelon*, a gyfieithir yma 'dyffryn,' yn arwyddo hefyd *derwen;* a darfu i rai ei gyfieithu, 'wrth *dderwen* y golofn;' sef y dderwen lle y cododd Josua gofgolofn, fel tystiolaeth o'r cyfammod a adnewyddwyd rhwng Duw ac Israel, Jos. xxiv. 26. Rhaid eu bod yn ddigywilydd iawn pan yr aent i dori cyfammod yr Arglwydd yn y fan lle y gwnaethid ef gan eu tadau!

Adn. 7. *A phan fynegasant hyny i Jotham*] Fod Abimelec, ei frawd gwaedlyd, wedi cael ei urddo yn frenin yn Sichem; *efe a aeth ac a safodd ar ben mynydd Garizim*—yr hwn oedd yn crogi uwchben dinas Sichem; *ac a ddyrchafodd ei lef*—fel y gallai y dinaswyr ei glywed, heb ddyfod yn ddiatreg ar ei warthaf i'w ddal. *Gwrandewch arnaf fi, O wŷr Sichem*—y rhai oeddynt yn awr wedi ymgasglu yn nghyd yn y ddinas ar achlysur arbenig, yn ol Josephus, a hyny yn absenoldeb Abimelec. *Fel y gwrandawo Duw arnoch chwithau*—pan y llefoch arno ef am drugaredd. Tybia Clarke ddarfod i Jotham dderbyn y genadwri hon gan Dduw, a'i fod ef yn llefaru y pryd hyn dan ddwyfol ysbrydoliaeth.

Adn. 8. *Y prenau gan fyned a aethant i eneinio brenin arnynt*] Hon sydd ddammeg brydferth ac addas iawn, a'r hynaf ag sydd yn awr ar gael, ac wedi ei llefaru 700 mlynedd cyn amser Æsop. *A dywedasant wrth yr olewwydden*—sef wrth Gedeon. Y *prenau* yw yr Israeliaid; a'r *brenin* a eneiniasant yn y diwedd oedd Abimelec, dan y gyffelybiaeth o *fieren*, adn. 14, 15. Yr *olewwydden* oedd yr oraf o'r prenau, a'r *fieren* oedd y waelaf.

Adn. 9. *A ymadawaf fi â'm brasder*] sef olew yr olewwydden; *â'r hwn trwyof fi yr anrhydeddant Dduw a dyn*—yr oedd olew yr olewwydden yn cael ei ddefnyddio yn fynych yn ngwasanaeth Duw: yr oedd y lampau yn y cysegr yn cael eu goleuo âg ef; ac yr oedd y bwyd-offrymau a'r teisenau croyw yn cael eu cymysgu âg ef, y rhai oeddynt er anrhydedd i *Dduw:* a defnyddid ef hefyd i eneinio *dynion*

â'r hwn trwyof fi yr anrhydeddant Dduw a dyn, a myned i lywodraethu ar y prenau *ereill?*

10 A'r prenau a ddywedasant wrth y ffigysbren, Tyred di, teyrnasa arnom ni.

11 Ond y ffigysbren a ddywedodd wrthynt, A ymadawaf fi â'm melysdra, ac â'm ffrwyth da, ac a âf fi i lywodraethu ar y prenau *ereill?*

12 Yna y prenau a ddywedasant wrth y winwydden, Tyred di, teyrnasa arnom ni.

13 A'r winwydden a ddywedodd wrthynt hwy, A ymadawaf fi â'm melyswin, yr hwn sydd yn llawenhau Duw a dyn, a myned i lywodraethu ar y prenau *ereill?*

14 Yna yr holl brenau a ddywedasant wrth y fieren, Tyred di, teyrnasa arnom ni.

15 A'r fieren a ddywedodd wrth y prenau, Os mewn gwirionedd yr eneiniwch fi yn frenin arnoch, deuwch *ac* ymddiriedwch yn fy nghysgod i: ac onidê, eled tân allan o'r fieren, ac ysed gedrwydd Libanus.

16 Yn awr gan hyny, os mewn gwirionedd a phurdeb y gwnaethoch, yn gosod Abimelec yn frenin, ac os

---

yn offeiriaid a brenhinoedd, ac er llawenydd a barddwch personol: gwel ar adn. 13. *A myned i lywodraethu ar y prenau ereill*—Heb. *lanuang*, i 'ysgwyd' neu 'symud' yma a thraw; neu, i newid fy heddwch a'm hesmwythdra tawel am ofalon, trafferthion, a theithiau parhaus.

Adn. 10. *A'r prenau a ddywedasant wrth y ffigysbren*] Pren defnyddiol arall ar gyfrif ei ffrwythau danteithiol. Tybia rhai fod y ffigysbren hwn yn cyfeirio at feibion Gedeon, y rhai a gynwysid yn y gwahoddiad i'r frenhiniaeth, pen. viii. 22, 23.

Adn. 11. *A ymadawaf fi â'm melysdra, ac â'm ffrwyth da, &c.*] Y mae yn adnabyddus i bawb fod ffrwyth y ffigysbren yn un o'r cynyrchion melysaf a goraf ag sydd yn tyfu ar bren; a dywedir fod pereidd-dra ffigys llawn addfed, yn y gwledydd lle y tyfant, yn annarluniadwy. Y maent yn rhinweddol hefyd rhag rhai anhwylderau.

Adn. 12. *Yna y prenau a ddywedasant wrth y winwydden*] Pren defnyddiol a gwerthfawr arall, yr un modd a'r olewwydden a'r ffigysbren; a thybia rhai fod yma gyfeiriad at ŵyrion Gedeon, y rhai hefyd a gynwysid yn y gwahoddiad a gawsai efe i'r frenhiniaeth, pen. viii. 22.

Adn. 13. *A ymadawaf fi â'm melyswin, yr hwn sydd yn llawenhau Duw a dyn*] Yr oedd gwin yn llawenhau *Duw*, am y defnyddid ef yn y diod-offrymau, Num. xv. 7; ac yr oedd yn llawenhau *dyn*, trwy ei gryfhau a'i sirioli. Tybia Warburton ac ereill fod y gair lluosog *elohim*, yma ac yn adn. 9, yn arwyddo *duwiau* y cenhedloedd, trwy fod llawer o *olew* a *gwin* yn cael ei ddefnyddio yn yr offrymau a'r aberthiadau paganaidd, fel eu harferid gan wŷr Sichem. Modd bynag, rhaid eu bod hwy, fel Israeliaid, yn adnabyddus â'u defnyddiad hefyd yn ngwasanaeth y gwir Dduw, fel y nodwyd uchod. Tybia ereill, trwy fod y gair yn cael ei arfer weithiau am *bendefigion*, (gwel Salm lxxxii. 6, Ioan x. 34,) mai yr ystyr yma yw, fod gwin yn sirioli calon y tywysogion a'r tylodion.

Adn. 14. *Yna yr holl brenau a ddywedasant wrth y fieren*] Sef wrth *Abimelec*, yr hwn, dan y gyffelybiaeth o fieren bigog, a osodir allan nid yn unig fel un gwael a diwerth, ond hefyd fel un gormesol, creulon, a niweidiol.

Adn. 15. *A'r fieren a ddywedodd wrth y prenau*] Yn awyddus i gydsynio â'r gwahoddiad. *Os mewn gwirionedd yr eneiniwch fi yn frenin arnoch*—os ydych yn gywir a diragrith yn y cynygiad hwn; *deuwch ac ymddiriedwch yn fy nghysgod i*—efe a addawa lawer o amddiffyniad a daioni iddynt: ond och! pa gysgod a all *mieren* ei roddi i ddynion! Pa agosaf yr ânt ati, mwyaf o niwed a gânt ganddi, gan mor bigog ydyw: ac felly y teimlodd gwŷr Sichem cyn hir. *Ac onidê, eled tân allan o'r fieren*—gall mai yr ystyr yw, y byddai efe nid yn unig yn *gysgod* i'r rhai a ymddiriedent ynddo fel brenin, ond yn *ddinystr* i'w elynion a'i wrthwynebwyr, pa mor gryfion ac uchel bynag y byddont: ond gwel ar adn. 20. Trwy y ddammeg hon arwyddai Jotham i'r Sichemiaid nad oedd y gwŷr mwyaf teilwng yn Israel, y rhai a osodid allan trwy yr *olewwydden*, y *ffigysbren*, a'r *winwydden*, y rhai a ddygent y ffrwythau mwyaf defnyddiol a rhagorol, wedi ceisio bod yn frenin arnynt; a bod ei dad ef, Gedeon, wedi gwrthod hyny pan ei cynygiwyd iddo: a thrwy waith y *fieren*, y fwyaf diwerth o'r mânwydd, yn derbyn gwahoddiad y prenau i deyrnasu arnynt, ac yn galw arnynt i ymddiried yn ei chysgod, er na allai yn naturiol roddi dim cysgod nac amddiffyniad iddynt, y dengys Jotham y fath ddewisiad gwael a wnaethent hwy.

Adn. 16. *Yn awr gan hyny, &c.*] Yma, ac yn yr adnodau canlynol, y mae Jotham yn llefaru yn *eglur*, ac yn cymhwyso ei ddammeg at y Sichemiaid, gan arwyddocâu, os oeddynt hwy wedi ymddwyn yn gywir a gonest at deulu Gedeon, wrth ladd ei holl blant cyfreithlon ef, a gwneuthur mab ei ordderchwraig yn frenin arnynt, yna ei fod ef yn dymuno iddynt fod yn ddedwydd yn Abimelec fel eu brenin; ond os oeddynt wedi gwneuthur yr hyn oedd annghyfiawn a drwg, (fel yn sicr yr oeddynt,) efe a ddymunai i eiddigedd dori allan rhyngddynt, fel ag iddynt flino a dinystrio eu gilydd. Ac ni a gawn i'r dymuniad hwn gael ei ganiatâu; canys dywedir yn bendant, adn. 22, 23, ddarfod i Dduw, yn mhen tair blynedd wedi hyn, anfon ysbryd drwg rhwng Abimelec a gwŷr Sichem, a darfod i wŷr Sichem droi yn annghywir a bradychus tuag at Abimelec.

Adn. 17. *Canys fy nhad a ymladdodd drosoch chwi*] Yn nyffryn Jezreel, pen. vii. 19,

gwnaethoch yn dda â Jerubbaal, ac
â'i dŷ, ac os yn ol haeddedigaeth ei
ddwylaw y gwnaethoch iddo:
17 (Canys fy nhad a ymladdodd
drosoch chwi, ac a anturiodd ei ein-
ioes yn mhell, ac a'ch gwaredodd
chwi o law Midian:
18 A chwithau a gyfodasoch yn er-
byn tŷ fy nhad i heddyw, ac a laddas-
och ei feibion ef, sef dengwr a thri-
ugain, ar un gareg, ac a osodasoch
Abimelec, mab ei law-forwyn ef, yn
frenin ar wŷr Sichem, o herwydd *ei
fod* ef yn frawd i chwi)
19 Gan hyny, os mewn gwirionedd
a phurdeb y gwnaethoch â Jerubbaal,
ac â'i dŷ ef y dydd hwn; llawenych-
wch yn Abimelec, a llawenyched yn-
tau ynoch chwithau:
20 Ac onidê, eled tân allan o Abi-
melec, ac ysed wŷr Sichem, a thŷ
Milo; *hefyd* eled tân allan o wŷr Si-
chem, ac o dŷ Milo, ac ysed Abimelec.
21 A Jotham a giliodd, ac a ffôdd,
ac a aeth ymaith i Beer, ac a drigodd
yno, rhag ofn Abimelec ei frawd.
22 ¶ Ac Abimelec a deyrnasodd ar
Israel dair blynedd.
23 A Duw a ddanfonodd ysbryd
drwg rhwng Abimelec a gwŷr Si-
chem; a gwŷr Sichem a aethant yn
annghywir i Abimelec:
24 Fel y delai y traha *a wnelsid* â
deng mab a thriugain Jerubbaal, ac y
gosodid eu gwaed hwynt ar Abimelec
eu brawd, yr hwn a'u lladdodd hwynt;
ac ar wŷr Sichem, y rhai a'i cynorth-
wyasant ef i ladd ei frodyr.
25 A gwŷr Sichem a osodasant iddo
ef gynllwynwyr ar ben y mynydd-
oedd; a hwy a yspeiliasant bawb a'r
a oedd yn tramwy heibio iddynt ar
hyd y ffordd. A mynegwyd *hyny* i
Abimelec.
26 A Gaal mab Ebed a ddaeth, efe
a'i frodyr, ac a aethant drosodd i Si-

&c.; *ac a anturiodd ei einioes yn mhell*—i'r peryglon mwyaf; neu yn mhell dros yr Iorddonen, hyd Carcor a Nobah, pen. viii. 10, 11; *ac a'ch gwaredodd chwi o law Midian*—ar ol i'r Sichemiaid hyn a holl Israel gael eu blino a'u gorthrymu yn dost ganddynt dros saith mlynedd.

Adn. 18. *A chwithau a gyfodasoch yn erbyn tŷ fy nhad i heddyw*] Neu yn y dyddiau hyn; *ac a laddasoch ei feibion ef*—cyfrifir gweithred waedlyd Abimelec a'i wŷr anfad i'r Sichemiaid oll, am eu bod hwy yn cydsynio iddi, ac wedi rhoddi arian iddynt i'w cynorthwyo, adn. 4. *Dengwr a thriugain*—onid un; eithr enwir yr oll, fel rhif crwn; *ar un gareg*—gwel ar adn. 5; *ac a osodasoch Abimelec*—yn frenin arnoch, nid am fod ganddo hawl na chymhwysder i'r swydd, ond am fod ei fam yn berthynas i chwi, oddiwrth yr hyn y dysgwyliech fanteision.

Adn. 19. *Gan hyny os mewn gwirionedd a phurdeb y gwnaethoch â Jerubbaal*] Neu Gedeon: gwel ar adn. 16. *Llawenychwch yn Abimelec*—bydded i chwi fod yn hapus a dedwydd ynddo ef fel eich brenin; *a llawenyched yntau*—ynoch chwithau fel ei ddeiliaid ufydd a ffyddlon.

Adn. 20. *Ac onidê*] Os nad oeddynt hwy wedi gwneyd yn iawn wrth osod Abimelec yn frenin arnynt; *eled tân allan o Abimelec*—boed i lid, digter, a chynddaredd dori allan oddiwrtho fel tân gwyllt, nes ysu a dyfetha y rhai a'i gwnaethant ef yn frenin. *Hefyd eled tân allan o wŷr Sichem*—boed iddynt hwythau lidio yn danllyd yn erbyn Abimelec, a pharhau i'w ysu nes ei lwyr ddystrywio. Y mae yn debyg mai datganiad proffwydoliaethol yw hyn o'r peth a gymerai le.

Adn. 21. *A Jotham a giliodd ac a ffôdd*] Yn union ar ol traddodi ei ddammeg, a'r eglurhad cymhwysiadol o honi; *ac a aeth ymaith i Beer*—yr un a Micmas, yn llwyth Benjamin, fel y meddylir, i ba le y diangodd efe rhag ofn Abimelec.

Adn. 22. *Ac Abimelec a deyrnasodd ar Israel dair blynedd*] Hyny yw, ar holl Israel, heb i ddim neillduol gymeryd lle.

Adn. 23. *A Duw a anfonodd ysbryd drwg*] Neu a oddefodd i Satan weithio ar eu meddyliau, fel ag i greu cenfigen, drwgdybiau, a chasineb rhwng Abimelec a gwŷr Sichem. *A gwŷr Sichem a aethant yn annghywir*—Saes. 'a ymddygent yn *fradwrus* tuag at Abimelec.'

Adn. 24. *Fel y delai y traha*] Saes. 'y *creulondeb*,' sef *cosp* y creulondeb gwaedlyd a ddanghoswyd dair blynedd yn ol at feibion Gedeon, ar ben Abimelec a'i gynorthwywyr. Gall dynion wneuthur drwg, a meddwl eu bod yn eu llesâu eu hunain trwy hyny; ond bydd i farn Duw, yn fuan neu yn hwyr, oddiweddyd holl weithredwyr anwiredd.

Adn. 25. *A gwŷr Sichem a osodasant iddo ef gynllwynwyr ar ben y mynyddoedd*] I'w ddal yn fradychus, ac ond odid i'w yspeilio a'i ladd. Rhyngodd bodd i Dduw gospi y dyn drwg hwn trwy y dynion hyny a fuont yn foddion i'w ddyrchafu ef; canys y mae efe yn fynych yn peri i offerynau pechod dynion fod yn foddion i'w cospi. Er fod prif gartref Abimelec yn *Sichem*, gellir meddwl ei fod ef yn myned yn fynych i *Ophrah*, dinas ei dad, lle yr oedd iddo ond odid lawer o feddiannau ar ol ei frodyr; ac y mae yn debyg mai yn y dramwyfa rhwng y lleoedd hyn y cynllwynai ei lofruddion. *A hwy a yspeiliasant bawb*—trwy nad oedd gan ddynion felly un egwyddor foesol, hwy a yspeilient bawb a dramwyent y ffordd hòno. *A mynegwyd hyny i Abimelec*—fod ei elynion yno yn cynllwyn am ei waed.

Adn. 26. *A Gaal mab Ebed a ddaeth*] Ni wyddom pwy oedd hwn na'i frodyr, nac o ba le y daethant. Tybia rhai mai Cenedl-ddyn oedd efe, a'i fod o hiliogaeth Hemor, tywysog

chem: a gwŷr Sichem a roisant eu
hyder arno.
27 A hwy a aethant i'r maesydd, ac
a gasglasant eu gwinllanoedd, ac a
sangasant *eu grawnwin*, ac a wnaeth-
ant yn llawen, ac a aethant i mewn i
dŷ eu duw, ac a fwytasant ac a yfas-
ant, ac a felldithiasant Abimelec.
28 A Gaal mab Ebed a ddywedodd,
Pwy *yw* Abimelec, a phwy *yw* Sichem,
fel y gwasanaethem ef? onid mab Je-
rubbaal *yw efe?* onid Zebul *yw* ei
swyddog? gwasanaethwch wŷr He-
mor tad Sichem; canys paham y
gwasanaethem ni ef?
29 O na byddai y bobl hyn dan fy
llaw i, fel y bwriwn ymaith Abimelec!
Ac efe a ddywedodd wrth Abimelec,
Amlha dy lu, a thyred allan.
30 ¶ A phan glybu Zebul, llywodr-
aethwr y ddinas, eiriau Gaal mab
Ebed, y llidiodd ei ddigllonedd ef.
31 Ac efe a anfonodd genadau at
Abimelec yn ddirgel, gan ddywedyd,
Wele, Gaal mab Ebed a'i frodyr wedi
dyfod i Sichem; ac wele, hwynt yn
cadarnhau y ddinas i'th erbyn.
32 Gan hyny cyfod yn awr liw nos,
ti a'r bobl *sydd* gyda thi, a chynllwyn
yn y maes.
33 A chyfod yn fore ar godiad yr
haul, a rhuthra yn erbyn y ddinas: ac

---

Sichem yn amser Jacob, y rhai a aethant allan o Ganaan pan ddarostyngwyd hi gan Josua: ond wedi clywed am y terfysg rhwng Abimelec a gwŷr Sichem, ddarfod iddo ef a'i frodyr ddyfod dros yr Iorddonen i gymeryd y fantais a allent o'r terfysg, ac i ail feddiannu eu hen lywodraeth os oedd modd. Ystyr y gair *Ebed* yw *caethwas;* a barna rhai mai caethwas o hil y Canaaneaid oedd tad Gaal, yr hwn yn gelwyddog a fostiai ei darddiad o Hemor tad Sichem, adn. 28. *A gwŷr Sichem a roisant eu hyder arno* — ar ei addewid i'w gwaredu hwy oddiwrth lywodraeth Abimelec.

Adn. 27. *A hwy a aethant i'r maesydd*] Yr hyn o'r blaen nis meiddient ei wneuthur, rhag ofn Abimelec; *ac a gasglasant eu gwinllanoedd*—trwy ei bod yn awr yn amser eu cynauaf gwinrawn; *ac a wnaethant yn llawen*—trwy floeddio a dawnsio, fel y byddid arferol wrth sengi y gwinrawn, Esay xvi. 10, a Jer. xlviii. 33; *ac a aethant i mewn i dŷ eu duw*—sef teml Baal-berith, adn. 4, i'r hwn y priodolent ffrwythlondeb eu gwinllanoedd, gan ofyn hefyd ond odid am ei gymhorth ef yn erbyn Abimelec; *ac a fwytasant ac a yfasant*—o'r blaenffrwythau a ddygasent yno er anrhydedd i'r eilun; *ac a felldithiasant Abimelec* — yn enw eu duw, a hyny yn y deml o'r hon y rhoisent arian iddo er ei gynorthwyo i gael y frenhiniaeth. Mor anwadal a chyfnewidiol yw dyn!

Adn. 28. *A Gaal mab Ebed a ddywedodd*] Yn debygol yn nhŷ Baal-berith, lle yr oedd efe yn yfed ac yn gwneyd yn llawen gyda gwŷr Sichem. *Pwy yw Abimelec?*—pa beth yw ef ond basterdyn creulon, ac un annheilwng yn mhob ystyr o'ch llywodraethu chwi? *A phwy yw Sichem*—neu y Sichemiad hwn? *Onid mab Jerubbaal yw efe* — yr hwn a ddadleuodd yn erbyn Baal, (pen. vi. 32,) ac a fwriodd i lawr ei allor ef? Ac yn awr, a chwi yn gwasanaethu Baal, a gymerwch chwi fab ei *elyn* ef i fod yn frenin arnoch? *Onid Zebul yw ei swyddog?*—ac felly y mae genych *ddau* ddyn creulon i'ch llywodraethu a'ch gorthrymu. Tybia rhai fod Zebul yn un o'r 'oferwyr gwamal' a gyflogasai Abimelec i ladd ei frodyr, adn. 4; ac iddo gael ei ddyrchafu yn 'llywodraethwr y ddinas,' adn. 30, fel gwobr am ei ddewrder creulon. *Gwasanaethwch wŷr Hemor*—trwy osod i fyny un o hiliogaeth yr hen frenin Canaaneaidd yn ei le ef. Os oedd y Gaal hwn yn un o hiliogaeth Hemor, nid rhyfedd ei fod am ennill yr hen frenhiniaeth yn ol i'r teulu; a thybiai fod hòno yn adeg gyfleus i hyny, trwy fod gwŷr Sichem yn awr mewn cyfyngder, ac wedi sefydlu hen grefydd Hemor i fyny yn eu plith.

Adn. 29. *O na byddai y bobl hyn dan fy llaw i*] Sef dan ei lywodraeth filwrol ef; *fel y bwriwn ymaith Abimelec*—o'r frenhiniaeth. *Ac efe a ddywedodd wrth Abimelec*—sef wrth Zebul ei brif-weinidog ef, yr hwn ond odid oedd yno yn cynrychioli Abimelec; neu danfonodd genadwri a her at Abimelec. *Amlha dy lu*—mor luosog ag y gelli. Fel pe dywedasai, nid wyf am gymeryd mantais ar dy wendid, eithr ymgryfha hyd yr eithaf; *a thyred allan* — i'r maes, fel y gallwyf ddangos i ti pwy sydd addasaf i wisgo y goron.

Adn. 30. *A phan glybu Zebul*] Eiriau dirmygus Gaal am Abimelec, a'i her iddo; *llidiodd ei ddigllonedd ef* — yn erbyn Gaal, ac hefyd yn erbyn gwŷr Sichem, adn. 33.

Adn. 31. *Ac efe a anfonodd genadau at Abimelec yn ddirgel*] Yn ddiarwybod i bawb, ac heb gymeryd arno ei fod wedi llidio wrth neb, fel y mae yn amlwg oddiwrth ei rithgyfeillach ef â Gaal yn adn. 36. *Wele hwynt yn cadarnhau y ddinas i'th erbyn*—trwy adgyweirio ei hamddiffynfeydd, neu adeiladu rhai newydd, a gosod milwyr ynddynt; neu gall mai yr ystyr yw, eu bod yn *hudo* y trigolion oddiwrth eu ffyddlondeb iddo ef.

Adn. 32. *Gan hyny cyfod yn awr liw nos*] Yn union ar ol derbyn y genadwri hon; *ti a'r bobl sydd gyda thi*—sef ei warchawdlu cyffredin; neu gallai ei fod wedi darpar milwyr yn erbyn y Sichemiaid, ar ol clywed eu bod yn ei erbyn ef, adn. 25; *a chynllwyn yn y maes*—yr hwn oedd yn ymyl Sichem.

Adn. 33. *A chyfod yn fore*] Rhuthra ar y ddinas cyn iddynt gyfodi o'u gwelyau. *Ac wele, pan ddelo efe* — pan ddelo Gaal a'i wŷr i'th erbyn; *yna gwna iddo yr hyn a ellych*—arfer dy fedrusrwydd dy hun; neu bydded i ti ei ladd, neu ei gymeryd yn garcharor, fel y gweli yn oraf.

Adn. 34. *Yn bedair byddin*] Fel y gallent ymosod ar bedwar cwr y ddinas ar unwaith.

Adn. 35. *A Gaal—a safodd wrth ddrws porth y ddinas*] I edrych a oedd pob peth yn

wele, *pan* ddelo efe a'r bobl *sydd* gyd
ag ef allan i'th erbyn, yna gwna iddo
yr hyn a ellych.
34 ¶ Ac Abimelec a gyfododd, a'r
holl bobl y rhai *oedd* gydag ef, liw nos,
ac a gynllwynasant yn erbyn Sichem
yn bedair byddin.
35 A Gaal mab Ebed a aeth allan,
ac a safodd *wrth* ddrws porth y ddin-
as: ac Abimelec a gyfododd, a'r bobl
y rhai *oedd* gydag ef, o'r cynllwyn.
36 A phan welodd Gaal y bobl, efe
a ddywedodd wrth Zebul, Wele, bobl
yn dyfod i waered o ben y mynydd-
oedd. A dywedodd Zebul wrtho,
Cysgod y mynyddoedd yr ydwyt ti
yn ei weled fel dynion.
37 A Gaal a chwanegodd eto lefaru,
ac a ddywedodd, Wele, bobl yn dyfod
i waered o ganol y tir, a byddin arall
yn dyfod o ffordd gwastadedd Meon-
enim.
38 Yna dywedodd Zebul wrtho ef,
Pa le yn awr *y mae* dy enau di, *â'r*
*hwn* y dywedaist, Pwy *yw* Abimelec,
pan wasanaethem ef? onid dyma y
bobl a ddirmygaist ti? dos allan, at-
olwg, yn awr, ac ymladd i'w herbyn.
39 A Gaal a aeth allan o flaen gwŷr
Sichem, ac a ymladdodd âg Abimelec.
40 Ac Abimelec a'i herlidiodd ef,
ac efe a ffôdd o'i flaen ef; a llawer a
gwympasant yn archolledig hyd ddrws
y porth.
41 Ac Abimelec a drigodd yn Aru-
mah: a Zebul a yrodd ymaith Gaal
a'i frodyr o breswylio yn Sichem.
42 A thranoeth y daeth y bobl all-
an i'r maes: a mynegwyd *hyny* i Abi-
melec.
43 Ac efe a gymerth y bobl, ac a'u
rhanodd yn dair byddin, ac a gyn-
llwynodd yn y maes, ac a edrychodd,
ac wele y bobl wedi dyfod allan o'r
ddinas; ac efe a gyfododd yn eu her-
byn, ac a'u tarawodd hwynt.
44 Ac Abimelec a'r fyddin *oedd*
gydag ef, a ruthrasant, ac a safasant

---

ei le; canys prin y gallwn feddwl y gwyddai efe eto am gynllwyniad Abimelec.

Adn. 36. *A phan welodd Gaal y bobl*] Yn dyfod tua'r ddinas yn annysgwyliadwy; *efe a ddywedodd wrth Zebul*—yr hwn hefyd a godasai yn fore i dderbyn Abimelec a'i filwyr, am y rhai yr anfonasai efe i Arumah, adn. 31—33. *Wele bobl yn dyfod i waered o ben y mynyddoedd*—sef Ebal a Garizim ond odid, y rhai oeddynt gerllaw Sichem: felly efe a welai ddwy fyddin. *Cysgod y mynyddoedd yr ydwyt ti yn ei weled fel dynion*—canys yr oedd yr haul newydd godi, adn. 33. Dywedai Zebul hyn naill ai i wawdio Abimelec, fel pe buasai newydd godi o'i wely, ac heb agor ei lygaid yn iawn i wahaniaethu rhwng dynion a chysgod y mynyddoedd; neu yn hytrach i ddileu ei ofnau ef, fel y gallai Abimelec syrthio arno cyn y cai efe amser i ymbarotoi.

Adn. 37. *Wele bobl yn dyfod i waered o ganol y tir*] Ar hyd y dyffryn rhwng y ddau fynydd uchod: hon oedd y drydedd fyddin. *A byddin arall yn dyfod o ffordd gwastadedd Meonenim*—hon oedd y ddiweddaf o'r pedair, adn. 34. Y mae rhai yn ei gyfieithu, 'ar hyd ffordd y *derw;*' ac ereill, 'ar hyd ffordd y *dewiniaid,*' neu 'ystyrwyr amseroedd,' fel ar ymyl y ddalen. Dichon fod yno dderw yn tyfu, dan y rhai yr arferai dewiniaid a swynwyr eu campau drwg.

Adn. 38. *Pa le yn awr y mae dy enau di*] Neu dy eiriau dirmygus am Abimelec? Fel pe dywedasai, A feiddi di ddywedyd yn awr yr un modd ag y dywedaist yn dy win a'th ymffrost ddoe, pryd yr oedd Abimelec yn mhell oddiwrthyt? adn. 28. *Onid dyma y bobl a ddirmygaist ti*—fel yn ychydig a gweiniaid, pan yr heriaist Abimelec i'w hamlhau hwynt, a dyfod allan i'th gyfarfod di? adn. 29. *Dos allan, atolwg, yn awr*—gan y medrit ddefnyddio dy dafod mor hwylus, dangos y medri ddefnyddio dy gleddyf hefyd; dy fod yn gallu ymladd yn gystal ag ymffrostio.

Adn. 39. *A Gaal a aeth allan o flaen gwŷr Sichem*] Fel eu cadfridog; *ac a ymladdodd âg Abimelec*—o dan lawer o anfanteision, trwy nad oedd wedi ymbarotoi.

Adn. 40. *Ac Abimelec a'i herlidiodd ef*] Hyd borth y ddinas, i'r hon y ffoisai Zabul a'i wŷr ar ol cael eu gorchfygu gan Abimelec; *a llawer a gwympasant*—archollwyd a lladdwyd llawer o wŷr Sichem ar hyd yr holl ffordd o faes y rhyfel hyd borth y ddinas.

Adn. 41. *Ac Abimelec a drigodd yn Arumah*] Ni chanlynodd efe hwynt i Sichem y pryd hyn, eithr dychwelodd i Arumah, i ddysgwyl am gyfle arall i ddial ar y Sichemiaid, yr hyn a gafodd yn fuan iawn. Yr oedd Arumah oddeutu deg milldir i'r deau-orllewin o Sichem; ac y mae yn debyg mai yno yr arhosai ef cyn y frwydr hon, adn. 31—33. *A Zebul a yrodd ymaith Gaal a'i frodyr*—yr hyn a allai yn hawdd ei wneuthur ar ol i Gaal fethu cael llywodraeth y ddinas i'w law ei hun, ac wedi i'w bleidwyr ddechreu oeri tuag ato o herwydd iddo golli y frwydr ar ol ei fawr ymffrost.

Adn. 42. *A thranoeth y daeth y bobl allan i'r maes*] Naill ai i ddylyn eu galwedigaethau arferol, neu ynte i gladdu eu lladdedigion, neu, fel y tybia rhai, i adnewyddu y rhyfel. *A mynegwyd hyny i Abimelec*—gan ryw yspiwyr ag oedd ganddo ar y mynyddau.

Adn. 43. *Ac efe a gymerth y bobl, ac a'u rhanodd yn dair byddin*] Gan gymeryd un dan ei lywodraeth ei hun, a'r ddwy ereill dan dywysiad blaenoriaid ereill, adn. 44. Efe a'u rhanasai yn *bedair* byddin y tro o'r blaen, nid am eu bod yn lluosocach ond odid, eithr am eu bod yn gymhwysach felly i amgylchynu y ddinas pryd yr oedd y trigolion i mewn.

Adn. 44. *Ac a safasant wrth ddrws porth*

wrth ddrws porth y ddinas: a'r ddwy fyddin *ereill* a ruthrasant ar yr holl *rai oedd* yn y maes, ac a'u tarawsant hwy.

45 Ac Abimelec a ymladdodd yn erbyn y ddinas yr holl ddiwrnod hwnw: ac efe a ennillodd y ddinas, ac a laddodd y bobl *oedd* ynddi, ac a ddystrywiodd y ddinas, ac a'i hauodd â halen.

46 ¶ A phan glybu holl wŷr tŵr Sichem *hyny*, hwy a aethant i amddiffynfa tŷ duw Berith.

47 A mynegwyd i Abimelec, ymgasglu o holl wŷr tŵr Sichem.

48 Ac Abimelec a aeth i fyny i fynydd Salmon, efe a'r holl bobl *oedd* gydag ef: ac Abimelec a gymerth fwyell yn ei law, ac a dorodd gangen o'r coed, ac a'i cymerth hi, ac a'*i* gosododd ar ei ysgwydd; ac a ddywedodd wrth y bobl *oedd* gydag ef, Yr hyn a welsoch fi yn ei wneuthur, brysiwch, gwnewch fel finau.

49 A'r holl bobl a dorasant bob un ei gangen, ac a aethant ar ol Abimelec; ac a'u gosodasant wrth yr amddiffynfa, ac a losgasant â hwynt yr amddiffynfa â thân: felly holl wŷr tŵr Sichem a fuant feirw, yn nghylch mil o wŷr a gwragedd.

50 Yna Abimelec a aeth i Thebez; ac a wersyllodd yn erbyn Thebez, ac a'i hennillodd hi.

51 Ac yr oedd tŵr cadarn yn nghanol y ddinas; a'r holl wŷr a'r gwragedd, a'r holl rai o'r ddinas, a ffoisant yno, ac a gauasant arnynt, ac a ddringasant ar ben y tŵr.

52 Ac Abimelec a ddaeth at y tŵr, ac a ymladdodd yn ei erbyn; ac a nesaodd at ddrws y tŵr, i'w losgi ef â thân.

53 A rhyw wraig a daflodd ddarn o

---

*y ddinas*] I attal gwŷr Sichem rhag dianc i mewn, a thrigolion y ddinas rhag dyfod allan i'w cynorthwyo hwy.

Adn. 45. *Ac a laddodd y bobl oedd ynddi*] Nid yn unig y milwyr oddifaes, ond hefyd y trigolion oddifewn; *ac a ddystrywiodd y ddinas*—ei thai, ei muriau, a'i gerddi; *ac a'i hauodd â halen*—gan fwriadu i ddinystr y ddinas hon fod yn gofeb *barhaus* o'i orchestion ef. Nid oedd yr *halen* yn cael ei fwriadu i'w diffrwytho hi, fel y tybiodd rhai; canys pwy a feddyliai am aredig a diwyllio dinas? eithr gan fod *halen* yn arwydd o *aflygredd* a *pharhad*, diamau ei fod yn cael ei fwriadu i *fytholi* y goffadwriaeth o'r weithred hon, ac fel arwydd ei fod ef yn dymuno i'w hannghyfanedd-dra fod yn *dragwyddol*. Yr oedd *hau lle â halen* yn arferiad yn mysg amrai genhedloedd, i arwyddo *annghyfanedd-dra* a *ffieiddiad parhaus*. Pan gymerwyd dinas *Milan*, yn y flwyddyn 1162, difrodwyd ei muriau, a hauwyd hi â halen. A dywed *Brantome* ei bod yn hen arferiad yn *Ffrainc*, ar ol i ddyn gael ei brofi yn fradwr i'w frenin, i hau ei dŷ ef â halen. Parodd Siarl IX, brenin Ffrainc, y mwyaf anfad o feibion Adda, i dŷ y *Llyngesydd Coligni* (yr hwn y parodd ef a Duc Guise iddo ef a miloedd ereill o Brotestaniaid gael eu llofruddio ar ŵyl St. Bartholomew, 1572) gael ei hau â halen. Yn y flwyddyn 118, darfu i Adrian hau *Jerusalem* â halen, gan benderfynu ei gwneuthur yn gydwastad â'r llawr.

Adn. 46. *A phan glybu holl wŷr tŵr Sichem*] Y tŵr hwn oedd amddiffynfa gadarn yn perthyn i ddinas Sichem, wedi ei adeiladu ond odid ar fryn gerllaw, er amddiffyniad iddi; neu ynte dref gyfagos, yn cael ei phoblogi gan Sichemiaid. Ond tybia rhai mai yr hyn a elwir *tŷ Milo* ydoedd: gwel adn. 6, 20. *Hwy a aethant i amddiffynfa tŷ duw Berith*—gan feddwl y byddai i'w duw eu noddi hwynt yno, neu y byddai i Abimelec eu harbed hwynt o barch i'r duw hwnw, o deml pa un y cawsai efe arian i ddechreu ei anturiaeth, adn. 4.

Adn. 47. *Ymgasglu o holl wŷr tŵr Sichem*] Yn amddiffynfa tŷ duw Berith, yr hwn a raid fod yn le mawr, gan ei fod yn cynwys yn nghylch mil o wŷr a gwragedd, adn. 49.

Adn. 48. *Ac Abimelec a aeth i fyny i fynydd Salmon*] A elwid felly oddiwrth ei sefyllfa *heddychol*, trwy gysgodrwydd y coed a dyfent yno; *ac a dorodd gangen o'r coed*—fel siampl i'w filwyr oll wneyd yr un modd, fel y byddai ganddynt ddigon o danwydd i losgi yr amddiffynfa.

Adn. 49. *Felly holl wŷr tŵr Sichem a fuant feirw*] Gan 'dân a mwg,' fel y mae y *Vulgate* yn ei fynegu; *yn nghylch mil o wŷr a gwragedd*—neu, yn ol Josephus, '1,500 o wŷr, heblaw gwragedd a phlant.' Fel hyn cyflawnwyd geiriau Jotham yn llythyrenol, adn. 15, 20.

Adn. 50. *Yna Abimelec a aeth i Thebez*] Dinas tua tair milldir ar ddeg yn ogleddol o Sichem, yr hon a ennillodd efe yn rhwydd.

Adn. 51. *Ac yr oedd tŵr cadarn yn nghanol y ddinas*] Ymddengys fod tŵr Sichem allan o'r ddinas, adn. 46; ond yr oedd tŵr Thebez yn ei chanol hi. *A'r holl wŷr a'r gwragedd*—ag oeddynt heb eu lladd ar yr ymosodiad cyntaf wrth gymeryd y ddinas; *a ffoisant yno*—felly rhaid fod hwn yn le helaeth iawn; *ac a gauasant arnynt*—trwy sicrhau y pyrth â bolltau; *ac a ddringasant ar ben y tŵr*—yr hwn oedd yn lleddf neu wastad, yn ol eu harferiad o adeiladu, Deut. xxii. 8.

Adn. 52. *Ac Abimelec a ddaeth at y tŵr*] Gan flaenori ei fyddin waedlyd i losgi y tŵr, a lladd y rhai a ymnoddent ynddo.

Adn. 53. *A rhyw wraig a daflodd ddarn o faen melin*] Ymddengys eu bod wedi cymeryd gyda hwynt feini mawrion i ben y tŵr, fel y gallent eu hamddiffyn eu hunain trwy archolli a lladd eu gelynion; *ac a ddrylliodd ei benglog ef*—yma gwelwn gyfiawn ddialedd

faen melin ar ben Abimelec, ac a ddrylliodd ei benglog ef.

54 Yna efe a alwodd yn fuan ar y llanc oedd yn dwyn ei arfau ef, ac a ddywedodd wrtho, Tyn dy gleddyf, a lladd fi; fel na ddywedant am danaf, Gwraig a'i lladdodd ef. A'i lanc a'i trywanodd ef, ac efe a fu farw.

55 A phan welodd gwŷr Israel farw o Abimelec, hwy a aethant bob un i'w fangre.

56 ¶ Felly y talodd Duw ddrygioni Abimelec, yr hwn a wnelsai efe i'w dad, gan ladd ei ddeg brawd a thrigain.

57 A holl ddrygioni gwŷr Sichem a dalodd Duw ar eu pen hwynt: a melldith Jotham mab Jerubbaal a ddaeth arnynt hwy.

## PENNOD X.

AC ar ol Abimelec, y cyfododd i waredu Israel, Tola mab Puah, mab Dodo, gŵr o Issacar; ac efe oedd yn trigo yn Samir yn mynydd Ephraim.

2 Ac efe a farnodd Israel dair blynedd ar hugain, ac a fu farw, ac a gladdwyd yn Samir.

3 ¶ Ac ar ei ol ef y cyfododd Jair, Gileadiad; ac efe a farnodd Israel ddwy flynedd ar hugain.

4 Ac iddo ef yr oedd deng mab ar hugain yn marchogaeth ar ddeg ar hugain o ebolion asynod: a deg dinas ar hugain *oedd* ganddynt, y rhai a elwid Hafoth-Jair hyd y dydd hwn, y rhai *ydynt* yn ngwlad Gilead.

5 A Jair a fu farw, ac a gladdwyd yn Camon.

6 A meibion Israel a chwanegasant wneuthur yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, ac a wasanaethasant Baalim, ac Astaroth, a duwiau Syria, a duwiau Sidon, a duwiau Moab, a duwiau meibion Ammon, a duw-

---

Duw yn cyfaddasu y gosp i bechod Abimelec. Yr oedd ef wedi lladd ei frodyr ar *gareg*, adn. 5; ac y mae trwy *gareg* yn colli ei fywyd ei hun; canys ymddengys y buasai ef farw o'r archoll hwnw, pe na buasai i'w lanc ei drywanu ef.

Adn. 54. *Tyn dy gleddyf, a lladd fi*] Efe a'i cyfrifai yn warth ar ei enw a'i goffadwriaeth, i ŵr mawr fel efe gael ei ladd trwy law *gwraig*. Ond y ffordd a gymerodd efe i guddio y gwarth hwnw a fu yn foddion i'w daenu yn fwy, am nas gellid dywedyd am ei laddiad gan ei lanc, heb ddywedyd hefyd am yr achos o hyny; a chawn hyn yn cael ei adrodd yn mhen oddeutu 200 o flynyddau ar ol hyn, 2 Sam. xi. 21.

Adn. 55. *A phan welodd gwŷr Israel farw o Abimelec*] Sef y milwyr Israelaidd ag oeddynt gydag ef yn yr ymgyrch gwaedlyd hwn; *hwy a aethant bob un i'w fangre*—chwalodd y fyddin, a chafodd gwŷr Thebez lonydd.

Adn. 56. *Felly y talodd Duw ddrygioni Abimelec*] Nid damwain ydoedd hyn, ond barn gyfiawn Duw ar Abimelec am ladd ei frodyr, ac ar wŷr Sichem am ei gynorthwyo ef, adn. 3, &c.; a daeth hyn oll arnynt o fewn llai na phedair blynedd ar ol i'r trosedd gael ei gyflawni.

Adn. 57. *A melldith Jotham*] Neu ei ddatganiad proffwydoliaethol ef, a gyflawnwyd yn hollol ar Abimelec a gwŷr Sichem: gwel adn. 20.

PEN. X. Adn. 1. *Ac ar ol Abimelec*] Sef ar ol ei farwolaeth ef; *y cyfododd*—neu y cyfodwyd gan Dduw farnwr rheolaidd, *i waredu Israel*—nid trwy orchfygu eu gelynion hwy â'r cleddyf, ond trwy lywodraethu Israel yn gall a duwiol, trwy yr hyn y cadwodd efe hwynt oddiwrth derfysg, gorthrymder, ac eilunaddoliaeth. *Tola*—yr hyn a arwydda BRYF; ac fe allai iddo gymeryd yr enw hwn oddiar yr olwg ddistadl ag oedd ganddo arno ei hun. *Ac efe oedd yn trigo yn Samir yn mynydd Ephraim*—i'w gwahaniaethu oddi wrth le o'r un enw yn llwyth Juda, Jos. xv. 48. Gan mai gŵr o lwyth Issacar oedd Tola, y mae yn debyg mai symud i'r lle hwn yn Ephraim a wnaeth efe ar ol dyfod yn farnwr, fel y byddai yn fwy yn nghanol y wlad, ac yn nes i'r tabernacl yn Silo.

Adn. 2. *Ac a gladdwyd yn Samir*] Lle y buasai yn gweinyddu fel barnwr am dair blynedd ar hugain.

Adn. 3. *Ac ar ei ol ef y cyfododd Jair*] Hwn ydoedd o Gilead, tuhwnt i'r Iorddonen, ac yn perthyn i'r naill neu y llall o'r ddau lwyth a hanner, ond odid i Manasse, Num. xxxii. 40. Cyn sefydlu y frenhiniaeth yn llwyth Juda, yr oedd Duw yn anrhydeddu y llwythau yn gyffredinol, trwy godi barnwyr o honynt yn olynol. Darfu i Jair hefyd amddiffyn Israel rhag eilunaddoliaeth, a gweinyddu cyfiawnder yn eu plith, am ddwy flynedd ar hugain; yr hyn, dan Tola a Jair, a wna bump-a-deugain o flynyddoedd llonydd a llwyddiannus i Israel ar ol gorthrymder Abimelec.

Adn. 4. *Ac iddo ef yr oedd deng mab ar hugain*] Y rhai y meddylir eu bod yn farnwyr cynorthwyol dan eu tad, ac yn myned o le i le i weinyddu cyfiawnder. *Yn marchogaeth ar ddeg ar hugain o ebolion asynod*—yr oedd y gwŷr mwyaf yn arferol o farchogaeth ar asynod, a hyny nid yn unig yn Judea, ond hefyd yn Arabia, ac mewn gwledydd ereill, hyd yn nod yn mhlith y Rhufeiniaid: gwel ar pen. v. 10. *Hafoth-Jair*—neu 'bentrefi Jair.' Gelwid y rhai hyn felly oddiwrth ryw Jair arall lawer o oesau cyn yn awr, Num. xxxii. 41; ond adnewyddwyd a chadarnhawyd yr enw ar yr achlysur hwn. Yr oedd un ddinas yn etifeddiaeth i bob mab, a rhyw ddosbarth o'r wlad oddiamgylch yn perthyn i bob dinas, yn y rhai ond odid y barnai pob un. *Yn ngwlad*

iau y Philistiaid; a gwrthodasant yr
Arglwydd, ac ni wasanaethasant ef.
7 ¶ A llidiodd digllonedd yr Ar-
glwydd yn erbyn Israel; ac efe a'u
gwerthodd hwynt yn llaw y Philist-
iaid, ac yn llaw meibion Ammon.
8 A hwy a flinasant ac a ysigasant
feibion Israel y flwyddyn hòno: tair
blynedd ar bymtheg, holl feibion Is-
rael y rhai *oedd* tuhwnt i'r Iorddon-
en, yn ngwlad yr Amoriaid, yr hon
*sydd* yn Gilead.
9 A meibion Ammon a aethant trwy
yr Iorddonen, i ymladd hefyd yn er-
byn Juda, ac yn erbyn Benjamin, ac
yn erbyn tŷ Ephraim; fel y bu gyf-
yng iawn ar Israel.
10 ¶ A meibion Israel a lefasant ar
yr Arglwydd, gan ddywedyd, Pechas-
om yn dy erbyn; o herwydd gwrthod
o honom ein Duw, a gwasanaethu
Baalim hefyd.
11 A dywedodd yr Arglwydd wrth
feibion Israel, Oni *waredais chwi* rhag
yr Aifftiaid, a rhag yr Amoriaid, a
rhag meibion Ammon, a rhag y Phi-
listiaid?
12 Y Sidoniaid hefyd, a'r Amalec-
iaid, a'r Maoniaid, a'ch gorthrymas-
ant chwi; a llefasoch arnaf, a minau
a'ch gwaredais chwi o'u llaw hwynt.
13 Eto chwi a'm gwrthodasoch i,
ac a wasanaethasoch dduwiau dyeithr:
am hyny ni waredaf chwi mwyach.
14 Ewch, a llefwch at y duwiau a
ddewisasoch: gwaredant hwy chwi
yn amser eich cyfyngdra.
15 ¶ A meibion Israel a ddywedas-

---

*Gilead*—sef y rhan a berthynai i hanner llwyth Manasse.

Adn. 5. *A Jair a fu farw*] Yn mhen dwy flynedd ar hugain ar ol dechreu barnu Israel; *ac a gladdwyd yn Camon*—lle oddeutu un filldir ar bymtheg oddiwrth fôr Galilea, o du y dwyrain iddo.

Adn. 6. *A meibion Israel—a wasanaethasant Baalim ac Astaroth*] Neu 'DDUWIAU a DUWIESAU,' y rhai y cyfeirir atynt yn y geiriau nesaf. *Duwiau Syria*—sef Bel, Astarte, Dagon, Moloch, Thammuz. *Duwiau Sidon*—prif dduwiau y Sidoniaid oeddynt Baal ac Astaroth; ond y mae yn debyg fod ganddynt ychwaneg, megys Asaroth, Asarim, Asarah. *Duwiau Moab*—y penaf o ba rai oedd Cemos, 1 Bren. xi. 7. *Duwiau meibion Ammon*—y penaf o ba rai oedd Milcom, 1 Bren. xi. 5, lle y crybwyllir am Astoreth fel duwies y Sidoniaid. *A duwiau y Philistiaid*—ymddengys fod ganddynt ychwaneg na Dagon, er na chrybwyllir eu henwau yn yr ysgrythyr. *Gwrthodasant yr Arglwydd*—o'r blaen yr oeddynt yn addoli Duw a'r eilunod yn nghyd; yn awr gwrthodasant JEHOFA, a glynasant wrth yr eilunod yn unig.

Adn. 7. *A llidiodd digllonedd yr Arglwydd yn erbyn Israel*] Fel ag y rhoddodd efe hwynt yn llaw y Philistiaid a'r Ammoniaid. Yr oedd y rhai blaenaf yn preswylio o du y *gorllewin* i'r Iorddonen, a'r rhai olaf o du y *dwyrain*, fel ag yr oedd Israel yn cael eu blino o bob tu.

Adn. 8. *Y flwyddyn hòno*] Neu '*o'r* flwyddyn hòno,' sef am ddeunaw mlynedd; neu y flwyddyn hòno oedd y ddeunawfed.

Adn. 9. *A meibion Ammon a aethant trwy yr Iorddonen*] Nid oedd yn ddigon ganddynt orthrymu y ddau lwyth a hanner o du y dwyrain i'r Iorddonen, yr hyn a wnaethant am ddeunaw mlynedd; ond daethant drosodd i wlad Canaan i orthrymu y llwythau ag oeddynt yno, gan ddechreu ar y tri llwyth agosaf atynt.

Adn. 10. *A meibion Israel a lefasant ar yr Arglwydd*] Pan welsant eu bod wedi eu cau o bob tu gan eu gelynion. *Pechasom yn dy erbyn*—nid yn unig trwy wrthod gwasanaeth JEHOFA, ond hefyd trwy ddewis addoliad *Baalim*—sef yr holl dduwiau a nodwyd adn. 6.

Adn. 11. *A dywedodd yr Arglwydd*] Trwy angel, neu broffwyd wedi ei godi i'r perwyl hwn, neu ynte trwy yr Urim a'r Thummim. *Oni waredais chwi rhag yr Aifftiaid*—yn eu dygiad trwy y môr coch; *a rhag yr Amoriaid*—sef Sehon ac Og, Num. xxi. 21, &c.; *a rhag meibion Ammon*—y rhai oeddynt mewn cynghrair â'r Moabiaid, pen. iii. 12, 13; *a rhag y Philistiaid*—yn nyddiau Samgar, pen. iii. 31.

Adn. 12. *Y Sidoniaid hefyd*] Nid oes genym hanes am y Sidoniaid yn blino Israel; ond gwnaed llawer o bethau iddynt, y rhai nid oes genym hanes am danynt. Tybia rhai, trwy fod y Sidoniaid yn gymydogion lled agos i Jabin, eu bod yn ei gynorthwyo ef yn ei ymosodiad arnynt, pen. iv. *A'r Amaleciaid*—yn fuan ar ol dyfod o'r Aifft, Exod. xvii. 13; ac hefyd ar ol iddynt gyraedd i Ganaan, pen. iii. 13, a vi. 3. *A'r Maoniaid*—neu y *Midianiaid*, fel y mae gan y LXX: gwel pen. vi. 3. *A minau a'ch gwaredais chwi o'u llaw hwynt*—dywed *Jarchi* fod yma saith o waredigaethau yn cael eu henwi, ar gyfer y saith dosbarth o eilun-dduwiau a grybwyllir adn. 6; a chan iddynt hwy fyned i wasanaethu yr holl dduwiau hyny ar ol yr holl waredigaethau hyn, fod eu pechod gan hyny o'r fath waethaf.

Adn. 13. *Am hyny ni waredaf chwi mwyach*] Oddieithr i chwi edifarhau yn ddwfn a gwirioneddol; yr hyn a wnaethant, fel y cawn weled eto; a gwaredwyd hwy.

Adn. 14. *Ewch, a llefwch at y duwiau a ddewisasoch*] Dewis y duwiau hyny yn wirfoddol a wnaent yn amser eu llwyddiant, ac nid cael eu gorfodi i'w haddoli yn amser eu gorthrymder. Y mae Duw mewn ffordd o wawdiaith yn eu gyru at y duwiau hyny am waredigaeth o'u cyfyngdra, i'w hargyhoeddi o'u hynfydrwydd yn ymddiried yn y fath rai.

Adn. 15. *Gwna di i ni fel y gwelych yn dda*] Gan ein cospi trwy newyn neu haint; *eto gwared ni*—o ddwylaw ein gelynion. Fel

ant wrth yr Arglwydd, Pechasom; gwna di i ni fel y gwelych yn dda; eto gwared ni, atolwg, y dydd hwn.

16 A hwy a fwriasant ymaith y duwiau dyeithr o'u mysg, ac a wasanaethasant yr Arglwydd: a'i enaid ef a dosturiodd, o herwydd adfyd Israel.

17 Yna meibion Ammon a ymgynullasant, ac a wersyllasant yn Gilead: a meibion Israel a ymgasglasant, ac a wersyllasant yn Mispa.

18 Y bobl hefyd *a* thywysogion Gilead a ddywedasant wrth eu gilydd, Pa ŵr a ddechreu ymladd yn erbyn meibion Ammon? efe a fydd yn benaeth ar drigolion Gilead.

## PENNOD XI.

A JEPHTHA y Gileadiad oedd ŵr cadarn nerthol, ac efe *oedd* fab i wraig o buteinwraig: a Gilead a genedlasai y Jephtha hwnw.

2 A gwraig Gilead a ymddyg iddo feibion: a meibion y wraig a gynyddasant, ac a fwriasant ymaith Jephtha, ac a ddywedasant wrtho, Nid etifeddi di yn nhŷ ein tad ni; canys mab gwraig ddyeithr *ydwyt* ti.

3 Yna Jephtha a ffôdd rhag ei frodyr, ac a drigodd yn ngwlad Tob; a dynion ofer a ymgasglasant at Jephtha, ac a aethant allan gydag ef.

4 ¶ Ac wedi *talm* o ddyddiau, meibion Ammon a ryfelasant yn erbyn Israel.

5 A phan oedd meibion Ammon yn rhyfela yn erbyn Israel, yna henuriaid Gilead a aethant i gyrchu Jephtha o wlad Tob:

6 Ac a ddywedasant wrth Jephtha,

---

Dafydd wedi hyn, dewisent syrthio yn llaw yr Arglwydd, yn hytrach na chwympo yn llaw dyn, 2 Sam. xxiv. 14.

Adn. 16. *A hwy a fwriasant ymaith y duwiau dyeithr*] Fel prawf o gywirdeb eu hedifeirwch; *ac a wasanaethasant yr Arglwydd*—ac ef yn unig, a hyny trwy ufyddhau i'w orchymynion yn foesol a seremonïol. *A'i enaid ef a dosturiodd o herwydd adfyd Israel*—ar eu hedifeirwch a'u diwygiad efe a drôdd ei ddigofaint oddiwrthynt, ac a ymddygodd tuag atynt fel pe buasai yn teimlo eu dyoddefiadau. Y fath brawf a gawn yma o gariad Duw at ddyn! Yr un egwyddor a'i harweiniodd ef i anfon ei Fab yn 'iawn dros bechodau yr holl fyd.' Efe a ganfu ein hadfyd ni, a'i enaid a dosturiodd wrthym!

Adn. 17. *Yna meibion Ammon a ymgynullasant*] Ond odid gwysiwyd hwynt yn nghyd trwy sain udgyrn; canys arwydda y wreiddiol ddarfod eu '*crio* yn nghyd;' *a gwersyllasant yn Gilead*—yn y wlad o du y dwyrain i'r Iorddonen, yr hon a berthynai i'r ddau lwyth a hanner. *A meibion Israel a ymgasglasant*—i Mispa yn Gilead, i ryfela â'r Ammoniaid.

Adn. 18. *Y bobl hefyd a thywysogion Gilead*] Y rhai a berthynent i'r ddau lwyth a hanner. *Pa ŵr a ddechreu ymladd*—er fod ysbryd gwladgarwch wedi cynhyrfu Israel i ddyfod allan yn erbyn eu gelynion, eto ni feddent un cadfridog i'w harwain hwynt i ryfel. *Efe a fydd yn benaeth*—cyhoeddid hyn trwy yr holl wersyll, er annogaeth i ryw ŵr dewr ddyfod yn mlaen i'r anturiaeth.

PEN. XI. Adn. 1. *A Jephtha y Gileadiad*] Gelwid ef felly nid yn unig am mai Gilead oedd enw ei dad, ond hefyd am ei fod o wlad Gilead. *Oedd ŵr cadarn nerthol*—fel y deallid trwy ei ymosodiadau llwyddiannus ef yn erbyn yr Ammoniaid: gwel ar adn. 3. *Ac efe oedd fab i wraig o buteinwraig*—neu DAFARNWRAIG, fel y gellir cyfieithu *zonah*, ac fel y mae Targum Jonathan yn ei ddeall ef yma: gwel ar Jos. ii. 1. Y mae yn debyg mai un o'r Canaaneaid oedd y wraig hon, gan y gelwir hi yn *wraig ddyeithr*, adn. 2.

Adn. 2. *A gwraig Gilead*] Ei wraig briodol, nid ei ordderch-wraig ef, mam Jephtha; *a ymddyg iddo feibion*—yn hir ar ol geni Jephtha; *a meibion y wraig a gynyddasant*—i oedran a maintioli dynion; *ac a fwriasant ymaith Jephtha*—o dŷ ei dad, yr hwn yn debygol oedd yn awr wedi marw. *Mab gwraig ddyeithr ydwyt ti*—Heb. 'gwraig o *hil arall*:' ac ar y cyfrif hwn ei frodyr a'i gyrasant ef allan o'r teulu, gan nad allai ef gael hawl i'r etifeddiaeth, trwy nad oedd ei fam yn wraig o Israel.

Adn. 3. *Yna Jephtha a ffôdd rhag ei frodyr*] Y rhai a'i hanmharchent ac a'i bygythient ef, ac a gawsent henuriaid Gilead i'w pleidio, adn. 7. *Ac a drigodd yn ngwlad Tob*—yr hyn a arwydda *gwlad dda;* neu gall mai *Tob* oedd enw ei pherchenog neu ei llywodraethwr hi. Y mae yn debyg fod y lle hwn yn agos i Mispa, trwy fod yr Israeliaid yn gallu anfon ato mor hawdd. *A dynion ofer*—sef dynion *gwâg* o feddiannau, fel y gellir ei ddeall; neu ddynion *segur* a *drwg*, y rhai yr oedd yn well ganddynt gael eu bywioliaeth trwy yspail a thrais, na thrwy onestrwydd; *a aethant allan gydag ef*—pan wnai Jephtha ei ymosodiadau yspeilgar ar yr Ammoniaid ac ereill.

Adn. 4. *Ac wedi talm o ddyddiau*] Ar ol i Jephtha adael tŷ ei dad, a thrigo yn ngwlad Tob; neu, yn niwedd y deunaw mlynedd ag y buont yn gorthrymu Israel yn ddiwrthwynebiad. *Meibion Ammon a ryfelasant yn erbyn Israel*—wrth eu gweled hwy yn awr yn penderfynu gwneuthur gwrthsafiad.

Adn. 5. *Yna henuriaid Gilead a aethant i gyrchu Jephtha*] Yn debygol trwy gyfarwyddyd Duw, yr hwn a'i cymhwysodd ac a'i galwodd ef i fod yn farnwr. Nid danfon cenadau a wnaethant, ond myned eu hunain, er dangos mwy o anrhydedd iddo, a chan obeithio llwyddo yn well.

Adn. 6. *Bydd yn dywysog i ni*] Yn gadfridog milwraidd yn y frwydr hon.

Tyred a bydd yn dywysog i ni, fel yr
ymladdom yn erbyn meibion Ammon.
7 A Jephtha a ddywedodd wrth
henuriaid Gilead, Oni chasasoch chwi
fi, ac a'm gyrasoch o dŷ fy nhad? a
phaham y deuwch ataf fi yn awr, pan
*yw* gyfyng arnoch?
8 A henuriaid Gilead a ddywedasant
wrth Jephtha, Am hyny y dychwel-
asom yn awr atat ti, fel y delit gyda
ni, ac yr ymladdit yn erbyn meibion
Ammon, ac y byddit i ni yn ben ar
holl drigolion Gilead.
9 A Jephtha a ddywedodd wrth
henuriaid Gilead, O dygwch fi yn fy
ol i ymladd yn erbyn meibion Ammon,
a rhoddi o'r Arglwydd hwynt o'm
blaen i; a gaf fi fod yn ben arnoch
chwi?
10 A henuriaid Gilead a ddywed-
asant wrth Jephtha, Yr Arglwydd a
fyddo yn dyst rhyngom ni, oni wnawn
ni felly yn ol dy air di.
11 Yna Jephtha a aeth gyda hen-
uriaid Gilead; a'r bobl a'i gosodasant
ef yn ben ac yn dywysog arnynt: a
Jephtha a adroddodd ei holl eiriau
gerbron yr Arglwydd yn Mispa.
12 ¶ A Jephtha a anfonodd gen-
adau at frenin meibion Ammon, gan
ddywedyd, Beth *sydd* i ti *a wnelych*
â mi, fel y delit yn fy erbyn i ymladd
yn fy ngwlad i?
13 A brenin meibion Ammon a
ddywedodd wrth genadau Jephtha,
O herwydd i Israel ddwyn fy ngwlad
i pan ddaeth i fyny o'r Aifft, o Arnon
hyd Jabboc, a hyd yr Iorddonen: yn
awr gan hyny dod hwynt adref mewn
heddwch.
14 A Jephtha a anfonodd drachefn
genadau at frenin meibion Ammon;
15 Ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn
y dywed Jephtha; Ni ddyg Israel dir
Moab, na thir meibion Ammon:
16 Ond pan ddaeth Israel i fyny
o'r Aifft a rhodio trwy yr anialwch,
hyd y môr coch, a dyfod i Cades;

---

Adn. 7. *Oni chasasoch chwi fi, ac a'm gyrasoch o dŷ fy nhad?*] Gwaith ei frodyr oedd hyn; eithr efe a'i priodola yma i henuriaid Gilead, naill ai am fod rhai o'i frodyr yn mhlith yr henuriaid hyny, fel y mae yn dra thebyg oddiwrth urddas y teulu; neu ynte am fod y weithred hono wedi ei gwneuthur trwy nawdd a gorchymyn yr henuriaid, i'r rhai y perthynai penderfynu dadleuon yn nghylch meddiannau.

Adn. 8. *Am hyny y dychwelasom yn awr atat ti*] Yr ydym yn teimlo ein bod wedi gwneuthur cam â thi, ac yn ewyllysio yn awr adgyweirio ein bai, a rhoddi i ti brawf diledrith o'n gofid am hyny, ac o'n hyder yn dy gadernid a'th nerth.

Adn. 9. *O dygwch fi yn fy ol*] Hyny yw, os deuaf fi yn wirfoddol i fod yn flaenor y rhyfel hon yn erbyn yr Ammoniaid, ac os bydd i'r Arglwydd roddi i mi fuddugoliaeth arnynt; *a gaf fi fod yn ben arnoch chwi*—yn barhaus? Yr oedd ef yn chwennych hyn naill ai er lles y bobl yn gyffredinol, neu ynte er ei ddiogelu ei hun rhag ei frodyr o hyny allan, os nid oddiar awydd am hunan-ddyrchafiad.

Adn. 10. *Yr Arglwydd a fyddo yn dyst rhyngom ni*] Galwent ar yr hollwybodol Dduw i fod yn dyst o'u geiriau, ac i'w cospi yn gyfiawn oni chyflawnent eu haddewid o osod Jephtha yn ben arnynt. Felly, beth bynag a ddywedom neu a wnelom ninau, dylem gofio fod Duw yn dyst.

Adn. 11. *A'r bobl a'i gosodasant ef yn ben*] Cadarnhaodd y *bobl* yn gyffredin yr hyn a addawsai ac a dyngasai yr *henuriaid*, adn. 10. *Ac yn dywysog*—nid yn unig yn gadfridog milwraidd, eithr hefyd yn llywodraethwr a barnwr parhaus. Ond nid oedd hyn yn gorphen y gorchwyl, trwy fod yn rhaid i Dduw fod yn blaid yn yr achos; ac am hyny *Jephtha a adroddodd ei holl eiriau gerbron yr Arglwydd*—sef yr ammodau a wnaed gyda'r henuriaid a'r bobl, ar y rhai y derbyniasai efe y swyddau; ac wedi cael sicrwydd o gymeradwyaeth a boddlonrwydd Duw, efe a ymaflodd yn y gwaith yn hyderus a ffyddiog, Heb. xi. 32. Tybia rhai fod yr archoffeiriad wedi dyfod ar yr achlysur hwn i Mispa gyda'r Urim a'r Thummim.

Adn. 12. *A Jephtha a anfonodd genadau*] I attal tywallt gwaed, os oedd yn bosibl. Modd bynag, efe a ewyllysiai i'r Ammoniaid roddi eu rheswm dros wneuthur rhyfel yn erbyn Israel, fel y gallai efe gael ei ryddhau, gerbron Duw a dynion, oddiwrth holl ganlyniadau echrys rhyfel. *Beth sydd i ti a wnelych â mi* —pa reswm sydd genyt i'w roddi dros dy ymddygiad presenol; *i ymladd yn fy ngwlad i?*—efe a lefarai hyn yn enw yr holl bobl; ac yr oedd hyn oll yn ol y gyfraith, Deut. xx. 10, &c.

Adn. 13. *O herwydd i Israel ddwyn fy ngwlad i*] Nid hwy oedd piau y wlad pan y gorchfygodd yr Israeliaid hi, eithr Sehon brenin yr Amoriaid; a chyda golwg ar wlad meibion Ammon, yr oedd Duw wedi gorchymyn yn benodol i Israel beidio ymyraeth â hi, Deut. ii. 19. Y mae yn wir fod y wlad ag yr oeddynt hwy yn awr yn ei harddelwi yn perthyn gynt i'r Moabiaid; ond yr oedd Sehon wedi ei gorchfygu hi, a'u gyru hwy allan, fel y darllenwn Num. xxi. 26.

Adn. 14, 15. *A Jephtha a anfonodd drachefn*] I egluro iddo y mater uchod, ac i amddiffyn Israel rhag ei gamgyhuddiad ef. Yr oedd yn well ganddo gyrchu at reswm nag at y cleddyf, er effeithio heddwch; ac yn hyn efe a ddanghosai gallineb a duwioldeb.

Adn. 16. *A rhodio trwy yr anialwch*] Sef anialwch Paran, lle y buont yn crwydro am oddeutu 38 o flynyddau; *a dyfod i Cades*—gwel ar Num. xx. 14.

17 Yna Israel a anfonodd genadau
at frenin Edom, gan ddywedyd, Gad
i mi dramwy, atolwg, trwy dy wlad
di. Ond ni wrandawodd brenin Ed-
om. A hwy a anfonasant hefyd at
frenin Moab: ond ni fynai yntau.
¶Felly Israel a arhosodd yn Cades.
18 Yna hwy a gerddasant yn yr
anialwch, ac a amgylchynasant wlad
Edom, a gwlad Moab; ac a ddaethant
o du codiad haul i wlad Moab, ac a
wersyllasant tuhwnt i Arnon; ac ni
ddaethant o fewn terfyn Moab: canys
Arnon *oedd* derfyn Moab.
19 Ac Israel a anfonodd genadau
at Sehon brenin yr Amoriaid, brenin
Hesbon; ac Israel a ddywedodd wrtho,
Gad i ni dramwy, atolwg, trwy dy
wlad di, hyd fy mangre.
20 Ond nid ymddiriedodd Sehon i
Israel fyned trwy ei derfyn ef: eithr
Sehon a gasglodd ei holl bobl, a hwy
a wersyllasant yn Jahaz, ac efe a ym-
laddodd yn erbyn Israel.
21 Ac Arglwydd Dduw Israel a
roddodd Sehon a'i holl bobl yn llaw
Israel; a hwy a'u tarawsant hwynt.
Felly Israel a feddiannodd holl wlad
yr Amoriaid, trigolion y wlad hòno.
22 Meddiannasant hefyd holl der-
fynau yr Amoriaid, o Arnon hyd Jab-
boc, ac o'r anialwch hyd yr Iorddonen.
23 Felly yn awr, Arglwydd Dduw
Israel a fwriodd yr Amoriaid allan o
flaen ei bobl Israel: gan hyny *ai* tydi
a'i meddiannit hi?
24 Oni feddienni di yr hyn a roddo
Cemos dy dduw i ti i'w feddiannu?
Felly yr hyn oll a oresgyno yr Ar-
glwydd ein Duw o'n blaen ni a fedd-
iannwn ninau.
25 Ac yn awr, *a wyt* ti yn well na
Balac mab Sippor, brenin Moab? a
ymrysonodd efe erioed âg Israel, neu

Adn. 17. *Anfonasant hefyd at frenin Moab*] Nid oes genym hanes am hyn: eithr pan ddaeth yr Israeliaid o Esion-Gaber i anialwch Moab, cawn Dduw yn gorchymyn iddynt beidio gorthrymu y Moabiaid, na rhyfela â hwynt; yr hyn a awgryma fod rhyw achos wedi cael ei roddi iddynt wneuthur hyny.

Adn. 18. *Ac a amgylchynasant wlad Edom*] Gwel y sylwadau ar Num. xxi. 4, &c.

Adn. 19. *Ac Israel a anfonodd genadau at Sehon*] Gwel ar Num. xxi. 21. *Hyd fy mangre*—i wlad Canaan, yr hon a roddodd yr Arglwydd i mi.

Adn. 20. *Eithr Sehon — a ymladdodd yn erbyn Israel*] Nid yn unig efe a wrthododd i Israel gael myned trwy ei wlad, eithr casglodd ei holl bobl yn nghyd i'w gyru ymaith o'i gyffiniau. Felly amcan Jephtha yw dangos mai ar Sehon yr oedd y bai, ac nad oedd Israel ddim ond yn ymladd mewn hunan-amddiffyniad.

Adn. 21. *Ac Arglwydd Dduw Israel a roddodd Sehon a'i holl bobl yn llaw Israel*] Felly, gan i Sehon a'i wlad syrthio i law Israel trwy y fuddugoliaeth a roddodd yr Arglwydd iddynt, yr oedd gan feibion Israel yn awr hawl ynddi oddiwrth Dduw, adn. 23.

Adn. 22. *Meddiannasant hefyd holl derfynau yr Amoriaid*] Yn heddychol a llonydd, heb i neb amau eu hawl, am dri chan mlynedd, adn. 26. *O Arnon* — yn y deau, *hyd Jabboc*—yn y gogledd; *ac o'r anialwch*—sef anialwch Arabia yn ddwyreiniol, *hyd yr Iorddonen*—yn orllewinol.

Adn. 23. *Felly yn awr, Arglwydd Dduw Israel*] Yr hwn yw Penarglwydd a Meddiannydd pob gwlad, a roddodd i ni y wlad hon. Efe a ddywed hyn fel rheswm argyhoeddiadol a therfynol; canys heb hyny gallesid dadlu nad allent hwy ennill dim mwy o hawl yn y wlad oddiwrth Sehon, nag a feddai Sehon ei hun ynddi. *Gan hyny ai tydi a'i meddiannit hi?*—yr oedd yn afresymol meddwl fod i Israel drafferthu i'w hennill hi, a bod i Dduw ei rhoddi iddynt, yn unig i'r dyben iddynt hwy ail sefydlu yr Ammoniaid mewn meddiant o honi, â'r rhai ni feddent ddim cynghrair. Yn ol deddfau cenhedloedd a rhyfeloedd, yr oedd y wlad yn awr yn eiddo cyfiawn i Israel; a pha reswm oedd i'r Ammoniaid ddysgwyl mwyach cael ei meddiannu hi?

Adn. 24. *Oni feddienni di yr hyn a roddo Cemos dy dduw i ti i'w feddiannu?*] Nid yw efe yn addef fod Cemos yn dduw, eithr dadleua oddiar y dyb a letyent hwy a chenhedloedd ereill am eu duw, mai efe a roddodd eu buddugoliaethau iddynt. Yr oedd yr Ammoniaid a'r Moabiaid wedi cael eu gwlad trwy orchfygu y cyndrigolion, y rhai a fwriasant allan; a'u buddugoliaeth, er wedi ei rhoddi iddynt gan y gwir Dduw er mwyn Lot, (Deut. ii. 9, 19,) a briodolent hwy yn annuwiol i'w duw Cemos, rhodd pa un a ystyrient hwy yn ddigonol hawl. Y mae Jephtha gan hyny yn apelio yma atynt hwy eu hunain, ai ni chadwent yr hyn y credent fod eu duw wedi ei roddi iddynt, gan ei ystyried fel etifeddiaeth gyfiawn? *Felly yr hyn oll a oresgyno yr Arglwydd o'n blaen ni, a feddiannwn ninau* —trwy yr un hawl ag y tybient hwythau eu bod yn meddiannu y wlad yn yr hon yr oeddynt yn awr yn trigiannu. A diamau fod gan Israel gystal hawl i feddiannu y wlad a roisai Duw iddynt hwy trwy fuddugoliaeth, ag oedd gan frenin yr Ammoniaid i feddiannu yr hyn ag y tybiai yntau ddarfod i Cemos ei roddi iddo; ac y maent yn penderfynu cadw meddiant o honi.

Adn. 25. *Ac yn awr a wyt ti yn well na Balac mab Sippor, brenin Moab?*] A wyt ti yn fwy doeth a gwybodus nag ef? neu a oes genyt ti ryw hawl i'r wlad yn awr, nad oedd gan Balac o'r blaen, yn union ar ol i Israel ei hennill hi oddiar yr Amoriaid? Ni chynygiodd efe erioed ymryson âg Israel am wlad yr Amoriaid, dan yr esgus mai iddo ef y perthynai hi ar y cyntaf. Ni wnaeth ef ddim

gan ymladd a ymladdodd efe i'w herbyn hwy?
26 Pan oedd Israel yn trigo yn Hesbon a'i threfydd, ac yn Aroer a'i threfydd, ac yn yr holl ddinasoedd y rhai *sydd* wrth derfynau Arnon, dri chan mlynedd; paham nad achubasoch *hwynt* y pryd hyny?
27 Am hyny ni phechais i yn dy erbyn di; ond yr ydwyt ti yn gwneuthur cam â mi, gan ymladd yn fy erbyn i: yr Arglwydd farnwr a farno heddyw rhwng meibion Israel a meibion Ammon.
28 Er hyny ni wrandawodd brenin meibion Ammon ar eiriau Jephtha, y rhai a anfonodd efe ato.
29 ¶ Yna y daeth Ysbryd yr Arglwydd ar Jephtha; ac efe a aeth dros Gilead a Manasse; ac a aeth dros Mispa Gilead, ac o Mispa Gilead yr aeth efe drosodd *at* feibion Ammon.
30 A Jephtha a addunedodd adduned i'r Arglwydd, ac a ddywedodd, Os gan roddi y rhoddi di feibion Ammon yn fy llaw i;
31 Yna yr hwn a ddelo allan o ddrysau fy nhŷ i'm cyfarfod, pan ddychwelwyf mewn heddwch oddiwrth feibion Ammon, a fydd eiddo yr Ar-

---

ond anfon am Balaam er mwyn diogelu ei wlad ei hun: gwel ar Num. xxii. 2, &c.

Adn. 26. *Dri chan mlynedd*] Er pan enillwyd y lleoedd hyn gyntaf; neu o ddechre llywodraeth Josua, yn ol yr Iuddewon, hyd y chweched flwyddyn o lywodraeth Jephtha. *Paham nad achubasoch hwynt y pryd hyny*—yn ebrwydd ar ol eu colli, yn lle eu gadael yn dawel yn meddiant Israel am gynifer o flynyddoedd? Y mae Jephtha yma yn dadlu hen feddianiad tawel, yr hyn a ystyrir gan bawb yn rhoddi teitl cyfiawn: ac y mae yn iawn ei fod felly, er lles y byd; canys heb hyny agorid drws i ymrysonau a dadleuon diddiwedd rhwng teyrnasoedd, gwledydd, a phersonau neillduol.

Adn. 27. *Am hyny ni phechais i*] Trwy wneuthur cam â thi; *ond yr ydwyt ti yn gwneuthur cam â mi*—hyny yw, â'r ddau lwyth a hanner a gynrychiolid gan Jephtha. *Yr Arglwydd Farnwr*—sef 'Barnydd yr holl ddaear,' yr hwn a ŵyr bob peth, ac o du pwy y mae gwirionedd a chyfiawnder yn gorwedd; *a farno heddyw*—o'r dydd hwn allan, nid trwy arwydd goruwchnaturiol, eithr trwy lwyddo arfau Israel yn erbyn meibion Ammon, os hwy oedd ar yr iawn. Fel pe dywedasai, Os rhaid ymladd, rhodded yr Arglwydd y fuddugoliaeth i'r blaid gyfiawn. Nis gall fod un darlun gwell o gyfiawnder, tegwch, rhesymoldeb, ac anewyllysgarwch i neidio i drueni dybryd rhyfel, yn gysylltedig â phenderfyniad ardderchog i amddiffyn ei wlad yn ei hawliau cyfiawn, na'r un a ddengys Jephtha yn ei genadwri at yr Ammoniaid. Da fyddai i bob cenedl ddylyn ei siampl ef, a pheidio rhuthro i greulonderau a thrallodion rhyfel gyda gormod o frys; eithr yn gyntaf edrych pa beth a all tymher dda, cymedrolder, ymresymiad têg, a dymuniad i gael dim mwy na'u hawliau cyfiawn, ei wneuthur gyd a'u gelynion.

Adn. 28. *Er hyny ni wrandawodd brenin, &c.*] Nid oedd ysbryd addfwyn, cyfiawnder dynol, nac ofn Duw, yn cael un effaith ddaionus ar y brenin hwn.

Adn. 29. *Yna y daeth Ysbryd yr Arglwydd ar Jephtha*] Yr oedd y bobl wedi eu ddewis ef fel eu pen, gan addaw y cai ef fod yn dywysog neu yn llywodraethwr parhaus iddynt; ac yn awr y mae Duw yn dangos yn gyhoeddus ei gymeradwyaeth o'u dewisiad, ac yn ei osod ef yn FARNWR iddynt, fel y gwnaethai âg ereill o'r blaen, (gwel ar pen. iii. 10,) gan ei gynysgaethu â mesur annghyffredin o wroldeb a doethineb, a'r holl gymhwysderau angenrheidiol er ei wneyd yn llywodraethwr addas i'w bobl. *Ac efe a aeth dros Gilead a Manasse*—sef y gwledydd a berthynent i'r ddau lwyth a hanner, i gasglu milwyr i'r rhyfel; ac wedi iddo gael digon, efe aeth drosodd i gyffiniau yr Ammoniaid.

Adn. 30. *A Jephtha a addunedodd adduned*] Gan obeithio y byddai y gyfryw adduned grefyddol yn gymeradwy gan yr Arglwydd, ac yn foddion iddo ef gael ei fendithio â llwyddiant: gwel ar Lef. xxvii. 2, &c.

Adn. 31. *Yna yr hwn*] Neu ba beth bynag, *a ddelo allan o ddrysau fy nhŷ i'm cyfarfod*—hyny yw, a ddelo allan gyntaf; *pan ddychwelwyf mewn heddwch oddiwrth feibion Ammon*—yn iach a diogel o ran fy mherson fy hun, ac wedi gorchfygu yr Ammoniaid, ac adferu heddwch i Israel; *a fydd eiddo yr Arglwydd*—a gyflwynaf i'w wasanaeth ef; EFE ei hun os yn addas, neu ei BRIS os yn anaddas, yn ol trefniad y gyfraith, Lef. xxvii. 2, &c. *A mi a'i hoffrymaf ef yn boeth-offrwm*—hyny yw, os bydd yn ADDAS i'w boeth offrymu; canys yr oedd ganddo lawer o anifeiliaid glân oddeutu ei dŷ. Y mae yn amlwg y rhaid fod *ammod* o'r fath yma yn cael ei chynwys yn yr adduned, onidê rhaid ei bod yn adduned *pagan* neu *ynfyd-ddyn*. Pe buasai *ci*, neu ryw greadur *aflan* arall, yn cyfarfod âg ef, nis gallai efe ei boeth-offrymu; neu pe buasai *gwraig* neu *fab* neu *ferch* ei gymydog yn dychwelyd o ymweled â'i deulu ef, nid allai ei adduned roddi iddo un hawl ynddynt hwy. Heblaw hyny, yr oedd *ebyrth dynol* bob amser yn ffiaidd gan yr Arglwydd; a hyn oedd un o'r prif resymau paham yr oedd Duw yn gyru allan y Canaaneaid, sef eu bod yn '*llosgi* eu meibion a'u merched yn tân i'w duwiau,' Deut. xii. 31, gan wneuthur *poeth-offrymau* o honynt. Fod Jephtha yn awr yn ŵr gwir *dduwiol*, a ymddengys oddiwrth ei holl ymddygiad; a'i fod yn dra adnabyddus â *chyfraith Moses*, yr hon a waharddai bob aberth o'r fath, ac a benodai *pa beth* oedd i gael ei aberthu, sydd ddigon amlwg oddiwrth ei ymresymiad â brenin meibion Ammon, adn. 14—27. Heblaw hyny, yr oedd ef yn awr dan *ddylanwad* Ysbryd Duw, adn. 29; ac nis

glwydd, a mi a'i hoffrymaf ef yn boeth-offrwm.

32 ¶ Felly Jephtha a aeth drosodd at feibion Ammon i ymladd yn eu herbyn; a'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn ei law ef.

33 Ac efe a'u tarawodd hwynt o Aroer hyd oni ddelych di i Minnith, *sef* ugain dinas, a hyd wastadedd y gwinllanoedd, â lladdfa fawr iawn. Felly darostyngwyd meibion Ammon o flaen meibion Israel.

34 ¶ A Jephtha a ddaeth i Mispa i'w dŷ ei hun: ac wele, ei ferch yn dyfod allan i'w gyfarfod â thympanau, ac â dawnsiau, a hi *oedd ei* unig *etifedd* ef; nid *oedd* ganddo na mab na merch ond y hi.

35 A phan welodd efe hi, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ddywedodd, Ah! ah! fy merch, gan ddarostwng y darostyngaist fi; ti hefyd wyt *un* o'r rhai sydd yn fy molestu: canys myfi a agorais fy ngenau wrth yr Arglwydd, ac ni allaf gilio.

36 A hi a ddywedodd wrtho, Fy nhad, *od* agoraist dy enau wrth yr Arglwydd, gwna i mi yn ol yr hyn a aeth allan o'th enau; gan i'r Arglwydd wneuthur drosot ti ddialedd ar dy elynion, meibion Ammon.

37 Hi a ddywedodd *hefyd* wrth ei

---

gallai y Bôd santaidd hwnw ganiatâu iddo ef drochi ei ddwylaw yn ngwaed ei blentyn ei hun, yn enwedig dan yr esgus o offrymu aberth *boddhaol* i'r Duw hwnw, yr hwn yw Ffynnonell cariad, trugaredd, a thosturi at ei holl greaduriaid. Ond dywed Dr. Randolph ac ereill y gellir cyfieithu y wreiddiol, *A mi a offrymaf iddo Ef boeth-offrwm*—hyny yw, i'r Arglwydd. Felly ystyr yr adnod hon yw, ddarfod i Jephtha addunedu cyflwyno y peth cyntaf a ddeuai i'w gyfarfod, i fod yn eiddo i'r Arglwydd dros byth; ac yn mhellach, addunedodd offrymu iddo hefyd boeth-offrwm o'i braidd. Yr wyf yn meddwl y gellir dangos oddiwrth yr adnodau dylynol nad aberthodd Jephtha ei ferch; ac yn wir nid oedd raid iddo wneuthur hyny, trwy fod yn y gyfraith ddarpariaeth i *brynu bywyd* y rhai a addunedwyd; (gwel ar Lef. xxvii. 2—4;) a diamau y rhaid fod *bywyd* ei unig blentyn o fwy gwerth yn ei olwg na'r swm o £3 15*s*. Yn mhlith y rhai a dybiant i'r ferch hon gael ei haberthu, gellid enwi amrai o'r *Rabbiniaid*, *Josephus*, *Ambrose*, *Athanasius*, *Awstin*, *Chrysostom*, *Jerome*, *Nazianzen*, *Tertullian*, ac ereill o'r tadau, yn nghyda *Calmet*, *Henry*, *Noble*, *Poole*, *Scott*, *Sutcliffe*, *&c*. Ac yn mhlith y rhai a ddadleuant i'r gwrthwyneb y ceir *Ben Gerson*, *Ben Melech*, *Benson*, *Boothroyd*, *Clarke*, *Coke*, *Dathe*, *Drusius*, *Gray*, *Greenfield*, *Grotius*, *Hales*, *Horne*, *Houbigant*, *Locke*, *Kimchi*, *Patrick*, *Pyle*, *Ralbag*, *Randolph*, *Romaine*, *Saurin*, *Stackhouse*, *Vatablus*, *Waterland*, *Wesley*, *Williams*, *Wilson*, yn nghyda llawer ereill. Meddylir fod hanes *Agamemnon* yn offrymu *Iphigenia* wedi ei chymeryd oddiyma, gan yr arferai y Groegiaid chwedleiddio hanesion ysgrythyrol; a chasgla rhai fod hyny yn brawf o aberthiad merch Jephtha. Ond dylid sylwi na *lofruddiwyd* Iphigenia; canys dywed traddodiad ddarfod i Diana anfon ewig yn ei lle, a chymeryd y forwyn i fyw gyda hi yn y coedwigoedd.

Adn. 32. *Felly Jephtha a aeth drosodd*] Ar ol gwneyd yr adduned uchod, efe a aeth dros derfynau gwlad y ddau lwyth a hanner, i ymladd â'r Ammoniaid yn eu gwlad eu hunain; a'r Arglwydd a'i llwyddodd ef â buddugoliaeth.

Adn. 33. *Sef ugain dinas*] Rhwng Aroer a Minnith, y rhai a ddystrywiwyd ganddo. Nid ymddengys i Jephtha gynyg cymeryd meddiant o'u gwlad. Er y bydd i ymgais ereill i'n hyspeilio ni ein cyfiawnhau yn yr amddiffyniad o'n heiddo ein hunain, eto ni fydd i hyny ein hawdurdodi ni i wneyd cam â hwy.

Adn. 34. *A Jephtha a ddaeth i Mispa i'w dŷ ei hun*] I gyflawni ei adduned i'r Arglwydd; *ac wele, ei ferch yn dyfod allan i'w gyfarfod*—yn gyntaf un, yr hon o ganlyniad oedd i gael ei chysegru yn eiddo i'r Arglwydd; *â thympanau ac â dawnsiau*—yr oedd yn hen arferiad i fenywod fyned i gyfarfod â buddugoliaethwyr ar eu dychweliad adref, gydag offerynau cerdd, caniadau, a dawnsiau: gwel hanes Dafydd yn dychwelyd o ladd y Philistiaid, 1 Sam. xviii. 6. *Nid oedd ganddo na mab na merch ond hi*—ac felly rhaid ei bod yn anwyl iawn yn ei olwg, fel ei unig obaith am barhad ei enw a'i hiliogaeth.

Adn. 35. *A phan welodd efe hi, efe a rwygodd ei ddillad*] Yn arwydd o'i dristwch a'i ofid. *Ah! ah! fy merch*—ei ŵylofain wedi ei argraffu mewn geiriau. *Gan ddarostwng y darostyngaist fi*—i golli fy enw o ddiffyg hiliogaeth: canys arweiniai ei gwyryfdod parhaus i hyny, yn gystal a'i haberthiad. *Ti hefyd wyt un o'r rhai sydd yn fy molestu*—neu yn ei *flino*. Yr oedd ef o'r blaen wedi cael ei flino gan ei frodyr, ac wedi hyny gan yr Ammoniaid, ac yn awr yn fwy na'r cwbl gan ei ferch yn anfwriadol. *Agorais fy ngenau*—gwnaethym adduned i'r Arglwydd; *ac ni allaf gilio*—oddiwrth y cyflawniad o honi: ac ymddengys iddo yma egluro iddi natur ei adduned.

Adn. 36. *Fy nhad, od agoraist*] Hyny yw, gan i ti wneuthur y fath adduned i'r Arglwydd; *gwna i mi yn ol yr hyn a aeth allan o'th enau*—yr wyf yn foddlon i gydsynio â'th adduned, er i hyny fy narostwng i gyflwr o'r diraddiad mwyaf yn mhlith yr Hebreaid. *Gan i'r Arglwydd wneuthur drosot ti ddialedd ar dy elynion*—y fath oedd ei hysbryd gwladgarol hi, ei hufydd-dod i'w thad, a'i diolchgarwch i Dduw am waredu ei bobl, fel yr oedd yn foddlon i ddyoddef unrhyw beth er eu mwyn.

Adn. 37. *Paid â mi ddau fis*] Na chaua fi yn y babell dros hyny o amser, adn. 39; *fel yr elwyf i fyny ac i waered ar y mynyddoedd*—i dalu ymweliad â'i chyfeillesau, neu ynte i

thad, Gwneler i mi y peth hyn: paid â
mi ddau fis, fel yr elwyf i fyny ac i
waered ar y mynyddoedd, ac yr ŵyl-
wyf o herwydd fy morwyndod, mi a'm
cyfeillesau.
38 Ac efe a ddywedodd, Dos. Ac
efe a'i gollyngodd hi *dros* ddau fis. A
hi a aeth â'i chyfeillesau, ac a ŵylodd
o herwydd ei morwyndod ar y myn-
yddoedd.
39 Ac yn mhen y ddau fis hi a
ddychwelodd at ei thad: ac efe a
wnaeth â hi yr adduned a addun-
asai efe: a hi ni adnabuasai ŵr. A bu
*hyn* yn ddefod yn Israel,
40 Fyned o ferched Israel bob
blwyddyn i alaru am ferch Jephtha
y Gileadiad, bedwar diwrnod yn y
flwyddyn.

## PENNOD XII.

A GWYR Ephraim a ymgasglasant,
ac a aethant tua'r gogledd, ac a
ddywedasant wrth Jephtha, Paham

---

rodio mewn myfyrdodau a gweddiau er bod yn fwy parod at y gwaith cysegredig ag oedd o'i blaen trwy yr adduned. Yr oedd yn meddwl y gallai ei thad ganiatâu yr yspaid hwn, trwy nad oedd amser penodol wedi cael ei enwi yn yr adduned. *Ac yr ŵylwyf o herwydd fy morwyndod*—nid fel un wedi ymhalogi, eithr am y byddai raid iddi dreulio gweddill ei hoes yn ddiblant, yr hyn oedd yn ofid a gwarth mawr yn Israel, lle yr oedd pob benyw yn dysgwyl bod yn fam yn llinell y MESSIA. *Mi a'm cyfeillesau*—naill ai ei chydnabyddion a'i pherthynasau; neu ynte, fel y meddylia rhai, gwyryfon a gysegresid i Dduw yr un modd, ond ar achlysuron gwahanol. Y mae yn debyg mai y rhai blaenaf a feddylir, trwy eu bod mewn rhyddid, ac yn ŵylo yn achos cyflwr merch Jephtha yn unig, ac nid yn eu hachos eu hunain.

Adn. 38. *Ac efe a'i gollyngodd hi dros ddau fis*] Heb ofni y diangai hi, neu yr ymbriodai, neu yr ymhalogai. Rhaid gan hyny ei bod hi yn ferch rinweddol a duwiol iawn, onidê hawdd y gallasai attal cyflawniad adduned ei thad. *Ac a ŵylodd o herwydd ei morwyndod*—ac nid o herwydd y byddai iddi gael ei hoffrymu yn boeth-offrwm; yr hyn sydd yn brawf nad oedd ei *bywyd* hi mewn perygl: gwel ar adn. 31.

Adn. 39. *Ac efe a wnaeth â hi yr adduned*] Hyny yw, diofrydodd hi i gyflwr o weddwdod neu unigedd cysegredig fel Nazaread; neu i fod ar waith yn ngwasanaeth Duw yn y tabernacl, dan ofal yr archoffeiriad, i wneuthur ei leni a'i addurniadau, gwisgoedd yr offeiriaid, y bara dangos, y teisenau a ddefnyddid mewn offrymau, a'r cyffelyb swyddau, ac i barhau yn forwyn bur hyd ddydd ei marwolaeth. Fel hyn yr addunedwyd Samuel gan ei fam, 1 Sam. i. 11. *A hi ni adnabuasai ŵr*—Saes. 'nid *adnabu* ŵr,' eithr parhaodd yn *wyryf* holl ddyddiau ei bywyd. Y mae y geiriau hyn yn cael eu chwanegu i ddangos natur yr adduned, neu yn mha beth yr oedd yn gynwysedig. *A bu hyn yn ddefod yn Israel*—sef yr hyn a adroddir yn yr adnod nesaf.

☞ Adn. 40. *Fyned o ferched Israel bob blwyddyn i alaru am ferch Jephtha*] Nid yw y gair *lethannoth*, a gyfieithir yma yn *alaru*, yn dygwydd mewn un man arall yn yr ysgrythyr oddieithr pen. v. 11, lle y cyfieithir ef *adroddant:* 'yno yr *adroddant*,' ebai Debora, 'gyfiawnderau yr Arglwydd;' yn ddiau nid *galaru* o'u plegid. A buasai yn fwy priodol ei gyfieithu yma yn *adrodd, ymddyddan*, neu *ddyddanu*, yn hytrach na *galaru*. Y mae BUXTORF yn ei gyfieithu fel hyn ar awdurdod RABBI KIMCHI, yr hwn yr addefir ei fod y gramadegwr Hebreig goraf a fu yn mhlith yr Iuddewon erioed. Ei eiriau ef ydynt, 'I *ymddyddan* â hi, fel trwy ymadroddion cyfeillgar y gallent ei chysuro am ei morwyndod, a chyflwr unig ei bywyd.' HOUBIGANT a'i cyfieitha, 'Aent at ferch Jephtha i'w *dyddanu* bedwar diwrnod yn y flwyddyn.' Os cyfieithwn ni y gair fel hyn, y mae y mater wedi ei benderfynu; canys nid allent hwy *ymddyddan* â hi, na'i *dyddanu*, ar ol ei haberthu. Ac hyd yn nod wrth ei gyfieithu yn *alaru*, y mae eu bod yn gwneyd hyny bedair gwaith yn y flwyddyn, yn awgrymu ei bod hi yn *fyw;* canys nid oedd yr Israeliaid byth yn galaru am eu meirw ar ol i'r defodau angladdol fyned heibio. Yr oedd eu cyfraith hwy yn gwahardd pob peth o'r fath, ac yn peri iddynt ei ffieiddio, trwy osod allan y meirw fel yn aflan, a'r rhai a nesäent atynt fel yn cael eu halogi. *Bedwar diwrnod yn y flwyddyn*—un diwrnod ond odid yn mhob tymor, neu unwaith bob tri mis, tra y bu hi byw; canys y mae yn debyg, am y rhesymau a enwyd eisioes, na pharhaodd y ddefod hon yn Israel ar ol marwolaeth merch Jephtha.

ADFEDDYLIADAU.—Yn chwanegol at yr hyn a ddywedwyd eisioes am Jephtha a'i ferch, rhaid i ni beidio anghofio fod gan RAGLUNIAETH law yn hyn oll. Y mae yn dra thebyg fod Jephtha wedi gosod ei galon yn ormodol ar ei ferch, yr hon oedd ei unig blentyn ef; a gallai hyny fod yn rhwystr mawr iddo yn y cyflawniad o'i swydd bwysig fel BARNWR yn Israel; ac felly trefnodd Duw yn ddoeth i'w ferch gael ei chymeryd oddiwrtho, fel y gallai ef fod yn rhyddach i gyflawni yr hyn ag y bwriadai Duw ei wneuthur i'w bobl trwyddo ef. Ac y mae genym reswm cryf i feddwl, po buasai Jephtha mor anwybodus o gyfraith Moses ag y tybia rhai, neu mor ehud a meddwl ei fod yn rhwym o aberthu ei ferch o herwydd ei adduned, na roddasai Duw fuddugoliaeth iddo ef y pryd hyny ar yr Ammoniaid, neu ynte y trefnasai efe i ryw anifel glân ddyfod yn gyntaf i'w gyfarfod yn lle ei ferch; canys heb hyny buasai yr Israeliaid, wrth ystyried y fuddugoliaeth hynod a ennillasai Jephtha trwy ei adduned, yn casglu yn naturiol fod poeth-offrymau *dynol* yn rhyngu bodd JEHOFA, ac felly yn cael eu harwain i ymarfer â'r ffieidd-dra gwaharddedig hwn, yr hwn oedd *gas* ganddo ef, Deut. xii. 31. Gellir yn hawdd roddi rheswm am ofid Jephtha pan gyfarfu efe â'i ferch, (adn 35,) heb dybio ei fod yn pen-

yr aethost ti drosodd i ymladd yn erbyn meibion Ammon, ac na elwaist arnom ni i fyned gyda thi? dy dŷ di a losgwn ni am dy ben â thân.

2 A Jephtha a ddywedodd wrthynt hwy, Myfi a'm pobl oeddem yn ymryson yn dost yn erbyn meibion Ammon; a mi a'ch gelwais chwi, ond ni waredasoch fi o'u llaw hwynt.

3 A phan welais i nad oeddych yn fy achub, mi a osodais fy einioes yn fy llaw, ac a aethym yn erbyn meibion Ammon; a'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn fy llaw i: paham gan hyny y daethoch i fyny ataf fi y dydd hwn, i ymladd i'm herbyn?

4 Yna Jephtha a gasglodd ynghyd holl wŷr Gilead, ac a ymladdodd âg Ephraim: a gwŷr Gilead a darawsant Ephraim, am ddywedyd o honynt hwy, Ffoaduriaid Ephraim yn mysg yr Ephraimiaid, *ac* yn mysg Manasse, *ydych* chwi y Gileadiaid.

5 A'r Gileadiaid a ennillasant rydau yr Iorddonen o flaen yr Ephraimiaid: a phan ddywedai yr Ephraimiaid a ddiangasent, Gedwch i mi fyned drwyodd; yna gwŷr Gilead a ddywedent wrtho, Ai Ephratead *ydwyt* ti? Os dywedai yntau, Nage;

6 Yna y dywedent wrtho, Dywed yn awr, Shibboleth. Dywedai yntau

---

derfynu ei lladd; canys rhaid ei fod yn drallod blin iddo ef ei chyflwyno at wasanaeth y cysegr, fel nodwyd ar adn. 39, gan ei fod trwy hyny yn cael ei amddifadu o ddyddanwch ei chymdeithas, a bod pob gobaith am barhad ei deulu yn darfod dros byth. Ond wedi y cwbl gallai fod Jephtha ar y cyntaf yn bwriadu ei hoffrymu hi yn boeth-offrwm; eithr ddarfod iddo, yn ystod y ddau fis o absenoldeb ei ferch, gael gwell hysbysrwydd gyda golwg ar natur addunedau, pryd y deallodd nad allai efe yn gyfreithlon ei haberthu hi, ond y gallai ei phrynu, Lef. xxvii. 2—13.

PEN. XII. Adn. 1. *A gwŷr Ephraim a ymgasglasant*] *Vaiyitstsaek*, 'a alwasant eu gilydd dan arfau,' gan wysio eu holl lwyth a'u cyfeillion i ymarfogi, fel y gallent ddyfetha Jephtha a'r Gileadiaid, rhag iddynt gyraedd gormod o awdurdod a nerth. *Ac a aethant tua'r gogledd*—aethant yn gyntaf dros yr Iorddonen ar eu cyfer, ac yna cyfeiriasant tua Mispa yn ogleddol. *Ac a ddywedasant wrth Jephtha*—yn debyg fel y dywedasent wrth Gedeon o'r blaen: gwel pen. viii. 1, &c. *Paham yr aethost ti drosodd*—nid dros yr Iorddonen, canys yr oedd ef yno eisioes; eithr dros derfynau gwlad y ddau lwyth a hanner, pen. xi. 29. *Ac na elwaist arnom ni*—yr oedd Jacob wedi rhoi y flaenoriaeth i Ephraim, Gen. xlviii. 17—20; ac y mae yn debyg mai hyn oedd yn peri iddynt hwy fod mor eiddigus gyda golwg ar eu brawd Manasse, i ba lwyth y perthynai Gedeon a Jephtha. *Dy dŷ di a losgwn ni am dy ben â thân*—dengys hyn eu bod yn feilchion, llidiog, a chreulon i'r eithaf: yn lle ei gyfarch ef yn ddiolchgar fel gwaredydd Israel, a chydymdeimlo â'i anffawd am ei unig blentyn, bygythient losgi ei dŷ, ac yntau yn ei dŷ!

Adn. 2. *A mi a'ch gelwais chwi*] Er nad oes genym hanes am hyn, eto rhaid ei fod yn wirionedd, am nad ydynt hwy yn ceisio ei wadu. Y mae yn debyg mai pan yr oedd yn ymresymu â brenin Ammon y bu hyn, pen. xi. 12, &c. *Ond ni waredasoch fi*—ni ddaethoch allan i'm cynorthwyo yn erbyn meibion Ammon.

Adn. 3. *A phan welais i nad oeddych yn fy achub*] Nad oedd dim gobaith am eich cymhorth i'n hachub rhag dinystr oddiwrth feibion Ammon; *mi a osodais fy einioes yn fy llaw*—gosodais fy mywyd yn agored i'r perygl mwyaf. Pan y byddo i fab un o'r Hindŵaid ddychwelyd adref ar ol bod yn hir a phell oddicartref, arferant ddywedyd, 'Fy mab a ddychwelodd o wlad bell, â'i einioes yn ei law;' gan arwyddo ei fod wedi myned trwy lawer o beryglon bywyd. *Ac a aethym yn erbyn meibion Ammon*—gyda hyny o filwyr a allwn eu casglu o du y dwyrain i'r Iorddonen. *Paham gan hyny y daethoch i fyny ataf fi?*—ai fel hyn yr ydych yn diolch am fy nhiriondeb yn rhedeg i'r fath beryglon i'ch amddiffyn a'ch cadw chwi a'r eiddoch? Oni buasai i Jephtha orchfygu yr Ammoniaid, y mae yn dra thebyg yr aethent hwy dros yr Iorddonen i orthrymu y llwythau ereill yn Nghanaan, yn enwedig Ephraim, fel y tro o'r blaen, pen. x. 9. Y mae Jephtha yma yn dangos ysbryd rhagorol, yn gystal a doethineb mawr; a phe buasai yn bosibl, efe a attaliasai ryfel gartrefol.

Adn. 4. *Yna Jephtha a gasglodd ynghyd holl wŷr Gilead*] Pan welodd efe nad oedd yr atebiad uchod yn tawelu ei frodyr; *ac a ymladdodd âg Ephraim*—gan ladd llawer o honynt, a gyru y lleill ar ffo; *am ddywedyd o honynt hwy, Ffoaduriaid Ephraim, &c.*—hyny yw, rhai wedi encilio oddiwrth Ephraim a Manasse, ac ymsefydlu tuhwnt i'r Iorddonen yn mhell oddiwrth eu brodyr, ac wedi ymddyeithrio mewn serch oddiwrthynt. Trwy yr iaith drahaus hon gwarthruddent wŷr Gilead fel pe na buasent ddim ond gwehilion llwythau Ephraim a Manasse, neu ffoaduriaid oddiwrthynt hwy.

Adn. 5. *A'r Gileadiaid a ennillasent rydau yr Iorddonen o flaen yr Ephraimiaid*] Pan welodd gwŷr Ephraim eu bod yn colli y dydd, ceisiasant ffoi dros yr Iorddonen yn ol i Ganaan; ond cyrhaeddodd y Gileadiaid at y rhydau o'u blaen hwynt. *A phan ddywedai yr Ephraimiaid a ddiangasent, Gedwch i mi fyned trwyodd*—sef trwy yr Iorddonen i Ganaan. Dywedai gwŷr Ephraim o'r blaen yn ddirmygus mai 'ffoaduriaid' oedd y Gileadiaid; ond yn awr yr oeddynt hwy eu hunain yn gorfod ffoi, a chrefu am gael myned trwy yr afon i'w gwlad. *Ai Ephratead ydwyt ti?*—neu *Ephraimiad*, fel y mae yn y Saesonaeg. *Os dywedai yntau, Nage*—gan wadu ei lwyth er mwyn diogelu ei fywyd, yna profid ef fel y canlyn.

Adn. 6. *Dywed yn awr, Shibboleth*] Gan fod y gair yn arwyddo *ffrwd* neu *rediad dwfr*,

Sibboleth: canys ni fedrai efe lefaru
felly. Yna y dalient ef, ac y lladd-
ent ef wrth rydau yr Iorddonen. A
chwympodd y pryd hyny o Ephraim
ddwy fil a deugain.
7 A Jephtha a farnodd Israel chwe
blynedd. Yna y bu farw Jephtha y
Gileadiad, ac a gladdwyd yn *un* o
ddinasoedd Gilead.
8 ¶ Ac ar ei ol ef Ibsan o Bethle-
hem a farnodd Israel.
9 Ac iddo ef yr oedd deng mab ar
hugain, a deng merch ar hugain, *y
rhai* a anfonodd efe allan, a deng
merch ar hugain a ddyg efe i'w feib-
ion oddiallan. Ac efe a farnodd Is-
rael saith mlynedd.
10 Yna y bu farw Ibsan, ac a gladd-
wyd yn Bethlehem.
11 ¶ Ac ar ei ol ef Elon y Zabulon-
iad a farnodd Israel: ac efe a farn-
odd Israel ddeng mlynedd.
12 Ac Elon y Zabuloniad a fu farw,
ac a gladdwyd yn Ajalon, yn ngwlad
Zabulon.
13 ¶ Ac Abdon mab Hilel y Pira-
thoniad a farnodd Israel ar ei ol ef.
14 Ac iddo ef yr oedd deugain o
feibion, a deg ar hugain o ŵyrion, yn
marchogaeth ar ddeg a thriugain o
ebolion asynod: ac efe a farnodd Is-
rael wyth mlynedd.
15 Ac Abdon mab Hilel y Pirath-
oniad a fu farw; ac a gladdwyd yn

---

a'u bod hwythau am groesi yr *afon*, yr oedd yn air priodol i'r achlysur; ac ni roddai achos iddynt i feddwl fod dim mewn golwg amgen na cheisio ganddynt ddywedyd, 'Gadewch i mi fyned trwy y *Shibboleth*, neu yr afon.' *Dywedai yntau, Sibboleth*—os byddai yn Ephraimiad, yr hyn a arwydda *lwyth* neu *faich*, Exod. vi. 6; a baich trwm ydoedd i'r neb na fedrai gynanu neu seinio y lythyren brawf hon. Ni allai gŵr o Ephraim seinio *sh*, ond galwai hi *s*, gan ddywedyd *Sibboleth*, yn ol arferiad ei lwyth a'i wlad ei hun, heb feddwl fod dim canlyniad drwg i hyny. Er mai yr Hebraeg oedd iaith yr Ephraimiaid a'r Gileadiaid, eto yr oedd arferiad gwlad wedi peri cryn wahaniaeth yn seiniad rhai o'r llythyrenau, yn debyg i'r gwahaniaeth a geir yn llefariad gwŷr y deheubarth a'r gogledd yn ein gwlad ein hunain. *A chwympodd y pryd hyny o Ephraim ddwy fil a deugain*—rhwng y rhai a laddwyd yn y rhyfel ac wrth yr Iorddonen. Gwelwn yma gyfiawn farn Duw! Yr oeddynt newydd ymffrostio mai hwynt-hwy oeddynt y gwir Ephraimiaid, adn. 4; ond mor ebrwydd yr ofnasant arddel eu gwlad! Yr oeddynt wedi galw y Gileadiaid yn *ffoaduriaid;* ac yn awr daethant mewn gwirionedd yn ffoaduriaid eu hunain!

Adn. 7. *A Jephtha a farnodd Israel chwe blynedd*] Nid oedd efe ar y cyntaf ddim ond tywysog ar y ddau lwyth a hanner o du y dwyrain i'r Iorddonen; ond wedi iddo ddarostwng yr Ephraimiaid, meddylir iddo gael ei gydnabod yn farnwr cyffredin ar holl Israel. *Ac a gladdwyd yn un o ddinasoedd Gilead*—ond odid yn Mispa ei ddinas ei hun, pen. xi. 34.

Adn. 8. *Ac ar ei ol ef Ibsan o Bethlehem*] Yr oedd dwy ddinas o'r enw hwn, un yn llwyth Zabulon, Jos. xix. 15, a'r llall yn llwyth Juda, lle y ganed Dafydd a Christ; ond nid yw yn sicr yn mha un o honynt yr oedd Ibsan yn byw: gwel ar adn. 11.

Adn. 9. *Ac iddo ef yr oedd deng mab ar hugain, &c.*] Triugain o blant yn y cwbl. Y fath wahaniaeth oedd rhwng ei deulu ef ac eiddo ei ragflaenydd! Nid oedd gan Jephtha ddim ond un ferch, a bu hòno farw heb briodi; yr oedd gan Ibsan driugain o blant, ac oll wedi priodi. *Y rhai a anfonodd efe allan*—sef y merched. Y pryd hyny arferai meibion pendefigion gymeryd eu gwragedd atynt i breswylio yn nhŷ eu tad; ond pan briodid y merched, aent allan o dŷ eu tad i gyfaneddu gyda'u gwŷr.

Adn. 10. *Yna y bu farw Ibsan*] Ar ol barnu Israel saith mlynedd. Dywed rhai i ryfel *Caerdroia* ddechreu yn amser Jephtha, a diweddu yn amser Ibsan.

Adn. 11. *Ac ar ei ol ef Elon*] Yr hwn a fu yn barnu Israel ddeng mlynedd. Trwy fod hwn yn cael ei alw yn *Zabuloniad*, ai nid ellir meddwl mai yn llwyth *Juda* y cartrefai Ibsan? gwel ar adn. 8.

Adn. 12. *Ac a gladdwyd yn Ajalon*] Nid Ajalon yn llwyth Dan, Jos. xix. 42, eithr lle arall yn ngwlad Zabulon.

Adn. 13. *Abdon*] Gelwir ef y *Pirathoniad*, oddiwrth *Pirathon*, lle y ganed ef, a lle hefyd y claddwyd ef, adn. 15, ar ol bod yn barnu Israel wyth mlynedd.

Adn. 14. *Ac iddo ef yr oedd deugain o feibion, a deg-ar-hugain o ŵyrion*] Oll yn fyw ar unwaith, fel y gellir casglu oddiwrth eu bod yn marchogaeth ar 70 o ebolion asynod: gwel ar pen. v. 10, a x. 4. Yr oedd y rhai hyn oll ond odid yn byw gydag Abdon, fel y sylwyd ar adn. 9; ac y mae yn debyg fod rhai o honynt yn cynorthwyo yr hen ŵr yn ei swydd fel barnwr.

Adn. 15. *Yn mynydd yr Amaleciaid*] Rhyw fynydd penodol yn ngwlad Ephraim, a elwid felly oddiwrth ryw fuddugoliaeth a enillwyd ond odid ar yr Amaleciaid. Nid ymddengys i ddim neillduol gymeryd lle yn nghyflwr gwladol yr Israeliaid yn ystod amserau y barnwyr diweddaf hyn: ni ddywedir dim chwaith am eu gweinyddiaeth hwy, nac am sefyllfa crefydd. Y mae yn debyg fod Israel yn mwynhau heddwch oddifaes, yn enwedig lle yr oedd y barnwyr hyn; a bod eu barnwyr yn alluog i attal terfysg a chythrwfl oddifewn. Tybia rhai fod y pedwar barnwr diweddaf hyn yn llywodraethu yn mharthau dwyreiniol a gogleddol y wlad, tra yr oedd Samson ac Eli yn cydoesi â hwynt, ac yn barnu yn rhanau deheuol a gorllewinol y wlad; am yr ymestynai yr *amseryddiaeth* yn rhy faith, pe tybid fod yr holl farnwyr yn codi y naill ar ol y llall.

Pirathon, yn ngwlad Ephraim, yn mynydd yr Amaleciaid.

## PENNOD XIII.

A MEIBION Israel a chwanegasant wneuthur yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: a'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn llaw y Philistiaid ddeugain mlynedd.

2 ¶ Ac yr oedd rhyw ŵr yn Zorah, o dylwyth y Daniaid, a'i enw ef *oedd* Manoa, a'i wraig ef *oedd* anmhlantadwy, heb esgor.

3 Ac angel yr Arglwydd a ymddangosodd i'r wraig, ac a ddywedodd wrthi, Wele, yn awr anmhlantadwy *ydwyt* ti, ac heb esgor: ond ti a feichiogi, ac a esgori ar fab.

4 Ac yn awr, atolwg, ymochel, ac nac ŷf win na diod gadarn, ac na fwyta ddim aflan.

5 Canys wele, ti a feichiogi, ac a esgori ar fab; ac ni ddaw ellyn ar ei ben ef: canys Nazaread i Dduw fydd y bachgen o'r groth: ac efe a ddechreu waredu Israel o law y Philistiaid.

6 ¶ Yna y daeth y wraig ac a fynegodd i'w gŵr, gan ddywedyd, Gŵr Duw a ddaeth ataf fi; a'i bryd ef *oedd* fel pryd angel Duw, yn ofnadwy iawn: ond ni ofynais iddo o ba le yr oedd, ac ni fynegodd yntau i mi ei enw.

7 Ond efe a ddywedodd wrthyf, Wele, ti a feichiogi, ac a esgori ar fab. Ac yn awr nac ŷf win na diod gadarn, ac na fwyta ddim aflan: canys Nazaread i Dduw fydd y bachgen, o'r groth hyd ddydd ei farwolaeth.

---

PEN. XIII. Adn. 1. *A meibion Israel a chwanegasant wneuthur yr hyn oedd ddrwg*] Trwy syrthio ond odid i eilunaddoliaeth; nid ar ol marwolaeth Abdon, fel y tybia rhai, ond yn nyddiau y barnwyr blaenorol. *A'r Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn llaw y Philistiaid*—nid oedd y rhai hyn yn bobl luosog; nid oedd ganddynt ond pum dinas o ddim enwogrwydd: ac eto, pan ddefnyddiai Duw hwynt fel gwialen yn ei law, yr oeddynt yn gorthrymu ac yn blino Israel yn dost. *Ddeugain mlynedd*—dyma y gorthrymder meithaf a ddyoddefodd yr Israeliaid: ond tybia Syr John Marshman ac ereill nad yw yn wahanol i'r un a grybwyllwyd pen. x. 7, 8; ond fod y Philistiaid yn blino Israel yn y gorllewin, tra yr oedd yr Ammoniaid yn eu trallodi hwynt yn y dwyrain; ac er i'w triniaeth galed gan y Philistiaid barhau yn hwy, eto ddarfod iddi ddechreu yr un pryd a'r llall, yr hyn a wnai eu cyfyngder yn drymach. Barna ereill na ddechreuodd hyd ar ol marwolaeth Jephtha; ac mai y lladdfa fawr a wnaed ganddo ef yn mhlith yr Ephraimiaid a gynhyrfodd y Philistiaid i godi yn erbyn Israel, trwy fod un o wrthgloddiau penaf Israel wedi ei wanhau gymaint. Fel y dywedwyd o'r blaen, y mae amseryddiaeth y llyfr hwn yn dra ansicr.

Adn. 2. *Ac yr oedd rhyw ŵr yn Zorah*] Dinas yn llwyth Dan, ar y terfyn rhwng Dan a Juda; *a'i enw ef oedd Manoa*—dywed Josephus ei fod yn ŵr mawr ac enwog. *A'i wraig ef oedd anmhlantadwy, heb esgor*—ailadroddiad o'r un peth mewn geiriau ereill, yr hyn a ystyrir gan rai yn dlysni ymadrodd.

Adn. 3. *Angel yr Arglwydd*] Sef mab Duw, yr Ail Berson yn y Drindod; yr hwn a elwir gan wraig Manoa yn Dduw, adn. 22; a chan Manoa ei hun yn Jehofa, adn. 23. Efe a ymddanghosodd lawer gwaith ar *wedd* dyn, cyn ei ddyfod yn *wir* ddyn: gwel yr adfeddyliadau ar Gen. xvi. *Ond ti a feichiogi*—er ei bod yn anmhlantadwy; yr hyn a ofynai allu *dwyfol* i'w ddwyn i ben. *Ac a esgori ar fab*—ni allai neb ddywedyd mai ar *fab* yr esgorai, ond yr Hollwybodol.

Adn. 4. *Ac yn awr, atolwg, ymochel, &c.*] Gan fod Samson yn cael ei fwriadu i fod yn *Nazaread o'r groth*, a bod y plentyn yn y groth a'i fam yn cael eu maethu â'r un pethau, yr oedd yn angenrheidiol iddi hithau fyw bywyd Nazaread tra yr oedd yn ymddwyn ac yn maethu ei mab, gan ymochel rhag gwin, diod gadarn, &c. Gwel hanes cyfraith y Nazaread yn y sylwadau ar Num. vi. 2, &c. *Na fwyta ddim aflan*—megys gwinrawn irion neu sychion, neu fwydydd wedi eu gwneuthur â gwin, &c. Ni chaent fwyta ffrwyth y winwydden, mwy na'i yfed. Nid cyfeirio y mae at y bwydydd gwaharddedig yn Lef. xi., am fod y rhai hyny yn waharddedig i'r genedl oll yn gystal ag i'r Nazareaid.

Adn. 5. *Ac ni ddaw ellyn ar ei ben*] I dori neu gneifio ei wallt: gwel ar Num. vi. 5. *Canys Nazaread*—wedi ei gyflwyno i wasanaeth Duw mewn modd neillduol. *Efe a ddechreu waredu Israel*—ni orphenodd Samson waredu Israel oddiwrth iau y Philistiaid; ond yr oedd y gwaith yn cael ei ddwyn yn mlaen a'i berffeithio gan ereill, megys Eli, Samuel, a Saul, ac yn enwedig Dafydd. Fel hyn y mae Duw yn fynych yn ewyllysio cario ei waith yn mlaen yn raddol, a thrwy wahanol ddwylaw. Y mae un yn gosod i lawr sylfaen rhyw waith da, arall yn adeiladu, a'r trydydd fe allai yn dwyn allan y maen uwchaf.

Adn. 6. *Gŵr Duw a ddaeth ataf fi*] Yr hwn a gymerai hi fel proffwyd wedi ei anfon gyda chenadwri ati oddiwrth Dduw. *A'i bryd ef oedd fel pryd angel Duw*—er nad oedd gwraig Manoa erioed wedi gweled angel, eto da y gallai ddywedyd fel hyn, trwy ei bod yn dyb gyffredin gan bawb fod bodau nefol yn fwy rhagorol yn eu natur na dynolryw, ac o ymddanghosiad mwy ardderchog a gogoneddus. *Yn ofnadwy iawn*—nid yn ddychrynllyd, ond yn edrych yn barchus a mawreddus hynod. *Ond ni ofynais iddo o ba le yr oedd*—yr oedd hi wedi synu i'r fath raddau gan ardderchogrwydd ei wedd, fel nas gallai ofyn hyn iddo; *ac ni fynegodd yntau i mi ei enw*—heb i mi ofyn, na chwaith ei wlad.

Adn. 7. *Wele, ti a feichiogi*] Ni ddywed iddo grybwyll ei bod yn *anmhlantadwy*, am

8 ¶ Yna Manoa a weddiodd ar yr
Arglwydd, ac a ddywedodd, Atolwg,
fy arglwydd, gad i ŵr Duw yr hwn a
anfonaist, ddyfod eilwaith atom ni, a
dysgu i ni beth a wnelom i'r bachgen
a enir.
9 A Duw a wrandawodd ar lef Ma-
noa: ac angel Duw a ddaeth eilwaith
at y wraig, a hi yn eistedd yn y maes;
ond Manoa ei gŵr nid *oedd* gyda hi.
10 A'r wraig a frysiodd, ac a red-
odd, ac a fynegodd i'w gŵr, ac a ddy-
wedodd wrtho, Wele, ymddanghos-
odd y gŵr i mi, yr hwn a ddaeth ataf
fi y dydd *arall.*
11 A Manoa a gyfododd, ac a aeth
ar ol ei wraig, ac a ddaeth at y gŵr,
ac a ddywedodd wrtho, Ai ti *yw* y
gŵr a leferaist wrth y wraig? Dywed-
odd yntau, *Ie*, myfi.
12 A dywedodd Manoa, Deled yn
awr dy eiriau i ben. Pa fodd y triniwn
y bachgen, ac y gwnawn iddo ef?
13 Ac angel yr Arglwydd a ddy-
wedodd wrth Manoa, Rhag yr hyn
oll a ddywedais wrth y wraig, ymo-
cheled hi.
14 Na fwytäed o ddim a ddel allan
o'r winwydden, nac yfed win na diod
gadarn, ac na fwytäed ddim aflan:
cadwed yr hyn oll a orchymynais iddi.
15 ¶ A dywedodd Manoa wrth ang-
el yr Arglwydd, Gad, atolwg, i ni dy
attal, tra y parotôm fyn gafr ger dy
fron di.
16 Ac angel yr Arglwydd a ddy-
wedodd wrth Manoa, Ped attelit fi,
ni fwytawn o'th fara di: os gwnei
boeth-offrwm, gwna ef i'r Arglwydd.
Canys ni wyddai Manoa mai angel
yr Arglwydd *oedd* efe.
17 A Manoa a ddywedodd wrth

---

fod hyny yn warth a gofid iddi. *Hyd ddydd ei farwolaeth*—ni cheir y geiriau hyn yn adn. 5; ond diamau eu bod yn ddealledig yno, os nad adroddwyd hwynt.

Adn. 8. *Yna Manoa a weddiodd ar yr Arglwydd, &c.*] Efe a gredodd y genadwri, gan edrych ar yr addewid fel un a gyflawnid yn sicr; ac efe a ewyllysiai i ŵr Duw ymddangos iddynt eilwaith, i ddysgu iddynt pa fodd i ymddwyn at y plentyn pan enid ef; a Duw yn rasol a ganiataodd ei gais.

Adn. 9. *A hi yn eistedd yn y maes*] Ond odid yn yr un fan ag y canfu hi ef o'r blaen; ac y mae yn debyg ddarfod iddi fyned yno mewn dysgwyliad am gael ei weled ef mewn atebiad i weddiau ei gŵr.

Adn. 10. *A'r wraig a frysiodd*] I gyrchu ei gŵr, ar ol cael sicrwydd ond odid gan yr angel y byddai iddo aros yno am dano. *Yr hwn a ddaeth ataf fi y dydd arall*—trwy nad yw y gair *arall* yn yr Hebraeg, tybia rhai mai yr un dydd yr ymddanghosodd efe y ddau dro; y tro cyntaf yn y bore, a'r ail dro yn y prydnawn.

Adn. 11. *A Manoa a gyfododd, ac a aeth ar ol ei wraig*] Ymddengys ddarfod iddi hi frysio yn ei hol ar ol mynegu i'w gŵr am ail ymddanghosiad yr angel, rhag ei gadw ef i aros yn rhy hir; ac ar ol i Manoa ei dylyn, efe a gafodd sicrwydd ganddo mai efe oedd y person a addawsai fab i'w wraig ef.

Adn. 12. *Deled yn awr dy eiriau i ben*] Yr hyn sydd nid yn unig yn ddymuniad am iddynt gael eu cyflawni, ond hefyd yn weddi am iddynt ddyfod i ben, ac yn grediniaeth y deuent. *Pa fodd y triniwn y bachgen?*—pa reolau a gymerwn i'w ddwyn ef i fyny? *Ac y gwnawn iddo ef?*—pa addysg a roddwn iddo, fel ag i'w gymhwyso i fod yn waredwr i Israel? Neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, *pa beth a wna efe?*—hyny yw, beth a fydd y bachgen hwn, neu pa beth rhyfedd a wna efe yn ei oes, gan ei fod i gael ei eni mewn modd mor hynod, ac i fod yn Nazaread dros ei fywyd?

Adn. 13 *Rhag yr hyn oll a ddywedais wrth y wraig, ymocheled hi*] Tra y byddo y plentyn yn ei chroth, a thra y rhoddo hi sugn iddo, adn. 4, 5.

Adn. 14. *Na fwytäed o ddim a ddel allan o'r winwydden*] Gwaharddesid hyn i'r wraig o'r blaen, adn. 4; ac yma rhoddir y gŵr ar ei wyliadwriaeth rhag iddi droseddu. Nid yw yr angel yn rhoddi un atebiad i ofyniad Manoa gyda golwg ar addysg y plentyn, a'i ddygiad i fyny, rhag iddynt bryderu gormod yn ei gylch; ond y mae am iddynt ei adael i ofal Rhagluniaeth, yr hon a agorai y ffordd o'i flaen. *Na fwytäed ddim aflan*—hyny yw, na fwytäed y *fam* ddim aflan. Na throsedded reolau Nazareaeth nac Iuddewiaeth.

Adn. 15. *Gad, atolwg, i ni dy attal*] Gad i ni dy berswadio i aros gyda ni ychydig yn hwy; canys yr oedd yn ymbarotoi i ymadael. *Tra y parotôm fyn gafr ger dy fron di*—yn ymborth i'th gynal ar dy daith. Ond dichon ddarfod i Manoa arferyd y mwys-ymadrodd '*ger dy fron,*' am na wyddai efe pa un ai yn *fwyd* ynte yn *aberth* yr oedd efe i barotoi y myn gafr, trwy ei fod yn petruso pa un ai dyn ynte Person Dwyfol oedd yr ymwelydd hynod hwn.

Adn. 16. *Ped attelit ti*] Hyny yw, pe bawn yn aros; *ni fwytawn o'th fara di*—neu o'th FWYD, yr hyn yw ystyr y gair *bara* yn fynych yn yr ysgrythyr. *Os gwnei boeth-offrwm*—fel pe dywedasai, Os parotôi dy fyn gafr yn *fwyd*, ni fwytâf o hono, am mai bôd ysbrydol ydwyf; ac os parotôi ef yn *boeth-offrwm*, bydd yn ofalus rhag i ti ei offrymu ef i ddyn, neu i angel crëedig, ond i JEHOFA yn unig. Nid yw efe yma yn ei wrthod iddo ei hun; eithr myn i Manoa fod yn sicr yn ei feddwl gyda golwg ar ei ymwelydd, cyn ei offrymu iddo ef yn bersonol. Y mae Angel mawr y cyfammod yn gwrthod y poeth-offrwm yma iddo ei hun, ar yr un tir ag y gwrthododd efe wedi hyn ei alw yn *dda*, (Mat. xix. 17,) am ei fod mewn 'agwedd gwas;' canys pe buasai yn derbyn yr offrwm hwn iddo ei hun cyn egluro i Manoa ei fod yn Berson Dwyfol, gallasai ei

angel yr Arglwydd, Beth *yw* dy enw,
fel y'th anrhydeddom di pan ddelo dy
eiriau *i ben?*
18 Ac angel yr Arglwydd a ddywedodd wrtho, Paham yr ymofyni am
fy enw, gan ei *fod* yn rhyfeddol?
19 Felly Manoa a gymerth fŷn gafr,
a bwyd-offrwm, ac a'*i* hoffrymodd ar
y graig i'r Arglwydd. ¶ A'r *angel* a
wnaeth yn rhyfedd; a Manoa a'i
wraig oedd yn edrych.
20 Canys, pan ddyrchafodd y fflam
oddiar yr allor tua'r nefoedd, yna
angel yr Arglwydd a ddyrchafodd yn
fflam yr allor: a Manoa a'i wraig
oedd yn edrych ar *hyny;* ac a syrthiasant i lawr ar eu hwynebau.
21 (Ond ni chwanegodd angel yr
Arglwydd ymddangos mwyach i Manoa, nac i'w wraig) Yna y gwybu
Manoa mai angel yr Arglwydd *oedd*
efe.
22 A Manoa a ddywedodd wrth ei
wraig, Gan farw y byddwn feirw;
canys gwelsom Dduw.
23 Ond ei wraig a ddywedodd wrtho
ef, Pe mynasai yr Arglwydd ein lladd
ni, ni dderbyniasai efe boeth-offrwm
a bwyd-offrwm o'n llaw ni, ac ni
ddangosasai efe i ni yr holl *bethau*
hyn, ac ni pharasai efe i ni y pryd
hyn glywed *y fath bethau.*
24 ¶ A'r wraig a ymddyg fab, ac a
alwodd ei enw ef Samson. A'r bach-

---

arwain ef i feddwl fod ereill heblaw JEHOFA yn wrthddrychau addoliad dwyfol. *Canys ni wyddai Manoa*—nid oedd ef yn sicr yn ei feddwl eto pa un ai dyn, ai angel, ai ynte un mwy, oedd yr ymwelydd hwn. Crybwyllir hyn fel rheswm dros y mwys-eiriad a arferodd efe yn adn. 15.

Adn. 17. *A Manoa a ddywedodd*] Wedi i'r ymwelydd hynod wrthod offrwm yn gystal a bwyd; *Beth yw dy enw*—neu dy natur? *Fel y'th anrhydeddom di pan ddelo dy eiriau i ben*—fel y gallom anfon anrhegion i ti os *dyn* ydwyt, a chrybwyll yn barchus am dy dirionddeb os *angel* ydwyt, a'th addoli os BÔD DWYFOL wyt ti.

Adn. 18. *Paham yr ymofyni am fy enw*] Am fy natur a'm bodaeth, *gan ei fod yn rhyfeddol?*—y mae efe yma yn hysbysu ar unwaith pwy ydoedd, trwy wisgo yr un enw ag a roddir yn Esay ix. 6 i dragwyddol Fab Duw, yr hwn a elwir yno yn *Rhyfeddol,* yn gystal ag yn 'Gynghorwr, y Duw cadarn, Tad tragwyddoldeb, Tywysog tangnefedd.'

Adn. 19. *Felly Manoa a gymerth fŷn gafr*] Yr hwn a fwriadai efe yn adn. 15; *ac a'i hoffrymodd ar y graig i'r Arglwydd*—yn boethoffrwm, yn nghyda'r bwyd-offrwm priodol hefyd yn ol y gyfraith, Lef. ii. 1, &c. Yr oedd presenoldeb a gorchymyn yr angel yn ddigon o awdurdod iddo ef wneuthur hyny, er nad oedd yn offeiriad, ac mewn lle gwaharddedig pe amgen. Ond tybia *Vitringa* mai yr angel a gyflawnai brif waith yr offeiriad, yr hyn oedd llosgi y poeth-offrwm; ac mai y cwbl a wnaeth Manoa oedd ufyddhau i'r angel, megys yr ufyddhaodd yr Israeliaid i Elias wedi hyn, 1 Bren. xviii. 34. *A'r angel a wnaeth yn rhyfedd*—efe a ymddygodd yn unol â'i enw, adn. 18, trwy ddwyn tân allan o'r graig, fel yn achos Gedeon, pen. vi. 21, i ysu y poethoffrwm, ac wedi hyny esgyn yn nghanol y fflam, gan ddangos trwy hyny fod ei natur a'i sylwedd yn ysbrydol.

Adn. 20. *Canys pan ddyrchafodd y fflam oddiar yr allor*] Sef oddiar y rhan hòno o'r graig a wasanaethai fel allor, ar ba un y gosodwyd yr aberth. *Manoa a'i wraig—a syrthiasant i lawr ar eu hwynebau*—gwnaethant hyn, mewn rhan, o barch i'r fath berson gogoneddus; ac, mewn rhan, rhag ofn cael eu lladd, ac mewn ffordd o ymbil â Duw am eu bywyd.

Adn. 21. *Ond ni chwanegodd angel yr Arglwydd ymddangos*] Trwy ei fod eisioes wedi rhoddi digon o gyfarwyddyd iddynt yn nghylch y bachgen. *Yna y gwybu Manoa mai angel yr Arglwydd*—nid angel crëedig, ond Angel mawr y cyfammod, yr hwn a eilw efe yn DDUW, adn 22, a'i wraig yn JEHOFA, adn. 23. Efe a wybu hyn oddiwrth ei weithredoedd rhyfeddol, adn. 19.

Adn. 22. *Gan farw y byddwn feirw*] Hyny yw, byddwn farw yn sicr; *canys gwelsom Dduw*—yr oedd yn dyb gyffredin, os gwelai neb DDUW, y byddai hyny yn farwolaeth iddo: gwel ar pen. vi. 22.

Adn. 23. *Ond ei wraig a ddywedodd wrtho ef*] Yr hon oedd yn llai ei hofn, ac yn gryfach ei ffydd na'i gŵr. *Pe mynasai yr Arglwydd ein lladd ni*—yma hi a eilw yr Angel hwn JEHOFA, fel y mae yn y wreiddiol; a defnyddia dri rheswm cadarn i gysuro a thawelu meddwl ei gŵr: (1) *Ni dderbyniasai efe boeth-offrwm a bwyd-offrwm o'n llaw ni*—yr hyn a wnaeth trwy beri i dân ddyrchafu o'r graig i'w ysu, yr hyn oedd yn arwydd o gymeradwyaeth ddwyfol, 1 Bren. xviii. 38. (2) *Ac ni ddangosasai efe i ni yr holl bethau hyn*—sef Person Dwyfol yn ymrithio mewn gwedd ddynol, ac yn peri i dân gwyrthiol ysu y poeth-offrwm, ac yna yn esgyn yn fflam yr allor tua'r nef, i'w gyflwyno megys arogl peraidd i'r Arglwydd. (3) *Ac ni pharasai efe i ni y pryd hyn glywed y fath bethau*—am enedigaeth mab iddynt yn waredwr i Israel, adn. 5. Yn awr, gan i JEHOFA ddangos a mynegu yr holl bethau hyn iddynt, gan addaw mab iddynt mewn amser dyfodol, yr oedd yn arwydd sicr nad oedd efe yn meddwl iddynt farw yn ddiatreg. Yr oedd y wraig hon yn ymresymu yn rhagorol; a gall pob credadyn ymresymu yn gyffelyb yn ngwyneb ei ofnau, oddiar yr ystyriaeth o'r hyn a wnaeth Duw drosto ac erddo. Nis gall yr hwn a roddodd ei Fab i farw drosom, byth fod yn ddifater am ein lles presenol a thragwyddol.

Adn. 24. *A'r wraig a ymddyg fab*] Yn fuan ar ol y weledigaeth hynod hon hi a ddechreuodd feichiogi, ac yn yr amser dyladwy hi a esgorodd ar fab, yn ol gair yr Angel, adn.

gen a gynyddodd; a'r Arglwydd a'i
bendithiodd ef.
25 Ac Ysbryd yr Arglwydd a dde-
chreuodd ar amseroedd ei gynhyrfu
ef yn ngwersyll Dan, rhwng Sora ac
Estaol.

## PENNOD XIV.

A SAMSON a aeth i waered i Tim-
nath; ac a ganfu wraig yn Tim-
nath, o ferched y Philistiaid.
2 Ac efe a ddaeth i fyny, ac a fyn-
egodd i'w dad ac i'w fam, ac a ddy-
wedodd, Mi a welais wraig yn Tim-
nath o ferched y Philistiaid: cymer-
wch yn awr hòno yn wraig i mi.
3 Yna y dywedodd ei dad a'i fam
wrtho, Onid *oes* yn mysg merched dy
frodyr, nac yn mysg fy holl bobl,
wraig, pan ydwyt ti yn myned i geisio
gwraig o'r Philistiaid dienwaededig?
A dywedodd Samson wrth ei dad, Cy-
mer hi i mi; canys y mae hi wrth fy
modd i.
4 Ond ni wyddai ei dad ef na'i fam
mai oddiwrth yr Arglwydd *yr oedd*
hyn, mai ceisio achos yr oedd efe yn
erbyn y Philistiaid: canys y Philist-
iaid oedd y pryd hyny yn arglwydd-
iaethu ar Israel.
5 Yna Samson a aeth i waered, a'i
dad a'i fam, i Timnath; ac a ddaeth-
ant hyd winllanoedd Timnath: ac
wele, genaw llew yn rhuo yn ei gyf-
arfod ef.
6 Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaeth
yn rymus arno ef; ac efe a holltodd
*y llew* fel yr holltid myn, ac nid *oedd*
dim yn ei law ef; ond ni fynegodd efe
i'w dad nac i'w fam yr hyn a wnelsai.

---

3. *Ac a alwodd ei enw ef Samson*—y mae yr enw hwn yn arwyddo *haul bychan*, neu *was bychan;* a meddylir i'w fam roddi yr enw hwn iddo er coffadwriaeth am bryd *gogoneddus* yr Angel, adn. 6, neu ynte oddiar yr ystyriaeth y byddai efe yn offeryn i ymlid y *tywyllwch* o adfyd a chaledi ag yr oedd Israel ynddo yn awr; neu am y byddai ef yn *was* yn llaw Duw i waredu Israel a chospi y Philistiaid. *A'r bachgen a gynyddodd*—mewn maintioli corfforol; *a'r Arglwydd a'i bendithiodd ef*—â'r holl radau a'r doniau meddyliol a chorfforol angenrheidiol i'r gwaith ag y bwriedid iddo ei gyflawni.

Adn. 25. *Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddechreuodd ar amseroedd ei gynhyrfu ef*] I dosturio wrth gaethiwed erchyll ei genedl, ac i deimlo awydd i wneyd rhyw ymdrech i'w gwaredu o law y Philistiaid. *Yn ngwersyll Dan*—neu 'Mahaneh Dan,' fel ar ymyl y ddalen. Gelwid y lle hwn felly naill ai oddi wrth ryfelgyrch y Daniaid, (pen. xviii. 11, 12,) yr hwn, er yn cael ei goffâu ar ol yr hanes yma, a gymerasai le yn flaenorol; neu ynte oddiwrth ryw wersyll arall a ffurfiasai y Daniaid yno er rhoddi rhyw attaliad i fynych ruthriadau y Philistiaid.

PEN. XIV. Adn. 1. *A Samson a aeth*] Ar ol iddo gynyddu i oedran gŵr; *i Timnath*—dinas gyffiniol i'r Philistiaid, yr hon a ddaeth wrth goelbren i lwyth Juda, Jos. xv. 57; ond a roddwyd i fyny wedi hyny i Dan, Jos. xix. 43; ac a ennillwyd drachefn gan y Philistiaid, yn nheyrnasiad Ahas, 2 Cron. xxviii. 18. *Ac a ganfu wraig yn Timnath*—nid gwraig briod, ond merch ieuanc, â'r hon y syrthiodd efe mewn cariad.

Adn. 2. *Ac a fynegodd i'w dad ac i'w fam*] Er mwyn cael eu cydsyniad hwy i'w phriodi. Yr oedd efe yn hyn yn ymddwyn yn ddoeth, ac yn rhoddi siampl ddylynwiw i bob plant mewn cyffelyb amgylchiadau; canys ni ddylai plant briodi, na rhoddi un cam tuag at hyny, heb gynghor a chydsyniad eu rhieni, am fod ganddynt hwy hawl yn eu plant fel rhan o honynt eu hunain.

Adn. 3. *Onid oes yn mysg merched dy frodyr*] Yn llwyth Dan, neu yn mysg llwythau ereill Israel. Er nad oedd y Philistiaid o saith genedl Canaan, â'r rhai y gwaherddid i Israel briodi, Exod. xxxiv. 16, Deut. vii. 3; eto yr oeddynt yn ddienwaededig, ac yn aflan eu harferion fel eilunaddolwyr, ac yn elynion blin i Israel; ac felly yr oedd yn beryglus i Israel ymgyfathrachu â hwynt. *Canys y mae hi wrth fy modd i*—nid yn unig am ei fod yn ei hoffi, ond hefyd am fod cymhelliad dwyfol ar ei feddwl ef i hyny, i'r dyben a grybwyllir yn yr adnod nesaf.

Adn. 4. *Ond ni wyddai ei dad ef na'i fam mai oddiwrth yr Arglwydd yr oedd hyn*] Er y gwyddai ef ei hun ond odid trwy ryw ddatguddiad neillduol a gawsai. *Mai ceisio achos yr oedd efe yn erbyn y Philistiaid*—os nacäai y Philistiaid hi iddo ef, efe a gymerai hyny yn achlysur i fyned yn eu herbyn hwy; ac os boddlonent iddo ei chael, dysgwyliai i'r Philistiaid fod yn garedig i Israel er ei fwyn ef; ac os na byddent, cymerai hyny yn achlysur i ymosod arnynt. *Canys y Philistiaid oedd y pryd hyny yn arglwyddiaethu ar Israel*—yn cyfaneddu mewn llawer o'u dinasoedd, yn eu gosod dan deyrnged iddynt, ac yn eu gorthrymu yn dost mewn amrai ffyrdd.

Adn. 5. *Yna Samson a aeth i waered*] Ar ol perswadio ei dad a'i fam i fyned gydag ef, ond odid trwy ddangos mai oddiwrth yr Arglwydd yr oedd hyn; *ac a ddaethant hyd winllanoedd Timnath*—i'r rhai yr aeth Samson ei hun, gan adael i'w rieni fyned yn mlaen i'r ddinas. Tybia rhai mai i fwyta grawn yr aeth Samson i'r winllan, yr hyn nid oedd gyfreithlon iddo ei wneuthur fel Nazaread. *Ac wele genaw llew yn rhuo yn ei gyfarfod ef*—gan ymosod arno i'w larpio.

Adn. 6. *Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaeth yn rymus arno ef*] I'w nerthu yn ei feddwl â gwroldeb, ac yn ei gorff â grym mwy nag arferol. *Ac efe a holltodd y llew*—gan agor ei fol ar ei hyd â'i ddwylaw noethion; ac yr

7 Ac efe a aeth i waered, ac a ymddyddanodd â'r wraig; ac yr oedd hi wrth fodd Samson.
8 ¶ Ac ar ol ychydig ddyddiau efe a ddychwelodd i'w chymeryd hi; ac a drôdd i edrych ysgerbwd y llew: ac wele, haid o wenyn a mêl yn nghorff y llew.
9 Ac efe a'i cymerth yn ei law, ac a gerddodd dan fwyta; ac a ddaeth at ei dad a'i fam, ac a roddodd iddynt; a hwy a fwytasant: ond ni fynegodd iddynt hwy, mai o gorff y llew y cymerasai efe y mêl.
10 ¶ Felly ei dad ef a aeth i waered at y wraig; a Samson a wnaeth yno wledd: canys felly y gwnai y gwŷr ieuainc.
11 A phan welsant hwy ef, yna y cymerasant ddeg-ar-hugain o gyfeillion i fod gydag ef.
12 ¶ A Samson a ddywedodd wrthynt, Rhoddaf i chwi ddychymyg yn awr: os gan fynegu y mynegwch ef i mi o fewn saith niwrnod y wledd, ac a'*i* cewch; yna y rhoddaf i chwi ddeg ar hugain o lenllieiniau, a deg pâr ar hugain o ddillad:
13 Ond os chwi ni fedrwch *ei* fynegu i mi; yna chwi a roddwch i mi ddeg ar hugain o lenllieiniau, a deg pâr ar hugain o wisgoedd. Hwythau a ddywedasant wrtho, Traetha dy ddychymyg, fel y clywom ef.
14 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Allan o'r bwytäwr y daeth bwyd, ac

---

oedd hyn yn arwydd iddo ef o'i oruchafiaeth, trwy yr un gallu, ar y Philistiaid. *Ac nid oedd dim yn ei law ef*—na chleddyf, na chyllell, na ffon. *Ond ni fynegodd efe i'w dad nac i'w fam*—naill ai o ŵylder, heb chwennych ymffrostio yn ei nerth; neu ynte o ocheliad, rhag i'r Philistiaid ddyfod i wybod yn rhy fuan pa fath ddyn oedd efe, ac felly gymeryd mantais annhêg arno.

Adn. 7. *Ac a ymddyddanodd â'r wraig*] Yn nghylch y briodas, neu yr ammodau ar ba rai yr oeddynt i fyned yn nghyd; *ac yr oedd hi wrth fodd Samson*—ar ol iddo gael ymddyddan â hi, yn gystal a phan y gwelodd efe hi gyntaf. Yr oedd ei chymdeithas a'i hymadroddion yn ei foddhau ef, yn gystal a'i phrydferthwch ymddangosiadol.

Adn. 8. *Ac ar ol ychydig ddyddiau*] Sef yn mhen y flwyddyn, yn ol yr Iuddewon, yr hyn oedd yr amser gofynol rhwng y dyweddïad a'r briodas. Nis gallent fod yn ychydig iawn o ddyddiau, trwy fod mêl oddiwrth y gwenyn heidiog i'w gael erbyn hyn yn ysgerbwd y llew. Ar ol iddo ddyfod yn agos i winllanoedd Timnath, efe a gofiodd iddo ladd llew yno y tro o'r blaen, ac aeth i edrych am ei ysgerbwd ef; a chanfu fod adar ysglyfaethus wedi difa y cwbl o'r cig, a bod gwenyn wedi nythu yn ei ysgerbwd ef, yr hyn sydd yn beth arferol yn y gwledydd hyny. Ymddengys fod ei rieni yn myned gydag ef yn awr i Timnath, ac iddo droi o'r neilldu ei hunan y tro hwn, fel y gwnaethai y tro o'r blaen, adn. 5.

Adn. 9. *Ac efe a'i cymerth yn ei law*] Sef darn o'r crwybr, â'r mêl ynddo; ac efe a roddodd beth o hono i'w rieni hefyd, i'w hadfywio ar eu taith. *Ond ni fynegodd iddynt hwy mai o gorff y llew y cymerasai efe y mêl*—rhag y buasent yn petruso ei fwyta o'r fath le, ac er mwyn dirgelu y dychymyg a roddai efe ar ol hyn, adn. 14.

Adn. 10. *A Samson a wnaeth yno wledd*] Sef gwledd priodas, yn ol arferiad y priodfab yn ngwlad y Philistiaid.

Adn. 11. *Cymerasant ddeg-ar-hugain o gyfeillion i fod gydag ef*] Y rhai a elwir yn 'blant yr ystafell briodas,' Mat. ix. 15, ac yn 'gyfeillion y priodfab,' Ioan iii. 29. Gwnaeth y Philistiaid hyn âg ef yn ol arferiad y wlad, er anrhydedd i Samson fel priodfab, neu o leiaf dan y rhith o hyny. Tybia rhai mai i'w wylied ef y darparwyd y rhai hyn, am yr ofnent fod ganddo ef ryw ddrwg-fwriad yn erbyn y Philistiaid yn y briodas hon: ond nis gwyddent hwy eto ddarfod iddo ef ladd y llew, na dim am ei fawr nerth ef; gan hyny nis gallent ofni dim oddiwrtho ef mwy na rhyw Israeliad arall.

Adn. 12. *Rhoddaf i chwi ddychymyg*] Yr oedd hyn yn arferiad cyffredin gynt er difyru y cwmni mewn gwleddoedd o'r fath; pob un yn ei dro yn rhoddi allan ddychymyg, i gael ei ddeongli gan y cwmni. Os deonglid ef, yr oedd y rhoddydd yn talu fforffet i'r cwmni; os methid, yr oedd y cwmni yn talu fforffet i'r hwn a roddasai allan y dychymyg: gwel yr adfeddyliadau. *Os gan fynegu y mynegwch ef i mi o fewn saith niwrnod*—canys cedwid y wledd briodas yn gyffredin cyhyd a hyny, Gen. xxix. 27; *yna y rhoddaf i chwi ddeg-ar-hugain o lenllieiniau*—neu wrthbanau i orwedd ynddynt y nos, sef un i bob cyfaill ag oedd gydag ef, adn. 11; *a deg pâr ar hugain o ddillad*—y rhai oeddynt gynwysedig o wisg uwchaf ac isaf. Tybia Clarke mai rhywbeth tebyg i *hayk* neu *hyke* yr Arabiaid a feddylir wrth y 'llenllieiniau' hyn, (gwel ar Exod. xii. 34,) ac mai math ar grys a hugan a elwid *kumja* a *caftan* a feddylir wrth y 'pâr dillad.'

Adn. 13. *Yna chwi a roddwch i mi*] Bob un o honoch lenllian a phâr o wisgoedd: gwel ar adn. 12. *Traetha dy ddychymyg*—yr ydym yn cytuno â'r ammodau.

Adn. 14. *Ac efe a ddywedodd wrthynt*] A draethodd ei ddychymyg fel y canlyn: *Allan o'r bwytäwr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felysdra*—braidd y gellir edrych ar hwn fel dychymyg têg; canys trwy nad oedd y ffaith at ba un y cyfeiria yn adnabyddus, nid oedd un reol trwy ba un y gallent ei ddeongli. *Ac ni fedrent ddirnad y dychymyg*—buont dri diwrnod yn ceisio ei ddirnad, ond yn methu; ac am hyny cymerasant y llwybr annhêg a grybwyllir isod. Y *bwytäwr* a'r *cryf* yn y dychymyg hwn oedd y *llew*, a'r *bwyd* a'r *melysdra* oedd y *mêl*, o ba un y cyf-

o'r cryf y daeth allan felysdra. Ac ni fedrent ddirnad y dychymyg *mewn* tri diwrnod.

15 Ac yn y seithfed dydd y dywedasant wrth wraig Samson, Huda dy ŵr, fel y mynego efe i ni y dychymyg; rhag i ni dy losgi di a thŷ dy dad â thân: ai i'n tylodi ni y'n gwahoddasoch? onid *felly y mae?*

16 A gwraig Samson a ŵylodd wrtho ef, ac a ddywedodd, Yn ddiau y mae yn gas genyt fi, ac nid wyt yn fy ngharu: dychymyg a roddaist i feibion fy mhobl, ac ni'*s* mynegaist i mi. A dywedodd yntau wrthi, Wele ni'*s* mynegais i'm tad nac i'm mam: ac a'*i* mynegwn i ti?

17 A hi a ŵylodd wrtho ef y saith niwrnod hyny, tra yr oeddid yn cynal y wledd: ac ar y seithfed dydd y mynegodd efe iddi hi; canys yr oedd hi yn ei flino ef: a hi a fynegodd y dychymyg i feibion ei phobl.

18 A gwŷr y ddinas a ddywedasant wrtho ef y seithfed dydd, cyn machludo yr haul, Beth *sydd* felysach na mel? a pheth gryfach na llew? Dywedodd yntau wrthynt, Oni buasai i chwi aredig â'm hanner i, ni chawsech allan fy nychymyg.

19 ¶ Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef; ac efe a aeth i waered i Ascalon, ac a darawodd o honynt ddeg-ar-hugain, ac a gymerth eu hyspail, ac a roddodd y parau dillad i'r rhai a fynegasant y dychymyg: a'i ddigllonedd ef a lidiodd, ac efe a aeth i fyny i dŷ ei dad.

---

ranogodd Samson a'i rieni, adn. 9. Ond yn lle *o'r cryf*, y mae y Syriaeg a'r Arabaeg yn darllen, 'o'r *chwerw* y daeth allan felysdra.' Yr oedd mêl yn fwyd cyffredin yn y wlad hòno, Mat. iii. 4.

Adn. 15. *Ac yn y seithfed dydd*] Y mae yn debyg iddynt geisio perswadio gwraig Samson i hyn ar y pedwarydd dydd, wedi iddynt hwy fethu, adn. 4; ond wrth ei bod hi yn annghydsynio, neu yn methu llwyddo, a hwythau yn gweled fod yr amser bron i fyny, aethant yn daerach, gan fygwth ei *llosgi* hi a thŷ ei thad, lle y cynelid y wledd, os na hudai hi ei gŵr i fynegu iddi ystyr y dychymyg, fel y gallai hithau ei fynegu iddynt hwy. Ond y mae y LXX, yn nghyda'r Syriaeg a'r Arabaeg, yn ei ddarllen, 'Ac yn y *pedwarydd* dydd y dywedasant,' &c. Eithr dichon fod yr Hebraeg yn cyfeirio at y *seithfed* dydd o'r WYTHNOS, yr hwn oedd y *sabboth;* tra nad oedd efe ond y *pedwarydd* dydd o'r WLEDD, fel y mae yn y cyfieithiadau uchod. *Ai i'n tylodi ni y'n gwahoddasoch?*—trwy gymeryd eu gwisgoedd oddiam eu cefnau o herwydd methu o honynt ddeongli y dychymyg: gwel ar adn. 12.

Adn. 16. *A gwraig Samson a ŵylodd wrtho ef*] Diamau fod ei dagrau yn rhai gwirioneddol, trwy ei bod yn ofni cael ei llosgi yn ol y bygythiad, adn. 15. *Yn ddiau y mae yn gas genyt fi*—pan yr wyt yn peryglu fy mywyd am gyn lleied peth. *Ac nis mynegaist i mi*—hyny yw, ni fynegaist ei *ddeongliad;* canys at hyny y mae yn cyfeirio. *Wele, nis mynegais i'm tad nac i'm mam*—er mor fawr y carai efe ei rieni, ac er y gwyddai y gallent hwy gelu y peth, eto ni thybiodd fod yn ddoeth iddo fynegu ystyr y dychymyg hyd yn nod iddynt hwy; a pha fodd y gallai hi ddysgwyl yr ymddiriedai efe y fath gyfrinach iddi hi, a hithau o genedl y Philistiaid, pan na wyddai eto pa un a fedrai hi gadw cyfrinach o'r fath neu beidio?

Adn. 17. *A hi a ŵylodd wrtho ef y saith niwrnod hyny*] Sef yn ystod y gweddill o honynt, neu bob dydd o'r pedwar olaf, er pan fygythiwyd hi, adn. 15. *Ac ar y seithfed dydd y mynegodd efe iddi*—ystyr y dychymyg, heb feddwl y datguddiasai hi y gyfrinach i feibion ei phobl. Gallwn feddwl nad yngnodd hi air wrtho ef am eu bygythiad hwy, onidê y cymerasai efe ryw ffordd arall i'w diogelu hi a thŷ ei thad. *Canys yr oedd hi yn ei flino ef*—â'i deisyfiadau, ei dagrau, a'i hedliwiad parhaus nad oedd efe yn ei charu. *A hi a fynegodd*—ystyr y dychymyg, er y gwyddai y byddai i hyny beri i'w phriod golli y cyngwystl, neu fforffetio y dillad.

Adn. 18. *Cyn machludo yr haul*] Ac felly yn ddigon buan i ennill y cyngwystl. *Beth sydd felysach na mêl?*—wrth hyn awgryment mai *mêl* a feddylid wrth y 'bwyd' a'r 'melysdra' yn y dychymyg; *a pheth gryfach na llew?*—yr hwn a olygid wrth y 'bwytäwr' a'r 'cryf.' *Oni buasai i chwi aredig â'm hanner i*—hyny yw, oni buasai i chwi ddefnyddio fy ngwraig i'w gael ef allan, fel y mae dynion, wrth aredig âg anner, yn troi i'r golwg ranau o'r ddaear ag oeddynt o'r golwg o'r blaen. Efe a'i geilw hi ei *anner*, am ei bod wedi ei chysylltu âg ef dan yr un iau. Tybia rhai mai ymadrodd diarebol yw hwn, yn arwyddo ei hanffyddlondeb hi i wely ei gŵr.

Adn. 19. *Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef*] Efe a ysbrydolwyd â gwroldeb a dewrder anarferol, a theimlai nerth cyfatebol i'w ddymuniadau. *Ac efe a aeth i waered i Ascalon*—un o ddinasoedd y Philistiaid, yn sefyll oddeutu ugain milldir i'r deau o Timnath, ar lan Môr-y-canoldir. Tybia rhai fod gŵyl fawr i dduwiau y Philistiaid yn Ascalon yn y cyfamser, pryd y gwisgai dynion eu dillad goraf, y fath ag oedd arno ef eu heisiau; ac mai hyn, yn nghyda dymuniad i gael y dillad yn ddiarwybod i wŷr y briodas, oedd y rheswm pabam yr aethai efe mor bell. *Ac a darawodd o honynt ddeg-ar-hugain*—fel y gallai gael cynifer o barau dillad ag a fforffetiasai i'r rhai a fynegasant y dychymyg, adn. 12. Nis gallesid cyfiawnhau y weithred hon o eiddo Samson, oni buasai ei fod ef wedi ei gynhyrfu i hyn gan ddylanwad dwyfol, i'r dyben i gospi y Philistiaid yn ol bwriad Duw. Yr oedd Duw yn gwneuthur defnydd o hono

20 A rhoddwyd gwraig Samson i'w
gyfaill ef ei hun, yr hwn a gymerasai
efe yn gyfaill.

## PENNOD XV.

AC wedi *talm* o ddyddiau, yn amser cynauaf y gwenith, Samson a aeth i ymweled â'i wraig â myn gafr; ac a ddywedodd, Mi a âf i mewn at fy ngwraig i'r ystafell. Ond ni chaniatäai ei thad hi iddo ef fyned i mewn.

2 A'i thad a lefarodd, gan ddywedyd, Tybiaswn i ti ei chasâu hi; am hyny y rhoddais hi i'th gyfaill di: onid *yw* ei chwaer ieuangaf yn lanach na hi? bydded *hòno* i ti, atolwg, yn ei lle hi.

---

ef, fel y gwna barnwr o'r dienyddwr, i gospi y rhai a haeddent gosp, ac a ddedfrydwyd i'w dyoddef hi. Y mae yn debyg iddo ladd y dynion hyn trwy eu llindagu, neu ynte heb eu gwaedu, trwy nad oedd gwaed ar y dillad, yr hyn a barasai i'r Philistiaid dybied Samson yn llofrudd; a thybia rhai fod dynion gydag ef i gyffwrdd â'r cyfryw gyrff, a'u dyosg o'u dillad, neu ynte ei fod ef wedi halogi ei Nazareaeth. *A'i ddigllonedd ef a lidiodd*—yn erbyn ei wraig, am iddi ddatguddio ei gyfrinach; yn erbyn gwŷr y wledd, am eu hymddygiad twyllodrus ato ef trwy ei wraig; ac ond odid yn erbyn holl bobl y ddinas, y rhai a chwarddent am ei ben wedi iddo gael ei dwyllo fel hyn. *Ac efe a aeth i fyny i dŷ ei dad*—i Sora, gan adael ei wraig ar ol yn Timnath, fel pe buasai heb briodi. Byddai yn dda i ninau, yn ngwyneb siomedigaethau a thrallodion y byd, fyned i fyny i dŷ ein Tad nefol mewn ffydd a gweddi.

Adn. 20. *A rhoddwyd gwraig Samson*] Gan ei thad, pen. xv. 2, *i'w gyfaill ef ei hun*—yn wraig; sef i'r penaf o 'blant yr ystafell briodas,' yr hwn a elwid yn benodol yn 'gyfaill y priodfab:' gwel ei swydd ef yn cael ei hegluro ar Ioan iii. 29. Tybia rhai fod hwn yn rhy gyfeillgar â gwraig Samson o'r blaen, ac mai efe a gafodd allan ddirgelwch y dychymyg trwyddi hi; a thrwy fod Samson yn awr wedi gadael ei wraig, yr oedd ei thad yn meddwl ei bod hi yn rhydd i briodi gŵr arall.

ADFEDDYLIADAU.—Yr oedd yn arferiad yn mhlith yr hen Roegiaid, yn gystal a chenhedloedd ereill, yn amser eu gwleddoedd, i un roddi allan yr hyn a elwid *griphoi*, dychymygion, dammegion, neu ymadroddion aneglur a chywrain; a rhoddid gwobr i'r neb a'u deonglai, yr hwn yn gyffredin ydoedd goron ddail, neu wydraid o win. Y sawl a fethent eu deongli a gondemnid i yfed llestraid o ddwfr croyw, neu o win cymysgedig â dwfr y môr, yr hwn yr oeddynt yn gorfod ei lyncu ar un traflwnc heb anadlu, tra yr oedd eu dwylaw wedi eu rhwymo tu ol i'w cefn. Weithiau rhoddid y goron i'r duw ag y cynelid y wledd er anrhydedd iddo: ac os nad allai neb ddeongli y dychymyg, rhoddid y gwobr i'r hwn a roddasai y dychymyg. Cawn amrai anghreifftiau o'r dychymygion hyn yn ATHENÆUS, *Deipnosoph.* lib. x. c. 15, dal. 142, argraff. *Argentorat.*, a rhai o honynt yn dra thebyg i'r un uchod o eiddo Samson; er siampl:—

1. 'Pwy a ddyry, ac ni ddyry? pwy ni fedd, ac eto a fedd?'—Gellir dywedyd hyn am ddychymygwr a'i ddychymyg. *Efe* a ddyry y dychymyg, ond ni ddyry yr ystyr; y mae y *gwrandawydd* yn ei feddu, ond ni fedd y deongliad.

2. 'Y mae mam yn meithrin ei phlant yn ei mynwes; y rhai, er eu bod yn fud, a anfonant allan lais eglur dros bob cenedl ar y ddaear ac ar y môr, at y neb y mynont. Gall y rhai absenol glywed, a'r rhai byddar glywed hefyd.'—Y mae yr adroddydd yn dwyn i mewn *Sappho* yn ei ddeongli fel hyn: Y fam a arwydda *lythyr;* a'i phlant, y rhai a feithrina, yw *llythyrenau y wyddor:* a'r rhai hyn, er yn fud, a lefarant ac a gynghorant unrhyw un er yn mhell; er na byddo yr hwn a safo yn ymyl y neb a'i darlleno yn ddystaw, yn clywed dim swn.'

3. 'Beth sydd fawr pan enir ef, eithr yn nghanol ei oes y mae yn fychan, ac yn ei henaint y mae drachefn yn fwyaf oll?'—Cyfeiria hyn at *gysgod*, yr hwn ar gyfodiad yr haul sydd yn hir; ganol dydd, pan y mae yr haul yn union uwchben, y mae yn fyr; ac ar fachlud haul, ymestyna eilwaith tua'r dwyrain, fel y gwnai yn y bore tua'r gorllewin.

4. 'Y mae dwy chwaer, y naill yn cenhedlu y llall, a'r hon a genhedlwyd yn fam i'r un a'i cenhedlodd.'—*Dydd* a *nos* a ddeonglant y dychymyg hwn.

5. Y canlynol a gymerwyd o *Theognis:*—'Morwr marw a'm geilw i'w dŷ; ac er ei fod yn farw, efe a lefara â genau byw.'—Hwn yw math ar *gragen-bysgodyn* hir, ar ba un yr oedd y bardd yn nghylch ymborthi; a'r genau, â pha un y llefarai, a gyfeiria at y defnyddiad o'r gragen fel *udgorn.*

PEN. XV. Adn. 1. *Ac wedi talm o ddyddiau*] Yn mhen blwyddyn, yn ol rhai; *yn amser y cynauaf gwenith*—dechreuai cynauaf y gwenith oddeutu y Sulgwyn, a chynauaf yr haidd oddeutu y pasg, neu o gylch saith wythnos yn gynarach. *Samson a aeth i ymweled â'i wraig â myn gafr*—fel arwydd ei fod am gymodi â hi. *I'r ystafell*—yr oedd gan y gwragedd yn y dwyrain eu hystafelloedd neillduol, ar wahan i eiddo eu gwŷr. *Ond ni chaniatäai ei thad*—am ei bod hi yn awr yn briod â gŵr arall. Hawdd y gallasai Samson ymwthio i mewn gyda'i nerth mawr, ond pwyllodd er cael clywed pa beth oedd gan ei thad i'w ddywedyd wrtho.

Adn. 2. *Tybiaswn i ti ei chasâu*] Pan yr ymadewaist â hi. Ond nid oedd hyn yn rheswm digonol; a dylasai ef geisio eu cymodi, ac nid ei rhoddi hi i ŵr arall heb ei gydsyniad ef. *Onid yw ei chwaer ieuangaf yn lanach na hi?*—yr oedd priodi chwaer ei wraig tra yr oedd y llall yn fyw, yn cael ei wahardd yn bendant gan gyfraith Moses, Lef. xviii. 18; ac am hyny dichon i'r cynygiad hwn greuloni Samson yn fwy.

Adn. 3. *Difeiach ydwyf y waith hon na'r*

3 ¶ A Samson a ddywedodd wrth-
ynt, Difeiach ydwyf y waith hon na'r
Philistiaid, er i mi wneuthur niwed
iddynt.
4 A Samson a aeth ac a ddaliodd
dri chant o lwynogod; ac a gymerth
ffaglau, ac a drôdd gynffon at gyn-
ffon, ac a osododd un ffagl rhwng dwy
gynffon yn y canol.
5 Ac efe a gyneuodd dân yn y ffagl-

---

*Philistiaid*] Y rhai yn gyntaf a hudasent ei wraig i gael allan y dychymyg, ac wedi hyny a'i rhoddasent hi i ŵr arall, pen. xiv. 15—20. *Er i mi wneuthur niwed iddynt*—trwy losgi eu ffrwythau. Er y gall hyn ymddangos fel gweithred o ddialedd personol, eto y mae yn amlwg fod Samson yn ymddwyn fel barnwr, (canys y cyfryw ydoedd,) ac fel dialydd y niweidiau cyhoeddus a ddyoddefasai ei bobl ef oddiwrth y Philistiaid.

Adn. 4. *A Samson a aeth ac a ddaliodd dri chant o lwynogod*] Y mae llawer o ddadlu wedi bod yn nghylch ystyr y gair *shualim*, rhai yn barnu ei fod yn meddwl *llwynogod* neu ryw greaduriaid cyffelyb, ac ereill ei fod yn golygu *dyrneidiau* neu *ysgubau o ŷd*. Bydd i rym y gwrthddadleuon yn erbyn y cyfieithiad cyffredin gael ei wanychu trwy yr ystyriaethau canlynol: (1) Fod *llwynogod* yn dra lluosog yn Nghanaan, fel y mae yn eglur oddiwrth y crybwylliad mynych am danynt yn yr ysgrythyrau, ac oddiwrth fod amrai leoedd wedi cael eu henwau oddiwrthynt. Ymddengys eu bod mor aml nes yr oedd hyd yn nod eu cenawon, neu y llwynogod bychain, yn difwyno y gwinllanoedd, Can. ii. 15. Cwyna Jeremia fod y llwynogod yn rhodio mynyddoedd Judea, Galar. v. 18; a chrybwyllir am danynt fel yn dringo muriau, Neh. iv. 3, Salm lxiii. 10. Cyffelyba Ezeciel y gaubroffwydi lluosog i'r creaduriaid hyn, pen. xiii. 4. Yn Jos. xv. 28, cawn le a elwir *Hasarsual*, 'llys y llwynog;' ac yn Jos. xix. 42, *Saalabbin*, 'y llwynogod,' yn ddiamau oddiwrth amledd y creaduriaid hyny yn y dalaeth. A chrybwyllir am 'wlad *Sual*,' neu y 'llwynog,' yn 1 Sam. xiii. 17. (2) Ni ddywedir i Samson eu dal hwynt ei *hun;* er na fuasai dim hynod yn hyny, trwy fod yr Arglwydd yn ei ragluniaeth yn ei gynorthwyo i flino y Philistiaid trwy y creaduriaid hyn, er darostwng eu balchder hwynt, a'u cospi am orthrymu ei bobl ef. (3) Ni ddywedir iddo eu dal hwynt oll mewn *un diwrnod:* gall ddarfod iddo dreulio llawer o ddyddiau, a'i fod yn cael ei gynorthwyo gan lawer o ddwylaw, i ddal y llwynogod hyn er dial ar ei elynion. (4) Mewn gwledydd ereill, lle yr oedd bwystfilod rheibus yn anamlach, danghoswyd niferoedd mawrion ar unwaith. Mewn arddanghosiad cyhoeddus i ddinasyddion Rhufain, danghosodd *Sylla* 100 o lewod; *Cesar*, 400; a *Pompey*, gerllaw 600. Gollyngodd yr amherawdwr *Probus* yn rhydd yn y chwareufa, ar unwaith, 1,000 o estrys, 1,000 o geirw, 1,000 o faeddod gwylltion, 1,000 o eifr danys, a lluoedd aneirif o fwystfilod ereill: a phryd arall danghosodd 100 o lewpardiaid o Libya, 100 o Syria, a 300 o eirth.—Y mae y creadur a elwir *shual* yn cael ei ddarlunio gan naturiaethwyr, ac ymdeithwyr yn Judea, fel anifel rhwng *blaidd* a *llwynog*. Hasselquist, yr hwn a fu yn y lle, ac a welodd amrai o honynt, a'i geilw ef 'llwynog bychan y dwyrain.' Y maent yn lluosog yn y dwyrain, ac yn fynych yn dyfetha hen bobl a phlant.—Y mae Dr. Kennicott, modd bynag, yn dadlu yn erbyn y cyfieithiad cyffredin. Ebai efe, 'Y mae y *tri chant o lwynogod* a ddaliwyd gan Samson wedi bod mor fynych yn wrthddrych gwawd a chwerthiniad, fel ag y dylem ystyried pa un a all y geiriau oddef cyfieithiad mwy rhesymol; canys heblaw yr annhebygolrwydd a gyfyd yma oddiwrth *nifer* y llwynogod hyn, y mae y *defnydd* a wnaed o honynt yn bur hynod hefyd. Pe buasai y creaduriaid hyn wedi eu clymu *gynffon wrth gynffon*, y mae yn debyg y buasent yn tynu wahanol ffyrdd, ac o ganlyniad yn sefyll yn yr unfan; tra y buasai ffagl wedi ei chlymu wrth gynffon pob llwynog ar ei ben ei hun yn llawer tebycach i ateb y dyben a fwriedid yma. I osgoi yr anhawsderau hyn, sylwyd yn dda fod y gair *shualim*, a gyfieithir yma yn *llwynogod*, yn arwyddo hefyd *dyrneidiau*, Ezec. xiii. 19, dyrneidiau o haidd; os bydd i ni adael allan y lythyren *vau*, yr hon a osodwyd i mewn neu a adawyd allan, bron fel y mynai un, mewn geiriau ereill. Y mae nid llai na *saith* o ysgriflyfrau Hebreig heb y lythyren hòno yn y lle hwn, ac yn darllen *shealim*. Os caniateir y cyfieithiad hwn, ni a welwn i Samson gymeryd tri chant o *ddyrneidiau* neu *ysgubau o ŷd*, a chant a hanner o *ffaglau;* ddarfod iddo droi yr ysgubau *ben at ben*, a rhoddi ffaglen rhwng y ddau ben yn y canol; ac yna, gan danio y ffaglenau, efe a anfonodd y tân i ŷd faesydd y Philistiaid. Yn awr y mae yr un gair yn cael ei arfer ddwywaith mewn un bennod (Ezec. xiii. 4 a 19); yn yr adnod flaenaf yn arwyddo *llwynogod*, ac yn yr olaf *dyrneidiau:* ac yn 1 Bren. xx. 10, lle yr ydym ni yn ei gyfieithu yn *ddyrneidiau*, *llwynogod* ydyw yn y cyfieithiad Groeg.'—Y mae ymresymiad Dr. Kennicott yn y rhan flaenaf o'r ferniadaeth hon, wedi ei ateb eisioes; y rhanau ereill a ystyrir isod. 'Er fod saith ysgriflyfr,' ebai Clarke, 'yn cytuno yn y darlleniad ag y dadleuir drosto gan Dr. Kennicott, eto y mae yr holl *gyfieithadau* yr ochr arall; ac nid wyf fi yn canfod dim o'i le yn y cyfieithiad cyffredin.' *Ac a gymerth ffaglau*—wedi eu gwneuthur o ryw ddefnyddiau a gymerent dân yn ebrwydd, ac a barhaent i gyneu am hir amser. *Ac a drôdd gynffon at gynffon*—gan eu clymu wrth eu gilydd; *ac a osododd un ffagl rhwng dwy gynffon yn y canol*—pe rhoddasai efe ffagl wrth bob un, yr hyn a dybia Dr. Kennicott yn fwy rhesymol, buasai y creadur, ar ol ei ddychrynu yn naturiol gan y tân, yn myned ar unwaith i ymguddio, ac felly buasai amcan Samson yn cael ei siomi. Ond wrth glymu dau yn nghyd gerfydd eu cynffonau, byddai iddynt dynu yn groes i'w gilydd wrth geisio rhedeg wahanol ffyrdd, yr hyn a arafai eu symudiad, ac a'u cadwai yn hwy yn y fan lle yr oeddynt i'w ddinystrio. Hefyd, attaliai hyn

au, ac a'u gollyngodd *hwynt* i ydau y
Philistiaid; ac a losgodd hyd yn nod
y dasau, a'r ŷd ar ei droed, y gwin-
llanoedd *hefyd, a'r* olewwydd.
6 Yna y Philistiaid a ddywedasant,
Pwy a wnaeth hyn? Hwythau a ddy-
wedasant, Samson daw y Timniad; am
iddo ddwyn ei wraig ef, a'i rhoddi i'w
gyfaill ef. A'r Philistiaid a aethant i
fyny, ac a'i llosgasant hi a'i thad â
thân.
7 ¶ A dywedodd Samson wrthynt,
Er i chwi wneuthur fel hyn, eto mi a
ymddialaf arnoch chwi; ac wedi *hyny*
y peidiaf.
8 Ac efe a'u tarawodd hwynt glun
a morddwyd â lladdfa fawr: ac efe
a aeth i waered, ac a arhosodd yn
nghopa craig Etam.
9 ¶ Yna y Philistiaid a aethant i
fyny, ac a wersyllasant yn Juda, ac a
ymdaenasant yn Lehi.
10 A gwŷr Juda a ddywedasant,
Paham y daethoch i fyny i'n herbyn
ni? Dywedasant hwythau, I rwymo
Samson y daethom i fyny, i wneuthur
iddo ef fel y gwnaeth yntau i ninau.
11 Yna tair mil o wŷr o Juda a aeth-
ant i gopa craig Etam, ac a ddywed-
asant wrth Samson, Oni wyddost ti
*fod* y Philistiaid yn arglwyddiaethu
arnom ni? paham gan hyny y
gwnaethost hyn â ni? Dywedodd
yntau wrthynt, Fel y gwnaethant
hwy i mi, felly y gwnaethym inau
iddynt hwythau.
12 Dywedasant hwythau wrtho,
I'th rwymo di y daethom i waered,

---

iddynt ffoi i'w tyllau, ac ymdaenu yn mhellach nag y bwriadai efe; canys ei amcan oedd difa ŷd y Philistiaid yn unig, heb gyffwrdd âg eiddo yr Israeliaid.

Adn. 5. *Ac a'u gollyngodd hwynt*] Nid ar unwaith, ond yn olynol, ac mewn gwahanol fanau, fel na fyddai iddynt rwystro eu gilydd, na rhedeg oll i'r un maes. *Ac a losgodd hyd yn nod y dasau*—y sypynau gwenith ag oeddynt wedi eu casglu yn nghyd yn y maesydd, a'r dasau haidd ag oeddynt yn yr ydlanau, canys yr oedd y cynauaf haidd saith wythnos yn gynarach. Ymwthiai y llwynogod yn naturiol rhwng y rhai hyn, er ceisio ymguddio. *A'r ŷd ar ei droed*—neu heb ei fedi; yr hwn, gan ei fod yn addfed, ac yn sych mewn gwlad boeth, a gymerai dân yn hawddach. *Y gwinllanoedd hefyd, a'r olewwydd*—mân ganghenau pa rai, yn nghyda'r borfa sych rhwng y coedydd, a losgid yn hawdd. Os gofynir, 'Paham na roddasai efe yr Israeliaid ar waith i losgi y rhai hyn?' gellir ateb, Am ei fod yn ewyllysio eu cadw hwy rhag y dygasedd a'r niwed ag y gosodasai hyny hwynt yn agored iddynt; ac hefyd, i siomi balchder y Philistiaid trwy wneuthur creaduriaid direswm yn offerynau i'w blino.

Adn. 6. *Pwy a wnaeth hyn?*] Y mae yn debyg i Samson wneuthur y difrod yn y nos, ac iddynt hwythau ofyn hyn bore dranoeth. *Samson daw y Timniad*—sef mab-yn-nghyfraith y gŵr o Timnath. Casglent hyn oddi wrth ei fygythiad ef, adn. 3, ac hefyd oddiar yr ystyriaeth o'r cam a gawsai. *Llosgasant hi*—am y niwed ag y bu hi yn achlysur i'w ddwynt arnynt hwy. Yr oedd y Philistiaid wedi bygwth ei 'llosgi hi a thŷ ei thad â thân,' pen. xiv. 15; ac i ochelyd hyn, hi a fradychodd ei gŵr: ac yn awr, yr hyn a ofnai a ddaeth arni! *A'i thad*—yr hwn yr edrychid arno fel prif achos arall o'r niwed a wnaed, trwy iddo roddi ei ferch, gwraig Samson, i ŵr arall. Neu '*dŷ* ei thad,' fel y mae yn y Syriaeg a'r Arabaeg, ac fel y bygythiwyd.

Adn. 7. *Er i chwi wneuthur fel hyn*] Ymddengys oddiyma i'r Philistiaid losgi ei wraig a thŷ ei thad i'r dyben i geisio ei foddhau ef, rhag iddo wneyd ychwaneg o niwed iddynt. Pe gwnaethent hyn o'r blaen, gallasai edrych fel cyfiawnder tuag ato ef; ond yn awr y mae fel dialedd am eu colled eu hunain, a chariad at eu llesâd eu hunain. *Ac wedi hyny y peidiaf*—hyny yw, ni pheidiaf nes i mi ddial arnoch yn mhellach am orthrymu Israel.

Adn. 8. *Ac efe a'u tarawodd hwynt glun a morddwyd*] Tybia rhai fod hyn yn arwyddo iddo ladd eu gwŷr traed a'u gwŷr meirch; ereill, iddo eu troedio neu eu cicio i farwolaeth; ac ereill, iddo eu sathru i farwolaeth, heb fod ganddo un arf angeuol yn ei law. Ond dichon mai ymadrodd diarebol yw y geiriau, yn arwyddo dinystr cyffredinol. *Ac a arhosodd yn nghopa craig Etam*—ond odid mewn ogof yno. Etam oedd ddinas yn llwyth Juda, 2 Cron. xi. 6, oddeutu pedair milldir o du y deau i Bethlehem. Aeth Samson yma i aros am enyd, fel y gallai weled pa gynlluniau a gymerai y Philistiaid rhagllaw. Nid yw yn ymddangos iddo ef gael gorchymyn gan Dduw i godi byddin, fel Gedeon, Jephtha, ac ereill, er gwaredu Israel oddiwrth iau y Philistiaid; eithr yr oedd efe i'w gwanhau a'u brawychu hwy, fel y byddai i'w arswyd beri iddynt leihau eu creulondeb.

Adn. 9. *Lehi*] Gwel ar adn. 14, 17.

Adn. 10. *I rwymo Samson y daethom i fyny*] Ymddengys nad oedd gan y Philistiaid un bwriad i ymosod ar yr Israeliaid y pryd hyn, os rhoddent hwy Samson i fyny iddynt hwy; *i wneuthur iddo ef*—hyny yw, i'w ladd ef, fel y lladdasai yntau lawer o'u cenedl hwy, adn. 8.

Adn. 11. *Yna tair mil o wŷr Juda*] Rhaid eu bod yn gwybod am ei ddirfawr nerth ef, pan yr âi cynifer yn nghyd ato. *Paham gan hyny y gwnaethost hyn â ni?*—y mae dy ymddygiad hwn yn eu herbyn hwy yn sicr o effeithio yn drwm arnom ninau hefyd: bydd ein trethoedd yn drymach, a'n caethiwed yn fwy, os na fydd i lawer o honom golli ein bywyd hefyd. *Fel y gwnaethant hwy i mi*—trwy hudo ei wraig, ac wedi hyny ei llosgi: neu ynte efe a gyfrifai yr hyn a wnaethai y Phil-

*ac* i'th roddi *yn* llaw y Philistiaid. A
Samson a ddywedodd wrthynt, Tyng-
wch wrthyf, na ruthrwch arnaf fi eich
hunain.
13 Hwythau a'i hatebasant ef, gan
ddywedyd, Na *ruthrwn:* eithr gan
rwymo y'th rwymwn di, ac y'th rodd-
wn yn eu llaw hwynt; ond ni'th ladd-
wn di. A rhwymasant ef â dwy raff
newydd, ac a'i dygasant ef i fyny o'r
graig.
14 ¶ *A* phan ddaeth efe i Lehi, y
Philistiaid a floeddiasant wrth gyfar-
fod âg ef. Ac Ysbryd yr Arglwydd
a ddaeth arno ef; a'r rhaffau *oedd* am
ei freichiau a aethant fel llin a losg-
asid yn tân, a'r rhwymau a ddattodas-
ant oddiam ei ddwylaw ef.
15 Ac efe a gafodd ên asyn îr; ac a
estynodd ei law, ac a'i cymerodd, ac
a laddodd â hi fil o wŷr.
16 A Samson a ddywedodd, A gên
asyn, pentwr ar bentwr; â gên asyn
y lleddais fil o wŷr.
17 A phan orphenodd efe lefaru,
yna efe a daflodd yr ên o'i law, ac a
alwodd y lle hwnw Ramath-lehi.
18 ¶ Ac efe a sychedodd yn dost;

---

istiaid i'w genedl ef o bryd i bryd, fel wedi ei wneuthur iddo ef fel barnwr y genedl.

Adn. 12. *I'th roddi yn llaw y Philistiaid*] Bwriadent hyn, nid o ddrwg-ewyllys i Samson, eithr rhag ofn y Philistiaid. *Tyngwch wrthyf na ruthrwch arnaf fi eich hunain*—hyny yw, na leddwch fi. Y mae yn ddiamau y gallasai efe ei amddiffyn ei hun, a'u lladd hwythau, pe cynygiasent ruthro arno, er eu bod yn dair mil o rifedi; ond ni ewyllysiai efe dywallt gwaed ei genedl ei hun: yr oedd yn well ganddo gymeryd ei rwymo, a'i roddi yn llaw ei elynion, na hyny. Eto nid oedd gwaith gwŷr Juda fawr well na llofruddiaeth, pan y traddodent ef i'r rhai a geisient ei einioes.

Adn. 13. *Na ruthrwn*] Hyny yw, ni'th laddwn di; ni wnawn ddim ond dy draddodi iddynt hwy yn rhwym. *A rhwymasant ef â dwy raff newydd*—un am ei ddwylaw, a'r llall am ei draed, neu am ei freichiau, adn. 14. *Ac a'i dygasant ef i fyny o'r graig*—yn debygol o ogof ag ydoedd yn nghraig Etam, adn. 8.

Adn. 14. *A phan ddaeth efe i Lehi*] Oddeutu chwe milldir o Etam; *y Philistiaid a floeddiasant wrth gyfarfod âg ef*—o orfoledd fod eu gelyn mewn dalfa. *Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef*—yn ysbryd o wroldeb a nerth annghyffredin, fel o'r blaen, pen. xiv. 6, 19. *A'r rhaffau oedd am ei freichiau a aethant fel llin a losgasid yn tân*—nid oeddynt ddim cryfach na rhaffau o ludw o'i flaen; *a'r rhwymau a ddattodasant*—Hebraeg, 'a doddasant oddiam ei ddwylaw ef,' fel cŵyr o flaen tân, neu eira yn ngwres yr haul. Dichon fod ei freichiau ef wedi eu rhwymo wrth ei gorff âg un raff ar draws y ddwy elin, a bod ei ddwylaw wedi eu rhwymo wrth eu gilydd â'r llall, er ei ddiogelu yn sicrach; modd bynag, efe a gafodd ei freichiau yn rhyddion gyda'r hawsder mwyaf.

Adn. 15. *Ac efe a gafodd ên asyn îr*] Ac felly yn fwy gwydyn a chryf. Ond tybia Clarke fod y gair *teriyah*, yr hwn a gyfieithir yma *îr*, i'w ddeall fel yn arwyddo *cyflwr pydredig* yr asyn, ar gyfrif yr hyn y gallai efe yn hawddach ei dynu yn rhydd. Yr oedd hyn, ebai efe, 'yn amgylchiad priodol i'w goffâu gan yr hanesydd, ac yn arwydd o ragluniaeth Duw: ond pe deallem ef am *asgwrn îr*, newydd ei ysgaru o ben asyn, nid ymddengys yr amgylchiad yn werth ei goffâu.' *Ac a laddodd â hi fil o wŷr*—un ond odid ar bob ergyd. Tybiodd rhai fod y Philistiaid hyn ar y pryd yn anarfog, ac wedi eu taraw â dychryn mawr, gan ofni y byddai i'r tair mil o wŷr Juda gynorthwyo Samson. Ond diamau fod hyn i'w briodoli yn benaf i allu a rhagluniaeth Duw, yr hwn fel hyn a gyflawnai ei addewid i'w bobl, y byddai i un gŵr erlid mil, ac nad allai neb sefyll o'u blaen, Jos. xxiii. 10.

Adn. 16. *A gên asyn, pentwr ar bentwr*] Fel pe dywedasai, Lleddais ddigon i wneyd nid yn unig un pentwr, ond dau bentwr neu fwy o gelaneddau. *A gên asyn y lleddais fil o wŷr*—tybia Scott fod Samson yma yn canu ei glod ei hun, yn lle rhoddi y gogoniant i Dduw; ond nid yw hyny yn debyg, gan ei fod ddwywaith yn y gân hon yn cydnabod gwaelder yr offeryn, sef 'gên asyn;' ac yn adn. 18 efe a addefa mai yr Arglwydd a roddasai iddo y fuddugoliaeth hon. 'Nis gallaf fi weled priodoldeb y cyfieithiad hwn o'r geiriau Hebreig *bilchi hachamor, chamor chamorathayim*,' ebai Clarke: 'yr wyf fi yn credu y dylent gael eu cyfieithu fel hyn: 'A gên yr asyn hwn, asyn (ebol) dau asyn; â gên yr asyn hwn y lleddais fil o wŷr.' Ymddengys mai cân orfoleddus oedd hon ar yr achlysur; ac y mae y geiriau yn cael eu cyfieithu yn amrywiol yn y cyfieithiadau, a chan esbonwyr.' 'Y mae yn hynod na ddarfu i wŷr Juda ddyfod yn awr, o leiaf, i'w gynorthwyo ef. Eithr yr oedd efe i fod yn gysgod o hono Ef, yr hwn a sathrodd y gwinwryf ei hun.'—Benson. Ond gwel yr adfeddyliadau yn niwedd pen. xvi.

Adn. 17. *A phan orphenodd efe lefaru*] Neu ganu y gân uchod amrai weithiau drosodd; *efe a daflodd yr ên o'i law*—efe a'i daliai yn ei law tra yn canu, gan ddangos i bawb trwy ba fath offeryn gwael y rhoddasai Duw iddo y fuddugoliaeth; ac wedi iddo orphen, efe a'i taflodd ar y ddaear fel peth diwerth o hyny allan. *Ac a alwodd y lle hwnw Ramath-lehi*—hyny yw, 'codiad' neu 'dafliad ymaith yr ên.' *Cododd* hi oddiar y ddaear i ddechreu, a chododd hi drachefn fil o weithiau i daro y Philistiaid; ac yna *taflodd hi ymaith* ar ol gorphen ei waith; ac efe a roddodd i'r lle yr enw hwn i fytholi coffadwriaeth y weithred. Y mae yn debyg mai *Lehi* oedd enw y lle o'r blaen, adn. 9, 14; ac yn awr chwanegwyd *Ramath* ato, i arwyddo ddarfod iddo *godi* yr ên yn erbyn ei elynion, a'u lladd hwynt.

ac a lefodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Tydi a roddaist yn llaw dy was yr ymwared mawr yma: ac yn awr a fyddaf fi farw gan syched, a syrthio yn llaw y rhai dienwaededig?
19 Ond Duw a holltodd y cilddant
*oedd* yn yr ên, fel y daeth allan ddwfr o hono; ac efe a yfodd, a'i ysbryd a ddychwelodd, ac efe a adfywiodd: am hyny y galwodd efe ei henw En-haccore, yr hon *sydd* yn Lehi hyd y dydd hwn.
20 Ac efe a farnodd Israel yn nyddiau y Philistiaid ugain mlynedd.

## PENNOD XVI.

YNA Samson a aeth i Gaza; ac a ganfu yno buteinwraig, ac a aeth i mewn ati hi.
2 *A mynegwyd* i'r Gaziaid, Gan ddy-

Adn. 18. *Ac efe a sychedodd yn dost*] Yr hyn oedd effaith naturiol y llafur mawr ag yr aethai efe trwyddo; er y tybia rhai, yn ddisail, mai cerydd arno oedd y syched mawr hwn, am na roisai y gogoniant i Dduw yn y gân uchod. *Tydi a roddaist yn llaw dy was yr ymwared mawr yma*—yr oruchafiaeth uchod ar y Philistiaid trwy ladd mil o honynt â gên asyn, yr hyn oedd yn arwydd ac yn ernes o ymwared mwy ar ol hyn. *Ac yn awr a fyddaf fi farw gan syched*—ar ol cael achub fy mywyd mewn modd mor hynod? *A syrthio yn llaw y rhai dienwaededig*—sef y Philistiaid. Byddai hyn yn orfoledd mawr iddynt hwy, ond yn gwmwl ar ogoniant a chyfammod Duw.

Adn. 19. *Ond Duw a holltodd y cilddant oedd yn yr ên*] Neu yn hytrach, fel y gellir cyfieithu y wreiddiol, 'Duw a holltodd y *graig ag oedd yn Lehi*,' fel ag i beri i ffynnon darddu allan o honi. *Lehi* neu *lechi* yw y gair Hebreig am *ên;* ac arferai yr Iuddewon alw creigiau ysgythrog yn *gilddannedd:* gwel Scheuchzer, Houbigant, Waterland, Dodd, &c. *A'i ysbryd a ddychwelodd*—hyny yw, adfywiwyd ei natur a'i deimladau yn hynod trwy iddo yfed. *Am hyny y galwodd efe ei henw En-haccore*—sef 'ffynnon y llefwr,' neu 'yr erfyniwr,' i goffâu daioni Duw yn caniatâu iddo ddwfr i dori ei syched pan y llefodd efe arno. *Yr hon sydd yn Lehi hyd y dydd hwn*—pryd yr oedd yr hanes yn cael ei hysgrifenu. Dywed ymdeithwyr diweddar fod y ffynnon hon i'w gweled eto yn nghyffiniau Eleutheropolis, yr hon yn debygol yw yr hen Lehi.

Adn. 20. *Ac efe a farnodd Israel*] Hyny yw, efe a amddiffynai eu hachos, ac a ddialai ar eu gorthrymwyr. *Yn nyddiau y Philistiaid*—sef tra yr oedd y Philistiaid yn arglwyddiaethu arnynt, o law y rhai nis gallodd efe ddim ond *dechreu* eu gwaredu hwynt, pen. xiii. 5. *Ugain mlynedd*—y mae yn amlwg oddiyma nad yw blynyddoedd y barnwyr i gael eu hysgaru oddiwrth flynyddoedd y caethiwed neu y gorthrymder, ond i gael eu cynwys ynddynt, yr hyn sydd o bwys mawr i ni sylwi arno wrth geisio egluro y rhan ddyrys yma o'r amseryddiaeth ysgrythyrol. Y mae Talmud Jerusalem yn darllen yma *ddeugain mlynedd;* ond ni chydnabyddir hyn gan un ysgriflyfr Hebreig na chyfieithiad. Yn ol Calmet, dechreuodd yr ugain mlynedd hyn o lywodraeth Samson yn y ddeunawfed flwyddyn o ddarostyngiad Israel i law y Philistiaid; ac yr oedd efe yn farnwr mewn un cwr o'r wlad, ar yr un pryd ag yr oedd Eli yn archoffeiriad mewn cwr arall.

Adfeddyliadau.—Y mae llosgiad ŷd y Philistiaid trwy y llwynogod a'r ffaglau yn amgylchiad pur hynod; ac y mae *Ovid*, yn y pedwarydd llyfr o'i *Fasti*, yn adrodd hanes ag sydd yn dwyn tebygolrwydd mawr iddo, os nid yn cyfeirio ato. Sylwedd yr holl hanes yw hyn: Yr oedd yn arferiad yn Rhufain, yn mis Ebrill, i ollwng yn rhydd yn y chwareufa nifer o *lwynogod*, gyda ffaglau goleuedig ar eu cefnau; ac yr oedd y Rhufeiniaid yn cael hyfrydwch mawr wrth weled y creaduriaid hyn yn rhedeg oddeutu nes eu rhostio i farwolaeth gan y fflamiau a'u hamgylchynent. Ewyllysiai y bardd gael gwybod pa beth oedd dechread yr arferiad yma; a mynegwyd iddo fel y canlyn gan hen ŵr o ddinas Carseoli: 'Bachgenyn chwareus, oddeutu deng mlwydd oed, a ddaliodd lwynog yn ymyl prysglwyn, yr hwn a ddygasai ymaith lawer o ieir y gymydogaeth. Ar ol gwisgo ei gorff â gwellt a gwair, efe a osododd dân ynddo, ac a ollyngodd y llwynog yn rhydd. Y llwynog, i'r dyben i ochelyd y fflamiau, a redodd i'r cae ŷd, yr hwn oedd ar y pryd yn addfed i'r cryman; ac wrth i'r gwynt enyn y tân gyda mwy o rym, difäwyd y cnydiau yn gyffredinol. Er fod hir amser er pan ddygwyddodd hyn, y mae y cof am dano fyth yn aros; canys yn ol cyfraith y ddinas hon, y mae pob llwynog a ddelir i gael ei losgi i farwolaeth. Fel hyn y mae y genedl yn dedfrydu y llwynogod i gael eu llosgi yn fyw, yn gosp am ddinystr yr ŷd addfed gan un o'r creaduriaid hyn gynt.'—Ond y mae *Serrarius* a *Bochart* yn gwrthod y dechread hwn o'r arferiad a roddir gan *Ovid*, ac yn haeru fod yr arferiad wedi cael ei ddechread oddiwrth losgiad ŷd y Philistiaid gan lwynogod Samson. Ystyriant y dechread a briodolir i'r arferiad gan y Carseoliad uchod yn rhy orwag a dibwys i'w goffâu trwy ŵyl genedlaethol. Hefyd, nid yw *amser* ei chadwraeth yn cytuno âg amser y *cynauaf* oddeutu Rhufain ac yn yr Eidal, ond y mae yn cytuno yn berffaith âg amser y cynauaf yn Palestina, yr hwn a ddechreuai mor gynar ag Ebrill. Gan hyny casgla y gwŷr dysgedig hyn fod yn llawer mwy naturiol meddwl i'r Rhufeiniaid gael yr arferiad o Judea, lle ond odid y gallai llosgiad ŷd y Philistiaid fod yn cael ei goffâu yn flynyddol am ryw amser.

PEN. XVI. Adn. 1. *Yna Samson a aeth i Gaza*] Hon oedd un o bum prif-ddinas y Philistiaid, yn sefyll yn rhandir Simeon, ar lan Môr-y-canoldir, oddeutu 40 milldir o *Ramath-lehi*, lle yr oedd Samson o'r blaen. Yr oedd yn le cadarn iawn, yn sefyll ar fryn yn nghanol dyffryn, a'r dyffryn hwnw yn amgylchyn-

wedyd, Daeth Samson yma. A hwy
a gylchynasant, ac a gynllwynasant
iddo, ar hyd y nos, yn mhorth y ddin-
as; ac a fuant ddystaw ar hyd y nos,
gan ddywedyd, Y bore pan oleuo hi,
ni a'i lladdwn ef.
3 A Samson a orweddodd hyd han-
ner nos; ac a gyfododd ar hanner
nos, ac a ymaflodd yn nrysau porth y
ddinas, ac yn y ddau bost, ac a aeth
ymaith â hwynt yn nghyda'r bar, ac
a'*u* gosododd ar ei ysgwyddau, ac a'u
dyg hwynt i fyny i ben bryn *sydd* gyf-
erbyn â Hebron.
4 ¶ Ac wedi hyn efe a garodd wraig
yn nyffryn Sorec, a'i henw Dalila.
5 Ac arglwyddi y Philistiaid a aeth-
ant i fyny ati hi, ac a ddywedasant
wrthi, Huda ef, ac edrych yn mha *le
y mae* ei fawr nerth ef, a pha fodd y
gorthrechwn ef, fel y rhwymom ef i'w
gystuddio: ac ni a roddwn i ti bob un
fil a chant o arian.
6 A Dalila a ddywedodd wrth Sam-
son, Mynega i mi, atolwg, yn mha
*fan y mae* dy fawr nerth di, ac â pha
beth y'th rwymid i'th gystuddio.
7 A Samson a ddywedodd wrthi,
Pe rhwyment fi â saith o wdyn irion, y
rhai ni sychasai; yna y gwanychwn,
ac y byddwn fel gŵr arall.
8 Yna arglwyddi y Philistiaid a

---

edig gan fynyddoedd yn llawn o ffrwythau gwerthfawr. *Ac a ganfu yno buteinwraig*—ymddengys fod y gair *zonah* yma i'w gymeryd yn ei ystyr deublyg, am letŷwraig a phutan: gwel ar Jos. ii. 1.

Adn. 2. *Daeth Samson yma*] Ymddengys oddiwrth hyn fod ei enw a'i hanes ef yn dra adnabyddus trwy holl wlad y Philistiaid. *A hwy a gylchynasant*—cauasant yr holl fynedfeydd i'r ddinas, a gwyliasant hi ar hyd y nos; *ac a fuant ddystaw*—rhag ei aflonyddu ef i gymeryd mantais arnynt yn nhywyllwch y nos. *Y bore pan oleuo hi*—pryd y gallent ei wahaniaethu yn well, a bod yn sicrach o'u hergyd; *ni a'i lladdwn ef*—ymosodwn arno yn ddiarwybod iddo, pan ddelo at y porth i fyned allan trwyddo.

Adn. 3. *Ac a gyfododd ar hanner nos*] O'i wely halogedig, wedi ei frawychu ond odid gan ei gydwybod euog, neu trwy ryw argraff ar ei feddwl fod ei elynion yn cynllwyn iddo. *Ac a ymaflodd yn nrysau porth y ddinas*—gan godi y pyst o'r ddaear, ac heb ryddhau y bar haiarn oedd ar draws y drysau i'w cadw dan glo; *ac a'u gosododd ar ei ysgwyddau*—yn gyfanwaith fel yr oeddynt; *ac a'u dyg hwynt i fyny i ben bryn*—canys ar ol ennill dinasoedd, yr oeddid yn arferol o ddwyn y pyrth a'r barau ymaith fel arwyddion buddugoliaeth, a'u dodi yn nhemlau y blaid fuddugol. *Gyferbyn â Hebron*—neu, fel y mae rhai yn deall *al peney Chebron*, 'dyg hwynt i ben y bryn hwnw ag sydd *ar y ffordd i Hebron.*' Yr oedd Hebron ei hun yn sefyll ugain milldir o Gaza. Gwnaeth Samson hyn oll, nid mewn gwâg-ymffrost, eithr i roddi prawf o'i nerth mawr, er cefnogaeth i'w bobl i ymuno âg ef yn galonog; ac hefyd i frawychu a dirmygu y Philistiaid. Gall ymddangos yn hynod ddarfod i Samson, yn union ar ol y fath bechod aflan, gael gwroldeb a nerth gan Dduw i'r fath waith mawr. Ond, yn gyntaf, y mae yn debyg fod Samson i ryw fesur wedi edifarhau am ei bechod, gan ofyn i Dduw am faddeuant a chymhorth. Ac, yn ail, nid oedd y nerth a'r gwroldeb hynod hwn ynddo ei hun yn ras, ond yn ddawn; ac yr oedd yn gyfryw ddawn ag a ddibynai yn fwy ar iawn reoleiddiad ei gorff yn ol rheolau Nazareaeth, nag ar duedd-rwydd moesol ei feddwl.

Adn. 4. *Ac wedi hyn efe a garodd wraig yn nyffryn Sorec*] Lle oddeutu 35 o filldiroedd yn uwch i'r gogledd na Gaza, gerllaw Estaol, cartref Samson; *a'i henw Dalila*—tybia Chrysostom ac ereill i Samson ei phriodi hi; ond ymddengys yn llawer tebycach nad oedd hi ond putan iddo, ac felly y dealla Josephus hi. Yr oedd Samson ysywaeth wedi ymwerthu yn llwyr iddi; ac y mae ei holl ymddygiad yn profi ei bod hi nid yn unig o genedl y Philistiaid, ond hefyd o'r cymeriad mwyaf anfad a thwyllodrus.

Adn. 5. *Arglwyddi y Philistiaid*] Pump mewn rhifedi, y rhai a arglwyddiaethent ar bum dinas neu dywysogaethau bychain, pen. iii. 3, Jos. xiii. 3. *Edrych yn mha le y mae ei fawr nerth ef*—yr oeddynt yn gweled nad oedd ei gorffolaeth ef yn fawr iawn; ac wrth ystyried hynodrwydd ei nerth, tybient mai effaith rhyw swyngyfaredd ydoedd. *Fel y rhwymom ef i'w gystuddio*—ar ol ei amddifadu yn gyntaf o'i nerth goruwchnaturiol. Ni sonient ddim am ei ladd ef, rhag na chydsyniai hi â hyny; ac fe allai nad oeddynt yn bwriadu dim mwy na thynu ei lygaid, ei gaethiwo, a'i wneuthur yn wawd cyffredin iddynt, adn. 20, &c. *Ac ni a roddwn i ti bob un fil a chant o arian*—sef siclau arian, yr hyn oddiwrth bump o honynt, yn ol 2*s.* 6*c.* y sicl, a gyrhaeddai i £687. 10*s.* o'n harian ni.

Adn. 6. *Mynega i mi, atolwg, yn mha fan*] Neu yn mha beth y mae dy nerth yn gynwysedig; *ac â pha beth y'th rwymid i'th gystuddio*—ymddengys fod hyn yn cyfeirio yn fwy at y peth oedd ganddi mewn golwg, nag at yr hyn a ddywedai mewn geiriau; canys prin y gallwn feddwl iddi son am ei *gystuddio*, onidê deallasai Samson fod ganddi ryw ddrwgfwriad yn ei erbyn ef.

Adn. 7. *Pe rhwyment fi â saith o wdyn irion*] Neu wiail irion ystwyth o'r winwydden, y gollen, neu y fêr-helygen, wedi eu nyddu fel rhaff: ond y mae y LXX a'r Vulgate yn eu deall am raffau wedi eu gwneuthur o *ewynau* neu *gewyn irion anifeiliaid*, y rhai sydd gryfion iawn, ac yn cael eu harferyd mewn rhai gwledydd i'r un dybenion a chadwyni haiarn yn ein plith ni. *Yna y gwanychwn*—yr oedd Samson yn euog o'r pechod o anwiredd, yn gystal ag o ffolineb mawr, wrth gefnogi ei holiadau, y rhai y dylasai efe ar y cyntaf eu hattal: ond gan ei fod ef wedi gadael Duw, fel y

ddygasant i fyny ati hi saith o wdyn
irion, y rhai ni sychasent; a hi a'i
rhwymodd ef â hwynt.
9 (A chynllwynwyr *oedd* yn aros
ganddi mewn ystafell) A hi a ddy-
wedodd wrtho ef, *Y mae* y Philistiaid
arnat ti, Samson. Ac efe a dorodd y
gwdyn, fel y torir edau garth wedi
cyffwrdd *â*'r tân: felly ni wybuwyd ei
gryfder ef.
10 A dywedodd Dalila wrth Sam-
son, Ti a'm twyllaist, ac a ddywedaist
gelwydd wrthyf: yn awr mynega i mi,
atolwg, â pha beth y gellid dy rwymo.
11 Ac efe a ddywedodd wrthi, Pe
gan rwymo y rhwyment fi â rhaffau
newyddion, y rhai ni wnaethpwyd
gwaith â hwynt; yna y gwanychwn,
ac y byddwn fel gŵr arall.
12 Am hyny Dalila a gymerth raff-
au newyddion, ac a'i rhwymodd ef â
hwynt; ac a ddywedodd wrtho, *Y
mae* y Philistiaid arnat ti, Samson.
(Ac *yr oedd* cynllwynwyr yn aros
mewn ystafell) Ac efe a'u torodd
hwynt oddiam ei freichiau fel edau.
13 A Dalila a ddywedodd wrth
Samson, Hyd yn hyn y twyllaist fi,
ac y dywedaist gelwydd wrthyf: myn-
ega i mi, â pha beth y'th rwymid.
Dywedodd yntau wrthi hi, Pe plethit
ti saith gudyn fy mhen yn nghyd
a'r wê.
14 A hi a'i gwnaeth yn sicr â'r hoel;
ac a ddywedodd wrtho ef, *Y mae* y
Philistiaid arnat ti, Samson. Ac efe
a ddeffrôdd o'i gwsg, ac a aeth ymaith
â hoel y garfan, ac â'r wê.
15 ¶ A hi a ddywedodd wrtho ef,
Pa fodd y dywedi, Cu genyf dydi, a'th
galon heb *fod* gyda mi? Teirgwaith
bellach y'm twyllaist, ac ni fynegaist
i mi yn mha *fan y mae* dy fawr nerth.
16 Ac o herwydd ei bod hi yn ei
flino ef â'i geiriau beunydd, ac yn ei
boeni ef; ei enaid a ymofidiodd i farw:

---

sylwa Benson, felly yr oedd Duw yn awr wedi ei adael yntau, onidê buasai i'w mynych a'i thaer ymgais hi beri iddo ei drwgdybio.

Adn. 8. *Yna arglwyddi y Philistiaid*] Wedi iddi fynegu iddynt mai â'r cyfryw bethau y gwanychid ef, a ddygasant y cyfryw yn ddirgel i Dalila; *a hi a'i rhwymodd ef â hwynt*—pan yr oedd efe yn cysgu yn feddw, meddai Josephus.

Adn. 9. *A chynllwynwyr oedd yn aros ganddi mewn ystafell*] Yn barod i ruthro arno wrth ei galwad hi. *Y mae y Philistiaid arnat ti, Samson*—ei hamcan wrth ddywedyd hyn oedd cael gweled a allai efe dori y gwdyn ai peidio; ac os na allai, yna yr oedd y Philistiaid yn barod i'w ddwyn ef ymaith. *Ac efe a dorodd y gwdyn*—cyn hawdded a phe na buasent ond edau ludw. *Felly ni wybuwyd ei gryfder ef*—y fan lle y gorweddai, na'r modd i'w wanhau.

Adn. 10. *A dywedodd Dalila wrth Samson*] Nid yn ddiatreg, ond yn mhen rhai dyddiau fe allai, pan y cafodd hi ef mewn tymher garuaidd eilwaith.

Adn. 11. *Rhaffau newyddion*] Sef rhai praffach a chryfach na'r gwdyn irion, ac felly yn anhawddach eu tori.

Adn. 12. *Rhwymodd ef â hwynt*] Am ei bod yn awyddus i ennill yr arian a gynygiesid iddi, adn. 5.

Adn. 13. *Mynega i mi â pha beth y'th rwymid*] Hyny yw, dywed y gwir, heb fy nhwyllo â chelwydd mwyach. Y mae hi yma yn llefaru yn fwy hyf a haerllug na'r ddau dro cyntaf, heb ddefnyddio y gair *atolwg;* a dylasai hyn beri iddo yntau ymgadarnhau yn fwy yn ei herbyn. *Pe plethit ti saith gudyn fy mhen yn nghyda'r wê*—y mae yn debyg fod Samson yn rhanu ei wallt yn saith o gudynau, y rhai a ymgrogent ar hyd ei ysgwyddau yn hirion iawn; ac efe a fynai iddi sicrhau y rhai hyn wrth garfan y gwehydd, neu eu plethu hwynt rywfodd wrth yr edafedd ag oedd yn y gwŷdd. Y mae yn debyg fod offeryn felly yn yr ystafell lle yr oeddynt, ac i Samson ddywedyd hyn wrth Dalila i gael llonydd ganddi. Y mae yn amlwg fod yr adnod hon yn terfynu yn gwta iawn, ac nad yw yn cynwys synwyr llawn. Ond y mae y LXX yn chwanegu yma, 'Pe plethit ti saith gudyn fy mhen yn nghyda'r wê, *a'u sicrhau hwynt â hoel yn y pared, yna y gwanychwn fel gŵr arall. Ac fel yr oedd efe yn cysgu, Dalila a gymerth saith gudyn ei ben ef, ac a'u plethodd hwynt yn nghyda'r wê*, a hi a'i gwnaeth yn sicr â'r hoel *yn y pared*, ac a ddywedodd wrtho ef,' &c. Y mae yr holl eiriau a argraffwyd yma mewn llythyrenau *italaidd* yn eisiau yn yr ailunau Hebreig presenol; ond ceir hwynt yn y LXX, ac y maent yn amlwg yn angenrheidiol i gwblhau y synwyr; canys hebddynt ymddengys fod Dalila yn gwneyd rhywbeth na orchymynwyd iddi ei wneuthur, ac yn gadael heb ei wneuthur yr hyn a orchymynwyd.

Adn. 14. *A hi a'i gwnaeth yn sicr â'r hoel*] Hi a wnaeth brawf o'r ddyfais hòno y cyfleusdra cyntaf wedi iddo gysgu; ac yna hi a'i dihunodd ef trwy ddywedyd fod y Philistiaid yn dyfod i'w ddal; ac yntau, wrth godi ei ben, a lusgodd y wê a rhan o'r gwŷdd ymaith gyda'i wallt.

Adn. 15. *A hi a ddywedodd wrtho ef*] Yn mhen rhyw amser wedi hyn, pan yr oedd efe yn ymgofleidio â hi, ac yn dywedyd wrthi ei bod yn *gu* iawn yn ei olwg. *Teirgwaith bellach y'm twyllaist*—yr hyn sydd brawf nad wyt yn fy ngharu; yn gyntaf gyda'r gwdyn irion, adn. 7; wedi hyny gyda'r rhaffau newyddion, adn. 11; ac yn awr gyda chudynau ei ben.

Adn. 16. *Ac o herwydd ei bod hi yn ei flino ef*] Trwy edliw iddo ei dwyll a'i gelwydd yn barhaus; *ac yn ei boeni ef*—wrth geisio cael gwybod ganddo yn mha le yr oedd ei nerth,

17 Ac efe a fynegodd iddi ei holl
galon; ac a ddywedodd wrthi, Ni
ddaeth ellyn ar fy mhen i: canys Na-
zaread i Dduw *ydwyf* fi o groth fy
mam. Ped eillid fi, yna y ciliai fy
nerth oddiwrthyf, ac y gwanychwn,
ac y byddwn fel gŵr *arall.*
18 A phan welodd Dalila fynegi o
hono ef iddi hi ei holl galon, hi a an-
fonodd ac a alwodd am bendefigion y
Philistiaid, gan ddywedyd, Deuwch i
fyny unwaith; canys efe a fynegodd i
mi ei holl galon. Yna arglwyddi y
Philistiaid a ddaethant i fyny ati hi,
ac a ddygasant arian yn eu dwylaw.
19 A hi a wnaeth iddo gysgu ar ei
gliniau; ac a alwodd ar ŵr, ac a bar-
odd eillio saith gudyn ei ben ef: a hi
a ddechreuodd ei gystuddio ef; a'i
nerth a ymadawodd oddiwrtho.
20 A hi a ddywedodd, *Y mae* y
Philistiaid arnat ti, Samson. Ac efe a
ddeffrôdd o'i gwsg, ac a ddywedodd,
Af allan y waith hon fel cynt, ac ym-
ysgydwaf. Ond ni wyddai efe fod yr
Arglwydd wedi cilio oddiwrtho.
21 ¶ Ond y Philistiaid a'i daliasant
ef, ac a dynasant ei lygaid ef, ac a'i
dygasant ef i waered i Gaza, ac a'i
rhwymasant ef â gefynau pres; ac yr
oedd efe yn malu yn y carchardy.
22 Eithr gwallt ei ben ef a ddech-
reuodd dyfu drachefn, ar ol ei eillio.
23 Yna arglwyddi y Philistiaid a

---

fel y gallai ennill yr arian, adn. 5; *ei enaid a ymofidiodd i farw*—rhwng awydd i'w boddhau hi, ac ofn bradychu ei hun, nid oedd ganddo ddim pleser o'i fywyd.

Adn. 17. *Ac efe a fynegodd iddi ei holl galon*] Yr oedd ef wedi dyfod yn lled agos i'r mater o'r blaen, pan soniodd am blethu cudynau ei *wallt;* ond yn awr daeth yn nes, gan fynegu iddi yr holl ddirgelwch. *Ni ddaeth ellyn ar fy mhen i*—canys gorchymynasai yr angel na wneid hyny iddo fel Nazaread, pen. xiii. 5; a chadwyd at y gorchymyn hwnw yn fanwl er pan anwyd ef. *Ped eillid fi, yna y ciliai fy nerth oddiwrthyf*—canys cadw ei wallt oedd un o'r ammodau iddo ef gael cadw ei nerth. Gadawodd yr Arglwydd ef i'r mawr ynfydrwydd hwn o fynegu ei holl gyfrinach i Dalila, yn gerydd arno am ei bechodau anfad gyda hi o'r blaen, ac yn gosp arno am gellwair gymaint â'r brofedigaeth. Ac yn hyn ni wyddom pa un i'w ryfeddu fwyaf, ai nerth ei gorff, ynte gwendid ei feddwl.

Adn. 18. *A phan welodd Dalila fynegu o hono iddi ei holl galon*] Hi a goeliodd iddo ddywedyd y gwir o'r diwedd, oddiwrth ei wedd, a'r difrifwch â'r hwn y llefarai; a dywed yr Iuddewon iddo dyngu iddi yn enw ei Dduw ei fod yn dywedyd y gwir y tro hwn. *Hi a anfonodd ac a alwodd am bendefigion y Philistiaid*—y rhai ond odid oeddynt wedi dychwelyd adref mewn anobaith erbyn hyn, ar ol cael eu siomi gynifer o weithiau. *Efe a fynegodd i mi ei holl galon*—coeliasant hwythau hyny yn awr, canys daethant yn ol ati, â'r arian addawedig yn eu dwylaw.

Adn. 19. *A hi a wnaeth iddo gysgu ar ei gliniau*] Trwy roddi iddo ond odid ryw ddiod gwsg. *Ac a barodd eillio saith gudyn ei ben*—yr hyn a gynwysai ei holl wallt ef. *A hi a ddechreuodd ei gystuddio ef*—ond odid trwy ei rwymo, ei ddyrnodio, ei bigo, a'i watwar fel moelyn, i edrych a oedd ei nerth ganddo. *A'i nerth a ymadawodd oddiwrtho*—yn ddiarwybod iddo fel ei wallt. Nid yn ei wallt ef yr oedd ei nerth, ond yn nghadwraeth cyfammod ei Nazâreaeth, ar ba ammodau y nerthai Duw ef i gyflawni y gwaith ag y bwriadai efe iddo ei wneuthur.

Adn. 20. *Ac efe a ddeffrôdd o'i gwsg*] Trwy iddi hi ei gystuddio, a gwaeddi fod y Philistiaid ar ymosod arno; *ac a ddywedodd*—wrth Dalila. *Af allan y waith hon fel cynt*—canys ni wyddai efe eto fod ei wallt wedi ei dori, na'i nerth wedi cilio; *ac ymysgydwaf*—o'r rhwymau hyn a roddaist am danaf. *Ond ni wyddai efe fod yr Arglwydd wedi cilio oddi wrtho*—fel ag i'w adael yn amddifad o'r nerth goruwchnaturiol â'r hwn y cynysgaethid ef pan yr oedd yn ffyddlon i ammodau ei Nazareaeth.

Adn. 21. *Ond y Philistiaid a'i daliasant ef*] Anturiasant ato wrth weled nad allai ymysgwyd o'r rhwymau a roddasai Dalila am dano; *ac a dynasant ei lygaid ef*—fel, os dychwelai ei nerth iddo drachefn, nas gallai weled pwy i'w daro. Yr oedd hyn nid yn unig yn arferiad yn y gwledydd hyny, ond hefyd yn gerydd priodol oddiwrth Dduw ar Samson, yr hwn oedd wedi rhodio mor hir yn ol 'chwant ei lygaid,' wrth edrych ar wragedd dyeithr. *Ac a'i dygasant ef i waered i Gaza*—am fod hòno yn ddinas fawr a chadarn, lle y gellid ei gadw yn ddiogel; ac ar lan y môr, yn mhell oddiwrth ei bobl ei hun; ac fel iawn i anrhydedd y ddinas hòno, i'r hon y dangosasai efe y fath anmharch: gwel ar adn. 1—4. Arferai *Cambyses*, brenin y Persiaid, pan yn rhyfela yn yr Aifft, anfon ei holl yspail i Gaza er diogelwch. *Ac a'i rhwymasant ef â gefynau pres*—neu lyffetheiriau am ei draed, y rhai a ystyrient yn gryfach nag un math arall; *ac yr oedd efe yn malu yn y carchardy*—fel yr arferai caethweision wneuthur: gwel y dull yn cael ei adrodd yn y sylw ar Exod. xi. 5. Trwy fod Samson yn ddyn cryf, dysgwylid iddo wneyd llawer o'r gwaith hwn â'i ddwylaw, er fod llyffetheiriau am ei draed, a'i fod yn ddall.

Adn. 22. *Eithr gwallt ei ben ef a ddechreuodd dyfu drachefn, ar ol ei eillio*] Neu i'r cyflwr ag yr ydoedd ynddo pan ei heilliwyd, a hyny ond odid mewn modd cyflym a goruwchnaturiol. Yn deimladwy o'i bechod a'i ynfydrwydd, efe a adnewyddodd adduned ei Nazareaeth gerbron Duw, ac adferwyd ei nerth iddo mewn atebiad i'w weddi, adn. 28.

Adn. 23. *I aberthu aberth mawr i Dagon eu duw*] Er y gwyddent mai Dalila a'i rhoddasai ef yn eu llaw hwynt, a'u bod wedi talu swm mawr o arian iddi am hyny, eto priodol-

ymgasglasant i aberthu aberth mawr i Dagon eu duw, ac i orfoleddu: canys dywedasant, Ein duw ni a roddodd Samson ein gelyn yn ein llaw ni.

24 A phan welodd y bobl ef, hwy a ganmolasant eu duw: canys dywedasant, Ein duw ni a roddodd ein gelyn yn ein dwylaw ni, yr hwn oedd yn anrheithio ein gwlad ni, yr hwn a laddodd lawer o honom ni.

25 A phan oedd eu calon hwynt yn llawen, yna y dywedasant, Gelwch am Samson, i beri i ni chwerthin. A hwy a alwasant am Samson o'r carchardy, fel y chwareuai o'u blaen hwynt; a hwy a'i gosodasant ef rhwng y colofnau.

26 A Samson a ddywedodd wrth y llanc oedd yn ymaflyd yn ei law ef, Gollwng, a gad i mi gael gafael ar y colofnau y mae y tŷ yn sefyll arnynt, fel y pwyswyf arnynt.

27 A'r tŷ oedd yn llawn o wŷr a gwragedd; a holl arglwyddi y Philistiaid *oedd* yno: ac ar y nen *yr oedd* yn nghylch tair mil o wŷr a gwragedd yn edrych tra yr ydoedd Samson yn chwareu.

28 A Samson a alwodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, O Arglwydd IOR, cofia fi, atolwg, a nertha fi, atolwg, yn unig y waith hon, O Dduw, fel y dialwyf *âg* un dialedd ar y Philistiaid am fy nau lygad.

---

ent hyn oll i Dagon. Dylai hyn beri cywilydd i lawer a gredant yn y gwir a'r bywiol Dduw, y rhai a geir yn fyr o briodoli iddo ef y pethau mawrion a wna efe erddynt ac iddynt yn wastadol! Yr oedd Dagon, fel môrforwyn, â'i hanner uwchaf ar lun benyw, a'i hanner isaf ar lun pysgodyn: gwel ar 1 Sam. v. 2, &c.

Adn. 24. *A phan welodd y bobl ef*] Yn ddall, ac mewn gefynau pres, ac wedi colli ei nerth; *hwy a ganmolasant eu duw*—mewn caniadau a wnaethent i'r perwyl hwnw, sylwedd pa rai a gawn yn niwedd yr adnod hon. Ymddengys oddiwrth yr adnod nesaf iddynt fyned ato i'r carchardy, i gael golwg arno yn ei gyflwr darostyngol a chaethiwus.

Adn. 25. *A phan oedd eu calon hwynt yn llawen*] Wedi ymlenwi â gwin; canys yr oedd Gaza yn le nodedig am win o'r math goraf; ac arferai y paganiaid fwyta ac yfed hyd annghymhedrolder yn eu gwleddoedd i'w heilunod. *Gelwch am Samson*—o'r carchardy, lle yr oeddynt wedi bod yn ei weled ef; *i beri i ni chwerthin*—fel y gallent yn y chwareudy ei watwar ef, a chwerthin am ben cawr wedi colli ei nerth a'i olygon, a thori ei adduned. *Fel y chwareuai o'u blaen hwynt*—yr oedd yn rhaid iddo ddangos iddynt pa fodd y cyflawnai ei orchestion gynt, megys lladd y llew, rhwymo y llwynogod, tori y rhaffau, dryllio ei elynion, a'i ystranciau ond odid gyda'i gariadau, &c. *A hwy a'i gosodasant ef rhwng y colofnau*—y rhai a gynalient yr adeilad; fel y caent well mantais i'w weled ef o bob cwr, neu fel y caent achos i chwerthin wrth weled y dall yn taraw yn eu herbyn.

Adn. 26. *Gad i mi gael gafael ar y colofnau*] Sef y ddwy ganol adn. 29: yr oedd yno lawer o golofnau ereill, ond y rhai hyn oedd yn cloi neu yn cynal y nen yn nghyd. *Fel y pwyswyf arnynt*—cymerai arno ei fod yn lluddedig, a diamau ei fod; a dymunai gael gorphwys am ychydig amser yn erbyn y rhai hyny.

Adn. 27. *A'r tŷ oedd yn llawn o wŷr a gwragedd*] Y rhai oeddynt wedi ymgasglu iddo o'r holl ddinas a'r wlad oddiamgylch, i gael golwg ar Samson, i aberthu i'w duw am ei roddi ef yn eu llaw hwynt, ac i orfoleddu am y fuddugoliaeth hon ar eu gelyn. *Ac ar y nen yr oedd yn nghylch tair mil*—heblaw y miloedd lawer ag oeddynt o fewn y tŷ. Y mae yn debyg fod y deml neu y chwareufa hon yn fath ar adeilad gron; a bod ei nen yn lleddf, ac yn llawn o drawstiau yn cyraedd oddiar y mur amgylchynol at y ddwy golofn ganol, fel ag i orphwys arnynt; a bod agoriadau rhwng y trawstiau hyny wedi eu gweithio â chanllawiau, fel y gellid oddiar y nen weled y cwbl oddifewn. Sonia *Pliny* am ddwy chwareufa fawr, wedi eu hadeiladu gan Curio yn amser Iŵl Cesar, a bod nen pob un yn cael ei chynal gan un golofn; a chrybwylla *Tacitus* am syrthiad chwareufa, trwy yr hyn y cafodd 50,000 o bobl eu lladd neu eu clwyfo ar unwaith.

Adn. 28. *A Samson a alwodd ar yr Arglwydd*] Yn uchel a chyhoeddus yn nheml y duw Dagon. *O Arglwydd Ior*—gwel ar Jos. iii.13; *cofia fi, atolwg*—yn fy swydd fel barnwr Israel, a chynrychiolydd dy bobl a'th enw dy hun; cofia fi yn dy drugaredd faddeuol, ac edrych yn dosturiol arnaf dan fy ngwarth a'm trallod; *a nertha fi, atolwg*—â'r cryfder ag yr arferwn ei gael oddiwrthyt fel Nazaread er achub a barnu dy bobl; *fel y dialwyf âg un dialedd ar y Philistiaid*—unwaith am byth, a hyny yn effeithiol a chyffredinol; *am fy nau lygad*—am iddynt eu tynu o'm pen, adn. 21. Yr oedd y weddi hon yn tarddu, meddai Benson, nid oddiar falais ac ysbryd dial personol, ond oddiar sel dros ogoniant Duw, yr hwn a ddianrhydeddid yno yn gyhoeddus; ac oddiar awydd i waredu Israel odditan iau y Philistiaid, yr hyn oedd yn ddyled arno ei wneyd fel BARNWR hyd eithaf ei allu. A Duw, yr hwn ni fuasai yn arferyd ei hollalluogrwydd i foddio malais unrhyw un, a amlygodd yn y diwedd ei fod ef yn derbyn ac yn addef gweddi Samson fel hyfforddiad ei Ysbryd ei hun. Y mae yn wir mai y niwed personol a wnaed gan y Philistiaid iddo ei hun a grybwyllir ganddo yn y weddi hon, ac nid y sarhad a ddanghosid ganddynt i Dduw a'i bobl; eto gellir priodoli hyny ond odid i'r un gofal call ag a ddangosasai efe ar achlysuron o'r blaen, i dynu cynddaredd y Philistiaid arno ei hun yn unig, gan ei droi oddiwrth y bobl: gwel ar pen. xv. 5.

Adn. 29. *A Samson a ymaflodd yn y ddwy*

29 A Samson a ymaflodd yn y ddwy golofn ganol, y rhai yr oedd y tŷ yn sefyll arnynt, ac a ymgynaliodd wrthynt, un yn ei ddeheulaw, a'r llall yn ei law aswy.
30 A dywedodd Samson, Bydded farw fy einioes gyda'r Philistiaid. Ac efe a ymgrymodd â'*i holl* nerth; a syrthiodd y tŷ ar y pendefigion, ac ar yr holl bobl *oedd* ynddo: a'r meirw y rhai a laddodd efe wrth farw, oedd fwy nag a laddasai efe yn ei fywyd.
31 A'i frodyr ef, a holl dŷ ei dad ef, a ddaethant i waered, ac a'i cymerasant ef, ac a'*i* dygasant i fyny, ac a'i claddasant ef rhwng Sora ac Estaol, yn meddrod Manoa ei dad. Ac efe a farnasai Israel ugain mlynedd.

---

*golofn ganol*] Gan ddal ei freichiau ar led yn debyg i Grist ar y groes, pan yr oedd yn buddugoliaethu ar bechod a Satan: gwel ar Exod. xvii. 12. *Ac a ymgynaliodd wrthynt*—Saes. 'ac ar ba rai yr oedd [y tŷ] yn cael ei gynal.' *Un yn ei ddeheulaw, a'r llall yn ei law aswy*—gan *gredu* y byddai i Dduw gyfryngu yn ei achos ef, neu ei gynysgaethu â nerth goruwchnaturiol i gyflawni yr hyn a fwriadai: ac at y *ffydd* hon ond odid y cyfeirir yn benaf yn Heb. xi. 32.

Adn. 30. *Bydded farw fy einioes gyda'r Philistiaid*] Hyny yw, yr wyf yn foddlon i farw, os gallaf trwy hyny fod yn foddion i amddiffyn gogoniant y gwir Dduw, a dwyn gwaredigaeth i'w bobl ef. Nid oes yma ddim cefnogaeth i hunan-leiddiaid gwirfoddol. Yr oedd Samson, trwy ei swydd fel barnwr, yn rhwym o ddyfetha y cablwyr a'r gelynion hyn i Dduw, a gorthrymwyr ei bobl ef, y rhai yr oedd cwpan eu hanwiredd yn awr yn llawn; ond nis gallai efe, dan yr amgylchiadau hyn, effeithio hyny heb drengu ei hun; ac yr oedd ef yn foddlon i golli ei einioes ei hun er cyraedd yr amcan hwnw, fel cadfridog yn marw ar faes y gwaed wrth geisio dyfetha ei elynion. Yn mhellach, gallwn nodi ddarfod i Samson wneuthur hyn oll trwy gyfarwyddyd dwyfol, fel y mae yn eglur oddiwrth atebiad Duw i'w weddi ef yn y mater hwn; ac yr oedd ef yn hyn oll, meddai rhai, yn gysgod o Grist, yr hwn, wrth ymostwng yn wirfoddol i farwolaeth, a ddinystriodd trwy hyny elynion Duw a'i bobl. *Ac efe a ymgrymodd â'i holl nerth*—yn erbyn y colofnau, i'w gwthio hwynt i lawr, neu i'w codi i fyny; *a syrthiodd y tŷ ar y pendefigion*—sef pum arglwydd y Philistiaid, adn. 5, ac îs-lywiawdwyr ereill ond odid; *ac ar yr holl bobl*—y rhai, trwy y tair mil ag oeddynt ar nen y tŷ, a raid fod o leiaf oddeutu *naw mil*, gan y gallwn feddwl fod dau i fewn am bob un ag oedd allan. *Fwy nag a laddasai efe yn ei fywyd*—yr oedd ef wedi lladd o'r blaen ddeg-ar-hugain yn Ascalon, pen. xiv. 19; a mil yn Lehi, pen. xv. 15; heblaw y 'lladdfa fawr' yn Timnath, pen. xv. 8: ond yn awr, wrth farw ei hun yn Gaza, efe a laddodd lawer mwy na'r lleill oll gyda'u gilydd.

Adn. 31. *A'i frodyr ef*] Torf fawr o'i berthynasau; canys yr oedd ei dad erbyn hyn wedi marw; *a ddaethant i waered*—i Gaza; *ac a'i dygasant i fyny*—ond odid i Sora; *ac a'i claddasant ef rhwng Sora ac Estaol*—lle yr oedd efe yn aros pan ddechreuodd Ysbryd yr Arglwydd ei gynhyrfu ef, pen. xiii. 25, a lle hefyd y claddesid ei dad. Yr oedd y Philistiaid erbyn hyn wedi eu lleihau i'r fath raddau trwy y difrod mawr hwn, ac wedi eu gordoi â'r fath alar am eu meirw, fel nad oedd ynddynt galon i rwystro cyfeillion Samson rhag cymeryd ymaith ei gorff ef; a dichon fod yn dda ganddynt i'w gorff ef gael ei gladdu mewn rhyw le allan o'u gwlad hwy. *Ac efe a farnasai Israel ugain mlynedd*—gwel ar pen. xv. 20. Meddylir nad oedd Samson uwchlaw 40 mlwydd oed pan y bu farw. Fel y sylwyd eisioes, tybia llawer fod Samson ac Eli yn cydoesi fel barnwyr, mewn dau barth gwahanol o'r wlad; neu ynte, mai gwaith neillduol Samson oedd dial dwyfol gyfiawnder ar elynion ei bobl, tra yr oedd Eli yn gweinyddu deddfau gwladol a chrefyddol yr Hebreaid.

ADFEDDYLIADAU.—Y mae y rhan fwyaf o'r tadau, a'r esbonwyr diweddar bron yn gyffredinol, wedi ystyried Samson fel *cysgod o Grist;* nid yn wir yn ei feiau, ond yn ei ddoniau a'i amgylchiadau gwaredigaethol. Cafodd ei enedigaeth yntau ei chyhoeddi yn mlaenllaw gan angel, pan yr oedd ei fam fel Sara a'r Forwyn bur, yn anmhlantadwy. Yr oedd ef yn Nazaread o'r groth, ac wedi ei gynysgaethu â nerth goruwchnaturiol. Yr oedd yn drech na'i elynion, fel yr oedd ein Harglwydd bendigedig yn drech na'i elynion yntau. Cafodd Samson ei fradychu i ddwylaw ei elynion, fel ein Hiachawdwr; a'i rwymo, ei wawdio, a'i gystuddio. Bu hefyd farw yn wirfoddol, â'i ddwylaw ar led, gan weddio ar ei Dad; ac wrth farw darfu iddo yntau, fel ein Hiachiawdwr, faeddu ei elynion, dryllio iau y gorthrymydd, a chaffael heddwch i'w bobl. A dywedir ei fod yn gysgod o Grist yn ei adgyfodiad, pryd y drylliodd efe byrth y bedd, yn ei waith yn ymaflyd yn nrysau porth dinas Gaza, gan eu dwyn i ben y bryn, adn. 3. Y mae yn wir fod yma ryw fath ar gyd-darawiad neu debygoliaeth mewn rhai pethau; a thrwy ddychymyg bywiog, a dirdyniad geiriau a ffeithiau, onid ellid gwthio neu ddirgymhell tebygoliaethau yn mhob man? Ond yr wyf fi yn meddwl na fydd i unrhyw debygoliaeth rhwng Crist a Samson ddeilliaw yn naturiol oddiwrth gydmhariaeth bwyllig a diduedd o'r ddau; ac ni ddywedir mewn un man yn y gyfrol santaidd fod y naill yn gysgod o'r llall. Prin y ceir cymeriad gwaeth nag eiddo Samson yn enwedig tua chanol a diwedd ei oes, ar ddalenau hanesiaeth gyffredin na chysegredig; ac am hyny nis gallwn edrych arno fawr lai na dianrhydedd i'n Hiachawdwr bendigedig, fod iddo gael ei gydmharu â'r fath un! Nid oes dim yn ansawdd meddwl Samson, na dim yn ei ymddygiad moesol ef, a all roddi hawl iddo i'r tebygolrwydd lleiaf rhyngddo a'r Iesu pur, santaidd, a difrycheulyd. Y mae y rhai a'i cydmharant ef i *Hercules* wedi bod yn llawer

## PENNOD XVII.

AC yr oedd gŵr o fynydd Ephraim,
a'i enw Mica.
2 Ac efe a ddywedodd wrth ei fam,
Y mil a'r can *sicl* arian a ddygpwyd
oddiarnat, ac y rhegaist *am danynt*, ac
y dywedaist hefyd lle y clywais; wele,
yr arian gyda mi, myfi a'i cymerais.
A dywedodd ei fam, Bendigedig *fydd-
ych*, fy mab, gan yr Arglwydd.
3 A phan roddodd efe y mil a'r can
*sicl* arian adref i'w fam, ei fam a ddy-
wedodd, Gan gysegru y cysegraswn
yr arian i'r Arglwydd o'm llaw, i'm
mab, i wneuthur delw gerfiedig a
thoddedig: am hyny yn awr mi a'i
rhoddaf eilwaith i ti.
4 Eto efe a dalodd yr arian i'w fam.
A'i fam a gymerth ddau can *sicl* o
arian, ac a'u rhoddodd i'r toddydd; ac
efe a'u gwnaeth yn ddelw gerfiedig, a
thoddedig: a hwy a fuant yn nhŷ
Mica.
5 A chan y gŵr hwn Mica *yr oedd*
tŷ duwiau; ac efe a wnaeth ephod, a
theraphim, ac a gysegrodd un o'i feib-
ion i fod yn offeiriad iddo.
6 Yn y dyddiau hyny nid *oedd* bren-
in yn Israel; ond pob un a wnai *yr
hyn oedd* uniawn yn ei olwg ei hun.

---

mwy llwyddiannus; ac yn wir ymddengys fod duw nerthol paganiaeth wedi cael ei ddychymygu oddiwrth y barnwr Israelaidd hwn: ond os ystyriwn y modd yr oedd *Hercules* yn dewis rhinwedd yn hytrach na hunan-foddhad, ni a welwn fod y pagan hwnw, a llefaru yn foesol, yn tra-rhagori ar yr Iuddew hwn.

PEN. XVII. Adn. 1. *Ac yr oedd gŵr o fynydd Ephraim*] Yma y dechreua yr hyn y gellir ei alw yn ATTODIAD I LYFR Y BARNWYR, yr hwn a gynwysa hanes amrai orchwyliaethau pwysig a gymerasent le yn neu oddeutu amser y barnwyr, y rhai a gadwyd i'w coffâu yn y pum pennod ganlynol wrthynt eu hunain, rhag eu cymysgu â hanes y barnwyr. Yn y bennod hon dyry yr awdwr hanes am y modd y daeth eilunaddoliaeth i mewn i lwyth Ephraim, yn fuan ar ol marwolaeth Josua a'r henuriaid, a chyn codi y barnwyr ond odid: gwel ar pen. ii. 10, &c. Yn pen. xviii, rhoddir hanes am y modd y llygrwyd llwyth Dan. Ac yna, yn pen. xix, adroddir am weithred dra chreulon a gwarthus gan rai o'r Benjaminiaid; ac, yn pen. xx, am lwyr ddinystr y llwyth hwnw o'r herwydd, oddieithr chwe chânwr. Ac yn ddiweddaf, yn pen. xxi, adroddir pa fodd y cadwyd llwyth Benjamin rhag hollol ddiwreiddiad: gwel ar adn. 6. *A'i enw Mica*—tybia rhai mai *Micaiah*, 'un fel Duw,' oedd ei enw ef ar y cyntaf; ac mai wedi iddo syrthio i eilunaddoliaeth y galwyd ef *Mica*, 'tylawd' neu 'isel.'

Adn. 2. *Ac efe a ddywedodd wrth ei fam*] Yr hon yr ymddengys ei bod yn *weddw*, gan na sonir am ei gŵr; yn *gyfoethog*, trwy fod ganddi gymaint o arian; ac yn *hen*, trwy fod ganddi ŵyr yn ddigon hen i fod yn offeiriad, adn. 5. *Y mil a'r can sicl arian*—yr hyn, yn ol 2*s*. 6*c*. yr un, a gyrhaeddai i £137. 10*s*. o'n harian ni. *Ac y rhegaist am danynt*—sef melldithio y lleidr, pwy bynag ydoedd. Ymddengys i'r fam draethu y rheg hon yn nghlyw ei mab; yr hwn, gan ofni i'w melldith hi ddisgyn arno, a gyfaddefodd mai efe a gymerasai yr arian; a hithau erbyn hyn ar ol dofi ei nwydau, a ddymunai i'w melldithion gael eu troi yn fendithion iddo ef. Ond y mae Houbigant ac ereill yn deall y *rheg* hon yn yr ystyr o roddi ei mab ar ei *lw*, neu ei *dynghedu*.

Adn. 3. *Gan gysegru y cysegraswn yr arian*] Hyny yw, yr oedd hi, cyn colli yr arian hyn, wedi bwriadu eu cysegru hwy at wasanaeth yr Arglwydd, yr hyn a barasai iddi flino cymaint yn eu cylch; neu, ar ol eu colli, hi a benderfynai eu cysegru felly os cai hwynt yn ol. *I'r Arglwydd*—sef i JEHOFA; oddiwrth yr hyn y mae yn amlwg nad oedd hi na'i mab yn meddwl ymwrthod â'r gwir Dduw, ond yn unig ei addoli ef trwy ddelwau; ac am hyny llawenychodd Mica pan gafodd efe offeiriad tebycach i'r rhai hyny o benodiad yr Arglwydd. Eu bai hwy oedd gynwysedig mewn addoli Duw yn ol eu dychymygion eu hunain, ac nid megys y gorchymynasai efe: a dengys y bennod hon a'r un ganlynol, fod yr Israeliaid y pryd hyn wedi syrthio i'r anwybodaeth dyfnaf a mwyaf cywilyddus o Dduw a'i gyfraith. *I'm mab*—at dy wasanaeth dy hun a'th deulu, fel na byddo raid i chwi fyned yn barhaus i addoli i Silo, ond y galloch wneuthur hyny gartref. *Am hyny yn awr mi a'u rhoddaf eilwaith i ti*—i wneuthur delw â hwynt.

Adn. 4. *Eto efe a dalodd yr arian i'w fam*] Wedi i'w fam ganiatâu iddo gadw yr arian hyn, neu wedi iddi eu dychwelyd hwynt i'w mab, efe a'u rhoddodd yn ol iddi drachefn; nid am ei fod yn annghymeradwyo ei bwriad eilunaddolgar hi, ond fel y byddai ef yn rhydd oddiwrth y felldith, ac fel y byddai iddi hi wneyd a fynai â hwynt. *A'i fam a gymerth ddau can sicl*—i'w gwneyd yn ddelwau, un yn gerfiedig a'r llall yn doddedig, pen. xviii. 18, gan gadw y naw can sicl ereill i wneuthur dodrefn y cysegr â hwynt; neu, fel y tybia rhai, hi a roddodd ddau can sicl i'r toddydd am weithio y naw cant ereill yn ddelwau. *A hwy a fuant yn nhŷ Mica*—mewn ystafell gysegredig i'r perwyl: gwel isod.

Adn. 5. *A chan y gŵr hwn Mica yr oedd tŷ duwiau*] Gellir cyfieithu *Beth Elohim* yn fwy priodol, *teml* neu *dŷ Dduw;* hyny yw, yr oedd ganddo ystafell yn ei dŷ ei hun wedi ei bwriadu i fod yn efelychiad o'r tabernacl yn Silo. *Ac efe a wnaeth ephod*—gwel ar Exod. xxv. 7; *a theraphim*—gwel ar Gen. xxxi. 19; *ac a gysegrodd un o'i feibion*—ei fab hynaf ond odid, mewn efelychiad i fab hynaf yr archoffeiriad. Fel hyn yr oedd gan Mica grynodeb o'r tabernacl, ei ddodrefn, a'i wasanaeth, yn ei dŷ ei hun.

Adn. 6. *Yn y dyddiau hyny nid oedd brenin yn Israel*] Yr oedd Josua a'r henuriaid wedi marw, a'r barnwyr heb ddechreu cael eu

7 ¶ Ac yr oedd gŵr ieuanc o Beth-
lehem Juda, o dylwyth Juda, a Lef-
iad *oedd* efe; ac efe a ymdeithiai yno.
8 A'r gŵr a aeth allan o'r ddinas o
Bethlehem Juda, i drigo pa le bynag
y caffai *le:* ac efe a ddaeth i fynydd
Ephraim i dŷ Mica, yn ei ymdaith.
9 A Mica a ddywedodd wrtho, O
ba le y daethost ti? Dywedodd yntau
wrtho, Lefiad *ydwyf* o Bethlehem Ju-
da; a myned yr ydwyf i drigo lle caff-
wyf *le.*
10 A Mica a ddywedodd wrtho,
Trig gyda mi, a bydd i mi yn dad ac
yn offeiriad; a mi a roddaf i ti ddeg
*sicl* o arian bob blwyddyn, a phâr o
ddillad, a'th luniaeth. Felly y Lefiad
a aeth i mewn.
11 A'r Lefiad a fu foddlawn i aros
gyda'r gŵr; a'r gŵr ieuanc oedd iddo
fel un o'i feibion.
12 A Mica a urddodd y Lefiad; a'r
gŵr ieuanc fu yn offeiriad iddo, ac a
fu yn nhŷ Mica.
13 Yna y dywedodd Mica, Yn awr
y gwn y gwna yr Arglwydd ddaioni i
mi; gan fod Lefiad genyf yn offeiriad.

## PENNOD XVIII.

YN y dyddiau hyny nid *oedd* brenin
yn Israel: ac yn y dyddiau hyny
llwyth y Daniaid oedd yn ceisio idd-

---

codi: gwel ar adn. 1. Y mae y gair *melech,* yr hwn yn gyffredin a arwydda *frenin,* i'w ddeall weithiau am *lywodraethwr, barnwr,* neu *brif-ynad;* a meddylir y dylid ei ddeall felly yma. *Ond pob un a wnai yr hyn oedd uniawn yn ei olwg ei hun*—a hyn oedd yr achos o bechod Mica, trwy nad oedd un swyddog goruchel i gymeryd sylw o'i eilunaddoliaeth ef, i'w attal rhagddo, nac i'w gospi am dano yn ol y gyfraith. 'Pan y mae ewyllys, nwydau, a mympwy dyn ei hun i'w gwneuthur yn rheol cyfraith, y mae cymdeithas mewn cyflwr tra pheryglus a dinystriol. Llywodraeth wladol sydd o Dduw; ac hebddi byddai raid i'r ddaear yn ebrwydd gael ei hannghyfaneddu. Bu amser pryd nad oedd brenin yn *Lloegr;* ac yr oedd hwnw, yn y cyffredin, yn amser o warth i grefydd, ac o orthrymder i ddynion.' —CLARKE.

Adn. 7. *Ac yr oedd gŵr ieuanc o Bethlehem Juda*] Yno y ganed ac y dygwyd ef i fyny. *O dylwyth Juda*—o du ei fam; *a Lefiad oedd efe*—o du ei dad, ac o ran ei swydd. Gallai Lefiad briodi i unrhyw lwyth, os na fyddai ei wraig yn etifeddes.

Adn. 8, 9. *I drigo pa le bynag y caffai le*] Neu ryw fath o gynaliaeth, canys nid oedd etifeddiaeth gan y Lefiaid: ac hefyd, trwy nad oedd y degwm a'r offrymau yn cael eu dwyn i dŷ Dduw er cynaliaeth iddynt, yr oedd y Lefiaid a'r offeiriaid wedi eu darostwng i amgylchiadau isel iawn yn yr amseroedd penrhydd hyny. Ond tybia rhai mai oferddyn crwydrol oedd y gŵr ieuanc hwn, yr hwn yr oedd yn well ganddo deithio o le i le na chyflawni ei ddyledswyddau fel Lefiad. *I dŷ Mica*—yr hwn oedd yn ŵr cyfoethog a lleteugar i ddyeithriaid: a dichon ei fod wedi clywed am y ffurf newydd o addoliad ag oedd wedi cael ei sefydlu yno.

Adn. 10. *Bydd i mi yn dad*] I'w addysgu yn y wybodaeth o bethau crefyddol; canys gelwid dysgawdwyr a phroffwydi yn 'dadau,' a'u dysgyblion yn 'feibion' iddynt. *Ac yn offeiriad*—i offrymu aberthau drosto, ac i ymgynghori â Duw ar ei ran. *Mi a roddaf i ti ddeg sicl o arian bob blwyddyn*—sef £1. 5*s.* o'n harian ni, heblaw bwyd a dillad; *a phâr o ddillad*—meddylir fod y *pâr* dillad yn cyfeirio at ei ddillad cyffredin a'i wisgoedd offeiriadol. *Felly y Lefiad a aeth i mewn*—ar yr ammodau hyn.

Adn. 11. *A'r Lefiad a fu foddlon i aros gyda'r gŵr*] Yr oedd yn foddlon i'r wasanaeth, i'r gyflog, ac i'r fywioliaeth: ond, fel Lefiad, dylasai argyhoeddi Mica o annghyfreithlondeb ei addoliad ef. *A'r gŵr ieuanc oedd iddo fel un o'i feibion*—yr oedd Mica yn hollol foddlon iddo yntau, ac ymddygai tuag ato mor gu a thirion a phe buasai yn fab iddo.

Adn. 12. *A Mica a urddodd y Lefiad*] A'i cysegrodd ef yn offeiriad trwy ryw ddefodau penodol. Y wreiddiol yw, 'a lanwodd ei ddwylaw;' (gwel ar Exod. xxix. 9;) hyny yw, efe a roddodd *offrwm* yn ei law i'w gyflwyno gerbron yr Arglwydd, fel y byddai yn gymeradwy yn ei olwg ef. Er fod pob offeiriad yn Lefiad, neu o lwyth Lefi, eto nid oedd hawl gan un Lefiad i fod yn offeiriad oddieithr ei fod o hil Aaron; ac am hyny, i'w wneyd yn offeiriad, barnai Mica fod yn angenrheidiol ei urddo. *A'r gŵr ieuanc a fu yn offeiriad iddo*—yn lle ei fab, adn. 5, trwy ei fod yn addasach yn ei olwg i'r swydd hon fel gŵr o lwyth Lefi.

Adn. 13. *Yn awr y gwn y gwna yr Arglwydd ddaioni i mi*] Trwy fy mendithio a'm llwyddo yn mhob peth; *gan fod Lefiad genyf yn offeiriad*—efe a dybiai y byddai i ŵr o'r un llwyth a'r offeiriaid, a'r hwn oedd yn nesaf atynt o bawb, wneyd i fyny am ei feiau yn addoli Duw mewn lle gwaharddedig, a hyny trwy ddelwau, yn groes i'r gyfraith: a dichon ei fod yn credu y byddai i'r bobl bellach, wrth weled fod ei gapel ef yn cael ei wasanaethu gan ŵr o lwyth Lefi, ddyfod yno yn fwy calonog a hyderus gyda'u hoffrymau a'u haberthau, yr hyn a ddygai elw mawr iddo; a thybia Calmet mai dyma y 'daioni' ag y gwyddai efe y byddai i'r Arglwydd ei wneuthur iddo.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Yn y dyddiau hyny nid oedd brenin yn Israel*] Gwel ar pen. xvii. 1, 6. *Llwyth y Daniaid*—neu ran o'r llwyth hwnw, yn cynwys chwe chant o ryfelwyr a'u teuluoedd, adn. 11, 21; *oedd yn ceisio iddynt etifeddiaeth*—yr oedd etifeddiaeth wedi cael ei phenodi iddynt hwy yn gystal ag i'r llwythau ereill, Jos. xix. 40, &c.; ond mewn rhan trwy eu cynydd neu eu difaterwch hwy, ac o ddiffyg y cynorthwy brawdol a ddylasent ei

ynt etifeddiaeth i drigo; canys ni
syrthiasai iddynt hyd y dydd hwnw
etifeddiaeth yn mysg llwythau Israel.
2 A meibion Dan a anfonasant o'u
tylwyth bump o wŷr o'u bro, gwŷr
grymus, o Sora, ac o Estaol, i yspïo
y wlad, *ac* i'w chwilio; ac a ddywed-
asant wrthynt, Ewch, chwiliwch y
wlad. A phan ddaethant i fynydd
Ephraim i dŷ Mica, hwy a letyasant
yno.
3 Pan *oeddynt* hwy wrth dŷ Mica,
hwy a adnabuant lais y gŵr ieuanc y
Lefiad: ac a droisant yno, ac a ddy-
wedasant wrtho, Pwy a'th ddyg di
yma? a pheth yr ydwyt ti yn ei
wneuthur *yma?* a pheth *sydd* i ti
yma?
4 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Fel
hyn ac fel hyn y gwnaeth Mica i mi;
ac efe a'm cyflogodd i, a'i offeiriad ef
ydwyf fi.
5 A hwy a ddywedasant wrtho ef,
Ymgynghora, atolwg, â Duw, fel y
gwypom a lwydda ein ffordd yr ydym
ni yn rhodio arni.
6 A'r offeiriad a ddywedodd wrth-
ynt, Ewch mewn heddwch: gerbron
yr Arglwydd *y mae* eich ffordd chwi,
yr hon a gerddwch.
7 ¶ Yna y pumwr a aethant ymaith,
ac a ddaethant i Lais; ac a welsant y
bobl *oedd* ynddi yn trigo mewn diogel-
wch, yn ol arfer y Sidoniaid, yn
llonydd ac yn ddiofal; ac nid *oedd*
swyddwr yn y wlad, yr hwn a allai eu

---

gael gan y llwythau ereill, methasant ennill neu gadw rhan fawr o'r etifeddiaeth hòno, nes yr oedd rhai teuluoedd fyth heb ddim tir iddynt: gwel ar Jos. xix. 47. *Canys ni syrthiasai iddynt hyd y dydd hwnw etifeddiaeth* —Saes. '*eu holl* etifeddiaeth:' yr oeddynt wedi cael peth, ond nid digon; yr oedd ganddynt ran, ond nid yr oll; ac am hyny aethant i geisio ychwaneg.

Adn. 2. *A meibion Dan a anfonasant o'u tylwyth bump o wŷr*] Gŵr o bob un o bump o deuluoedd; *o'u bro*—o derfynau eu hetifeddiaeth; *gwŷr grymus*—mewn corff a meddwl, ar wroldeb, barn, a challineb pa rai y gallent ymddibynu; *i yspïo y wlad*—sef y rhan hòno o honi ag oedd eto yn meddiant y Canaaneaid. *A phan ddaethant i fynydd Ephraim*—yr hwn oedd oddeutu 24 o filldiroedd o Sora ac Estaol; *hwy a letyasant yno*—yn nhŷ Mica, i ba le y troisant ar ol clywed ac adnabod llais y Lefiad ag ydoedd yno yn offeiriadu.

Adn. 3. *Pan oeddynt hwy wrth dŷ Mica*] Y noson o'r blaen; canys cymerodd yr ymddyddan hwn le cyn iddynt letya yno, adn. 2. *Hwy a adnabuant lais*—gwybuant oddiwrth ei gynaniad neu ei aceniad nad oedd efe yn Ephraimiad, am nad allent hwy seinio yr holl lythyrenau: gwel ar pen xii. 6. Dywed un o'r Iuddewon ei fod ef yn canu mawl i ddelwau Mica, neu yn gweddio yn gyhoeddus ger eu bron hwy, pan ddaeth y gwŷr hyn gyferbyn â'r tŷ. *Pwy a'th ddyg di yma*—o Bethlehem Juda? pen. xvii. 7. Tybia rhai eu bod yn ei adnabod ef yn bersonol, ac wedi cyfarfod âg ef yn ei grwydriadau blaenorol. *A pheth yr ydwyt ti yn ei wneuthur yma*—at dy gynaliaeth? canys gwyddent mai yn y tabernacl yr oeddid i offeiriadu.

Adn. 4. *Fel hyn ac fel hyn y gwnaeth Mica i mi*] Adroddodd iddynt yr holl hanes am ei gyflogiad a'i urddiad, fel y gwelsom yn pen. xvii. 8—12.

Adn. 5. *Ymgynghora, atolwg, â Duw*] Yn lle ei geryddu ef am ryfygu cymeryd arno swydd offeiriad, ac am addoli Duw trwy ddelwau, y maent fel yn ei gefnogi ef trwy geisio ganddo ymgynghori â Duw trwy ddelwau drostynt hwy; *fel y gwypom a lwydda ein ffordd* —a gaent hwy le addas i breswylio ynddo, ac a lwyddent hwy i ennill y lle hwnw.

Adn. 6. *Ewch mewn heddwch*] A'ch meddyliau yn gwbl dawel, gan fod yn llawn sicr o lwyddiant yn eich anturiaeth; *gerbron yr Arglwydd y mae eich ffordd chwi*—dan ei gyfarwyddyd, ei nawdd, a'i ofal ef. Diamau mai ffuantu yr atebiad hwn a wnaeth yr offeiriad, neu ei ddywedyd o'i ben ei hun; canys nis gallwn feddwl iddo ef gael atebiad oddiwrth Dduw trwy ei ephod a'i deraphim, nac mewn un ffordd arall; ac ni allai y diafol ei roddi iddo. Modd bynag efe a ddywedodd beth gwir yn ddiarwybod.

Adn. 7. *Yna y pumwr a aethant ymaith*] Wedi cael eu calonogi felly gan yr offeiriad; *ac a ddaethant i Lais*—neu *Lesem*, (Jos. xix. 47,) dinas yn agos i godiad yr Iorddonen, yn nherfyn gogleddol gwlad yr addewid, tua 90 o filldiroedd o fynydd Ephraim, lle yr oedd tŷ Mica, ac oddeutu 114 o Sora ac Estaol. *Ac a welsant y bobl oedd ynddi yn trigo mewn diogelwch*—yn tybied eu bod yn ddiogel a diberygl, ac am hyny yn llonydd a diofal. *Yn ol arfer y Sidoniaid*—y rhai, gan eu bod yn preswylio mewn lle cadarn iawn, ac yn meddu llawer o gyfoeth, oeddynt yn arferol â byw mewn cyflwr o ddiogelwch a gloddest, heb ofni eu cymydogion; ac yn hyn efelychid hwy gan wŷr Lais, y rhai yn debygol oeddynt wedi deilliaw oddiwrth y Sidoniaid. *Ac nid oedd swyddwr yn y wlad*—i'w ceryddu na'u cospi am ddim a wnaent, fel ag i beri iddynt *gywilyddio;* ac am hyny yr oeddynt yn debyg eu cyflwr i'r Israeliaid yn y dyddiau hyny, pen. xvii. 6. *A phell oeddynt oddi wrth y Sidoniaid*—y rhai pe amgen a fuasent yn eu cynorthwyo yn erbyn eu gelynion. Yr oedd o Sidon i Lais oddeutu 25 o filldiroedd. *Ac heb negesau rhyngddynt a neb*—o'r cenhedloedd cymydogaethol, trwy eu bod yn cyfaneddu mewn tir ffrwythlon rhwng y ddwy gornant *Jor* a *Dan*, ac felly heb fod mewn angen am fasnachu â neb, nac yn teimlo awydd i ymgynghreirio â neb. Y mae yr ailunau cywiraf o'r LXX yn darllen y frawddeg olaf, 'heb negesau rhyngddynt a *Syria*,' sef

gyru *hwynt* i gywilydd mewn dim: a
phell *oeddynt* oddiwrth y Sidoniaid,
ac heb negesau rhyngddynt a neb.
8 A hwy a ddaethant at eu brodyr
i Sora ac Estaol. A'u brodyr a ddy-
wedasant wrthynt, Beth *a ddywedwch*
chwi?
9 Hwythau a ddywedasant, Cyfod-
wch, ac awn i fyny arnynt: canys
gwelsom y wlad; ac wele, da iawn *yw*
hi. Ai tewi *yr ydych* chwi? na ddiog-
wch fyned, i ddyfod i mewn i feddian-
nu y wlad.
10 Pan eloch, chwi a ddeuwch at
bobl ddiofal, a gwlad eang: canys
Duw a'i rhoddodd hi yn eich llaw
chwi: *sef* lle nid *oes* ynddo eisiau dim
a'r *y sydd* ar y ddaear.
11 ¶ Ac fe aeth oddiyno, o dylwyth
y Daniaid, o Sora ac o Estaol, chwe
chànwr, wedi ymwregysu âg arfau
rhyfel.
12 A hwy a aethant i fyny, ac a
wersyllasant yn Ciriath-jearim, yn
Juda: am hyny y galwasant y fan
hòno Mahaneh-Dan, hyd y dydd
hwn: wele, *y mae* o'r tu ol i Ciriath-
jearim.
13 A hwy a aethant oddiyno i fyn-
ydd Ephraim, ac a ddaethant hyd dŷ
Mica.
14 ¶ A'r pumwr, y rhai a aethent
i chwilio gwlad Lais, a lefarasant, ac
a ddywedasant wrth eu brodyr, Oni
wyddoch chwi fod yn y tai hyn eph-
od a theraphim, a delw gerfiedig, a
thoddedig? gan hyny ystyriwch yn
awr beth a wneloch.
15 A hwy a droisant tuag yno; ac
a ddaethant hyd dŷ y gŵr ieuanc y
Lefiad, i dŷ Mica; ac a gyfarchasant
well iddo.
16 A'r chwe chànwr, y rhai oedd
wedi eu gwregysu âg arfau rhyfel,
oedd yn sefyll *wrth* ddrws y porth, *sef*
y rhai *oedd* o feibion Dan.
17 A'r pumwr, y rhai a aethent i
chwilio y wlad, a esgynasant, *ac* a
aethant i mewn yno; *ac* a ddygasant
ymaith y ddelw gerfiedig, a'r ephod,
a'r teraphim, a'r ddelw doddedig: a'r
offeiriad oedd yn sefyll wrth ddrws y

---

y wlad ag oedd yn gorwedd o du y dwyrain i Lais, fel yr oedd Sidon o du y gorllewin.

Adn. 8. *A hwy a ddaethant at eu brodyr i Sora ac Estaol*] Ar ol bod yn ymweled â Lais, yr hon oedd oddeutu 114 o filldiroedd o Estaol. *Beth a ddywedwch chwi?*—a gawsoch chwi hanes gwlad? ac a oes gobaith y gallwn ni ei meddiannu hi?

Adn. 9. *Cyfodwch*] Ymbarotowch i ryfel yn ddioedi, fel yr ennillom y wlad dda hon. *Ai tewi yr ydych?*—Saes. 'ai *llonydd* ydych,' heb ymysgwyd ar unwaith oddiwrth eich difaterwch a'ch diogi? Y mae yr adroddiad hwn yn llawn annogaeth, ac yn dra gwahanol i eiddo yr yspiwyr yn amser Moses, Num. xiii. 32.

Adn. 10. *Chwi a ddeuwch at bobl ddiofal*] Rhai na wnaethant un ddarpariaeth gogyfer â'u diogelwch eu hunain: gwel ar adn. 7. *A gwlad eang*—er nad oedd Lais ond un ddinas, eto yr oedd gwlad fras ac eang, lawn o bentrefi, yn ei hamgylchu. *Duw a'i rhoddodd hi yn eich llaw chwi*—casglent hyn nid yn unig oddi wrth agwedd ddiamddiffyn a diofal y trigolion, ond hefyd, ac yn benaf, oddiwrth yr hyn a ddywedasai y Lefiad wrthynt, adn. 6. *Lle nid oes ynddo eisiau dim a'r y sydd ar y ddaear*—yr oedd pob peth a gynyrchid yn ngwlad Canaan, fel ffrwythau, angenrheidiau, a danteithion bywyd, i'w cael yn helaeth yn ngwlad Lais.

Adn. 11. *Ac fe aeth oddiyno*] Sef o Sora ac Estaol; *chwe chànwr*—hyny oedd nifer y gwŷr arfog, heblaw eu gwragedd a'u plant, adn. 21.

Adn. 12. *Ac a wersyllasant yn Ciriath-jearim*] Lle oddeutu 8 milldir o Sora, a 12 o Estaol. *Mahaneh-Dan*—neu 'wersyll Dan,' fel y gelwir y lle yn pen. xiii. 25; ac y mae hyny yn brawf fod yr amgylchiad hwn wedi cymeryd lle cyn amser Samson. *Wele y mae o'r tu ol i Ciriath-jearim*—gwersyllasant mewn maes tu cefn i'r dref, neu yr ochr orllewinol iddi.

Adn. 13. *A hwy a aethant oddiyno i fynydd Ephraim*] Ar hyd yr un ffordd a'r pumwr o'r blaen, ac yn cael eu harwain ganddynt. Yr oedd hon yn daith o 10 neu 12 milldir. *Ac a ddaethant hyd dŷ Mica*—yr hwn oedd ar ryw ran o'r mynydd hwnw.

Adn. 14. *Oni wyddoch chwi fod yn y tai hyn*] Sef mewn un o honynt; *ephod a theraphim, a delw gerfiedig a thoddedig*—hyny yw, fod ynddo bob peth angenrheidiol at wasanaeth Duw? gwel ar pen. xvii. 4, 5. Y mae yn dra thebyg i'r pumwr ddywedyd wrth eu brodyr cyn hyn am danynt, a'r modd y darfu iddynt ymgynghori â Duw trwyddynt, a chael atebiad llwyddiannus. *Gan hyny ystyriwch yn awr beth a wneloch*—pa un a oedd yn fuddiol iddynt eu cymeryd gyda hwy er gwasanaeth iddynt rhagllaw. Gwyddent fod yr arch a'r tabernacl wedi bod yn fuddiol iawn i'w tadau yn eu teithiau, a meddylient y byddai y rhai hyn felly iddynt hwythau.

Adn. 15. *Hyd dŷ y gŵr ieuanc*] Yr hwn oedd ystafell neu ran o dŷ Mica.

Adn. 16. *A'r chwe chànwr*] Yr oll o'r milwyr arfog, adn. 11; *oedd yn sefyll wrth ddrws y porth*—sef porth palas Mica, yn barod i gynorthwyo y pumwr os byddai raid.

Adn. 17. *A'r pumwr—a aethant i mewn*] Ar ol iddynt gyfarch gwell i'r Lefiad, a'i hudo ef allan i ddrws y porth at y milwyr, hwy a aethant i mewn i'r cysegr, ac a ddygasant ymaith yr holl ddodrefn santaidd. Gan eu bod yn myned i breswylio mewn gwlad bell o Silo lle yr oedd y gwir dabernacl, meddylient

porth, gyda'r chwe chanwr *oedd* wedi
ymwregysu âg arfau rhyfel.
18 A'r rhai hyn a aethant i dŷ Mi-
ca, ac a ddygasant ymaith y ddelw
gerfiedig, yr ephod, a'r teraphim, a'r
ddelw doddedig. Yna yr offeiriad a
ddywedodd wrthynt, Beth yr ydych
chwi yn ei wneuthur?
19 Hwythau a ddywedasant wrtho,
Taw son; gosod dy law ar dy safn, a
thyred gyda ni, a bydd i ni yn dad ac
yn offeiriad: *ai* gwell i ti fod yn off-
eiriad i dŷ un gŵr, na'th fod yn offeir-
iad i lwyth ac i deulu yn Israel?
20 A da fu gan galon yr offeiriad;
ac efe a gymerth yr ephod a'r tera-
phim, a'r ddelw gerfiedig, ac a aeth
yn mysg y bobl.
21 A hwy a droisant, ac a aethant
ymaith; ac a osodasant y plant, a'r
anifeiliaid, a'r clud, o'u blaen.
22 ¶ *A* phan oeddynt hwy enyd
oddiwrth dŷ Mica, y gwŷr *oedd* yn y
tai wrth dŷ Mica a ymgasglasant, ac
a erlidiasant feibion Dan.
23 A hwy a waeddasant ar feibion
Dan. Hwythau a droisant eu hwyn-
ebau, ac a ddywedasant wrth Mica,
Beth *a ddarfu* i ti, pan wyt yn dyfod
â'r fath fintai?
24 Yntau a ddywedodd, Fy nuwiau,
y rhai a wnaethym i, a ddygasoch
chwi ymaith, a'r offeiriad, ac a aeth-
och i ffordd: a pheth *sydd* genyf fi
mwyach? a pha beth *yw* hyn a ddy-
wedwch wrthyf, Beth *a ddarfu* i ti?
25 A meibion Dan a ddywedasant
wrtho, Na âd glywed dy lef yn ein

---

yr arbedai y rhai hyn iddynt y llafur o deithio yno o Lais, yn enwedig os gallent gael y Lefiad hwn i fyned yno gyda hwy. Yr oedd hon yn ddyfais o'r un natur ag eiddo Jeroboam, 1 Bren. xii. 26, &c.

Adn. 18. *Beth yr ydych chwi yn ei wneuthur?*] Fel pe dywedasai, Ai dyma eich tâl i mi am ymgynghori â Duw drosoch y tro o'r blaen, ac wedi eich cyfarch gwell i mi ychydig yn ol, sef lladrata y delwau ag sydd dan fy ngofal, ar y rhai yr wyf yn ymddibynu am fy mywioliaeth!

Adn. 19. *Gosod dy law ar dy safn*] Yn arwydd o ddystawrwydd: felly y tynai yr Aifftiaid lun *Harpocrates*, 'duw dystawrwydd,' â'i fys yn gwasgu ei wefusau. *A thyred gyda ni*—ewyllysient iddo ef fyned gyda'r duwiau, am na wyddent yn iawn pa fodd i wneyd â hwy hebddo ef. *A bydd i ni yn dad ac yn offeiriad*—gwel ar adn. 10. *Ai gwell i ti fod yn offeiriad i dŷ un gŵr*—sef Mica; *na'th fod yn offeiriad i lwyth*—neu deulu cyfan o lwyth yn Israel? A ydyw dy anrhydedd di felly yn fwy, a'th gyflog yn well?

Adn. 20. *A da fu gan galon yr offeiriad*] Gan ei fod yn cael addewid o ddyrchafiad, ac y cai hefyd weled mwy o'r byd, efe nid yn unig a gydsyniodd â'u hewyllys, ond hefyd a'u cynorthwyodd i ladrata y delwau, trwy ei fod yn cael ei lywodraethu yn gwbl gan serch at ei fantais dymhorol ei hun. *Ac a aeth yn mysg y bobl*—sef yn eu canol hwynt, fel y byddai ef a'r delwau yn fwy cuddiedig a diogel rhag Mica a'i wŷr.

Adn. 21. *A hwy a droisant*] Oddiwrth borth palas Mica, i fyned ymaith tua Lais; *ac a osodasant y plant a'r anifeiliaid*—yr oedd eu gwragedd hefyd gyda hwynt yn ddiamau, er na chrybwyllir am danynt; *a'r clud*—eu heiddo a'u celfi o bob math ar gefnau yr anifeiliaid, neu yn cael eu llusgo ar fèni; *o'u blaen*—fel y byddai y milwyr rhyngddynt a Mica a'i blaid, os erlidiai efe ar eu hol. Fel hyn cymerasant eu teuluoedd, eu hanifeiliaid, a'u holl eiddo o'u hen wlad, heb feddwl byth droi yn ol, gan mor hyderus oeddynt o ennill Lais.

Adn. 22. *A phan oeddynt hwy enyd oddiwrth dŷ Mica*] Canys bu ef gryn amser cyn gwybod eu bod hwy wedi lladrata ei dduwiau a hudo ei offeiriad ef; a chymerodd beth amser wedi hyny i gasglu ei gymydogion yn nghyd i erlid ar eu hol hwynt. *Y gwŷr oedd yn y tai*—canys y mae yn debyg fod holl gymydogion Mica wedi eu llygru gan yr eilunaddoliaeth hwn; a bod ereill wedi codi tai yn ymyl y cysegr er mwyn cyfleusderau crefyddol iddynt eu hunain, neu i letya y dyeithriaid a gyrchent yno i addoli; ac yr oeddynt oll yn ewyllysgar i gynorthwyo Mica i gael y delwau yn ol.

Adn. 23. *A hwy a waeddasant ar feibion Dan*] Ar ol dyfod i'w golwg hwy. *Hwythau a droisant eu hwynebau*—i ofyn beth a fynai Mica a'i blaid â hwy. *Beth a ddarfu i ti, pan wyt yn dyfod â'r fath fintai*—a'r rhai hyny ond odid yn arfog. Fel pe dywedasent, Beth yw yr achos dy fod yn gwaeddi mor groch, ac yn dyfod yn y fath fodd bygythiol ar ol dyeithriaid ar eu taith?

Adn. 24. *Fy nuwiau, y rhai a wnaethym i*] Yr oedd hyn yn rheswm da i brofi ei hawl ef ynddynt, ond rheswm gwael dros ddwyfoldeb y duwiau hyny oedd eu bod wedi cael eu gwneuthur, ac nad allent eu hachub eu hunain rhag cael eu lladrata ymaith. *A'r offeiriad*—nid yn unig dygasoch ymaith fy nuwiau, ond dygasoch hefyd yr hwn a aberthai iddynt, neu a gyflawnai wasanaeth ddwyfol trwyddynt hwy gerbron Duw. *A pheth sydd genyf fi mwyach?*—nid oedd ei holl olud na'i eiddo o werth dim yn ei olwg ef mewn cydmhariaeth i'w dduwiau. Y mae ei deimlad ef yn gwireddu yn hollol yr hen ddiareb Gymreig, 'Heb Dduw, heb ddim: Duw, a digon.' Ac yr oedd ei sel dros ei au-dduwiau yn gywilydd i ddifaterwch llawer a broffesant y wir grefydd, a chariad at y gwir Dduw. *A pha beth yw yr hyn a ddywedwch wrthyf*—hyny yw, paham y gofynwch 'Beth a ddarfu i ti?' neu, 'Beth sydd yn bod?' pan y gwyddoch eich bod chwi eich hunain wedi gwneyd â mi y fath gam?

Adn. 25. *Na âd glywed dy lef yn ein mysg ni*] Yn ein cyhuddo o gysegr-yspeiliad, neu yn

mysg ni; rhag i wŷr digllawn ruthro
arnat ti, a cholli o honot dy einioes,
ac einioes dy deulu.
26 A meibion Dan a aethant i'w
ffordd. A phan welodd Mica eu *bod*
hwy yn gryfach nag ef, efe a drôdd,
ac a ddychwelodd i'w dŷ.
27 A hwy a gymerasant *y pethau* a
wnaethai Mica, a'r offeiriad oedd gan-
ddo ef, ac a ddaethant i Lais, at bobl
lonydd a diofal; ac a'u tarawsant
hwy â min y cleddyf, ac a losgasant
y ddinas â thân.
28 Ac nid *oedd* waredydd; canys
pell *oedd* hi oddiwrth Sidon, ac nid
*oedd* negesau rhyngddynt â neb; he-
fyd *yr oedd* hi yn y dyffryn *oedd* wrth
Bethrehob: a hwy a adeiladasant ddi-
nas, ac a drigasant ynddi.
29 A hwy a alwasant enw y ddinas
Dan, yn ol enw Dan eu tad, yr hwn a
anesid i Israel: er hyny Lais *oedd*
enw y ddinas ar y cyntaf.
30 ¶ A meibion Dan a osodasant i
fyny iddynt y ddelw gerfiedig: a Jo-
nathan mab Gerson, mab Manasse,
efe a'i feibion, fuant offeiriaid i lwyth
Dan hyd ddydd caethgludiad y wlad.
31 A hwy a osodasant i fyny iddynt
y ddelw gerfiedig a wnaethai Mica, yr
holl ddyddiau y bu tŷ Dduw yn Silo.

## PENNOD XIX.

AC yn y dyddiau hyny, pan nad *oedd*
frenin yn Israel, yr oedd rhyw
Lefiad yn aros yn ystlysau mynydd
Ephraim, ac efe a gymerodd iddo or-
dderchwraig o Bethlehem Juda.

---

gofyn am dy eiddo yn ol; *rhag i wŷr digllon*—rhag i'r milwyr hyn, wedi eu cynhyrfu gan dy drahausder, ruthro arnat ti a'th deulu â'u cleddyfau noethion. Nid oeddynt yn gwadu y cyhuddiad, na chwaith yn ei addef, eithr yn peri iddo ef dewi trwy ei fygwth.

Adn. 26. *A phan welodd Mica eu bod hwy yn gryfach nag ef*] Mewn nifer yn gystal ag mewn arfogaeth; *efe a drôdd*—tuag adref, gan weled nad oedd wiw iddo geisio ei dduwiau oddiwrthynt trwy arfau, ar ol methu eu cael trwy eiriau.

Adn. 27. *A hwy a gymerasant y pethau*] Sef yr ephod, y teraphim, y duwiau, a'r offeiriad, gyda hwynt i Lais, gan orfodi Mica i fyned adref hebddynt; *at bobl lonydd a diofal*—gwel ar adn. 7, 10; *ac a losgasant y ddinas â thân*—nid yn gwbl ond odid, eithr cryn lawer o honi, i greu arswyd ar holl drigolion y wlad oddiamgylch.

Adn. 28. *Ac nid oedd waredydd*] Am fod y Sidoniaid yn rhy bell oddiwrthynt ar un llaw, ac nad oedd cynghrair rhwng gwŷr Lais a neb ar y llaw arall; *hefyd yr oedd hi yn y dyffryn*—wrth droed mynydd Libanus, fel y gallodd y Daniaid ei dinystrio cyn i neb ddyfod i wybodaeth o'r peth. *A hwy a adeiladasant ddinas*—hyny yw, darfu iddynt adgyweirio a helaethu yr hen ddinas i fod yn gartref barhaus iddynt eu hunain.

Adn. 29. *A hwy a alwasant enw y ddinas Dan*] Yr oedd yr enw newydd hwn yn ateb amrai ddybenion ar unwaith. (1) Yr oedd yn arwydd o barch i enw a choffadwriaeth tad eu llwyth. (2) Yr oedd yn dangos eu hâniad Israelaidd i'r cenhedloedd amgylchynol. (3) Ac yr oedd yn brawf o'u hundeb â'r rhan arall o'r llwyth yn neau-orllewin Canaan, er eu bod wedi eu gwahanu yn mhell oddiwrth eu gilydd.

Adn. 30. *A meibion Dan a osodasant i fyny iddynt y ddelw gerfiedig*] Codasant gapel neu deml iddynt eu hunain, fel y gwnaethai Mica o'r blaen; gan feddu yr un offerynau, ac ond odid yr un offeiriad. *A Jonathan mab Gerson*—dyma enw y gŵr ieuanc y Lefiad; neu ynte yr oeddynt wedi ei droi ef ymaith, a chymeryd y Jonathan hwn yn offeiriad yn ei le ef. *Mab Manasse*—nid Manasse brenin Israel, canys ni aned ef wyth cant o flynyddoedd wedi hyn; ac nid Manasse mab Joseph, yr hwn oedd tad y llwyth a elwid felly, canys nid oedd ganddo ef fab o'r enw Gerson; eithr mab rhyw Fanasse yn llwyth Lefi; oblegid yr oedd Gerson a Manasse yn enwau cyffredin yn Israel. Ond yn lle *mab Manasse*, y mae rhai ysgriflyfrau a chyfieithiadau, yn gystal a rhai esbonwyr hen a diweddar, yn darllen *mab* MOSES; a chyfaddefa *Kimchi* fod yr Iuddewon wedi newid yr enw yn *Manasse*, am y tybient fod yn warth mawr i'r deddfroddwr fod ganddo ŵyr yn eilunaddolwr. *Efe a'i feibion*—Jonathan tra y bu efe byw, a'i feibion ar ei ol o genhedlaeth i genhedlaeth; *fuant offeiriaid i lwyth Dan*—i'r rhai hyny o'r llwyth a gyfaneddent yn ngwlad Lais; *hyd ddydd caethgludiad y wlad*—hyny yw, yn ol rhai, hyd yr amser ag y cafodd holl wlad y deg llwyth, o'r rhai yr oedd Dan yn un, eu gorchfygu, ac y caethgludwyd y bobl gan yr Assyriaid, 2 Bren. xvii. 6, 23. Ond y mae y rabbiniaid Iuddewig modd bynag, yn nghyda llawer o esbonwyr diweddar, yn dadlu fod yn dra annhebyg y goddefasid y ddelw hon i barhau yn nyddiau Dafydd, yr hwn oedd awyddus i ddystrywio eilunaddoliaeth, a dwyn yn mlaen y wir grefydd, hyd eithaf ei allu, trwy yr holl wlad o Dan hyd Beerseba. Am hyny casglant mai wrth *gaethgludiad y wlad* y meddylir yma, dygiad yr *arch* gan y Philistiaid, a'i chaethgludiad i deml Dagon, yn niwedd oes Eli, 1 Sam. iv. a v. Y mae yr Iuddewon diweddar yn gyffredinol yn deall y geiriau yn yr ystyr yma; ac ar y sail hon dadleua Houbigant, yn lle *haarets*, y WLAD, y dylid darllen *haaron*, yr ARCH: ac y mae y dychymyg hwn yn debycach fyth, am y dywedir yn yr adnod nesaf i ddelw gerfiedig Mica aros yn Dan, 'yr holl ddyddiau y bu tŷ Dduw yn *Silo*,' neu hyd ddygiad yr arch gan y Philistiaid.

Adn. 31. *Yr holl ddyddiau y bu tŷ Dduw yn Silo*] Yr hyn oedd yn cyraedd, yn ol yr Iuddewon, dros yr yspaid o 360 o flynyddoedd. Cyhyd a hyny y parhaodd eilunaddoliaeth

2 A'i ordderchwraig a buteiniodd
yn ei erbyn ef, ac a aeth ymaith oddi
wrtho ef i dŷ ei thad, i Bethlehem
Juda; ac yno y bu hi bedwar mis o
ddyddiau.
3 A'i gŵr hi a gyfododd, ac a aeth
ar ei hol, i ddywedyd yn dêg wrthi
hi, *ac* i'w throi adref; a'i lanc *oedd*
gydag ef, a chwpl o asynod. A hi a'i
dyg ef i mewn i dŷ ei thad: a phan
welodd tad y llances ef, bu lawen gan-
ddo gyfarfod âg ef.
4 A'i chwegrwn ef, tad y llances, a'i
daliodd ef *yno;* ac efe a dariodd gyd
ag ef dridiau. Felly y bwytasant ac
a yfasant, a lletyasant yno.
5 A'r pedwarydd dydd y cyfodasant
yn fore; yntau a gyfododd i fyned
ymaith. A thad y llances a ddywed-
odd wrth ei ddaw, Nertha dy galon â
thamaid o fara, ac wedi hyny ewch
ymaith.
6 A hwy a eisteddasant, ac a fwyt-
asant ill dau yn nghyd, ac a yfasant.
A thad y llances a ddywedodd wrth y
gŵr, Bydd foddlawn, atolwg, ac aros
dros nos, a llawenyched dy galon.
7 A phan gyfododd y gŵr i fyned
ymaith, ei chwegrwn a fu daer arno:
am hyny efe a drôdd ac a letyodd yno.
8 Ac efe a gyfododd yn fore y pum-
med dydd i fyned ymaith. A thad y
llances a ddywedodd, Cysura dy gal-
on, atolwg. A hwy a drigasant hyd
brydnawn, ac a fwytasant ill dau.
9 A phan gyfododd y gŵr i fyned
ymaith, efe a'i ordderch, a'i lanc; ei
chwegrwn, tad y llances, a ddywed-
odd wrtho, Wele, yn awr, y dydd a
laesodd i hwyrhau; arhoswch dros
nos, atolwg: wele yr haul yn mach-
ludo; trig yma, fel y llawenycho dy
galon; a chodwch yn fore y fory
i'ch taith, fel yr elych i'th babell.

---

meibion Dan. Nis gallodd yr holl farnwyr a fuont yn llywodraethu yn y cyfamser ei ddi-ddymu, am fod y Daniaid hyn yn byw mor bell oddiwrth eu brodyr meibion Israel.

PEN. XIX. Adn. 1. *Ac yn y dyddiau hyny*] Yr un dyddiau a feddylir o hyd: gwel ar pen. xvii. 1, 6. *Yr oedd rhyw Lefiad yn aros yn ystlysau mynydd Ephraim*—am fod y lle hwnw yn agos i Silo, lle yr oedd ganddo ond odid wasanaeth i'w chyflawni yn y taber-nacl. *Ac efe a gymerodd iddo ordderchwraig*—gwelsom eisioes mai rhyw fath ar *îs-wraig* oedd yr ordderchwraig, ac nad oedd y cyfryw gysylltiadau, o herwydd arferiad cyffredin yr amseroedd hyny, mor ddianrhydeddus ag yn ein dyddiau ni: gwel ar pen. ix. 31, a Gen. xxii. 24. *O Bethlehem Juda*—oddiyno y daethai y Lefiad drygionus o'r blaen, yr hwn a fu yn offeryn i sefydlu eilunaddoliaeth yn Israel; ac oddiyno y daeth yr ordderchwraig hon, yr hon a fu yn achos o dywallt cymaint o waed yn Israel. Yr oedd y ddau amgylchiad hyn yn warth mawr ar Bethlehem Juda; ond treiglwyd hyny ymaith trwy eni rhai gwŷr enwog yno ar ol hyn, megys Boas, Jesse, Dafydd, ac yn enwedig y MESSIA.

Adn. 2. *A'i ordderchwraig a buteiniodd yn ei erbyn ef*] Yn erbyn y ffyddlondeb a addawsai hi iddo; *ac a aeth ymaith oddiwrtho ef i dŷ ei thad*—naill ai rhag ofn cael ei chospi, neu am fod ei chalon wedi ymddyeithrio oddi wrtho ef: gwel BENSON. *Ac yno y bu hi bedwar mis*—cyn i'w gŵr fyned i'w cheisio adref. Ond dylid sylwi, nad yw y LXX, y *Vulgate*, y *Targum*, na *Josephus*, yn deall y weithred uchod fel yn cynwys unrhyw anffyddlondeb priodasol o du y wraig; ond yn unig eu bod wedi *annghytuno*. Yn wir y mae holl amgylchiadau yr achos, meddai Clarke, yn amddiffyn yr olwg yma ar y peth. Pe buasai hi yn *butan* neu yn *odinebwraig*, nid yw yn dra thebyg yr aethai ei gŵr ar ei hol i ddywedyd yn dêg wrthi, ac i geisio ganddi ddychwelyd. Yr oeddynt wedi *cweryla* â'u gilydd am ryw achos, nes yr oedd ei *serch* hi wedi ymddyeithrio trwy hyny oddiwrtho; ac am hyny ymadawodd â'i gŵr, ac aeth yn ol at ei thad.

Adn. 3. *A'i gŵr hi a gyfododd*] O ystlys mynydd Ephraim, lle yr oedd yn cartrefu; *ac a aeth ar ei hol*—i Bethlehem Juda, yr hyn oedd daith o gylch 28 o filldiroedd; *i ddywedyd yn dêg wrthi hi*—er mwyn ei hennill i ddychwelyd adref; neu, fel yr arwydda y wreiddiol, i 'lefaru wrth ei chalon.' *A'i lanc oedd gydag ef, a chwpl o asynod*—i'w cario hwy yno, a'r wraig a'i chelfi yn ol. *A hi a'i dyg ef i mewn i dŷ ei thad*—wedi ymgymodi âg ef yn ewyllysgar. *A phan welodd tad y llances ef, bu lawen ganddo*—efe a'i derbyniodd yn siriol fel ei fab-yn-nghyfraith.

Adn. 4. *Ac efe a dariodd gydag ef dridiau*] Yn mwynhau ei garedigrwydd a'i ddanteithion, heb son am ddychwelyd.

Adn. 5. *A'r pedwarydd dydd y cyfodasant yn fore*] I gychwyn i'w taith cyn boreubryd, neu o leiaf cyn ciniaw. *Nertha dy galon â thamaid o fara*—enwir *bara* yma am bob peth bwytadwy ac yfadwy.

Adn. 6. *Aros dros nos*] Yr oedd yn anhawdd gan ei dad-yn-nghyfraith ymadael âg ef, a mynai iddo aros hyd dranoeth, gan addaw iddo ddigonedd o bob peth angenrheidiol.

Adn. 7. *Am hyny efe a drôdd*] Yn ol wedi iddo gychwyn ei daith; *ac a letyodd yno*—hyd fore y pummed dydd.

Adn. 8. *Cysura dy galon, atolwg*] Bydd foddlon i aros yma nes yr oero yn y prydnawn, yn lle teithio yn ngwres y dydd. *A hwy a drigasant hyd brydnawn*—yn ol cais eu tad; *ac a fwytasant ill dau*—y Lefiad a'i ordderchwraig, gyda'r teulu. Diamau fod y llanc hefyd yn cael bwyd, ond mewn ystafell arall.

Adn. 9. *Wele yr haul yn machludo*] Neu yn tynu at fachludo, pryd y dylech feddwl am

10 A'r gŵr ni fynai aros dros nos; eithr cyfododd, ac a aeth ymaith: a daeth hyd ar gyfer Jebus (hon *yw* Jerusalem) a chydag ef gwpl o asynod llwythog, a'i ordderchwraig gydag ef.
11 A phan *oeddynt* hwy wrth Jebus, yr oedd y dydd ar ddarfod; a'r llanc a ddywedodd wrth ei feistr, Tyred, atolwg, trown i ddinas hon y Jebusiaid, a lletywn ynddi.
12 A'i feistr a ddywedodd wrtho, Ni thrown ni i ddinas estron nid *yw* o feibion Israel; eithr nyni a awn hyd Gibeah.
13 Ac efe a ddywedodd wrth ei lanc, Tyred, a nesawn i un o'r lleoedd hyn, i letya dros nos yn Gibeah, neu Ramah.
14 Felly y cerddasant, ac yr aethant: a'r haul a fachludodd arnynt wrth Gibeah *eiddo* Benjamin
15 A hwy a droisant yno, i fyned i mewn i letya i Gibeah. Ac efe a ddaeth i mewn, ac a eisteddodd yn heol y ddinas: canys nid *oedd* neb a'u cymerai hwynt i'*w* dŷ i letya.
16 ¶ Ac wele, ŵr hen yn dyfod o'i waith o'r maes yn yr hwyr; a'r gŵr *oedd* o fynydd Ephraim, ond ei fod ef yn ymdaith yn Gibeah; a gwŷr y lle hwnw *oedd* feibion Jemini.
17 Ac efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a ganfu ŵr yn ymdaith yn heol y ddinas: a'r hen ŵr a ddywedodd, I ba le yr âi di? ac o ba le y daethost?
18 Yntau a ddywedodd wrtho, Tramwyo yr *ydym* ni o Bethlehem Juda, i ystlys mynydd Ephraim, o'r lle y'm *henyw:* a mi a aethym hyd Bethlehem Juda, a myned *yr ydwyf* i dŷ yr Arglwydd; ac nid *oes* neb a'm derbyn i dŷ.
19 Y mae *genym ni* wellt ac ebran hefyd i'n hasynod; a bara hefyd a gwin i mi, ac i'th lawforwyn, ac i'r llanc *sydd* gyda'th weision: nid *oes* eisiau dim.

---

lety, yn hytrach nag am daith; *a chodwch yn fore y fory*—y chweched dydd; *fel yr elych i'th babell*—fel y galloch gyraedd adref mewn un diwrnod, yn hytrach na lletya ar y ffordd; canys yr oedd ganddynt oddeutu 28 o filldiroedd o daith.

Adn. 10. *A'r gŵr ni fynai aros dros nos*] Yr oedd yn gweled nad oedd dim diwedd ar gymhelliadau a charedigrwydd ei dad-yn-nghyfraith, ac am hyny penderfynodd gychwyn ei daith er hwyred ydoedd. *A daeth hyd ar gyfer Jebus*—neu Jerusalem, yr hon a safai oddeutu chwe milldir o Bethlehem Juda, ar y ffordd i fynydd Ephraim: gwel ar Jos. xv. 63. *Asynod llwythog*—un wedi ei lwytho ond odid â bwyd i ddyn ac anifel, adn. 19, a'r llall yn cario y Lefiad a'i wraig bob yn ail.

Adn. 11. *Yr oedd y dydd ar ddarfod*] Saes. 'wedi treulio yn mhell,' fel y gallwn feddwl ei fod, trwy fod yr haul yn tynu at fachludo pan y cychwynasant o Bethlehem, adn. 9. *Trown i ddinas hon y Jebusiaid*—gelwir *Jerusalem* yn 'ddinas y Jebusiaid,' am eu bod hwy yn preswylio ynddi ar y pryd: gwel pen. i. 21, a Jos. xv. 63.

Adn. 12. *Ni thrown ni i ddinas estron*] Yr oedd yn meddwl fod yn fwy diogel iddo letya yn un o ddinasoedd Israel, na bod yn mhlith cymdeithion drwg; a bod hyny yn gweddu yn well i'w swydd a'i broffes grefyddol ef. *Eithr nyni a awn hyd Gibeah*—dinas yn llwyth Benjamin, oddeutu pum milldir o Jerusalem.

Adn. 13. *Neu Ramah*] Yr hon oedd beth yn mhellach na Gibeah, ac yn dal yn fwy i'r gorllewin.

Adn. 14. *A'r haul a fachludodd arnynt*] Neu a ydoedd wedi machludo erbyn iddynt gyraedd i Gibeah. *Eiddo Benjamin*—i'w gwahaniaethu oddiwrth Gibeah Juda, Jos. xv. 57, a phob Gibeah arall, o'r rhai yr oedd amrai.

Adn. 15. *Nid oedd neb a'u cymerai hwynt i'w dŷ*] Yr hyn oedd y rheswm paham yr eisteddent yn yr heol. Y mae yn debyg nad oedd gwestty cyffredin y pryd hyny yn Gibeah, er fod rhai felly i'w cael mewn lleoedd ereill y pryd hyny. Yr oedd Gibeah yn ddinas y *Lefiaid*, o'r rhai yr oedd amrai ynddi yn ddiamau ar y pryd; eto nid oedd un o honynt hwythau a roddai lety i'w brawd, trwy fod ysbryd lletygarwch wedi darfod yn yr amser penrhydd hwnw; neu yr oedd y rhai haelionus o honynt yn ofni lletya dyeithriaid, rhag ofn y deuai y dinasyddion llygredig yno i'w hanmharchu.

Adn. 16. *A'r gŵr oedd o fynydd Ephraim*] Sef o'r un wlad a'r Lefiad hwn, yr hyn a'i tueddodd ef i dosturio wrth ei gydwladwr; *ond ei fod yn ymdaith yn Gibeah*—wedi dyfod yno i fyw fel amaethwr. *A gwŷr y lle hwnw oedd feibion Jemini*—neu Benjaminiaid, fel y mae yn y Saesonaeg; canys yr oedd ereill yn byw yn ninasoedd y Lefiaid gyda hwy: gwel yr adfeddyliadau ar Jos. xxi.

Adn. 17. *Ac a ganfu ŵr yn ymdaith yn heol y ddinas*] Yn cerdded yn ol ac yn mlaen, wedi blino yn eistedd, adn. 15.

Adn. 18. *O'r lle y'm henyw*] O'r lle yr wyf yn *hanu*, neu yn dyfod yn wreiddiol; *a mi a aethym*—o ystlys mynydd Ephraim, fy lle genedigol; *hyd Bethlehem Juda*—o'r lle yr wyf yn awr yn dychwelyd, i fyned *i dŷ yr Arglwydd*—yn Silo, canys yr oedd y tabernacl yn agos i'w gartref ef. Fe allai fod ei swydd yn gofyn iddo fyned yno yn ddioedi; neu ynte efe a chwennychai fyned yno i offrymu aberth diolchgarwch i'r Arglwydd am ei drugaredd yn ei lwyddo ar ei daith, ac yn ei gymodi ef a'i wraig. Ond y mae y LXX yn ei ddarllen, 'myned yr ydwyf *i'm tŷ*,' sef ei dŷ ei hun.

Adn. 19. *Y mae genym ni wellt*] I'n hasynod orwedd arno, *ac ebran*—i'w porthi; *a bara hefyd a gwin*—pob ymborth angenrheidiol i mi a'm gwraig, *ac i'r llanc sydd gyda'th*

20 A'r hen ŵr a ddywedodd, Tangnefedd i ti: bydded dy holl eisiau arnaf fi; yn unig na letya yn yr heol.
21 Felly efe a'i dyg ef i mewn i'w dŷ, ac a borthodd yr asynod: a hwy a olchasant eu traed, ac a fwytasant ac a yfasant.
22 ¶ A phan oeddynt hwy yn llawenhau eu calon, wele, gwŷr y ddinas, rhai o feibion Belial, a amgylchynasant y tŷ, a gurasant y drws, ac a ddywedasant wrth berchen y tŷ, *sef* yr hen ŵr, gan ddywedyd, Dwg allan y gŵr a ddaeth i mewn i'th dŷ, fel yr adnabyddom ef.
23 A'r gŵr, perchen y tŷ, a aeth allan atynt, ac a ddywedodd wrthynt, Nage, fy mrodyr, *nage*, atolwg, na wnewch mor ddrygionus: gan i'r gŵr hwn ddyfod i'm tŷ i, na wnewch yr ysgelerder hyn.
24 Wele, fy merch, yr hon *sydd* forwyn, a'i ordderch yntau; dygaf hwynt allan yn awr, a darostyngwch hwynt, a gwnewch iddynt yr hyn fyddo da yn eich golwg: ond i'r gŵr hwn na wnewch mor ysgeler.
25 Ond ni wrandawai y gwŷr arno: am hyny y gŵr a ymaflodd yn ei ordderch, ac a'i dyg hi allan atynt hwy. A hwy a'i hadnabuant hi, ac a wnaethant *gam* â hi yr holl nos hyd y bore: a phan gyfododd y wawr, hwy a'i gollyngasant hi ymaith.
26 Yna y wraig a ddaeth, pan ymddanghosodd y bore, ac a syrthiodd wrth ddrws tŷ y gŵr *yr oedd* ei harglwydd ynddo, hyd oleuni *y dydd*.
27 A'i harglwydd a gyfododd y bore, ac a agorodd ddrysau y tŷ, ac a aeth allan i fyned i'w daith: ac wele, ei ordderchwraig ef wedi cwympo

---

*weision*—sef gyda *ni*. Yr oedd yn arferiad y pryd hyny, wrth gyfarch ereill, i'r llefarwyr eu galw eu hunain yn *weision* i'r rhai a gyfarchent. *Nid oes eisiau dim*—ond llety dros heno yn unig: ni fyddwn o bwys na chost i neb.

Adn. 20. *Tangnefedd i ti*] Pob dedwyddwch a daioni! Cynhesodd calon yr hen ŵr ato, wrth weled fod dyn dyeithr a da, Lefiad o'r un wlad a chenedl ag ef ei hun, yn gorfod lletya allan yn yr heol wrth deithio i dŷ yr Arglwydd! *Bydded dy holl eisiau arnaf fi*—cedwch eich bara a'ch gwin i chwi eich hunain, a'ch gwellt a'ch ebran i'ch asynod, rhag y bydd arnoch eu heisiau cyn gorphen eich taith: bydd i mi ddiwallu eich holl eisiau am heno, gan hyny na letywch yn yr heol.

Adn. 21. *A hwy a olchasant eu traed*] Yr hyn oedd yn ddadfliniad mawr i deithwyr yn y gwledydd poethion: gwel ar Gen. xviii. 4.

Adn. 22. *A phan oeddynt hwy yn llawenhau eu calon*] Trwy ymborthi ar y swper a osodwyd o'u blaen, ac mewn ymddyddanion siriol a chyfeillgar yn nghylch eu hen gydnabod tua mynydd Ephraim; *gwŷr y ddinas*—sef Israeliaid o lwyth Benjamin; *rhai o feibion Belial*—dynion diwerth, drygionus, ac aflywodraethus fel eu tad diafol, gwel ar Deut. xiii. 13; *a amgylchynasant y tŷ*—fel na ddiangai neb allan o hono. *Fel yr adnabyddom ef*—ei adnabod yn bechadurus, yn groes i anian, trwy wrywgydiaeth neu sodomiaeth: gwel ar Gen. xix. 5, Rhuf. i. 27.

Adn. 23. *Nage, fy mrodyr, nage*] Y mae yr hen ŵr yn ceisio eu perswadio rhag y drygioni a'r ysgelerder hwn gyda'r difrifwch, y taerineb, a'r tynerwch mwyaf. *Gan i'r gŵr hwn ddyfod i'm tŷ i*—yr wyf yn rhwym o'i amddiffyn ef trwy ddeddfau lletygarwch, ac am hyny gadewch lonydd iddo.

Adn. 24. *Wele fy merch yr hon sydd forwyn, &c.*] Yr oedd yr hen ŵr yn feius yn y cynygiad hwn, canys nid oedd ganddo hawl i wneyd felly â'i ferch, a llawer llai â gordderch y Lefiad: ac yr oedd y ddeddf a'i rhwymai ef i amddiffyn y Lefiad, yn ei rwymo hefyd i amddiffyn ei wraig ef. Eithr dywedai hyn yn ei ddychryn a'i wylltineb; a dichon ei fod yn cymeryd Lot yn siampl, yr hwn a gynygiodd yr un peth mewn amgylchiad cyffelyb: gwel ar Gen. xix. 8.

Adn. 25. *Ond ni wrandawai y gwŷr arno*] Yn enwedig yn ei gynygiad o'i ferch ei hun; ond y mae yn debyg iddynt awgrymu y derbynient wraig y Lefiad, gan i'w gŵr ei gwthio hi atynt, ac iddynt hwythau wedi hyny adael llonydd iddo ef; a dywed Josephus ei bod yn fenyw lân odiaeth. *Am hyny y gŵr*—sef y Lefiad, ei gŵr ei hun; *a ymaflodd yn ei ordderch—yachazek*, a ymaflodd ynddi trwy *orthrech*, neu a'i *gwthiodd* hi atynt o'i hanfodd, rhag iddynt ei ladd ef, pen. xx. 5; neu, yn ol *Poole*, i arbed merch ei letŷwr caredig. *A hwy a'i hadnabuant hi*—yn olynol, mewn ystyr anianol, hyd y bore. *A phan gyfododd y wawr, hwy a'i gollyngasant hi ymaith*—am mai gweithredoedd y tywyllwch oedd eu gweithredoedd hwynt, y rhai ni oddefent oleuni y dydd. Y mae yn anhawdd darllen yr adnod hon heb gywilyddio dros y natur ddynol. *Gwŷr Gibeah* y rhai a fynent anmharchu corff y Lefiad; a'r *Lefiad* yr hwn a ewyllysiai arbed ei gorff ar draul gŵylder a bywyd ei wraig; a'r *hen ŵr* yr hwn a fynai arbed ei westai ar draul halogiad ei ferch; ydynt gymeriadau ag y dymunai dynoliaeth a gŵyleidd-dra iddynt oll gael eu claddu mewn tragwyddol anghof.

Adn. 26. *Yna y wraig a ddaeth*] At dŷ yr hen ŵr lle yr oedd ei phriod, gan ymlusgo hyd yno fel y gallai; *ac a syrthiodd wrth ddrws tŷ y gŵr*—heb ynddi nerth i sefyll na churo y drws, na gwaeddi am dderbyniad i mewn. Yr Esgob Hall, gan ddeall y gwaethaf am y wraig hon, a ddywed, 'Puteindra oedd ei phechod, (adn. 2,) a phuteindra a fu yn angau iddi: galwodd Duw hi i gyfrif, a chospodd hi â'i phechod ei hun.'

Adn. 27. *A'i harglwydd a gyfododd y bore—i fyned i'w daith*] Gan gasglu yn ddiamau

wrth ddrws y tŷ, a'i dwy law ar y
trothwy.
28 Ac efe a ddywedodd wrthi, Cyf-
od, fel yr elom ymaith. Ond nid oedd
yn ateb. Yna efe a'i cymerth hi ar yr
asyn; a'r gŵr a gyfododd, ac a aeth
ymaith i'w fangre.
29 ¶ A phan ddaeth i'w dŷ, efe a
gymerth gyllell, ac a ymaflodd yn ei
orddercb, ac a'i darniodd hi, *yn nghyd*
a'i hesgyrn, yn ddeuddeg darn, ac a'i
hanfonodd hi i holl derfynau Israel.
30 A phawb a'r a welodd *hyny,* a
ddywedodd, Ni wnaethpwyd ac ni
welwyd y fath beth, er y dydd y
daeth meibion Israel o wlad yr Aifft,
hyd y dydd hwn: ystyriwch ar hyny,
ymgynghorwch, a thraethwch *eich*
*meddwl.*

## PENNOD XX.

YNA holl feibion Israel a aethant
allan; a'r gynulleidfa a ymgasgl-
odd yn nghyd fel un dyn, o Dan hyd
Beerseba, a gwlad Gilead, at yr Ar-
glwydd i Mispeh.
2 A phenaethiaid yr holl bobl, *o*
holl lwythau Israel, a safasant yn
nghynulleidfa pobl Dduw; *sef* ped-
war can mil o wŷr traed yn tynu
cleddyf.
3 (A meibion Benjamin a glywsant
fyned o feibion Israel i Mispeh) Yna
meibion Israel a ddywedasant, Dy-

---

fod gwŷr Gibeah wedi dwyn ymaith ei wraig ef yn hollol oddiwrtho; ac am hyny yr oedd am frysio adref i gymeryd mesurau priodol tuag at ei hadferu, fel y cawn iddo wneuthur wedi hyny i ddial ei marwolaeth. *Ac wele*—er ei syndod, *ei ordderchwraig ef wedi cwympo wrth ddrws y tŷ*—ac wedi cysgu yno, fel y tybiai ef, a'i dwylaw yn ymaflyd yn y trothwy.

Adn. 28. *Cyfod, fel yr elom ymaith*] Rhag dygwydd i ni beth a fyddo gwaeth: efe a ddywedai hyn i'w dihuno hi. *Ond nid oedd yn ateb*—am ei bod wedi *marw* yn ganlynol i'r anmharch a gawsai gan ddynion anifeilaidd y ddinas! *Yna efe a'i cymerth hi ar yr asyn*—a rwymodd ei chorff marw ar gefn yr asyn, ac a aeth ymaith heb ymresymu dim â gwŷr y ddinas, am y gwyddai nad oedd wiw iddo ddysgwyl am gyfiawnder yn y fath le. *Ac a aeth ymaith i'w fangre*—neu ei dŷ ei hun, yn lle myned i Silo fel y bwriadasai, adn. 18.

Adn. 29. *Ac a'i darniodd hi yn nghyda'i hesgyrn*] Gan adael yr esgyrn priodol i bob darn yn y darn hwnw; *yn ddeuddeg darn*—yn ol rhifedi llwythau meibion Israel; *ac a'i hanfonodd hi i holl derfynau Israel*—darn i henuriaid pob llwyth, ac wedi ei bêr-eneinio ond odid rhag llygredd. Gallwn feddwl hefyd ddarfod iddo anfon hanes fanol am ysgelerder barbaraidd y Benjaminiaid yn Gibeah gyda'r darnau at bob llwyth, gan eu tynghedu yn enw yr Arglwydd i ddial am yr ysgelerder hwnw, neu fod iddynt gael eu melldithio a'u darnio yr un modd. Er fod y weithred hon yn annymunol i deimladau dynol, eto yr oedd mewn rhyw ystyr yn angenrheidiol i gyffroi y wlad yn erbyn ysgelerder meibion Benjamin; ac y mae genym hanesion am weithredoedd cyffelyb wedi cymeryd lle yn mysg cenhedloedd ereill.

Adn. 30. *A phawb a'r a welodd hyny*] A welodd y darnau, neu a glywodd am yr ysgelerder; *a ddywedodd*—dan y teimlad dwysaf o dosturi tuag at y Lefiad, a dychryn wrth feddwl am anfadrwydd gwŷr Gibeah. *Ni wnaethpwyd ac ni welwyd y fath beth*—a'r weithred hon o eiddo y Benjaminiaid; *er y dydd y daeth meibion Israel o wlad yr Aifft*—yr oedd llawer peth digon drwg, 'ie gwaeth na hyn, wedi bod yn eu mysg cyn hyn; ond edrychent ar y weithred hon, dan yr amgylchiadau presenol, yn fwy anfad nag un. *Ystyriwch ar hyny*—meddyliwch am y peth, ac ymgynghorwch â'ch gilydd beth sydd oraf ei wneuthur er cospi y fath droseddwyr.

PEN. XX. Adn. 1. *Yna holl feibion Israel*] Neu y rhai penaf o bob dinas trwy eu holl lwythau, y rhai a ddewiswyd i gynrychioli y lleill; *fel un dyn*—gyda chymaint o unfrydedd a phe na buasent ond un dyn; *o Dan hyd Beerseba*—o derfyn eithaf y gogledd hyd derfyn eithaf y deau, gwel ar Jos. xix. 47; *a gwlad Gilead*—tuhwnt i'r Iorddonen, lle yr oedd Reuben, Gad, a hanner llwyth Manasse; *at yr Arglwydd i Mispeh*—yr oedd y ddinas hon yn sefyll ar gyffiniau Juda a Benjamin, a phriodolir hi weithiau i'r naill ac weithiau i'r llall. Ymddengys fod yma le i ymgynghori â'r Arglwydd, yn gystal ag yn Silo. Yn 1 Mac. iii. 46, ni a ddarllenwn, 'Y lle o'r blaen i Israel weddio oedd yn *Maspha,*' neu *Mispeh.* Nid oedd Gibeah, lle y gwnaed y drygioni, yn mhell oddiyma; ac yr oedd yn ganolbwynt cyfleus i'r holl lwythau ymgasglu iddo. Tybia rhai mai *Silo* a feddylir, am mai yno yr oedd yr arch. Ond nid yw yr ymadrodd, *ymgasglu at yr Arglwydd,* yn meddwl dim mwy na chyfarfod yn *enw* yr Arglwydd, i ymgynghori âg ef, a gweddio arno. Lle bynag y mae pobl Dduw, yno y mae Duw ei hun; ac y mae bob amser yn wirionedd, lle bynag y bo dau neu dri wedi ymgynull yn ei enw ef, ei fod ef yn eu canol hwynt.

Adn. 2. *Pedwar can mil o wŷr traed yn tynu cleddyf*] Gosodir eu nifer i lawr yma, i ddangos sel a pharodrwydd y llwythau i gospi y fath greulondeb.

Adn. 3. *A meibion Benjamin a glywsant fyned o feibion Israel i Mispeh*] A thybia rhai iddynt hwythau gael eu gwysio i fyned yno fel y llwythau ereill: modd bynag, nid aeth neb, am eu bod yn anfoddlon i roddi eu brodyr i fyny i gyfiawnder, ac yn meddwl na byddai i'r llwythau ereill byth fyned i ryfel â hwy ar y fath achos. *Yna meibion Israel a ddywedasant*—wrth y Lefiad, ei lanc, a'r hen ŵr a'u lletyasai, y rhai a wysiwyd i Mispeh i roddi eu tystiolaeth yn yr achos; ac am hyny cyfercbir hwynt yn y rhif lluosog, *Dywedwch, &c.*

wedwch, pa fodd y bu y drygioni
hyn?
4 A'r gŵr y Lefiad, gŵr y wraig a
laddesid, a atebodd ac a ddywedodd,
I Gibeah *eiddo* Benjamin y daethym
i, mi a'm gordderch, i letya.
5 A gwŷr Gibeah a gyfodasant i'm
herbyn, ac a amgylchynasant y tŷ, yn
fy erbyn liw nos, ac a amcanasant fy
lladd i; a threisiasant fy ngordderch,
fel y bu hi farw.
6 A mi a ymaflais yn fy ngor-
dderch, ac a'i derniais hi, ac a'i han-
fonais hi trwy holl wlad etifeddiaeth
Israel: canys gwnaethant ffieidd-dra
ac ynfydrwydd yn Israel.
7 Wele, meibion Israel *ydych* chwi
oll; moeswch rhyngoch air a chyngor
yma.
8 ¶ A'r holl bobl a gyfododd megys
un gŵr, gan ddywedyd, Nac eled neb
*o honom* i'w babell, ac na thröed neb
*o honom* i'w dŷ.
9 Ond yn awr, hyn *yw* y peth a
wnawn ni i Gibeah: *Nyni a awn i
fyny* i'w herbyn wrth goelbren;
10 A ni a gymerwn ddengwr o'r
cant trwy holl lwythau Israel, a chant
o'r mil, a mil o'r deng mil, i ddwyn
lluniaeth i'r bobl; i wneuthur (pan
ddelont i Gibeah Benjamin) yn ol yr
holl ffieidd-dra a wnaethant hwy yn
Israel.
11 Felly yr ymgasglodd holl wŷr
Israel yn erbyn y ddinas yn gytun
fel un gŵr.
12 ¶ A llwythau Israel a anfonas-
ant wŷr trwy holl lwythau Benjamin,
gan ddywedyd, Beth *yw* y drygioni
yma a wnaethpwyd yn eich mysg
chwi?
13 Ac yn awr rhoddwch y gwŷr,

Adn. 4. *A'r gŵr y Lefiad—a atebodd*] Am mai efe oedd y tyst blaenaf, neu am mai ei achos personol ef ydoedd hwn.

Adn. 5. *Ac a amcanasant fy lladd*] Eu hamcan cyntaf oedd cyflawni y pechod annaturiol a enwyd, pen. xix. 22, yr hyn ond odid a fuasai yn farwolaeth iddo ef, fel y bu i'w wraig; neu bygythient ei ladd os na ddeuai allan atynt, neu os na roddai ei wraig iddynt: gwel ar pen. xix. 25. *A threisiasant fy ngordderch*—dengys hyn nad oedd hi yn cydsynio yn y weithred, fel yr haera rhai; *fel y bu hi farw*—trwy yr anmharch treisiol a wnaed iddi.

Adn. 6. *Ac a'i derniais hi*] Efe a gyfaddefa mai efe ei hun a wnaethai hyn, am na fynai roi dim yn erbyn gwŷr Gibeah ond yr hyn yr oeddynt yn euog o hono; *ac a'i hanfonais trwy holl wlad etifeddiaeth Israel*—i dynu eu sylw at yr ysgelerder a wnaed, ac i gynhyrfu eu digter yn erbyn y fath ddrygioni ffiaidd ac ynfyd.

Adn. 7. *Wele, meibion Israel ydych chwi oll*] Dynion o un genedl ac un grefydd, yn proffesu duwioldeb, ac yn rhwym o amddiffyn gogoniant Duw a chospi pechod. *Moeswch rhyngoch air a chynghor yma*—pa beth sydd oraf ei wneuthur er gogoniant Duw, anrhydedd crefydd, ac er dwyn cosp gyfiawn ar y rhai a wnaethant y fath ffieidd-dra yn Israel.

Adn. 8. *Nac eled neb o honom i'w babell*] Yr oeddynt oll yn penderfynu yn unfryd, nad âi neb o honynt i orphwys am un noson nes gweinyddu cosp gyfiawn ar y fath ddyhirwyr.

Adn. 9. *Wrth goelbren*] Cynygiwyd gan ryw un, a chytunwyd ar y peth gan bawb, fod iddynt fwrw coelbren pwy o honynt a âi i fyny yn erbyn Gibeah, a phwy a arhosai yn y gwersyll i barotoi lluniaeth i'r rhyfelwyr.

Adn. 10. *A ni a gymerwn ddengwr o'r cant*] Sef deg o bob cant, yr hyn oedd gant o bob mil, a mil o bob deng mil. Felly, o'r 400,000 o wŷr traed, (adn. 2.) yr oedd 360,000 i fyned i ryfel yn erbyn meibion Benjamin os na roddent y troseddwyr i fyny iddynt hwy, adn. 13, a'r 40,000 gweddill i ddwyn lluniaeth iddynt, gan y dysgwylient i'r rhyfel barhau am hir amser.

Adn. 11. *Felly yr ymgasglodd*] Dygwyddodd hyn ar y 23ain o fis *Sebat*, meddai yr Iuddewon, yn cyfateb i ddiwedd Ionawr a dechre Chwefror, ar ba ddydd y cedwid ympryd i alaru am y tro.

Adn. 12. *Anfonasant wŷr trwy holl lwythau Benjamin*] Hyny yw, trwy holl *deuluoedd* Benjamin, yr hwn nid oedd ond un llwyth. Cyn dechreu taraw, anfonasant genadau at y Benjaminiaid i gwyno o herwydd y niwed a wnaed gan rai o'u llwyth, ac i ofyn am iddynt roddi y troseddwyr i fyny i ddwylaw cyfiawnder. Yr oedd hon yn drefn ddoeth a chyfiawn, fel na fyddai i'r diniwed ddyoddef gyd a'r euog. Ond paham na ddangosasai y llwythau hyn gyfartal sel yn erbyn eilunaddoliaeth meibion Dan, yr hwn, er yn llai dinystriol i heddwch cymdeithas, a darawai yn fwy uniongyrchiol yn erbyn gogoniant Duw ac anrhydedd crefydd? A allai hyn fod yn ddyledus i rywbeth amgen na chyflwr tra isel crefydd yn eu plith, a'u difaterwch am ogoniant Duw? Ac eto *eilunaddoliaeth* oedd yr unig drosedd ag y gorchymynid iddynt *ryfela* yn erbyn eu brodyr o'i herwydd.

Adn. 13. *Ac yn awr rhoddwch y gwŷr, meibion Belial*] Gwel ar pen. xix. 22; *fel y lladdom hwynt*—yr oeddynt yn euog o dri phechod, sef trais, godineb, a llofruddiaeth; ac, yn ol cyfraith Duw, yr oedd pob un o honynt i'w gospi â marwolaeth; *ac y dileom ddrygioni o Israel*—trwy attal y fath ddrygioni rhag ymdaenu, ac attal barn Duw rhag disgyn arnynt oll os gadawent y fath droseddwyr i ddianc yn ddigosp. *Ond ni wrandawai meibion Benjamin*—o herwydd balchder eu calon, yr hyn a wnai iddynt ysgornio ymostwng i'w brodyr; o herwydd eu tyb uchel am eu cryfder a'u medrusrwydd eu hunain mewn rhyfel; ac o herwydd barn gyfiawn Duw yn gadael y fath lwyth llygredig i gael eu difrodi. Dichon hefyd fod y troseddwyr yn wŷr mewn gradd ac awdurdod uchel yn eu plith,

meibion Belial, y rhai *sydd* yn Gi-
beah, fel y lladdom hwynt, ac y dile-
om ddrygioni o Israel. Ond ni wran-
dawai meibion Benjamin ar lais eu
brodyr meibion Israel:
14 Eithr meibion Benjamin a ym-
gynullasant o'r dinasoedd i Gibeah,
i fyned allan i ryfel yn erbyn meibion
Israel.
15 A chyfrifwyd meibion Benjamin
y dydd hwnw, o'r dinasoedd, yn chwe
mil ar hugain o wŷr yn tynu cleddyf,
heblaw trigolion Gibeah, y rhai a gyf-
rifwyd yn saith gant o wŷr etholedig.
16 O'r holl bobl hyn *yr oedd* saith
gant o wŷr etholedig yn chwithig;
pob un o honynt a ergydiai â chareg
at y blewyn, heb fethu.
17 Gwŷr Israel hefyd a gyfrifwyd,
heblaw Benjamin, yn bedwar can mil
yn tynu cleddyf; pawb o honynt yn
rhyfelwyr.
18 ¶ A meibion Israel a gyfodasant,
ac a aethant i fyny i dy Dduw, ac a
ymgynghorasant â Duw, ac a ddywed-
asant, Pwy o honom ni a â i fyny yn
gyntaf i'r gâd yn erbyn meibion Ben-
jamin? A dywedodd yr Arglwydd,
Juda *a â* yn gyntaf.
19 A meibion Israel a gyfodasant
y bore, ac a wersyllasant yn erbyn
Gibeah.
20 A gwŷr Israel a aethant allan i
ryfel yn erbyn Benjamin; a gwŷr Is-
rael a ymosodasant i ymladd i'w her-
byn hwy wrth Gibeah.
21 A meibion Benjamin a ddaeth-
ant allan o Gibeah, ac a ddyfethasant

---

yr hyn a'u gwnai yn fwy anfoddlon i'w rhoddi i fyny. Modd bynag, wrth ommedd cydsynio â chais rhesymol eu brodyr, yr oedd y Benjaminiaid yn dywedyd mewn effaith, 'Ni a safwn o'u plaid yn yr hyn a wnaethant hwy, ac ymddygasem yr un fath â hwy pe buasem yno.' Dengys hyn fod yr holl lwyth y pryd hyn wedi dirywio yn fawr.

Adn. 14. *Eithr meibion Benjamin a ymgynullasant*] O bob dinas trwy eu llwyth; *i Gibeah*—nid i gospi y troseddwyr yno, ond i'w hamddiffyn hwy rhag y llwythau ereill. Nid oeddynt yn gwadu y trosedd, nac yn ceisio ammodau heddwch; ond ymgynullasant yn nghyd i ryfel yn erbyn eu brodyr; yr hyn oedd ar unwaith yn brawf o falchder, llygredd, a rhyfyg mawr.

Adn. 15. *Chwe mil ar hugain*] O Benjaminiaid o'r gwahanol ddinasoedd trwy randir y llwyth, heblaw *saith gant* o ryfelwyr o Gibeah. Ond gwrthddadleua rhai, nad yw y rhif hwn yn ateb i'r nifer a enwir isod; canys y rhai oll a laddwyd o'r Benjaminiaid oedd 25,100, (adn. 35,) a 600 yn unig a ddiangasant, (adn. 47,) yr hyn ni wna ond 25,700, sef *mil* yn llai na'r cyfrif yma. Ond gellir ateb, fod y mil arall naill ai wedi eu gadael mewn rhai o'u dinasoedd, lle y lladdwyd hwynt gyd a'r trigolion, adn. 48, neu ynte wedi cwympo yn y ddwy frwydr gyntaf, adn. 21, 25; canys y mae yn afresymol meddwl i bob un o'r Benjaminiaid ddianc yn yr ymosodiadau hyny. Eithr y 25,100 a grybwyllir yn adn. 35, a laddwyd oll yn y drydedd frwydr. Ond y mae rhai ailunau o'r LXX a'r Vulgate yn darllen yma 'pum mil ar hugain,' yr hyn a symuda ymaith bob dyryswch.

Adn. 16. *Yn chwithig*] Hyny yw, yr oeddynt yn *wŷr cyflaw*, yn gallu defnyddio y llaw *chwith* yn gystal a'r llaw *ddeau:* gwel ar pen. iii. 15. *Pob un o honynt a ergydiai â chareg at y blewyn*—yr oeddynt yn sicr o daro y nôd, pa mor fychan a phell bynag y byddai. *Heb fethu*—braidd un amser. Ymddengys mai y medrusrwydd hwn, yn nghyda'u ffyrnigrwydd naturiol, (Gen. xlix. 27,) a wrolodd y Benjaminiaid, gyda rhif mor fychan, i ryfela yn erbyn y fath fyddin mor luosog o'u brodyr ag a grybwyllir yn y bennod hon. Yr oedd y *ffon dafl* yn offeryn rhyfel tra bore; ac, yn llaw rhai medrus i'w defnyddio, hi a wnai alanasdra mawr. Trigolion yr ynysoedd a elwid *Baleares* (yn awr *Majorca* a *Minorca*) oeddynt yr arwestrwyr *(slingers)* enwocaf yn yr hen amseroedd. Ni oddefent hwy i'w plant gael tamaid o fwyd nes iddynt daraw i lawr y bara ag yr oeddynt i'w fwyta oddiar ben pawl, neu o ryw uchelfa arall. Gelwid hwynt *Baleares* oddiwrth y gair Groeg *ballein*, saethu, ergydio, taflu. Dywedir y gallai yr arwestrwyr yn gyffredin daraw y nôd yn y pellder o chwe chant o droedfeddi; a dywed *Ovid* a *Seneca*, pan deflid pelen blwm o'r ffon dafl, fod ei chyflymder y fath, nes y toddai weithiau wrth ruglio trwy yr awyr!

Adn. 17. *Yn bedwar can mil*] Yr oedd 600,000 o ryfelwyr yn Israel pan ddaethant i Ganaan; ond yn awr, ar ol gorphen y rhyfeloedd, a dechreu o honynt lafurio y ddaear, ymddengys nad oedd y rhyfelwyr mor luosog: ac heblaw hyny, nid yw gwŷr Benjamin a Jabes Gilead yn y cyfrif hwn.

Adn. 18. *A meibion Israel a gyfodasant*] Sef rhai o honynt ar ran y lleill; *ac a aethant i fyny i dŷ Dduw*—i Silo, yr hon oedd 22 o filldiroedd o Mispeh; *ac a ymgynghorasant â Duw*—trwy Phinees yr archoffeiriad, gyda'r Urim a'r Thummim. *Pwy o honom ni a â i fyny yn gyntaf?*—nid oeddynt yn amau mai eu lle oedd myned i ryfel yn erbyn meibion Benjamin, ac nid oeddynt yn amau ychwaith am eu llwyddiant gyda nifer mor fawr, yn yr hyn yr oeddynt yn hyderus; eithr yn unig gofynent pwy a âi yn *gyntaf*, fel na byddai ymryson yn eu plith yn nghylch y flaenoriaeth. *Juda a â yn gyntaf*—am mai efe oedd y llwyth lluosocaf, cryfaf, a dewraf, ac arweinydd arferol y gâd; (gwel ar pen. i. 1, 2;) ond ni ddywed Duw y gorchfygai efe.

Adn. 19, 20. *A meibion Israel a gyfodasant y bore*] Sef y 360,000 yn nghyd, ac yn cael eu blaenori neu eu harwain gan lwyth Juda.

Adn. 21. *A meibion Benjamin a ddaethant allan o Gibeah*] Lle yr oeddynt wedi ymgyn-

o Israel y dwthwn hwnw ddwy fil ar
hugain o wŷr hyd lawr.
22 A'r bobl gwŷr Israel a ymgryf-
hasant, ac a ymosodasant drachefn i
ymladd, yn y lle yr ymosodasent
ynddo y dydd cyntaf.
23 (A meibion Israel a aethent i
fyny, ac a ŵylasent gerbron yr Argl-
wydd hyd yr hwyr; ymgynghorasent
hefyd â'r Arglwydd, gan ddywedyd,
A âf fi drachefn i ryfel yn erbyn
meibion Benjamin fy mrawd? A dy-
wedasai yr Arglwydd, Dos i fyny yn
ei erbyn ef)
24 A meibion Israel a nesasant yn
erbyn meibion Benjamin yr ail dydd.
25 A Benjamin a aeth allan o Gib-
eah i'w herbyn hwythau yr ail dydd;
a hwy a ddyfethasant o feibion Israel
eilwaith dair mil ar bymtheg o wŷr
hyd lawr: y rhai hyn oll oedd yn
tynu cleddyf.
26 ¶ Yna holl feibion Israel a'r holl
bobl a aethant i fyny ac a ddaethant
i dŷ Dduw, ac a wylasant, ac a aros-
asant yno gerbron yr Arglwydd, ac a
ymprydiasant y dwthwn hwnw hyd
yr hwyr, ac a offrymasant boeth-
offrymau ac offrymau hedd gerbron
yr Arglwydd.
27 A meibion Israel a ymgynghor-
asant â'r Arglwydd (canys yno *yr
oedd* arch cyfammod Duw yn y dydd-
iau hyny;
28 A Phinees mab Eleazar, mab
Aaron, oedd yn sefyll ger ei bron hi
yn y dyddiau hyny) gan ddywedyd,
A chwanegaf fi mwyach fyned allan i
ryfel yn erbyn meibion Benjamin fy
mrawd, neu a beidiaf fi? A dywedodd

---

ull i'w hamddiffyn hi a'i thrigolion, adn. 14; *ac a ddyfethasant o Israel y dwthwn hwnw*—neu y dydd hwnw, *ddwy fil ar hugain*—yr hyn oedd bron gymaint a rhif holl feibion Benjamin. Yr oedd hyn yn ergyd trwm i wŷr Israel; ond yr oedd eu godineb ysbrydol hwy yn galw am y ffrewyll hon arnynt, fel y mynent hwythau gospi godineb cnawdol gwŷr Gibeah; canys yr oeddynt wedi esgeuluso cospi eilunaddoliaeth Mica, ac eiddo y Daniaid, yr hyn oedd odineb ysbrydol yn ymdaenu trwy yr holl lwythau. Yma yr oedd Benjamin, yn ol proffwydoliaeth Jacob, yn 'ysglyfaethu fel blaidd,' Gen. xlix. 27.

Adn. 22. *Yn y lle yr ymosodasant ynddo y dydd cyntaf*] Yr hyn a ddengys, er iddynt golli y frwydr gyntaf, eto ddarfod iddynt sefyll eu tir, a chadw y maes iddynt eu hunain. Yr oeddynt yn eu teimlo eu hunain yn *gryf* at ail ymosodiad, trwy fod eu byddin yn lluosog a'u hachos yn dda.

Adn. 23. *A meibion Israel a aethant i fyny*] I Silo, adn. 18; *ac a ŵylasant gerbron yr Arglwydd*—am eu haflwydd yn y frwydr gyntaf, yn fwy nag am eu pechodau, y rhai oeddynt yr achos o'u haflwydd. *A âf fi drachefn i ryfel?*—y maent yn awr ychydig yn fwy gostyngedig na'r tro o'r blaen; canys gofynant y tro hwn i'r Arglwydd, a oedd yn *iawn* iddynt fyned i ryfel yn erbyn eu brawd, pan na ofynent o'r blaen ond pwy a âi yn *gyntaf*. *Dos i fyny yn ei erbyn ef*—ond nid yw yr Arglwydd yn addaw bod yn gymhorth iddynt eto, na rhoddi y fuddugoliaeth iddynt ychwaith, gan na ofynasant am y naill na'r llall. Yr oeddynt fyth yn ymddiried gormod yn nifer eu byddin, ac yn nghyfiawnder eu hachos, i ofyn cymhorth gan yr Arglwydd; ac am hyny efe a'u gollyngodd hwynt ymaith yn ddigymhorth.

Adn. 24. *Yr ail dydd*] Sef ail ddydd y frwydr, yn mhen amrai ddyddiau wedi y frwydr gyntaf; canys yr oeddynt wedi bod yn Silo diwrnod cyfan rhwng y ddwy, yr hon oedd ddwy filldir ar hugain o Mispeh, a thros bymtheg o Gibeah.

Adn. 25. *Dair mil ar bymtheg*] Yr hyn a wnai 40,000 yn y cwbl, neu 13,300 yn fwy na nifer yr holl Benjaminiaid a dynent gleddyf, adn. 15.

Adn. 26. *Yna holl feibion Israel a'r holl bobl*] Meddylir i'r holl ryfelwyr, yn nghydag amrai o bobl y wlad y rhai nid oeddynt ryfelwyr, fyned i fyny i Silo y tro hwn; *ac a ŵylasant, ac a arosasant yno gerbron yr Arglwydd*—yn deimladwy nad oeddynt wedi gwir ymddarostwng o'r blaen o herwydd eu pechodau, yr hyn, fel y gwelent yn awr, oedd yr achos o'u haflwydd. *Ac a ymprydiasant y dwthwn hwnw*—cystuddiasant eu cyrff âg ympryd y tro hwn, yn gystal a'u heneidiau âg ŵylofain a galar; yr hyn ni wnaethent y tro o'r blaen. *Ac a offrymasant boeth-offrymau*—i wneyd cymod dros eu pechodau, ac i gael maddeuant o honynt. *Ac offrymau hedd*—i fendithio Duw am arbed cynifer o honynt, pryd y gallasai efe eu tori hwynt oll i lawr yn gystal a'u brodyr; i ofyn am ei gymhorth ef rhagllaw; ïe, ac i ddiolch iddo am y fuddugoliaeth ag yr hyderent yn awr y byddai iddo ei rhoddi iddynt. Pe buasent wedi ymddarostwng, ymprydio, ac offrymu fel hyn ar y cyntaf, ni adawsai yr Arglwydd iddynt gael eu dyfetha.

Adn. 27. *A meibion Israel a ymgynghorasant â'r Arglwydd*] O ddifrif, ac yn yr iawn ffordd. Yr oeddynt wedi bod yn ymgynghori âg ef ddwywaith o'r blaen, ond nid fel y dylasent wneuthur: gwel ar adn. 18, 23. *Canys yno*—yn Silo.

Adn. 28. *A Phinees mab Eleazar, mab Aaron*] Crybwyllir hyn i daflu goleuni ar amser yr orchwyliaeth hon, yr hyn a raid fod yn fuan ar ol marwolaeth Josua: gwel ar pen. xvii. 1, 6. *Oedd yn sefyll ger ei bron hi*—a weinyddai gerbron yr *arch* fel archoffeiriad. *Neu a beidiaf fi?*—yr oeddynt yn plygu yn awr yn hollol i ewyllys yr Arglwydd, ac yn foddlon i fyned i ryfel y drydedd waith, neu i beidio, yn unig fel y cyfarwyddai efe; gan ymorphwys yn gwbl ar ei gymhorth ef, ac nid ar eu nifer eu hunain. *A dywedodd yr Ar-*

yr Arglwydd, Ewch i fyny; canys y
fory y rhoddaf ef yn dy law di.
29 Ac Israel a osododd gynllwyn-
wyr o amgylch Gibeah.
30 A meibion Israel a aethant i
fyny yn erbyn meibion Benjamin y
trydydd dydd, ac a ymosodasant wrth
Gibeah fel cynt.
31 A meibion Benjamin a aethant
allan yn erbyn y bobl; *a* thynwyd
hwynt oddiwrth y ddinas: a hwy a
ddechreuasant daro *rhai* o'r bobl yn
archolledig, fel cynt, yn y prif-ffyrdd,
o'r rhai y mae y naill yn myned i fyny
i dŷ Dduw, a'r llall i Gibeah yn y
maes, yn nghylch dengwr ar hugain o
Israel.
32 A meibion Benjamin a ddywed-
asant, Cwympwyd hwynt o'n blaen
ni, fel ar y cyntaf. Ond meibion Is-
rael a ddywedasant, Ffown fel y tyn-
om hwynt oddiwrth y ddinas, i'r prif-
ffyrdd.
33 A holl wŷr Israel a gyfodasant
o'u lle, ac a fyddinasant yn Baal-ta-
mar: a'r *sawl* a oedd *o* Israel yn cyn-
llwyn, a ddaeth allan o'u mangre, *sef*
o weirgloddiau Gibeah.
34 A daeth yn erbyn Gibeah ddeng
mil o wŷr etholedig o holl Israel; a'r
gâd a fu dost: ond ni wyddent *fod*
drwg yn agos atynt.
35 A'r Arglwydd a darawodd Ben-
jamin o flaen Israel: a dyfethodd
meibion Israel o'r Benjaminiaid, y
dwthwn hwnw, bum mil ar hugain
a chànwr; a'r rhai hyn oll yn tynu
cleddyf.
36 Felly meibion Benjamin a wel-
sant mai eu lladd yr oeddid: canys
gwŷr Israel a roddasant le i'r Benja-
miniaid; o herwydd hyderu yr oedd-
ynt ar y cynllwynwyr, y rhai a osod-
asent yn ymyl Gibeah.
37 A'r cynllwynwyr a frysiasant,
ac a ruthrasant ar Gibeah; a'r cyn-
llwynwyr a udganasant yn hirllaes,
ac a darawsant yr holl ddinas â min
y cleddyf.
38 Ac yr oedd amser nodedig rhwng
gwŷr Israel a'r cynllwynwyr; *sef* peri
o honynt i fflam fawr *a* mwg ddyrch-
afu o'r ddinas.
39 A phan drôdd gwŷr Israel *eu
cefnau* yn y rhyfel, Benjamin a ddech-
reuodd daro yn archolledig o wŷr Is-

---

*glwydd, &c.*—cawsant orchymyn dwyfol i fyned i fyny yn erbyn y Benjaminiaid, gydag addewid y tro hwn y rhoddai Duw wŷr Benjamin yn eu llaw hwynt dranoeth, yr hyn hefyd a wnaeth efe, adn. 35.

Adn. 29. *Ac Israel a osododd gynllwynwyr*] Canys er iddynt gael addewid sicr o lwyddiant, eto nid esgeulusasant y defnyddiad o foddion priodol.

Adn. 30. *Y trydydd dydd*] O'r frwydr: gwel ar adn. 24.

Adn. 31, 32. *A thynwyd hwy oddiwrth y ddinas*] Trwy i feibion Israel gymeryd arnynt ffoi rhag y Benjaminiaid; *a hwy a ddechreuasant daro*—hyny yw, lladdodd y Benjaminiaid yn union yn nghylch 30 o feibion Israel, a thybient yn sicr mai hwynt-hwy a fuddugoliaethent y tro hwn eto, yn gystal a'r ddau dro o'r blaen. *Yn y prif-ffyrdd*—neu y groesffordd, lle yr oedd un ffordd yn troi i fyny tua Silo neu Bethel, o'r ffordd ag oedd yn arwain yn ol i Gibeah: ond tybia rhai mai rhyw Gibeah arall a feddylir.

Adn. 33. *Ac a fyddinasant yn Baal-tamar*] Ymddengys fod meibion Israel wedi rhanu eu byddin yn dair mintai; un yn *Baal-tamar*, un arall yn cynllwyn yn ngweirgloddiau *Gibeah*, a'r llall yn brwydro gyda'r Benjaminiaid yn y *groesffordd.*

Adn. 34. *Ond ni wyddent fod drwg yn agos atynt*] Ni wyddai y Benjaminiaid fod cynllwynwyr iddynt y tu arall i'r ddinas, na bod yr Arglwydd wedi eu rhoddi hwynt yn llaw meibion Israel.

Adn. 35. *A'r Arglwydd a darawodd Benjamin*] Er fod Israel yn lluosog, ac yn ymladd yn ddewr, eto priodolir y fuddugoliaeth hon i'r Arglwydd yn gwbl; canys heb ei gyfryngiad ef, wedi ei geisio mewn ffordd ddyladwy, buasai gwŷr Benjamin yn drech na hwynt y waith hon hefyd. *Bum mil ar hugain a chànwr*—yr hyn oedd nifer eu holl ryfelwyr y pryd hyn, oddieithr y 600 a ffoisent i'r anialwch, adn. 47: gwel ar adn. 15.

Adn. 36. *Felly meibion Benjamin a welsant mai eu lladd yr oeddid*] Wrth y miloedd, er na ddysgwyliasant hyn ar ol eu llwyddiant yn y ddwy frwydr flaenorol. *Canys gwŷr Israel a roddasant le i'r Benjaminiaid*—trwy gymeryd arnynt eu hofni, a ffoi rhagddynt, adn. 31. *O herwydd hyderu yr oeddynt ar y cynllwynwyr*—y byddai i'r rhai hyny nid yn unig fyned i mewn i'r ddinas, a'i rhoddi ar dân; ond y deuent hefyd i gyfarfod â'r Benjaminiaid, fel ag i'w cau i fyny rhwng y ddwy fintai.

Adn. 37. *A'r cynllwynwyr a udganasant yn hirllaes*] I ddychrynu y rhai oedd yn y ddinas, ac i beri i'r ddwy fintai ereill wybod eu bod hwy wedi myned i mewn iddi a'i gorchfygu hi. *Ac a darawsant yr holl ddinas â min y cleddyf*—pawb ag oeddynt ynddi, yn wŷr, gwragedd, a phlant.

Adn. 38. *Ac yr oedd amser nodedig*] Yr oedd y gwahanol finteioedd o'r fyddin Israelaidd wedi penodi gyda'u gilydd pa bryd yr oedd y cynllwynwyr i ymosod ar y ddinas, a pha arwydd oedd i gael ei roddi pan fyddent wedi ei hennill hi, sef udganu mewn udgyrn, a rhoddi rhan o'r ddinas ar dân.

Adn. 39. *A phan drôdd gwŷr Israel eu cefnau*] Gan ffuantu dianc. Oddiyma yn

rael yn nghylch dengwr ar hugain: canys dywedasant, Diau gan daro eu taro hwynt o'n blaen ni, fel yn y cyntaf.

40 A phan ddechreuodd y fflam ddyrchafu o'r ddinas â cholofn o fwg, Benjamin a edrychodd yn ei ol; ac wele, fflam y ddinas yn dyrchafu i'r nefoedd.

41 Yna gwŷr Israel a droisant drachefn; a gwŷr Benjamin a frawychasant: o herwydd hwy a ganfuant fod drwg *wedi* dyfod arnynt.

42 Am hyny hwy a droisant o flaen gwŷr Israel, tua ffordd yr anialwch; a'r gâd a'u goddiweddodd hwynt: a'r rhai *a ddaethai* o'r dinasoedd, yr oeddynt yn eu dyfetha yn eu canol.

43 *Felly* yr amgylchynasant y Benjaminiaid; erlidiasant hwynt, a sathrasant hwynt yn hawdd hyd yn nghyfer Gibeah, tua chodiad haul.

44 A lladdwyd o Benjamin dair mil ar bymtheg o wŷr: y rhai hyn oll *oedd* wŷr nerthol.

45 A hwy a droisant, ac a ffoisant tua'r anialwch i graig Rimmon. A'r *Israeliaid* a loffasant *o* honynt ar hyd y prif-ffyrdd, bum mil o wŷr: erlidiasant hefyd ar eu hol hwynt hyd Gidom, ac a laddasant o honynt ddwy fil o wŷr.

46 A'r rhai oll a gwympodd o Benjamin y dwthwn hwnw, oedd bum mil ar hugain o wŷr yn tynu cleddyf: hwynt oll *oedd* wŷr nerthol.

47 Eto chwe chânwr a droisant, ac a ffoisant i'r anialwch i graig Rimmon, ac a arosasant yn nghraig Rimmon bedwar mis.

48 A gwŷr Israel a ddychwelasant ar feibion Benjamin, ac a'u tarawsant hwy â min y cleddyf, yn ddyn o *bob* dinas, ac yn anifel, a pheth bynag a gafwyd: yr holl ddinasoedd hefyd a'r a gafwyd, a losgasant hwy a thân.

## PENNOD XXI.

A GWYR Israel a dyngasent yn Mispeh, gan ddywedyd, Ni ddyry neb o honom ei ferch i Benjaminiad yn wraig.

---

mlaen rhoddir adroddiad manylach a llawnach o'r hyn a fras-grybwyllwyd yn yr adnodau blaenorol.

Adn. 40. *Benjamin a edrychodd yn ei ol*] Ar ol clywed swn hirllaes yr udgyrn yn dyrchafu o'r ddinas; *ac wele, fflam y ddinas yn dyrchafu i'r nefoedd*—yr hyn oedd yn brawf fod eu gelynion wedi ei hennill a'i gorchfygu hi.

Adn. 41. *Yna gwŷr Israel a droisant drachefn*] A droisant yn ol i ymladd â'r Benjaminiaid, ar ol ffuantu ffoi rhagddynt; *a gwŷr Benjamin a frawychasant*—wrth ganfod eu dinas ar dân y tu ol iddynt, a gwŷr Israel yn troi atynt i ymladd â hwynt.

Adn. 42. *Am hyny hwy a droisant o flaen gwŷr Israel*] Nid i rith dianc fel meibion Israel, ond i geisio ffoi mewn gwirionedd am eu heinioes; *tua ffordd yr anialwch*—i'r deauddwyrain, rhyngddynt ac anialwch Judea; *a'r gâd a'u goddiweddodd hwynt*—am fod euogrwydd a braw wedi arafu eu symudiad; *a'r rhai a ddaethai o'r ddinasoedd*—sef trigolion dinasoedd Benjamin, y rhai a geisient ffoi gyda'r rhyfelwyr; *yr oeddynt*—hyny yw, yr oedd gwŷr Israel yn lladd y Benjaminiaid rhag blaen, yn filwyr a dinaswyr.

Adn. 43. *Felly yr amgylchynasant y Benjaminiaid*] Am fod byddin gwŷr Israel yn ddigon lluosog i wneyd hyny; *a sathrasant hwynt yn hawdd*—am fod yr Arglwydd yn eu rhoddi hwynt dan eu traed hwy; *hyd yn nghyfer Gibeah*—yr ochr ddwyreiniol iddi.

Adn. 44. *A lladdwyd o Benjamin*] Sef o'u milwyr hwynt ar faes y frwydr, heb son am eu dinaswyr, *dair mil ar bymtheg*—yr un nifer ag a laddasent hwy o wŷr Israel yn yr ail frwydr, adn. 25.

Adn. 45, 46. *I graig Rimmon*] Rhyw le cadarn ond odid yn llwyth Benjamin. *A'r Israeliaid a loffasant o honynt ar hyd y prif-ffyrdd bum mil o wŷr*—cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth y rhai a loffent winrawn neu ŷd, a hyny mor lwyr fel ag i beidio gadael dim gweddillion. *Hyd Gidom*—sef ar ol yr ychydig a ddiangasent yno; *ac a laddasant o honynt ddwy fil o wŷr*—yr hyn a wna yn y cyfan, mewn rhif crwn, 25,000. Diamau i 100 yn ychwaneg gael eu lladd rhwng y tri ymosodiad hyn, fel y dysgwn oddiwrth adn. 35; ond 18,000, 5,000, a 2,000 oedd cyfanrif y miloedd.

Adn. 47. *Eto chwe chânwr a droisant ac a ffoisant, &c.*] Gallwn feddwl iddynt ffoi yn gyntaf gyda'r lleill i Rimmon, ac oddiyno i Gidom, ac oddiyno i Rimmon eilwaith; *ac a arosasant yn nghraig Rimmon*—ond odid mewn ogof yno; *bedwar mis*—nes yr oedd digofaint gwŷr Israel wedi llonyddu.

Adn. 48. *A gwŷr Israel a ddychwelasant ar feibion Benjamin*] Ar ol dyfetha eu holl filwyr hwynt, namyn y chwe chânwr uchod, hwy a ddychwelasant i ddystrywio yr holl weddill o'r llwyth hwn, yn wŷr, gwragedd, a phlant, yn nghyda'u hanifeiliaid a'u holl ddinasoedd! Nid yspeiliasant ddim, yr hyn a ddengys nad er mwyn elw yr aethant yn erbyn Benjamin. Yr oedd cwpan anwiredd y Benjaminiaid yn llawn, a disgynodd barn Duw arnynt hyd yr eithaf.

PEN. XXI. Adn. 1. *A gwŷr Israel a dyngasent yn Mispeh*] Ar ol iddynt oll ymgynull yno yn nechre y rhyfel hon, pen. xx. 1. *Ni ddyry neb o honom ei ferch i Benjaminiad yn wraig*—i unrhyw un o'r rhyfelwyr a ddichon ddianc; canys yr oeddynt yn bwriadu dyfetha yr holl lwyth, hyd y gallent, yn wŷr, gwragedd, a phlant.

2 A daeth y bobl i dŷ Dduw, ac a arosasant yno hyd yr hwyr gerbron Duw, ac a ddyrchafasant eu llef, ac a ŵylasant âg ŵylofain mawr:
3 Ac a ddywedasant, O Arglwydd Dduw Israel, paham y bu y peth hyn yn Israel, fel y byddai heddyw un llwyth eisiau yn Israel?
4 A thranoeth y bobl a fore-godasant, ac a adeiladasant yno allor, ac a offrymasant boeth-offrymau ac offrymau hedd.
5 A meibion Israel a ddywedasant, Pwy o holl lwythau Israel ni ddaeth i fyny gyda'r gynulleidfa at yr Arglwydd? canys llw mawr oedd yn erbyn yr hwn ni ddelsai i fyny at yr Arglwydd i Mispeh, gan ddywedyd, Rhoddir ef i farwolaeth yn ddiau.
6 A meibion Israel a edifarhasant o herwydd Benjamin eu brawd: a dywedasant, Torwyd ymaith heddyw un llwyth o Israel:
7 Beth a wnawn ni am wragedd i'r rhai a adawyd, gan dyngu o honom ni i'r Arglwydd, na roddem iddynt *yr un* o'n merched ni yn wragedd?
8 ¶ Dywedasant hefyd, pa un o lwythau Israel ni ddaeth i fyny at yr Arglwydd i Mispeh? Ac wele, ni ddelsai neb o Jabes Gilead i'r gwersyll, at y gynulleidfa.

---

Adn. 2. *A daeth y bobl i dŷ Dduw*] Tybia Clarke mai *Bethel* a feddylir yma; eithr y dyb fwyaf cyffredin yw mai *Silo* a olygir, adn. 12. *Ac a ŵylasant âg ŵylofain mawr*—yn mhen rhai dyddiau ar ol i'w cynddaredd fyned heibio, wrth ystyried yn bwyllig yr hyn a wnaed ganddynt yn mhoethder y frwydr, eu llawenydd a'u gorfoledd o herwydd y fuddugoliaeth, a drowyd yn alar a griddfan am golli llwyth cyfan o'u brodyr.

Adn. 3. *O Arglwydd Dduw Israel*] Sef Duw cyfammodol â holl Israel, ac â Benjamin yn gystal a'r llwythau ereill. *Paham y bu y peth hyn yn Israel*—rhwng Benjamin a'u brodyr! Gwyddent yn dda paham y bu; eithr hon yw iaith gyffredin gofid. *Fel y byddai heddyw un llwyth yn eisiau*—y mae yn debyg na wyddent hwy eto fod chwe chànwr o honynt wedi dianc; ac os gwyddent, yr oedd eu llw yn erbyn rhoddi eu merched yn wragedd iddynt, yn arwain i ddifodiad hollol o'r llwyth.

Adn. 4. *A thranoeth y bobl a fore-godasant*] At ymarferiadau crefyddol, gan obeithio trwy hyny y maddeuai Duw iddynt yr hyn a fu o'i le ynddynt, ac y symudai efe rywfodd eu trallod presenol. *Ac a adeiladasant yno allor*—gan fod y fath nifer o honynt, a bod llawer iawn o ebyrth i'w hoffrymu, nid oedd yr allor bres yn Silo yn ddigon iddynt oll; ac am hyny adeiladasant yno allor arall yn chwanegol ati, fel y gwnaeth Solomon wrth gysegru y deml, 1 Bren. viii. 64. Ond tybia Clarke fod hyn yn rheswm chwanegol nad oedd hwn yn le arferol o addoliad, onidê y cawsid allor yn y lle; a thybia ereill, yn ddisail, fod yr allor yn Silo wedi adfeilio trwy wrthgiliad ac eilunaddoliaeth y bobl, ac mai adgyweirio hòno a feddylir yma. *Ac a offrymasant boeth-offrymau ac offrymau hedd*—i wneyd cymod dros eu pechodau, i ddiolch am eu cadw hwy yn fyw, ac i erfyn am fendith a daioni iddynt rhagllaw.

Adn. 5. *Pwy o holl lwythau Israel ni ddaeth i fyny*] Pan y gwysiwyd hwynt i ddyfod yn nghyd i Mispeh, i ymgynghori gerbron yr Arglwydd yn achos y Lefiad? pen. xx. 1. *Canys llw mawr*—neu fygythiad o farwolaeth. Y mae yn debyg i hwn gael ei ddanfon i bob man gyda'r wŷs, i ddeffro sylw pawb, ac i gael ufydd-dod cyffredinol dan berygl bywyd. Gwnaed y llw hwn gan benaethiaid Israel wrth alw y bobl yn nghyd; ac felly y mae yn wahanol i'r hwn a grybwyllir yn adn. 1 o'r bennod hon, yr hwn a wnaed ar ol i'r bobl ymgynull yn nghyd. *Rhoddir ef i farwolaeth yn ddiau*—o herwydd wrth ommedd gweinyddu y gosp ddyledus i'r fath droseddwyr, ystyrid ef fel yn gyfranog o'r un trosedd, ac am hyny yn agored i'r un gosp, fel yr oedd yn bod gyda'r ddinas a wrthodai roddi i fyny eilunaddolwr a drigai ynddi.

Adn. 6. *A meibion Israel a edifarhasant o herwydd Benjamin eu brawd*] Nid am iddynt fyned i ryfel yn erbyn pleidwyr troseddwyr Gibeah; ond am eu toster didrugaredd i'r gwragedd a'r plant, yr hyn oedd yn ddifodiad i lwyth cyfan.

Adn. 7. *Beth a wnawn ni am wragedd i'r rhai a adawyd?*] Canys yr oeddynt yn gwybod erbyn hyn am y chwe chànwr a ymguddiasent yn nghraig Rimmon. *Gan dyngu o honom*—felly yr oeddynt yn ystyried eu llw yn gysegredig, ac i gael ei gadw yn ddihalog hyd yn nod i'w niwed eu hunain. Yr oeddynt yn gweled fod yn rhaid iddynt hwy dori eu llw, neu i wŷr diangol Benjamin briodi â merched y Cenhedloedd yn groes i'r gyfraith, neu fod i'r llwyth hwnw ddiffoddi yn Israel. Nis gwyddent eto pa fodd i dori trwy yr anhawsderau hyn, yr hyn oedd testyn eu hymofyniad presenol. Modd bynag, caed trefn newydd at hyn yn ebrwydd, fel y gwelwn yn yr adnodau dylynol.

Adn. 8. *Pa un o lwythau Israel ni ddaeth i fyny at yr Arglwydd i Mispeh?*] Gofynid hyn nid yn unig i roddi yr anufyddion i farwolaeth yn ol y llw, adn. 5, ond hefyd fel dyfais i gael gwragedd i'r gweddill diangol o'r Benjaminiaid; oblegid gan na ddaethant i fyny i Mispeh, nid oeddynt hwy wedi tyngu na roddent eu merched yn wragedd i'r Benjaminiaid; ac felly gellid rhoddi gwragedd iddynt o blith y rhai hyn. *Ni ddelsai neb o Jabes Gilead*—dinas yn ngwlad Gilead, tuhwnt i'r Iorddonen, yn perthyn i lwyth Gad, ar derfynau Manasse.

Adn. 9. *Canys y bobl a gyfrifwyd*] Ac yr oedd eu rhif yn cael ei wneyd i fyny yn gwbl o ereill, yr hyn oedd yn brawf nad oedd yno neb o Jabes Gilead. Neu dichon eu bod wedi cymeryd cyfrif ysgrifenedig o rif ac enwau

9 Canys y bobl a gyfrifwyd; ac
wele, nid *oedd* yno neb o drigolion
Jabes Gilead.
10 A'r gynulleidfa a anfonasant
yno ddeuddeng mil o wŷr grymus;
ac a orchymynasant iddynt, gan ddy-
wedyd, Ewch a tharewch breswylwyr
Jabes Gilead â min y cleddyf, y
gwragedd hefyd a'r plant.
11 Dyma hefyd y peth a wnewch
chwi: Dyfethwch bob gwryw, a phob
gwraig a orweddodd gyda gŵr.
12 A hwy a gawsant yn mhlith
trigolion Jabes Gilead, bedwar cant
o lancesau yn wyryfon, y rhai nid ad-
nabuasant ŵr trwy gyd-orwedd â gŵr:
a dygasant hwynt i'r gwersyll i Silo,
yr hon *sydd* yn ngwlad Canaan.
13 A'r holl gynulleidfa a anfonas-
ant i lefaru wrth feibion Benjamin, y
rhai *oedd* yn nghraig Rimmon, ac i
gyhoeddi heddwch iddynt.
14 A'r Benjaminiaid a ddychwelas-
ant yr amser hwnw; a hwy a roddas-
ant iddynt hwy y gwragedd a gadwas-
ent yn fyw o wragedd Jabes Gilead:
ond ni chawsant hwy ddigon felly.
15 A'r bobl a edifarhaodd dros Ben-
jamin, o herwydd i'r Arglwydd wneu-
thur rhwygiad yn llwythau Israel.
16 ¶ Yna henuriaid y gynulleidfa
a ddywedasant, Beth a wnawn ni am
wragedd i'r lleill, gan ddystrywio y
gwragedd o Benjamin?
17 Dywedasant hefyd, *Rhaid yw bod*
etifeddiaeth i'r rhai a ddiangodd o
Benjamin, fel na ddilëer llwyth allan
o Israel.
18 Ac ni allwn ni roddi iddynt
wragedd o'n merched ni: canys meib-

---

pawb cyn myned i'r rhyfel, fel y gallent yn ol llaw wybod pwy oedd wedi anufyddhau i'r wŷs; ac yn awr gwelwyd nad oedd neb yn eu plith o drigolion Jabes Gilead.

Adn. 10. *A'r gynulleidfa a anfonasant yno*] Sef o Silo i Jabes, yr hon oedd daith oddeutu hanner cant o filldiroedd; *ddeuddeng mil o wŷr grymus*—y rhai dewraf a gwrolaf a feddent yn eu byddin. *Ewch a tharewch breswylwyr Jabes*—sef yr holl wrywiaid, y rhai yn benaf, os nid yn unig, a olygid yn y llw; *y gwragedd hefyd a'r plant*—och! ar ol eu holl alar am Benjamin, wele hwynt eto yn y fan yn myned i ymddwyn yr un mor greulon tuag at ereill o'u brodyr ag oeddynt yn llai euog; oblegid er na ddaethai gwŷr Jabes i'w cynorthwyo hwy, eto nid aethent i gynorthwyo Benjamin yn eu herbyn hwy. Ond os dadleuir fod eu llw yn eu rhwymo i ddinystrio y *gwragedd a'r plant* yn gystal a'r gwrywiaid; gellir gofyn, pa fodd ynte y gallasant arbed y *gwyryfon?* Y gwir yw, aethant yn mlaen yn hyn oll heb ymgynghori â'r Arglwydd; a'u cyfleusdra eu hunain, yn fwy na chyfiawnder neu dduwioldeb, a'u tueddodd hwynt i arbed y gwyryfon, fel y gallent ymryddhau oddi wrth yr anhawsderau yn y rhai yr oedd eu llw byrbwyll wedi eu suddo hwynt, adn. 7.

Adn. 11. *A phob gwraig a orweddodd gyda gŵr*] Fel na fyddai i fenyw feichiog o ŵr o lwyth arall fyned yn wraig i Benjaminiad, ac felly gymysgu yr had.

Adn. 12. *Bedwar cant o lancesau yn wyryfon*] Y rhai y gwyddid eu bod felly, yn ol arferiad y dwyrain, wrth eu haddurniadau a'u gwisgoedd. Hyn o wyryfon a gaed yno mewn oed i briodi, er fod yn mysg y plant a laddwyd lawer o fabanod benywaidd. *A dygasant hwynt i'r gwersyll i Silo*—i'w rhoddi yn wragedd i feibion Benjamin. Dengys hyn mai *Silo* a feddylir wrth *dŷ Dduw* yn adn. 2, 4, lle yr oedd y gwersyll wedi ymgynull.

Adn. 13. *I gyhoeddi heddwch iddynt*] I sicrhau fod yr elyniaeth oll ar ben, ac y gallent anturio allan o graig Rimmon. Rhaid fod hyn yn mhen pedwar mis ar ol rhyfel Gibeah, pen. xx. 47.

Adn. 14. *A'r Benjaminiaid a ddychwelasant*] O'u lloches yn nghraig Rimmon, ac a aethant gyda'r cenadau i'r gwersyll yn Silo. *A hwy a roddasant iddynt y gwragedd*—yr oedd gwŷr Israel yn meddwl y gallent roddi y merched hyn yn wragedd i'r Benjaminiaid heb dori eu llw; canys yr hyn a dyngasent oedd, na roddai yr un o honynt ei ferch ei hun, adn. 1. *Ond ni chawsant hwy ddigon*—am nad oedd ond 400 o wyryfon ar gyfer 600 o Benjaminiaid.

Adn. 15. *A'r bobl a edifarhaodd dros Benjamin*] Yn fwy fyth am eu bod yn methu cael digon o wragedd iddynt: edifarhasant am ladd eu gwragedd hwynt oll, ac am nad arbedasant ychwaneg o ferched Jabes Gilead. *O herwydd i'r Arglwydd wneuthur rhwygiad yn llwythau Israel*—trwy ddyfetha un o honynt bron yn gwbl. Er i hyn gael ei wneuthur ganddynt hwy eu hunain, eto yr oedd trwy oddefiad neu ewyllys yr Arglwydd, a thrwy ei ragluniaeth oruwchlywodraethol ef. Y Benjaminiaid eu hunain oeddynt unig awdwyr y pechod, eithr Duw oedd awdwr y gosp, yr hwn a ddefnyddiodd yr Israeliaid i'w gweinyddu hi. Modd bynag, ymddengys iddynt hwy fyned yn mhell tuhwnt i'w hawdurdod, ac arferyd tosder na orchymynwyd iddynt.

Adn. 16. *Yna henuriaid y gynulleidfa*] Y rhai oeddynt mewn oedran, doethineb, ac awdurdod. *Beth a wnawn ni am wragedd*—i'r ddau gant ereill? hyny yw, pa fodd y caent wragedd o ferched *Israel* iddynt, heb i neb o wŷr Israel dori eu llw?

Adn. 17. *Rhaid yw bod etifeddiaeth, &c.*] Yr oedd etifeddiaeth llwyth Benjamin wedi cael ei rhoddi iddo ef wrth goelbren, fel etifeddiaethau y lleill; ac am hyny rhaid i randir Benjamin gael ei gadw i'r chwe chânwr a ddiangasant, fel y byddo y llwythau yn eu rhif gwreiddiol, a phob un yn meddiannu ei etifeddiaeth ei hun.

Adn. 18. *Ac ni allwn ni roddi iddynt wrag-*

ion Israel a dyngasant, gan ddywedyd, Melldigedig *fyddo* yr hwn a roddo wraig i Benjamin.
19 Yna y dywedasant, Wele, *y mae* gŵyl i'r Arglwydd bob blwyddyn yn Silo, o du y gogledd i Bethel, tua chyfodiad haul i'r brif-ffordd y sydd yn myned i fyny o Bethel i Sichem, ac o du y deau i Libanus.
20 Am hyny y gorchymynasant hwy i feibion Benjamin, gan ddywedyd, Ewch a chynllwynwch yn y gwinllanoedd:
21 Edrychwch hefyd; ac wele, os merched Silo a ddaw allan i ddawnsio mewn dawnsiau; yna deuwch chwithau allan o'r gwinllanoedd, a chipiwch i chwi bob un ei wraig o ferched Silo, ac ewch i wlad Benjamin.
22 A phan ddelo eu tadau neu eu brodyr hwynt i achwyn atom ni, yna y dywedwn wrthynt, Byddwch dda iddynt er ein mwyn ni; oblegid na chadwasom i bob un ei wraig yn y rhyfel: o achos na roddasoch chwi *hwynt* iddynt y pryd hwn, *ni* byddwch chwi euog.
23 A meibion Benjamin a wnaethant felly; a chymerasant wragedd yn ol eu rhifedi, o'r rhai a gipiasent, ac a oeddynt yn dawnsio: a hwy a aethant ymaith, a dychwelasant i'w hetifeddiaeth, ac a adgyweiriasant y dinasoedd, ac a drigasant ynddynt.

---

*edd o'n merched ni*] O herwydd y llw, adn. 1, 7. Buasai yn dda ganddynt yn awr allu rhoddi eu merched eu hunain iddynt, trwy fod ganddynt y fath etifeddiaeth helaeth rhwng cyn lleied rhif; ond ni feiddient, rhag y deuai melldith arnynt am dori y llw hwnw.

Adn. 19. *Wele, y mae gŵyl i'r Arglwydd bob blwyddyn yn Silo*] Lle yr oedd y babell y pryd hyn, a lle yr ymgynullai holl wrywiaid Israel dair gwaith yn y flwyddyn, sef ar y pasc, y pentecost, a gŵyl y pebyll; ac yr oedd llawer o'r menywod yn myned yno hefyd. Bernir mai gŵyl y pebyll a olygir yma, am yr arferai fod mawr orfoledd a dawnsio ar yr ŵyl hôno, trwy eu bod wedi gorphen casglu holl ffrwythau y ddaear; a'r ŵyl hon oedd yr unig un ag y goddefid i'r gwyryfon Iuddewig ddawnsio ynddi. *O du y gogledd i Bethel*—mewn maes neu ddôl wastad o du y dwyrain i'r brif-ffordd a arweiniai o Bethel i Sichem. *O du y deau i Libanus*—neu *Lebonah*, lle rhwng Bethel a Sichem, oddeutu chwe milldir o Silo, ac wyth o Bethel. Y mae yn sicr nad mynydd Libanus a feddylir, canys yr oedd hwnw yn nghŵr gogleddol eithaf y wlad, oddeutu can millldir oddiyno.

Adn. 20. *Ewch a chynllwynwch yn y gwinllanoedd*] Yn ddirgel yn nghysgod y gwinwydd deiliog, o ba rai yr oedd nifer mawr yn y wlad hôno.

Adn. 21. *Os merched Silo a ddaw allan i ddawnsio*] Canys arferai y gwyryfon wneuthur hyny yn llawen a diniwed wrthynt eu hunain, heb ymgymysgu â gwrywiaid na gwragedd priod ar yr ŵyl hon. *Yna deuwch chwithau allan o'r gwinllanoedd*—yn sydyn, a diarwybod iddynt; *a chipiwch i chwi bob un ei wraig*—yr oedd hon eto yn ddyfais gyfrwys i ochel i wŷr Israel dori eu llw; oblegid wrth i'r Benjaminiaid eu hunain eu *cipio*, ymddanghosai nad oeddynt hwy yn eu *rhoddi* iddynt. *Ac ewch i wlad Benjamin* — a hyny yn ebrwydd, cyn i'w rhieni ddyfod i'w hachub o'ch dwylaw.

Adn. 22. *A phan ddelo eu tadau neu eu brodyr hwynt i achwyn atom ni*] I ofyn am adferiad o'u merched a'u chwiorydd, a chosp arnoch chwi am eu cipio felly oddiarnynt. *Byddwch dda iddynt*—sef i'r Benjaminiaid; hyny yw, na chospwch hwynt; *er ein mwyn ni*—hyny yw, naill ai er mwyn yr henuriaid, y rhai a gynghorasent feibion Benjamin i'w cipio hwynt; neu ynte er mwyn gwŷr Israel yn gyffredinol, y rhai a fuont oll yn greulon tuag at lwyth Benjamin trwy ladd eu gwragedd hwynt. *Oblegid ni chadwasom i bob un ei wraig yn y rhyfel*—naill ai yn y rhyfel â Benjamin, pryd y lladdasant eu holl wragedd hwynt; neu yn y rhyfel â gwŷr Jabes Gilead, lle nid arbedasant ddigon o ferched i roddi gwraig i bob un o'r chwe chànwr hyn. *O achos na roddasoch chwi hwynt iddynt y pryd hwn*—ond darfod i feibion Benjamin eu cipio hwynt eu hunain trwy drais, *ni byddwch chwi euog*—o dori eich llw; ac am hyny ymdawelwch, a byddwch dda iddynt.

Adn. 23. *A meibion Benjamin a wnaethant felly*] Cynllwynasant ac ymguddiasant yn y gwinllanoedd deiliog, rhuthrasant ar unwaith i blith y gwyryfon ag oeddynt wedi ymgynull yno i ddawnsio, a chipiasant bawb ei wraig o'u mysg, ac aethant â hwynt rhag blaen i randir llwyth Benjamin, lle yr oedd y 400 ereill o'u brodyr a'u gwragedd wedi cyraedd. *Adgyweiriasant y dinasoedd*—y rhai a ddystrywiesid gan wŷr Israel, pen. xx. 48; *ac a drigasant ynddynt*—gan eu hadgyweirio a'u hadboblogi yn raddol o oes i oes. Nid oes genym ddim hanes am anfoddlonrwydd o herwydd y *cipiad* uchod, o du y gwragedd ieuainc, nac o du eu tadau na'u brodyr ychwaith; ac y mae yn debyg eu bod yn ystyried y Benjaminiaid, fel etifeddion cyfoethog, yn gydmheiriaid gwerth eu cael.

Adn. 24. *A meibion Israel a ymadawsant oddiyno y pryd hyny*] Ar ol sefydlu gweddillion Benjamin yn eu gwlad; ac felly buont o leiaf bum mis, yn y cwbl, oddiwrth eu teuluoedd eu hunain. *Ac a aethant oddiyno*—ond odid o Silo, *bob un i'w etifeddiaeth*—yr hon a ddaethai iddo wrth goelbren yn amser Josua. Ni chwennychodd neb o honynt ddim o etifeddiaeth Benjamin, er ei bod yn awr yn llawer gormod iddo ef, ac yntau yn rhy wan i wneuthur unrhyw wrthsafiad.

Adn. 25. *Yn y dyddiau hyny nid oedd brenin yn Israel*] Gwel ar pen. xvii. 1, 6. Yr oedd yno *henuriaid*, (adn. 16,) gan y rhai yr oedd peth awdurdod, ac yr oedd yno *archoffeiriad;* (pen. xx. 28;) ond nid oedd yno un

24 A meibion Israel a ymadawsant oddiyno y pryd hyny, bob un at ei lwyth, ac at ei deulu; ac a aethant oddiyno bob un i'w etifeddiaeth.

25 Yn y dyddiau hyny nid *oedd* brenin yn Israel: pob un a wnai yr hyn oedd uniawn yn ei olwg ei hun.

---

*prif lywodraethwr* fel Moses a Josua, a'r barnwyr ar eu hol hwynt, na neb ag ydoedd yn meddu digon o awdurdod i gospi troseddau cyhoeddus, megys puteindra ac eilunaddoliaeth, a thrwy hyny attal cynydd llygredd a drygioni, a chadw y bobl mewn trefn. *Pob un a wnai yr hyn oedd uniawn yn ei olwg ei hun*—gan ddylyn ei dueddiadau a'i nwydau llygredig ei hunan. Y mae yr ysgrifenydd santaidd yn ailadrodd hyn fel rheswm dros y drygau dychrynllyd a grybwyllwyd yn y pum pennod flaenorol. Yma y gwelwn mor ddiolchgar y dylem ni fod am lywodraeth dda a chyfreithiau uniawn. Yr oedd yn arferiad gan y Persiaid, pan fyddai eu brenin farw, adael i'r bobl wneuthur fel y gwelent yn dda dros bum niwrnod, fel, oddiwrth y drygau a wneid y pryd hyny, y gallent weled yr angenrheidrwydd am lywodraethwr gwladol, a dysgu ymddarostwng iddo. Wrth ddiweddu, nis gallwn lai na mawrygu didueddrwydd neu anmhleidgarwch ysgrifenydd santaidd y llyfr hwn, wrth adrodd *beiau* Israel yn gystal a'u *rhinweddau;* yr hyn sydd yn brawf nid yn unig o'i onestrwydd ef, ond hefyd o wirionedd yr holl hanes.

# LLYFR RUTH.

Y MAE y llyfr hwn, yr hwn a dderbynia ei enw oddiwrth y wraig ag y cyfansodda ei hanes y rhan benaf o'i gynwysiad, wedi ei osod yn briodol rhwng llyfr y Barnwyr a llyfrau Samuel, am ei fod yn fath ar attodiad i'r blaenaf, ac arweiniad i mewn i'r rhai olaf. Ond nid oedd llyfrau y Barnwyr a Ruth ddim ond *un llyfr* yn amser yr hen Iuddewon, ac felly yr ystyrid hwynt gan amrai o'r hen dadau. Dywed Josephus i'r hyn a grybwyllir yma ddygwydd dan lywodraeth *Eli;* ond y mae yr amser hwnw yn rhy ddiweddar i Boaz, hendaid Dafydd. Y mae yr Esgob Patrick yn meddwl i'r ffeithiau a adroddir yma gymeryd lle yn nyddiau *Gedeon,* am fod newyn mawr yn ei amser ef, (Barn. vi. 3, &c.,) fel yr oedd hefyd yn amser Ruth, pen. i. 1; ond tybia yr Archesgob Usher, a chydag ef yr amseryddwyr yn gyffredinol, mai yn amser *Samgar* y dygwyddodd y pethau hyn. Y mae yr hanes a roddir yn y llyfr hwn yn brawf eglur o dyner ofal Rhagluniaeth Duw am ei bobl; yn dangos y llinach o ba un y tarddodd y MESSIA; yn gysgod o alwad y Cenhedloedd, trwy fod Ruth yn un o'r Moabesau; ac yn ddarlun llawn o symledd yr hen amserau. Priodolwyd ysgrifeniad y llyfr hwn i *Hezecia, Ezra,* ac ereill, ond yn fwyaf cyffredin i *Samuel.* Ddarfod ei ysgrifenu ar ol amser y barnwyr a gesglir oddiwrth yr adnod flaenaf ynddo; ac ar ol geni Dafydd, oddiwrth yr adnod ddiweddaf. Cynwysa, (1) Hanes teulu Elimelech yn myned i wlad Moab, lle y bu ef a'i ddau fab farw; a dychweliad ei weddw Naomi, yn nghyda'i merch-yn-nghyfraith Ruth, i Bethlehem, pen. i. (2) Hanes Ruth yn lloffa yn maesydd Boaz, pen. ii. (3) Boaz yn cydnabod rhan cyfathrachwr â hi, pen. iii. (4) Hanes amgylchiadau priodas Ruth, yn nghyda'r llinach santaidd hyd Dafydd, pen. iv.

## PENNOD I.

A BU yn y dyddiau yr oedd y brawdwyr yn barnu, fod newyn yn y wlad: a gŵr o Bethlehem Juda a aeth i ymdeithio yn ngwlad Moab, efe a'i wraig, a'i ddau fab.
2 Ac enw y gŵr *oedd* Elimelech, ac enw ei wraig Naomi, ac enw ei ddau fab Mahlon a Chilion, Ephrateaid o Bethlehem Juda. A hwy a ddaethant i wlad Moab, ac a fuant yno.
3 Ac Elimelech gŵr Naomi a fu farw; a hithau a'i dau fab a adawyd.
4 A hwy a gymerasant iddynt wragedd o'r Moabesau; enw y naill *oedd* Orpah, ac enw y llall, Ruth. A

---

PEN. I. Adn. 1. *A bu yn y dyddiau yr oedd y brawdwyr*] Sef y BARNWYR, am y rhai y darllenasom yn y llyfr o'r blaen; *fod newyn yn y wlad*—yn cael ei achlysuro ond odid trwy fod y Midianiaid, yr Amaleciaid, a'r Ismaeliaid, yn cludo yr ŷd ymaith cyn gynted ag yr ydoedd yn addfed, neu yn ei ddyfetha yn y maes: gwel ar Barn. vi. 3—6. *A gŵr o Bethlehem Juda a aeth i ymdeithio yn ngwlad Moab*—efe a gymerodd ei wraig a'i ddau fab yno rhag y newyn ag ydoedd yn Nghanaan. Yr oedd gwlad Moab yn gorwedd ar gyfer rhandir Juda, yr ochr ddwyreiniol i'r môr marw.

Adn. 2. *Ac enw y gŵr oedd Elimelech*] Ystyr yr enwau hyn, yn ol Clarke, yw a ganlyn: *Elimelech*—Duw yw fy mrenin; *Naomi*—prydferth neu hawddgar; *Mahlon*—gwendid; *Chilion*—gorphenedig, perffeithiedig. *Ephrateaid o Bethlehem Juda*—gelwid trigolion Bethlehem yn *Ephrateaid,* am fod Ephrath, neu Ephratah, yn enw arall ar y ddinas hòno: gwel ar Mat. ii. 1.

Adn. 3. *Ac Elimelech—a fu farw*] Yn debygol yn mhen ychydig amser ar ol iddo fyned i wlad Moab; *a hithau a'i dau fab a adawyd*—yn weddw ac amddifad mewn gwlad estronol, yr hyn oedd yn golled fawr iddynt oll.

Adn. 4. *A hwy a gymerasant iddynt wragedd o'r Moabesau*] Casgla rhai oddiwrth adn. 15, 16, fod y merched hyn wedi eu proselytio i'r grefydd Iuddewig cyn priodi; ond dywed yr alleirydd Caldeaidd nad oeddynt, ac mai yn gosp am briodi gwragedd dyeithr y bu feirw

thrigasant yno yn nghylch deng mlyn-
edd.
5 A Mahlon a Chilion a fuant
feirw hefyd ill dau; a'r wraig a ad-
awyd *yn amddifad* o'i dau fab, ac o'i
gŵr.
6 ¶ A hi a gyfododd, a'i merched-
yn-nghyfraith, i ddychwelyd o wlad
Moab: canys hi a glywsai yn ngwlad
Moab, ddarfod i'r Arglwydd ymwel-
ed â'i bobl, gan roddi iddynt fara.
7 A hi a aeth o'r lle yr oedd hi yn-
ddo, a'i dwy waudd gyda hi: a hwy a
aethant i ffordd i ddychwelyd i wlad
Juda.
8 A Naomi a ddywedodd wrth ei
dwy waudd, Ewch, dychwelwch bob
un i dŷ ei mam: gwneled yr Argl-
wydd drugaredd â chwi, fel y gwn-
aethoch chwi â'r meirw, ac â minau.
9 Yr Arglwydd a ganiatao i chwi
gael gorphwysdra bob un yn nhŷ ei
gŵr. Yna y cusanodd hi hwynt: a
hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a
ŵylasant.
10 A hwy a ddywedasant wrthi,
Diau y dychwelwn ni gyda thi at dy
bobl di.
11 A dywedodd Naomi, Dychwel-
wch, fy merched: i ba beth y deuwch
gyda mi? *a oes* genyf fi feibion eto
yn fy nghroth, i fod yn wŷr i chwi?
12 Dychwelwch, fy merched, ewch
*ymaith:* canys yr ydwyf fi yn rhy hen
i briodi gŵr. Pe dywedwn, Y mae gen-
yf obaith, a bod heno gyda gŵr, ac
ymddwyn meibion hefyd;
13 A arhosech chwi am danynt
hwy, hyd oni chynyddent hwy? a
ymarhosech chwi am danynt hwy,
heb wra? Nage, fy merched: canys *y
mae* mawr dristwch i mi o'ch plegid
chwi, am i law yr Arglwydd fyned i'm
herbyn.

---

meibion Naomi yn anamserol ac yn ddiblant. *Enw y naill oedd Orpah*—gwraig Chilion, yr hyn a arwydda 'y gwddf;' *ac enw y llall Ruth*—gwraig Mahlon, yr hyn a arwydda 'llawn' neu 'ddigonol.' *A thrigasant yno yn nghylch deg mlynedd*—o'u mynediad i wlad Moab hyd eu marwolaeth; neu, yn ol rhai, buont byw cyhyd a hyny ar ol priodi.

Adn. 5. *A Mahlon a Chilion a fuant feirw hefyd ill dau*] Tua'r un amser ond odid, yn gosp arnynt, yn ol y Targum, am briodi gwragedd dyeithr.

Adn. 6, 7. *A hi a gyfododd a'i merched-yn-nghyfraith*] Hyny yw, cododd hi i fyned i wlad Juda, a chododd ei merched-yn-nghyfraith i fyned i'w hebrwng hi; *canys hi a glywsai*—trwy enau angel, meddai y Targum, *ddarfod i'r Arglwydd ymweled â'i bobl*—trwy godi barnwr i'w gwaredu o ddwylaw eu gelynion, y rhai a ddifäent y cnydau, adn. 1; neu ynte trwy eu bendithio â thymhorau ffrwythlon a chnydau toreithiog.

Adn. 8. *A Naomi a ddywedodd wrth ei dwy waudd*] Sef ei merched-yn-nghyfraith, wedi iddynt fyned gyda hi ond odid cyn belled a therfyn eithaf gwlad Moab. *Ewch, dychwelwch bob un i dŷ ei mam*—dywedir hyn, nid am fod eu tad wedi marw, (pen. ii. 11,) ond am fod gan y mamau dai iddynt eu hunain, i'r rhai y derbynient eu merched pan aent yn weddwon. *Gwneled yr Arglwydd drugaredd â chwi*—bydded iddo ofalu am danoch yn mhob ystyr, fel y gofalasoch chwithau am fy meibion ymadawedig tra yr oeddynt yn fyw, ac am danaf finau ar ol iddynt feirw. Ymddengys oddiyma eu bod wedi byw yn ddedwydd iawn gyda'u gilydd, os nid yn grefyddol hefyd.

Adn. 9. *Yr Arglwydd a ganiatao i chwi gael gorphwysdra bob un yn nhŷ ei gŵr*] Yma hi a ddymuna iddynt ail briodi, ac ymsefydlu yn ddedwydd yn eu tai eu hunain gyda gwŷr da. Yr oedd y crybwylliadau hyn am Jehofa yn tueddu yn ddaionus i ddwyn eu meddyliau hwy oddiwrth eu gau-dduwiau, os nad oeddynt wedi ymadael â hwynt eisioes. *Yna y cusanodd hi hwynt*—i ddangos ei chariad atynt, ac i ymadael â hwynt. *A hwy a ddyrchafasant eu llef*—ill tair, wrth feddwl na chaent weled eu gilydd byth mwyach, a thorasant allan i ŵylo.

Adn. 10. *Diau y dychwelwn ni gyda thi at dy bobl di*] Gan lwyr adael y Moabiaid, a chyfaneddu o hyn allan gyda'r Israeliaid.

Adn. 11. *Dychwelwch, fy merched*] Adref at eich pobl eich hunain. *I ba beth y deuwch gyda mi?*—y mae yn eglur fod Naomi yn cyfeirio yma at ddybenion tymhorol, ac nid manteision crefyddol ac ysbrydol: yr oedd hi yn cadw y pwnc o grefydd allan o'r ymddyddan, fel y byddai i hwnw, os deuai hefyd, ddyfod oddiwrthynt hwy eu hunain. *A oes genyf fi feibion eto yn fy nghroth, i fod yn wŷr i chwi?*—naill ai yr oedd yn arferiad yn Moab i frawd briodi gwraig ddiblant ei frawd ymadawedig, neu ynte yr oedd Naomi a'i meibion wedi hysbysu i'r gwragedd hyn fod hyny yn gyfraith yn Israel; canys at y ddefod hòno y cyfeirir yma: gwel ar Gen. xxxviii. 8, a Deut. xxv. 5.

Adn. 12, 13. *Canys yr ydwyf fi yn rhy hen i briodi gŵr*] I gael meibion i fod yn wŷr i chwi, i godi had i'w brodyr ymadawedig. *Pe dywedwn, Y mae genyf obaith*—hyny yw, pe byddai i mi briodi heno, a geni meibion, neu pe byddai hyny yn bosibl; *a arhosech chwi am danynt hwy hyd oni chynyddent*—i oedran gwŷr; *heb wra*—heb briodi gwŷr ereill? *Nage, fy merched*—fel pe dywedasai, Yr wyf yn sicr nad arhosech felly am fy meibion i, a gwrthod cynygion o wŷr trwy yr holl flynyddau; ac heblaw hyny, nid yw y peth yn bosibl i mi yn fy henaint. *Canys y mae mawr dristwch i mi o'ch plegid chwi*—am eich bod wedi eich gadael fel hyn heb y cysur o wŷr na phlant; am fod yn rhaid i mi ymadael â merched mor serchog; ac am nad yw fy amgylchiadau y fath ag y gallwyf eich gwahodd

14 A hwy a ddyrchafasant eu llef,
ac a ŵylasant eilwaith: ac Orpah a
gusanodd ei chwegr; ond Ruth a lyn-
odd wrthi hi.
15 A dywedodd *Naomi*, Wele, dy
chwaer-yn-nghyfraith a ddychwelodd
at ei phobl, ac at ei duwiau: dychwel
dithau ar ol dy chwaer-yn-nghyfraith.
16 A Ruth a ddywedodd, Nac erfyn
arnaf fi ymadaw â thi, i gilio oddiar
dy ol di: canys pa le bynag yr elych
di, yr âf finau; ac yn mha le bynag
y lletyech di, y lletyaf finau: dy bobl
di *fydd* fy mhobl i, a'th Dduw di fy
Nuw inau:
17 Lle y byddych di marw, y byddaf
finau farw, ac yno y'm cleddir: fel
hyn y gwnelo yr Arglwydd i mi, ac
fel hyn y chwanego, *os dim* ond angau
a wna ysgariaeth rhyngof fi a thithau.
18 Pan welodd hi ei bod hi wedi
ymroddi i fyned gyda hi, yna hi a
beidiodd â dywedyd wrthi hi.
19 ¶ Felly hwynt ill dwy a aethant,

---

i ddyfod gyda mi: gwel ar pen. ii. 2. *Am i law yr Arglwydd fyned i'm herbyn*—gan ei hamddifadu o'i gŵr a'i meibion, a'i dwyn i dylodi ac eisiau, adn. 21.

Adn. 14. *Wylasant eilwaith*] Am fod adeg yr ymadawiad olaf wedi dyfod: gwel ar adn. 9. *Ac Orpah a gusanodd ei chwegr*—neu ei mam-yn-nghyfraith, yn arwydd ei bod yn ymadael â hi mewn cariad. Y mae y LXX, yn nghyda'r Vulgate, y Syriaeg, a'r Arabaeg, yn ychwanegu yma, 'ac a ddychwelodd at ei phobl ei hun.' *Ond Ruth a lynodd wrthi hi*—gan adael ei gwlad, ei phobl, a phob peth, a myned gyda Naomi i Ganaan, deued a ddelai i'w chyfarfod.

Adn. 15. *A ddychwelodd at ei phobl ac at ei duwiau*] Ymddengys oddiyma, os bu Orpah unwaith yn broselytes i'r grefydd Iuddewig, ddarfod iddi wedi hyny wrthgilio; canys bydd i'r rhai a ymwrthodant â chymundeb y saint, fod yn debyg o dori ymaith eu cymundeb â Duw. *Dychwel dithau hefyd ar ol dy chwaer*—hyn a ddywedodd hi i brofi cywirdeb a dianwadalwch Ruth, ac i gael cyfle i awgrymu iddi, os deuai gyda hi, fod yn rhaid iddi fod yn ddiysgog yn ei hymlyniad wrth y wir grefydd.

Adn. 16. *A Ruth a ddywedodd*] A hyny ond odid dan ŵylo. *Nac erfyn arnaf fi ymadaw â thi*—canys ni ddichon i'th holl resymau a'th erfyniau siglo y penderfyniad hwnw ag y mae dy diriondeb a'th hyfforddiadau blaenorol wedi ei blanu yn fy meddwl. *Canys pa le bynag yr elych di, yr âf finau*—er ei bod yn wlad na welais mohoni erioed, a'm bod inau wedi fy addysgu i'w chasâu, a'i bod hi yn mhell o'm gwlad fy hun. *Ac yn mha le bynag y lletyech di, y lletyaf finau*—pe na byddai ond mewn bwthyn; ïe, pe na byddai yn well llety na'r un a gafodd Jacob pryd y gosododd gerig yn obenydd iddo. *Dy bobl di fydd fy mhobl i*—canys, a barnu oddiwrth yr hyn a welais ynot ti, yr wyf yn casglu y rhaid eu bod yn bobl ddoeth a deallus; ac ystyriaf fy hun yn ddedwydd os gallaf gael fy nghyfrif yn un o honynt, a chymdeithasu â hwynt, a chydymffurfio â'u harferion. *A'th Dduw di fy Nuw inau*—ymaith â Cemos, a holl dduwiau y Moabiaid, y rhai ydynt wagedd a chelwydd: addolaf fi Dduw Israel, yr unig wir a'r bywiol Dduw; ymddiriedaf ynddo ef yn unig, gan ei garu a'i wasanaethu; ac yn mhob dim cymeraf fy llywodraethu ganddo, ac ufyddhäaf iddo.

Adn. 17. *Lle y byddych di marw, y byddaf finau farw*] Yn yr un wlad, ac, os bydd modd, yn yr un tŷ a'r un gwely, i arwyddo fy mod yn marw yn yr un ysbryd. Marw a wnelwyf o farwolaeth Naomi uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo hithau. *Ac yno y'm cleddir*—yn yr un bedd a thi, mewn gobaith o gael cydgyfodi yn adgyfodiad y rhai cyfiawn, i dreulio tragwyddoldeb dedwydd gyda'n gilydd. O ddedwydd *Naomi*, yr hon, ar ol colli ei phlant a'i meibion, a feddai y fath ferch-yn-nghyfraith ragorol i'w chysuro yn ei thrallod! ac O ddedwydd *Ruth*, yr hon a elwodd gymaint trwy addysgiadau ei mam-yn-nghyfraith, a'r hon a yfodd mor helaeth o ysbryd ac egwyddorion y wir grefydd! *Fel hyn y gwnelo yr Arglwydd i mi*—sef dwyn rhyw ddrygau mawrion arni yn barhaus, os byddai i ddim ond angau eu hysgaru. Hyn oedd ffurf o lw, yn mha un yr apeliai at Dduw er cadarnhad o'r hyn a ddywedasai. Ac ymddengys iddi gadw ei llw yn ffyddlon; canys ni a gawn Naomi yn byw gyda hi ar ol hyn, fel mammaeth i'w mab, pen. iv. 15, 16. Y mae y Targum yn chwanegu llawer o ymadroddion at y cydymddyddau hwn rhwng Naomi a Ruth, fel hyn: 'A Ruth a ddywedodd, Nac erfyn arnaf fi ymadaw â thi,' *canys yr wyf yn dymuno cael fy mhroselytio.* NAOMI: *Gorchymynir i ni gadw y sabboth, a dyddiau santaidd ereill; a pheidio teithio arno dros ddwy fil o gufyddau.* RUTH: 'Pa le bynag yr elych di, yr âf finau.' NAOMI: *Gorchymynir i ni beidio lletya gyda'r Cenhedloedd.* RUTH: 'Yn mha le bynag y lletyech di, y lletyaf finau.' NAOMI: *Erchir i ni gadw cant a thriarddeg o orchymynion.* RUTH: 'Yr hyn a geidw dy bobl di, a gadwaf finau, fel pe buasent bobl i mi erioed.' NAOMI: *Gorchymynir i ni nad addolom âg unrhyw addoliad dyeithr.* RUTH: 'Dy Dduw di fydd fy Nuw inau.' NAOMI: *Y mae genym ni bedwar math o gospau angeuol i droseddwyr; llabyddio, llosgi, torfynyglu, a chrogi.* RUTH: 'Pa fodd bynag y byddych di marw, y byddaf finau farw.' NAOMI: *Y mae genym ni dŷ claddu.* RUTH: 'Ac yno y'm cleddir.' Y mae yr adnodau hyn, ebai Clarke, 'yn enwog yn mhlith y rhai a geisiant *ddewinio* gyda'r Beibl. Buaswn yn adrodd y modd, oni bae fy mod yn ofni i hyny arwain i barhau yr arferiad. Pan yn ieuanc, gwelais hyny yn cael ei wneuthur, a brawychais.'

Adn. 18. *Pan welodd hi ei bod hi wedi ymroddi i fyned gyda hi*] Ei bod yn benderfynol a chadarn yn ei meddwl, nid yn unig i fyned i wlad Israel, ond hefyd i gofleidio crefydd Is-

nes iddynt ddyfod i Bethlehem. A
phan ddaethant i Bethlehem, yr holl
ddinas a gyffrôdd o'u herwydd hwynt;
a dywedasant, Ai hon *yw* Naomi?
20 A hi a ddywedodd wrthynt hwy,
Na elwch fi Naomi; gelwch fi Mara:
canys yr Hollalluog a wnaeth yn
chwerw iawn â mi.
21 Myfi a aethym allan yn gyflawn,
a'r Arglwydd a'm dyg i eilwaith yn
wâg: paham y gelwch chwi fi Naomi,
gan i'r Arglwydd fy narostwng, ac i'r
Hollalluog fy nrygu?
22 Felly y dychwelodd Naomi, a
Ruth y Moabes ei gwaudd gyda hi,
yr hon a ddychwelodd o wlad Moab:
a hwy a ddaethant i Bethlehem yn
nechre cynauaf yr heiddiau.

## PENNOD II.

AC i ŵr Naomi *yr ydoedd* câr, o ŵr
cadarn nerthol, o dylwyth Eli-
melech, a'i enw Boaz.
2 A Ruth y Moabes a ddywedodd
wrth Naomi, Gad i mi fyned yn awr
i'r maes, a lloffa twysenau ar ol *yr*
*hwn* y caffwyf ffafr yn ei olwg. Hith-
au a ddywedodd wrthi, Dos, fy merch.
3 A hi a aeth, ac a ddaeth, ac a loff-
odd yn y maes ar ol y medelwyr: a
dygwyddodd wrth ddamwain *fod* y
rhan hôno o'r maes yn eiddo Boaz, yr
hwn *oedd* o dylwyth Elimelech.
4 ¶ Ac wele, Boaz a ddaeth o Beth-
lehem, ac a ddywedodd wrth y medel-
wyr, Yr Arglwydd *a fyddo* gyda chwi.

---

rael, yr hyn oedd amcan Naomi yn yr hyn oll a ddywedai wrth Ruth; *yna hi a beidiodd â dywedyd wrthi*—am ddychwelyd, eithr aethant rhagddynt yn gysurus gyda'u gilydd i wlad Juda.

Adn. 19. *A phan ddaethant i Bethlehem*] Hen gartref Naomi a'i gŵr, adn. 2; *yr holl ddinas a gyffrôdd*—o lawenydd o herwydd ei dychweliad, ar ol bod uwchlaw deg mlynedd yn ngwlad Moab. *Ai hon yw Naomi?*—y mae yn debyg ei bod wedi cyfnewid yn fawr er gwaeth o ran eu gwedd, gan henaint, tylodi, a galar am ei gŵr a'i meibion.

Adn. 20. *Na elwch fi Naomi*] Yr hyn a arwydda 'prydferth' neu 'hawddgar,' adn. 2; *gelwch fi Mara*—yr hyn a arwydda 'chwerw' neu 'ofidus;' *canys yr Hollalluog a wnaeth yn chwerw iawn â mi*—trwy gymeryd fy ngŵr, fy meibion, a'm meddiannau oddiwrthyf. Nid oedd hi yn grwgnach yn hyn, eithr yn cydnabod llaw Duw yn ei hadfyd.

Adn. 21. *Myfi a aethym allan yn gyflawn*] Gyda gŵr a dau o feibion, a digon o feddiannau at ein cynaliaeth; *a'r Arglwydd a'm dyg i eilwaith yn wâg*—wedi eu colli oll o fewn deng mlynedd: *paham y gelwch chwi fi Naomi*—pan nad oes dim yn 'prydferth' na 'hawddgar' ynof fi na'm hamgylchiadau? *Gan i'r Arglwydd fy narostwng*—Saes. 'dystiolaethu i'm herbyn,' fel pe byddai mewn barn; neu ddangos ei anfoddlonrwydd yn ei herbyn hi a'i gŵr am fyned allan o'u gwlad ar y cyntaf, yn lle aros yno i gynorthwyo y tylodion yn eu hangen yn amser y newyn; a thybia rhai mai o herwydd hyny y cospwyd ei gŵr â marwolaeth, a hithau â thylodi.

Adn. 22. *A hwy a ddaethant i Bethlehem*] Lle, yn mhen oesau wedi hyny, yr oedd y Messia i'w eni o hiliogaeth y Ruth hon; *yn nechre cynauaf yr heiddiau*—yr hwn a ddechreuai tua'r pasc, Lef. xxiii. 10, &c.

PEN. II. Adn. 1. *Ac i ŵr Naomi yr ydoedd câr*] Mab i frawd Elimelech, yn ol rhai, ac felly yr oedd yn gefnder i ŵr Ruth. *O ŵr cadarn nerthol*—o ran ei gyfoeth, ei ddoethineb, a'i dduwioldeb. *A'i enw Boaz*—yr hyn a arwydda 'mewn cadernid' neu 'nerth;' ac felly yr oedd ei amgylchiadau yn cyfateb i'w enw. *Boaz* y gelwid un o golofnau teml Solomon, o herwydd ei chryfder i ddal yr adeilad, 1 Bren. vii. 21.

Adn. 2. *Gad i mi fyned yn awr i'r maes*] Dengys hyn *dylodi* Naomi a Ruth, pan y rhaid i'r olaf fyned i loffa i fysg y tylodion; dengys hefyd *ddiwydrwydd* Ruth, yr hon ni fynai segura yn ei thylodi; a dengys hefyd ei *hymostyngiad* i'w chwegr, pan nad âi i loffa heb ei chaniatâd hi. *A lloffa twysenau ar ol yr hwn y caffwyf ffafr yn ei olwg*—fe allai na wyddai hi fod gan y dyeithriaid tylodion hawl i loffa yn gystal a'r Israeliaid tylodion, Lef. xix. 9, 10, Deut. xxiv. 19; neu ynte, o herwydd ei gŵylder mawr, nid ymaflai hi yn hyn fel hawl, eithr mynai ei dderbyn fel ffafr, gyda diolchgarwch, adn. 7.

Adn. 3. *A dygwyddodd wrth ddamwain fod y rhan hôno o'r maes*] Yr hwn oedd wedi ei ranu rhwng amrai berchenogion, *yn eiddo Boaz*—neu dygwyddodd yn ddamweiniol i Ruth fyned i'r rhan hôno o'r maes a berthynai i Boaz. Damwain ydoedd hyn mewn ymddanghosiad, a chyda golwg ar ail achosion; ond yr oedd wedi ei drefnu gan ragluniaeth Duw i gyflawni pethau mawrion. *Yr hwn oedd o dylwyth Elimelech*—yn gefnder i ŵr Ruth, adn. 1, er na wyddai hi hyny mwy nag yntau.

Adn. 4. *Boaz a ddaeth o Bethlehem*] I'r maes yr hwn ydoedd ychydig allan o'r ddinas, i edrych pa fodd yr oedd ei fedelwyr yn myned yn mlaen. *Yr Arglwydd a fyddo gyda chwi*—i'ch cadw rhag damweiniau, ac i'ch bendithio mewn corff ac enaid. *Hwythau a ddywedasant*—mewn atebiad i'r cyfarchiad duwiol hwn, *Yr Arglwydd a'th fendithio*—â chynauaf da, âg iechyd a bywyd i'w fwynhau, ac â gras i'w ddefnyddio er gogoniant y Rhoddwr. Y fath oedd duwioldeb a symledd yr hen amseroedd, nes yr oedd yn tori allan ac yn ymddangos yn nghyfarchiadau cyffredin meistriaid a gweision i'w gilydd. Pwy a fedr ddarllen yr hanes yma heb ewyllysio i symledd yr amseroedd hyny ddyfod eto i arferiad?

Adn. 5. *Yna y dywedodd Boaz wrth ei was*] Sef ei brif oruchwyliwr, yr hwn oedd yn

Hwythau a ddywedasant wrtho ef, Yr
Arglwydd a'th fendithio.
5 Yna y dywedodd Boaz wrth ei
was yr hwn oedd yn sefyll yn ymyl y
medelwyr, Pwy *biai* y llances hon?
6 A'r gwas yr hwn oedd yn sefyll
wrth y medelwyr a atebodd, ac a ddy-
wedodd, Y llances o Moab *ydyw* hi,
yr hon a ddychwelodd gyda Naomi o
wlad Moab :
7 A hi a ddywedodd, Atolwg yr yd-
wyf gael lloffa, a chasglu yn mysg yr
ysgubau ar ol y medelwyr : a hi a
ddaeth, ac a arhosodd er y bore hyd
yr awr hon, oddieithr aros o honi hi
ychydig yn tŷ.
8 Yna y dywedodd Boaz wrth Ruth,
Oni chlywi di, fy merch? Na ddos i
loffa i faes arall, ac na cherdda oddi
yma; eithr aros yma gyda'm llances-
au i.
9 *Bydded* dy lygaid ar y maes y
byddont hwy yn ei fedi; a dos ar eu
hol hwynt: oni orchymynais i'r llanc-
iau, na chyffyrddent â thi? A phan
sychedech, dos at y llestri, ac ŷf o'r
hwn a ollyngodd y llanciau.
10 Yna hi a syrthiodd ar ei hwyneb,
ac a ymgrymodd i lawr, ac a ddywed-
odd wrtho ef, Paham y cefais ffafr yn
dy olwg di, fel y cymerit gydnabod
arnaf, a minau yn alltudes?
11 A Boaz a atebodd, ac a ddywed-
odd wrthi, Gan fynegu y mynegwyd i
mi yr hyn oll a wnaethost i'th chwegr
ar ol marwolaeth dy ŵr; ac *fel* y gad-
ewaist dy dad a'th fam, a gwlad dy
enedigaeth, ac y daethost at bobl nid
adwaenit o'r blaen.
12 Yr Arglwydd a dalo am dy waith;
a bydded dy obrwy yn berffaith gan
Arglwydd Dduw Israel, yr hwn y
daethost i obeithio dan ei adenydd.
13 Yna hi a ddywedodd, Caffwyf

---

edrych ar ol y medelwyr, ac yn gofalu am eu bwyd a'u cyflog; *Pwy biai y llances hon?*—merch i bwy ydyw, ac o ba le y daeth? Ymddengys fod Ruth o edrychiad ieuanc a phrydweddol iawn, yr hyn a dynodd sylw y boneddwr.

Adn. 6. *Y llances o Moab ydyw hi*] Yr hon y clywaist am dani ei bod wedi dyfod o Moab gyda'i chwegr, adn. 11.

Adn. 7. *A hi a ddywedodd*] Yn y bore, pan y daeth gyntaf i'r maes; *Atolwg yr ydwyf gael lloffa*—ni ddaeth i mewn yn hyf, eithr gofynodd i mi yn ŵylaidd am ganiatâd. *Arhosodd er y bore hyd yr awr hon*—yn lloffa yn ddiwyd trwy y dydd ar ol y medelwyr; *oddieithr aros o honi hi ychydig yn tŷ*—yn y bwthyn neu y babell a osodesid i fyny yn y maes, lle yr arferai y medelwyr fwyta eu bwyd, ac ymgysgodi pan fyddai yr haul yn boeth iawn. Y geiriau hyn ydynt barhad o'r hanes a roddai y gwas i'w feistr am Ruth.

Adn. 8. *Oni chlywi di, fy merch?*] Neu 'gwrandaw, atolwg, fy merch.' Cyfeirir yma nid at yr hyn a ddywedasai y gwas am dani, ond at yr hyn ag yr oedd y meistr ei hun yn myned i'w ddywedyd wrthi. *Na ddos i loffa i faes arall*—yr hyn y gallai hi fod yn dueddol i'w wneyd, rhag gormesu yn ormodol arno ef, ar ol bod yno er y bore, adn. 7. *Aros yma gyda'm llancesau i*—y rhai a rwyment yr ysgubau yn y fan ar ol i'r medelwyr eu tori; ac wedi i'r llancesau gasglu y dyrneidiau haidd at eu gilydd yn ysgubau, goddefid i Ruth loffa y twysenau ag oeddynt ar ol.

Adn. 9. *Bydded dy lygaid ar y maes y byddont hwy yn ei fedi*] Bob bore; *a dos ar eu hol hwynt*—ar hyd y grwn ag y byddont hwy wedi ei fedi a'i rwymo. *Oni orchymynais i'r llanciau?*—hyny yw, mi a orchymynais iddynt beidio cymeryd dim hyfdra anweddaidd gyda thi, na'th ddirmygu fel dyeithrwraig, na'th rwystro i loffa. Yr oedd hyn yn hollol angenrheidiol, gan ei bod hi yn ddyeithr a diamddiffyn. *A phan sychedech*—yr hyn a ddygwyddai yn aml mewn gwlad boeth felly; *dos at y llestri*—lle y cedwid llaeth, neu win cymysgedig â dwfr, at wasanaeth y gweision.

Adn. 10. *Yna hi a syrthiodd ar ei hwyneb*] Yn arwydd o barch, diolchgarwch, a gostyngeiddrwydd mawr. *Paham y cefais ffafr yn dy olwg di*—beth yw yr achos dy fod yn dangos y fath garedigrwydd mawr i mi, *a minau yn alltudes*—yn perthyn i wlad arall? sef un o ferched Moab, y rhai nid oeddynt deilwng i ddyfod i gynulleidfa yr Arglwydd, Deut. xxiii. 3.

Adn. 11. *Gan fynegu y mynegwyd i mi*] Fe allai gan Naomi ei hun, neu gan ryw gyfaill a fuasai yn ymddyddan â hi; *yr hyn oll a wnaethost i'th chwegr ar ol marwolaeth dy ŵr*—y modd yr arhosaist gyda hi i'w chysuro, ei hamgeleddu, a'i chynal; *ac fel y gadewaist dy dad a'th fam*—y rhai o ganlyniad oeddynt fyth yn fyw; *a gwlad dy enedigaeth*—sef gwlad Moab, lle yr oedd ei holl berthynasau a'i chyfeillion o hyd yn aros; *ac y daethost at bobl nid adwaenit o'r blaen*—sef pobl Israel, y rhai nad oedd hi wedi clywed dim daioni am danynt gan y Moabiaid yn ddiamau.

Adn. 12. *Yr Arglwydd a dalo am dy waith*] Trwy ofalu am danat ti, megys y gofelaist tithau am dy chwegr; *a bydded dy obrwy yn berffaith gan Arglwydd Dduw Israel*—yn obrwy ysbrydol yn gystal a thymhorol. Fel pe dywedasai, Nid yw y caredigrwydd ag yr wyf fi yn ei ddangos i ti ond bychan mewn cydmhariaeth i'th haeddiant: Duw yn unig a all dy obrwyo yn berffaith neu yn llawn. *Yr hwn y daethost i obeithio dan ei adenydd*—wrth gofleidio ei grefydd. Y mae yma gyfeiriad at gywion yn ymgysgodi dan adenydd yr iâr, pan fyddo ysglyfaethydd yn agos Y mae yn amlwg fod Ruth cyn hyn, os nid cyn priodi, wedi ei phroselytio i'r grefydd Iuddewig.

Adn. 13. *Caffwyf ffafr yn dy olwg di, fy arglwydd*] Neu, '*cefais* ffafr:' y mae y geiriau i'w deall fel cydnabyddiad o ffafr, yn hytr-

ffafr yn dy olwg di, fy arglwydd; gan i ti fy nghysuro i, a chan i ti lefaru wrth *fodd* calon dy wasanaethferch, er nad ydwyf fel un o'th law-forwynion di.

14 A dywedodd Boaz wrthi hi, Yn amser bwyd tyred yma, a bwyta o'r bara, a gwlych dy damaid yn y finegr. A hi a eisteddodd wrth ystlys y medelwyr: ac efe a estynodd iddi gras-*ŷd;* a hi a fwytaodd, ac a ddigonwyd, ac a adawodd weddill.

15 A hi a gyfododd i loffa: a gorchymynodd Boaz i'w weision, gan ddywedyd, Lloffed hefyd yn mysg yr ysgubau, ac na feiwch arni.

16 A chan ollwng gollyngwch hefyd iddi *beth* o'r ysgubau; a gadewch *hwynt,* fel y lloffo hi *hwynt;* ac na cheryddwch hi.

17 Felly hi a loffodd yn y maes hyd yr hwyr; a hi a ddyrnodd yr hyn a loffasai, ac yr oedd yn nghylch epha o haidd.

18 ¶ A hi a'*i* cymerth, ac a aeth i'r ddinas: a'i chwegr a ganfu yr hyn a gasglasai hi: hefyd hi a dynodd allan, ac a roddodd iddi yr hyn a weddillasai hi, wedi cael digon.

19 A dywedodd ei chwegr wrthi hi, Pa le y lloffaist heddyw, a pha le y gweithiaist? bydded yr hwn a'th adnabu yn fendigedig. A hi a fynegodd i'w chwegr pwy y gweithiasai hi gyd ag ef; ac a ddywedodd, Enw y gŵr y gweithiais gydag ef heddyw, *yw* Boaz.

20 A dywedodd Naomi wrth ei gwaudd, Bendigedig *fyddo* efe gan yr Arglwydd, yr hwn ni pheidiodd â'i garedigrwydd tua'r rhai byw a'r rhai meirw. Dywedodd Naomi hefyd wrthi hi, Agos i ni *yw* y gŵr hwnw, o'n cyfathrach ni *y mae* efe.

21 A Ruth y Moabes a ddywedodd, Efe a ddywedodd hefyd wrthyf, gyd a'm llanciau i yr arhosi, nes gorphen o honynt fy holl gynauaf i.

22 A dywedodd Naomi wrth Ruth

---

ach na deisyfiad am ffafr. *Er nad ydwyf fel un o'th law-forwynion di*—y maent hwy yn perthyn i bobl santaidd ac anrhydeddus Israel; tra nad wyf fi ond alltudes, wedi fy ngeni o rieni paganaidd.

Adn. 14. *Yn amser bwyd tyred yma*] I'r bwthyn ag y cyfeiriwyd ato yn adn. 7; *a bwyta o'r bara*—o bob bwyd a barotoir ar fy nghost i i'm medelwyr; *a gwlych dy damaid yn y finegr*—hwn oedd fath ar chwiblyn neu saws egr, o duedd i'w hoeri a'u hadfywio hwy, a gwneuthur y tamaid yn fwy blasus. *A hi a eisteddodd wrth ystlys y medelwyr*—nid yn eu canol hwynt, eithr ychydig o'r neilldu, am ei bod yn rhy ŵylaidd i fyned i'w plith. *Ac efe a estynodd iddi gras-ŷd*—yr oedd hwn yn ymborth arferedig yn y gwledydd hyny, 2 Sam. xvii. 28; neu dichon fod yr ŷd hwn, ar ol ei grasu, wedi cael ei falu a'i wneyd yn deisenau dymunol. *A hi a fwytaodd*—o'r cras-ŷd hwn, ac o ba beth bynag arall a osodwyd ger ei bron, nes ei diwallu; *ac a adawodd weddill*—yr hwn a gymerodd hi adref yn yr hwyr i'w chwegr, adn. 18.

Adn. 15. *A hi a gyfododd i loffa*] Ar ol bwyta a gorphwys ychydig. *Lloffed hefyd yn mysg yr ysgubau*—lle nad oedd neb wedi bod o'i blaen, a lle yr oedd y twysenau amlaf; *ac na feiwch arni*—am wneuthur hyny; neu na 'waradwyddwch' hi am ei bod yn weddw dylawd, neu yn alltudes.

Adn. 16. *Gollyngwch hefyd iddi beth o'r ysgubau*] Heb gasglu yr ŷd yn rhy lwyr i'w rwymo yn ysgubau; *ac na cheryddwch hi*—fel pe byddai ladrones, wrth eu lloffa at ei gwasanaeth ei hun.

Adn. 17. *Felly hi a loffodd yn y maes hyd yr hwyr*] Yr hyn oedd yn brawf o'i diwydrwydd pan yr oedd yr hin mor boeth; *a hi a ddyrnodd yr hyn a loffasai*—trwy ei guro â ffon ar y maes, a'i nithio; a gadawodd y gwellt yno or ol, trwy nad oedd arni hi ei eisiau. *Ac yr oedd yn nghylch epha*—pwysel neu becaid o'n mesur ni, neu oddeutu saith galwyn a hanner.

Adn. 18. *A'i chwegr a ganfu yr hyn a gasglasai hi*] Hyny yw, a ganfu gyda syndod a llawenydd am ei bod wedi casglu cymaint mewn un diwrnod; *ac a roddodd iddi yr hyn a weddillasai hi*—o'i chiniaw, adn. 14; yr hyn a ddengys ei gofal hi am ei chwegr.

Adn. 19. *Pa le y lloffaist heddyw*] I gael cymaint a hyn o haidd? *a pha le y gweithiaist*—i ennill y bwyd hwn i mi? *Bydded yr hwn a'th adnabu*—neu a'th gydnabyddodd gyda charedigrwydd, *yn fendigedig*—deled bendith yr Arglwydd ar ben y gŵr hwnw, pwy bynag ydyw. *Enw y gŵr y gweithiais gydag ef heddyw yw Boaz*—dengys hyn na wyddai Ruth eto ei fod ef yn berthynas i'w gŵr ymadawedig.

Adn. 20. *Yr hwn ni pheidiodd â'i garedigrwydd tua'r rhai byw a'r rhai meirw*] Naomi a Ruth oeddynt y rhai *byw;* ac wrth fod yn garedig iddynt hwy, yr oedd efe hefyd mewn effaith yn garedig i'w *gwŷr meirw,* sef Elimelech a Mahlon: neu, buasai Boaz cyn hyn yn garedig i'w gŵr a'i meibion hi, y rhai oeddynt bellach wedi *meirw;* fel ag yr oedd efe yn awr i'w gweddwon hwynt, y rhai oeddynt eto yn *fyw. Agos i ni yw y gŵr hwnw*—sef perthynas agos, adn. 1. *O'n cyfathrach ni y mae efe*—*miggoaleynu,* 'o'n PRYNWYR ni;' un a feddai hawl i brynu yn ol etifeddiaeth fforffetiedig y teulu, Lef. xxv. 25; i ddial gwaed ei gyfnesaf, Num. xxxv. 19; a phriodi gweddw ddiblant ei frawd neu ei gâr agosaf, Deut. xxv. 5.

Adn. 21. *Gyda'm llanciau i yr arosi*] Dylai y gair *hanneArim* gael ei gyfieithu yma yn *wasanaethyddion,* trwy fod y *llanciau* a'r *llancesi* yn cael eu cynwys ynddo, yn enwedig y rhai diweddaf: gwel adn. 8, 22, 23.

ei gwaudd, Da *yw*, fy merch, i ti fyned gyda'i lancesi ef, fel na ruthront i'th erbyn mewn maes arall.

23 Felly hi a ddylynodd lancesau Boaz i loffa, nes darfod cynauaf yr haidd, a chynauaf y gwenith; ac a drigodd gyda'i chwegr.

## PENNOD III.

YNA Naomi ei chwegr a ddywedodd wrthi, Fy merch, oni cheisiaf fi orphwysdra i ti, fel y byddo da i ti?

2 Ac yn awr, onid *yw* Boaz o'n cyfathrach ni, yr hwn y buost ti gyda'i lancesi? Wele, efe yn nithio haidd y nos hon yn y llawr-dyrnu.

3 Ymolch, gan hyny, ac ymira, a gosod dy ddillad am danat, a dos i waered i'r llawr-dyrnu: na fydd gydnabyddus i'r gŵr, nes darfod iddo fwyta ac yfed.

4 A phan orweddo efe, yna dal ar y fan y gorweddo efe ynddi; a dos, a dynoetha ei draed ef, a gorwedd; ac efe a fynega i ti yr hyn a wnelych.

5 A hi a ddywedodd wrthi, Gwnaf yr hyn oll a erchaist i mi.

6 ¶ A hi a aeth i waered i'r llawr-dyrnu, ac a wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymynasai ei chwegr iddi.

7 Ac wedi i Boaz fwyta ac yfed, fel y llawenhaodd ei galon, efe a aeth i

---

Adn. 22. *Da yw, fy merch, i ti fyned gyd a'i lancesi ef*] Am y byddi yn ddiogel a diberygl ar faesydd Boaz; *fel na ruthront i'th erbyn mewn maes arall*—i'th anmharchu fel alltudes, heb neb yno i'th amddiffyn. Saes. 'fel na *chyfarfyddont â thi* mewn maes arall;' hyny yw, fel na byddo i wasanaethyddion Boaz dy weled yno, a mynegu i'w meistr, ac iddo yntau ddigio am i ti wrthod ei gynygion caredig i loffa yn ei faesydd ef.

Adn. 23. *Felly hi a ddylynodd lancesau Boaz*] Yn ol cynghor ei chwegr; *nes darfod cynauaf yr haidd*—yr hwn a ddechreuai tua'r pasc; *a chynauaf y gwenith*—yr hwn a ddechreuai tua'r pentecost, saith wythnos yn ddiweddarach; *ac a drigodd gyda'i chwegr*—bob nos, ar ol bod yn lloffa yn ddiwyd trwy y dydd yn maesydd Boaz. Felly, os casglodd hi bob dydd gymaint a'r diwrnod cyntaf, adn. 17, gallwn feddwl fod ganddi ddigon o fara iddi hi a Naomi bron am flwyddyn.

PEN. III. Adn. 1. *Fy merch, oni cheisiaf fi orphwysdra i ti?*] Sefydliad mewn tŷ o'r eiddot dy hun, a thrwy hyny orphwysdra mewn cysur a diogelwch dan ofal gŵr da: gwel ar pen. i. 9. *Fel y byddo da i ti*—fel y caffot dy gynal yn anrhydeddus, ac y symuder gwarthusrwydd dy weddwdod a'th ddiepiledd.

Adn. 2. *Onid yw Boaz o'n cyfathrach ni?*] Gwel ar pen. ii. 20. *Wele efe yn nithio haidd y nos hon yn y llawr-dyrnu*—y mae yn debyg fod yr hyn a ddyrnid ar y maes yn y dydd, yn cael ei nithio yno yn yr hwyr, pryd y byddai yr awel oer, ar ol gwres y dydd, yn chwythu yn gryf o'r môr, yr hyn sydd beth cyffredin yn Palestina.

Adn. 3. *Ymolch, gan hyny*] Sef golchi ei gwyneb a'i dwylaw, os nid ei holl gorff; *ac ymira*—rhoddi olew neu enaint ar ei gwyneb, i beri iddo ddysgleirio, Salm civ. 15; *a gosod dy ddillad am danat*—sef ei dillad goraf; *na fydd gydnabyddus i'r gŵr*—nac ymddanges i Boaz nes y byddo wedi bwyta ac yfed, yr hyn a wnai ei galon ef yn llawen, a'i serchiadau yn hawddach eu henyn. Neu, os ymddangosai, yr oedd yn anhawdd i Boaz ei hadnabod hi yn nhywyllwch yr hwyr, yn enwedig pan yr oedd wedi newid ei dillad gweddwdod, yn y rhai y gwelsai efe hi o'r blaen, am ei gwisgoedd a'i thrwsiadau goraf.

Adn. 4. *A phan orweddo efe*] Yn ei ddillad, i wylio yr ŷd dros nos; *yna dal ar y fan y gorweddo*—fel y gallot wybod yn mha gyfeiriad y byddo ei ben a'i draed ef; *a dynoetha ei draed ef*—trwy symud y cwrlid i'w ddihuno ef; *a gorwedd*—nid wrth ei ochr, yr hyn a fuasai yn anweddaidd; ond wrth ei draed, mewn agwedd o ymbiliad gostyngedig; *ac efe a fynega i ti yr hyn a wnelych*—gwel ar adn. 13. Y mae yn anhawdd i ni yn y wlad a'r oes hon roddi eglurhad boddhaol ar y cyfarwyddyd hynod hwn. Gallai un feddwl y buasai yn well i Ruth arddelwi yn gyhoeddus ei hawl yn Boaz fel ei chyfathrachwr: ond diamau fod gan Naomi, yr hon oedd yn wraig rinweddol a duwiol, resymau digonol dros y dull hwn; a chan y gwyddai yn dda am foneddigeiddrwydd anrhydeddus Boaz, yn gystal a diweirdeb Ruth, nid oedd arni ddim ofn unrhyw ganlyniadau a fyddent yn anfri i'r naill na'r llall. Ped ymddygasai Ruth mewn rhyw fodd a ystyrid yn y dyddiau hyny yn anweddaidd neu anniwair, y mae yn dra thebyg y parasai hyny i'r fath ŵr difrifol a Boaz ddigio yn fawr, a chilio am byth oddiwrthi. Modd bynag, y mae yr hyn a wnaeth hi yn ymddangos i ni fel yn anweddaidd, a diamau y byddai y fath beth yn ymddygiad tra anmhriodol mewn unrhyw fenyw yn ein dyddiau ni: ond y mae gweddnod cyffredinol Naomi a Ruth yn gwahardd i ni feddwl fod ganddynt hwy unrhyw fwriad pechadurus. Wedi y cyfan, ar ol gwneuthur pob ymoddefiad, dichon nad oedd yr un o honynt, fel y sylwa Scott, yn hollol ddifai; ac er i'w cynllun hwy lwyddo, yr oedd yn un tra pheryglus; a choffeir ef yma fel ffaith a gymerodd le, ac nid fel peth i'w efelychu yn nghyflwr presenol cymdeithas.

Adn. 5. *Gwnaf yr hyn oll a erchaist i mi*] Yr oedd gan Ruth feddwl mor fawr am ddoethineb ei chwegr, nes yr oedd yn foddlon i wneuthur unrhyw beth a geisiai hi ganddi; ac am dduwioldeb a diniweidrwydd Boaz, fel nad ofnai y cymerai efe unrhyw fantais arni.

Adn. 6. *A hi a aeth i waered*] O Bethlehem, *i'r llawr-ddyrnu*—yn y maes, *ac a wnaeth*—bob peth fel y gorchymynodd Naomi yn adn. 3, 4.

Adn. 7. *Ac wedi i Boaz fwyta ac yfed*]

gysgu i gŵr yr ysgafn. Hithau a ddaeth yn ddystaw, ac a ddynoethodd ei draed ef, ac a orweddodd.

8 ¶ Ac yn nghanol y nos y gŵr a ofnodd, ac a ymdrôdd: ac wele, wraig yn gorwedd wrth ei draed ef.

9 Ac efe a ddywedodd, Pwy *ydwyt* ti? A hi a ddywedodd, Myfi *yw* Ruth dy law-forwyn: lleda gan hyny dy aden dros dy law-forwyn; canys fy nghyfathrachwr i *ydwyt* ti.

10 Ac efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddech*, fy merch, gan yr Arglwydd: danghosaist fwy o garedigrwydd yn y diwedd, nag yn y dechre; gan nad aethost ar ol gwŷr ieuainc, na thylawd na chyfoethog.

11 Ac yn awr, fy merch, nac ofna; yr hyn oll a ddywedaist, a wnaf i ti: canys holl ddinas fy mhobl a ŵyr mai gwraig rinweddol *ydwyt* ti.

12 Ac yn awr, gwir yw, fy *mod* i yn gyfathrachwr agos: er hyny y mae cyfathrachwr nes na myfi.

13 Aros heno; a'r bore, os efe a wna ran cyfathrachwr â thi, da; gwnaed ran cyfathrachwr: ond os efe ni wna ran cyfathrachwr â thi; yna myfi a wnaf ran cyfathrachwr â thi, *fel mai* byw yr Arglwydd: cwsg hyd y bore.

14 ¶ A hi a orweddodd wrth ei draed ef hyd y bore: a hi a gyfododd cyn yr adwaenai neb eu gilydd. Ac efe a ddywedodd, Na chaffer gwybod dyfod gwraig i'r llawr-dyrnu.

---

Ond nid hyd lythineb a meddwdod, fel y mae yn amlwg oddiwrth ei holl ymddygiad ef yn yr hanes ganlynol; *fel y llawenhaodd ei galon* —*iitab libbo*, 'fel yr aeth ei galon *yn dda*,' hyny yw, yn siriol a diolchgar am yr helaethrwydd a roddasai yr Arglwydd iddo; *efe a aeth i gysgu i gŵr yr ysgafn*—neu y mwdwl, i'w ddiogelu rhag lladron; canys yn yr amseroedd hyny arferai y gwŷr cyfoethocaf, rai prydiau, edrych ar ol eu heiddo eu hunain yn y tŷ a'r maes. *Hithau a ddaeth yn ddystaw* —yn ddiarwybod i'w wasanaethyddion ef, rhag iddynt ei hattal hi; *ac a ddynoethodd ei draed ef*—i ddwyn ar gof iddo yr hyn a ofynai y gyfraith ganddo fel ei chyfathrachwr: gwel ar adn. 4, a pen. ii. 20.

Adn. 8. *Ac yn nghanol nos*] Canys y mae yn debyg mai y pryd hyny yr aeth Ruth ato; *y gŵr a ofnodd*—yr hyn a ddengys nad oedd ganddo ef un wybodaeth yn mlaenllaw am ei dyfodiad, er i rai dybio fod cynghrair rhwng Naomi a Boaz mewn perthynas i'r cynllun hwn. *Ac wele wraig yn gorwedd wrth ei draed ef*—yr hyn a ddeallodd efe oddiwrth ei dillad, ac wedi hyny, pan lefarodd, oddiwrth ei llais.

Adn. 9. *Lleda gan hyny dy aden dros dy law-forwyn*] Yr *aden* yw yr arwydd o *nawdd*, ac y mae yn gyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth adar yn lledu eu hadenydd dros eu cywion i'w hamddiffyn. Yr ystyr yma yw, Cymer fi yn wraig i ti; *canys fy nghyfathrachwr i ydwyt ti*—yr hwn y mae genyf hawl ynot fel perthynas fy ngŵr ymadawedig: gwel ar pen. ii. 20. Hyd heddyw, pan y prioda Iuddew wraig, efe a deifl odre ei fantell drosti hi, yn arwydd o'i amddiffyniad ef iddi, a'i hymostyngiad hithau iddo yntau.

Adn. 10. *Bendigedig fyddech, fy merch, gan yr Arglwydd*] Yn lle cymeryd un fantais anweddaidd arni, na'i galw yn fenyw hyf ac anniwair, na'i bygwth yn llidiog am ei aflonyddu ef yn ei gwsg, y mae yn dymuno i'r Arglwydd ei bendithio a'i llwyddo yn ei hamcan daionus. *Danghosaist fwy o garedigrwydd yn y diwedd nag yn y dechre*—yr oedd hi wedi dangos llawer o garedigrwydd yn y *dechre* i'w gŵr tra y bu efe byw, ac i'w chwegr ar ol marw ei gŵr; ond yr oedd ei charedigrwydd hi yn awr yn y *diwedd* yn llawer mwy, yn ei gwaith yn chwennychu, yn ol cyfraith Duw, adeiladu teulu ei gŵr, trwy geisio gan ei gyfathrachwr ef ei phriodi, i gadw i fyny ei enw a'i goffadwriaeth ef yn Israel. Fel pe dywedasai, Y mae y weithred ddiweddaf hon yn fwy prawf o'th gywirdeb duwiol na dim a ellir ei gasglu oddiwrth dy waith yn ymbroselytio. *Gan nad aethost ar ol gwŷr ieuainc* —awgrymir yma fod Boaz yn awr yn hen ŵr, a Ruth yn fenyw ieuanc; a dywed yr Iuddewon ei fod ef yn 80, a hithau yn 40 mlwydd oed; *na thylawd na chyfoethog*—felly nid gwella ei hamgylchiadau allanol oedd ei hamcan hi, ond adeiladu tŷ ei gŵr ymadawedig.

Adn. 11. *Ac yn awr, fy merch, nac ofna*] Gael dy halogi, na chael dy waradwyddo fel benyw anniwair wrth wely gwryw, na methu yn dy amcan daionus; *yr hyn oll a ddywedaist a wnaf i ti*—efe a wnai ei oraf i'r un a feddai yr hawl flaenaf ei phriodi hi; ac os gwrthodai hwnw, efe a'i priodai ei hun. *Canys holl ddinas fy mhobl*—sef holl drigolion Bethlehem, *a ŵyr mai gwraig rinweddol ydwyt ti*—ac felly na ddaethost at fy ngwely i gyda dyben anonest.

Adn. 12. *Gwir yw fy mod i yn gyfathrachwr agos*] Yn gefnder, fel y meddylir, i Mahlon ei gŵr cyntaf; *er hyny y mae cyfathrachwr nes na myfi*—brawd hynach na Boaz; neu ynte ewythr i Mahlon o frawd i Elimelech ei dad, yr hwn hefyd oedd felly yn ewythr i Boaz.

Adn. 13. *Aros heno*] Efe a ddywedai hyn nid gyda bwriad drwg, ond rhag i Ruth gael ei drwgdybio wrth gael ei gweled allan ar y fath awr anmhriodol o'r nos, ac am nad allai hi fyned i'r ddinas ar ol cau y pyrth; *a'r bore* —yr oedd Boaz yn penderfynu myned â'i hachos hi at ei pherthynas agosach bore dranoeth; ac os priodai hwnw hi, da fyddai y peth; ond os na wnai, efe a addawa trwy lw ei phriodi ei hun.

Adn. 14. *A hi a orweddodd wrth ei draed ef*] Yn ddiwair a diniwed; *a hi a gyfododd cyn yr adwaenai neb eu gilydd*—cyn ei bod yn ddigon goleu i neb allu adnabod eu gilydd

15 Ac efe a ddywedodd, Moes dy fantell *sydd* am danat, ac ymafael ynddi. A hi a ymaflodd ynddi; ac efe a fesurodd chwe *mesur* o haidd, ac a'*i* gosododd arni: a hi a aeth i'r ddinas.

16 A phan ddaeth hi at ei chwegr, hi a ddywedodd, Pwy *ydwyt* ti, fy merch? A hi a fynegodd iddi yr hyn oll a wnaethai y gŵr iddi hi.

17 A hi a ddywedodd, Y chwe *mesur* hyn o haidd a roddodd efe i mi: *canys* dywedodd wrthyf, Nid âi yn waglaw at dy chwegr.

18 Yna y dywedodd hithau, Aros, fy merch, oni wypech pa fodd y dygwyddo y peth *hyn:* canys ni orphwys y gŵr, nes gorphen y peth hyn heddyw.

## PENNOD IV.

YNA Boaz a aeth i fyny i'r porth, ac a eisteddodd yno. Ac wele, y cyfathrachwr yn myned heibio, *am* yr hwn y dywedasai Boaz. Ac efe a ddywedodd wrtho, Ho, hwn a hwn, tyred yn nes; eistedd yma. Ac efe a nesaodd, ac a eisteddodd.

2 Ac efe a gymerth ddengwr o henuriaid y ddinas, ac a ddywedodd, Eisteddwch yma. A hwy a eisteddasant.

3 Ac efe a ddywedodd wrth y cyfathrachwr, Y rhan o'r maes yr hon *oedd* eiddo ein brawd Elimelech a werth Naomi, yr hon a ddychwelodd o wlad Moab.

4 A dywedais y mynegwn i ti, gan ddywedyd, Pryn *ef* gerbron y trigol-

---

ar y ffordd. *Na chaffer gwybod ddyfod gwraig i'r llawr-dyrnu*—felly yr oedd ef yn ofalus nid yn unig i gadw cydwybod bur tuag at Dduw, ond hefyd eu cymeriad gonest hwy ill dau yn ngolwg dynion. Er y gwyddai Boaz a Ruth eu bod yn hollol bur a diwair, eto efe a ewyllysiai ragflaenu drwgdybiaeth yn meddyliau ei gymydogion; a dichon ei fod yn ofni, os âi y son am hyn ar led, y byddai i hyny beri i'w chyfathrachwr agosaf nacâu ei phriodi.

Adn. 15. *Moes dy fantell*] Geilw yr ymylnod hon yn *gynfas* neu *arffedog;* a meddylir ei bod yr un peth a *hyke* yr Arabiaid: gwel ar Exod. xii. 34. *Ac ymafael ynddi* — lleda hi gerfydd ei chonglau. *Ac efe a fesurodd chwe mesur o haidd*—y mae y Targum yn chwanegu yma, 'ac a dderbyniodd nerth oddiwrth yr Arglwydd i'w cario hwynt.' Ond nid yw y gair *mesur* yn yr Hebraeg; ac os yr *omer* a feddylir, yr hyn oedd oddeutu chwe pheint, nid oedd y baich mor drwm, am na chyrhaeddai i fwy na phedair galwyn a hanner. *Ac a'i gosododd arni*—a'i cynorthwyodd hi i'w godi ar ei hysgwydd.

Adn. 16. *A phan ddaeth hi at ei chwegr*] Yn fore iawn, cyn iddi godi. *Pwy ydwyt ti, fy merch?*—hyny yw, 'ai ti sydd yna, fy merch?' neu, fel y mae yn y Vulgate, 'pa beth a wnaethost, fy merch?' *A hi a fynegodd iddi*—yr hyn oll a wnaeth Boaz iddi, a'r hyn oll a ddywedodd efe wrthi.

Adn. 17. *Nid âi yn waglaw at dy chwegr*] Ni soniwyd o'r blaen ddarfod iddo ef ddywedyd fel hyn wrthi: eithr nid peth anarferol gan yr ysgrifenwyr cysegredig, wrth adrodd amgylchiad neu ffaith, ydyw gadael allan ranau o'r cydymddyddan, y rhai a ddygir i mewn yn achlysurol wedi hyny. Y mae yn debyg fod Boaz yn bwriadu yr haidd hwn yn benaf i Naomi, gan ei fod yn bwriadu y dydd hwnw briodi Ruth ei hun, neu gael gŵr arall iddi.

Adn. 18. *Aros, fy merch*] Hyny yw, aros gartref; neu na sonia air am hyn; *oni wypech pa fodd y dygwyddo* — pa un a fydd i'r hwn sydd gyfathrachwr nes na Boaz dy briodi di; *canys ni orphwys y gŵr*—hi a gasglai hyn oddiwrth ei addewid, adn. 13, yn gystal ag oddiwrth ei ddiwydrwydd diflino i gyflawni pa beth bynag a gymerai efe mewn llaw.

PEN. IV. Adn. 1. *Yna Boaz a aeth i fyny i'r porth*] Sef porth dinas Bethlehem, lle yr arferid cynal llys cyfiawnder: gwel ar Deut. xvi. 18. *Ac wele y cyfathrachwr yn myned heibio*—am yr hwn y soniasai Boaz, pen. iii. 12, 13: y mae yn debyg y gwyddai Boaz y byddai iddo fyned allan i'w faesydd y bore hwnw trwy y porth. *Ho! hwn a hwn, tyred yn nes, eistedd yma*—diamau i Boaz ei alw ef wrth ei enw, yr hwn, yn ol yr Iuddewon, oedd *Tobias;* ond gadawyd ef allan o'r hanes gan yr ysgrifenydd, naill ai o ddirmyg cyfiawn arno am wrthod cydymffurfio â'r gyfraith yn yr achos hwn; neu ynte o dynerwch tuag ato, fel, mewn amser dyfodol, na wyddid pwy wrth ei enw a nacaodd godi had i'w frawd; ac felly cedwid ei hiliogaeth ef rhag gwarth eu henafiad hwn, yr hyn a arwyddid trwy ddyosg ei esgid, a phoeri yn ei wyneb: gwel ar adn. 7, 8.

Adn. 2. *Ac efe a gymerth ddengwr*] I fod yn dystion; canys er y byddai dau neu dri o dystion yn ddigon mewn rhai achosion, eto deg oedd y nifer arferol yn mhlith yr Iuddewon mewn achos o briodas ac ysgariad, a throsglwyddiad etifeddiaethau; ac yr oeddynt hwy ar yr un pryd yn farnwyr ar yr achos, ac yn dystion o'r peth.

Adn. 3. *Y rhan o'r maes yr hon oedd eiddo ein brawd Elimelech*] Efe a'i geilw 'eu brawd,' am ei fod yn berthynas agos; *a werth Naomi, yr hon a ddychwelodd o wlad Moab* — efe a grybwylla am ddychweliad Naomi o wlad Moab, i awgrymu fod ei thylodi yn ei gorfodi i werthu yr etifeddiaeth a adawsai ei gŵr iddi. Yr oedd gan Ruth a Naomi hawl yn y tir hwn dros eu bywyd; ond nid yw efe yn son am Ruth, rhag i hyny greu tybiaeth o'r angenrheidrwydd am iddo ei phriodi hi, cyn iddo roddi atebiad i'r cynygiad cyntaf.

Adn. 4. *A dywedais y mynegwn i ti*] Hyny yw, pan gyfarfyddwn â thi, y cynghorwn di i brynu y maes hwn gan Naomi. *Os rhyddhâi, rhyddha ef*—yn awr ar unwaith; oblegid yr oedd y tir i gael ei ryddhau, yn ol y ddeddf, gan gyfathrachwr, Lef. xxv. 25, ac yr oedd

ion, a cherbron henuriaid fy mhobl. Os rhyddhâi, rhyddha *ef;* ac oni ryddhâi, mynega i mi, fel y gwypwyf: canys nid *oes* ond ti i'*w* ryddhau, a minau *sydd* ar dy ol di. Ac efe a ddywedodd, Myfi a'*i* rhyddhaf.

5 Yna y dywedodd Boaz, Y diwrnod y prynech di y maes o law Naomi, ti a'*i* pryni hefyd gan Ruth y Moabes gwraig y marw, i gyfodi enw y marw ar ei etifeddiaeth ef.

6 ¶ A'r cyfathrachwr a ddywedodd, Ni allaf *ei* ryddhau i mi, rhag colli fy etifeddiaeth fy hun: rhyddha di i ti dy hun fy rhan i; canys ni allaf fi *ei* ryddhau.

7 A hyn *oedd ddefod* gynt yn Israel, am ryddhad, ac am gyfnewid, i sicrhau pob peth: Gŵr a ddyosgai ei esgid, ac a'*i* rhoddai i'w gymydog: a hyn *oedd* dystiolaeth yn Israel.

8 Am hyny y dywedodd y cyfathrachwr wrth Boaz, Pryn i ti dy hun: ac efe a ddyosgodd ei esgid.

9 ¶ A dywedodd Boaz wrth yr henuriaid, ac *wrth* yr holl bobl, Tystion *ydych* chwi heddyw, i mi brynu yr hyn oll *oedd* eiddo Elimelech, a'r hyn oll *oedd* eiddo Chilion a Mahlon, o law Naomi.

10 Ruth hefyd y Moabes, gwraig Mahlon, a brynais i mi yn wraig, i gyfodi enw y marw ar *ei* etifeddiaeth ef, fel na thorer ymaith enw y marw o blith ei frodyr, nac oddiwrth borth ei

---

Naomi yn foddlon i hyny. *Ac oni ryddhâi, mynega i mi, fel y gwypwyf*—pa beth i'w wneyd, ai ei ryddhau fy hun neu beidio. *Canys nid oes ond ti i'w ryddhau*—hyny yw, ti biai yr hawl gyntaf i'w ryddhau; *a minau sydd ar dy ol di*—genyf fi, fel y cyfathrachwr agosaf ar dy ol, y bydd yr hawl os gwrthodi di. *Myfi a'i rhyddhaf*—mi a'i prynaf, ac a dalaf i lawr am dano. Eithr ni wyddai efe eto am yr ammod arall.

Adn. 5. *Y diwrnod y prynech di y maes o law Naomi*] Gan yr hon yr oedd yr hawl flaenaf ynddo, neu yr unig hawl yn ystod ei bywyd; *ti a'i pryni hefyd gan Ruth*—neu, fel y mae y berniaid goraf yn ei ddeall, 'rhaid i ti hefyd *gymeryd* Ruth;' trwy fod Naomi yn penderfynu na werthai hi y maes i neb, ond ar yr ammod iddo briodi Ruth. *I gyfodi enw y marw ar ei etifeddiaeth ef*—trwy gael plentyn o honi, yr hwn a gynrychiolai Mahlon, ei gŵr cyntaf hi: Deut. xxv. 5, 6. Gelwir y maes hwn yn etifeddiaeth *Mahlon*, am mai efe oedd i gael yr hawl ynddo ar ol ei rieni, pe buasai efe yn fyw, adn. 9.

Adn. 6. *Ni allaf ei ryddhau i mi*] Ar yr ammod hon: gwel isod. *Rhag colli fy etifeddiaeth fy hun*—yr oedd arno ofn prynu y maes gan Naomi, a phriodi dynes dylawd fel Ruth, rhag y byddai iddo trwy hyny wario yr ychydig ag oedd ganddo yn weddill, wrth ei chynal hi, a'r plant a allai eu cael o honi. *Rhyddha di*—yr oedd yn foddlon i roddi ei hawl gyfathrachol i fyny i Boaz, fel y gallai ef brynu y maes iddo ei hun, a phriodi Ruth hefyd os mynai. *Canys ni allaf fi ei ryddhau*—dywed yr Iuddewon fod ganddo ef eisioes wraig a phlant, ac mai hyny oedd yn ei analluogi ef i brynu y maes ar yr ammod o briodi Ruth.

Adn. 7. *A hyn oedd ddefod gynt yn Israel*] Neu yn hen ddefod er cynt, oddieithr y tybiwn fod y gyfraith ar y pen hwn wedi ei rhoddi heibio pryd yr oedd yr ysgrifenydd yn ysgrifenu yr hanes hon. *Am ryddhad ac am gyfnewid*—wrth brynu a chyfnewid tiroedd; *i sicrhau pob peth*—i wneuthur y fargen yn safadwy. *Gŵr a ddyosgai ei esgid, ac a'i rhoddai i'w gymydog*—i ddangos trwy hyny ei fod ef yn rhoddi ei hawl yn y tir i fyny i'w gymydog, yr hwn bellach oedd i sefyll megys yn ei esgidiau ef, neu i feddiannu yr hawl a berthynai o'r blaen i berchenog yr esgid. *A hyn oedd dystiolaeth yn Israel*—sef tystiolaeth fod y fargen wedi ei gwneuthur yn dêg o bob tu, ac am hyny ei bod yn sicr a safadwy. Tybia rhai fod y DDEFOD hon am *ryddhad tiroedd*, yn wahanol i'r GYFRAITH hono am *wrthod priodi* yn Deut. xxv. 9; canys y *gŵr* ei hun a ddyosgai yr esgid yma, tra mai y *wraig* siomedig a wnai hyny yno: hefyd, yr oedd hi yno i *boeri yn ei wyneb ef* am wrthod ei phriodi, tra na sonir yma ddim am hyny. Ond tybia ereill fod y rhan ddirmygus o'r seremoni, sef y *poeri yn ei wyneb*, yn cael ei gadael heibio yma ar gyfrif ei esgus rhesymol ef dros beidio ei phriodi, sef am fod ganddo wraig arall. Mewn oesoedd diweddarach arferai yr Iuddewon sicrhau pryniadau a chyfnewidiadau trwy i'r naill roddi maneg ei law ddeau i'r llall, neu napcyn neu ryw ddilledyn arall, yr hwn oedd hawddach ei hebgor na'r esgid.

Adn. 8. *Pryn i ti dy hun*] Canys yr wyt ti yn ddigon cyfoethog, ac nid oes genyt ti wraig. *Ac efe a ddyosgodd ei esgid*—yn dystiolaeth ei fod yn rhoddi ei hawl i fyny. Ond dywed rhai o'r Iuddewon mai Boaz a ddyosgodd ei esgid ei hun, yn gydnabyddiad i'r cyfathrachwr am roddi ei hawl i fyny.

Adn. 9. *A dywedodd Boaz wrth yr henuriaid, &c.*] Y rhai oeddynt yn wyddfodol yn mhorth y ddinas, adn. 1, 2. *O law Naomi*—canys yr oedd yr etifeddiaeth a fuasai yn eiddo i Elimelech, ac i'w feibion ar ei ol pe buasent byw, yn awr wedi disgyn i Naomi, yr hon oedd wraig i'r cyntaf a mam i'r rhai olaf.

Adn. 10. *Ruth hefyd—a brynais i mi yn wraig*] Canys ammod y pryniad oedd, fod i'r neb a brynai y maes o law Naomi, briodi Ruth hefyd yr un dydd, adn. 5; *i gyfodi enw y marw ar ei etifeddiaeth ef*—sef enw Mahlon, gŵr cyntaf Ruth, yr hwn oedd fab hynaf Elimelech. Er mai *Obed* oedd enw cyntafanedig Ruth o'i hail ŵr; eto ystyrid ef, yn ol y gyfraith, fel etifedd Elimelech a chynrychiolydd Mahlon; a gelwid yr etifeddiaeth fyth ar enw y meirw, ac nid ar enw Boaz: felly ar

fangre: tystion *ydych* chwi heddyw.
11 A'r holl bobl y rhai *oedd* yn y
porth, a'r henuriaid, a ddywedasant,
*Yr ydym* yn dystion: Yr Arglwydd a
wnelo y wraig sydd yn dyfod i'th dŷ
di fel Rahel ac fel Lea, y rhai a adeil-
adasant ill dwy dŷ Israel; a gwna di
rymusdra yn Ephrata, bydd enwog yn
Bethlehem.
12 Bydded hefyd dy dŷ di fel tŷ
Phares, (yr hwn a ymddyg Tamar i
Juda) o'r had yr hwn a ddyry yr Ar-
glwydd i ti o'r llances hon.
13 ¶ Felly Boaz a gymerodd Ruth;
a hi a fu iddo yn wraig: ac efe a aeth
i mewn ati hi; a'r Arglwydd a rodd-
odd iddi hi feichiogi, a hi a ymddyg
fab.
14 A'r gwragedd a ddywedasant
wrth Naomi, Bendigedig *fyddo* yr Ar-
glwydd, yr hwn ni'th adawodd di heb
gyfathrachwr heddyw, fel y gelwid ei
enw ef yn Israel.
15 Ac efe fydd i ti yn adferwr ein-
ioes, ac yn amgeleddwr i'th benwyni:
canys dy waudd, yr hon a'th gâr di, a
blantodd iddo ef, a hon *sydd* well i ti
na saith o feibion.
16 A Naomi a gymerth y plentyn,
ac a'i gosododd ef yn ei mynwes, ac a
fu fammaeth iddo.
17 A'i chymydogesau a roddasant

---

yr *etifeddiaeth* yr oedd enw y marw i gael ei gyfodi, ac nid ar yr etifedd. *Fel na thorer ymaith*— fel na fyddai i'r teulu gwreiddiol gael ei ystyried fel wedi darfod, eithr yn parhau yn mlaen trwy blant y cyfathrachwr.

Adn. 11. *Yr ydym yn dystion*] O bryniad y maes gan Boaz trwy gytundeb têg, ac o'i ymrwymiad ef i briodi Ruth fel ammod y pryniad, yr hyn yn ddiamau a wnaeth ef y dydd hwnw, adn. 5. *Yr Arglwydd a wnelo y wraig sydd yn dyfod i'th dŷ di*—sef Ruth, yr hon yr oedd Boaz yn nghylch ei phriodi; *fel Rahel ac fel Lea*—yn ffrwythlon fel dwy wraig briodol y patriarch Jacob; *y rhai a adeiladasant ill dwy dŷ Israel*—o'r ddwy hyny, a'r plant a ddygasai eu llawforwynion iddynt hwy, y gwneid i fyny ddeuddeg llwyth Israel. Y mae y ddwy hyn yn cael eu henwi, am eu bod hwy, fel Ruth, o wreiddyn estronol, ac wedi bod yn llawer mwy ffrwythlon na Sarah a Rebecca. *A gwna di rymusdra yn Ephrata*—neu ddinas Bethlehem, pen. i. 2; hyny yw, cadw dy barch, dy enwogrwydd, a'th awdurdod yn mhlith dy gyd-ddinasyddion yn wastadol.

Adn. 12. *Bydded hefyd dy dŷ di fel tŷ Phares*] Mor anrhydeddus a lluosog a'i deulu ef; *yr hwn a ymddyg Tamar*—yr hon oedd o genedl estronaidd fel Ruth. Yr oedd y dymuniad hwn yn dyfod i mewn yn briodol; canys oddiwrth Phares, mab Juda o Tamar, yr hanasai teulu Elimelech a'r Bethlehemiaid. Fel hyn yr arferid bendithio priodasau anrhydeddus yn Israel.

Adn. 13. *Felly Boaz a gymerodd Ruth*] Yn wraig iddo o'r dydd hwnw allan. Er fod cyfraith Moses yn gwahardd i Foabiad ddyfod i gynulleidfa yr Arglwydd hyd y ddegfed genhedlaeth, Deut. xxiii. 3; eto tybia yr Iuddewon nad oedd y gyfraith hôno yn cyraedd at y *benywod;* a phe buasai, gellir ystyried Ruth yn eithriad, trwy ei bod hi eisioes wedi ymgorffori i'r teulu trwy briodi ei gŵr cyntaf, ac wedi gadael ei gwlad, ei phobl, a'i duwiau, i ddyfod yn *broselytes* i'r gwir Dduw yn ngwlad Israel. *A'r Arglwydd a roddodd iddi hi feichiogi*— felly y mae ysgrifenydd yr hanes yma, yn gystal a'r gwragedd a henuriaid y ddinas, (adn. 12, 14,) yn cydnabod llaw yr Arglwydd yn y peth hwn. *A hi a ymddyg fab*—yn mhen blwyddyn ar ol priodi, yn ol Josephus.

Adn. 14. *Yr hwn ni'th adawodd di heb gyfathrachwr*] Y mae *goel* yr Hebraeg, yr hwn a gyfieithwn ni *cyfathrachwr*, yn perthyn yn briodol i Boaz, ac nid i'w fab ef yr hwn oedd newydd gael ei eni; ac eto ymddengys fod y gwragedd yn dywedyd hyn gyda golwg ar y mab, yr hyn yn debygol a dueddodd y cyfieithydd Arabaidd i'w ddarllen, 'yr hwn ni'th adawodd di heb *etifedd*.' *Fel y gelwid ei enw ef*—Saes. 'fel y byddai ei enw ef yn *glodfawr* yn Israel:' enw yr *Arglwydd*, yn ol rhai; enw *Boaz*, yn ol ereill; ac enw y *plentyn*, yn ol y lleill: ond dichon mai enw y *marw* a olygir, at yr hwn y cyfeirir yn adn. 10.

Adn. 15. *Ac efe a fydd i ti yn adferwr einioes*] Yn adferwr *cysur* dy einioes; neu, y mae dy ŵr a'th fab ymadawedig fel yn *byw drachefn* ynddo ef; *ac yn amgeleddwr i'th benwyni*—i ddiwallu dy anghenion yn dy henaint. *Canys dy waudd*—Ruth dy ferch-yn-nghyfraith, yr hon sydd yn barhaus yn dy garu di, er ei bod yn briod bellach er's blwyddyn â Boaz; *a blantodd iddo ef*—sef i Boaz, yr hyn sydd sail i ti i ddysgwyl am amgeledd. Tybia rhai mai at Boaz y cyfeirir yn nechre yr adnod hon, fel 'adferwr einioes' ac 'amgeleddwr penwyni' Naomi; ac y mae yr ystyr felly yr un mor naturiol a phe deallid y geiriau am ei fab ef. *A hon sydd well i ti na saith o feibion*—trwy ei bod yn wraig i ŵr mor gyfoethog, ac ar yr un pryd yn dy garu di mor fawr. Hefyd, dichon y buasai ei meibion yn ei gadael hi ar ol priodi; ond glynodd Ruth wrthi, a chynaliodd hi hyd y diwedd.

Adn. 16. *A Naomi a gymerth y plentyn*] Yn ebrwydd ar ol ei eni; *ac a'i gosododd ef yn ei mynwes*—i ddangos ei chariad a'i hanwyldeb ato, fel pe buasai yn fab i Mahlon, ac yn ŵyr naturiol iddi hi ei hun; *ac a fu fammaeth iddo*—ddydd a nos. Sylwa Clarke, y gallai hyn fod yn llesol i Naomi, ond yn niweidiol i'r plentyn; am fod rhai ieuainc yn cael niwed wrth gysgu gyda hen bobl, ond fod hen bobl yn cael adfywiad a chryfhad wrth gysgu gyda rhai ieuainc: ac efe a ddywed yn mhellach, mai ar yr egwyddor hon y cynghorodd phisygwyr Dafydd, fod i lances ieuanc

iddo enw, gan ddywedyd, Ganwyd
mab i Naomi; ac a alwasant ei enw
ef Obed: hwn *oedd* dad Jesse, tad
Dafydd.
18 ¶ Dyma genedlaethau Phares:
Phares a genhedlodd Hesron,
19 A Hesron a genhedlodd Ram, a
Ram a genhedlodd Aminadab,
20 Ac Aminadab a genhedlodd Nahson,
a Nahson a genhedlodd Salmon,
21 A Salmon a genhedlodd Boaz, a
Boaz a genhedlodd Obed,
22 Ac Obed a genhedlodd Jesse, a
Jesse a genhedlodd Dafydd.

---

iachus gysgu gydag ef yn ei henaint, 1 Bren. i. 1—4.

Adn. 17. *A'i chymydogesau a roddasant iddo enw*] Hyny yw, cynygiasant neu argymhellasant enw cyfatebol i amgylchiadau yr achos, yr hwn y darfu i rieni a nain y plentyn ei gymeradwyo. *Ganwyd mab i Naomi*—cyfrifir y plentyn i Naomi, am mai yn adeiladu ei theulu hi yr oedd ei enedigaeth. *Ac a alwasant ei enw ef Obed*—oddiwrth *abad*, 'gwasanaethu;' canys gobeithient y byddai efe yn wasanaethgar i Naomi yn ei phenwyni, adn. 15, i'w chysuro, ei maethu, a'i hamgeleddu; yn wasanaethgar hefyd i'w bobl oll yn ei genhedlaeth; ac yn enwedig yn enwog yn ngwasanaeth yr Arglwydd. *Hwn oedd dad Jesse, tad Dafydd*—er mwyn pa un yn benaf yr ysgrifenwyd y llyfr hwn, i sicrhau ei âch ef, ac felly linach y MESSIA.

Adn. 18. *Dyma genedlaethau Phares*] Mab *Juda* o Tamar, Gen. xxxviii. 29. *Phares a genhedlodd Hesron* — yn Mat. i. 3, gelwir ef *Esrom:* gwel ar Gen. xlvi. 8—12. Dyben yr achau hyn yma yw cadarnhau gwirionedd proffwydoliaeth Jacob, y deuai y SILO o lwyth *Juda*, Gen. xlix. 10.

Adn. 19, 20. *A Hesron a genhedlodd Ram*] Yr hwn a elwir *Aram* gan y LXX, ac yn Mat. i. 3. *A Ram a genhedlodd Aminadab* — yr hwn oedd dad *Nahson*, tad *Salmon:* am y rhai hyn gwel ar Mat. i. 4, 5.

Adn. 21. *A Salmon a genhedlodd Boaz*] Am yr hwn y darllenasom gymaint yn y llyfr hwn; ac oddiwrth Mat. i. 5, nyni a ddysgwn mai *Rahab* oedd ei fam ef, yr hon a dderbyniasai yr yspïwyr yn Jericho, Jos. ii. 1. *A Boaz a genhedlodd Obed*—o Ruth, adn. 13—17.

Adn. 22. *Ac Obed a genhedlodd Jesse*] Sef Jesse y Bethlehemiad, yr hwn y cawn ei hanes yn 1 Sam. xvi. 1, &c. *A Jesse a genhedlodd Dafydd*—brenin Israel, oddiwrth yr hwn, yn nghyflawnder yr amser, yr hanodd CRIST, Brenin y saint. Yr oedd o enedigaeth Juda, tad Phares, hyd enedigaeth Dafydd, un genhedlaeth ar ddeg, yn cyraedd dros yr yspaid o 683 o flynyddoedd; canys, yn ol yr Archesgob Usher, ganed Juda yn O. B. 2236, a Dafydd yn O. B. 2919, yr hyn oedd 1085 o flynyddoedd cyn genedigaeth ein Hiachawdwr.

---

# LLYFR CYNTAF
# SAMUEL.

YR oedd y llyfr hwn, a'r tri canlynol, yn cael eu galw gynt yn *Llyfr Cyntaf, Ail, Trydydd*, a *Phedwarydd y Brenhinoedd;* ac nid oedd *dau* lyfr SAMUEL, yn yr hen amseroedd, ddim ond *un*. Y mae y llyfr hwn, a'r un canlynol, yn cael eu galw yn LLYFRAU SAMUEL, am fod y blaenaf yn cynwys yn benaf ei hanes ef, a'r ddau yn gosod allan weithrediadau y brenhinoedd a eneiniwyd ganddo ef: eithr nid ydynt, a llefaru yn briodol, ddim ond parhad o lyfr y BARNWYR, trwy eu bod yn rhoddi i ni hanes am y gweddill o farnwyr Israel hyd etholiad Saul. Felly ni a gawn yn y llyfr hwn hanes yr Israeliaid dan y ddau farnwr diweddaf, ELI a SAMUEL, ac wedi hyny dan SAUL brenin cyntaf Israel; oblegid cafodd eu ffurflywodraeth hwy o'r diwedd ei newid, trwy i Dduw, ar ddymuniad y bobl, benodi Saul yn frenin arnynt, yn lle codi barnwyr iddynt megys cynt. Cawn yma hefyd hanes Duw yn bwrw Saul ymaith o'r frenhiniaeth o herwydd ei anufydd-dod, ac yn dewis Dafydd yn ei le ef. Dywed yr Iuddewon yn gyffredin mai *Samuel* a ysgrifenodd y saith bennod ar hugain flaenaf o'r llyfr hwn, y rhai a gynwysant hanes ei fywyd a'i lywodraeth ef ei hun, a'r hyn a berthyna i Saul a Dafydd yn ystod yr amser hwnw; a thybiant i'r pedair pennod ddiweddaf, o herwydd yr hyn a ddywedir yn 1 Cron. xxix. 29, gael eu chwanegu gan *Nathan* neu *Gad*. Tybia ereill fod y llyfr hwn wedi cael ei ysgrifenu yn ddiweddarach na'u hamser hwy, ond wedi ei gasglu er hyny o'u hysgrifau hwy, gan *Jeremia, Hezecia*, neu ryw ŵr santaidd arall; neu ynte fod *Ezra*, wrth grynhoi a threfnu llyfrau yr Ysgrythyr Lân, wedi gosod i mewn amrai frawddegau eglurhaol, ar y rhai y cymerwn olwg yn nghorff y sylwadau canlynol. Y mae y llyfr hwn yn cynwys hanes y genedl am oddeutu 80 mlynedd; 40 o ba rai a dreuliwyd dan lywodraeth Eli, fel archoffeiriad a barnwr, pen. iv. 18; a'r 40 ereill dan lywodraeth Samuel a Saul, Act. xiii. 20, 21.

## PENNOD I.

AC yr oedd rhyw ŵr o Ramathaim
Sophim, o fynydd Ephraim, a'i
enw Elcanah, mab Jeroham, mab Elihu,
mab Tohu, mab Suph, Ephratëwr:

---

PEN. I. Adn. 1. *Ac yr oedd rhyw ŵr o Ramathaim Sophim*] Yn llythyrenol, 'o ddwy uchelfa y gwylwyr.' Gelwir y lle *Ramah* yn adn. 19; ac ymddengys ei fod yn bentref yn sefyll ar ddau fryn; ac y mae yn debyg fod yno dŵr wedi ei adeiladu ar ben pob un, yn y

2 A dwy wragedd *oedd* iddo; enw
y naill *oedd* Hannah, ac enw y llall
Peninnah: ac i Peninnah yr ydoedd
plant, ond i Hannah nid *oedd* plant.
3 A'r gŵr hwn a âi i fyny o'i ddi-
nas bob blwyddyn i addoli, ac i aberth-
thu i Arglwydd y lluoedd, yn Silo; a
dau fab Eli, Hophni a Phinees, *oedd*
offeiriaid i'r Arglwydd yno.
4 ¶ Bu hefyd, y diwrnod yr aberth-
odd Elcanah, roddi o hono ef i Pen-
innah ei wraig, ac i'w meibion, a'i
merched oll, ranau.
5 Ond i Hannah y rhoddes efe un
ran hardd: canys efe a garai Han-
nah, ond yr Arglwydd a gauasai ei
chroth hi.
6 A'i gwrthwynebwraig a'i cyffrôdd
hi i'w chythruddo, am i'r Arglwydd
gau ei bru hi.
7 Ac felly y gwnaeth efe bob
blwyddyn, pan esgynai hi i dŷ yr Ar-
glwydd, hi a'i cythruddai hi felly, fel
yr ŵylai, ac na fwytäai.
8 Yna Elcanah ei gŵr a ddywedodd
wrthi, Hannah, paham yr ŵyli? a
phaham na fwytai? a phaham y mae
yn flin ar dy galon? onid *wyf* fi well
i ti na deg o feibion?
9 ¶ Felly Hannah a gyfododd wedi

rhai yr oedd gwyliedyddion yn gwylio er diogelwch y wlad, oddiwrth yr hyn y cafodd y lle ei enw. *O fynydd Ephraim*—chwanegir hyn i'w gwahaniaethu oddiwrth leoedd a elwid Ramah mewn llwythau ereill, yn enwedig Ramah Benjamin, Jos. xviii. 25. *A'i enw Elcanah*— hyny yw, 'Duw a feddiannodd;' sef a feddiannodd y gŵr hwn i'w wasanaeth. *Ephratëwr*—hyny yw, gŵr o Bethlehem Ephrata o ran ei enedigaeth a'i gartref, er ei fod yn Lefiad o ran ei deulu.

Adn. 2. *A dwy wragedd oedd iddo*] Megys yr oedd i lawer ereill yn y dyddiau hyny, er fod hyny yn groes i ddeddf gyntefig priodas. Y mae yn debyg mai *Hannah* oedd ei wraig gyntaf ef; a chan ei bod hi yn anmhlantadwy, cymerodd Elcanah wraig arall ati hi, o'r enw *Peninnah*, megys y cymerasai Abraham Agar trwy gydsyniad Sarah, Gen. xvi. 3.

Adn. 3. *A'r gŵr hwn a âi i fyny o'i ddinas bob blwyddyn*] I Silo, lle yr oedd yr arch a'r tabernacl y pryd hyny, a lle yr oedd yr holl aberthau i gael eu hoffrymu: ac yr oedd pob gwryw yn rhwym o fyned yno deirgwaith bob blwyddyn ar y tair gŵyl arbenig, (gwel Deut. xvi. 16,) a pheidio ymddangos gerbron yr Arglwydd yn waglaw. *I addoli ac i aberthu*—nid yn unig i addoli Duw trwy weddi, mawl, a diolchgarwch; ond hefyd i offrymu y cyfryw aberthau ag oeddynt briodol i'r ŵyl. Hyn a wnai efe trwy wasanaeth yr offeiriaid, am na oddefid i'r Lefiaid aberthu. *I Arglwydd y lluoedd*—neu 'y byddinoedd.' Gan fod yr holl gyrff nefol yn cael eu galw yn *lluoedd y nef*, yr oedd fod JEHOFA yn cael ei alw yn 'Arglwydd y lluoedd' hyn, yn dangos mai EFE, fel eu Gwneuthurwr a'u Llywodraethwr, oedd gwir wrthddrych addoliad crefyddol. Yr *haul*, y *lloer*, a'r *ser*, oeddynt wrthddrychau uwchaf addoliad y paganiaid: ond yr oedd y grefydd Iuddewig, wrth ddysgu y wybodaeth o Fôd ag ydoedd yn *Arglwydd* y rhai hyn oll, yn dangos ar unwaith ei rhagoriaeth ei hun ar ddim ag y gallai paganiaeth ymffrostio ynddo. Dyma y lle cyntaf yn y Beibl ag y rhoddir yr enw hwn i JEHOFA, gwel ar adn. 11. *Hophni a Phinees oedd offeiriaid i'r Arglwydd yno*—dan eu tad Eli, yr archoffeiriad: trwy ei fod ef yn hen a gwan, ei feibion a weinyddent yn ei le ef.

Adn. 4. *Roddi o hono ef i Peninnah ei wraig*] Y gwrywod yn unig oeddynt yn rhwym o fyned i'r ŵyl; ond yr oedd y rhai duwiolaf o honynt yn cymeryd eu gwragedd a'u merched yn aml gyda hwy. *Ranau*—sef un ran i bob un. Dengys hyn mai ABERTH HEDD oedd hwn, yr hwn yr oedd y neb a'i dygai i wledda ar y rhan fwyaf o hono gyda'i deulu a'i gyfeillion gerbron yr Arglwydd, Deut. xii. 5—7, a xvi. 10—15.

Adn. 5. *Ond i Hannah y rhoddes efe un ran hardd*] Neu, fel y mae yn y Syriaeg ac ar ymyl y ddalen, 'ran ddeublyg' yn arwydd o'i barch a'i diriondeb mawr iddi hi. *Canys efe a garai Hannah*—yn fwy na Peninnah; *ond yr Arglwydd a gauasai ei chroth hi*—hyny yw, *er* i'r Arglwydd gau ei chroth. Yr oedd ei hanffrwythlondeb hi yn peri iddo ei charu nid yn llai, eithr yn hytrach yn fwy, am yr ewyllysiai efe ei chysuro hi dan ei chystudd.

Adn. 6. *A'i gwrthwynebwraig a'i cyffrôdd hi i'w chythruddo*] Oedd yn barhaus yn edliw iddi ei hanmhlantadrwydd, a hyny yn fwy wrth weled fod ei gŵr yn fwy pleidiol i Hannah nag iddi hi.

Adn. 7. *Ac felly y gwnaeth efe bob blwyddyn*] Sef rhoddi rhan fwy neu frasach i Hannah, pan yr aent i fyny i Silo, nag a roddai efe i Peninnah a'i phlant, adn 4, 5. *Hi a'i cythruddai hi felly*—trwy ymffrostio yn ei phlant ei hun, a dannod i Hannah ei hanffrwythlondeb hithau, heb ystyried mai ewyllys yr Arglwydd oedd hyny, adn. 5. *Fel yr ŵylai*—Hannah, oblegid ei chyflwr ei hun a chythruddiadau Peninnah; *ac na fwytäai*—nid yn unig am fod blinder meddwl yn tynu ymaith awydd at fwyd, ond hefyd am nad oedd yn weddus bwyta pethau cysegredig mewn galar, Deut. xxvi. 14, Mal. ii. 13.

Adn. 8 *Hannah, paham yr ŵyli?*] Gallwn feddwl mai yn absenoldeb Elcanah y cythruddai Peninnah hi, ac felly nas gwyddai efe yr holl achos o'i blinder. Tybiai ef mai am ei hanmhlantadrwydd yn unig yr ŵylai hi, gan na wyddai am drahausder eiddigeddus Peninnah. *Onid wyf fi well i ti na deg o feibion*—hyny yw, onid yw fy serch neillduol i atat ti yn well na'r holl gysur a ellit ei gael oddiwrth deulu lluosog? Tybia rhai ei fod ef yn cyfeirio at ddeg plentyn Peninnah; ac yn golygu fod yn well ar Hannah fel yr oedd, nag ar ei gwrthwynebwraig, yr hon a gerid yn

iddynt fwyta ac yfed yn Silo (ac Eli
yr offeiriad oedd yn eistedd ar fainc
wrth bost teml yr Arglwydd)
10 Ac *yr oedd* hi yn chwerw ei hen-
aid, ac a weddiodd ar yr Arglwydd, a
chan ŵylo hi a ŵylodd.
11 Hefyd hi a addunodd adduned,
ac a ddywedodd, O Arglwydd y llu-
oedd, os gan edrych yr edrychi ar gys-
tudd dy law-forwyn, ac a'm cofi i,
ac nid annghofi dy law-forwyn, ond
rhoddi i'th law-forwyn fab; yna y
rhoddaf ef i'r Arglwydd holl ddyddiau
ei einioes, ac ni ddaw ellyn ar ei ben ef.
12 A bu, fel yr oedd hi yn parhau
yn gweddio gerbron yr Arglwydd, i
Eli ddal sylw ar ei genau hi.
13 A Hannah oedd yn llefaru yn ei
chalon, yn unig ei gwefusau a symud-
ent; a'i llais ni chlywid: am hyny Eli
a dybiodd ei *bod* hi yn feddw.
14 Ac Eli a ddywedodd wrthi hi, Pa
hyd y byddi feddw? bwrw ymaith dy
win oddiwrthyt.
15 A Hannah a atebodd, ac a
ddywedodd, Nid *felly,* fy arglwydd;
gwraig galed arni *ydwyf* fi: gwin hef-
yd na diod gadarn nid yfais; eithr ty-
welltais fy enaid gerbron yr Argl-
wydd.
16 Na chyfrif dy law-forwyn yn
ferch Belial: canys o amldra fy myf-
yrdod, a'm blinder, y lleferais hyd yn
hyn.
17 Yna yr atebodd Eli, ac a ddy-
wedodd, Dos mewn heddwch: a Duw
Israel a roddo dy ddymuniad yr hwn
a ddymunaist ganddo ef.

---

llai ganddo ef, ac a oedd yn ddigon parod i newid cyflwr â hi pe gallasai.

Adn. 9. *Felly Hannah a gyfododd*] Ar ol i Elcanah, Peninnah, a'r plant, wledda yn llawen ar ranau yr aberth; ond gallwn feddwl na fwytaodd hi nemawr neu ddim, gan ei bod fyth yn ŵylo yn chwerwder ei henaid, adn. 10. *Ac Eli yr offeiriad oedd yn eistedd ar fainc*—ar orsedd barn, canys yr oedd efe yn farnwr ar Israel. *Wrth bost teml yr Arglwydd*—sef y tabernacl yr hwn a elwir yn fynych yn deml.

Adn. 10. *Ac yr oedd hi yn chwerw ei henaid*] O herwydd ei hanmhlantadrwydd ei hun a chythruddiadau ei gwrthwynebwraig; *ac a weddiodd ar yr Arglwydd*—am iddo agoryd ei chroth, a rhoddi plentyn iddi, adn. 11, 27; *a chan ŵylo hi a ŵylodd*—hyny yw, hi a ŵylai yn chwerw iawn tra yr oedd ar ei gliniau yn gweddio.

Adn. 11. *Hefyd hi a addunodd adduned*] Yr oedd Samuel, fel un o hiliogaeth *Lefi* i fod yn eiddo i'r Arglwydd, o 25 mlwydd oed hyd 50: eithr yr adduned yma a gynwys y byddai iddo gael ei gysegru i'r Arglwydd o'i *fabandod* hyd ei farwolaeth, ac y cai efe fod yn *Nazaread* yn gystal ag yn *Lefiad. O Arglwydd y lluoedd*—dywed yr Iuddewon na alwodd neb JEHOFA ar yr enw hwn, ond Hannah, o'r dydd y creodd Duw y byd; canys er i ni gyfarfod â'r enw hwn o'r blaen yn adn. 3, eto yr oedd y weddi hon wedi ei gwneuthur yn hir cyn ysgrifenu yr hanes a adroddir yno. *Os gan edrych yr edrychi ar gystudd dy law-forwyn*—ar y gofid oedd iddi, a'r gwarth a ddyoddefai, o herwydd ei diepiledd. *Ac nid annghofi dy law-forwyn*—y mae hi yma yn ei galw ei hun deirgwaith yn llaw-forwyn i Dduw, oddiar deimlad o'i gwaeledd ei hun a'i uwchafiaeth yntau. *Ond rhoddi i'th law-forwyn fab*—y mae yn deisyf cael plentyn *gwryw,* am mai y cyfryw yn unig a allai wasanaethu yr Arglwydd yn y tabernacl. *Ac ni ddaw ellyn ar ei ben ef*—gwel ar Num. vi. 5.

Adn. 12. *A bu, fel yr oedd hi yn parhau yn gweddio*] Yr hyn a ddengys ddarfod iddi ddywedyd llawer mwy nag a fynegir yma; *i Eli ddal sylw ar ei genau hi*—neu ar symudiad ei gwefusau heb barablu geiriau.

Adn. 13. *A Hannah oedd yn llefaru yn ei chalon*] Neu yn gweddio yn ei meddwl, gan symud ei gwefusau i ffurfio geiriau anhyglyw yn ol y meddwl. *Am hyny Eli a dybiodd ei bod hi yn feddw*—gwyddai Eli fod hyn ar ol y wledd, adn. 9; ac wrth weled ei dagrau yn rhedeg ar hyd ei gruddiau, a'i dwylaw, a'i golygon yn dyrchafu tua'r nef, a'i gwefusau yn ymsymud heb ddywedyd gair, efe a dybiai mai effaith gwin oedd y cwbl: a dichon ei fod wedi gweled anghreifftiau o hyn mewn ereill yno.

Adn. 14. *Pa hyd y byddi feddw?*] Ymddengys oddiwrth hyn ei fod ef wedi ei chanfod hi yno mewn agwedd gyffelyb o'r blaen. *Bwrw ymaith dy win oddiwrthyt*—ymattal oddiwrth yr arferiad anweddaidd a phechadurus o feddwi.

Adn. 15. *Nid felly, fy arglwydd*] Nid wedi meddwi yr ydwyf. Er fod Eli wedi dwyn cyhuddiad trwm iawn yn ei herbyn hi, eto y mae hi yn ei ateb ef yn addfwyn a boneddigaidd, gan dalu parch dyladwy i'w swydd urddasol. *Gwraig galed arni ydwyf fi*—gan ofid a blinder ysbryd. *Gwin hefyd na diod gadarn nid yfais*—y dydd heddyw, gwel ar adn. 9; *eithr tywelltais fy enaid gerbron yr Arglwydd*—mewn gweddi daer.

Adn. 16. *Na chyfrif dy law-forwyn yn ferch Belial*] Ymadrodd diarebol am un a fo wir anfad, neu yn hollol dan lywodraeth yr ysbryd drwg: gwel ar pen. ii. 12, a Deut. xiii. 13. *Canys o amldra fy myfyrdod a'm blinder*—neu o helaethrwydd fy mhryder a'm gofid, *y lleferais hyd yn hyn*—mewn gweddi ddystaw a dwys am gael mab gan yr Arglwydd.

Adn. 17. *Dos mewn heddwch*] Efe a welai iddo gamsynied am dani, a'i bod hi yn wraig wir grefyddol a duwiol, yn gystal a sobr; ac am hyny y mae yn ei gollwng hi ymaith mewn tangnefedd. *A Duw Israel a roddo dy ddymuniad*—a ganiatao i ti gael yr hyn y buaist yn gweddio am dano; neu 'a *ddyry* i ti dy ddymuniad,' fel y mae y Galdeaeg yn i ddeongli.

18 A hi a ddywedodd, Caffed dy
law-forwyn ffafr yn dy olwg. Felly
yr aeth y wraig i'w thaith, ac a fwyta-
odd; ac ni bu *athrist* mwy.
19 A hwy a gyfodasant yn fore, ac
a addolasant gerbron yr Arglwydd;
ac a ddychwelasant, ac a ddaethant
i'w tŷ i Ramah. Ac Elcanah a adnabu
Hannah ei wraig; a'r Arglwydd a'i
cofiodd hi.
20 A bu, pan ddaeth yr amser o
amgylch, wedi beichiogi o Hannah,
esgor o honi ar fab; a hi a alwodd
ei enw ef Samuel: Canys gan yr Ar-
glwydd y dymunais ef, *eb y hi.*
21 A'r gŵr Elcanah a aeth i fyny,
a'i holl dylwyth, i offrymu i'r Argl-
wydd yr aberth blynyddol, a'i add-
uned.
22 Ond Hannah nid aeth i fyny:
canys hi a ddywedodd wrth ei gŵr,
*Ni ddeuaf fi,* hyd oni ddiddyfner y
bachgen: *yna* y dygaf ef, fel yr ym-
ddanghoso efe o flaen yr Arglwydd,
ac y trigo byth.
23 Ac Elcanah ei gŵr a ddywedodd
wrthi, Gwna yr hyn a welych yn dda:
aros hyd oni ddiddyfnech ef; yn unig
yr Arglwydd a gyflawno ei air. Felly
yr arhôdd y wraig, ac a fagodd ei mab,
nes iddi ei ddiddyfnu ef.
24 ¶ A phan ddiddyfnodd hi ef, hi
a'i dyg ef i fyny gyda hi, a thri o
fustych, ac un epha o beillied, a
chostrelaid o win; a hi a'i dyg ef i dŷ
yr Arglwydd *yn* Silo: a'r bachgen yn
ieuanc.
25 A hwy a laddasant fustach, ac
a ddygasant y bachgen at Eli.
26 A hi a ddywedodd, O, fy argl-
wydd, *fel* y mae dy enaid yn fyw, fy
arglwydd, myfi *yw* y wraig oedd yn

---

Adn. 18. *Caffed dy law-forwyn ffafr yn dy olwg*] Parha i feddwl yn dda am danaf, ac i weddio droswyf. *Felly yr aeth y wraig i'w thaith*—sef o'r tabernacl i'r fan lle yr oedd ei gŵr; *ac ni bu athrist mwy*—trwy i'w chalon gael ei sirioli gan ymadroddion cysurlawn yr offeiriad, ac yn enwedig gan Ysbryd Duw yn eu cymhwyso at ei meddwl, ac yn cenhedlu hyder ynddi fod ei gweddi wedi ei gwrandaw.

Adn. 19. *A hwy a gyfodasant yn fore*] Dranoeth, i addoli yr Arglwydd gerbron y tabernacl, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa, cyn cychwyn i'w taith; *ac a ddaethant i'w tŷ i Ramah*—gwel ar pen. i. 1. *Ac Elcanah a adnabu Hannah ei wraig*—coffeir hyn i ddangos mai nid mewn ffordd wyrthiol neu oruwchnaturiol yr ymddygwyd ar Samuel; *a'r Arglwydd a'i cofiodd hi*—a gofiodd am ei gweddi hi, a'i addewid ei hun iddi.

Adn. 20. *A hi a alwodd ei enw ef Samuel*] Yr hyn a arwydda, 'gofynedig gan Dduw;' *canys gan yr Arglwydd y dymunais ef*—dyma oedd y rheswm am ei enwi ef yn SAMUEL; a byddai i'r enw hwn ddwyn ar gof yn wastadol i'r fam a'r mab y gyfryngaeth ddwyfol ar ei ran ef yn ei fodolaeth.

Adn. 21. *A'r gŵr Elcanah a aeth i fyny*] O Ramah i Silo; *a'i holl dylwyth*—oddieithr Hannah a'i mab; *i offrymu i'r Arglwydd yr aberth blynyddol*—yn mhen y flwyddyn ar ol bod y teulu gydag ef o'r blaen; *a'i adduned*—ymddengys oddiyma fod Elcanah wedi cydsynio âg adduned Hannah, i'w chadarnhau hi, trwy ei bod yma yn cael ei galw ei adduned *ef:* gwel ar Num. xxx.

Adn. 22. *Ni ddeuaf fi hyd oni ddiddyfner y bachgen*] Nid yn unig oddiwrth laeth y fron, ond hefyd oddiwrth ofal y fam: gwel ar adn. 24, a Gen. xxi. 8; *fel yr ymddanghoso efe o flaen yr Arglwydd*—i wneuthur rhyw wasanaeth Lefiaidd a fyddo yn gyfaddas i'w oedran ef, pen. ii. 18; *ac y trigo byth*—fel y gallwyf ei adael yn Silo hyd ei farwolaeth.

Adn. 23. *Yr Arglwydd a gyflawno ei air*] Nid ydym yn darllen am ddim a ddywedasai yr Arglwydd yn nghylch y plentyn hwn; ond dichon fod Elcanah yn edrych ar yr hyn a ddywedasai Eli, adn. 17, fel yn cael ei lefaru gan Dduw, am ei fod ef yn archoffeiriad Duw. Neu gall ei fod yn cyfeirio at ryw addewid a wnaethai Duw i Elcanah, neu i'w wraig, trwy ddatguddiad. Modd bynag, gellir cyfieithu *dabar* yr un mor briodol, 'yr Arglwydd a gyflawno ei *waith;*' hyny yw, boed iddo ef orphen yr hyn a ddechreuodd, trwy beri i'r plentyn dyfu i fyny, a bod yn addas i wasanaeth Duw. *Felly yr arhôdd y wraig*—gartref, heb fyned i fyny y tro hwnw i Silo.

Adn. 24. *A phan ddiddyfnodd hi ef*] Sonir am dri math o ddiddyfnu gynt: (1) Oddiwrth y fron, yn *dair* blwydd oed; (2) Oddiwrth ofal y fammaeth, yn *saith;* (3) Ac oddiwrth arferion plentynaidd, yn *ddeuddeng* mlwydd oed. Tybia rhai mai y diddyfniad olaf hwn a olygir yma. *Hi a'i dyg ef i fyny*—i'r tabernacl yn Silo; *â thri o fustych*—un i fod yn boeth-offrwm, y llall yn bech-offrwm, a'r trydydd yn hedd-offrwm. Ond yn lle '*tri* o fustych,' y mae y LXX, yn nghyda'r Syriaeg a'r Arabaeg, yn darllen 'bustach *teirblwydd* oed;' ac y mae yn debyg mai hwn yw yr iawn ddarlleniad, gan na sonir am ladd dim ond *un,* adn. 25; a dyma yr oed arferol, Gen. xv. 9. *Ac un epha o beillied*—sef saith galwyn a hanner, i fod yn fwyd-offrwm; *a chostrelaid o win*—i fod yn ddiod-offrwm, neu i'w yfed gan y rhai a wleddent ar yr aberth. Y mae *nebel yayin* yn arwyddo '*lledraid* o win;' canys yr oedd eu costrelau gynt yn cael eu gwneyd o *grwyn geifr* cyfain wedi eu gwnio i fyny yn godau. Y tri hyn, y bustach, y peillied, a'r gwin, a wnaent i fyny yr *offrwm cysegrol.*

Adn. 25. *A hwy a laddasant fustach*] *Eth happar* 'Y bustach,' sef yr unig un ag oedd ganddynt: gwel ar adn. 24. *Ac a ddygasant y bachgen at Eli*—i'w gyflwyno i wasanaeth yr Arglwydd.

Adn. 26. *Fel y mae dy enaid yn fyw*] Neu, cyn wired a'th fod yn enaid byw. Hi a dybiai

sefyll yma yn dy ymyl di, yn gweddio ar yr Arglwydd.

27 Am y bachgen hwn y gweddiais; a'r Arglwydd a roddodd i mi fy nymuniad a ddymunais ganddo.

28 Minau hefyd a'i rhoddais ef i'r Arglwydd; yr holl ddyddiau y byddo efe *byw*, y rhoddwyd ef i'r Arglwydd. Ac efe a addolodd yr Arglwydd yno.

## PENNOD II.

A HANNAH a weddiodd ac a ddywedodd, Llawenychodd fy nghalon yn yr Arglwydd; fy nghorn a ddyrchafwyd yn yr Arglwydd: fy ngenau a eangwyd ar fy ngelynion: canys llawenychais yn dy iachawdwriaeth di.

2 Nid santaidd *neb* fel yr Arglwydd; canys nid dim hebot ti: ac nid *oes* graig megys ein Duw ni.

3 Na chwanegwch lefaru yn uchel uchel; *na* ddeued allan ddim balch o'ch genau: canys Duw gwybodaeth *yw* yr Arglwydd, a'i amcanion ef a gyflawnir.

4 Bwäau y cedyrn a dorwyd, a'r gweiniaid a ymwregysasant â nerth.

---

fod y dull hwn o wirio y peth yn angenrheidiol, trwy fod amrai flynyddau wedi myned heibio er pan gymerasai y ffaith le. *Myfi yw y wraig oedd yn sefyll yma*—pan y tybit ti fy mod wedi meddwi ar win: gwel ar adn. 14—16.

Adn. 27. *Am y bachgen hwn y gweddiais*] Neu, 'yr oeddwn yn gweddio y pryd hyny.' *A'r Arglwydd a roddodd i mi fy nymuniad*—gan nad oedd y Lefiaid yn dechreu ar eu gwasanaeth cyn bod yn 25 mlwydd oed, hi a ofnai y byddai i Eli wrthod derbyn plentyn mor ieuanc a hwn; ond pan gofiai efe i'w fam weddio am dano, ac y deallai mai mewn atebiad i'w gweddi y cafodd hi ef gan yr Arglwydd, hi a obeithiai na fyddai iddo wrthod ei dderbyn dan ei ofal a'i hyfforddiad.

Adn. 28. *Minau hefyd a'i rhoddais*] Neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'a'i *benthycais* ef i'r Arglwydd;' ond nid gyda bwriad i'w alw yn ol. Gellir dywedyd fod pa beth bynag a *roddwn* ni i'r Arglwydd yn yr ystyr yma, yn cael ei *fenthyca* iddo ef, am y bydd iddo ef ei ad-dalu er mantais annhraethol i ni. *Ac efe a addolodd yr Arglwydd yno*—gan roddi prawf fel hyn o'i dduwioldeb boreol. Ond y mae chwech o ysgriflyfrau *Kennicott* a *De Rossi*, yn nghyda rhai ailunau o'r LXX, y Vulgate, y Syriaeg, a'r Arabaeg, yn darllen, 'a HWY a addolasant yr Arglwydd yno,' sef y bachgen a'i rieni.

PEN. II. Adn. 1. *A Hannah a weddiodd*] Hyny yw, a foliannodd Dduw; canys y mae hymnau o *fawl* yn cael eu cynwys yn fynych dan yr enw 'gweddiau.' Pan yr oedd hi yn rhwym mewn myfyrdod defosiynol ar ddaioni dirfawr Duw tuag ati, llanwyd hi gan ddwyfol ysbrydoliaeth i draethu yr emyn hon, yr hon a gynwys adroddiad o ddaioni yr Arglwydd iddi hi, a phroffwydoliaeth am yr hyn a wnai efe mewn amser dyfodol, mewn ffordd o drugaredd i'w bobl a barn ar ei elynion. Y mae yn debyg i Hannah gyfansoddi y gân hon yn union ar ol cyflwyno Samuel i'r Arglwydd, er y tybia rhai iddi ei chyfansoddi yn fuan ar ol ei eni ef. Y mae y bryddest hon yn cael ei mawrygu yn gyffredinol fel cyfansoddiad perffaith yn ei ryw; ac y mae yn lled debyg i gân Mair y Forwyn yn mhen oesoedd wedi hyn, Luc i. 46, &c. *Llawenychodd fy nghalon yn yr Arglwydd*—yr hwn a wrandawodd fy ngweddi, ac a dderbyniodd fy mab i'w wasanaeth. Gellir ei gyfieithu, '*llamodd* fy nghalon o lawenydd;' canys y mae y gair yn arwyddo nid yn unig llawenydd mewnol, ond hefyd amlygiad allanol o hono. *Fy nghorn a ddyrchafwyd*—fy nerth a'm gogoniant a eangwyd gan yr Arglwydd: neu gellir ystyried y geiriau fel arwydd o fuddugoliaeth ar ei gwrthwynebwraig, megys anifel cryf yn dyrchafu ei gorn ar ol cael unwaith ei orchfygu. *Fy ngenau a eangwyd ar fy ngelynion*—nis gallai ateb o'r blaen pan ddannodid iddi ei diepiledd; ond yn awr gallai siarad yn hyf â Peninnah a phawb o'r fath, am ei bod yn *fam* anrhydeddus yn gystal a hwythau. *Canys llawenychais yn dy iachawdwriaeth*—yn yr ymwared a roisai yr Arglwydd iddi oddiwrth anmhlantadrwydd; ac y mae yn debyg ei bod yn ystyried hyn fel ernes o ddyfodiad y MESSIA, yr hwn 'a wneid yn Awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a ufyddhäent iddo,' Heb. v. 9.

Adn. 2. *Nid santaidd neb fel yr Arglwydd*] Nid oes neb mor berffaith santaidd ag efe hyd yn nod yn y nefoedd, na neb mor ddigyfnewid a hanfodol santaidd, cyfiawn, a da. *Canys nid dim hebot ti*—nid oes dim santeiddrwydd mewn bod ond a ddeilliodd oddiwrthyt ti, nac ychwaith unrhyw fath ar fodaeth a'r na chafodd ei dechread genyt. *Ac nid oes graig megys ein Duw ni*—a all fod yn noddfa a diogelfa sicr i'r rhai a ymddiriedant dan ei gysgod.

Adn. 3. *Na chwanegwch lefaru yn uchel, uchel*] Tydi, Peninnah, nac ymffrostia mwyach dy fod yn fam, ac na lefara mwyach yn drahaus a dirmygus am danaf finau fel yn anmhlantadwy. Hi a gyfeiria ati yn y rhif lluosog, am na fynai ddynoethi ei henw i warth. *Canys Duw gwybodaeth yw yr Arglwydd*—yr hwn a ŵyr am dy holl falchder, dy genfigen, a'th eiriau caledion gynt tuag ataf fi. *A'i amcanion ef a gyflawnir*—pa un bynag fyddont ai o blaid ei gyfeillion, ynte yn erbyn ei elynion. Y Saesonaeg yw, 'a chanddo ef y pwysir gweithredoedd,' sef gweithredoedd a meddyliau pawb, y da a'r drwg; canys y mae y wreiddiol yn cyfeirio at y meddyliau hefyd.

Adn. 4. *Bwäau y cedyrn a dorwyd*] Sef y nerth a ymffrostient ynddo; *a'r gweiniaid a ymwregysasant â nerth*—yr ystyr yw, buan y gwanychir y cryf, ac y cryfheir y gwan, pan y myno Duw.

Adn. 5. *Y rhai digonol a ymgyflogasant*

5 *Y rhai* digonol a ymgyflogasant
er bara; a'r *rhai* newynog a beidias-
ant; hyd onid esgorodd yr anmhlant-
adwy ar saith, a llesgâu yr aml *ei*
meibion.
6 Yr Arglwydd sydd yn marwhau,
ac yn bywhau: efe sydd yn dwyn i
waered i'r bedd, ac yn dwyn i fyny.
7 Yr Arglwydd sydd yn tylodi ac
yn cyfoethogi; yn darostwng, ac yn
dyrchafu.
8 Efe sydd yn cyfodi y tylawd o'r
llwch, *ac* yn dyrchafu yr anghenus
o'r tomenau, i'*w* gosod gyda thywys-
ogion, ac i beri iddynt etifeddu teyrn-
gadair gogoniant: canys eiddo yr Ar-
glwydd colofnau y ddaear, ac efe a
osododd y byd arnynt.
9 Traed ei saint a geidw efe, a'r
annuwiolion a ddystawant mewn ty-
wyllwch: canys nid trwy nerth y
gorchfyga gŵr.
10 Y rhai a ymrysonant â'r Argl-
wydd, a ddryllir: efe a darana yn eu
herbyn hwynt o'r nefoedd: yr Argl-
wydd a farn derfynau y ddaear; ac
a ddyry nerth i'w frenin, ac a ddyrch-
afa gorn ei eneiniog.

---

*er bara*] Cafodd y rhai ag oeddynt yn byw gynt mewn digonedd, eu darostwng yn y fath fodd fel ag i orfod gweithio yn galed am eu bara beunyddiol; *a'r rhai newynog a beidiasant*—hyny yw, a beidiasant â dyoddef newyn, trwy gael eu codi i ddigonoldeb. Gall fod Hannah yn cyfeirio at ryw amgylchiadau o'r fath hyn a welsai hi ei hun, neu ynte at droion cyffredin rhagluniaeth, fel na fyddai i neb fod yn hunan-hyderus a balch, na neb fod yn anobeithiol ac athrist. *Hyd onid esgorodd yr anmhlantadwy ar saith*—hyny yw, ar amrai blant. Hi a gyfeiria yma at y cyfnewidiad mawr a wnaethai Duw yn ei chyflwr ei hun: canys er nad oedd hi eto wedi cael dim ond un, eto credai y cai ragor, a hyny ond odid oddiwrth ryw addewid a wnaethai Duw iddi, neu ynte oddiwrth weddi neu fynegiad Eli, adn. 20. *A llesgâu yr aml ei meibion*—fel na allai ymddwyn chwaneg, neu o herwydd cael ei hamddifadu o honynt trwy farwolaeth. Gall mai Peninnah a feddylir yma; a dywed yr Iuddewon, pan esgorai Hannah ar un plentyn, y collai Peninnah ddau bob tro; fel, erbyn i Hannah gael pump, fod Peninnah wedi colli deg, yn gerydd arni am ei chythruddiadau blaenorol.

Adn. 6. *Yr Arglwydd sydd yn marwhau ac yn bywhau*] Y mae awdurdod dros fywyd a marwolaeth yn ei law ef. *Ac yn dwyn i fyny*—megys y gwnaeth â Lazarus, ac y gwna â'r holl feirw yn y dydd diweddaf.

Adn. 7. *Yr Arglwydd sydd yn tylodi*] Y naill, *ac yn cyfoethogi*—y llall; ac y mae efe yn gwneyd hyny â'r un personau ar wahanol amserau, megys Job ac ereill.

Adn. 8. *Efe sydd yn cyfodi y tylawd o'r llwch*] O'r cyflwr gwaelaf a'r lle distadlaf; *i'w gosod gyda thywysogion*—megys y gwnaeth â Joseph, Dafydd, a Daniel. *I beri iddynt etifeddu teyrn-gadair gogoniant*—sef gorsedd neu frenhiniaeth ogoneddus neu fawreddog. *Canys eiddo yr Arglwydd colofnau y ddaear*—y mae ef yn hollalluog, ac yn cynal pob peth trwy air ei nerth; *ac efe a osododd y byd arnynt*—cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth dŷ yn cael ei gynal gan golofnau. Dygir hyn yn mlaen fel rheswm dros yr hyn a ddywedwyd yn yr adnodau blaenorol; o herwydd gan i'r ddaear gael ei gwneuthur gan yr Arglwydd, a'i bod yn cael ei chynal ganddo ef, nid rhyfedd fod ei holl drigolion hi dan ei awdurdod ef, fel ag i allu gwneyd â hwy megys y byddo da yn ei olwg.

Adn. 9. *Traed ei saint a geidw efe*] Ar lwybrau uniondeb a diogelwch, fel na lithront; *a'r annuwiolion a ddystawant mewn tywyllwch*—heb wybod pa beth i'w ddywedyd na'i wneuthur, wrth weled fod Duw yn troi yn eu herbyn hwy, ac o blaid ei bobl. Ond y mae y Targum yn deall hwn am dywyllwch UFFERN. *Canys nid trwy nerth y gorchfyga gŵr*—hyny yw, y gorchfyga efe y saint, neu eu Duw hwynt, yr hwn sydd yn amddiffynydd iddynt.

Adn. 10. *Y rhai a ymrysonant â'r Arglwydd*] Trwy bechu yn erbyn ei ddeddfau, gwrthwynebu ei ewyllys, neu orthrymu ei bobl ef; *a ddryllir*—pa mor gryfion bynag y byddont. Y mae y LXX yn chwanegu yma y geiriau a gawn yn Jer. ix. 23, 24. *Efe a darana yn eu herbyn hwy o'r nefoedd*—cawn gyflawniad llythyrenol o'r taranau a'r dryllio hyn ar y Philistiaid yn pen. vii. 10; ac y mae y geiriau yn wir am holl elynion Duw a'i bobl yn mhob oes o'r byd. *Yr Arglwydd a farn derfynau y ddaear*—efe a gyfeiria, yn ol rhai, at gosp y Philistiaid, y rhai a breswylient yn eithafoedd deau-orllewinol gwlad Canaan. Eithr tybia Clarke mai yr ystyr yw, y byddai i'w lywodraeth ysbrydol ef gyraedd dros holl ddynolryw, trwy bregethiad yr efengyl dragwyddol; a gellir cymhwyso y rhan ddiweddaf o'r adnod yn dra naturiol yn ol yr ystyr yma. *Ac a ddyry nerth i'w frenin*—i orchfygu ei holl elynion. Cyfeirir yma naill ai at DAFYDD, yr hwn oedd frenin o eiddo Duw mewn modd arbenig; neu ynte at GRIST, Brenin y saint, o'r hwn yr oedd Dafydd yn gysgod. *Ac a ddyrchafa gorn ei eneiniog*—sef ei awdurdod, ei allu, a'i anrhydedd ef, hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed. Dyma y man cyntaf yn yr ysgrythyr lle y cyfarfyddwn â'r enw MESSIA, neu 'Eneiniog Duw;' ac addefa Rabbi Kimchi mai at GRIST y cyfeiria Hannah yma, a'i bod yn llefaru oddiar broffwydoliaeth neu draddodiad. Y mae y Targum yn ystyried adn. 1 o'r gân hon fel yn cynwys proffwydoliaeth yn erbyn y *Philistiaid;* adn. 2, yn erbyn *Sennacherib* a'i fyddin; adn. 3, yn erbyn *Nebuchodonosor* a'r *Caldeaid;* adn. 4, yn erbyn y *Groegiaid;* adn. 5, yn erbyn *Haman* a'i hiliogaeth; ac adn. 10, yn erbyn *Magog* a gelynion y MESSIA.

11 Ac Elcanah a aeth i Ramah
i'w dŷ; a'r bachgen a fu weinidog i'r
Arglwydd gerbron Eli yr offeiriad.
12 ¶ A meibion Eli *oedd* feibion
Belial: nid adwaenent yr Arglwydd.
13 A defod yr offeiriad gyda'r bobl
*oedd* pan offrymai neb aberth, gwas
yr offeiriad a ddeuai pan fyddai y
cig yn berwi, â chigwain dridaint yn
ei law;
14 Ac a'*i* tarawai *hi* yn y badell,
neu yn yr efyddyn, neu yn y crochan,
neu yn y pair: yr hyn oll a gyfodai
y gigwain, a gymerai yr offeiriad iddo.
Felly y gwnaent yn Silo, i holl Israel
y rhai oedd yn dyfod yno.
15 Hefyd cyn arogl-losgi o honynt
y brasder, y deuai gwas yr offeiriad
hefyd, ac a ddywedai wrth y gŵr a
fyddai yn aberthu, Dyro gig i'w rostio
i'r offeiriad: canys ni fyn efe genyt
gig berw, ond anmrwd.
16 Ac *os* gŵr a ddywedai wrtho,
Gan losgi llosgant yn awr y brasder,
ac *yna* cymer *fel* yr ewyllysio dy
galon: yntau a ddywedai wrtho,
*Nage:* yn awr y rhoddi *ef:* ac onidê,
mi a'i cymeraf trwy gryfder.
17 Am hyny pechod y llanciau
oedd fawr iawn gerbron yr Arglwydd:
canys ffieiddiodd dynion offrwm yr
Arglwydd.

---

Adn. 11. *Ac Elcanah a aeth i Ramah i'w dŷ*] Ar ol i Hannah orphen y gân uchod, ac wedi i'r ddau gyflwyno y bachgen i'r Arglwydd dan ofal Eli. *A'r bachgen fu weinidog i'r Arglwydd*—yn myfyrio llyfr y gyfraith, yn dysgu canu mawl i Dduw ar dafod ac offer cerdd, yn trwsio ac yn goleuo y lampau yn y tabernacl, yn cau ac yn agor y drysau, a phob rhyw wasanaeth arall a allai efe ei chyflawni yn ol ei oedran; *gerbron Eli*—dan ei ofal a'i gyfarwyddyd ef.

Adn. 12. *A meibion Eli oedd feibion Belial*] Yn ddynion drygionus iawn, Deut. xiii. 13: yr oeddynt yn annuwiol, halogedig, cybyddlyd, ac yn euog o drais a chwantau aflendid. *Nid adwaenent yr Arglwydd*—ni feddent ddim adnabyddiaeth brofiadol ac ymarferol o'i allu, ei gyfiawnder, ei drugaredd, na'i santeiddrwydd; ni feddent un wybodaeth achubol o'i ddwyfol berffeithderau, ei ras, ei gariad, a'i ffyddlondeb, nac o'i gymdeithas ysbrydol ef â'i bobl; nid oeddynt yn ei anrhydeddu, yn ei garu, nac yn ei wasanaethu yn iawn. Er fod Eli, eu tad naturiol hwy, yn blentyn i Dduw; eto yr oeddynt hwy, mewn ystyr moesol, yn blant diafol.

Adn. 13. *A defod yr offeiriad gyda'r bobl*] Sef defod newydd orthrymus, wedi ei dyfeisio y pryd hyny gan feibion Eli. *Pan offrymai neb aberth*—sef ABERTH-HEDD; canys yr oedd y *pech-offrwm* yn eiddo i'r offeiriaid yn unig, ac yr oedd y *poeth-offrwm* i gael ei losgi oll, tra yr oedd rhanau o'r *hedd-offrwm* yn perthyn i'r Arglwydd, i'r offeiriaid, ac i'r offrymwr: gwel ar Lef. vii. 29—34. Yr oedd y *gwêr* yn eiddo i'r Arglwydd, ac i gael ei losgi ar yr allor; yr oedd y *barwyden* a'r *ysgwyddog* yn eiddo i'r offeiriad; ac yr oedd y *gweddill* o'r cig yn eiddo i'r perchenog, fel y gallai ef a'i deulu wledda arno yn y cyntedd ar ol ei ferwi. *Gwas yr offeiriad a ddeuai*—dan yr esgus o geisio rhan ei feistr; *â chigwain dridaint yn ei law*—sef offeryn fel fforch, ond fod tair pig iddo, i godi y cig o'r crochan.

Adn. 14. *Yr hyn oll a gyfodai y gigwain*] Ar ol ei bwrw i'r cig yn y crochan; *a gymerai yr offeiriad iddo*—yn chwanegol at y barwyden a'r ysgwyddog, y rhai oeddynt eiddo iddo yn ol y gyfraith.

Adn. 15. *Hefyd, cyn arogl-losgi o honynt y brasder*] Yr hwn a berthynai i'r Arglwydd, ac a ydoedd i gael ei offrymu iddo ef trwy dân yn gyntaf peth. *Dyro gig i'w rostio i'r offeiriad*—nid gofyn am yr ysgwyddog a'r barwyden yr ydoedd, canys yr oedd wedi gofalu am y rhai hyny yn mlaenllaw; eithr am ranau a berthynent i'r perchenog. *Canys ni fyn efe genyt gig berw*—wedi ei gigweinio o'r crochan fel y nodwyd uchod; *ond anmrwd*—sef cig îr, fel y gallai ei rostio ei hun; ac, yn benaf, efe a'i ceisiai fel hyn, fel y gallai gael gwell mantais i ddewis y darn goraf.

Adn. 16. *Ac os y gŵr a ddywedai*] Neu a geisiai ganddo yn gyntaf losgi y brasder yn aberth i'r Arglwydd, cyn dewis ei ran ei hun; *yntau a ddywedai wrtho*—yn ol y cyfarwyddyd a gawsai efe gan yr offeiriad ei feistr; *Nage*—nid felly; rhaid i'r offeiriad gael ei wasanaethu o flaen yr Arglwydd; *ac onidê*—os na roddi di ef yn ewyllysgar, ac heb wrthddadlu, *mi a'i cymeraf trwy gryfder*—sef trwy drais! Yr oedd hyn yn ddrygionus, annuwiol, a digywilydd i'r eithaf; ac ymddengys fod gan y bobl fwy o grefydd yn eu calonau na'r offeiriaid: yr oeddynt hwy yn foddlon i gymeryd eu colledu yn eu rhan eu hunain o'r cig, ond nis gallent oddef i'r Arglwydd gael ei ddianrhydeddu yn ei ran ef o'r aberth, trwy roddi i'r offeiriaid yn gyntaf.

Adn. 17. *Am hyny pechod y llanciau*] Sef Hophni a Phinees, meibion Eli; *oedd fawr iawn gerbron yr Arglwydd*—er nad oedd yn ddim yn eu golwg hwy eu hunain: yr oeddynt yn codi *mwy* na'u rhan o'r aberthau, yr oeddynt yn mynu hyny trwy *drais*, ac yn ei fynu iddynt eu hunain *cyn* i'r Arglwydd gael ei ran ef. *Canys ffieiddiodd dynion offrwm yr Arglwydd*—wrth weled annuwioldeb eglur yr offeiriaid, peidiodd llawer â myned i offrymu i Silo, ac arweiniodd hyny i anffyddiaeth neu eilunaddoliaeth. 'Nid oes dim yn dwyn crefydd i ddirmyg gan y bobl,' fel y sylwa Benson, 'yn gymaint a halogrwydd cyhoeddus ei gweinidogion hi. Modd bynag, nid yw gwerthfawrogrwydd ac effeithiolaeth ordinhadau Duw yn ymddibynu yn hollol ar dduwioldeb y rhai a weinyddant ynddynt. Felly yr oedd yn bechod yn y bobl esgeuluso sefydliadau dwyfol o achos drygioni yr offeiriaid: ond yr oedd yn bechod llawer mwy fyth yn yr offeiriaid roddi iddynt achlysur i wneuthur hyny.'

18 ¶ A Samuel oedd yn gweini o flaen yr Arglwydd, yn fachgen, wedi ymwregysu âg ephod lian.
19 A'i fam a wnai iddo fantell fechan, ac a'*i* dygai iddo o flwyddyn i flwyddyn, pan ddelai hi i fyny gyda'i gŵr i aberthu yr aberth blynyddol.
20 ¶ Ac Eli a fendithiodd Elcanah a'i wraig, ac a ddywedodd, Rhodded yr Arglwydd i ti had o'r wraig hon, am y dymuniad a ddymunodd gan yr Arglwydd. A hwy a aethant i'w mangre eu hun.
21 A'r Arglwydd a ymwelodd â Hannah; a hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar dri o feibion, a dwy o ferched: a'r bachgen Samuel a gynyddodd gerbron yr Arglwydd.
22 ¶ Ac Eli *oedd* hen iawn; ac efe a glybu yr hyn oll a wnelsai ei feibion ef i holl Israel, a'r modd y gorweddent gyda'r gwragedd oedd yn ymgasglu yn finteioedd *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.
23 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Paham y gwnaethoch y pethau hyn? canys clywaf gan yr holl bobl hyn ddrygair i chwi.
24 Nage, fy meibion: canys nid da y gair yr ydwyf fi yn ei glywed; eich bod chwi yn peri i bobl yr Arglwydd droseddu.
25 Os gŵr a becha yn erbyn gŵr, y swyddogion a'i barnant ef: ond os yn erbyn yr Arglwydd y pecha gŵr, pwy a eiriol drosto ef? Ond ni wrandaw-

---

Adn. 18. *A Samuel oedd yn gweini o flaen yr Arglwydd*] Er ei fod yn fachgenyn tra ieuanc, eto efe a gyflawnai yn ffyddlon a gofalus y cyfryw swyddau yn nhabernacl Duw ag a allai, heb ddylyn siampl ddrwg meibion Eli. *Wedi ymwregysu âg ephod lian*—dilledyn a ddefnyddid yn ngwasanaeth Duw, nid yn unig gan yr îs-offeiriaid, ond hefyd gan rai o'r enwogion yn mhlith y bobl. Yr oedd ephod yr archoffeiriad o ddefnyddiau gwell: gwel ar Exod. xxv. 7, a xxviii. 6, &c.

Adn. 19. *A'i fam a wnai iddo fantell fechan*] Diamau fod yr ephod wedi ei darparu ar draul y cyffredin, gan mai yn ngwasanaeth Duw yn unig y defnyddid hi: eithr ei wisg gyffredin ef a ddarperid gan ei fam, fel y gallai hi amlygu ei chariad at, a'i gofal am, ei hoff blentyn. *Ac a'i dygai iddo o flwyddyn i flwyddyn*—a'r naill bob tro yn helaethach na'r llall, fel yr oedd efe yn prifiaw.

Adn. 20. *Ac Eli a fendithiodd Elcanah a'i wraig*] Y fendith hon yn cael ei rhoddi ganddo yn ei gymeriad archoffeiriadol, a hyny trwy awgrymiad dwyfol, a ddylynwyd â'r effaith a ddymunid, ac a wireddodd yr hyn a draethasai Hannah yn ei chân broffwydol, adn. 5.

Adn. 21. *A'r Arglwydd a ymwelodd â Hannah*] Mewn ffordd o drugaredd, trwy roddi plant iddi yn ol gweddi a bendith Eli; *a hi a feichiogodd*—bump o weithiau ar ol geni Samuel. *A'r bachgen Samuel a gynyddodd gerbron yr Arglwydd*—nid yn unig gerbron *dynion* mewn oedran a maintioli; ond hefyd gerbron yr *Arglwydd*, mewn gras, gwybodaeth, a chymhwysder i'w swydd bwysig.

Adn. 22. *Ac Eli oedd hen iawn*] Ac felly yn annghymhwys i gyflawni ei swydd ei hun, nac i edrych ar ol ei feibion fel y dylasai: gwel ar pen. iv. 15. *Ac efe a glybu yr hyn oll a wnelsai ei feibion ef i holl Israel*—sef eu hyspeilio o'u cig, a'u dyeithrio oddiwrth wasanaeth Duw, adn. 13—17; *a'r modd y gorweddent gyda'r gwragedd*—y rhai yn debygol oeddynt wedi ymgasglu yno i addoli, neu i wneyd rhyw orchwylion at wasanaeth y tabernacl; *wrth ddrws pabell y cyfarfod*—lle yr oedd yr allor yn sefyll. Nis gellir braidd ddychymygu ffieidd-dra mwy anfad ac echryslon na hyn!

Adn. 23. *Paham y gwnaethoch y pethau hyn?*] Felly efe a'u ceryddodd hwynt i ryw fesur, ond yn rhy dyner o lawer: yr oedd y fath bechodau gwarthus mewn offeiriaid yn gofyn iddo ef, fel barnwr yn Israel, eu cospi hwynt yn ddidderbyn-wyneb; neu, fel archoffeiriad, eu troi hwynt *allan* o'r offeiriadaeth. Modd bynag, cospodd Duw eu pechod hwy, ac esgeulusdra eu tad, yn y modd mwyaf dychrynllyd, fel y cawn weled eto. *Clywaf gan yr holl bobl hyn ddrygair i chwi*—felly yr oedd achwyniadau parhaus yn cael eu gwneuthur yn eu herbyn ar bob un o'r gŵyliau arbenig.

Adn. 24. *Nage, fy meibion*] Nid felly y dylasech wneuthur. Y mae y cyfarchiad hwn yn llawer rhy dyner ac anwylaidd: iaith tad tirion ydyw, ac nid barnwr eiddigus. *Nid da y gair*—dylasai ddywedyd yn gryfach ei fod yn *ddrwg* o'r mwyaf. *Eich bod chwi yn peri i bobl yr Arglwydd droseddu*—trwy eu harwain i esgeuluso a dirmygu gwasanaeth Duw, a'u hudo i aflendid, adn. 17, 22.

Adn. 25. *Os gŵr a becha yn erbyn gŵr*] Gan ei niweidio yn ei berson, ei gymeriad, neu ei feddiannau; *y swyddogion a'i barnant ef*—penderfynir achos felly gan farnwyr gwladol. *Ond os yn erbyn yr Arglwydd y pecha gŵr*—fel y gwnaethoch chwi yn rhyfygus yn yr achos hwn; *pwy a eiriol drosto ef*—fel ag i droi ymaith ddigofaint cyfiawn Duw? Rhaid fod Eli yn ystyried pechod ei feibion yn ddrwg ysgeler iawn, pan nas gallai efe, yr hwn oedd eu tad hwy ac archoffeiriad Duw, feiddio eiriol drostynt! Yr oedd eiriolaeth dros bechaduriaid gerbron Duw i fod yn seiliedig ar iawn y Cyfryngwr, yr hwn a gysgodid yn yr aberthau: ond yr oeddynt hwy wedi halogi a 'sathru' (adn. 29) yr aberthau cysgodol hyny, fel 'nad oedd aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach' iddynt hwy, Heb. x. 27. Ie, yr oedd eu pechod hwy yn *bechod rhyfygus* am yr hwn nid oedd aberth i gael ei wneuthur: gwel ar Num. xv. 30, 31. *Ond ni wrandawsant ar lais eu tad*—ar ei gynghorion, ei geryddon, na'i ddeisyfiadau; *am y mynai yr Arglwydd eu lladd hwynt*—neu, fel y gellir cyfieithu y wreiddiol, 'am

sant ar lais eu tad, am y mynai yr Arglwydd eu lladd hwynt.

26 (A'r bachgen Samuel a gynyddodd, ac a aeth yn dda gan Dduw, a dynion hefyd)

27 ¶ A daeth gŵr i Dduw at Eli, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Onid gan ymddangos yr ymddanghosais i dŷ dy dad, pan oeddynt yn yr Aifft yn nhŷ Pharao?

28 Gan ei ddewis ef hefyd o holl lwythau Israel yn offeiriad i mi, i offrymu ar fy allor, i losgi arogl-darth, i wisgo ephod ger fy mron? oni roddais hefyd i dŷ dy dad di holl ebyrth tanllyd meibion Israel?

29 Paham y sethrwch chwi fy aberth a'm bwyd-offrwm, y rhai a orchymynais *yn fy* nhrigfa, ac yr anrhydeddi dy feibion yn fwy nâ myfi, gan eich pesgi eich hunain â'r goreu o holl offrymau fy mhobl Israel?

30 Am hyny, medd Arglwydd Dduw Israel, Gan ddywedyd y dywedais, Dy dŷ di a thŷ dy dad a rodiant o'm blaen i byth: eithr yn awr medd yr Arglwydd, Pell fydd hyny oddiwrthyf fi; canys fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi, a'm dirmygwyr a ddirmygir.

---

*hyny* y mynai yr Arglwydd eu lladd hwynt.' Ond y mae y synwyr, modd bynag, fel y mae yn y cyfieithiad cyffredin, yn ysgrythyrol a da. Yr oeddynt hwy wedi diystyru yr holl rybyddion, y rhai yn ddiamau a roddasai eu tad iddynt; yr oeddynt yn awr wedi caledu eu calonau i'r graddau eithaf, a phechu ymaith eu dydd gras; ac am hyny y rhoddodd Duw hwynt i fyny i feddwl annghymeradwy, ac 'arfaethodd eu dinystrio hwynt,' 2 Cron. xxv. 16.

Adn. 26. *A'r bachgen Samuel a gynyddodd*] gwel ar adn. 21; *ac a aeth yn dda gan Dduw*—yr hwn yn aml a roddai iddo arwyddion o'i ffafr a'i ewyllys da; *a dynion hefyd*—yr oedd holl Israel yn ei garu, ac yn diolch i Dduw am godi i fyny y fath fachgen gobeithiol yn eu plith mewn amser mor lygredig, yr hwn oedd yn debyg o fod o fendith fawr i'w genedl yn ei ddydd a'i genhedlaeth.

Adn. 27. *A daeth gŵr i Dduw*] Sef rhyw broffwyd, yr hwn a gododd Duw i gario y genadwri a ganlyn at Eli. *Onid gan ymddangos yr ymddanghosais i dŷ dy dad*—sef i Aaron, yr hwn oedd yr archoffeiriad cyntaf, neu ben teulu yr offeiriaid. *Yn nhŷ Pharao*—sef yr Aifft, yr hon oedd gartref a theyrnas Pharao.

Adn. 28. *Gan ei ddewis ef hefyd o holl lwythau Israel yn offeiriad i mi*] O holl lwythau Israel, dewisodd yr Arglwydd lwyth *Lefi* i osod yr offeiriadaeth ynddo; ac o holl deuluoedd llwyth Lefi, dewisodd dŷ *Aaron*, henefiad Eli, i weini yn y swydd offeiriadol, Exod. xxviii. 1; ac yr oedd hon yn swydd o anrhydedd ac elw mawr. *Oni roddais hefyd i dŷ dy dad di holl ebyrth tanllyd meibion Israel?* nid oedd un o'r aberthau a'r na chai yr offeiriad ryw gyfran o hono, Num. xviii. 8—10; ac hyd yn nod o'r poeth-offrymau, y rhai a gwbl losgid ar yr allor, cai yr offeiriad y croen, Lef. vii. 8. Crybwyllir hyn i ddangos mawredd eu pechod hwynt yn gorthrymu ar y bobl yn eu habertbau, yr hyn a wnaent, nid o angen, eithr o drachwant.

Adn. 29. *Paham y sethrwch chwi fy aberth a'm bwyd-offrwm*] Trwy eu camddefnyddio er eich gloddest eich hun, a thrwy beri i'r bobl eu ffieiddo hwynt? Y mae yma gyfeiriad at anifeiliaid porthiannus yn sathru eu hymborth dan draed, ar ol cael mwy na digon; a chyfrifir Eli yn gydweithredydd â'i feibion yn eu troseddau, am ei fod yn eu goddef hwynt. *Y rhai a orchymynais yn fy nhrigfa*—yn ei gysegr, lle yr oedd efe yn trigo yn mhlith ei bobl, i dderbyn addoliad ac anrhydedd iddo ei hun, ac i amgeleddu ac amddiffyn ei addolwyr. *Ac yr anrhydeddi dy feibion yn fwy na myfi*—trwy fy nhramgwyddo i wrth oddef eu pechod yn ddigosp, yn hytrach na'u digio hwy trwy eu ceryddu yn llym a chyfiawn. *Gan eich pesgi eich hunain â'r goraf o holl offrymau fy mhobl Israel*—y rhai a gymerent hwy trwy drais, os na roddid hwynt iddynt yn ewyllysgar, adn. 16. Gellir meddwl oddiyma fod Eli yn cydgyfranogi â hwynt o'r danteithion annghyfreithlon hyn; ac y mae yn dra thebyg ei fod ef a'i feibion yn gwledda ar yr un bwrdd.

Adn. 30. *Gan ddywedyd y dywedais*] Ond odid wrth Eli ei hun, neu wrth ei dad, pan drosglwyddwyd yr offeiriadaeth o deulu Eleazar i deulu Ithamar yn amser y Lefiad a'i ordderchwraig, Barn. xix; er y tybia rhai, yn ddisail, mai cyfeiriad sydd yma at sefydliad yr offeiriadaeth yn nheulu *Aaron*, Exod. xxix. 9, a xl. 15, Num. xxv. 10—13. *Dy dŷ di a thŷ dy dad*—sef tŷ Eli, a thŷ Ithamar mab ieuangaf Aaron; *a rodiant o'm blaen i byth*—a weinyddant fel archoffeiriaid yn y cysegr dros holl yspaid yr oruchwyliaeth seremoniol. Er fod yr addewid hon yn ymddangos fel yn *ddiammodol;* eto ni a welwn fod AMMOD yn cael ei *chynwys* ynddi, er nad yn cael ei *thraethu:* gwel ar Jer. xviii. 9, 10. *Eithr yn awr medd yr Arglwydd*—gan i chwi beidio cyflawni ammodau y swydd; *pell fydd hyny oddiwrthyf fi*—sef parhau yr offeiriadaeth yn nheulu Ithamar. Nid yw hyn yn dangos dim cyfnewidiad yn mwriad ac addewid Duw, am mai *ammodol* oeddynt. Pe buasai tŷ Eli yn anrhydeddu Duw, yn lle ei ddirmygu, cawsent hwy a'u had fod yn yr offeiriadaeth hyd y diwedd: ond am na wnaethant hyny, aeth yr offeiriadaeth yn ol i deulu Eleazar yn amser Solomon, 1 Bren. ii. 27, 35. Felly y mae yn eglur mai nid at addewid Duw i *Aaron* y cyfeirir uchod, am na symudwyd yr offeiriadaeth o'i deulu ef erioed. *Canys fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi*—yn y byd hwn a'r byd a ddaw; *a'm dirmygwyr a ddirmygir*—dyma reol ddigyfnewid Duw, yr hon nid ymadawa efe byth oddiwrthi: ond pe byddai iddo ef mewn rhyw achos anrhydeddu ei ddirmygwyr, neu ddirmygu ei anrhydeddwyr, byddai felly yn gyfnewidiol.

31 Wele y dyddiau yn dyfod, pan dorwyf dy fraich di, a braich tŷ dy dad, fel na byddo hen ŵr yn dy dŷ di.

32 A thi a gai weled gelyn *yn fy* nhrigfa, yn yr hyn oll a wna *DUW* o ddaioni i Israel: ac ni bydd hen ŵr yn dy dŷ di byth.

33 A'r gŵr o'r eiddot *yr hwn* ni thoraf ymaith oddiwrth fy allor, *fydd* i beri i'th lygaid ballu, ac i beri i'th galon ofidio: a holl gynyrch dy dŷ di a fyddant feirw yn wŷr.

34 A hyn *fydd* i ti yn arwydd, yr hwn a ddaw ar dy ddau fab, ar Hophni a Phinees: yn yr un dydd y byddant feirw ill dau.

35 A chyfodaf i mi offeiriad ffyddlawn a wna yn ol fy nghalon a'm meddwl; a mi a adeiladaf iddo ef dŷ sicr, ac efe a rodia gerbron fy eneiniog yn dragywydd.

36 A bydd, i bob un a adewir yn dy dŷ di ddyfod *ac* ymgrymu iddo ef am ddernyn o arian, a thamaid o fara; a dywedyd, Gosod fi yn awr mewn rhyw offeiriadaeth, i *gael* bwyta tamaid o fara.

## PENNOD III.

A'R bachgen Samuel a wasanaethodd yr Arglwydd gerbron Eli: a gair yr Arglwydd oedd werthfawr yn y dyddiau hyny; nid *oedd* weledigaeth eglur.

---

Adn. 31. *Pan dorwyf dy fraich di*] Neu y dystrywiwyf nerth a dylanwad dy deulu; *fel na byddo hen ŵr yn dy dŷ di*—yn gosp am bechod Eli yn ei *henaint* gyda golwg ar ei feibion.

Adn. 32. *A thi a gai weled gelyn yn fy nhrigfa*] Y mae y gair *tsar*, yr hwn a gyfieithwn ni *gelyn*, yn arwyddo *drygfyd;* a'r drygfyd hwnw oedd gorchfygu Israel, dal yr arch, marwolaeth ei feibion drygionus, a gorfoledd y Philistiaid: a hyn oll a *welodd* efe, hyny yw, efe a wybu iddo gymeryd lle, cyn iddo gyfarfod â'i angau echryslon ei hun. *Yn yr hyn oll a wna Duw o ddaioni i Israel*—hyny yw, fel y myn rhai ei ddeall, 'ti a gai weled drygfyd yn y babell *yn lle* yr holl ddaioni a roddasai Duw i Israel oni buasai i ti fy nianrhydeddu i:' gwel ar ymyl y ddalen. Neu dichon mai yr ystyr yw, 'yr hwn yn mhob peth a wna ddaioni i Israel:' gwel *Boothroyd.* Yn unol â hyn sylwa Clarke: 'Llefarodd Duw ddaioni am Israel: ac efe a wna yn y diwedd i fuddugoliaeth y Philistiaid fod yn ddyryswch iddynt eu hunain, ac i ddaliad yr arch fod yn ddinystr i'w duwiau: ond bydd i'r Israeliaid yn gyntaf gael eu gwasgu yn dost â drygfyd.'

Adn. 33. *I beri i'th lygaid ballu, ac i beri i'th galon ofidio*] Pe byddit fyw i'w weled: neu cyfeirir at lygaid a chalon ei hiliogaeth ef. Er i dŷ Ithamar ac Eli golli yr archoffeiriadaeth yn niswyddiad Abiathar, eto ni thorwyd hwynt ymaith oddiwrth wasanaeth yr allor, canys yr oedd holl feibion tŷ Aaron yn offeiriaid. Ond er y byddai meibion tŷ Eli o hyd yn offeiriaid cyffredin, eto byddai eu hymddanghosiad mor wael o herwydd tylodi ac iselder, neu o ddiffyg cyneddfau at eu gwaith, neu o herwydd buchedd anaddas a gwarthus, fel ag i lenwi *calon* eu cyfeillion â gofid a thrallod, a'u *llygaid* â dagrau, wrth eu canfod. *A holl gynyrch dy dŷ di*—dy blant neu dy hiliogaeth; *a fyddant feirw yn wŷr*—Saes. 'yn mlodau eu hoedran,' neu yn nghanol eu cryfder, cyn myned yn 'hen wŷr,' adn. 31. Pe buasent feirw yn *blant*, buasai tŷ Eli yn diffodd mewn un oes; ond wrth eu cadw yn fyw nes epilio o honynt, yr oedd Duw yn eu cadw mewn bod o genhedlaeth i genhedlaeth, er tywallt ei farn yn barhaus arnynt. Fel hyn y mae pechodau rhieni yn aml yn dwyn barnau *tymhorol* ar eu hiliogaeth 'hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth,' Exod. xx. 5.

Adn. 34. *A hyn fydd i ti yn arwydd*] Y cyflawna Duw ei fygythiad hwn ar dy hiliogaeth ar ol i ti farw; *yr hwn a ddaw ar dy ddau fab*—yn ystod dy fywyd di. *Yn yr un dydd y byddant feirw*—trwy law y Philistiaid, pen. iv. 11.

Adn. 35. *A chyfodaf i mi offeiriad ffyddlon*] Meddylir i hyn gael ei lefaru am Sadoc, yr hwn a eneiniwyd yn archoffeiriad yn lle Abiathar, yr olaf o dŷ Eli: gwel ar 1 Bren. ii. 26, 27. *A wna yn ol fy nghalon a'm meddwl*—yr hwn a gyflawnai bob peth perthynol i'w swydd archoffeiriadol yn ol cyfraith Duw. *A mi a adeiladaf iddo ef dŷ sicr*—rhoddaf iddo feibion o oes i oes i fod yn archoffeiriaid, yr hyn a wnaed hyd gaethiwed Babilon, fel yr ymddengys oddiwrth Ezec. xl. 46; ac yn hir ar ol hyny, fel y dengys Josephus, llyfr iv. pen. 4. Ond tybia rhai mai y *deml* a olygir, yr hon oedd 'dŷ sicr' o'i chydmharu â'r tabernacl symudol. *Ac efe a rodia gerbron fy eneiniog*—efe a weinydda gerbron Solomon a'i olynwyr yn barhaus, gan wisgo dwyfroneg cyfiawnder i ymgynghori â Duw dros y brenin. *Yn dragywydd*—er y gall hyn oll gyfeirio yn briodol at Sadoc, eto, yn yr ystyr uwchaf, fel y sylwa Benson, nid yw yn perthyn i neb ond i'n Harglwydd Iesu Grist, ein Harchoffeiriad mawr ni yn dragywydd, yr hwn yn mhob peth a wnaeth ewyllys ei dad, a'r hwn yr adeilada Duw iddo dŷ sicr, a hyny ar graig, fel nas gallo pyrth uffern ei orchfygu.

Adn. 36. *A bydd i bob un a adewir yn dy dŷ di*] Sef gweddill ei deulu, y rhai a fyddont heb eu llwyr dori ymaith oddiwrth yr allor, ac wedi eu diarddel am dro, adn. 33; *ymgrymu iddo ef*—i Sadoc a'i olynwyr; *am ddernyn o arian a thamaid o fara*—y gardod leiaf mewn arian neu fwyd, yr hyn oedd gosp briodol am wastraff a glythineb eu henafiaid, adn. 13—16. *Gosod fi yn awr mewn rhyw offeiriadaeth* — Heb. 'mewn rhywbeth yn perthyn i'r offeiriadaeth,' sef mewn rhyw wasanaeth isel dan yr offeiriaid cyffredin, megys golchi y crochanau, cario y lludw, agor a chau y drysau, &c. Ymddengys mai at ddyniou

2 A'r pryd hwnw, pan *oedd* Eli yn gorwedd yn ei fangre, wedi i'w lygaid ef ddechreu tywyllu, *fel* na allai weled;

3 A chyn i lamp Duw ddiffoddi yn nheml yr Arglwydd, lle yr *oedd* arch Duw, a Samuel oedd wedi gorwedd *i gysgu:*

4 Yna y galwodd yr Arglwydd ar Samuel. Dywedodd yntau, Wele fi.

5 Ac efe a redodd at Eli, ac a ddywedodd, Wele fi; canys gelwaist arnaf. Yntau a ddywedodd, Ni elwais i; dychwel *a* gorwedd. Ac efe a aeth ac a orweddodd.

6 A'r Arglwydd a alwodd eilwaith, Samuel. A Samuel a gyfododd, ac a aeth at Eli, ac a ddywedodd, Wele fi; canys gelwaist arnaf. Yntau a ddywedodd, Na elwais, fy mab; dychwel *a* gorwedd.

7 Ac nid adwaenai Samuel eto yr Arglwydd, ac nid eglurasid iddo ef air yr Arglwydd eto.

8 A'r Arglwydd a alwodd Samuel drachefn y drydedd waith. Ac efe a gyfododd, ac a aeth at Eli, ac a ddywedodd, Wele fi; canys gelwaist arnaf. A deallodd Eli mai yr Arglwydd a alwasai ar y bachgen.

9 Am hyny Eli a ddywedodd wrth Samuel, Dos, gorwedd: ac os geilw efe arnat, dywed, Llefara, Arglwydd; canys y mae dy was yn clywed. Felly Samuel a aeth ac a orweddodd yn ei le.

10 A daeth yr Arglwydd, ac a safodd, ac a alwodd megys o'r blaen,

---

wedi eu *diarddel* o'r offeiriadaeth dan eu gwarth y cyfeirir yma, y rhai a geisient ryw swyddau isel i'w cynal rhag newynu.

PEN. III. Adn. 1. *A'r bachgen Samuel a wasanaethodd yr Arglwydd gerbron Eli*] Dan ei arolygaeth a'i gyfarwyddyd ef, megys agor y drysau, adn. 15: gwel ar pen. ii. 11, 18. *A gair yr Arglwydd*—sef gair y broffwydoliaeth, neu ddatguddiad o ewyllys Duw trwy broffwydi; *oedd werthfawr yn y dyddiau hyny*—am ei fod yn brin neu anfynych. Ni sonir ond am ddau broffwyd, heblaw Debora, o farwolaeth Moses hyd y pryd hwn; ac ni sonir am y rhai hyny yn proffwydo ond unwaith bob un: gwel ar pen. ii. 27—36, Barn. vi. 8—10. *Nid oedd weledigaeth eglur*—yma cynwysa y 'weledigaeth' yr holl ffyrdd trwy y rhai yr ymddatguddiai Duw i ddynion: ac arwydda yr ymadrodd, er y gallai Duw amlygu ei ewyllys i rai duwiolion er cyfarwyddyd neillduol iddynt hwy eu hunain, eto nad oedd efe yn egluro ei feddwl mewn ffordd o ddatguddiad cyhoeddus i unrhyw ddyn, at yr hwn y gallai ereill gyrchu am oleuni.

Adn. 2. *A'r pryd hwnw*] Sef y noson gyntaf ar ol i ŵr Duw draethu ei genadwri i Eli, pen. ii. 27—36; *pan oedd Eli yn gorwedd yn ei fangre*—yn nghyntedd y tabernacl, lle yr oedd amrai ystafelloedd at wasanaeth yr offeiriaid, fel yr oedd wedi hyny yn y deml; *wedi i'w lygaid ef ddechreu tywyllu*—gan henaint, pen. iv. 15; neu gan gwsg.

Adn. 3. *A chyn i lamp Duw ddiffoddi*] Sef cyn ei bod yn ddydd, neu cyn i'r goleuni ag oedd yn y canwyllyr aur gael ei ddiffodd yn y bore. Casgla rhai, oddiwrth Exod. xxvii. 20, 21, nad oedd y llusern yn mhaladr canol y canwyllyr hwn, byth yn cael ei ddiffodd: modd bynag, yr oedd rhai o'r llusernau ar y ceinciau yn cael eu diffodd bob bore, a'u goleuo drachefn bob hwyr: gwel ar Exod. xxvii. 21.

Adn. 4. *Yna y galwodd yr Arglwydd ar Samuel*] Yn debygol oddirhwng y cerubiaid ar y drugareddfa, yn y cysegr santeiddiolaf, yn agos i ba un y cysgai Eli a Samuel. *Wele fi*—yn barod i wneuthur pa beth bynag a geisiai Eli ganddo; canys tybiai Samuel mai Eli a alwasai arno.

Adn. 5. *Ni elwais i*] Efe a dybiai ond odid mai breuddwydio a wnaethai y bachgen; a pharodd iddo fyned i'w wely drachefn, a chysgu yn dawel hyd y bore.

Adn. 6. *A'r Arglwydd a alwodd eilwaith*] Ar Samuel wrth ei enw; ac yntau a aeth at Eli fel o'r blaen. *Na elwais, fy mab*—yma efe a'i cyfarcha fel ei *fab*, i ddangos ei hoffder tadol o hono, a'i ddiolchgarwch iddo am ei barodrwydd i'w wasanaethu ef, er nad oedd wedi galw arno.

Adn. 7. *Ac nid adwaenai Samuel eto yr Arglwydd*] Nid oedd efe erioed wedi derbyn unrhyw ddatguddiad mewn geiriau hyglyw oddiwrtho, ac am hyny ni allai wahaniaethu rhwng lleferydd Duw a lleferydd Eli. Efe a adwaenai ac a addolai Dduw Israel fel bachgen duwiol iawn; ond nid oedd un *gair* o broffwydoliaeth oddiwrth yr Arglwydd wedi ei egluro iddo na'i ddanfon ato hyd yn hyn.

Adn. 8. *A'r Arglwydd a alwodd Samuel*] Wrth ei enw y drydedd waith, fel y gwnaethai y ddau dro o'r blaen. *A deallodd Eli mai yr Arglwydd a alwasai ar y bachgen*—efe a ddeallodd hyny oddiwrth fod Samuel wedi clywed llais yn galw arno ef, pan nad oedd neb arall yn ei glywed; ac oddiwrth yr ystyriaeth nad oedd un dyn y pryd hyny yn y cysegr santeiddiolaf i alw arno. Rhaid fod Eli yn teimlo darostyngiad a cherydd mawr iddo ei hun, yn ngwaith yr Arglwydd yn llefaru wrth Samuel ieuanc yn hytrach nag wrtho ef; er hyny, yn lle cenfigenu wrtho, rhoddodd gyfarwyddyd i Samuel pa fodd i wneyd.

Adn. 9. *Ac os geilw efe arnat*] Y pedwarydd tro, paid â chodi ataf fi, ond dywed wrtho ef dy hun oddiar dy orweddfa, *Llefara, Arglwydd, canys y mae dy was yn clywed*—yn barod i wrando, ac i ufyddhau i'th alwad.

Adn. 10. *A daeth yr Arglwydd, ac a safodd*] O'r blaen efe a alwai arno o'r cysegr santeiddiolaf, adn. 4; ond yn awr, i attal pob camgymeriad pellach, efe a ddaeth i'w ymyl i lefaru wrtho; a thybia Rabbi Kimchi i ryw ymddanghosiad gogoneddus o eiddo Duw gael

Samuel, Samuel. A dywedodd Samuel, Llefara; canys y mae dy was yn clywed.

11 ¶ A dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel, Wele fi yn gwneuthur peth yn Israel, yr hwn pwy bynag a'i clywo, fe a ferwina ei ddwy glust ef.

12 Yn y dydd hwnw y dygaf i ben yn erbyn Eli yr hyn oll a ddywedais am ei dŷ ef, gan ddechreu a diweddu *ar unwaith*.

13 Mynegais hefyd iddo ef, y barnwn ei dŷ ef yn dragywydd, am yr anwiredd a ŵyr efe; o herwydd i'w feibion haeddu iddynt felldith, ac nas gwaharddodd efe iddynt.

14 Ac am hyny y tyngais wrth dŷ Eli, na wnair iawn am anwiredd tŷ Eli âg aberth, nac â bwyd-offrwm byth.

15 ¶ A Samuel a gysgodd hyd y bore, ac a agorodd ddrysau tŷ yr Arglwydd: a Samuel oedd yn ofni mynegi y weledigaeth i Eli.

16 Ac Eli a alwodd ar Samuel, ac a ddywedodd, Samuel fy mab. Yntau a ddywedodd, Wele fi.

17 Ac efe a ddywedodd, Beth *yw* y gair a lefarodd *yr* ARGLWYDD wrthyt? na chela, atolwg, oddiwrthyf: fel hyn y gwnelo Duw i ti, ac fel hyn y chwanego, os celi oddiwrthyf *ddim* o'r holl bethau a lefarodd efe wrthyt.

---

ei wneuthur iddo ar yr un pryd: gwel ar adn. 21. *Samuel, Samuel*—enwir ef ddwywaith i ddeffro ei sylw ef, ac i ddangos pwys y genadwri ag oedd ar gael ei thraddodi iddo. *A dywedodd Samuel, Llefara*—fel y gorchymynasai Eli iddo, ond darfod iddo adael y gair ARGLWYDD allan, am ei fod yn rhy ŵylaidd i'w enwi, neu mewn gormod braw a dychryn.

Adn. 11. *Wele fi yn gwneuthur peth yn Israel*] Gan gyfeirio at ei waith yn goddef i'r arch gael ei dal, i feibion Eli gael eu lladd, ac ond odid at farwolaeth Eli ei hun. *Fe a ferwina ei ddwy glust ef*—tarewid pawb a glywai am hyn âg arswyd a syndod, nes y byddent fel rhai wedi hurtio a syfrdanu, heb wybod beth i'w feddwl na'i ddywedyd.

Adn. 12. *Yn y dydd hwnw y dygaf i ben yn erbyn Eli*] Sef yn yr amser a benodasai Duw i'r perwyl hwnw, yr hyn oedd, yn ol Benson, yn mhen 20 neu 30 mlynedd ar ol y bygythiad hwn. Caniataodd Duw yspaid cyhyd a hyny i'r genhedlaeth ddrygionus hon edifarhau. *Yr hyn oll a ddywedais am ei dŷ ef*—trwy enau y proffwyd a anfonasai efe at Eli, pen. ii. 27—36. *Gan ddechreu a diweddu ar unwaith*—neu gan ddiweddu neu orphen yr hyn y bydd i mi unwaith ei ddechreu. Y mae yn wir i'r Arglwydd ddechreu a diweddu ar unwaith gyda golwg ar farwolaeth Eli a'i feibion; ond yn raddol yr oedd efe yn tywallt ei farn ar dŷ Eli o hyny allan, fel yr oedd ei feibion ef yn dyfod i oedran gŵyr, pen. ii. 33.

Adn. 13. *Mynegais hefyd iddo ef*] Trwy enau y proffwyd a anfonais ato, pen. ii. 27—36; *y barnwn ei dŷ ef yn dragywydd*—y dygwn farnedigaethau parhaus ar ei dŷ ef, nes ei lwyr ddyfetha; *am yr anwiredd a ŵyr efe*—gwyddai Eli yn dda am holl ddrygioni ei feibion, pen. ii. 23; a gwyddai hefyd y dylasai eu cospi hwynt, a'i fod yn euog o bechod mawr wrth esgeuluso hyny; *o herwydd i'w feibion haeddu iddynt felldith*—neu gosp gyfiawn oddiwrth Dduw a dynion; neu, yn ol Houbigant, 'o herwydd i'w feibion beri i enw Duw gael ei gablu;' *ac nas gwaharddodd efe iddynt*—mewn pryd, neu gyda'r llymder ag y dylasai. Nid yw y gair yn arwyddo na ddanghosodd efe un math o anfoddlonrwydd i'w drygioni; canys efe a'u ceryddodd hwynt o'i herwydd, eithr yn rhy dyner o lawer: fel barnwr ac archoffeiriad, efe a ddylasai eu gwahardd hwy trwy awdurdod, a'u troi o'u swydd nes iddynt ddiwygio.

Adn. 14. *Ac am hyny y tyngais*] Neu, 'yr wyf yn tyngu;' canys y mae yr amser gorphenol yn cael ei arferyd yn fynych am y presenol yn yr Hebraeg. *Wrth dŷ Eli*—neu, gyda golwg arno. *Na wneir iawn*—hyny yw, na fydd i'r gosp fygythiedig yn erbyn Eli a'i deulu gael ei hattal trwy unrhyw aberth, ond y bydd iddi gael ei gweinyddu yn ddifêth. Nid oes yma ddim yn erbyn i'r rhai edifeiriol o dŷ Eli gael trugaredd i'w heneidiau trwy ffydd yn aberth mawr y Cyfryngwr; eithr ni fyddai i'w holl aberthau a'u hoffrymau cysgodol byth adferyd yr archoffeiriadaeth i'w deulu ef ar ol diswyddo Abiathar, na throi ymaith farnedigaethau tymorol Duw oddiwrth ei hiliogaeth.

Adn. 15. *A Samuel a gysgodd*] Saes. 'a *orweddodd* hyd y bore;' canys prin y gallai efe gysgu ar ol cael y fath ddatguddiad; *ac a agorodd ddrysau tŷ yr Arglwydd*—a gyflawnodd ei wasanaeth yn y bore fel arferol; canys nid oedd yr anrhydedd a roisai yr Arglwydd arno wedi peri iddo ef ymchwyddo na balchïo. *A Samuel oedd yn ofni mynegu y weledigaeth i Eli*—rhag i'w chynwysiad ei ofidio ef; ac nid yw yn ymddangos iddo gael gorchymyn i'w mynegu.

Adn. 16. *Samuel fy mab*] Y mae Eli yn cyfarch Samuel mewn modd anwylaidd fel ei blentyn, nid yn unig i'w ddenu ef i fynegu iddo yr hyn a glywsai efe gan yr Arglwydd, ond hefyd i awgrymu iddo ei ddyledswydd o ufyddhau iddo ef fel pe buasai ei dad: gwel ar adn. 4, 6.

Adn. 17. *Beth yw y gair a lefarodd yr Arglwydd wrthyt?*] Efe a ofnai fod Duw wedi bygwth barnedigaethau trymion arno ef a'i dŷ fel y dywedwyd wrtho o'r blaen, pen. ii. 31—36; canys gwyddai ei fod wedi eu cyfiawn haeddu. *Fel hyn y gwnelo Duw i ti*—os na fynegi i mi yr hyn oll a fygythiodd Duw yn fy erbyn, pared yr Arglwydd i'r holl ddrygau hyny syrthio arnat ti dy hun; *ac fel hyn y chwanego*—bydded iddo dy felldithio hefyd â drygau mwy na'r rhai hyny.

Adn. 18. *A Samuel a fynegodd iddo yr*

18 A Samuel a fynegodd iddo yr
holl eiriau, ac nis celodd ddim rhag-
ddo. Dywedodd yntau, yr Arglwydd
*yw* efe: gwnaed *a fyddo* da yn ei olwg.
19 ¶ A chynyddodd Samuel; a'r
Arglwydd oedd gydag ef, ac ni adaw-
odd *i un* o'i eiriau ef syrthio i'r
ddaear.
20 A gwybu holl Israel, o Dan
hyd Beerseba, mai proffwyd ffydd-
lawn yr Arglwydd *oedd* Samuel.
21 A'r Arglwydd a ymddanghosodd
drachefn yn Silo: canys yr Arglwydd
a ymeglurhaodd i Samuel yn Silo
trwy air yr Arglwydd.

## PENNOD IV.

A DAETH gair Samuel i holl Is-
rael. Ac Israel a aeth yn erbyn
y Philistiaid i ryfel; a gwersyllasant
gerllaw Ebenezer: a'r Philistiaid a
wersyllasant yn Aphec.
2 A'r Philistiaid a ymfyddinasant
yn erbyn Israel: a'r gâd a ymgyfarfu;
a lladdwyd Israel o flaen y Philist-
iaid: a hwy a laddasant o'r fyddin yn
y maes yn nghylch pedair mil o wŷr.
3 ¶ A phan ddaeth y bobl i'r gwer-
syll, henuriaid Israel a ddywedasant,
Paham y tarawodd yr Arglwydd ni
heddyw o flaen y Philistiaid? Cy-
merwn atom o Silo arch cyfammod yr
Arglwydd, a deled i'n mysg ni; fel y
cadwo hi ni o law ein gelynion.
4 Felly y bobl a anfonodd i Silo,
ac a ddygasant oddiyno arch cyfammod
Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd yn
aros *rhwng* y cerubiaid: ac yno *yr
oedd* dau fab Eli, Hophni a Phinees,
gydag arch cyfammod Duw.

---

*holl eiriau*] Megys y maent ar lawr yn adn. 11—14. *Yr Arglwydd yw efe*—Penarglwydd yr holl fyd, yr hwn y mae ganddo hawl a gallu i wneyd a fyno â'i holl greaduriaid, ac yn enwedig i'm cospi i a'm tŷ yn ol ein cyfiawn haeddiant. *Gwnaed a fyddo da yn ei olwg*—yr wyf yn foddlon i syrthio yn ei law ef, yr hwn sydd yn rhy ddoeth i gyfeiliorni, a'r hwn 'nid yw yn gweled yn dda wneuthur cam â gŵr yn ei fater,' Galar. iii. 36. Yr oedd hwn yn atebiad duwiol a gostyngedig; a dyma ddylai fod ein teimlad a'n hiaith ninau dan holl orchwyliaethau rhagluniaeth Duw.

Adn. 19. *A chynyddodd Samuel*] I oedran a maintioli gŵr; *a'r Arglwydd oedd gydag ef*—i'w addysgu, a'i lenwi â gras, santeiddrwydd, a doethineb; *ac ni adawodd i un o'i eiriau ef syrthio i'r ddaear*—pa beth bynag a ragfynegai, efe a ddeuai i ben. Y mae yma gyfeiriad at ryw wlybedd gwerthfawr yn syrthio i'r ddaear, ac felly yn myned ar goll; neu at saeth yn syrthio i lawr cyn cyraedd ei nôd.

Adn. 20. *A gwybu holl Israel*] Nid yn unig fod Samuel yn broffwyd wedi ei *sefydlu* gan yr Arglwydd, ond hefyd ei fod ef yn *broffwyd ffyddlon*—yn traethu yn onest yr hyn oll a ddywedai Duw wrtho, a dim yn chwaneg. *O Dan hyd Beerseba*—gwel ar Barn. xx. 1, a Jos. xix. 47. Yr oedd rhai o bob cŵr o wlad yr addewid yn dyfod i Silo ar y gŵyliau, ac yn cario ei glod ef adref i bob man.

Adn. 21. *A'r Arglwydd a ymddanghosodd drachefn*] Heb. 'a *chwanegodd* ymddangos;' hyny yw, efe a barhaodd i ymddatguddio yn fynych i Samuel yn Silo, fel y gwnaethai o'r blaen, adn. 10. *Trwy air yr Arglwydd*—trwy lefaru wrtho mewn llais hyglyw fel o'r blaen; neu trwy ymddanghosiad y Tragwyddol Air, yr hwn yn nghyflawnder yr amser a wnaethpwyd yn gnawd, Ioan i. 1, 14: gwel *Beveridge, Gill, Pyle, &c.*

PEN. IV. Adn. 1. *A daeth gair Samuel i holl Israel*] Y mae rhai yn deall hyn am addysgiadau crefyddol Samuel i'r genedl yn gyffredinol; ereill, am ledaeniad ei genadwri ef oddiwrth Dduw gyda golwg ar gosp tŷ Eli; ac ereill, am orchymyn oddiwrth Samuel i holl Israel fyned allan yn erbyn y Philistiaid. *Ac Israel a aeth yn erbyn y Philistiaid i ryfel*—wrth orchymyn Saul, yn ol rhai; neu ynte o honynt eu hunain, heb ymgynghori â'r Arglwydd. *A gwersyllasant gerllaw Ebenezer*—er na roddwyd yr enw hwn i'r lle hyd fwy nag ugain mlynedd wedi hyn, pen. vii. 12; eto yr oedd ef wedi cael yr enw hwn pan ysgrifenwyd yr hanes yma. *A'r Philistiaid a wersyllasant yn Aphec*—gerllaw Ebenezer, yn llwyth Juda, fel y meddylir: gwel ar Jos. xii. 18. Ymddengys fod y Philistiaid wedi ymgryfhau erbyn hyn ar ol cyflafan Samson, Barn. xvi. 30.

Adn. 2. *Lladdwyd Israel o flaen y Philistiaid*] Sef yn nghylch 4,000 o honynt, heb i'r Philistiaid golli nemawr, os un.

Adn. 3. *Paham y tarawodd yr Arglwydd ni?*] Uniawn y priodolai yr henuriaid eu haflwydd i law yr Arglwydd; ond dylasent wybod mai eu pechodau fel cenedl oedd yr achos o hyn, pen. iii. 11, a vii. 3. *Cymerwn atom o Silo arch cyfammod yr Arglwydd*—yr arwydd mawr hwnw o bresenoldeb a chymhorth Duw; *fel y cadwo hi ni o law ein gelynion*—fel hyn yr oeddynt yn ymddiried yn yr arwydd o bresenoldeb Duw, yn lle yn Nuw ei hun. Yr oedd yn arferiad gan holl genhedloedd y ddaear gymeryd eu duwiau a'u creiriau gyda hwynt i ryfel.

Adn. 4. *Felly y bobl a anfonodd i Silo*] Yr hon, yn ol Bunting, oedd 42 o filldiroedd o Ebenezer; *ac a ddygasant oddiyno arch cyfammod*—yr hon a elwid felly am fod llechau y cyfammod ynddi; *Arglwydd y lluoedd*—gwel ar pen. i. 3; *yr hwn sydd yn aros rhwng y cerubiaid*—yr oedd cerubiaid ar ddau gŵr y drugareddfa, neu gaead yr arch, rhwng pa rai yr arhosai y Secina, neu yr arwydd gogoneddus o bresenoldeb Duw: gwel ar Exod. xxv. 17—28. *Ac yno yr oedd dau fab Eli*—yn gweinyddu yn y cysegr, y rhai a ddaethant gyda'r arch i faes y gwaed.

5 A phan ddaeth arch cyfammod yr
Arglwydd i'r gwersyll, holl Israel a
floeddiasant â bloedd fawr, fel y dad-
seiniodd y ddaear.
6 A phan glybu y Philistiaid lais y
floedd, hwy a ddywedasant, Pa beth
*yw* llais y floedd fawr hon yn ngwer-
syll yr Hebreaid? A gwybuant mai
arch yr Arglwydd a ddaethai i'r gwer-
syll.
7 A'r Philistiaid a ofnasant: o her-
wydd hwy a ddywedasant, Daeth Duw
i'r gwersyll. Dywedasant hefyd, Gwae
ni: canys ni bu y fath beth o flaen
hyn.
8 Gwae ni: pwy a'n gwared ni o
law y Duwiau nerthol hyn? Dyma y
Duwiau a darawsant yr Aifftiaid â'r
holl bläau yn yr anialwch.
9 Ymgryfhewch, a byddwch wŷr,
O Philistiaid: rhag i chwi wasanaethu
yr Hebreaid, fel y gwasanaethasant
hwy chwi: byddwch wŷr, ac ymledd-
wch.
10 ¶ A'r Philistiaid a ymladdasant;
a lladdwyd Israel, a ffôdd pawb i'w
babell: a bu lladdfa fawr iawn; canys
syrthiodd o Israel ddeng mil ar hug-
ain o wŷr traed.
11 Ac arch Duw a ddaliwyd; a dau
fab Eli, Hophni a Phinees, a fuant
feirw.
12 ¶ A gŵr *o* Benjamin a redodd o'r
fyddin, ac a ddaeth i Silo y diwrnod
hwnw, â'i ddillad wedi *eu* rhwygo, a
phridd ar ei ben.
13 A phan ddaeth efe, wele Eli yn
eistedd ar eisteddfa *ger* llaw y ffordd,
yn dysgwyl: canys yr oedd ei galon ef
yn ofni am arch Duw. A phan ddaeth
y gŵr i'r ddinas, a mynegu *hyn*, yr
holl ddinas a waeddodd.

---

Adn. 5. *Holl Israel a floeddiasant*] Mewn gorfoledd hyderus am fuddugoliaeth; *fel y dadseiniodd y ddaear*—nes y cyrhaeddodd eu hadsain dros y bryniau a thrwy y cymoedd, fel y clybu y Philistiaid yn Aphec.

Adn. 6. *Pa beth yw llais y floedd fawr hon?*] Yr oedd y Philistiaid yn methu deall yr achos o'r gorfoledd hynod hwn yn mhlith yr Israeliaid, a hwythau wedi cael eu gorchfygu mor ddiweddar. *A gwybuant*—ond odid trwy ryw yspïwyr a anfonasant i holi, mai dyfodiad yr arch i'w plith oedd yr achos o'u gorfoledd.

Adn. 7. *Daeth Duw i'r gwersyll*] Gan feddwl mai un o eilun-dduwiau Israel oedd yr arch; neu gan gymeryd yn ganiataol, fel yr Israeliaid, adn. 3, fod presenoldeb a gallu Duw yn anwahanadwy oddiwrthi. *Gwae ni*—gallwn weled oddiyma fod enw Duw Israel yn arswydus hyd yn nod i addolwyr duwiau ereill, am fod son am ei allu a'i weithrediadau ef wedi ymdaenu i bob lle. *Canys ni fu y fath beth o flaen hyn*—yn ein rhyfeloedd ni âg Israel, neu er pan ddaeth yr arch i Silo. Yr oedd yr arch wedi bod o'r blaen gyda byddin Israel wrth Jericho; ond dichon na wyddai y Philistiaid am hyny, a'u bod yma yn golygu na fuasai y fath beth a hyn erioed o'r blaen mewn unrhyw le. Hyd yn hyn yr oeddynt wedi bod yn rhyfela â *phobl* Israel, ond yn awr tybient fod yn rhaid iddynt ryfela â *Duw* Israel hefyd.

Adn. 8. *Pwy a'n gwared ni o law y duwiau nerthol hyn?*] Arferent eu dull paganaidd eu hunain o lefaru, fel pe buasai gan Israel lawer o dduwiau, megys yr oedd ganddynt hwy. *Yn yr anialwch*—ymddengys fod ganddynt ryw wybodaeth am helyntion Israel trwy yr holl oesoedd, ac am y deg pla â'r rhai y tarawodd Duw yr Aifftiaid yn amser Moses: ond yr oedd eu gwybodaeth yn anmherffaith iawn, gan y tybient mai yn yr *anialwch* y dygwyddodd hyny: ac nid yw hyny yn rhyfedd, pan yr ystyriom fod amrai ganrifoedd o flynyddau wedi myned heibio er pan ddaethai Israel o'r Aifft, a bod cyfryngau hysbysiaeth yn dra anmherffaith yn eu plith.

Adn. 9. *Ymgryfhewch, a byddwch wŷr*] Neu byddwch *wrol*. Llefarwyd hyn gan eu cadfridog, i'r dyben i'w calonogi. *Rhag i chwi wasanaethu yr Hebreaid*—neu fod yn gaethweision iddynt hwy, fel y buont hwy i chwi yn amser Samson, Barn. x. 7, &c.

Adn. 10. *A'r Philistiaid a ymladdasant*] A ymladdasant yn ddewr a gwrol, nid yn unig am eu rhyddid, ond hefyd am eu heinioes; *a lladdwyd Israel*—ddeng mil ar hugain o honynt; *a ffôdd pawb*—o'r rhai a adawyd yn fyw; *i'w babell*—nid i'r gwersyll, gyda bwriad i adnewyddu y frwydr; ond adref at eu teuluoedd, wedi eu llwyr orchfygu. O'r blaen ni chollasant ond 4,000, adn. 2; eithr yn awr, pryd yr oedd yr arch gyda hwynt, collasant 30,000, i ddysgu iddynt nad oedd yr arch ac ordinhadau Duw erioed wedi eu bwriadu yn noddfa i bechaduriaid anedifeiriol, eithr yn gysur i'r rhai edifeiriol.

Adn. 11. *Ac arch Duw a ddaliwyd*] Goddefodd Duw hyn, (1) Yn gosp ar Israel am ei chymeryd hi o'r cysegr heb ei ganiatâd ef, ac am osod eu hyder ar yr arch yn lle arno ef, adn. 3. Ac, yn (2) Fel y caffai y Philistiaid brawf trwyddi hi o allu Duw Israel yn eu cospi hwy a'u duw Dagon, pen. v. 3—12. *A dau fab Eli*—y rhai yn debygol a geisient amddiffyn yr arch; *a fuant feirw*—pe buasai Eli yn gwneyd ei ddyledswydd trwy eu troi hwynt o'r offeiriadaeth, gallasent fyw, er dan warth; ond yn awr cymerodd Duw y gwaith i'w law ei hun, a gyrodd hwynt o'r byd trwy gleddyf y Philistiaid.

Adn. 12. *A'i ddillad wedi eu rhwygo, a phridd ar ei ben*] Yr hyn oedd arwydd galar a chyfyngder yn mhlith pob cenedl: gwel Jos. vii. 6, Job ii. 12, Exec. xxvii. 30. Dywed yr Iuddewon mai Saul, wedi hyn brenin Israel, oedd y gŵr hwn.

Adn. 13. *Wele Eli yn eistedd*] Gerllaw y porth ag oedd yn arwain tua Silo, adn. 18; *yn dysgwyl*—am ryw newydd oddiwrth y

14 A phan glywodd Eli lais y
waedd, efe a ddywedodd, Beth *yw*
llais y cynhwrf yma? A'r gŵr a ddaeth
i mewn ar frys, ac a fynegodd i Eli.
15 Ac Eli *oedd* fab tair blwydd ar
bymtheg a phedwar ugain; a phall-
asai ei lygaid ef, fel na allai efe weled.
16 A'r gŵr a ddywedodd wrth Eli,
Myfi *sydd* yn dyfod o'r fyddin, myfi
hefyd a ffoais heddyw o'r fyddin. A
dywedodd yntau, Pa beth a ddy-
gwyddodd, fy mab?
17 A'r genad a atebodd, ac a ddy-
wedodd, Israel a ffôdd o flaen y Phil-
istiaid; a bu hefyd laddfa fawr yn
mysg y bobl; a'th ddau fab hefyd
Hophni a Phinees, a fuant feirw, ac
arch Duw a ddaliwyd.
18 A phan grybwyllodd efe am arch
Duw, yntau a syrthiodd oddiar yr
eisteddle yn wysg ei gefn gerllaw y
porth; a'i wddf a dorodd, ac efe a fu
farw: canys y gŵr *oedd* hen a thrwm.
Ac efe a farnasai Israel ddeugain
mlynedd.
19 ¶ A'i waudd ef, gwraig Phinees,

---

fyddin ar faes y gwaed; *canys yr oedd ei galon ef yn ofni am arch Duw*—rhag iddi syrthio i ddwylaw y Philistiaid dienwaededig. Er ei fod yn dad tyner a serchog, fel y gwelsom; eto yr oedd diogelwch yr *arch* yn gorwedd yn nes at ei galon ef na diogelwch ei *feibion*, canys ni ddywedir ei fod yn ofni am danynt hwy. *A phan ddaeth y gŵr i'r ddinas*—heibio Eli heb ei ganfod; *a mynegu hyn*—fel yr adroddir adn. 17; *yr holl ddinas a waeddodd*—a da y gallasent; canys heblaw fod hyn yn drallod i holl Israel, yr oedd hefyd yn golled neillduol i Silo, am na ddychwelodd yr arch byth mwyach yno. Fel hyn eu canwyllbren hwy a symudwyd o'i le, a'u dinas a ddaeth i'r dim, Jer. vii. 12, 14.

Adn. 14. *A phan glywodd Eli lais y waedd*] Canys er nad allai efe weled, adn. 15, eto yr oedd yn gallu clywed ysgrechiadau athrist holl bobl y ddinas. *Beth yw llais y cynhwrf yma?*—hyny yw, beth yw yr achos o hono?

Adn. 15. *A phallasai ei lygaid ef*] Ac nid rhyfedd hyny, gan ei fod bellach yn 98 mlwydd oed.

Adn. 16. *Pa beth a ddygwyddodd, fy mab?*] Enwad tyner a serchog, i'w dueddu ef i fynegu y cwbl yn onest a diymattal. Fel pe dywedasai, A fu brwydr rhwng Israel a'r Philistiaid? ac os felly, pa fodd y bu? pwy a orchfygodd?

Adn. 17. *A'r genad a atebodd*] Ni bu erioed genadwri fwy trallodus mewn cyn lleied o eiriau, ac yn cynwys y fath amrywiaeth o newyddion drwg, a phob un yn waeth na'r llall hyd yr olaf. (1) *Israel a ffôdd o flaen y Philistiaid!*—yr oedd fod i weddill Israel ffoi o flaen eu *gelynion* yn ddrwg; ond fod iddynt ffoi o flaen y fath elynion a'r *Philistiaid*, oedd waeth fyth; canys gallent ddysgwyl bellach i gadwynau eu caethiwed gael eu gwneuthur yn gryfach a thŷnach nag erioed. (2) *A bu hefyd laddfa fawr yn mysg y bobl!*—gallasai ffoedigaeth gymeryd lle heb i ryw lawer gael eu *lladd* yn flaenorol; ond yn yr achos hwn yr oedd deng mil ar hugain o brif ryfelwyr Israel yn gorwedd yn feirw ar faes y gwaed, adn. 10. (3) *A'th ddau fab hefyd, Hophni a Phinees, a fuant feirw!*—gallasai cynifer a hyny o *ryfelwyr* syrthio, heb i'r *offeiriaid* hefyd gael eu rhoddi i'r cleddyf: ond wrth glywed fod ei ddau fab, unig obaith ei deulu, wedi eu lladd, ac wedi cael eu gwthio yn ddisymwth i wyddfod eu Barnwr yn eu *pechodau*, yr oedd hyn yn newydd trymach i'w deimladau ef, fel tad tyner, na'r cwbl. (4) *Ac arch Duw a ddaliwyd!*—dyma y newydd gwaethaf oll, nid yn unig ynddo ei hun, ond hefyd i deimladau Eli; 'canys yr oedd ei galon ef yn ofni am arch Duw,' adn. 13. Parai hyn nid yn unig i Israel gael eu dianrhydeddu yn ngolwg y Cenhedloedd, ond hefyd i enw Jehofa gael ei gablu ganddynt: ac heblaw hyny, yr oedd yn arwydd fod Duw wedi cilio oddiwrth Israel, ac nad oedd dim yn eu haros ond llwyr ddinystr eu crefydd a'u cenedl! Fel hyn ni a welwn fod cenadwri y gŵr yn bedair rhan, a phob un yn waeth na'r llall hyd y diwedd.—Y mae swyddogion milwraidd hen a diweddar wedi bod yn hynod am gyfleu cryn lawer o hysbysrwydd mewn ychydig eiriau. Ar ol i *Iŵl Cesar* lwyr orchfygu *Pharnaces*, brenin Pontus, efe a ysgrifenodd lythyr at senedd Rhufain, yr hwn ni chynwysai ond tri gair, *Veni, Vidi, Vici*—'daethym, gwelais, gorchfygais.' Ar ol i'r Llyngesydd *Hawke* lwyr orchfygu llynges Ffrainc yn 1759, efe a ysgrifenodd fel y canlyn at Sior II: 'Cymerais, llosgais, a dyfethais holl lynges Ffrainc.' *Napoleon Buonaparte*, cadfridog byddinoedd Ffrainc yn yr Eidal, yn 1796, a ysgrifenodd at *Josephine* ei wraig y prydnawn cyn iddo ymosod ar fyddin *Alvanizi*, y prif swyddog amherodrol: '*Demain j'attaquerai l'enemie, je le battrai, et j'en finirai*—'y fory ymosodaf ar y gelyn, baeddaf hwynt, a therfynaf y gorchwyl.' Efe a wnaeth felly, a therfynwyd y rhyfel am y flwyddyn hòno. Ni chawn yn yr anghreifftiau hyn, er mor ragorol ydynt, fawr fwy nag *un meddylddrych;* tra y mae cenadwri y Benjaminiaid yn y testyn yn cynwys *pedwar*, a'r rhai hyny o'r fath fwyaf pwysig a chynwysfawr a ellid eu traethu.

Adn. 18. *A phan grybwyllodd efe am arch Duw*] Tra yr oedd y genad yn mynegu am ffoedigaeth Israel, am laddfa fawr yn eu mysg, ac am farwolaeth ei feibion ei hun, daliodd Eli rywfodd dan yr holl newydd athrist; ond pan grybwyllodd efe am ddal arch Duw, yr oedd y peth yn rhy drwm iddo allu ymgynal dano: syrthiodd oddiar ei eisteddle mewn llewyg, a dadgymalodd esgyrn ei wddf, neu ei *gefn*, fel y mae gan y LXX, a bu farw! Gwelwn yma gyfiawn farn Duw ar Eli a'i feibion! Ond a allwn ni feddwl i'r gŵr hwn, pa mor feius bynag yn ei ymddygiad tuag at ei f[illegible]atradus, yr hyn a darddai yn fwy

oedd feichiog, *yn agos* i esgor: a phan
glybu son ddarfod dal arch Duw, a
marw o'i chwegrwn a'i gŵr, hi a ym-
grymodd, ac a glafychodd: canys ei
gwewyr a ddaeth arni.
20 Ac yn nghylch y pryd y bu hi
farw, y dywedodd *y gwragedd* oedd yn
sefyll gyda hi, Nac ofna; canys es-
goraist ar fab. Ond nid atebodd hi,
ac nid ystyriodd.
21 A hi a alwodd y bachgen Icha-
bod; gan ddywedyd, Y gogoniant a
ymadawodd o Israel; (am ddal arch
Duw, ac am ei chwegrwn a'i gŵr)
22 A hi a ddywedodd, Y gogoniant
a ymadawodd o Israel: canys arch
Duw a ddaliwyd.

## PENNOD V.

A'R Philistiaid a gymerasant arch
Duw, ac a'i dygasant hi o Eben-
ezer i Asdod.
2 A'r Philistiaid a gymerasant arch
Duw, ac a'i dygasant i mewn i dŷ
Dagon, ac a'i gosodasant yn ymyl
Dagon.
3 ¶ A'r Asdodiaid a gyfodasant yn
fore dranoeth; ac wele, Dagon wedi

---

oddiar dawelwch ei dymher, nag oddiar awydd i gefnogi drygioni, fyned i golledigaeth? Na ato Duw! Ni chollwyd neb erioed a fuont feirw yn y fath deimladau daionus a chrefyddol, ac yn y fath bryder dros ogoniant Duw a'i arch. *Ac efe a farnasai Israel ddeugain mlynedd*—gan ei fod wedi dechreu ar ei swydd pan yn 58 mlwydd oed.

Adn. 19. *A'i waudd ef*] Sef merch-yn-nghyfraith Eli; *oedd feichiog, yn agos i esgor*—ond nid oedd yn gwbl ar ben ei hamser, oblegid ymddengys i'w gwewyr ddyfod arni cyn yr amser dyladwy, o herwydd ei dychryn. *A phan glybu son ddarfod dal arch Duw*—enwir daliad yr arch yn mlaenaf yma, fel y peth mwyaf gofidus i feddwl y wraig dduwiol hon; *a marw o'i chwegrwn a'i gŵr*—sonir am farwolaeth Eli ei thad-yn-nghyfraith o flaen eiddo Phinees ei gŵr, am fod marwolaeth yr archoffeiriad bob amser yn achos o alar mawr gan holl Israel. *Hi a ymgrymodd*—neu a aeth ar ei gliniau, fel yr arwydda y wreiddiol; *ac a glafychodd*—daeth ei gwewyr yn mlaen cyn yr amser, o herwydd ei gofid a'i braw, a phrofodd yn angeuol iddi.

Adn. 20. *Ac yn nghylch y pryd y bu hi farw*] Yr hyn a ddygwyddodd yn ebrwydd ar ol iddi esgor; *dywedodd y gwragedd*—y rhai oeddynt yn gweini iddi yn yr amgylchiad hwnw; *Nac ofna*—fel pe dywedasent, Y mae y gwaethaf drosodd, canys y mae y plentyn wedi ei *eni*, ac y mae hwnw yn FAB. *Ond nid atebodd hi*—am fod ei gofid penaf hi yn fwy yn nghylch yr arch nag yn nghylch ei gwewyr; *ac nid ystyriodd*—ni chymerai ddim sylw o'r hyn a ddywedid wrthi, fel ag i 'lawenhau am eni dyn i'r byd,' Ioan xvi. 21.

Adn. 21. *A hi a alwodd y bachgen Ichabod*] Yr hyn a arwydda yn llythyrenol, *Pa le y mae y gogoniant?* Ac yn wir yn mha le yr oedd, pan yr oedd byddin Israel wedi ei gorchfygu gan y Philistiaid, yr offeiriaid wedi eu lladd, y barnwr wedi marw, ac arch yr Arglwydd wedi ei dal! *Y gogoniant a ymadawodd o Israel*—y rhai hyn yw geiriau y fam, fel rheswm dros roddi yr enw *Ichabod* i'w bachgen. *Am ddal arch Duw, ac am ei chwegrwn a'i gŵr*—y mae yn debyg mai geiriau y gwragedd yw y rhai hyn, yn egluro i'w gilydd ei rheswm hi am ddywedyd fod y gogoniant wedi ymadael o Israel.

Adn. 22. *A hi a ddywedodd*] I egluro iddynt yn llawnach ei meddwl hi wrth roddi yr enw hwn i'w mab, ac wrth ddywedyd fod y gogoniant wedi ymadael o Israel; *canys arch Duw a ddaliwyd*—yr hon oedd unig ogoniant Israel. Nid oedd ei gŵr hi wedi bod o nemawr o ogoniant i Israel; ac nid oedd Eli chwaith, yn enwedig yn ei flynyddoedd diweddaf, wedi bod ond o ychydig o ogoniant iddynt: ond yr oedd caethgludiad yr arch gan y Philistiaid, yr hon oedd yr arwydd gogoneddus o breswyliad Duw yn eu mysg, yn ddigon o reswm ei hun dros ddywedyd fod y gogoniant wedi ymadael o Israel. Fel hyn yr oedd caethgludiad yr arch yn blino mwy ar feddwl y wraig dduwiol hon na marwolaeth ei chwegrwn a'i gŵr.

PEN. V. Adn. 1. *A'r Philistiaid a gymerasant arch Duw*] Goddefodd Duw hyn, ebai Abarbinel, (1) Am fod yr Israeliaid, o herwydd eu pechodau, yn annheilwng o gael yr arwydd hwn o'r presenoldeb dwyfol yn eu plith. (2) Am fod eilunaddoliaeth Mica yn aros fyth yn y tir, Barn. xvii. 1, &c. (3) Am i bechodau yr offeiriaid gyffroi Duw i roddi i fyny yr arch, yr hon oedd yn eu dwylaw hwy pan eu lladdwyd. (4) Am i'r Israeliaid gymeryd yr arch i'r rhyfel heb ymgynghori â Duw. (5) Ac am fod Duw yn penderfynu amlygu ei allu hyd yn nod yn mhlith gelynion Israel. *Ac a'i dygasant hi o Ebenezer*—lle yr oedd Israel yn gwersyllu cyn y frwydr, pen. iv. 1; *i Asdod*—un o'u prif ddinasoedd, yr hon hefyd a elwid Azotus, Act. viii. 40.

Adn. 2. *I dŷ Dagon*] Yr oedd yn arferiad yn mhlith pob cenedl i gyflwyno yr yspail a gymerid oddiar elyn i'w duwiau, (1) Fel *diolch-offrwm* am yr help ag y tybient eu bod wedi ei gael ganddynt; ac, (2) Fel *prawf* fod eu duwiau hwy yn *drech* nag eiddo y gelyn. Pan y darfu i'r Philistiaid orchfygu Saul, gosodasant ei arfau ef yn nhŷ Astaroth, pen. xxxi. 10; a phan laddodd Dafydd Goliath, efe a ddododd ei gleddyf yntau yn mhabell yr Arglwydd, pen. xxi. 8, 9. Cawn weddillion o'r arferiad yma yn ngosodiad llummanau a banerau a gymerwyd oddiar ein gelynion, i fyny mewn rhai o'n heglwysi. Diamau mai i anrhydeddu Dagon, ac i ddirmygu Duw Israel, a sarhau a brawychu ei bobl ef, y gosodasant hwy yr arch yn nheml Dagon.

Adn. 3. *A'r Asdodiaid a gyfodasant yn fore dranoeth*] Yn debygol i addoli Dagon

syrthio i lawr ar ei wyneb, gerbron arch yr Arglwydd. A hwy a gymerasant Dagon, ac a'i gosodasant eilwaith yn ei le.
4 Codasant hefyd yn fore dranoeth; ac wele, Dagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb, gerbron arch yr Arglwydd: a phen Dagon, a dwy gledr ei ddwylaw, *oedd* wedi tori ar y trothwy; *corff* Dagon yn unig a adawyd iddo ef.
5 Am hyny ni sathr offeiriaid Dagon, na neb a ddelo i mewn i dŷ Dagon, ar drothwy Dagon yn Asdod, hyd y dydd hwn.
6 A thrwm fu llaw yr Arglwydd ar yr Asdodiaid; ac efe a'u dystrywiodd hwynt, ac a'u tarawodd hwynt, *sef* Asdod a'i therfynau, â chlwyf y marchogion.
7 A phan welodd gwŷr Asdod mai felly yr *oedd,* dywedasant, Ni chaiff arch Duw Israel aros gyda ni: canys caled yw ei law ef arnom, ac ar Dagon ein duw.
8 Am hyny yr anfonasant, ac y casglasant holl arglwyddi y Philistiaid atynt; ac a ddywedasant, Beth a wnawn ni i arch Duw Israel? A hwy a atebasant, Dyger arch Duw Israel o amgylch *i* Gath. A hwy a ddygasant arch Duw Israel oddiamgylch *yno.*
9 Ac wedi iddynt ei dwyn hi o amgylch, bu llaw yr Arglwydd yn erbyn y ddinas â dinystr mawr iawn: ac efe a darawodd wŷr y ddinas o fychan hyd fawr, a chlwyf y marchogion oedd yn eu dirgel-leoedd.
10 Am hyny yr anfonasant hwy

---

cyn myned at eu gorchwylion; *ac wele Dagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb gerbron arch yr Arglwydd*—fel pe buasai yn gwarogaethu iddi, ac yn cydnabod goruchafiaeth yr arch arno ei hun. *A hwy a gymerasant Dagon*—gan nas gallai eu duw gwael ei gynorthwyo ei hun; *ac a'i gosodasant eilwaith yn ei le*—gan feddwl mai o ddamwain y syrthiasai.

Adn. 4. *Ac wele Dagon wedi syrthio*] Y noson hòno hefyd, fel y nos o'r blaen. *A phen Dagon, a dwy gledr ei ddwylaw, oedd wedi tori*—sef wedi eu tori ymaith oddiwrth y corff. Y *pen* yw sedd doethineb, a'r *dwylaw* yw offerynau gweithrediad; ac ysgarwyd y ddau oddiwrtho, i ddangos nad oedd ganddo ddoethineb na nerth i'w amddiffyn ei hun na'i addolwyr. *Corff Dagon yn unig a adawyd iddo ef*—Heb. 'yn unig *Dagon* a adawyd iddo;' neu yr hanner isaf, yr hwn oedd ar lun *pysgodyn;* canys y mae *dag,* yn yr Hebraeg, yn arwyddo 'pysgodyn.' Sylwyd ar Barn. xvi. 23, fod y duw hwn yn debyg i FôR-FORWYN, neu fod yr hanner uwchaf iddo yn debyg i *fenyw,* a'r hanner isaf yn debyg i *bysgodyn.* Cafodd yr oll ag ydoedd *ddynol* ynddo ei dori oddiwrth yr hyn ag ydoedd ar lun *pysgodyn;* ac yr oedd hyny yn brawf o gyfryngiad dwyfol yn y mater.

Adn. 5. *Am hyny ni sathr offeiriaid Dagon*] Wrth fyned i'r deml i offrymu iddo; *na neb a ddelo i mewn*—i'w addoli ef; *ar drothwy Dagon*—naill ai am y tybient fod y trothwy hwnw yn santaidd, trwy i'w duw gyffwrdd âg ef; neu ynte o atgasrwydd ato, am i'w duw gael ei anafu arno. Trefnwyd fel hyn gan ragluniaeth ddwyfol fod iddynt hwy, trwy ddefod grefyddol o'r eiddynt eu hunain, fytholi eu gwarth eu hunain, annigonolrwydd eu haddoliad, a rhagoriaeth Duw Israel. *Hyd y dydd hwn*—pryd yr oedd Samuel yn ysgrifenu yr hanes. Meddylir fod cyfeiriad at y ddefod hon yn Seph. i. 9: gwel y sylwadau yno.

Adn. 6. *A thrwm fu llaw yr Arglwydd*] Nid yn unig ar Dagon, ond hefyd ar ei addolwyr ef yn Asdod a'r holl wlad oddiamgylch; *ac efe a'u dystrywiodd hwynt*—lawer o honynt, ond odid trwy ryw bla angherddol; *ac a'u tarawodd hwynt*—sef y lleill, y rhai ni buant feirw o'r pla, adn. 12; *â chlwyf y marchogion*—sef y lledewigwst, fel y meddylir, neu y *piles* gwaedlyd, Deut. xxviii. 27. Ymddengys mai rhyw anhwyldeb yn yr eisteddfa a olygir, yr hwn a'u hanalluogai i *farchogaeth* neu eistedd. Y mae y LXX a'r VULGATE yn chwanegu yma, 'A dinasoedd a maesydd yr holl fro hòno a rwygwyd i fyny, a llygod a ymddangosasant, a dinystr angeuol mawr oedd yn y ddinas.' Dywed Houbigant fod y chwanegiad hwn yn wreiddiol yn y testyn Hebreig; a dyry hyn i ni reswm am y *llygod aur* a anfonwyd wrth adfer yr arch, pen. vi. 4, 5.

Adn. 7. *Ni chaiff arch Duw aros gyda ni*] Am y tybient mai hi oedd yr achos o'r farn hon arnynt. Yn awr agorwyd eu llygaid i ganfod, er iddynt hwy orchfygu Israel, nas gallent sefyll o flaen Duw Israel.

Adn. 8. *Casglasant holl arglwyddi y Philistiaid*] I ymgynghori pa beth i'w wneyd â'r arch, neu i edrych ai yr arch oedd y gwir achos o'u trallod. *Dyger arch Duw Israel o amgylch i Gath*—dinas arall yn perthyn i'r Philistiaid, oddeutu pum milldir o Asdod. Dichon fod rhai o honynt yn priodoli y trallod hwn ar yr Asdodiaid i ryw achos *naturiol;* a mynent i'r arch gael ei dwyn *oddiamgylch* o le i le, i edrych pa effaith a gai hyny; ac os byddai i'r un trallod ddygwydd yn mhob man lle yr elai, yna yr oedd yn rhaid iddynt gasglu mai barn ydoedd oddiwrth Dduw Israel.

Adn. 9. *Bu llaw yr Arglwydd yn erbyn y ddinas*] Sef dinas Gath, yr un modd ag y buasai yn Asdod. *O fychan hyd fawr*—y tylawd a'r cyfoethog, a'r ieuanc yn gystal a'r hen. *A chlwyf y marchogion oedd yn eu dirgel-leoedd*—neu yn 'dumewnol' iddynt, yr hwn yr addefir ei fod y math gwaethaf o'r lledewigwst, nid yn unig am ei fod yn fwy poenus, ond hefyd yn fwy anhawdd i'w feddyginiaethu.

Adn. 10. *Am hyny yr anfonasant hwy*

arch Duw i Ecron. A phan ddaeth arch Duw i Ecron, yr Ecroniaid a waeddasant, gan ddywedyd, Dygasant atom ni o amgylch arch Duw Israel, i'n lladd ni a'n pobl.

11 Am hyny yr anfonasant, ac y casglasant holl arglwyddi y Philistiaid; ac a ddywedasant, Danfonwch ymaith arch Duw Israel, a dychweler hi adref; fel na laddo hi ni a'n pobl: canys dinystr angeuol *oedd* trwy yr holl ddinas; trom iawn oedd llaw Duw yno.

12 A'r gwŷr, y rhai ni buant feirw, a darawyd â chlwyf y marchogion: a gwaedd y ddinas a ddyrchafodd *i'r* nefoedd.

## PENNOD VI.

ABU arch yr Arglwydd yn ngwlad y Philistiaid saith o fisoedd.

2 A'r Philistiaid a alwasant am yr offeiriaid ac am y dewiniaid, gan ddywedyd, Beth a wnawn ni i arch yr Arglwydd? hysbyswch i ni pa fodd yr anfonwn hi adref.

3 Dywedasant hwythau, Os ydych ar ddanfon ymaith arch Duw Israel, nac anfonwch hi yn wâg; ond gan roddi rhoddwch iddo offrwm dros gamwedd: yna y'ch iachêir, ac y bydd hysbys i chwi paham nad ymadawodd ei law ef oddiwrthych chwi.

4 Yna y dywedasant hwythau, Beth *fydd* yr offrwm dros gamwedd a roddwn iddo? A hwy a ddywedasant, Pump o ffolenau aur, a phump o lygod aur, *yn ol* rhif arglwyddi y Philistiaid; canys yr un bla *oedd* arnoch chwi oll, ac ar eich arglwyddi.

5 Am hyny y gwnewch luniau eich ffolenau, a lluniau eich llygod sydd yn difwyno y tir; a rhoddwch ogoniant i Dduw Israel: ysgatfydd efe a ysgafnha ei law oddiarnoch, ac oddiar eich duwiau, ac oddiar eich tir.

---

*arch Duw i Ecron*] Dinas Philistaidd arall, oddeutu saith milldir i'r gogledd-ddwyrain o Gath. *Yr Ecroniaid a waeddasant*—wrth weled fod dinystr angeuol yn rhedeg trwy yr holl ddinas, yr un modd ag y gwnaethai yn Asdod a Gath, adn. 11.

Adn. 11. *Danfonwch ymaith arch Duw Israel*] I wlad Israel, neu i Ebenezer, o'r lle y cymerasent hi; *fel na laddo hi ni a'n pobl*—oll gyda'n gilydd; canys yr oedd wedi lladd llawer eisioes trwy yr holl ddinas: *trom iawn oedd llaw Duw yno*—yn llawer trymach nag yn Asdod a Gath.

Adn. 12. *A'r gwŷr, y rhai ni buant feirw*] O'r pla dinystriol; *a darawyd â chlwyf y marchogion*—fel na ddiangodd neb rhag un o'r ddwy ffrewyll: *a gwaedd y ddinas a ddyrchafodd i'r nefoedd*—nid mewn gweddi at y gwir Dduw, ond mewn gofid ac alaeth o herwydd eu dolur a marwolaeth eu cyfeillion: ymadrodd diarebol am waedd ddirfawr.

PEN. VI. Adn. 1. *A bu arch yr Arglwydd yn ngwlad y Philistiaid*] Neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'yn *maes* y Philistiaid;' *saith o fisoedd*—cadwasant hi cyhyd a hyny, trwy eu bod yn hwyrfrydig i ymadael â'r fath drysor hynod, ac yn awyddus i wneyd pob ymdrech i'w chadw. Tybia rhai, ar ol iddynt fethu ei chadw yn y dinasoedd, iddynt ei hanfon i'r *maes* agored, lle y bu yn achlysur i ddifwyno y tir a'i gynyrch, adn. 5.

Adn. 2. *A'r Philistiaid a alwasant am yr offeiriaid*] Os offeiriaid Dagon oedd y rhai hyn, ac nid offeiriaid o Israel, rhaid eu bod yn wybodus nid yn unig yn nefodau eu crefydd eu hunain, ond hefyd yn hanes a helyntion Israel, adn. 6. *Dewiniaid*—rhai yn proffesu gwybod pethau dyfodol neu guddiedig trwy ramantu, &c. Gwel ar Deut. xviii. 10, 11. *Beth a wnawn ni i arch yr Arglwydd?*—Heb. 'JEHOFA.' Dyma y waith gyntaf iddynt ei galw yn 'arch Jehofa;' ac ymddengys eu bod yn dechreu meddwl erbyn hyn fod Duw Israel yn fwy na'r holl dduwiau.

Adn. 3. *Nac anfonwch hi yn wâg*] Gan yr ymddengys eich bod yn euog o gamwedd yn ei erbyn ef, anfonwch iddo offrwm dros y camwedd hwnw gyda'r arch. *Yna y'ch iachêir*—yr ystyr yw, Os iachêir chwi yn ganlynol i anfoniad yr arch a'r offrwm, bydd yn hysbys i chwi paham nad ymadawodd ei farnedigaethau ef oddiwrthych cyn hyn, sef am gadw o honoch ei arch ef; ac os na iachêir chwi, bydd hyny yn brawf nad yr arch yw yr achos o'ch trallod.

Adn. 4. *Pump o ffolenau aur*] Neu *ddarnau* aur wedi eu gwneyd ar *lun ffolenau*, am mai yn y rhan hòno o'r corff yr oedd clwyf y marchogion, yr hwn a osodid allan trwy y lluniau hyny. Gan nas gellid gwneyd llun y dolur, yr oeddynt i wneyd llun y rhan hòno o'r corff lle yr oedd y dolur. *A phump o lygod aur*—neu luniau y llygod a ddifwynasent y tir trwy ddinystrio ei ffrwythau. *Yn ol rhif arglwyddi y Philistiaid*—y rhai oeddynt bump, ac a oeddynt ond odid i ddwyn traul yr offrymau hyn: ond gwel ar adn. 18. Offryment y rhai hyn, nid o ddirmyg ar Dduw Israel, canys yr oeddynt yn ewyllysio ennill ei ffafr ef trwy hyny; ond yn brawf o'u hymostyngiad, fel, trwy roddi iddo yr arwydd hwn o'u cywilydd a'u trueni, y gallent ennill ei dosturi ef. Yr oedd yn arferiad yn mhlith yr hen genhedloedd i gysegru i'w duwiau y fath gofebau o'u gwaredigaethau ag a arddanghosent y *drygau* oddiwrth ba rai y rhyddhawyd hwynt; a dywed *Tavernier* fod hyn yn arferiad yn mhlith yr Indiaid hyd heddyw.

Adn. 5. *A lluniau eich llygod sydd yn difwyno y tir*] Dywedir fod llygod yn difwyno tir Palestina i ryw raddau bob amser; ac oni bae fod yno adar yn eu dyfetha, mai prin y ceid cnwd: ond diamau fod mwy o honynt ar yr achlysur hwn nag arferol. Dywed *Aristotle* i gnydau cyfain gael eu llwyr ddyfetha

6 A phaham y caledwch chwi eich calonau, megys y caledodd yr Aifftiaid a Pharao eu calon? pan wnaeth efe yn rhyfeddol yn eu plith hwy, oni ollyngasant hwy hwynt i fyned ymaith?
7 Yn awr gan hyny gwnewch fèn newydd, a chymerwch ddwy fuwch flith, y rhai nid aeth iau arnynt; a deliwch y buchod dan y fèn, a dygwch eu lloi hwynt oddiar eu hol i dŷ:
8 A chymerwch arch yr Arglwydd, a rhoddwch hi ar y fèn; a'r tlysau aur, y rhai a roddasoch iddi yn offrwm dros gamwedd, a osodwch mewn cist wrth ei hystlys hi, a gollyngwch hi i fyned ymaith.
9 Ac edrychwch, os â hi i fyny ar hyd ffordd ei bro ei hun i Bethsemes; *yna* efe a wnaeth i ni y mawr ddrwg hwn: ac onidê, yna y cawn wybod nad ei law ef a'n tarawodd ni; *ond mai* damwain *oedd* hyn i ni.
10 ¶ A'r gwŷr a wnaethant felly: ac a gymerasant ddwy fuwch flithion, ac a'u daliasant hwy dan y fèn, ac a gauasant eu lloi mewn tŷ:
11 Ac a osodasant arch yr Arglwydd ar y fèn, a'r gist a'r llygod aur, a lluniau eu ffolenau hwynt.
12 A'r buchod a aethant ar hyd y ffordd uniawn i ffordd Bethsemes; ar hyd y brif-ffordd yr aethant, dan gerdded a brefu, ac ni throisant tua'r llaw ddeau na thua'r aswy: ac arglwyddi y Philistiaid a aethant ar eu hol hyd derfyn Bethsemes.
13 A *thrigolion* Bethsemes *oedd* yn medi eu cynauaf gwenith yn y dyffryn: ac a ddyrchafasant eu llygaid, ac a ganfuant yr arch; ac a lawenychasant wrth *ei* gweled.

---

gan lygod mewn un noson: gwel ar pen. v. 6. *Rhoddwch ogoniant i Dduw Israel*—cydnabyddwch trwy yr anrheg hon mai oddiwrtho ef y daeth y pläau hyn, a bod ganddo allu i'w symud, yn gystal a nerth i drymhau ei law arnoch chwi, eich duwiau, a'ch tir.

Adn. 6. *A phaham y caledwch chwi eich calonau, &c.*] Gellir casglu oddiyma fod rhai o'r Philistiaid am gadw yr arch fyth yn eu meddiant, er fod ereill am ei hanfon hi ymaith. Gwyddai yr offeiriaid a'r dewiniaid hyn rywbeth am farnau Duw ar yr Aifftiaid a Pharao yn y deg pla, o herwydd iddynt hwy galedu eu calon i gadw Israel yn eu gwasanaeth; ac na pheidiodd y pläau hyny nes iddynt eu gollwng hwynt ymaith: ac ofnent mai felly y byddai yn eu plith hwythau os na ollyngent ymaith yr arch.

Adn. 7. *Gwnewch fèn newydd*] Gorchymynid hyn er anrhydedd i'r arch, fel na fyddai iddi gael ei halogi trwy fèn na buchod a ddefnyddid at wasanaeth gyffredin. *A chymerwch ddwy fuwch flith*—sef rhai yn rhoddi llaeth, ac yn berchen lloi. Yr oedd y math yma o fuchod yn cael eu dewis hefyd er mwyn cael gwybodaeth amlycach o gyfryngiad JEHOFA yn nygiad yr arch i wlad Israel, ac yn y pläau, adn. 9; canys byddai buchod annghynefin â'r *iau* yn debyg o wylltio, gwingo, a chroes-dynu, yn lle myned ar hyd y ffordd uniawn; a byddai rhai â *lloi* ganddynt, yn debyg o droi adref at eu lloi, yn lle myned yn mlaen ar eu taith.

Adn. 8. *A'r tlysau aur*] Sef lluniau y ffolenau a'r llygod, adn. 4; *y rhai a roddasoch iddi*—sef i'r arch; Saes. *iddo*, sef i Dduw yr arch, adn. 3. *Gollyngwch hi i fyned ymaith*—heb un gyrwr i arwain y buchod. Dywed yr Iuddewon iddynt eu gosod mewn man lle yr oedd tair ffordd yn cydgyfarfod, un o ba rai yn unig a arweiniai i wlad Israel; ac i'r buchod fyned ar hyd hòno, yr hyn oedd yn arwydd eu bod dan dywysiad dwyfol.

Adn. 9. *I Bethsemes*] Dinas offeiriadol yn llwyth Juda, oddeutu saith milldir i'r gogledd o Ecron. *Mai damwain oedd hyn i ni*—dywedir fod y gair Hebreig *mikreh*, a gyfieithir yma *damwain*, yn deilliaw oddiwrth *karah*, cydgyfarfod, cyduno; a'i fod yn arwyddo dygwyddiad a fyddo yn codi yn naturiol oddi wrth y fath achosion cyd-darawiadol ag a raid, yn ol trefn a natur pethau, roddi bodaeth iddo. Fel hyn gallasai awyr afiach, agerau llygredig, neu luniaeth gwael, wedi ei achosi gan brinder cyffredinol, gynyrchu y dolur dan sylw; ac i rywbeth o'r fath yma y priodolasent ef, oni buasai i'r prawfiadau ereill gymeryd lle. Dyry hyn i ni olygiad priodol ar *ddamwain;* a dengys i ni ei bod yn beth mor ddibynol ar *ddwyfol ragluniaeth* a dim a all fod; ïe, mewn gair, mai rhanau o'r llywodraeth ddwyfol yw y dygwyddiadau hyn.

Adn. 10. *A'r gwŷr a wnaethant felly*] Yn union fel y cynghorwyd hwynt gan yr offeiriaid a'r dewiniaid yn adn. 7, 8.

Adn. 11. *Ac a osodasant arch yr Arglwydd ar y fèn*] Er mai y Philistiaid a wnaethant hyn, eto ni laddwyd hwynt am gyffwrdd â'r arch, fel y lladdwyd Uzzah ar ol hyn, er mai Lefiad ydoedd, 2 Sam. vi. 6, 7. Y mae Duw yn goddef i bethau gael eu gwneyd gan ei elynion yn eu hanwybodaeth, y rhai nas goddefa efe i'w bobl eu gwneuthur, y rhai a droseddant yn ngwyneb gwybodaeth well.

Adn. 12. *A'r buchod a aethant ar hyd y ffordd uniawn*] Heb sefyll ar y ffordd, na throi i un groesffordd, na chynyg dychwelyd at eu lloi, er nad oedd neb gyda hwynt i'w gyru, yr hyn a ddengys eu bod dan arweiniad Duw ei hun. *Dan gerdded a brefu*—wrth gerdded yr oeddynt yn brefu am eu lloi ag oeddynt gartref, yr hyn a ddanghosai eu serch naturiol hwy atynt, gwybodaeth o'u colli, a hiraeth am danynt. Fel hyn yr oedd natur yn gweithredu ynddynt, a gallu goruwchnaturiol yn gweithredu arnynt, gan beri iddynt hwythau weithredu yn groes i natur. *Ac arglwyddi y Philistiaid a aethant ar eu hol*—nid o'u blaen i'w harwain, nac wrth eu hochr i'w

14 A'r fèn a ddaeth i faes Josua y
Bethsemesiad, ac a safodd yno; ac
yno yr *oedd* maen mawr; a hwy a
holltasant goed y fèn, ac a offrymas-
ant y buchod yn boeth-offrwm i'r Ar-
glwydd.
15 A'r Lefiaid a ddisgynasant arch
yr Arglwydd, a'r gist yr hon *oedd*
gyda hi, yr hon *yr oedd* y tlysau aur
ynddi, ac a'u gosodasant ar y maen
mawr: a gwŷr Bethsemes a offrym-
asant boeth-offrymau, ac a aberthas-
asant ebyrth i'r Arglwydd y dydd
hwnw.
16 A phum arglwydd y Philistiaid,
pan welsant *hyny*, a ddychwelasant i
Ecron y dydd hwnw.
17 A dyma y ffolenau aur, y rhai a
roddodd y Philistiaid yn offrwm dros
gamwedd i'r Arglwydd; dros Asdod
un, dros Gaza un, dros Ascalon un,
dros Gath un, dros Ecron un:
18 A'r llygod aur, *yn ol* rhifedi holl
ddinasoedd y Philistiaid, *yn perthynu*
i'r pum arglwydd, *yn gystal* y dinas-
oedd caerog, a'r trefi heb gaerau, hyd
y *maen* mawr Abel, yr hwn y gosod-
asant arno arch yr Arglwydd; *yr hwn
sydd* hyd y dydd hwn yn maes Josua
y Bethsemesiad.
19 ¶ Ac efe a darawodd wŷr Beth-
semes, am iddynt edrych yn arch yr
Arglwydd, ïe, tarawodd o'r bobl ddeng-
wr a thriugain a deng mil a deugain
o wŷr. A'r bobl a alarasant, am i'r
Arglwydd daro y bobl â lladdfa fawr.

---

gyru ar hyd y brif-ffordd, eithr ar eu *hol*, i gael sicrwydd o wirionedd y dygwyddiad.

Adn. 13. *Eu cynauaf gwenith*] Yr hwn a ddechreuai yn union ar ol y pentecost.

Adn. 14. *A'r fèn a ddaeth i faes Josua y Bethsemesiad, ac a safodd yno*] Yn nhiriogaeth dinas yn perthyn i'r offeiriaid, gwaith pa rai oedd gofalu am yr arch. *Ac yno yr oedd maen mawr*—yr hwn yr ymddengys ei fod yn derfyn rhwng y ddwy wlad. *A hwy a holltasant goed y fèn*—sef y Lefiaid a'r offeiriaid ag oeddynt yn preswylio yn Bethsemes. Trwy fod y *fèn* a'r *anifeiliaid* wedi bod ar waith fel hyn, nis gellid eu defnyddio mwyach at unrhyw wasanaeth dymhorol; am hyny aberthwyd y gwartheg, a holltwyd y fèn i wneyd tân i ddifa yr aberth.

Adn. 15. *A'r Lefiaid a ddisgynasant arch yr Arglwydd*] Ond odid yr offeiriaid, y rhai oeddynt oll yn Lefiaid; neu y Lefiaid o deulu Cohath, i'r rhai y rhoddwyd Bethsemes, Jos. xxi. 10, 16, ac i'r rhai y perthynai cludo yr arch, Num. iv. 15. *A'r gist*—lle yr oedd y ffolenau a'r llygod aur. *Ac a'u gosodasant ar y maen mawr*—felly nid ar hwn yr offrymwyd y poeth-offrymau, oddieithr i'r arch a'r gist gael eu symud oddiarno yn gyntaf. *A gwŷr Bethsemes*—sef yr offeiriaid a'r Lefiaid; *a aberthasant ebyrth i'r Arglwydd*—nid yn unig y ddwy fuwch yn boeth-offrymau, ond ebyrth ereill hefyd o'u hanifeiliaid eu hunain, yn arwydd o orfoledd a diolchgarwch am gael yr arch oddiwrth y Philistiaid. Tybia rhai fod tri pheth yn feius yn yr offrymiad hwn: (1) Trwy iddynt offrymu buchod, ac nid anifeiliaid gwryw, Lef. i. 3; (2) Trwy iddynt eu hoffrymu mewn lle gwaharddedig, Lef. xvii. 4; (3) Trwy iddynt ddefnyddio tân cyffredin, Lef. ix. 24. Eithr dylid sylwi nad oedd y rheolau hyn yn cyfeirio ond at offrymau ac aberthau sefydlog a rheolaidd. Ac heb law hyny, trwy fod yr arch yma, a bod Duw eto heb benodi unrhyw le sefydlog iddi ar ol ei symud o Silo, yr oedd yn rhesymol iddynt feddwl y byddai eu haberth yma yn gymeradwy gan Dduw. A dewisent offrymu y buchod hyn i Dduw, am yr ystyrient hwynt yn perthyn i Dduw, ar ol bod yn llusgo ei arch ef, a chael eu harwain yn neillduol ganddo ef.

Adn. 16. *Pan welsant hyny*] Fod y ddwy fuwch wedi myned â'r fèn yn ddiogel i ddinas y Lefiaid, yr hyn oedd yn brawf o gyfryngiad Duw yn y cwbl. Y mae yn debygol iddynt ddychwelyd i Ecron cyn i'r bobl ymgasglu yn nghyd i aberthu, er mwyn eu diogelwch eu hunain.

Adn. 17. *A dyma y ffolenau aur*] O ba rai yr oedd pump yn unig, un dros bob prif ddinas neu dywysogaeth, ar draul pum arglwydd y Philistiaid.

Adn. 18. *A'r llygod aur, yn ol rhifedi holl ddinasoedd y Philistiaid*] Yr oedd y dinystr a wnaed trwy yr holl wlad gan y llygod wedi bod yn fwy cyffredinol na chlwyf y marchogion; ac am hyny ymddengys fod holl ddinasoedd a threfi y Philistiaid wedi anfon pob un ei llygoden fel offrwm dros gamwedd: er y tybia rhai nad anfonwyd ond *pump*, y rhai yr oedd yr holl ddinasoedd a'r trefi yn gorfod dwyn eu traul: ond gwel ar adn. 4. *Hyd y maen mawr Abel*—neu 'ŵylofain.' Gelwid ef felly o herwydd galar y bobl o achos y lladdedigion, adn. 19.

Adn. 19. *Ac efe a darawodd wŷr Bethsemes*] Tarawyd hwy gan yr Arglwydd, meddai Josephus, â mellten ddinystriol; *am iddynt edrych yn arch yr Arglwydd*—yr hyn yr oedd Duw wedi ei wahardd, nid yn unig i'r bobl gyffredin, ond hefyd i feibion Lefi, Num. iv. 20. Yr oedd eu cywreinrwydd yn eu gyru i dremio ar gynwysiad yr arch, sef ar y llechau a'r gorchymynion a ysgrifenasai JEHOFA â'i fys ei hun. *Ddengwr a thriugain, a deng mil a deugain o wŷr*—y mae y nifer hwn wedi dyrysu y berniaid yn fawr, trwy nad allai pentref bychan Bethsemes anfon y fath rifedi i'r maes, ac nad yw yn debygol i gynifer edrych i mewn i'r arch cyn i anfoddlonrwydd Duw ddechreu ymddangos. Dywed *Boothroyd* fod y wreiddiol yma yn groes i drefn arferol yr Hebraeg, yn yr hon y ceir y nifer mwyaf yn blaenori y lleiaf. Yr Hebraeg yw, 'Tarawodd o'r bobl ddengwr a thriugain—deng mil a deugain.' Tybia *Jarchi* a rabbiniaid ereill mai yr ystyr yw, 'Tarawodd ddengwr a thriugain, yn werth deng mil a

20 A gwŷr Bethsemes a ddywedasant, Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr Arglwydd Dduw santaidd hwn? ac at bwy yr âi efe oddiwrthym ni?
21 ¶ A hwy a anfonasant genadau at drigolion Ciriath-jearim, gan ddywedyd, Y Philistiaid a ddygasant adref arch yr Arglwydd; deuwch i waered, *a* chyrchwch hi i fyny atoch chwi.

## PENNOD VII.

A GWYR Ciriath-jearim a ddaethant, ac a gyrchasant i fyny arch yr Arglwydd, ac a'i dygasant hi i dŷ Abinadab, yn y bryn, ac a santeiddiasant Eleazar ei fab ef i gadw arch yr Arglwydd.
2 Ac o'r dydd y trigodd yr arch yn Ciriath-jearim, y bu ddyddiau lawer; nid amgen nag ugain mlynedd: a holl dŷ Israel a alarasant ar ol yr Arglwydd.
3 ¶ A Samuel a lefarodd wrth holl dŷ Israel, gan ddywedyd, Os dychwelwch chwi at yr Arglwydd â'ch holl galon, bwriwch ymaith y duwiau dyeithr o'ch mysg, ac Astaroth, a pharotowch eich calon at yr Arglwydd, a gwasanaethwch ef yn unig; ac efe a'ch gwared chwi o law y Philistiaid.
4 Yna meibion Israel a fwriasant ymaith Baalim ac Astaroth, a'r Arglwydd yn unig a wasanaethasant.
5 A dywedodd Samuel, Cesglwch

---

deugain o wŷr.' Y mae y *Syriaeg* a'r *Arabaeg* yn darllen, 'Dengwr a thriugain a phum mil.' Y mae rhai yn cyfieithu y wreiddiol, 'Tarawodd ddengwr a thriugain *allan o* ddeng mil a deugain o wŷr;' ac ereill, 'Ddengwr a thriugain, *sef* deg a deugain o bob mil.' Yn ol hyn yr oedd 1400 o wŷr yn bresenol, o'r rhai y lladdwyd 70, neu un o bob ugain. Ond cafodd *Dr. Kennicott* dri ailun Hebreig tra chymeradwy, wedi eu hysgrifenu tua dechre y 12fed canrif, yn y rhai ni sonir ond am 70 wedi eu lladd; a hyn hefyd yw y rhif a enwir gan *Josephus.* Y dyb gyffredin yw mai chwanegiad wedi ymlusgo i'r testyn yw y 'deng mil a deugain o wŷr.' *Lladdfa fawr*—ac felly yr ydoedd, wrth ystyried bychandra y lle, a bod dengwr a thriugain o'r medelwyr wedi eu lladd mewn un diwrnod.

Adn. 20. *Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr Arglwydd Dduw santaidd hwn?*] Dywedent hyn naill ai mewn ffordd o gŵyn, o herwydd llymder manwl cyfiawnder Duw; neu ynte mewn parchedig ofn yn ngwyneb ei santeiddrwydd ef. Pan symudasant hwy y drugareddfa, neu gaead yr arch, i edrych ar y gyfraith o'i mewn hi, yr oeddynt yn tynu ymaith yr unig beth a allai ddiogelu eu bywyd fel troseddwyr; nid oedd ond digofaint a dinystr i bechaduriaid oddiwrth santeiddrwydd Duw heb y drugareddfa. Felly nis gall neb eto ond trwy iawn Crist, o'r hwn yr oedd y drugareddfa yn gysgod, sefyll yn ngwyneb cyfiawnder a santeiddrwydd Duw. *Ac at bwy yr âi efe oddiwrthym ni?*—pwy a feiddia dderbyn yr arch i'w plith gyda'r fath berygl iddynt eu hunain?

Adn. 21. *A hwy a anfonasant genadau at drigolion Ciriath-jearim*] Dinas yn sefyll oddeutu chwe milldir i'r gogledd-ddwyrain o Bethsemes, a 13 o Ecron. *A chyrchwch hi i fyny atoch chwi* — ni ddywedasant air am y lladdfa fawr yn eu plith eu hunain, fel yr achos o gymhell yr arch i wŷr Ciriath-jearim, rhag i hyny beri iddynt ei gwrthod hi; eithr cymhellent hi iddynt megys o garedigrwydd. Y mae yn debyg fod *Silo* yn awr wedi ei dinystrio gan y Philistiaid ar ol iddynt orchfygu Israel, ac mai hyny oedd y rheswm paham nad anfonwyd hi yno: gwel Jer. vii. 12, 14.

PEN. VII. Adn. 1. *A gwŷr Ciriath-jearim a ddaethant*] I gyrchu yr arch o Bethsemes; hyny yw, anfonasant offeiriaid neu Lefiaid i'w chyrchu. *I dŷ Abinadab*—dywed Josephus mai un o'r Lefiaid oedd hwn; a phe amgen, nis gallai ef neillduo Eleazar ei fab i gadw a gwylio yr arch, rhag i neb gyffwrdd â hi ond y rhai a oddefai Duw. *Yn y bryn*—dewiswyd y lle hwn o herwydd ei *gadernid,* fel y byddai yr arch mewn mwy o ddiogelwch; ac am ei fod yn le *uchel,* ac felly yn weledig o bell, fel y gallai y bobl gyfeirio eu gwynebau a'u gweddiau tua'r arch.

Adn. 2. *Ugain mlynedd*] Ni ddywedir mai yr ugain mlynedd hyn oedd holl yspaid arhosiad yr arch yno; canys bu yno o yn fuan ar ol amser Eli hyd deyrnasiad Dafydd, (2 Sam. vi. 2,) yr hyn oedd 46 o flynyddau: eithr bu yno ugain mlynedd cyn i Israel gael eu dwyn i deimlad o'u pechod a'u trueni. *A holl dŷ Israel a alarasant ar ol yr Arglwydd*—mewn dagrau o herwydd iddo ymadael oddiwrthynt, ac mewn gweddiau am iddo ddychwelyd atynt. Yr oedd eu heilunaddoliaeth wedi gwreiddio mor ddwfn ynddynt, fel nad oedd colli yr arch, na lladd cynifer o'u brodyr, yn cael effaith ddyladwy ar eu calon; ac aeth ugain mlynedd heibio cyn iddynt gael eu dwyn i deimlad priodol o'u pechod a'u heuogrwydd.

Adn. 3. *A Samuel a lefarodd wrth holl dŷ Israel*] A alwai ar yr holl bobl, o le i le, yn ystod yr ugain mlynedd hyny, i fwrw ymaith eu heilunod, ac edifarhau gerbron yr Arglwydd, a'i wasanaethu ef yn unig. *Ac efe a'ch gwared o law y Philistiaid*—bu Israel lawer o flynyddau dan orthrymder y Philistiaid, fel y gwelsom yn hanes Samson ac Eli; ac yr oedd y gorthrymder hwnw wedi cryfhau i raddau ar ol eu darostyngiad diweddaf, pan gymerwyd yr arch; ond y mae Samuel yma yn pregethu gwaredigaeth effeithiol iddynt ar yr ammodau rhesymol hyn.

Adn. 4. *Baalim ac Astaroth*] Y mae yr enwau hyn yn y rhif lluosog; y cyntaf yn wrywaidd, a'r ail yn fenywaidd; ac felly yn cynwys eu holl dduwiau a'u duwiesau, y rhai a fwriwyd ymaith trwy fendith Duw ar weinidogaeth Samuel.

Adn. 5. *Cesglwch holl Israel i Mispeh*] Ar

holl Israel i Mispeh, a mi a weddiaf drosoch chwi at yr Arglwydd.

6 A hwy a ymgasglasant i Mispeh, ac a dynasant ddwfr, ac a'*i* tywalltasant gerbron yr Arglwydd, ac a ymprydiasant y diwrnod hwnw, ac a ddywedasant yno, Pechasom yn erbyn yr Arglwydd. A Samuel a farnodd feibion Israel yn Mispeh.

7 A phan glybu y Philistiaid fod meibion Israel wedi ymgasglu i Mispeh, arglwyddi y Philistiaid a aethant i fyny yn erbyn Israel: a meibion Israel a glywsant, ac a ofnasant rhag y Philistiaid.

8 A meibion Israel a ddywedasant wrth Samuel, Na thaw di â gwaeddi drosom ni at yr Arglwydd ein Duw, ar iddo ef ein gwared ni o law y Philistiaid.

9 ¶ A Samuel a gymerth laeth-oen, ac a'*i* hoffrymodd ef i gyd yn boethoffrwm i'r Arglwydd: a Samuel a waeddodd ar yr Arglwydd dros Israel; a'r Arglwydd a'i gwrandawodd ef.

10 A phan oedd Samuel yn offrymu y poeth-offrwm, y Philistiaid a nesasant i ryfel yn erbyn Israel: a'r Arglwydd a daranodd â tharanau mawr yn erbyn y Philistiaid y diwrnod hwnw, ac a'u drylliodd hwynt, a lladdwyd hwynt o flaen Israel.

11 A gwŷr Israel a aethant o Mispeh, ac a erlidiasant y Philistiaid, ac a'u tarawsant hyd oni *ddaethant* dan Bethcar.

12 A chymerodd Samuel faen, ac a'*i* gosododd rhwng Mispeh a Sen, ac a alwodd ei enw ef Ebenezer; ac a

---

derfyn Juda a Benjamin, lle y cyfarfu y llwythau gynt yn achos gordderchwraig y Lefiad, Barn. xx. 1. Tybia rhai eu bod yn cael eu gwahodd yma yn *arfog*, am na buasent yn ddiogel heb hyny yn nghymydogaeth y Philistiaid. *A mi a weddiaf drosoch chwi*—gallasai Samuel weddio drostynt ar ei ben ei hun yn y fan lle yr ydoedd; ond efe a wyddai y byddai i'w hymuniad hwy gydag ef yn y ddyledswydd hono dueddu i berffeithio eu diwygiad, a'u sefydlu yn addoliad a gwasanaeth Duw.

Adn. 6. *A dynasant ddwfr, ac a'i tywalltasant gerbron yr Arglwydd*] Fel arwydd allanol, trwy yr hwn y danghosent eu haflendid moesol eu hunain, a'u hangen am gael eu glanhau trwy ras a gwaed y taenelliad, a'u hawydd gwirioneddol i dywallt eu calonau mewn edifeirwch gerbron Duw: gwel Salm. xxii. 14, a lxii. 8, Galar. ii. 19. *Ac a ymprydiasant y diwrnod hwnw*—gan ymattal oddiwrth fwyd a diod, a chyfaddef eu pechodau. *A Samuel a farnodd feibion Israel yn Mispeh*—gan ddysgu iddynt eu dyledswyddau at Dduw a dynion, penderfynu amrafaelion yn mhlith y bobl, a chospi drwgweithredwyr.

Adn. 7. *Arglwyddi y Philistiaid a aethant i fyny yn erbyn Israel*] Gyda'u byddinoedd i ymladd â hwynt, gan feddwl ond odid mai i ddybenion rhyfelgar, neu i ymryddhau o'u llaw hwynt, yr oeddynt wedi ymgynull. Ond wedi cyfarfod i weddio yno yr oedd Israel, ac nid i ryfela; ac mewn atebiad i weddi y drylliodd yr Arglwydd eu gelynion o'u blaen hwynt, adn. 9, 10. *A meibion Israel a glywsant, ac a ofnasant*—am nad oeddynt yn dysgwyl rhyfel, nac yn barod ati. Fel hyn, pan y mae pechaduriaid yn dechreu edifarhau a diwygio, rhaid iddynt ddysgwyl i Satan gasglu ei holl fyddinoedd yn eu herbyn hwy, i'w gwrthwynebu a'u brawychu.

Adn. 8. *Na thaw di â gwaeddi drosom ni at yr Arglwydd*] Troisant at Samuel, nid fel eu cadfridog milwraidd, ond fel proffwyd Duw. Yr oedd ef wedi bod yn gweddio drostynt eisioes, a deisyfent arno barhau heb dewi, am y gwyddent mai llawer a ddichon taerweddi y cyfiawn, ac mai Duw yn unig a allai eu gwaredu.

Adn. 9. *A Samuel a gymerth laeth-oen*] Neu oen yn sugno; *ac a'i hoffrymodd ef i gyd*—heb i'r croen fyned i'r offeiriad, fel yn y poeth-offrymau ereill. Er nad oedd Samuel yn offeiriad, na'r lle hwn wedi ei benodi i aberthu ynddo, eto gellir meddwl fod ganddo ef, fel proffwyd, awdurdod oddiwrth Dduw i godi allor ac offrymu mewn unrhyw le ar achosion o angenrheidrwydd; canys nid oedd yr arch na'r tabernacl yn y lle hwn. Neu gall mai offeiriad rheolaidd oedd yma yn aberthu wrth orchymyn Samuel. *A Samuel a waeddodd ar yr Arglwydd*—gan offrwm gweddi gyda'i aberth. Fel hyn y mae ein Harchoffeiriad mawr ni yn eiriol drosom yn y nef ar sail ei aberth; ac fel hyn y dylem ninau, yn ein holl weddiau, fod â'n golwg ar ei aberth anfeidrol ef, trwy yr hwn yn unig y gallwn gael ein gwrandaw. *A'r Arglwydd a'i gwrandawodd ef*—a roddes arwydd ei fod yn ei wrandaw, ond odid trwy anfon tân o'r nefoedd, neu oddiar yr allor, i ysu yr aberth, fel yn achos Gedeon a Manoa, Barn. vi. 21, a xiii. 20.

Adn. 10. *A'r Arglwydd a daranodd â tharanau mawr*] Yn cael eu hachosi gan fellt ofnadwy, y rhai a laddasant lawer o'r Philistiaid, ac a barasant i'r gweddill ffoi, gan adael eu harfau ar ol. Dywed Josephus fod daeargryn mawr hefyd dan eu traed, ac i lawer o honynt gael eu llyncu yn fyw i'r holltau a wneid yn y ddaear.

Adn. 11. *A gwŷr Israel a aethant o Mispeh*] Ar ol y Philistiaid ffoedig; *ac a'u tarawsant*—â'r arfau a gymerasent oddiar eu gelynion, os nad oeddynt yn arfog o'r blaen, adn. 5; *hyd oni ddaethant dan Bethcar*—yn llwyth Dan, ar derfyn y Philistiaid. Y mae yn debyg i'r rhan fwyaf o fyddin y Philistiaid gael eu lladd, tra nad ymddengys i Israel golli un.

Adn. 12. *A chymerodd Samuel faen*] Nid i fod yn ddelw i ymgrymu iddi, (Lef. xxvi. 1.)

ddywedodd, Hyd yma y cynorthwyodd yr Arglwydd nyni.
13 ¶ Felly y darostyngwyd y Philistiaid, ac ni chwanegasant mwyach ddyfod i derfyn Israel: a llaw yr Arglwydd a fu yn erbyn y Philistiaid holl ddyddiau Samuel.
14 A'r dinasoedd, y rhai a ddygasai y Philistiaid oddiar Israel, a roddwyd adref i Israel, o Ecron hyd Gath; ac Israel a ryddhaodd eu terfynau o law y Philistiaid: ac yr oedd heddwch rhwng Israel a'r Amoriaid.
15 A Samuel a farnodd Israel holl ddyddiau ei fywyd.
16 Aeth hefyd o flwyddyn i flwyddyn oddiamgylch i Bethel, a Gilgal, a Mispeh, ac a farnodd Israel yn yr holl leoedd hyny.
17 A'i ddychwelfa *ydoedd* i Ramah; canys yno *yr oedd* ei dŷ ef: yno hefyd y barnai efe Israel; ac yno yr adeiladodd efe allor i'r Arglwydd.

## PENNOD VIII.

AC wedi heneiddio Samuel, efe a osododd ei feibion yn farnwyr ar Israel.
2 Ac enw ei fab cyntafanedig ef oedd Joel; ac enw yr ail, Abiah: *y rhai hyn oedd* farnwyr yn Beerseba.
3 A'i feibion ni rodiasant yn ei

---

ond yn gofgolofn o ddaioni Duw iddynt yn y fuddugoliaeth a gawsant; *ac a alwodd ei enw ef Ebenezer*—sef MAEN CYMHORTH. *Hyd yma y cynorthwyodd yr Arglwydd nyni*—cydnabyddai Samuel, wrth osod i fyny y maen hwn, mai yr Arglwydd a gynorthwyasai Israel yn eu holl gyfyngderau erioed, ac yn enwedig yn eu buddugoliaeth ddiweddar ar y Philistiaid; a mynai iddo fod yn gofarwydd o hyny, i galonogi Israel i ymddiried yn yr Arglwydd am gymhorth rhagllaw. Er fod Israel wedi cael eu gorchfygu ddwywaith yn y lle hwn gan y Philistiaid, ac mai yma y dygwyd yr arch oddiarnynt, pen. iv. 2, 10, a v. 1; eto yn awr rhoddwyd y maen hwn i fyny yma yn gof am fuddugoliaeth Israel ar y Philistiaid, a hyny trwy gymhorth Duw.

Adn. 13. *Ni chwanegasant mwyach ddyfod i derfyn Israel*] Yn fyddin luosog: ni wnaent mwyach ond eu blino hwynt trwy gwmniau gwasgarog yn unig. *Holl ddyddiau Samuel*—hyny yw, tra yr oedd Samuel eu hunig farnwr neu lywodraethwr; eithr yn nyddiau Saul hwy a ddaethant.

Adn. 14. *A'r dinasoedd—a roddwyd adref i Israel*] Trwy fod y Philistiaid yn awr wedi eu gwanychu, rhoddasant y dinasoedd hyn iddynt yn ddiwrthwynebiad, ac nid trwy nerth arfau. *O Ecron hyd Gath*—LXX, 'o *Ascelon* hyd Gath.' *Ac yr oedd heddwch rhwng Israel a'r Amoriaid*—hyny yw, ymlonyddodd y Canaaneaid, heb gynyg ymosod ar Israel, pan welsant fod y Philistiaid, y rhai cryfaf o hen drigolion y wlad, wedi cael eu dryllio a'u darostwng o'u blaen hwynt.

Adn. 15. *Samuel a farnodd Israel holl ddyddiau ei fywyd*] Meddylir iddo ddechreu barnu yn 40 mlwydd oed, ac iddo farw yn 100 mlwydd oed; ac os felly, bu yn barnu Israel 60 mlynedd. Er fod Saul yn frenin yn mlynyddau olaf Samuel, eto ni pheidiodd Samuel â bod yn farnwr hyd ei farwolaeth. Ystyrid ef yn gyffredin fel llywodraethwr y bobl, tra nad edrychid ar Saul ond fel cadfridog y byddinoedd.

Adn. 16. *Aeth hefyd o flwyddyn i flwyddyn, &c.*] Trwy ei gylchdeithiau rheolaidd fel barnwr a phroffwyd, i benderfynu materion gwladol ac eglwysig. Pan yn *Bethel*, gallai llwyth Ephraim, a holl barthau gogleddol y wlad, ddyfod ato; pan yn *Gilgal*, gallai llwyth Benjamin, a'r ddau lwyth a hanner tuhwnt i'r Iorddonen, ymgynghori âg ef; a phan yn *Mispeh*, yr oedd yn nghyraedd Juda, Simeon, a Dan.

Adn. 17. *A'i ddychwelfa ydoedd i Ramah*] Ar ol iddo orphen ei deithiau barnol, efe a ddychwelai i Ramah, ac a arhosai yno, nes y deuai yr amser iddo ddechreu ar ei deithiau eilwaith; *canys yno yr oedd ei dŷ ef*—a thŷ neu gartref ei rieni o'i flaen, pen. i. 1, 19. *Yno hefyd y barnai efe Israel*—yno yr oedd ei lys, yn yr hwn yr eisteddai o ddydd i ddydd tra y byddai gartref. *Ac yno yr adeiladodd efe allor*—fel, trwy gysylltu aberthau gyda'i weddiau, y gallai efe yn rhwyddach gael cyfarwyddyd a chymhorth Duw mewn achosion o bwys. Diamau iddo godi yr allor hon trwy gyfarwyddyd dwyfol, a bod ganddo offeiriaid rheolaidd yn gweini wrthi. A thrwy fod Silo yn awr wedi ei dryllio, ac nad oedd un lle arall wedi ei benodi eto i ddwyn yr aberthau iddo, nid oedd dim yn y gyfraith yn erbyn codi allor yma; ac efe a wnaeth hyny, fel y patrieirch gynt, yn ei gartref ei hun, nid yn unig er cyfleusdra i'w deulu, ond er lles cyffredinol i'r holl wlad.

PEN. VIII. Adn. 1. *Ac wedi heneiddio Samuel*] Ac felly fod yn rhy hen i gyflawni ei deithiau a'i lafur blaenorol, trwy ei fod bellach oddeutu 60 mlwydd oed; *efe a osododd ei feibion yn farnwyr ar Israel*—yn rhaglawiaid neu ddirprwywyr dano ef, neu yn farnwyr cynorthwyol i drin materion yn Beerseba, lle nas gallai efe yn gyfleus ei gyraedd. Ni buont erioed yn *farnwyr* yn ystyr priodol y gair, trwy mai Samuel ei hun oedd y barnwr olaf yn Israel, ac iddo ddal y swydd hon hyd ddydd ei farwolaeth, pen. vii. 15.

Adn. 2. *Y rhai hyn oedd farnwyr yn Beerseba*] Tra yr oedd Samuel ei hun yn cyflawni y swydd gartref yn Ramah; neu *hyd* Beerseba, fel y mae rhai yn deall y gair; sef o Dan hyd Beerseba; gan gymeryd yr holl wlad, o eithaf y gogledd hyd eithaf y deau.

Adn. 3. *A'i feibion ni rodiasant yn ei ffyrdd ef*] Ni wasanaethasant Dduw, ac ni wnaethant gyfiawnder i ddynion, fel y gwnai Samuel eu tad. Y mae wedi bod yn ofid i ddynion santaidd yn fynych, fod eu plant heb rodio yn eu camrau hwy; ie, yn fynych, ceir

ffyrdd ef, eithr troisant ar ol cybydd-dra, a chymerasant obrwy, a gŵyrasant farn.
4 Yna holl henuriaid Israel a ymgasglasant, ac a ddaethant at Samuel i Ramah,
5 Ac a ddywedasant wrtho ef, Wele, ti a heneiddiaist, a'th feibion ni rodiant yn dy ffyrdd di: yn awr gosod arnom ni frenin i'n barnu, megys yr holl genhedloedd.
6 ¶ A'r ymadrodd fu ddrwg gan Samuel, pan ddywedasant, Dyro i ni frenin i'n barnu: a Samuel a weddiodd ar yr Arglwydd.
7 A dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel, Gwrando ar lais y bobl yn yr hyn oll a ddywedant wrthyt: canys nid ti y maent yn ei wrthod, ond myfi a wrthodasant, rhag i mi deyrnasu arnynt.
8 Yn ol yr holl weithredoedd a wnaethant, o'r dydd y dygais hwynt o'r Aifft hyd y dydd hwn, ac *fel* y gwrthodasant fi, ac y gwasanaethasant dduwiau dyeithr; felly y gwnant hwy hefyd i ti.
9 Yn awr gan hyny gwrando ar eu llais hwynt: eto gan dystiolaethu tystiolaetha iddynt, a dangos iddynt ddull y brenin a deyrnasa arnynt.
10 ¶ A Samuel a fynegodd holl eiriau yr Arglwydd wrth y bobl, y rhai oedd yn ceisio brenin ganddo.
11 Ac efe a ddywedodd, Dyma ddull y brenin a deyrnasa arnoch chwi: Efe a gymer eich meibion, ac a'*u* gesyd iddo yn ei gerbydau, ac yn wŷr meirch iddo, ac i redeg o flaen ei gerbydau ef:
12 Ac a'u gesyd *hwynt* iddo yn dywysogion miloedd, ac yn dywysogion

---

plant dynion enwog am eu daioni, yr un mor enwog am eu drygioni! *Troisant ar ol cybydd-dra*—yr hyn yw gwreiddyn pob drwg, 1 Tim. vi. 10. *A chymerasant obrwy*—gan y rhai a ddeuent atynt am farn, yr hwn a barai iddynt dderbyn wyneb. *A gŵyrasant farn*—gan ei gwerthu i'r cynygiwr uwchaf. Troent farn o'i *huniawn lwybr*, i bleidio y cyfoethog a gorthrymu y tylawd.

Adn. 4. *Yna holl henuriaid Israel*] Wedi blino ar yr annghyfiawnder hwn; *a ymgasglasant*—i ryw le penodol, i ymgynghori pa beth i'w wneyd; *ac a ddaethant at Samuel i Ramah*—i ddeisyf cael brenin, yr hwn y gobeithient y byddai iddo ymddwyn yn fwy cyfiawn.

Adn. 5. *Gosod arnom ni frenin i'n barnu*] Gan dy fod ti yn rhy hen i'r swydd, a'th feibion yn rhy annghyfiawn. *Megys yr holl genhedloedd*—o'n hamgylch. Hyd yn hyn, er pan oedd Israel yn genedl, yr oeddynt wedi bod dan *dduwlywiadaeth*, neu heb un brenin iddynt ond *Duw*, Brenin y nefoedd; eithr yn awr mynent gael brenin daearol, i'w llywodraethu mewn achosion gwladol ac eglwysig, ac i'w blaenori mewn rhyfeloedd.

Adn. 6. *A'r ymadrodd fu ddrwg gan Samuel*] Nid am eu bod am ei droi ef a'i feibion o'u swyddau, ond am eu bod trwy hyny yn dianrhydeddu Duw, wrth ddewis llywodraeth ddynol o flaen un ddwyfol. *A Samuel a weddiodd ar yr Arglwydd*—am faddeuant o'u pechod hwn, ac am gyfarwyddyd ganddo ef yn yr achos.

Adn. 7. *Gwrandaw ar lais y bobl*] Hyny yw, gad iddynt gael eu hewyllys. Fel hyn caniataodd Duw iddynt yn ei *anfoddlonrwydd* yr hyn a attaliai efe oddiwrthynt yn ei *drugaredd*, Hos. xiii. 11. *Nid ti y maent yn ei wrthod*—yn unig neu yn benaf; *ond myfi*—fel eu Brenin a'u Llywodraethwr; *rhag i mi deyrnasu arnynt*—trwy farnwyr a llywodraethwyr o'm gosodiad fy hun, fel y gwnaethym hyd yma.

Adn. 8. *Yn ol yr holl weithredoedd a wnaethant, &c.*] Felly nid peth newydd oedd yr ymgodiad hwn o'r eiddynt: yr oeddynt wedi ymddwyn yn gyffelyb o'u dygiad o'r Aifft hyd yn awr, trwy wrthod Duw, a gwasanaethu duwiau dyeithr. *Felly y gwnant hwy hefyd i ti*—nid ydynt yn ymddwyn yn waeth atat ti nag yr ymddygasant ataf finau. Efe a lefara hyn er cysur ac amddiffyniad i Samuel.

Adn. 9. *Eto gan dystiolaethu tystiolaetha iddynt*] Fel, os yw bosibl, y gallot eto ragflaenu eu pechod a'u trueni. *A dangos iddynt ddull y brenin a deyrnasa arnynt*—dangos iddynt yn llawn i ba fath gyflwr o gaethiwed y maent yn myned i'w taflu eu hunain wrth fwrw ymaith lywodraeth y barnwyr a osodir arnynt genyf fi, ac ymddarostwng i awdurdod y fath frenhinoedd rhwysgfawr ag a lywodraethant ar genhedloedd ereill.

Adn. 10. *A Samuel a fynegodd holl eiriau yr Arglwydd*] Eu pechod yn gwrthod y llywodraeth ddwyfol, goddefiad yr Arglwydd iddynt gael brenin, pa fath frenin a fyddai, a pha fodd y byddai arnynt hwythau dan ei deyrnasiad ef.

Adn. 11. *Efe a gymer eich meibion*] Oddi arnoch trwy drais; *ac a'u gesyd iddo yn ei gerbydau*—at ei wasanaeth rwysgfawr ei hun, ac yn ei gerbydau rhyfel; *ac yn wŷr meirch iddo*—yn feirch-filwyr iddo mewn rhyfeloedd, ac yn warchawdlu o amgylch ei berson; *ac i redeg o flaen ei gerbydau ef*—i ymaflyd fel arweinwyr yn mhen ei feirch, neu i ryddhau y ffordd o'i flaen.

Adn. 12. *Ac a'u gesyd hwynt iddo yn dywysogion miloedd*] Yn filwriaid ac yn gadpeniaid. Er fod y swyddau hyn yn anrhydeddus ar ryw olwg, eto trwy nad oeddynt o ddewisiad y bobl, eithr o orfodaeth arnynt, danghosir y swydd fel caledi a thra-arglwyddiaeth orthrymus. *I aredig ei âr, ac i fedi ei gynauaf*—cymerai rai ereill o'r bobl oddiar eu tiroedd eu hunain i aredig ei diroedd ef, ac i fedi ei gynauaf, a hyny trwy orfodaeth fel y lleill; yr hyn a fyddai yn orthrymder mawr, ac yn golled i'r wlad yn gyffredin. *Ac i*

deg a deugain, ac i aredig ei âr, ac i fedi ei gynauaf, ac i wneuthur arfau ei ryfel, a pheiriannau ei gerbydau.

13 A'ch merched a gymer efe yn apothecaresau, yn gogesau hefyd, ac yn bobyddesau.

14 Ac efe a gymer eich maesydd, a'ch gwinllanoedd, a'ch olew-lanoedd goraf, ac a'*u* dyry i'w weision.

15 Eich hadau hefyd a'ch gwinllanoedd a ddegyma efe, ac a'u dyry i'w ystafellyddion ac i'w weision.

16 Eich gweision hefyd, a'ch morwynion, eich gwŷr ieuainc goraf hefyd, a'ch asynod, a gymer efe, ac a'*u* gesyd i'w waith.

17 Eich defaid hefyd a ddegyma efe: chwithau hefyd fyddwch yn weision iddo ef.

18 A'r dydd hwnw y gwaeddwch, rhag eich brenin a ddewisasoch i chwi; ac ni wrendy yr Arglwydd arnoch yn y dydd hwnw.

19 ¶ Er hyny y bobl a wrthodasant wrando ar lais Samuel; ac a ddywedasant, Nage, eithr brenin fydd arnom ni;

20 Fel y byddom ninau hefyd fel yr holl genhedloedd; a'n brenin a'n barna ni, efe a â allan hefyd o'n blaen ni, ac efe a ymladd ein rhyfeloedd ni.

21 A gwrandawodd Samuel holl eiriau y bobl, ac a'u hadroddodd hwynt lle y clybu yr Arglwydd.

22 A dywedodd yr Arglwydd wrth Samuel, Gwrando ar eu llais hwynt, a gosod frenin arnynt. A dywedodd Samuel wrth wŷr Israel, Ewch bob un i'w ddinas ei hun.

## PENNOD IX.

AC yr oedd gŵr o Benjamin, a'i enw Cis, mab Abiel, fab Seror, fab Bechorath, fab Aphiah, mab i ŵr o Jemini, yn gadarn o nerth.

2 Ac iddo ef yr oedd mab, a'i enw

---

*wneuthur arfau ei ryfel*—megys cleddyfau, gwaewffyn, bwa-saethau, &c.; *a pheiriannau ei gerbydau*—math ar bladuriau miniog a sicrheid yn ochrau y cerbydau rhyfel: gwel Jos. xi. 4, a xvii. 16.

Adn. 13. *A'ch merched a gymer efe yn apothecaresau*] Neu *gyffeithesau*, i wneuthur pob math ar felysfwyd danteithiol; *yn gogesau*—i drin ei fwydydd cyffredin; *ac yn bobyddesau*—i wneuthur bara iddo ei hun ac i'w fyddinoedd. Yr oedd cymeryd y merched fel hyn trwy drais, yn fwy gorthrymus a gofidus na chymeryd y meibion: yr oedd yn ofid mawr i'w rhieni, ac yn beryglus iawn iddynt eu hunain.

Adn. 14. *Ac efe a gymer eich maesydd*] Sef y *tir* ei hun, ac nid *cynyrch* eu maesydd, eu gwinllanoedd, a'u holew-lanoedd goraf; *ac a'u dyry i'w weision*—yn gynaliaeth iddynt, neu yn dâl am ei wasanaethu ef.

Adn. 15. *Eich hadau hefyd a'ch gwinllanoedd*] Ar ol cymeryd y gwinllanoedd *goraf* oddiwrthynt yn gwbl, fel y gwnaeth Ahab âg eiddo Naboth, efe a gymer ran o *gynyrch* y rhai ail-oraf. *A ddegyma efe*—heblaw y gwahanol ddegymau ag oeddynt i fyned at wasanaeth Duw, ac i'w offeiriaid a'i Lefiaid ef. Fel hyn yr oedd llysoedd yr Aifft, Persia, a Babilon, yn cymeryd y ddegfed o'r tir. *Ac a'u dyry i'w ystafellyddion*—Heb. 'eunuchiaid,' y rhai a wylient ei wragedd, a'r rhai y mynai Duw eu bwrw allan o'i gynulleidfa ef; *ac i'w weision*—o bob gradd.

Adn. 16. *Eich gweision hefyd a'ch morwynion*] A gymer efe trwy drais oddiarnoch; *eich gwŷr ieuainc goraf*—y rhai mwyaf pryd-weddol a chedyrn o'ch meibion, i harddu a chryfhau ei fyddin, ac i'w wasanaethu ef mewn gwahanol foddau; *a'ch asynod*—i drin ei dir, llusgo ei fèni, a chario ei feichiau.

Adn. 17. *Eich defaid hefyd a ddegyma efe*] Yr un modd a chynyrch eich tir, adn. 15; *chwithau hefyd*—yn gystal a'ch plant, a'ch gweision, a'ch eiddo, a fyddwch yn gaethweision iddo ef, neu dan drethoedd trymion iddo.

Adn. 18. *A'r dydd hwnw y gwaeddwch*] Am waredigaeth oddiwrth ormes a gorthrymder annyoddefol eich brenin; *ac ni wrendy yr Arglwydd arnoch yn y dydd hwnw*—am na wrandewch chwi ar ei gynghor ef y dydd hwn; ac felly gadewir chwi dan ei iau drom.

Adn. 19. *Er hyny y bobl a wrthodasant wrandaw*] Yr oedd henuriaid Israel mor benderfynol i gael brenin arnynt, fel na wrandawent ar lais Samuel, nac ar lais Duw trwy Samuel.

Adn. 20. *Fel y byddom ninau hefyd fel yr holl genhedloedd*] Er cael eu gorthrymu, eu hyspeilio, a'u caethiwo gan eu brenin, fel y dangoswyd fod y cenhedloedd yn cael, adn. 11—17. Nid oeddynt yn deall mai eu *braint* arbenig hwy oedd eu bod yn annhebyg i genhedloedd ereill, Num. xxiii. 9, Deut. xxxiii. 28. *A'n brenin a'n barna ni*—yr oedd hyn yn wrthodiad amlwg o Samuel; *ac efe a ymladd ein rhyfeloedd*—ond a allent hwy ddymuno rhyfel fwy llwyddiannus na'r ddiweddaf, yr hon a ennillwyd trwy weddiau Samuel a tharanau Duw? pen. vii. 9, 10. Ac wedi iddynt gael brenin, efe a laddwyd mewn rhyfel, pen. xxxi. 3, &c.

Adn. 21. *Ac a'u hadroddodd hwynt lle y clybu yr Arglwydd*] Yn debygol wrth yr allor, mewn gweddi ddirgel, gan ddysgwyl goleuni a chyfarwyddyd oddiwrth Dduw.

Adn. 22. *Gwrandaw ar eu llais*] Gad iddynt gael brenin, a bydded iddynt hwy y canlyniad. *Ewch bob un i'w ddinas ei hun*—nes y clywoch ragor oddiwrthyf fi ar yr achos hwn. Ymddengys i'r henuriaid aros gyda Samuel trwy yr holl amser; ac wedi iddo ef dderbyn yr atebiad diweddaf hwn gan yr Arglwydd, efe a'i mynegodd iddynt, ac a'u gollyngodd hwynt ymaith.

Saul, yn ŵr ieuanc, dewisol a glân: ac nid *oedd* neb o feibion Israel lanach nag ef: o'i ysgwydd i fyny *yr oedd* yn uwch na'r holl bobl.
3 Ac asynod Cis, tad Saul, a gyfrgollasant: a dywedodd Cis wrth Saul ei fab, Cymer yn awr un o'r llanciau gyda thi, a chyfod, dos, cais yr asynod.
4 Ac efe a aeth trwy fynydd Ephraim, ac a dramwyodd trwy wlad Salisah; ac nis cawsant *hwynt:* yna y tramwyasant trwy wlad Salim; ac nis *cawsant hwynt:* ac efe a aeth trwy wlad Jemini; ond nis cawsant *hwynt.*
5 Pan ddaethant i wlad Suph, y dywedodd Saul wrth ei lanc *oedd* gydag ef, Tyred, a dychwelwn; rhag i'm tad beidio â'r asynod, a gofalu am danom ni.
6 Dywedodd yntau wrtho ef, Wele, yn awr *y mae* yn y ddinas hon ŵr i Dduw, a'r gŵr *sydd* anrhydeddus; yr hyn oll a ddywedo efe, gan ddyfod a ddaw: awn yno yn awr; nid hwyrach y mynega efe i ni y ffordd y mae i ni fyned iddi.
7 Yna y dywedodd Saul wrth ei lanc, Wele, *od* awn ni, pa beth a ddygwn ni i'r gŵr? canys y bara a ddarfu yn ein llestri ni, a gwobr *arall* nid *oes* i'w ddwyn i ŵr Duw: beth *sydd* genym?
8 A'r llanc a atebodd eilwaith i Saul, ac a ddywedodd, Wele, cafwyd gyda mi bedwaredd ran sicl o arian: mi a roddaf *hyny* i ŵr Duw, er mynegu i ni ein ffordd.
9 (Gynt yn Israel, fel hyn y dywedai gŵr wrth fyned i ymgynghori

---

PEN. IX. Adn. 1. *Ac yr oedd gŵr o Benjamin, a'i enw Cis*] Yr hwn oedd tad Saul, brenin cyntaf Israel. Rhoddir ei achau ef yma er yn fore, fel y gellid gwybod o ba lwyth a theulu yr oedd brenin cyntaf Israel wedi hânu. *Mab Abiel*—yn 1 Cron. viii. 33, a ix. 39, dywedir mai *Ner* a genhedlodd Cis; ac yn 1 Sam. xiv. 50, 51, sonir am Ner a Cis fel dau frawd, meibion Abiel. I gysoni hyn gellir sylwi ddarfod i Ner, fel y brawd hynaf, ar farwolaeth Abiel ei dad, gymeryd gofal magwraeth ei frawd ieuangaf Cis; ac felly pan ddywedir iddo ei genhedlu ef, y meddwl yw, iddo ddwyn Cis i fyny, ac nid ei fod yn dad iddo. *Jemini*—neu Benjamin. *Yn gadarn o nerth*—nid yw hyn yn meddwl ei gyfoeth ef, neu ei ddylanwad yn y wlad; canys dywed Saul ei hun ei fod o deulu isel, adn. 21; eithr cyfeiria yn unig at ei fawr gryfder corfforol ef: a gall nerth naturiol y tad fod y rheswm am faintioli anarferol y mab.

Adn. 2. *Ac iddo ef*] Sef i Cis y Benjaminiad; *yr oedd mab a'i enw Saul*—yr hwn oedd ŵr ieuanc prydweddol a hardd tuhwnt i'r cyffredin: *o'i ysgwydd i fyny yr oedd yn uwch na'r holl bobl*—ac felly rhaid ei fod dros saith troedfedd o uchder. Yr oedd taldra a glendid personol yn cael ei werthfawrogi yn uchel mewn brenhinoedd yn yr hen amseroedd. Yr oedd hwn o'r un llwyth ac enw ag apostol mawr y cenhedloedd, er fod gwahaniaeth dirfawr yn eu maintioli, fel y dywed rhai: gwel 2 Cor. x. 10.

Adn. 3. *Ac asynod Cis, tad Saul, a gyfrgollasant*] A grwydrasant o'r fan lle yr oeddynt yn pori; a thrwy y dygwyddiad distadl hwn yr arweiniodd rhagluniaeth i wneuthur Saul yn frenin. Yr oedd asynod yn cynyddu i berffeithrwydd mawr yn y dwyrain; a'r amser hyny, pryd nad oedd nemawr neu ddim meirch yn Judea, yr oeddynt yn dra defnyddiol; a marchogai brenhinoedd a thywysogion arnynt. *Un o'r llanciau*—dywed yr Iuddewon mai Doeg yr Edomiad oedd hwn.

Adn. 4. *Ac efe a aeth drwy fynydd Ephraim, &c.*] Tybia Calmet nad oedd y daith hon ddim llai na 75 o filldiroedd yn y cwbl.

Adn. 5. *Pan ddaethant i wlad Suph*] Lle yr oedd Ramah, cartref Samuel, yn sefyll. *Tyred a dychwelwn*—sef i'w gwlad eu hunain, mewn anobaith o allu cael yr asynod. *Rhag i'm tad beidio â'r asynod*—beidio gofalu am danynt, neu ofidio yn fwy am ein colli ni nag am eu colli hwy.

Adn. 6. *Y mae yn y ddinas hon ŵr i Dduw*] Canys felly y gelwid y proffwydi; *a'r gŵr sydd anrhydeddus*—o fri mawr yn mhlith y bobl am ei wybodaeth, ei ddoethineb, a'i garedigrwydd; *yr hyn oll a ddywedo efe, gan ddyfod a ddaw*—i ben. Yr oedd yr hyn a ddywedasai efe am dŷ Eli, a phethau ereill, wedi dyfod i ben yn ol ei air ef, ac yr oedd hyny wedi ennill i Samuel gymeriad anrhydeddus iawn trwy holl Israel, pen. iii. 19, 20. *Nid hwyrach y mynega efe i ni y ffordd*—ag y dylem ei chymeryd i gael hyd i'r asynod.

Adn. 7. *Wele, od awn, pa beth a ddygwn ni i'r gŵr?*] Nid ydym i feddwl oddiyma fod y proffwydi yn cymeryd arian am fynegu dygwyddiadau: nid yw Saul ond yn cyfeirio at yr arferiad gwastadol, pan fyddai gŵr yn myned i wyddfod ei *uwchradd*, o ddwyn rhyw anrheg iddo. *Canys y bara a ddarfu yn ein llestri ni*—sef yr ymborth a gymerasent gyda hwy i'r daith; *a gwobr arall nid oes*—ni ddygasom ddim ond ymborth gyda ni. Nid oedd gan Saul ddim arian gydag ef, ac ni wyddai eto fod gan y gwas ddim.

Adn. 8. *Cafwyd gyda mi bedwaredd ran sicl*] Gwerth oddeutu 7½c. o'n harian ni, a chyfrif y sicl yn 2s. 6c. *Mi a roddaf hyny i ŵr Duw er mynegu i ni ein ffordd*—i gael gafael yn yr asynod.

Adn. 9. *Gynt yn Israel*] Y mae yr adnod hon mewn cromfachau, a meddylir iddi gael ei dodi i mewn yn hir ar ol i'r llyfr hwn gael ei ysgrifenu, fe allai gan Ezra neu Jeremia; neu gallai Samuel yn ei henaint ddefnyddio yr iaith hon. Lle priodol yr adnod hon yw ar ol adn. 11, fel rheswm dros y gofyniad a geir yn niwedd hòno. *Deuwch ac awn hyd at y*

â Duw: Deuwch, ac awn hyd at y
gweledydd: canys y Proffwyd hedd-
yw, a elwid gynt yn Weledydd)
10 Yna y dywedodd Saul wrth ei
lanc, Da y dywedi; tyred, awn. Felly
yr aethant i'r ddinas *yr oedd* gŵr Duw
ynddi.
11 ¶ *Ac* fel yr oeddynt yn myned i
riw y ddinas; hwy a gawsant lances-
au yn dyfod allan i dynu dwfr; ac a
ddywedasant wrthynt, A yw y gwel-
edydd yma?
12 Hwythau a'u hatebasant hwynt,
ac a ddywedasant, Ydyw; wele *efe* o'th
flaen: brysia yr awr hon: canys hedd-
yw y daeth efe i'r ddinas; o herwydd
aberth *sydd* heddyw gan y bobl yn
yr uchelfa.
13 Pan ddeloch gyntaf i'r ddinas,
chwi a'i cewch ef, cyn ei fyned i fyny
i'r uchelfa i fwyta: canys ni fwyty y
bobl hyd oni ddelo efe, o herwydd efe
a fendiga yr aberth; ar ol hyny y
bwyty y rhai a wahoddwyd: am
hyny ewch i fyny, canys yn nghylch
y pryd hyn y cewch ef.
14 A hwy a aethant i fyny i'r ddin-
as: *a phan* ddaethant i ganol y ddin-
as, wele, Samuel yn dyfod i'w cyfar-
fod, i fyned i fyny i'r uchelfa.
15 ¶ A'r Arglwydd a fynegasai yn
nghlust Samuel, ddiwrnod cyn dyfod
Saul, gan ddywedyd,
16 Yn nghylch y pryd *hyn* y fory
yr anfonaf atat ti ŵr o wlad Benjamin;
a thi a'i heneini ef yn flaenor ar fy
mhobl Israel, ac efe a wared fy mhobl
o law y Philistiaid: canys edrychais
ar fy mhobl; o herwydd daeth eu
gwaedd ataf.
17 A phan ganfu Samuel Saul, yr
Arglwydd a ddywedodd wrtho ef,
Wele y gŵr am yr hwn y dywedais
wrthyt: hwn a lywodraetha ar fy
mhobl.
18 Yna Saul a nesaodd at Samuel

---

*gweledydd*—gelwid y proffwyd felly, am ei fod yn *gweled* pethau dirgel neu anadnabyddus i ereill. *Canys y proffwyd heddyw a elwid gynt yn weledydd*—yn nyddiau boreol Samuel arferid y gair *gweledydd* yn amlach mewn ymddyddanion cyffredin; ond wedi hyny daeth yr enw *proffwyd* yn fwy i arferiad, a syrthiodd yr enw *gweledydd* i anarferiad. Yr oedd yr enw *proffwyd* wedi cael ei ddefnyddio yn amser Abraham, Gen. xx. 7, ac felly yr oedd ef yn hynach ac yn ddiweddarach na'r enw gweledydd.

Adn. 10. *Da y dywedi*] Cymeradwyodd Saul gynghor ei was i fyned at Samuel, a rhoddi yr arian iddo.

Adn. 11. *Ac fel yr oeddynt yn myned i riw y ddinas*] Canys yr oedd Ramah wedi ei hadeiladu ar fryn; *hwy a gawsant lancesau yn dyfod allan i dynu dwfr*—ond odid o ffynnon fawr *Sechu*, yr hon ydoedd gerllaw, pen. xix. 22. Ymddengys mai gwaith y llancesau oedd hyn, Gen. xxiv. 11; ac yr oedd traddodiad yn mhlith yr Iuddewon, os cyfarfyddai dyn â llancesau yn dyfod allan o ddinas i dynu dwfr, ei fod yn argoel da iddo. *A yw y gweledydd yma?*—canys felly gynt y gelwid proffwyd, adn. 9.

Adn. 12. *Ydyw: wele efe*] Neu wele ei *dŷ* o'th flaen. *Heddyw y daeth efe i'r ddinas*—ond odid o Naioth, lle yr oedd ysgol y proffwydi, pen. xix. 19, &c.; *o herwydd aberth sydd heddyw gan y bobl yn yr uchelfa*—sef ar yr allor, yr hon hefyd oedd ar fryn, pen. vii. 17.

Adn. 13. *Efe a fendiga yr aberth*] Hwn oedd aberth hedd, neu offrwm diolchgarwch; a'i *fendigo* ef a arwydda ond odid ddiolchgarwch i Dduw am fendithion a dderbyniwyd, a gweddi am i'r aberth hwn fod yn gymeradwy gan Dduw. Neu dichon mai nid yr hyn a offrymid ar yr allor, eithr yr hyn a fwyteid gan y bobl ar ol hyny, a fendigai efe. *Ar ol hyny y bwyty y rhai a wahoddwyd*—ar ol i Samuel weddio am fendith Duw ar yr hyn a fwytäent, a diolch iddo am fod ganddynt beth i'w fwyta. Arferid gofyn bendith ar ymborth cyffredin gan ben y teulu; a pha faint mwy ar y wledd grefyddol hon gan Samuel, yr hwn oedd megys penteulu yr holl genedl? Yr oedd ein Harglwydd bendigedig yn arfer bendithio y bwyd; ond gan nas gallwn ni wneuthur hyny, ein dyledswydd ni yw gweddio am ei fendith ef ar ein bwyd a diolch iddo am dano. Yr oedd amrai yn cael eu gwahodd i fwyta o'r aberthau, Deut. xii. 18, a xiv. 29, a xvi. 11.

Adn. 14. *A hwy a aethant i fyny i'r ddinas*] Sef i Ramah.

Adn. 15. *A'r Arglwydd a fynegasai yn nghlust Samuel*] Hyny yw, yn ddirgel, ond odid trwy 'lef ddystaw, fain;' *ddiwrnod cyn dyfod Saul*—i'w barotoi ef i'w ddysgwyl a'i groesawu, ac i fynegu iddo mai efe oedd i fod yn frenin.

Adn. 16. *Anfonaf atat ti ŵr o wlad Benjamin*] Deugys hyn fod y cwbl yn cael ei wneuthur trwy drefniad Duw, er nad oedd dim yn mwriad Saul ond ceisio yr asynod. *Efe a wared fy mhobl o law y Philistiaid*—y rhai, er eu bod wedi eu gyru allan o'r wlad gan Samuel, eto oeddynt yn awr, gan ei fod ef wedi heneiddio, yn barod i ymosod arni drachefn. Darfu i Saul i ryw fesur waredu Israel o law y rhai hyn; a buasai iddo eu gwaredu yn helaethach, oni buasai i'w bechodau ef a'i bobl attal hyny. *Canys edrychais ar fy mhobl*—â golwg o drugaredd a thosturi; *o herwydd daeth eu gwaedd ataf*—sef eu gwaedd rhag y Philistiaid bygythiol, at yr hyn yn unig y cyfeirir yma, ac nid at eu gwaedd am frenin.

Adn. 17. *Wele y gŵr am yr hwn y dywedais wrthyt*] Y fath gymundeb agos oedd

yn nghanol y porth, ac a ddywedodd, Mynega i mi, atolwg, pa le yma *y mae* tŷ y gweledydd.
19 A Samuel a atebodd Saul, ac a ddywedodd, Myfi *yw* y gweledydd: dos i fyny o'm blaen i'r uchelfa; canys bwytewch gyda myfi heddyw: a mi a'th ollyngaf y bore, ac a fynegaf i ti yr hyn oll *y sydd* yn dy galon.
20 Ac *am* yr asynod a gyfrgollasant er ys tridiau, na ofala am danynt; canys cafwyd hwynt. Ac i bwy *y mae* holl bethau dymunol Israel? onid i ti, ac i holl dŷ dy dad?
21 A Saul a atebodd ac a ddywedodd, Onid mab Jemini *ydwyf* fi, o'r lleiaf o lwythau Israel? a'm teulu *sydd* leiaf o holl deuluoedd llwyth Benjamin? a phaham y dywedi wrthyf y modd hyn?
22 A Samuel a gymerth Saul a'i lanc, ac a'u dyg hwynt i'r ystafell, ac a roddodd iddynt le o flaen y gwahoddedigion; a hwy *oeddynt* yn nghylch dengwr ar hugain.
23 A Samuel a ddywedodd wrth y côg, Moes y rhan a roddais atat ti, am yr hon y dywedais wrthyt, Cadw hon gyda thi.
24 A'r côg a gyfododd yr ysgwyddog, a'r hyn *oedd* arni, ac a'i gosododd gerbron Saul. A *Samuel* a ddywedodd, Wele, yr hyn a adawyd; gosod ger dy fron, *a* bwyta: canys hyd y pryd hyn y cadwyd ef i ti, er pan ddywedais, Y bobl a wahoddais i. A bwytaodd Saul gyda Samuel y dydd hwnw.
25 ¶ A phan ddisgynasant o'r uchelfa *i'r* ddinas, *Samuel* a ymddyddanodd â Saul ar ben y tŷ.
26 A hwy a gyfodasant yn fore: ac

---

rhwng Samuel a'i Dduw! Ymddengys fod cyfeillach barhaus yn bodoli rhyngddynt.

Adn. 18. *Mynega i mi, atolwg, pa le y mae tŷ y gweledydd*] Nid oedd Saul yn adnabod Samuel, mai efe oedd y gweledydd, trwy nad oedd dim yn ei ymddanghosiad yn peri iddo feddwl mai efe ydoedd.

Adn. 19. *Myfi yw y gweledydd*] Efe a ddywedai hyn, nid yn ymffrostgar, ond er hyfforddiad iddo. *Dos i fyny o'm blaen*—dywedai hyn naill ai o barch i Saul, neu am na allai ef gan henaint gydgerdded âg ef, neu am fod yn rhaid iddo ef ymdroi ar y ffordd. *Bwytewch gyda myfi heddyw*—o'r aberth a'r wledd gyhoeddus, fel ei wahoddedigion ei hun. *Mi a'th ollyngaf y bore*—ymddengys ei bod yn brydnawn eisioes, canys yn yr hwyr y cynelid y wledd; ac felly nis gallent fyned ymaith yn rhwydd cyn bore dranoeth. *Ac a fynegaf i ti yr hyn oll y sydd yn dy galon*—atebaf i ti bob gofyniad ag sydd ar dy feddwl.

Adn. 20. *Ac am yr asynod a gyfrgollasant er ys tridiau*] Nid oedd Saul wedi son dim am yr asynod; ac yr oedd y crybwylliad hwn am eu *colli*, a pha *bryd* y collwyd hwynt, ac am eu *caffaeliad* eilwaith, yn ddigon o sicrwydd i Saul fod Samuel yn broffwyd gwirioneddol. *Ac i bwy y mae holl bethau dymunol Israel*—sef yr anrhydedd uwchaf yn eu plith? Saes. 'ac *ar* bwy y mae holl *ddymuniad* Israel?' Y mae yn eglur oddiwrth yr adnod ganlynol i Saul ddeall hyn fel yn cynwys ei fod ef wedi ei ddewis i fod yn frenin, yr hyn a fyddai yn godiad anrhydeddus i holl dŷ ei dad, yn gystal ag iddo yntau.

Adn. 21. *Onid mab Jemini*] Saes. 'onid *Benjaminiad* ydwyf fi?' *O'r lleiaf o lwythau Israel*—trwy eu bod wedi eu lleihau yn ddiweddar i chwe chànwr yn unig, trwy y rhyfel yn achos gordderchwraig y Lefiad, Barn. xx. *A'm teulu sydd leiaf*—o ran nifer, cyfoeth, a dylanwad, o holl deuluoedd llwyth Benjamin. *A phaham y dywedi wrthyf y modd hyn?*—tybiai Saul mai cellwair yr oedd Samuel, ac nid llefaru wrtho o ddifrif, yn ol fel y dywed Josephus.

Adn. 22. *Ac a roddodd iddynt le o flaen y gwahoddedigion*] Neu yn uwch i fyny, sef y lle penaf, i anrhydeddu Saul yn eu gŵydd hwynt oll, ac i ddangos iddo yntau mai nid cellwair yr ydoedd wrth gyfeirio at y frenhiniaeth.

Adn. 23. *A Samuel a ddywedodd wrth y côg*] Yr hwn a ddarparasai y bwyd i'r gwahoddedigion. *Moes y rhan a roddais atat ti*—i'w choginio i mi. Yr oedd Samuel yn gwybod trwy ddatguddiad dwyfol y deuai brenin etholedig Israel ato ef y dydd hwnw, ac am hyny yr oedd wedi gorchymyn cadw y rhan hòno erbyn ei ddyfodiad ef.

Adn. 24. *A'r côg a gyfododd yr ysgwyddog*] Sef o'r crochan yn yr hwn y berwasid hi; ac y mae yn debyg mai yr ysgwyddog *aswy* oedd hon, am fod yr ysgwyddog *ddeau* yn myned i'r offeiriad yn yr aberthau hyn, Lef. vii. 32, 33. *A'r hyn oedd arni*—sef y saws, neu ddarn o'r weren neu y barwyden. *Ac a'i gosododd gerbron Saul*—er anrhydedd iddo ef, fel yr hwn a fyddai yn frenin arnynt. *Wele yr hyn a adawyd*—neu a gadwyd i ti erbyn dy ddyfodiad. *Er pan ddywedais*—wrth y côg; *Y bobl a wahoddais i*—sef Saul a'i lanc, y rhai a wahoddasai efe pan gyfarfu â hwynt yn y ddinas, adn. 19. *A bwytaodd Saul gyda Samuel*—ar yr un bwrdd, ac o'r un ysgwyddog: ac y mae yn debyg i'r llanc hefyd gael yr anrhydedd hwn er mwyn ei feistr. Yr oedd yr *ysgwyddog* hon yn arwydd o'r *llywodraeth* i'r hon yr oedd efe yn awr yn nghylch cael ei alw, Esay ix. 6.

Adn. 25. *Samuel a ymddyddanodd â Saul*] Yn nghylch y frenhiniaeth ag yr oedd Duw yn ei bwriadu iddo; *ar ben y tŷ*—yr oedd penau tai y dwyrain yn lleddf neu wastad, ar y rhai y rhodiai dynion yn aml er mwyn cael awyr iach; a chysgent yma weithiau hefyd, fel yr awgryma y Vulgate a'r LXX i Saul wneyd y nos hon.

Adn. 26. *Galwodd Samuel ar Saul i ben y*

yn nghylch codiad y wawr, galwodd
Samuel ar Saul i ben y tŷ, gan ddy-
wedyd, Cyfod, fel y'th hebryngwyf
ymaith. A Saul a gyfododd, ac efe a
Samuel a aethant ill dau allan.
27 *Ac* fel yr oeddynt yn myned i
waered i gŵr aethaf y ddinas, Samuel
a ddywedodd wrth Saul, Dywed wrth
y llanc am fyned o'n blaen ni (felly
yr aeth efe) ond saf di yr awr hon, a
mynegaf i ti air Duw.

## PENNOD X.

YNA Samuel a gymerodd phiolaid
o olew, ac a'i tywalltodd ar ei ben
ef, ac a'i cusanodd ef; ac a ddywed-
odd, Onid yr Arglwydd a'th eneiniodd
di yn flaenor ar ei etifeddiaeth?
2 Pan elych di heddyw oddiwrthyf,
yna y cai ddau ŵr wrth fedd Rahel,
yn nherfyn Benjamin, yn Selsah: a
hwy a ddywedant wrthyt, Cafwyd yr
asynod yr aethost i'w ceisio: ac we-
le, dy dad a ollyngodd heibio chwedl
yr asynod, a gofalu y mae am danoch
chwi, gan ddywedyd, Beth a wnaf am
fy mab?
3 Yna yr âi di yn mhellach oddi
yno, ac y deui hyd wastadedd Tabor:
ac yno y'th gyferfydd tri wŷr yn myn-
ed i fyny at Dduw *i* Bethel; un yn
dwyn tri o fŷnod, ac un yn dwyn tair
torth o fara, ac un yn dwyn costrel-
aid o win.
4 A hwy a gyfarchant well i ti, ac
a roddant i ti ddwy *dorth* o fara; *y
rhai* a gymeri o'u llaw hwynt.
5 Ar ol hyny y deui i fryn Duw,

---

*tŷ*] Neu, fel y mae gan y LXX, *ar* ben y tŷ, lle yr oedd Saul wedi bod yn gorwedd trwy y nos. Dywed yr Iuddewon na fedrodd Samuel na Saul gysgu nemawr y noson hòno, gan y pwys oedd ar eu meddwl yn nghylch y peth ag oedd i gael ei wneyd dranoeth, sef eneinio Saul yn frenin ar Israel. *Cyfod*—oddiar y gadair lle yr eisteddai; canys yr oedd ef wedi codi o'i wely o'r blaen, ac yn debygol wedi bwyta ei foreubryd. *Fel y'th hebryngwyf ymaith*—yr oedd Samuel am ei gychwyn ef fel hyn yn fore, am fod ganddo orchwyl i'w wneyd arno ef yn ddirgelaidd, cyn y byddai y bobl yn gyffredin wedi codi. *Ill dau allan*—a'r gwas yn eu dylyn.

Adn. 27. *Dywed wrth y llanc am fyned o'n blaen ni*] Fel na chlywai efe yr hyn oedd gan Samuel i'w ddywedyd wrth Saul, ac na welai yr hyn a wnai efe iddo. *Ond saf di yr awr hon*—fel y gallai sylwi yn well ar yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd a'i wneyd. *A mynegaf i ti air Duw*—nid yn unig y genadwri ddwyfol gyda golwg ar ei neillduad ef i'r frenhiniaeth, yr hon yr oedd efe wedi ei mynegu iddo mewn rhan eisioes; ond ei orchymyn ef gyda golwg ar ei eneinio yn y lle ac ar y pryd hwnw. Gan fod y brenin i gael ei ddewis yn gyhoeddus wrth goelbren ar ol hyn, nid oedd Samuel yn chwennych i neb ei weled ef yn ei eneinio yn awr, rhag iddynt feddwl ei fod ef yn ei wneyd yn frenin o hono ei hun, ac nad oedd y coelbren wedi hyny ddim ond twyll a rhith i gadarnhau y peth. O'r Arglwydd yr oedd ef yn ei eneinio yn ddirgel, ac o'r Arglwydd y syrthiodd y coelbren arno wedi hyn yn gyhoeddus, pen. x. 20—22.

PEN. X. Adn. 1. *Yna Samuel a gymerodd phiolaid o olew*] Trwy nad oedd Samuel yn offeiriad, meddylir iddo ddefnyddio olew cyffredin y pryd hyn, ac nid yr olew santaidd, yr hwn oedd yn nghadw yn y tabernacl. *Ac a'i tywalltodd ar ei ben*—yn arwyddocaol o dywalltiad doniau a grasau Ysbryd Duw ar Saul, i'w addasu ef i gyflawni ei swydd, Exod. xxix. 7. *Ac a'i cusanodd ef*—yn brawf o'i gyfeillgarwch a'i serch ato; neu yn arwydd o ymostyngiad a pharch i'w lywodraeth: gwel ar Gen. xli. 40. *Onid yr Arglwydd a'th eneiniodd di?*—hyny yw, onid trwy ei orchymyn ef y gwnaed hyn? *Yn flaenor ar ei etifeddiaeth*—ar bobl neillduedig yr Arglwydd. Arwyddir yma mai eiddo yr Arglwydd oedd y bobl, ac nid ei eiddo ef; a'i fod ef i'w llywodraethu, nid yn ol ei fympwy ei hun, ond yn ol ewyllys Duw.

Adn. 2. *Yna y cai ddau ŵr wrth fedd Rahel*] Ar y ffordd i Bethlehem, Gen. xxxv. 19. Yr oedd y rhagfynegiad manwl hwn o'r pethau a ddygwyddent, yn brawf i Saul fod Samuel yn wir broffwyd, a'i fod yntau felly wedi ei osod yn frenin gan yr Arglwydd. Cyfeirir ef fel hyn at fedd un o'i henafiaid, i gael darlith ar ei farwoldeb ei hun. Er fod ganddo goron yn ei aros, eto rhaid iddo feddwl am ei fedd, lle yr oedd ei holl anrhydedd i gael ei gladdu cyn hir yn y llwch! *Beth a wnaf am fy mab?*—yr oedd ei dad, cyn cael yr asynod, wedi eu hannghofio hwy yn ei bryder am ei fab.

Adn. 3. *Hyd wastadedd Tabor*] Nid hwnw wrth droed mynydd Tabor, yr hwn oedd yn mhell i'r gogledd, yn llwyth Zabulon; eithr lle a elwid *Elon-tabor*, i'r deau-ddwyrain o Ramah: gwel WELLS. *Yn myned i fyny at Dduw i Bethel*—lle yr adeiladasai Jacob allor, Gen. xxxv. 7. Trwy fod y tabernacl yn awr mewn un lle, a'r arch mewn lle arall, dewiswyd y man hwn fel lle a gysegrwyd i Dduw gan Jacob. *Tri o fŷnod*—yn ebyrth; *tair torth o fara*—yn fwyd-offrwm; *costrelaid o win*—yn ddiod-offrwm, Num. xv. 3—5.

Adn. 4. *A hwy a gyfarchant well i ti*] Meddwl y proffwyd yw, Pan ddeui i wastadedd Tabor, ti a gyfarfyddi â thri o wŷr: nid oes achos i ti eu hofni, canys *cyfeillion* ydynt; a hwy a ddanghosant eu cyfeillgarwch, nid yn unig trwy gyfarch gwell i ti, neu ddymuno dy lwyddiant, ond trwy roddi i ti ddwy dorth o fara, darpariaeth ag y byddi mewn angen am dani at weddill dy daith. Dichon mai torthau ag oedd ganddynt at eu gwasanaeth eu hunain a olygir yma, ac nid dwy o'r tair a ddygent yn fwyd-offrwm. *Y rhai a gymeri o'u llaw hwynt*—i ddysgu iddo fod yn ostyngedig, er ei fod yn frenin; ac i fod yn haelionus i rai mewn angen, ar ol ei ddyrchafu i'r orsedd.

yn yr hwn *y mae* sefyllfa y Philist-
iaid: a phan ddelych yno *i*'r ddinas, ti
a gyfarfyddi â thyrfa o broffwydi yn
disgyn o'r uchelfa, ac o'u blaen hwynt
nabl, a thympan, a phibell, a thelyn;
a hwythau yn proffwydo.
6 Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaw
arnat ti; a thi a broffwydi gyda
hwynt, ac a droir yn ŵr arall.
7 A phan ddelo yr argoelion hyn i
ti, gwna fel y byddo yr achos: canys
Duw *sydd* gyda thi.
8 A dos i waered o'm blaen i Gil-
gal; ac wele, mi a ddeuaf i waered
atat ti, i offrymu offrymau poeth, *ac* i
aberthu ebyrth hedd: aros am danaf
saith niwrnod, hyd oni ddelwyf atat,
a mi a hysbysaf i ti yr hyn a wnel-
ych.
9 ¶ A phan drôdd efe ei gefn i fyn-
ed oddiwrth Samuel, Duw a roddodd
iddo galon arall: a'r holl argoelion
hyny a ddaethant y dydd hwnw *i
ben.*
10 A phan ddaethant yno i'r bryn,
wele, fintai o broffwydi yn ei gyfar-

---

Adn. 5. *I fryn Duw*] A elwid felly, am yr arferid aberthu neu addoli yma, neu ynte am fod yma ysgol y proffwydi. *Yn yr hwn y mae sefyllfa y Philistiaid*—felly tybia llawer mai Geba a olygir, pen. xiii. 3. Neu gellir ei ddarllen, 'yn yr hwn *yr oedd* sefyllfa y Philistiaid;' canys nid yw yn debyg eu bod yma yn awr. *A thyrfa o broffwydi*—neu 'gwmni o ysgrifenyddion,' yn ol y *Targum.* Yn debygol ysgolorion y proffwydi, neu rai wedi ymgyflwyno yn hollol i efrydiaethau ac ymarferion crefyddol. Dichon nad oedd yr athrawon yn yr ysgolion hyn yn wŷr ysbrydoledig, eithr rhai yn gweithredu dan gyfarwyddyd Samuel, yr hwn oedd yr unig broffwyd yn y fro. Y mae y gair 'proffwydo' yn arwyddo yn fynych, nid yn unig rhagfynegu pethau i ddyfod, ond hefyd addysgu, gweddio, neu ganu mawl: gwel ar Gen. xx. 7, 1 Cor. xiv. 3. Tybia Mr. Harmer fod yr arferiad canlynol yn mhlith y Mahometaniaid yn eglurhad ar y lle hwn: 'Ar ol i'r plant fyned trwy y Koran, y mae eu perthynasau yn benthyca ceffyl ac offer gwych, ac yn eu cario trwy y dref mewn gorymdaith, â'r llyfr yn eu llaw, ac yn cael eu dylyn gan y lleill o'u cymdeithion, a'u blaenori â phob math ar gerddoriaeth yn y wlad.' *Yn disgyn o'r uchelfa*—lle y buont yn aberthu, yn addoli, neu yn dysgu: ac yn awr moliannent Dduw ond odid am ei ddaioni iddynt, gyda phob offer cerdd. *A hwythau yn proffwydo*—naill ai yn canu mawl i Dduw, fel y mae y gair weithiau yn arwyddo, 1 Cron. xxv. 3; neu yn llefaru am ei bethau ef, trwy gynhyrfiad neillduol ei Ysbryd.

Adn. 6. *Ac Ysbryd yr Arglwydd a ddaw arnat ti*] Hyn oedd yr arwydd cryfaf fod Samuel wedi ei eneinio ef trwy awdurdod Duw. *A thi a broffwydi gyda hwynt*—a allnogir i gyfansoddi, canu, a moliannu gyda hwynt, er na buost erioed yn ysgol y proffwydi yn ymarferyd â'r pethau hyny. *Ac a droir yn ŵr arall*—yn ŵr o ddoethineb, medrusrwydd, ac addasrwydd i lywodraethu pobl yr Arglwydd. Prin y gallwn feddwl gyda rhai, fod hyn yn golygu y byddai iddo allu rhagfynegu dygwyddiadau dyfodol, a chael ei wneyd yn ddyn newydd yn yr ystyr grasol ac achubol o'r gair: gwel ar adn. 10.

Adn. 7. *A phan ddelo yr argoelion hyn i ti*] Ar ol i Dduw ddangos i ti yr holl arwyddion hyn dy fod dan ei arweiniad neillduol ef; *gwna fel y byddo yr achos*—nac ofna ymgymeryd at unrhyw orchwyl perthynol i'th swydd frenhinol; *canys Duw sydd gyda thi*—i'th gyfarwyddo, i'th nerthu, a'th lwyddo.

Adn. 8. *A dos i waered o'm blaen i Gilgal, &c.*] Er fod hyn yn cael ei orchymyn yma yn awr, eto nid oedd i gael ei gyflawni yn ddiatreg; fel y mae yn amlwg mewn rhan oddiwrth holl rediad yr hanes, (yr hon a ddengys i Saul, a Samuel, a'r bobl, gydgyfarfod yn Mispeh, adn. 17, &c., lle y dewiswyd Saul gan Dduw, ac y derbyniwyd ef gan y bobl fel brenin, ac iddo wedi hyny fyned i Gilgal unwaith cyn yr amser ag y sonir am dano yma, pen. xi. 14, 15;) ac mewn rhan wrth gydmharu y lle hwn â pen. xiii. 8, &c., lle y cawn Saul yn cael ei gyhuddo o droseddu y gorchymyn hwn yn mhen dwy flynedd ar ol ei roddi. Ymddengys i'r gorchymyn hwn gael ei roddi fel rheol sefydlog i Saul ei dylyn tra y byddai efe a Samuel byw; mewn achos o ryw anhawsder mawr dyfodol, megys ymosodiad gelynion, fod i Saul fyned i Gilgal, a chynull y bobl yno, ac aros yno saith niwrnod, yr hyn nad oedd ormod o amser i gasglu y bobl a Samuel yno. A dewiswyd Gilgal i'r perwyl hwn, am fod y lle hwnw yn enwog fel y fan lle yr adnewyddwyd y cyfammod rhwng Duw ac Israel, Jos. iv., ac o herwydd anghreifftiau hynod ereill o ffafr Duw iddynt, y goffadwriaeth am ba rai a fyddai yn gadarnhad i'w ffydd; ac am ei fod yn le tra chyfleus i'r llwythau o bob tu i'r Iorddonen ymgynull iddo, i ymgynghori, ac i uno eu byddinoedd ar y fath achlysuron. *Ac wele, mi a ddeuaf i waered atat ti*—fel y gallai Samuel ymgynghori â Duw, a chael ei ffafr ef trwy yr offrymau a'r ebyrth hyny, a hysbysu i'r brenin pa beth i'w wneuthur.

Adn. 9. *A phan drôdd efe*] Wedi iddo gefnu ar Samuel i wynebu ar ei daith; *Duw a roddodd iddo galon arall*—nid calon newydd ac ysbryd newydd fel a ddyry efe i'w bobl, eithr calon ac ysbryd *brenin,* neu wroldeb a bywiogrwydd meddwl i ddyfeisio a chario allan gynlluniau mawrion fel llywodraethwr ar Israel; tra nad oedd ef wedi bod yn meddwl am ddim yn flaenorol ond trin tir ac anifeiliaid ei dad. *A'r holl argoelion hyny*—a grybwyllwyd adn. 2—6, megys cyfarfod â'r gwŷr wrth fedd Rahel ac yn ngwastadedd Tabor, derbyn y torthau, cyfarfod â thyrfa o broffwydi, a phroffwydo gyda hwynt; *a ddaethant y dydd hwnw i ben*—er na chrybwyllir ond am y ddau argoel pwysicaf, adn. 10.

Adn. 10. *Wele fintai o broffwydi yn ei gyf-*

fod ef; ac Ysbryd Duw a ddaeth arno yntau, ac efe a broffwydodd yn eu mysg hwynt.

11 A phawb a'r a'i hadwaenai ef o'r blaen a edrychasant; ac wele, *efe* gyd a'r proffwydi yn proffwydo. Yna y bobl a ddywedasant bawb wrth eu gilydd, Beth *yw* hyn a ddaeth i fab Cis? *A ydyw* Saul hefyd yn mysg y proffwydi?

12 Ac un oddiyno a atebodd, ac a ddywedodd, Eto pwy *yw* eu tad hwy? Am hyny yr aeth yn ddiareb, *A ydyw* Saul hefyd yn mysg y proffwydi?

13 Ac wedi darfod iddo broffwydo, efe a ddaeth i'r uchelfa.

14 ¶ Ac ewythr Saul a ddywedodd wrtho ef, ac wrth ei lanc ef, I ba le yr aethoch? Ac efe a ddywedodd, I geisio yr asynod: a phan welsom nas *caid*, ni a ddaethom at Samuel.

15 Ac ewythr Saul a ddywedodd, Mynega, atolwg, i mi, beth a ddywedodd Samuel wrthych chwi.

16 A Saul a ddywedodd wrth ei ewythr, Gan fynegu mynegodd i ni fod yr asynod wedi eu cael. Ond am chwedl y frenhiniaeth, yr hwn a ddywedasai Samuel, nid ynganodd efe wrtho.

17 ¶ A Samuel a alwodd y bobl yn nghyd at yr Arglwydd i Mispeh;

18 Ac a ddywedodd wrth feibion Israel, Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel; Myfi a ddygais i fyny Israel o'r Aifft, ac a'ch gwaredais chwi o law yr Aifftiaid, ac o law yr holl deyrnasoedd, *a*'r rhai a'ch gorthryment chwi.

19 A chwi heddyw a wrthodasoch eich Duw, yr hwn sydd yn eich gwared chwi oddiwrth eich holl ddrygfyd, a'ch helbul; ac a ddywedasoch wrtho

---

*arfod ef*] Fel y rhagfynegwyd adn. 5. *Ac efe a broffwydodd yn eu mysg hwynt*—a gydunodd â hwynt yn eu mawl a'u caniadau, adn. 6; er y dywed yr Iuddewon, oddiar eu dychymygion eu hunain, ddarfod iddo broffwydo am y byd a ddaw, am Gog a Magog, ac am wobr y cyfiawnion a chosp yr annuwiolion.

Adn. 11. *A phawb a'r a'i hadwaenai ef o'r blaen*] Canys yr oedd ef erbyn hyn wedi cyraedd i'w gymydogaeth ei hun; *a edrychasant*—aethent allan i weled a chlywed y fintai o broffwydi yn canu ac yn clodfori; ac wrth edrych ar y rhai hyny, canfuant Saul hefyd yn eu mysg hwynt, ac yn 'proffwydo' felly gyda hwy, dan gymaint dylanwad ag un o honynt. *Beth yw hyn a ddaeth i fab Cis?*—i amaethwr gwladaidd nad yw erioed wedi bod yn ysgol y proffwydi, ac eto yn awr sydd yn canu ac yn clodfori cystal ag un o'r gwŷr llên! *A ydyw Saul hefyd yn mysg y proffwydi?*—yr oedd hyn yn fater o syndod i bawb a adwaenent ei berson, ei deulu, a'i ddygiad i fyny.

Adn. 12. *Ac un oddiyno*] Sef un o'r rhai a adwaenent Saul; *a atebodd*—i'r rhai a ryfeddent ei weled ef yn mhlith y proffwydi; *Eto pwy yw eu tad hwy?*—fel pe dywedasai, Na ryfeddwch am hyn, canys *Samuel* yw eu tad, neu eu prif athraw, hwy oll; a bu Saul y ddeuddydd diweddaf dan ei addysgiadau ef yn gystal a hwythau. Neu, *Duw* yw eu tad hwy oll; a gallai Duw ddysgu i Saul broffwydo yr un modd a hwythau. Ond y mae *Dr. Boothroyd* yn darllen, *pwy yw ei dad ef?* ac y mae yr ailunau goraf o'r LXX yn chwanegu, *onid Cis?* *Am hyny yr aeth yn ddiareb*—pa bryd bynag ar ol hyn y codid rhyw ddyn isel i ddyrchafiad yn yr eglwys neu y wladwriaeth, arferid dywedyd gyda golwg arno, 'A ydyw Saul hefyd yn mysg y proffwydi?'

Adn. 13. *Ac wedi darfod iddo broffwydo*] Yn yr hyn y parhaodd ond odid cyhyd a'r lleill, nes iddynt orphen eu gorymdaith; *efe a ddaeth i'r uchelfa*—o'r lle y disgynasai y dyrfa o broffwydi, adn. 5. Efe a aeth yma i ddiolch i'r Arglwydd am y ffafr a gawsai, ac i ofyn am ei gyfarwyddyd neillduol ef yn ei swydd oruchel rhagllaw.

Adn. 14. *Ac ewythr Saul a ddywedodd*] Ar ol iddo ef fyned adref at ei bobl. *I ba le yr aethoch*—yn ystod eich taith y dyddiau diweddaf? *I geisio yr asynod*—o le i le. *A phan welsom nas caid*—hanes am danynt mewn unrhyw fan lle y buom; *ni a ddaethom at Samuel*—i Ramah, i ddeisyf cael gwybodaeth yn eu cylch ganddo ef, pen. ix. 5, 6.

Adn. 15. *Mynega, atolwg, i mi, beth a ddywedodd Samuel*] Ar ol clywed iddo fod gyda Samuel, a gweled yn ei wedd ryw arwyddion o gyfnewidiad, efe a dybiodd y gallai Samuel fod wedi dywedyd rhywbeth wrtho yn nghylch y frenhiniaeth, am yr hyn yr oedd dysgwyliad cyffredinol: gwel pen. viii. 22.

Adn. 16. *Mynegodd i ni fod yr asynod wedi eu cael*] Gwel adn. 2, a pen. ix. 20. *Ond am chwedl y frenhiniaeth*—at yr hon yn unig y cyfeiriai ei ewythr; *nid ynganodd efe*—rhag iddo ymddangos yn falch a rhodresgar, ac am y mynai Samuel i'r peth gael ei guddio hyd nes y dewisid Saul wrth goelbren.

Adn. 17. *A Samuel a alwodd y bobl yn nghyd at yr Arglwydd*] Dywedir hyn, naill ai am fod yr arch, yr arwydd o bresenoldeb yr Arglwydd, wedi ei dwyn y pryd hyn i Mispeh; neu ynte am fod y dewisiad o frenin i gael ei wneyd trwy goelbren, llywodraethiad pa un oedd oddiwrth yr Arglwydd, Diar. xvi. 33.

Adn. 18. *Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel*] Sef JEHOFA, yr hwn oedd Dduw mewn cyfammod âg Israel, i'w llywodraethu a'u gwaredu. *Myfi a ddygais i fyny Israel o'r Aifft*—crybwyllir hyn oll i ddangos eu hanniolchgarwch a'u pechod hwy, wrth wrthod Duw, a gwaeddi am frenin arall.

Adn. 19. *Yr hwn sydd yn eich gwared*] Trwy godi barnwyr i chwi pan fyddoch mewn

ef, *Nid felly;* eithr gosod arnom ni frenin. Am hyny sefwch yr awr hon gerbron yr Arglwydd wrth eich llwythau, ac wrth eich miloedd.

20 A Samuel a barodd i holl lwythau Israel nesâu: a daliwyd llwyth Benjamin.

21 Ac wedi iddo beri i lwyth Benjamin nesâu yn ol eu teuluoedd, daliwyd teulu Matri; a Saul mab Cis a ddaliwyd: a phan geisiasant ef, nis caid ef.

22 Am hyny y gofynasant eto i'r Arglwydd, a ddeuai y gŵr yno eto. A'r Arglwydd a ddywedodd, Wele, efe yn ymguddio yn mhlith y dodrefn.

23 A hwy a redasant, ac a'i cyrchasant ef oddiyno. A phan safodd yn nghanol y bobl, yr oedd efe o'i ysgwydd i fyny yn uwch na'r holl bobl.

24 A dywedodd Samuel wrth yr holl bobl, A welwch chwi yr hwn a ddewisodd yr Arglwydd, nad *oes neb* tebyg iddo yn mysg yr holl bobl? A'r holl bobl a floeddiasant, ac a ddywedasant, Byw fyddo y brenin.

25 Yna Samuel a draethodd gyfraith y deyrnas wrth y bobl, ac a'*i* hysgrifenodd mewn llyfr, ac a'*i* gosododd ger bron yr Arglwydd. A Samuel a ollyngodd ymaith yr holl bobl, bob un i'w dŷ.

26 ¶ A Saul hefyd a aeth i'w dŷ ei hun i Gibeah; a byddin o'r rhai y cyffyrddasai Duw â'u calon, a aeth gydag ef.

27 Ond meibion Belial a ddywedasant, Pa fodd y gwared hwn ni? A hwy a'i dirmygasant ef, ac ni ddygasant anrheg iddo ef. Eithr ni chymerodd efe arno glywed hyn.

## PENNOD XI.

YNA Nahas yr Ammoniad a ddaeth i fyny, ac a wersyllodd yn erbyn Jabes Gilead: a holl wŷr Jabes a

---

drygfyd a helbul. *Nid felly*—ni fynwn ni ein llywodraethu gan farnwyr, ond gan frenin. Ac yr oedd hyn, fel y dywedir yma, yn wrthodiad nid yn unig o'r barnwyr, ond o Dduw, yr hwn a'u llywodraethai hwynt ei hun trwy farnwyr. *Wrth eich llwythau*—sef tywysogion eu llwythau; *ac wrth eich miloedd*—sef penaethiaid eu miloedd, i'r rhai yr oedd eu llwythau wedi eu dosbarthu.

Adn. 20. *Daliwyd llwyth Benjamin*] Syrthiodd y coelbren ar lwyth Benjamin, a hyny ond odid yn groes i ddysgwyliad pawb, am ei fod y llwyth lleiaf o'r oll, ac wedi deilliaw oddiwrth fab ieuangaf Jacob.

Adn. 21. *Daliwyd teulu Matri*] O holl deuluoedd llwyth Benjamin; *a Saul mab Cis a ddaliwyd*—hyny yw, daliwyd Cis o deulu Matri, a Saul o dylwyth Cis: gwel y drefn yn cael ei hegluro ar Jos. vii. 14. *A phan geisiasant ef*—ar ol i enw Saul ddyfod allan, a hysbysu hyny i'r bobl, ymofynwyd am dano ef yn y fan, i'w gydnabod a'i gyfarch fel brenin: ond yr oedd ef wedi ymguddio o herwydd ei ŵyleidd-dra, am y gwyddai mai arno ef y syrthiai y coelbren.

Adn. 22. *Gofynasant eto i'r Arglwydd*] Trwy yr Urim a'r Thummim, fel y tybia rhai; neu ynte trwy Samuel, yr hwn trwy ei weddi a gafodd atebiad. *Wele efe yn ymguddio yn mhlith y dodrefn*—neu y cerbydau a'r celfi a ddygasai y bobl gyda hwynt i'r lle.

Adn. 23. *Yr oedd efe o'i ysgwydd i fyny yn uwch na'r holl bobl*] Trwy yr hyn yr edrychai efe yn hardd a mawreddog iawn yn eu plith: gwel ar pen. ix. 2.

Adn. 24. *A welwch chwi yr hwn a ddewisodd yr Arglwydd?*] Priodola Samuel y dewisiad i'r Arglwydd, am mai efe a barasai i'r coelbren syrthio ar Saul. *Nad oes tebyg iddo*—o ran maintioli a phrydferthwch corff, yr hyn oedd ynddo ei hun yn ddymunol mewn brenin, ac fel yn arwydd o gymhwysder meddwl. *A'r holl bobl a floeddiasant*—ond odid amrai weithiau yn olynol, i ddangos eu cymeradwyaeth o hono. *Byw fyddo y brenin*—hyny yw, bydded iddo fyw yn hir a llwyddiannus fel brenin.

Adn. 25. *Yna Samuel a draethodd gyfraith y deyrnas*] Sef y rheolau wrth ba rai yr oedd y llywodraeth frenhinol i gael ei chario yn mlaen, Deut. xvii. 16, &c. *Ac a'i hysgrifenodd mewn llyfr*—i fod yn gyfammod parhaol nid yn unig rhwng y brenin a'i dywysogion, ond hefyd rhyngddynt oll a Duw. *Ac a'i gosododd gerbron yr Arglwydd*—yn ymyl yr arch, gyda'r cyfreithiau ag oeddynt yno o'r blaen, Deut. xxxi. 26.

Adn. 26. *A Saul hefyd a aeth i'w dŷ ei hun*] Neu adref at ei dad; canys nid oedd un llys brenhinol wedi ei adeiladu eto. *A byddin o'r rhai y cyffyrddasai Duw â'u calon*—y rhai a gynhyrfwyd gan ddylanwad dwyfol i wneuthur hyn; *a aeth gydag ef*—i'w arwain ef yn ddiogel ac anrhydeddus i'w dŷ; eithr nid i aros gydag ef yno, yr hyn ni fuasai yn gyfaddas i'w amgylchiadau presenol.

Adn. 27. *Ond meibion Belial a ddywedasant*] Sef rhyw ddynion penrhydd a drygionus, ond odid o deulu enwog, y rhai a gasäent bob llywodraeth, yn enwedig llywodraeth Saul, yr hwn a hanasai o deulu isel: gwel ar pen. ii. 12, Deut. xiii. 13. *Pa fodd y gwared hwn ni*—o law y Philistiaid a gelynion ereill? *A hwy a'i dirmygasant ef*—nid yn unig mewn geiriau, ond mewn gweithredoedd hefyd; ac oni buasai y fyddin a aethai gydag ef, y mae yn dra thebyg y buasent yn ei ladd ef ar y ffordd adref. *Ac ni ddygasant anrheg iddo ef*—fel yr arferid gwneyd yn ngwledydd y dwyrain, pan esgynai brenin i'w orsedd, 1 Bren. iv. 21, 2 Cron. xvii. 5. *Eithr ni chymerodd efe arno glywed hyn*—yr hyn oedd yn brawf o'i ostyngeiddrwydd ef, ac o dynerwch ei dymher. Yr oedd llawer o ddoethineb hefyd i'w ganfod yn hyn: canys pe sylwasai efe ar eu hymddygiad hwy, buasai raid iddo eu cospi; ac ni

ddywedasant wrth Nahas, Gwna gyfammod â ni, ac ni a'th wasanaethwn di.
2 A Nahas yr Ammoniad a ddywedodd wrthynt, Dan *yr ammod* hon *y cyfammodaf* â chwi; i mi gael tynu pob llygad deau i chwi, fel y gosodwyf y gwaradwydd hwn ar holl Israel.
3 A henuriaid Jabes a ddywedasant wrtho, Caniatâ i ni saith niwrnod, fel yr anfonom genadau i holl derfynau Israel: ac oni *bydd* a'n gwaredo, ni a ddeuwn allan atat ti.
4 ¶ A'r cenadau a ddaethant i Gibeah Saul, ac a adroddasant y geiriau lle y clybu y bobl. A'r holl bobl a
ddyrchafasant eu llef, ac a ŵylasant.
5 Ac wele, Saul yn dyfod ar ol y gwartheg o'r maes. A dywedodd Saul, Beth *sydd* yn peri i'r bobl ŵylo? Yna yr adroddasant iddo eiriau gwŷr Jabes.
6 Ac Ysbryd Duw a ddaeth ar Saul, pan glybu efe y geiriau hyny; a'i ddigofaint ef a enynodd yn ddirfawr.
7 Ac efe a gymerth bâr o ychain, ac a'u drylliodd, ac a'*u* danfonodd trwy holl derfynau Israel yn llaw y cenadau; gan ddywedyd, yr hwn nid elo ar ol Saul, ac ar ol Samuel, fel hyn y gwneir i'w wartheg ef. Ac ofn yr Arglwydd a syrthiodd ar y bobl, a hwy a ddaethant allan yn unfryd.

---

buasai yn ddiogel iddo ddechreu ei deyrnasiad trwy weithred o doster.

PEN. XI. Adn. 1. *Yna Nahas yr Ammoniad a ddaeth i fyny*] Yn ol fel yr oedd efe wedi bygwth o'r blaen, pen. xii. 12; *ac a wersyllodd yn erbyn Jabes Gilead*—dinas yn ngwlad Gilead, tuhwnt i'r Iorddonen, yn perthyn i lwyth Gad, ar derfyn Manasse. *Gwna gyfammod â ni*—dymunent fod mewn heddwch â brenin meibion Ammon, a thalu teyrnged iddo ef ar yr ammod o gael llonydd yn eu gwlad, a mwynhau eu breintiau gwladol a chrefyddol fel o'r blaen. Yr oeddynt wedi cael eu gwanhau yn fawr cyn hyn gan lwythau ereill Israel, (Barn. xxi. 8—11,) fel nas gallent sefyll rhyfel yn awr â'r Ammoniaid; ac nid oeddynt yn gweled un tebygolrwydd o ymwared oddiwrth eu brodyr yn Nghanaan.

Adn. 2. *Dan yr ammod hon y cyfammodaf â chwi*] Fel ag i'ch gadael yn fyw; *i mi gael tynu pob llygad deau i chwi*—byddai i'r ammod greulon hon wasanaethu ar unwaith fel arwydd o'u caethiwed, a moddion i'w hanalluogi i ryfel, yn yr hon yr oedd eu llygad deau yn dra gwasanaethgar, trwy fod eu tarianau, y rhai a ddalient yn eu llaw aswy, yn cuddio eu llygad aswy i raddau pell. Efe a gynygia, modd bynag, adael iddynt un llygad, fel y gallent ei wasanaethu ef mewn unrhyw swydd isel. *Fel y gosodwyf y gwaradwydd hwn*—canys byddai yn waradwydd gwarthus iddynt oll fod yn unllygeidiog, trwy ymostwng yn llwfraidd i hyny rhag ofn eu gelynion. A byddai yn waradwydd hefyd i *holl Israel*, fod iddynt oddef i'w brodyr gael eu trin fel hyn, ac yn enwedig gan y gallent ddysgwyl yr un driniaeth eu hunain gan Nahas.

Adn. 3. *Caniatâ i ni saith niwrnod*] Gall ymddangos yn hynod fod iddynt hwy gynyg ymostwng mor fuan i'r fath ammodau creulon, os na dderbynient gymhorth; a bod i Nahas ganiatâu iddynt gymaint o amser i'r fath ddyben. Ond y mae y rheswm yn amlwg: canys gallwn feddwl nad oedd Nahas yn ewyllysio eu gyru hwynt i anobaith ar unwaith trwy wrthod iddynt yr yspaid byr hwn i ddysgwyl ymwared, yr hwn y tybiai efe ei fod yn llawer rhy fyr i Saul na neb arall godi byddin i'w cynorthwyo. Ac yr oedd efe yn gweled hefyd fod gan Israel yn Nghanaan ddigon i'w wneuthur gyda'r Philistiaid, heb ddyfod dros yr Iorddonen i ryfela â'r Ammoniaid. *Ac oni bydd a'n gwaredo*—os na ddaw ein brodyr drosodd; *ni a ddeuwn allan atat ti*—canys yr oedd yn well ganddynt golli eu llygad na cholli eu bywyd.

Adn. 4. *A'r cenadau a ddaethant i Gibeah Saul*] A elwid felly am mai yma y ganed ef, y dygwyd ef i fyny, ac y preswyliai hyd yn hyn; *ac a adroddasant y geiriau lle y clybu y bobl*—ymddengys oddiwrth hyn na wyddent hwy yn Jabes Gilead ddim am benodiad Saul i'r frenhiniaeth, trwy i'r genadwri gael ei chyfeirio at y bobl, ac nid at Saul. Yr oedd rhwymau neillduol ar lwyth Benjamin i gynorthwyo gwŷr Jabes, am mai oddiyma y cawsant hwy 400 o wragedd i'r gweddill a adawsid yn fyw o'r Benjaminiaid: gwel Barn. xxi. 12. *A'r holl bobl a ddyrchafasant eu llef*—mewn cydymdeimlad â'u brodyr yn eu trallod a'u perygl presenol, a chan ofn y tynid eu llygaid hwythau oll yr un modd.

Adn. 5. *Ac wele Saul yn dyfod ar ol y gwartheg o'r maes*] Gan eu dwyn adref dros nos, neu ynte i'w godro. Er ei fod wedi ei ddewis yn frenin cyn hyn, nid oedd eto wedi dechreu teyrnasu yn ystyr priodol y gair; a chan y deallai fod rhai yn ei ddirmygu, arhosodd yn dawel gyda'i alwedigaeth wladaidd arferol, hyd oni threfnai Duw yn ei ragluniaeth iddo ddyfod i'w swydd mewn modd mwy cyhoeddus. *Beth sydd yn peri i'r bobl ŵylo?*—adroddwch i mi, fel y gallwyf, os yw bosibl, eu cynorthwyo. Fel hyn y mae brenhinoedd tosturiol mewn poen, os bydd eu deiliaid mewn dagrau.

Adn. 6. *Ac Ysbryd Duw a ddaeth ar Saul*] Yn ysbryd o dosturi tuag at drigolion Jabes Gilead, ac yn ysbryd o eiddigedd a gwrolder i ymosod ar eu gelynion ac i'w hachub hwythau.

Adn. 7. *Ac efe a gymerth bâr o ychain, &c.*] Yr oedd anfoniad darnau o'r ychain trwy holl derfynau Israel yn weithred gyffelyb i eiddo y Lefiad: gwel ar Barn. xix. 29. *Yr hwn nid elo ar ol Saul ac ar ol Samuel*—er ei fod yn ei enwi ei hun yn mlaenaf, fel yr uwchaf mewn awdurdod, eto y mae yn cysylltu Samuel gydag ef, am ei fod o hyd yn

8 A phan gyfrifodd efe hwynt yn Bezec, meibion Israel oedd dri chan mil, a gwŷr Juda yn ddeng mil ar hugain.

9 A hwy a ddywedasant wrth y cenadau a ddaethai, Fel hyn y dywedwch wrth wŷr Jabes Gilead; Y fory, erbyn gwresogi yr haul, bydd i chwi ymwared. A'r cenadau a ddaethant ac a fynegasant *hyny* i wŷr Jabes; a hwythau a lawenychasant.

10 Am hyny gwŷr Jabes a ddywedasant, Y fory y deuwn allan atoch chwi; ac y gwnewch i ni yr hyn oll a weloch yn dda.

11 A bu dranoeth i Saul osod y bobl yn dair byddin; a hwy a ddaethant i ganol y gwersyll yn y wyliadwriaeth fore, ac a laddasant yr Ammoniaid nes gwresogi o'r dydd: a'r gweddillion a wasgarwyd, fel na thrigodd o honynt ddau yn nghyd.

12 ¶ A dywedodd y bobl wrth Samuel, Pwy *yw* yr hwn a ddywedodd, A deyrnasa Saul arnom ni? moeswch y gwŷr *hyny,* fel y rhoddom hwynt i farwolaeth.

13 A Saul a ddywedodd, Ni roddir neb i farwolaeth heddyw: canys heddyw y gwnaeth yr Arglwydd ymwared yn Israel.

14 Yna Samuel a ddywedodd wrth

---

farnwr, ac o ddylanwad mawr gyda'r bobl. *Fel hyn y gwneir i'w wartheg ef*—eu dryllio yn ddarnau, fel y drylliasai efe y ddau ŷch. *Ac ofn yr Arglwydd a syrthiodd ar y bobl*—ofnasant, os nad ufyddhäent, y drylliai yr Arglwydd hwythau trwy ryw farn, fel y bygythiai Saul ddryllio eu gwartheg. *A hwy a ddaethant allan yn unfryd*—o'u cartrefleoedd, i fyned ar ol Saul yn erbyn meibion Ammon. 'Bydd i ofn Duw,' ebai Benson, 'wneyd dynion yn ddeiliaid da, yn filwyr da, ac yn gyfeillion da i'w gwlad. Bydd i'r rhai a ofnant Dduw wneyd cydwybod o'u dyledswydd i bob dyn, yn enwedig i'w llywodraethwyr. Hwy a anrhydeddant y brenin, a phawb a fyddont mewn awdurdod dano ef.'

Adn. 8. *A phan gyfrifodd efe hwynt yn Bezec*] Dinas yn llwyth Manasse, oddeutu 40 milldir i'r gogledd o Gibeah, ar y ffordd i Jabes, ac o fewn 24 o filldiroedd iddi. Yma yr oedd yr holl filwyr i gyfarfod â Saul. *Meibion Israel oedd dri chan mil*—o'r wyth llwyth a hanner ag oeddynt yn Nghanaan; *a gwŷr Juda yn ddeng mil ar hugain*—enwir y llwyth hwn ar ei ben ei hun, o herwydd ei ragoriaeth. Nid yw nifer milwyr Juda yma yn llawer, am fod yn angenrheidiol iddynt gadw llawer o'u milwyr gartref, i amddiffyn eu gwlad rhag y Philistiaid ag oeddynt ar eu terfyn hwy. Er eu bod wedi eu siomi ond odid am na chawsent frenin o'u llwyth eu hunain, fel y gallasent ddysgwyl, (gwel Gen. xlix. 8, 10,) ac er eu bod mewn perygl mawr oddiwrth y Philistiaid, eto y fath oedd eu hymostyngiad i orchymyn Saul, a'u serch at eu brodyr tuhwnt i'r Iorddonen, fel yr anfonasant o leiaf 30,000 o wŷr i'w cynorthwyo. Ond yn ol y LXX, yr oedd gwŷr Israel yn 600,000, a gwŷr Juda yn 70,000; a dywed Josephus fod y fyddin oll yn 700,000.

Adn. 9. *Y fory, erbyn gwresogi yr haul*] Sef erbyn hanner dydd; *y bydd i chwi ymwared*—trwy ddyfodiad eich brodyr i'ch cynorthwyo. Nid tranoeth wedi ymadawiad y cenadau o Bezec a feddylir, eithr tranoeth ar ol iddynt hwy gyraedd at eu brodyr i Jabes Gilead: gwel ar adn. 11.

Adn. 10. *Am hyny gwŷr Jabes a ddywedasant*] Wrth Nahas a'r Ammoniaid. *Y fory y deuwn allan atoch chwi*—fel yr addawsom, adn. 3. Eithr celasant oddiwrthynt yr hysbysrwydd a dderbyniasent am gymhorth oddi wrth eu brodyr. *Gwnewch i ni yr hyn oll a weloch yn dda*—ein lladd, ein caethiwo, neu dynu ein llygaid. Dywedent fel hyn, i wneyd yr Ammoniaid yn fwy diofal, hyd oni syrthiai Saul a'i filwyr arnynt yn ddiarwybod.

Adn. 11. *A bu dranoeth*] Ar ol i'r cenadau ddychwelyd; *i Saul osod y bobl yn dair byddin*—i ymosod ar yr Ammoniaid mewn tri lle gwahanol, fel y cai ei wŷr fwy o fantais i weithredu. *Yn y wyliadwriaeth fore*—y mae yn debyg iddynt ddechreu eu taith yn yr hwyr yr ail ddydd ar ol gwneuthur addewid i'r cenadau, ac iddynt groesi yr Iorddonen yn y nos, a chyraedd gwersyll yr Ammoniaid erbyn toriad gwawr y trydydd dydd. *Ac a laddasant yr Ammoniaid nes gwresogi o'r dydd*—o'r bore hyd hanner dydd, pryd yr oedd yr haul wresocaf. *A'r gweddillion a wasgarwyd*—y rhai a allent ddianc rhag cleddyf Saul ac Israel a ffoisant am eu heinioes, bob un yn ei ffordd ei hun.

Adn. 12. *A dywedodd y bobl wrth Samuel*] Yr hwn yr ymddengys iddo ganlyn Saul yn y rhyfelgyrch yma, i'w gefnogi ef, a gweddio drosto; er y tybia rhai mai ar ol i'r fyddin ddychwelyd i Ganaan y bu yr ymddyddan hwn. *Pwy yw yr hwn a ddywedodd, A deyrnasa Saul arnom ni?*—neu, fel y mae yn yr Arabaeg, y Syriaeg, a'r Galdeaeg, 'Ni chaiff Saul deyrnasu arnom ni.' *Moeswch y gwŷr hyny*—sef meibion Belial, pen. x. 27; *fel y rhoddom hwynt i farwolaeth*—felly yn awr, ar ol ennill y fuddugoliaeth, y maent yn falch o'u harweinydd, ac am roddi prawf o'u hymlyniad wrtho trwy ladd, mewn gwaed oer, y rhai hyny ag oeddynt yn erbyn iddo ef gael y frenhiniaeth.

Adn. 13. *A Saul a ddywedodd*] Mewn atebiad iddynt, cyn i Samuel gael amser i ddywedyd gair. *Ni roddir neb i farwolaeth heddyw*—yr oedd ganddo ef, fel brenin, awdurdod i gospi neu arbed y troseddwyr hyn: gwel ar pen. x. 27. *Canys heddyw y gwnaeth yr Arglwydd ymwared yn Israel*—fel pe dywedasai, Y mae yn resyn rhoddi neb o'n pobl ein hunain i farwolaeth heddyw, pan y mae yr Arglwydd newydd roddi ymwared i ni o law ein gelynion.

Adn. 14. *Deuwch, fel yr elom i Gilgal*] Y lle y daeth Israel gyntaf iddo pan ddyg Josua

y bobl, Deuwch, fel yr elom i Gilgal,
ac yr adnewyddom y frenhiniaeth yno.
15 A'r holl bobl a aethant i Gilgal;
ac yno y gwnaethant Saul yn frenin,
gerbron yr Arglwydd yn Gilgal: a
hwy a aberthasant yno ebyrth hedd
gerbron yr Arglwydd. A Saul a law-
enychodd yno, a holl wŷr Israel, yn
ddirfawr.

## PENNOD XII.

A SAMUEL a ddywedodd wrth holl
Israel, Wele, gwrandewais ar eich
llais yn yr hyn oll a ddywedasoch
wrthyf, a gosodais frenin arnoch.
2 Ac yr awr hon, wele, y brenin yn
rhodio o'ch blaen chwi: a minau a
heneiddiais, ac a benwynais; ac wele,
fy meibion hwythau gyda chwi: a
minau a rodiais o'ch blaen chwi o'm
mebyd hyd y dydd hwn.
3 Wele fi; tystiolaethwch i'm her-
byn gerbron yr Arglwydd, a cherbron
ei eneiniog: ŷch pwy a gymerais?
neu asyn pwy a gymerais? neu pwy
a dwyllais? neu pwy a orthrymais i?
neu o law pwy y cymerais wobr, i
ddallu fy llygaid âg ef? a mi a'i talaf
i chwi.
4 A hwy a ddywedasant, Ni thwyll-
aist ni, ni orthrymaist ni chwaith, ac
ni chymeraist ddim o law neb.
5 Dywedodd yntau wrthynt, Yr Ar-
glwydd *sydd* dyst yn eich herbyn chwi,
ei eneiniog ef hefyd *sydd* dyst y dydd
hwn, na chawsoch ddim yn fy llaw i.
A'*r bobl a* ddywedasant, Tyst *ydyw*.
6 ¶ A Samuel a ddywedodd wrth

---

hwynt i Ganaan, Jos. iv. 19. Yr oedd oddeutu 50 o filldiroedd o Jabes Gilead. *Ac yr adnewyddom y frenhiniaeth*—sef cyhoeddi, cydnabod, a sicrhau Saul yn frenin ar Israel.

Adn. 15. *Ac yno y gwnaethant Saul yn frenin*] Yr arddelasant ac y derbyniasant ef yn gyhoeddus ac unfrydol fel eu brenin. Yr oedd Saul o'r blaen wedi cael ei eneinio yn Ramah, a'i ddewis trwy goelbren yn Mispeh, pen. x. 1, 21; ond trwy fod rhai yn anfoddlon i'w gydnabod ef fel eu brenin, bu yn aros beth amser gartref mewn cyflwr o annghyhoeddusrwydd. Eithr yn awr, ar ol y fath brawf amlwg fod presenoldeb Duw gydag ef yn y fuddugoliaeth ddiweddar, derbyniwyd ef gan yr holl bobl yn unfrydol fel eu brenin; a dywed Josephus iddo gael ei eneinio eilwaith. *Ger bron yr Arglwydd*—nid gerbron yr arch, canys yr oedd hòno yn awr yn Ciriath-jearim; eithr mewn modd edmygol, fel yn mhresenoldeb Duw, gan apelio ato ef fel tyst o'u cywirdeb yn y weithred hon, a chydag ebyrth santaidd, a gweddi am ei fendith ef ar y cwbl. *A Saul a lawenychodd yno*—yn ei frenhiniaeth ei hun, ac ewyllys da ei ddeiliaid; *a holl wŷr Israel*—fod ganddynt y fath un yn frenin arnynt.

PEN. XII. Adn. 1. *A Samuel a ddywedodd wrth holl Israel*] Yn Gilgal, ar ol iddynt gyhoeddi Saul yn frenin, ac yn nghanol eu llawenydd dirfawr ar yr achlysur; *wele, gwrandewais ar eich llais*—yn eich holl geisiadau am frenin; *a gosodais frenin arnoch*—yn ol gorchymyn Duw, pen. viii. 22.

Adn. 2. *Ac yr awr hon, wele y brenin yn rhodio o'ch blaen chwi*] Neu yn teyrnasu arnoch. Yr wyf fi wedi rhoddi fy awdurdod i fyny iddo ef, ac yn fy addef fy hun fel un o'i ddeiliaid. *A minau a heneiddiais*—ac felly yr oeddwn yn analluog i'ch llywodraethu fy hun. *Ac wele fy meibion hwythau gyda chwi*—yn ddynion cyffredin, neu ddeiliaid i'r brenin fel chwithau, heb hòni dim hawl i'r frenhiniaeth: ac os gwnaethant gam â neb o honoch yn eu swydd fel barnwyr, (pen. viii. 3,) gallwch yn awr eu galw i gyfrif, a gall eich brenin eu cospi. *A minau a rodiais o'ch blaen chwi o'm mebyd*—a fûm yn arweinydd ac yn llywodraethwr i chwi; mewn rhan fel proffwyd, ac mewn rhan fel barnwr.

Adn. 3. *Wele fi*] Yn hen ŵr penwyn, adnabyddus i rai o honoch o'm mebyd; *tystiolaethwch i'm herbyn gerbron yr Arglwydd*—yn enw ac yn mhresenoldeb yr hwn yr ymgynullasom; *a cherbron ei eneiniog*—sef Saul, yr hwn a eneiniwyd trwy orchymyn Duw yn frenin arnynt. *Ych pwy a gymerais*—yn annghyfiawn, neu o drais, i aredig fy nhir âg ef? *Neu asyn*—i farchogaeth arno yn fy nheithiau swyddogol o le i le? *Pwy a dwyllais, neu pwy a orthrymais i*—trwy hoced, dichell, neu annghyfiawnder, fel barnwr neu gymydog? *Neu o law pwy y cymerais wobr*—am wneyd cam âg arall, pan ddygid achos o'm blaen i'w benderfynu? *A mi a'i talaf i chwi*—os gall neb o honoch fy mhrofi yn euog o un o'r camweddau hyn, yr wyf yn foddlon i ddychwelyd yr hyn a gymerwyd yn annghyfiawn, a gwneyd iawn am y camwedd.

Adn. 4. *A hwy a ddywedasant*] A gyfaddefasant oll, megys âg un genau, nad oedd efe erioed wedi eu twyllo na'u gorthrymu hwynt mewn dim. *Ac ni chymeraist ddim o law neb*—yn wobr am ŵyro barn.

Adn. 5. *Yr Arglwydd sydd dyst, &c.*] Yr oedd yr Arglwydd a'r brenin yn dystion eu bod hwy oll yn rhyddhau Samuel y dydd hwnw oddiwrth yr holl feiau a grybwyllir adn. 3; ac nis gallent ei gyhuddo ef o un o honynt ar ol hyn, heb wrthddywedyd eu tystiolaeth bresenol. Nid ei ryddhau ei hun oedd amcan penaf Samuel yn hyn, eithr dangos i'r bobl, neu gael ganddynt hwy gyfaddef, mai nid o herwydd un bai ynddo ef a'i lywodraeth yr oeddynt hwy wedi ceisio brenin. O ddedwydd Samuel, yr hwn a allai fel hyn alw teyrnas gyfan i ddwyn tystiolaeth i'w gywirdeb! ac O ynfyd bobl, y rhai a allent ddymuno newid y fath lywodraethwr am frenin yn meddu awdurdod annibynol!

Adn. 6. *A Samuel a ddywedodd*] Wedi i Samuel ddiogelu ei gymeriad ei hun, y mae yn myned rhagddo i osod o flaen y bobl rai o'r

y bobl, Yr Arglwydd *yw* yr hwn a fawrhaodd Moses ac Aaron, a'r hwn a ddyg i fyny eich tadau chwi o dir yr Aifft.
7 Yn awr gan hyny sefwch, fel yr ymresymwyf â chwi gerbron yr Arglwydd, am holl gyfiawnderau yr Arglwydd, y rhai a wnaeth efe i chwi ac i'ch tadau.
8 Wedi i Jacob ddyfod i'r Aifft, a gwaeddi o'ch tadau chwi ar yr Arglwydd, yna yr Arglwydd a anfonodd Moses ac Aaron; a hwy a ddygasant eich tadau chwi o'r Aifft, ac a'u cyfleasant hwy yn y lle hwn.
9 A phan annghofiasant yr Arglwydd eu Duw, efe a'u gwerthodd hwynt i law Sisera, tywysog milwriaeth Hazor, ac i law y Philistiaid, ac i law brenin Moab; a hwy a ymladdasant i'w herbyn hwynt.
10 A hwy a waeddasant ar yr Arglwydd, ac a ddywedasant, Pechasom, am i ni wrthod yr Arglwydd, a gwasanaethu Baalim ac Astaroth: er hyny gwared ni yr awr hon o law ein gelynion, a nyni a'th wasanaethwn di.
11 A'r Arglwydd a anfonodd Jerubbaal, a Bedan, a Jephtha, a Samuel, ac a'ch gwaredodd chwi o law eich gelynion o amgylch, a chwi a breswyliasoch yn ddiogel.
12 A phan welsoch fod Nahas brenin meibion Ammon yn dyfod yn eich erbyn, dywedasoch wrthyf, Nage; ond brenin a deyrnasa arnom ni; a'r Arglwydd eich Duw yn frenin *i* chwi.
13 Ac yn awr, wele y brenin a ddewisasoch chwi, *a*'r hwn a ddymunasoch: ac wele, yr Arglwydd a roddes frenin arnoch chwi.
14 Os ofnwch chwi yr Arglwydd,

---

gweithredoedd mawrion a wnaethai yr Arglwydd iddynt hwy a'u tadau, i'r dyben i ddangos iddynt fawredd eu bai yn gwrthod Duw yn frenin arnynt. *Yr Arglwydd yw yr hwn a fawrhaodd Moses ac Aaron*—trwy godi un ag ydoedd yn alltud yn Midian, a'r llall ag ydoedd yn gaethwas yn yr Aifft, i'r anrhydedd goruchel o fod yn waredwyr, arweinwyr, a llywodraethwyr i feibion Israel. *A'r hwn a ddyg i fyny eich tadau chwi o dir yr Aifft*—trwy wyrthiau a rhyfeddodau aruthrol.

Adn. 7. *Yn awr gan hyny sefwch*] Bob un yn ei le, yn llonydd ac yn ystyriol; *fel yr ymresymwyf a chwi gerbron yr Arglwydd*—yn ei wyddfod ac yn ei glyw ef; *am holl gyfiawnderau yr Arglwydd*—nid yn unig mewn ffordd o farn, yn eich rhoddi chwi yn llaw eich gelynion pan yn ei ddigio ef; ond hefyd mewn ffordd o drugaredd, wrth eich gwaredu o'u llaw hwynt.

Adn. 8. *Wedi i Jacob ddyfod i'r Aifft*] Efe a'i feibion i weled Joseph, ac i aros yno; *a gwaeddi o'ch tadau chwi*—sef hiliogaeth Jacob, dan orthrymder Pharao; *yna yr Arglwydd a anfonodd Moses ac Aaron*—fel offerynau yn ei law i waredu eich tadau o'r Aifft; *ac a'u cyfleasant hwy yn y lle hwn*—priodolir hyn i Moses ac Aaron, ac nid i Josua, am i ran o hiliogaeth Jacob gael eu sefydlu yn eu rhandir tuhwnt i'r Iorddonen cyn marw Moses; ac am mai hwynt-hwy, dan Dduw, a fuont y prif offerynau i ddodi y gweddill o'r llwythau mewn meddiant o Ganaan, gan iddynt eu dwyn hwy o'r Aifft, eu harwain trwy yr anialwch, eu cadw rhag eu llwyr ddinystrio lawer gwaith trwy eiriol drostynt, rhanu y tir iddynt, (Num. xxxiv.) eu cefnogi i gymeryd meddiant o hono, a gosod Josua i orphen y gwaith ag yr oeddynt hwy bron wedi ei ddybenu.

Adn. 9. *A phan annghofiasant yr Arglwydd eu Duw*] Trwy wrthgilio i eilunaddoliaeth; *efe a'u gwerthodd hwynt i law Sisera*—gwel ar Barn. iv. 2, &c. Fel hyn, er eu bod hwy yn cael eu cystuddio yn drwm yn amser y barnwyr, nid bai y ffurf-lywodraeth hòno ydoedd hyn, eithr effaith eu troseddiad gwirfoddol hwy o'i rheolau uniawn hi.

Adn. 10. *A hwy a waeddasant ar yr Arglwydd*] Pan yn nwylaw eu gwahanol elynion hyn, ac yn cael eu gorthrymu ganddynt y naill dro ar ol y llall, fel y gwelwn yn llyfr y Barnwyr. *Baalim ac Astaroth*—gwel ar Barn. ii. 13, a iii. 7. *Er hyny gwared ni yr awr hon*—gwaeddent nid am frenin, fel yn ddiweddar, eithr am i'r Arglwydd eu gwaredu o dro i dro, gan addaw ei wasanaethu ef fel eu Brenin a'u Duw.

Adn. 11. *A'r Arglwydd a anfonodd Jerubbaal*] Neu Gedeon, Barn. vi. 32. *Bedan*—trwy nad oes son am hwn yn llyfr y Barnwyr, tybia rhai mai Samson a feddylir, am fod y gair *Bedan* yn arwyddo 'un o Dan,' megys yr oedd Samson; a thybia ereill mai Barac neu Jair a feddylir. *A chwi a breswyliasoch yn ddiogel*—dan eu llywodraeth hwy, er nad oedd genych frenin.

Adn. 12 *A phan welsoch fod Nahas—yn dyfod yn eich erbyn*] Ymddengys oddiyma fod Nahas wedi cyhoeddi rhyfel yn eu herbyn beth amser cyn iddo ddyfod yn erbyn Jabes Gilead, fel yr adroddwyd yn y bennod flaenorol; ac iddynt hwythau gymeryd achlysur oddiwrth hyny i ofyn am frenin, o herwydd eu bod yn ofnus ac yn ddiamynedd i aros hyd oni chodai Duw waredwr iddynt, neu orchymyn i Samuel eu barnwr fyned i ryfel yn ei erbyn ef. *A'r Arglwydd eich Duw yn frenin i chwi*—hyny yw, pan yr oedd Duw ei hun yn frenin arnoch, yr hwn oedd yn alluog ac yn ewyllysgar i'ch gwaredu, ond i chwi alw arno ef, o'r hyn y cawsoch chwi a'ch tadau ddigon o brawf: felly nid oeddych chwi mewn angen am un brenin arall; ac yr oedd eich gwaith yn chwennychu un arall yn ddirmyg eglur ar Dduw!

Adn. 13. *Wele y brenin a ddewisasoch chwi*] Er mai Duw a'i dewisodd ef trwy goelbren, eto dywedir i'r bobl ei ddewis, naill am y mynent hwy gael y ffurf ddynol hòno o

a'i wasanaethu ef, a gwrando ar ei
lais, heb anufyddhau gair yr Argl-
wydd; yna y byddwch chwi, a'r bren-
in hefyd a deyrnasa arnoch, ar ol yr
Arglwydd eich Duw.
15 Ond os chwi ni wrandewch ar
lais yr Arglwydd, eithr anufyddhau
gair yr Arglwydd; yna y bydd llaw
yr Arglwydd yn eich erbyn chwi, fel
yn erbyn eich tadau.
16 ¶ Sefwch gan hyny yn awr, a
gwelwch y peth mawr hyn a wna yr
Arglwydd o flaen eich llygaid chwi.
17 Onid cynaüaf gwenith *yw* hedd-
yw? Galwaf ar yr Arglwydd; ac efe
a ddyry daranau, a gwlaw: fel y
gwybyddoch ac y gweloch, mai mawr
*yw* eich drygioni chwi yr hwn a
wnaethoch yn ngolwg yr Arglwydd,
yn gofyn i chwi frenin.
18 Felly Samuel a alwodd ar yr
Arglwydd; a'r Arglwydd a roddodd
daranau a gwlaw y dydd hwnw: a'r
holl bobl a ofnodd yr Arglwydd a
Samuel yn ddirfawr.
19 A'r holl bobl a ddywedasant
wrth Samuel, Gweddia dros dy weis-
ion ar yr Arglwydd dy Dduw, fel na
byddom feirw: canys chwanegasom
ddrygioni ar ein holl bechodau, wrth
geisio i ni frenin.
20 ¶ A dywedodd Samuel wrth y
bobl, Nac ofnwch; chwi a wnaethoch
yr holl ddrygioni hyn: eto na chil-

---

lywodraeth, neu ynte am eu bod hwy wedi cymeradwyo a chadarnhau dewisiad Duw. *Yr Arglwydd a roddes frenin arnoch chwi*—efe a ildiodd i'ch chwennychiad afresymol.

Adn. 14. *Yna y byddwch chwi a'r brenin—ar ol yr Arglwydd eich Duw*] Os ufyddhäent hwy i air yr Arglwydd yn mhob peth, yna caent hwy a'u brenin fyned ar ol yr Arglwydd eu Duw yn ei ffordd osodedig a chymeradwy ef ei hun; hyny yw, byddai i Dduw fyned o'u blaen hwy fel eu harweinydd a'u noddwr, a chaent hwythau ei ddylyn ef mewn diogelwch. Er fod myned 'ar ol yr Arglwydd' yn arwyddo weithiau ufydd-dod dyn i Dduw, eto y mae yr ymadrodd yma i'w ddeall yn wahanol, ac yn arwyddo nid dyledswydd i'w chyflawni, ond braint i'w mwynhau ar gyflawniad o'r ddyledswydd a enwir yn nechre yr adnod.

Adn. 15. *Fel yn erbyn eich tadau*] Y rhai oeddynt yn byw dan y barnwyr. Ni fydd i chwi gael un fantais bersonol trwy newidiad y llywodraeth, neu trwy gael brenin yn lle barnwr; canys ni fydd eich brenin yn alluog i'ch cadw chwi rhag anfoddlonrwydd Duw, os bydd i chwi anufyddhau i'w air ef. Yr ydym yn camsynied os meddyliwn y gallwn ni osgoi cyfiawn farn Duw trwy ymysgwyd oddiwrth ei lywodraeth ef. Os na chaiff Duw fod yn Frenin arnom, efe a fyn fod yn Farnwr.

Adn. 16. *Sefwch gan hyny yn awr*] Yn llonydd ac ystyriol; *a gwelwch y peth mawr a wna yr Arglwydd*—trwy fy ngweddi i, fel arwydd o'i anfoddlonrwydd ef i'ch gwaith yn ei wrthod ef, ac yn galw am frenin daearol.

Adn. 17. *Onid cynauaf gwenith yw heddyw?*] Yr hwn a ddechreuai ar ol y pentecost, sef yn mhen saith wythnos wedi y pasc, Lef. xxiii. 15, &c., yn cyfateb eleni (1859) i ganol mis Mehefin. Ni welid braidd byth wlaw, llai o lawer daranau a gwlaw, y pryd hyny o'r flwyddyn yn y wlad hòno, trwy nad oes gwlawogydd yn disgyn yno ond yn yr hydref a'r gwanwyn, y rhai a elwir 'y gwlaw cynar a'r diweddar,' Jer. v. 24: gwel ar Lef. xxvi. 3, 4. *Ac efe a ddyry daranau a gwlaw*—a mellt a chenllusg hefyd yn ddiamau. Er fod y dydd hwnw yn ddiwrnod eglur a goleu, heb un cwmwl i'w ganfod; eto, mewn atebiad i weddi Samuel, rhoddai yr Arglwydd daranau a gwlaw y dydd hwnw, yr hyn a fyddai yn brawf eglur o gyfryngiad dwyfol a goruwchnaturiol. *Fel y gwybyddoch ac y gweloch*—mor ynfyd a drygionus yr ymddygasoch trwy wrthod llywodraeth y Duw hwnw, yr hwn y mae pob peth yn y nefoedd ac ar y ddaear dan ei awdurdod.

Adn. 18. *A'r Arglwydd a roddodd daranau a gwlaw*] Ar gais Samuel, trwy ei fod ef yn uchel yn ffafr Duw. Ac yr oedd Duw trwy hyn yn dangos eu hynfydrwydd hwythau yn chwennych brenin i'w gwaredu yn lle Duw, gan ddysgwyl mwy oddiwrth fraich o gnawd nag oddiwrth y breichiau tragwyddol. A allai eu brenin hwy daranu, fel y gwnaeth Duw? neu a allai efe orchymyn y fath fyddinoedd grymus ag a allodd Samuel trwy ei weddiau? Hefyd, yr oedd yn y taranau a'r gwlaw hyn awgrymiad, pa mor siriol bynag ydoedd eu cyflwr hwy yn awr, fel hin hyfryd cynauaf gwenith; eto y gallai Duw yn fuan, os mynai, newid gwyneb y nefoedd, a'u herlid hwy â'i ystormydd.

Adn. 19. *Gweddia dros dy weision*] Er iddynt wrthod llywodraeth Samuel, eto, yn nghanol yr ystorm ofnadwy ag oedd wedi dyfod arnynt, yr oedd yn dda ganddynt gael ei eiriolaeth ef. *Ar yr Arglwydd dy Dduw*—gwyddent fod yr Arglwydd yn Dduw i Samuel, a'i fod ef o hyd mewn cymeradwyaeth gyda'i Dduw; tra yr ofnent eu bod hwy wedi digio yr Arglwydd mor fawr, fel na feiddient ei alw 'yr Arglwydd *ein* Duw.' *Fel na byddom feirw*—gan y mellt dychrynllyd, a'r cenllusg mawrion y rhai a hyrddid arnynt, meddai Josephus, gan gorwynt nerthol. *Canys chwanegasom ddrygioni ar ein holl bechodau*—yn eu harswyd hwn daeth holl bechodau eu hoes i'w cof; ac edrychent ar eu gwaith yn ceisio brenin fel y mwyaf o honynt.

Adn. 20. *Nac ofnwch*] Fel pe na byddai un gobaith wedi ei adael i chwi. *Chwi a wnaethoch yr holl ddrygioni hyn*—fel pe dywedasai, Y mae yn ddigon gwir i chwi geisio brenin arnoch yn lle yr Arglwydd, yr hyn oedd ddrygioni mawr; eto, os peidiwch chwi a chilio oddiar ol yr Arglwydd a'i wasanaeth, eithr glynu wrtho ef a'i addoliad; neu, er i chwi

iwch oddiar ol yr Arglwydd, ond gwasanaethwch yr Arglwydd â'ch holl galon;

21 Ac na chiliwch: canys *felly yr aech* ar ol oferedd, y rhai ni lesânt, ac ni'ch gwaredant; canys ofer *ydynt* hwy.

22 Canys ni wrthyd yr Arglwydd ei bobl, er mwyn ei enw mawr: o herwydd rhyngodd bodd i'r Arglwydd eich gwneuthur chwi yn bobl iddo ei hun.

23 A minau, na ato Duw i mi bechu yn erbyn yr Arglwydd, trwy beidio â gweddio drosoch: eithr dysgaf i chwi y ffordd dda ac uniawn.

24 Yn unig ofnwch yr Arglwydd, a gwasanaethwch ef mewn gwirionedd â'ch holl galon: canys gwelwch faint a wnaeth efe eroch.

25 Ond os dilynwch ddrygioni, chwi a'ch brenin a ddyfethir.

## PENNOD XIII.

SAUL a deyrnasodd un flwyddyn; ac wedi iddo deyrnasu ddwy flynedd ar Israel,

2 Saul a ddewisodd iddo dair mil o Israel; dwy fil oedd gyda Saul yn Micmas ac yn mynydd Bethel, a mil oedd gyda Jonathan yn Gibeah Benjamin: a'r bobl ereill a anfonodd efe bawb i'w babell ei hun.

3 A Jonathan a darawodd sefyllfa y Philistiaid, yr hon *oedd* yn Geba: a chlybu y Philistiaid *hyny*. A Saul

---

wrthod yr Arglwydd fel Brenin, os bydd i chwi lynu wrtho ef fel Gwrthddrych eich addoliad, fel eich Duw a'ch Gwaredwr, gan ei garu ef â'ch holl galon, ni raid i chwi ofni ei soriant, am fod trugaredd a maddeuant gydag ef.

Adn. 21. *Canys felly yr aech ar ol oferedd*] Neu *bethau diddim*, sef eilunod gweigion neu ofer, y rhai sydd yn hollol ddiddefnydd a diles i bawb. 'Ni a wyddom nad yw eilun *ddim* yn y byd,' 1 Cor. viii. 4. Yr oedd Samuel yn gwybod, gan i Israel wrthod Duw fel *Brenin*, y gallent fyned yn mhellach fyth mewn drygioni, a'i wrthod ef fel eu *Duw;* ac am hyny efe a'u cynghora hwy i beidio cilio oddiwrtho ef at eilunod, y rhai nas gallent eu llesâu na'u gwaredu.

Adn. 22. *Canys ni wrthyd yr Arglwydd ei bobl*] A fyddont yn ei wasanaethu ef mewn gwirionedd â'u holl galon, adn. 24; ond os dylynant hwy *ddrygioni*, hwy a'u brenin a ddyfethir, adn. 25. *Er mwyn ei enw mawr*—neu ei gymeriad a'i anrhydedd ei hun, yr hwn a geblid yn mhlith dynion pe na byddai iddo ef gadw a gwaredu ei *bobl* ffyddlon mewn dydd o berygl. *O herwydd rhyngodd bodd i'r Arglwydd eich gwneuthur chwi yn bobl iddo ei hun*—o'i rad drugaredd yn unig, heb ddim teilyngdod ynoch chwi, Exod. xix. 5, 6, Deut. vii. 7, 8, a ix. 5, a xiv. 2; ac am hyny ni wrthyd efe chwi, heb i chwi yn gyntaf ei wrthod ef: gwel 2 Cron. vii. 19, a xv. 2, a xxiv. 20, 24, Hos. ix. 17.

Adn. 23. *Na ato Duw i mi bechu yn erbyn yr Arglwydd, trwy beidio â gweddio drosoch*] Gan fod arwyddion eu bod hwy wedi dychwelyd at Dduw yn edifeiriol, gan gyfaddef eu bai, buasai yn bechod iddo ef bellach beidio â gweddio drostynt am faddeuant a thrugaredd; a chan fod yr Arglwydd yn barod i faddeu iddynt, ystyriai Samuel fod yn bechod iddo ef beidio gweddio am y maddeuant hwnw iddynt gan yr Arglwydd. Yr oedd ef wedi bod yn gweddio am daranau a gwlaw i'w dychrynu, ac yn awr ystyriai ei hun yn rhwym i weddio am waredigaeth iddynt nid yn unig rhag y dymhestl hono, ond hefyd rhag dialedd tragwyddol. *Eithr dysgaf i chwi y ffordd dda ac uniawn*—ag sydd yn arwain i heddwch â Duw yma, ac i'w bresenoldeb dedwydd ar ol myned oddiyma.

Adn. 24. *Yn unig ofnwch yr Arglwydd*] Ag ofn mabaidd, duwiol, a pharchedig; *a gwasanaethwch ef mewn gwirionedd â'ch holl galon*—heb yr hyn ni wna fy ngweddiau na'm cynghorion i ddim lles i chwi: *canys gwelwch faint a wnaeth efe eroch*—o ddaioni o'r Aifft hyd yma. Ond tybia rhai mai cyfeirio y mae at y dymhestl fawr a ddanfonodd yr Arglwydd y dydd hwnw i'w darostwng hwynt yn edifeiriol wrth ei draed, yr hon a allai fod yn awr wedi tawelu, i arwyddo fod yr Arglwydd yn maddeu iddynt.

Adn. 25. *Ond os dylynwch ddrygioni*] Os bydd i chwi gefnu ar Dduw a'i addoliad, gwrthryfela yn ei erbyn, a myned ar ol eilunaddoliaeth; *chwi a'ch brenin a ddyfethir*—naill ai trwy farnedigaethau digyfrwng Duw, fel eu bygythir Deut. xxviii. 15, &c.; neu ynte trwy law eu gelynion o'u hamgylch.

PEN. XIII. Adn. 1. *Saul a deyrnasodd un flwyddyn*] Heb i ddim neillduol ddygwydd oddieithr ei ryfel â'r Ammoniaid, pen. xi. 11; *ac wedi iddo deyrnasu ddwy flynedd*—neu yn nghorff yr ail flwyddyn y dygwyddodd yr hyn a goffeir isod.

Adn. 2. *Saul a ddewisodd iddo dair mil*] O blith y milwyr a fuont gydag ef yn ymosod ar yr Ammoniaid; *dwy fil oedd gyda Saul*—fel ei osgorddlu personol, sef mil yn Micmas, a mil yn mynydd Bethel, dan lywodraeth Saul ei hun; *a mil oedd gyda Jonathan yn Gibeah Benjamin*—yr un ond odid a Gibeah Saul, pen. xi. 4, sef lle genedigol Saul a Jonathan ei fab; *a'r bobl ereill*—sef y gweddill o'r fyddin a fu yn taraw yr Ammoniaid, a anfonodd efe adref at eu teuluoedd.

Adn. 3. *A Jonathan a darawodd sefyllfa y Philistiaid*] Neu eu gwarchawdlu hwynt, yr hwn oedd yn Geba, yn agos i Gibeah; *a chlybu y Philistiaid hyny*—trwy bob rhan o'u terfynau, a phenderfynasant ddial ar Israel o'r herwydd. *A Saul a ganodd mewn udgorn*—a anfonodd wŷr i udganu trwy ei holl deyrnas, i fynegu i'r Hebreaid yr hyn a

a ganodd mewn udgorn trwy yr holl
dir, gan ddywedyd, Clywed yr Heb-
reaid.
4 A holl Israel a glywsant ddy-
wedyd daro o Saul sefyllfa y Philist-
iaid, a bod Israel yn ffiaidd gan y
Philistiaid: a'r bobl a ymgasglodd ar
ol Saul i Gilgal.
5 ¶ A'r Philistiaid a ymgynullas-
ant, i ymladd âg Israel, deng mil ar
hugain o gerbydau, a chwe mil o wŷr
meirch, a phobl *ereill* cyn amled a'r
tywod *sydd* ar fin y môr. A hwy a
ddaethant i fyny, ac a wersyllasant yn
Micmas, o du y dwyrain i Beth-afen.
6 Pan welodd gwŷr Israel fod yn
gyfyng arnynt (canys gwasgasid ar y
bobl) yna y bobl a ymguddiasant
mewn ogofeydd, ac mewn dyrysni, ac
mewn creigiau, ac mewn tyrau, ac
mewn pydewau.
7 A *rhai* o'r Hebreaid a aethant
dros yr Iorddonen, i dir Gad a Gilead:
a Saul *oedd* eto yn Gilgal, a'r holl bobl
a aethant ar ei ol ef dan grynu.
8 ¶ Ac efe a arhosodd saith niwr-
nod, hyd yr amser gosodedig *a nod-
asai* Samuel. Ond ni ddaeth Samuel
i Gilgal; a'r bobl a ymwasgarodd
oddiwrtho ef.
9 A Saul a ddywedodd, Dygwch at-
af fi boeth-offrwm, ac offrymau hedd.
Ac efe a offrymodd y poeth-offrwm.
10 Ac wedi darfod iddo offrymu y
poeth-offrwm, wele, Samuel a ddaeth:
a Saul a aeth allan i'w gyfarfod ef, *ac*
i gyfarch gwell iddo.
11 ¶ A dywedodd Samuel, Beth a

---

wnaethai Jonathan, a'r modd yr oedd y Philistiaid wedi ymgynddeiriogi, a'r angenrheidrwydd am iddynt hwythau ymgynull yn nghyd mewn hunan-amddiffyniad.

Adn. 4. *A'r bobl a ymgasglodd ar ol Saul i Gilgal*] Lle yr ymddengys fod prif wersyllfa Saul, a lle yr oedd hefyd allor i'r Arglwydd, pen. xi. 15.

Adn. 5. *Deng mil ar hugain o gerbydau*] Neu o *wŷr* mewn cerbydau: gwel ar 2 Sam. x. 18. Nid yw y Syriaeg a'r Arabaeg yn crybwyll ond am *dair mil o gerbydau;* a byddai y nifer hwn, gallem feddwl, yn llawn cymaint ag a allai pum arglwyddiaeth fechan y Philistiaid eu darparu. Ond tybia Patrick ac ereill fod y nifer hwn yn cynwys yr holl fèni a'r certi a gludent eu celfi a'u hoffer hwy. *A chwe mil o wŷr meirch*—yr hyn oedd yn nifer mawr i ymosod ar fyddin o wŷr traed Israel; *a phobl ereill cyn amled a'r tywod*—ymadrodd cyffrediu i osod allan luosogrwydd mawr eu milwyr traed. *Yn Micmas*—canys yr oedd milwyr Saul wedi myned oddiyno i Gilgal, adn. 4.

Adn. 6. *Pan welodd gwŷr Israel fod yn gyfyng arnynt*] Fod byddin luosog y Philistiaid yn eu hamgylchu ar bob tu, ac wedi ymarfogi mor nerthol, tra yr oeddynt hwy eu hunain yn llawer llai o nifer, ac heb wneuthur un parotoad priodol i ryfel; *yna y bobl a ymguddiasant*—darfu i lawer o honynt ffoi i *ogofeydd*—o'r rhai yr oedd amrai yn y wlad hòno, Barn. vi. 2; *dyrysni*—lleoedd anial, llawn o ddrain a mieri, neu berthi tewion, trwy fod llawer o'r wlad eto heb ei harloesi; *mewn creigiau*—sef agenau a thyllau yn y creigiau; *tyrau*—Saes. 'uchel-leoedd,' megys penau mynyddoedd, &c.; *pydewau*—y rhai a gloddiesid i chwilio am ddwfr, ond a oeddynt yn awr yn sychion, o'r rhai yr oedd llawer yn y wlad boeth hòno. Ond tybia rhai mai at y *werin* y cyfeirir yma, ac nid at y *milwyr.*

Adn. 7. *Dros yr Iorddonen*] I wlad y ddau lwyth a hanner, gan ffoi cyn belled ag y gallent oddiwrth y Philistiaid. *A Saul oedd eto yn Gilgal*—yn dysgwyl am Samuel, yn ol y drefn apwyntiedig, pen. x. 8. *A'r holl bobl*—sef y gweddill ag oeddynt eto heb ffoi i ymguddio; neu ei holl *filwyr,* os at y *werin* y cyfeirir yn adn. 6; *a aethant ar ei ol ef dan grynu*—neu a arhosent gydag ef yn Gilgal. Yr oeddynt hwy wedi meddwl, os caent frenin, y byddent yn rhydd oddiwrth bob cyfyngder a dychryn; ac y mae Duw yn goddef iddynt gael eu trallodi fel hyn, i ddangos iddynt yr oferedd o ymddiried mewn braich o gnawd, ac i ddysgu iddynt eu bod mewn cymaint angen am ei gymhorth ef yn awr, a phan yr oeddynt heb frenin. Ac yr oedd eu digalondid yn fwy, am nad oedd Samuel yn awr gyda Saul. Fel hyn gwneir i bawb weled, yn fuan neu yn hwyr, mai Duw a'i broffwydi yw eu cyfeillion goraf.

Adn. 8. *Ac efe a arhosodd saith niwrnod*] Neu hyd fore y seithfed dydd; canys nid oedd y dydd olaf wedi darfod, adn. 10; *hyd yr amser gosodedig*—yr hwn y penodwyd arno ddwy flynedd yn ol, pen. x. 8. *Ond ni ddaeth Samuel i Gilgal*—mor fuan ag yr oedd Saul yn ei ddysgwyl ef; *a'r bobl a ymwasgarodd oddiwrtho ef*—os y werin oedd y rhai a giliasent o'r blaen, adn. 6, y mae yn eglur mai ei filwyr a ymwasgarasant yn awr, trwy na ddarfu i fwy na 600 aros gydag ef, adn. 15.

Adn. 9. *A Saul a ddywedodd*] Bore y seithfed dydd; *Dygwch ataf fi boeth-offrwm*—wrth weled ei filwyr yn ei adael, ei elynion yn nesâu, a Samuel yn oedi dyfod, ac am na fynai yntau anturio i ryfel â'r Philistiaid heb yn gyntaf geisio cymhorth Duw trwy aberth, blinodd amynedd Saul, a rhyfygodd offrymu y poeth-offrwm heb Samuel, ac ond odid heb offeiriad.

Adn. 10. *Ac wedi darfod iddo offrymu y poeth-offrwm*] A chyn iddo offrymu yr offrymau hedd; *wele Samuel a ddaeth*—i'r golwg; ac felly cadwodd Samuel at ei amser, trwy ddyfod i Gilgal ar y seithfed dydd: *a Saul a aeth allan i'w gyfarfod ef*—i'w groesawu yn llawen; *ac i gyfarch gwell iddo*—neu i'w feudithio, fel yr arwydda y wreiddiol.

Adn. 11. *Beth a wnaethost ti?*] Gwyddai Samuel trwy ysbryd proffwydoliaeth, neu trwy weled yr offrwm yn llosgi ar yr allor, pa beth

wnaethost ti? A Saul a ddywedodd, O herwydd gweled o honof i'r bobl ymwasgaru oddiwrthyf, ac na ddaethost dithau o fewn y dyddiau gosodedig, ac i'r Philistiaid ymgasglu i Micmas;
12 Am hyny y dywedais, Y Philistiaid yn awr a ddeuant i waered ataf fi i Gilgal, ac ni weddiais gerbron yr Arglwydd: am hyny yr anturiais i, ac yr offrymais boeth-offrwm.
13 A Samuel a ddywedodd wrth Saul, Ynfyd y gwnaethost: ni chedwaist orchymyn yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a orchymynodd efe i ti: canys yr Arglwydd yn awr a gadarnhasai dy frenhiniaeth di ar Israel yn dragywydd.
14 Ond yn awr ni saif dy frenhiniaeth di: yr Arglwydd a geisiodd iddo ŵr wrth *fodd* ei galon ei hun: yr Arglwydd hefyd a orchymynodd iddo fod yn flaenor ar ei bobl; o herwydd na chedwaist ti yr hyn a orchymynodd yr Arglwydd i ti.
15 A Samuel a gyfododd, ac a aeth i fyny o Gilgal i Gibeah Benjamin: a chyfrifodd Saul y bobl a gafwyd gyd ag ef, yn nghylch chwe chant o wŷr.
16 A Saul a Jonathan ei fab, a'r

---

a wnaethai efe; ond er hyny gofynai iddo, i'r dyben i ddwyn Saul i gyfaddefiad, ac i'w geryddu ef. *A Saul a ddywedodd*—a gynygiodd dri o resymau dros ei ymddygiad. (1) *O herwydd gweled o honof i'r bobl ymwasgaru*—sef llawer o honynt; a'i fod yn ofni, os arhosai yn hwy, yr ymadawent oll oddiwrtho. (2) *Ac na ddaethost dithau*—pan yr oedd y seithfed dydd wedi gwawrio, a llawer o hono wedi myned heibio. (3) *Ac i'r Philistiaid ymgasglu i Micmas*—lle yr oedd gwersyllfa Saul o'r blaen, adn. 2, o ba le y gallent yn hawdd ddyfod i waered i Gilgal.

Adn. 12. *Ac ni weddiais gerbron yr Arglwydd*] Hyny yw, yr oeddwn yn ofni iddynt syrthio arnaf cyn i mi weddio, neu fod yn barod i'w gwrthsefyll hwy mewn ffordd grefyddol. Y mae *gweddio*, yn y fan yma, o'r un ystyr ag *offrymu*, ac yn brawf fod yr aberthau gynt yn cael eu hoffrymu gyda gweddiau difrifol. *Am hyny yr anturiais i*—ar y gorchwyl hwn, rhag i'm gelynion ymosod arnaf cyn i mi fy nghyflwyno fy hun a'm hachos i Dduw, a cheisio ei fendith a'i gymhorth ef.

Adn. 13. *Ynfyd y gwnaethost*] Wrth aberthu ei hun, ac nid trwy offeiriad; neu wrth aberthu cyn i Samuel ddyfod yno; yr hyn oedd yn dangos ei fyrbwylldra ef, ei anmharch o Samuel a'i air, a'i anhyder yn yr Arglwydd. Yr oedd ef yn meddwl iddo wneyd yn ddoeth; ond dywed Samuel yn ei wyneb, er ei fod yn frenin, mai ynfyd y gwnaethai. *Ni chedwaist orchymyn yr Arglwydd*—sef y gorchymyn iddo aros am Samuel saith niwrnod, hyd oni ddelai efe ato i offrymu, yr hwn a roisai yr *Arglwydd* iddo trwy Samuel, pen. x. 8. *Yn dragywydd*—pe cadwasai efe orchymyn yr Arglwydd ei Dduw, buasai Duw yn cadarnhau ei frenhiniaeth yntau ar Israel yn 'dragywydd,' neu yn *hir iawn*, o fab i fab, fel y mae y gair yn fynych yn arwyddo; canys yr oedd y frenhiniaeth i fyned yn y diwedd i lwyth Juda, yn ol y broffwydoliaeth, Gen. xlix. 10.

Adn. 14. *Ond yn awr ni saif dy frenhiniaeth di*] Eithr symudir hi, yn gynt nag y buasai raid, oddiwrthyt ti i deulu a llwyth arall. *Yr Arglwydd a geisiodd iddo ŵr wrth fodd ei galon ei hun*—sef Dafydd, yr hwn a gyflawna holl fwriadau ei galon, yn lle anufyddhau iddynt fel y gwnaethost ti. *Yr Arglwydd hefyd a orchymynodd iddo fod yn flaenor*—neu a arfaethodd iddo ef gael y frenhiniaeth, yr hyn yn aml yw ystyr y gair 'gorchymynodd.' *O herwydd na chedwaist ti yr hyn a orchymynodd yr Arglwydd i ti*—gwel ar adn. 13. Gofynwyd, 'Ai nid oedd hon yn ddedfryd lem iawn ar Saul am bechod mor fychan?' Heb grybwyll nad oes un pechod yn fychan a gyflawnir yn erbyn Bôd o anfeidrol fawredd,—na son chwaith y gall yr hyn a fyddo yn ymddangos i ddynion yn drosedd bychan, ymddangos i Dduw, yr hwn sydd yn chwilio y galon, yn bechod echrys,—y mae yn sicr nas gallwn mewn un modd edrych ar y pechod hwn o eiddo Saul fel yn fychan, gan ei fod yn anufydd-dod amlwg i orchymyn adnabyddus a phendant Duw, yr hwn a barasai iddo ef aros saith niwrnod am Samuel, nid yn unig i gynorthwyo yn yr aberthiad, ond hefyd i fynegu iddo oddiwrth Dduw pa beth yr oedd efe i'w wneuthur, neu pa gynlluniau i'w dylyn yn ngwyneb ymosodiad y Philistiaid. Y mae Saul, dan yr esgus o dduwioldeb, ac ymofyn â Duw, yn amlwg yn troseddu y gorchymyn, gan ei dybied ei hun uwchlaw dysgwyl am y proffwyd, ac yn ymgymeryd at wasanaeth nad oedd mewn un modd yn perthyn iddo; ac, fel pe na buasai cyfarwyddyd Duw trwy y proffwyd o ddim pwys iddo ef, y mae yn penderfynu gweithredu yn ol ei feddwl ei hun, ac ymwneyd â'r Philistiaid cystal ag y gallai. Pe byddai i unrhyw îs-dywysog droseddu fel hyn orchymyn ei benadur, ac ymddwyn mewn unrhyw achos o bwys yn hollol groes i'w hyfforddiadau a'i ddyledswydd, ni phetrusai neb ei gyhoeddi yn euog o wrthryfel, na meddwl ei fod yn cael triniaeth ry galed wrth ei symud o'i urddas a'i lywodraeth.

Adn. 15. *A Samuel a gyfododd*] Mewn anfoddlonrwydd a gofid mawr o herwydd camymddygiad Saul; *ac a aeth i fyny o Gilgal i Gibeah Benjamin*—lle yr oedd y brenin yn cartrefu, i ddangos nad oedd efe am ei lwyradael ef os gwelai edifeirwch ynddo, er ei fod trwy ei drosedd wedi ei anfoddloni ef yn fawr. *Yn nghylch chwe chant o wŷr*—hyn yn unig oedd wedi aros gyda Saul ar ol yr ymwasgariad oddiwrtho ef, adn. 8, 11; tra yr oedd nifer ei filwyr unwaith yn 330,000 o leiaf, pen. xi. 8.

Adn. 16. *Yn Gibeah Benjamin*] Yr hwn oedd fan cadarn, lle y gallent eu hamddiffyn eu hunain yn well nag yn y maes agored. *A'r Philistiaid a wersyllasant yn Micmas*—o

bobl a gafwyd gyda hwynt, oedd yn
aros yn Gibeah Benjamin: a'r Phil-
istiaid a wersyllasant yn Micmas.
17 ¶ A daeth allan o wersyll y Phil-
istiaid anrheithwyr, yn dair byddin:
un fyddin a drôdd tua ffordd Ophrah,
tu a gwlad Saul;
18 A'r fyddin arall a drôdd *tua*
ffordd Beth-horon; a'r drydedd fydd-
in a drôdd *tua* ffordd y terfyn sydd yn
edrych tua'r dyffryn Seboim, tua'r
anialwch.
19 ¶ Ac ni chaid gôf trwy holl wlad
Israel: canys dywedasai y Philistiaid,
Rhag gwneuthur o'r Hebreaid gledd-
yfau neu waewffyn.
20 Ond holl Israel a aent i waered
at y Philistiaid, i flaenllymu bob un ei
swch, a'i gwlltwr, a'i fwyell, a'i gaib.
21 Ond yr oedd llif ddur *i wneuthur*
min ar y ceibiau, ac ar y cylltyrau, ac
ar y pigffyrch, ac ar y bwyeill, ac i
flaenllymu y symbylau.
22 Felly yn nydd y rhyfel ni chaed
na chleddyf na gwaewffon yn llaw yr
un o'r bobl *oedd* gyda Saul a Jonath-
an, ond a gaed gyda Saul a Jonathan
ei fab.
23 A sefyllfa y Philistiaid a aeth
allan i fwlch Micmas.

## PENNOD XIV.

A BU ddyddgwaith i Jonathan fab
Saul ddywedyd wrth y llanc oedd
yn dwyn ei arfau ef, Tyred, ac awn
drosodd i amddiffynfa y Philistiaid,
yr hon *sydd* o'r tuhwnt: ond ni fyn-
egodd efe i'w dad.
2 A Saul a arhosodd yn nghŵr Gi-
beah, dan *bren* pomgranad, yr hwn
*oedd* yn Migron: a'r bobl *oedd* gydag
ef *oedd* yn nghylch chwe chânwr.
3 Ac Ahiah mab Ahitub, frawd
Ichabod, fab Phinees, fab Eli, offeir-
iad yr Arglwydd yn Silo, oedd yn
gwisgo ephod. Ac ni wyddai y bobl
i Jonathan fyned ymaith.
4 ¶ A rhwng y bylchau, lle ceisiodd

---

fewn oddeutu pum milldir i'r gogledd o Gibeah.

Adn. 17. *Yn dair byddin*] Anfonodd y Philistiaid y tair byddin hyn dair ffordd wahanol, i anrheithio y wlad, trwy nad oedd neb i'w gwrthsefyll. *Ophrah*—dinas yn llwyth Benjamin, oddeutu chwe milldir i'r dwyrain o Micmas. *Tua gwlad Saul*—Saes. 'gwlad *Shual*,' neu 'wlad y llwynogod,' am fod amrai o honynt yn y parthau hyny: gwel ar Barn. xv. 4.

Adn. 18. *Beth-horon*] Oddeutu pymtheg milldir i'r gorllewin o Micmas. *Seboim*—nid y ddinas a elwid felly yn ngwastadedd Sodom, canys yr oedd y môr marw wedi gorchuddio hôno yn amser Abraham, eithr dinas arall yn llwyth Benjamin, Neh. xi. 34.

Adn. 19. *Ac ni chaid gôf trwy holl wlad Israel*] Yr oedd y Philistiaid trwy yr holl flynyddau ag y buont yn gorthrymu Israel, wedi rhwystro i neb o honynt arferyd na dysgu y gelfyddyd hôno, fel na byddai *arfau* gan Israel i ryfela â hwynt. Gwnaeth y Caldeaid yr un peth â hwynt yn mhen oesoedd wedi hyn, 2 Bren. xxiv. 14, Jer. xxiv. 1.

Adn. 20. *Ond holl Israel a aent i waered at y Philistiaid*] Nid i wlad y Philistiaid, canys yr oedd hôno yn rhy bell o gyraedd pob rhan o wlad Israel; ond i'w hamddiffynfeydd hwynt yn mhlith y gwahanol lwythau, y rhai a ddalient hyd yn nod ar ol i Samuel yru y prif gorff o honynt allan o'r wlad. Pan fyddai ar Israel eisiau gwneyd neu adgyweirio rhyw offer haiarn at ddybenion *amaethyddol*, yr oedd yn rhaid iddynt fyned at y gofaint a gedwid gan y Philistiaid; a diamau y codai y rhai hyny y tâl eithaf am eu gwaith.

Adn. 21. *Ond yr oedd llif ddur*] Saes. *file;* neu *faen llifo*, fel y tybia rhai. Caniateid i Israel ond odid gadw yr offeryn hwn, i flaenllymu neu hogi eu hoffer amaethyddol pan fyddai achos; er y tybia rhai mai gan y Philistiaid yr oedd yr offeryn hwn hefyd, ac mai yr ystyr yw, fod yn rhaid i Israel fyned at y Philistiaid hyd yn nod i wneuthur min ar eu harfau gwaith. *Symbylau*—pig haiarn i yru yr ychain wrth aredig.

Adn. 22. *Felly yn nydd y rhyfel*] O herwydd diffyg gôfaint; *ni chaed cleddyf na gwaewffon yn llaw yr un*—o'r chwe chant o filwyr Israel, adn. 15; *ond a gaed gyda Saul a Jonathan*—yr hyn a wnai eu buddugoliaeth yn fwy amlwg o Dduw. Diamau fod llawer o gleddyfau yn meddiant Israel yma a thraw ar hyd y wlad; ond yr oeddynt wedi eu cuddio hwynt rhag ofn y Philistiaid; ac os oedd gan fyddin Saul rywbeth yn eu dwylaw yn awr, rhaid mai pastynau a thafl-ffyn oeddynt, neu ryw bethau cyffelyb.

Adn. 23. *A sefyllfa*] Neu warchawdlu y Philistiaid; *a aeth allan i fwlch Micmas*—i herio Israel allan i ryfel, neu i ymosod arnynt yn Gibeah. Yr oedd Micmas a Gibeah yn sefyll ar ddau fryn, a dyffryn rhyngddynt, yr hwn a elwir yma yn 'fwlch Micmas.'

PEN. XIV. Adn. 1. *Y llanc oedd yn dwyn ei arfau ef*] Yn cario ei gleddyf a'i waewffon, neu yn dal y darian o'i flaen ef. *Ond ni fynegodd efe i'w dad*—rhag y gwrthwynebai ei dad ei amcan ef, ac y gwaharddai iddo fyned i'r fath berygl. Ymddengys fod Jonathan dan ddwyfol gymhelliad yn hyn, a bod Duw yn cadw Saul oddiwrth yr anrhydedd o'r fuddugoliaeth ag ydoedd i ganlyn.

Adn. 2. *A Saul a arosodd yn nghŵr Gibeah*] I wylio symudiadau y Philistiaid; *dan bren pomgranad*—neu mewn llwyn o'r prenau hyny; *yr hwn oedd yn Migron*—neu ar y ffordd i Migron, yn agos i Gibeah.

Adn. 3. *Ac Ahiah*] Gorŵyr Eli, yr hwn oedd yr archoffeiriad olaf yn Silo; *ydoedd yn*

Jonathan fyned drosodd at amddiffynfa y Philistiaid, *yr oedd* craig serth o'r naill du i'r bwlch, a chraig serth o'r tu arall i'r bwlch; ac enw y naill *oedd* Boses, ac enw y llall Seneh.

5 A safiad y naill *oedd* oddiwrth y gogledd ar gyfer Micmas, a'r llall oddiwrth y deau ar gyfer Gibeah.

6 A dywedodd Jonathan wrth y llanc oedd yn dwyn ei arfau ef, Tyred, ac awn drosodd i amddiffynfa y rhai dienwaededig hyn; nid hwyrach y gweithia yr Arglwydd gyda ni: canys nid *oes* rwystr i'r Arglwydd waredu trwy lawer neu trwy ychydig.

7 A'r hwn oedd yn dwyn ei arfau ef a ddywedodd wrtho, Gwna yr hyn oll *sydd* yn dy galon: cerdda rhagot; wele, fi gyda thi fel y myno dy galon.

8 Yna y dywedodd Jonathan, Wele, ni a awn trosodd at y gwŷr *hyn*, ac a ymddanghoswn iddynt.

9 Os dywedant fel hyn wrthym, Arhoswch nes i ni ddyfod atoch chwi; yna y safwn yn ein lle, ac nid awn i fyny atynt hwy.

10 Ond os fel hyn y dywedant, Deuwch i fyny atom ni; yna yr awn i fyny: canys yr Arglwydd a'u rhoddodd hwynt yn ein llaw ni; a hyn *fydd* yn argoel i ni.

11 A hwy a ymddangosasant ill dau i amddiffynfa y Philistiaid. A'r Philistiaid a ddywedasant, Wele yr Hebreaid yn dyfod allan o'r tyllau y llechasant ynddynt.

12 A gwŷr yr amddiffynfa a atebasant Jonathan, a'r hwn oedd yn dwyn ei arfau, ac a ddywedasant, Deuwch i fyny atom ni, a ni a ddanghoswn beth i chwi. A dywedodd Jonathan wrth yr hwn oedd yn dwyn ei arfau, Tyred i fyny ar fy ol: canys yr Arglwydd a'u rhoddes hwynt yn llaw Israel.

13 A Jonathan a ddringodd i fyny ar ei ddwylaw, ac ar ei draed; a'r

---

*gwisgo ephod*—neu yn archoffeiriad, trwy fod yr arch a'i dodrefn yn awr wedi eu dwyn yno, adn. 18, fel y gellid ymofyn â Duw trwy yr Urim a'r Thummim. *Ac ni wyddai y bobl i Jonathan fyned ymaith*—trwy iddo gelu ei symudiadau oddiwrth ei dad a'r fyddin.

Adn. 4, 5. *A rhwng y bylchau*] Neu fel y gellir ei gyfieithu, 'yn nghanol y bwlch,' trwy fod y lluosog yn cael ei roddi am yr unigol; *yr oedd craig serth*—âg un clogwyn iddi yn cyfeirio yn ogleddol tua Micmas, a'r clogwyn arall yn wynebu i'r deau tua Gibeah. *Enw y naill oedd Boses*—'llyfn' neu 'lithrig,' yr hon nas gellid ei dringo; *ac enw y llall Seneh*—'troediedig,' am ei bod yn hawddach i'w throedio neu ei dringo.

Adn. 6. *Awn drosodd i amddiffynfa y rhai dienwaededig hyn*] Sef dros y graig uchod, yr hon oedd ar y ffordd o Gibeah i Micmas, lle yr oedd y Philistiaid; *nid hwyrach*—neu yn fwy priodol, *hwyrach y gweithia yr Arglwydd gyda ni*—efe a lefara yn amheus; canys er y teimlai ei fod yn cael ei gynhyrfu gan Dduw i'r anturiaeth hon, eto ni wyddai yn sicr y byddai i'r Arglwydd waredu ei bobl y pryd hyn, ac yn y ffordd yma. *Canys nid oes rwystr i'r Arglwydd waredu trwy lawer neu trwy ychydig*—neu trwy ychydig yn gystal a thrwy lawer. Ymddengys oddiyma fod gan Jonathan wir ffydd yn ngallu Duw, a chrediniaeth nad oedd ef mewn angen am gydweithrediad achosion naturiol.

Adn. 7. *Wele fi gyda thi fel y myno dy galon*] I dy ddylyn i ba le bynag yr âi, ac i wneuthur pa beth bynag a orchymyni.

Adn. 8. *Yna y dywedodd Jonathan*] Wedi cael ei wroli trwy ffyddlondeb calonog ei lanc. *Wele, ni a awn trosodd at y gwŷr hyn*—sef dros glogwyni y graig serth ag ydoedd yn nghanol y bwlch; *ac a ymddanghoswn iddynt*—cyn myned drosodd, oddiar ei phen hi.

Adn. 9. *Os dywedant fel hyn wrthym*] Trwy nad oedd Jonathan yn gwybod yn sicr a lwyddai efe yn yr ymgyrch hwn, y mae efe am gael argoel neu arwydd, a thrwy gynhyrfiad Ysbryd Duw efe a benderfyna ar yr un a ganlyn. *Arhoswch nes i ni ddyfod atoch chwi*—os dywedai y Philistiaid hyn, byddai yn brawf o wroldeb ynddynt, a pharodrwydd i ddyfod allan i ymladd, ac yn argoel drwg i Jonathan a'i lanc. *Yna y safwn yn ein lle*—heb fyned i fyny i'w cyfarfod.

Adn. 10. *Ond os fel hyn y dywedant*] Canys efe wyddai fod llywodraeth Duw yn cyraedd dros galonau a thafodau hyd yn nod ei elynion. *Deuwch i fyny atom ni*—os dywedai y Philistiaid hyn, byddai yn brawf o'u hofnusrwydd, ac nad oeddynt yn caru dyfod allan o'u hamddiffynfa i wyneb perygl: ïe, er iddynt ei ddywedyd yn watwarus, cai Jonathan a'i lanc achlysur i fyned i fyny, a byddai felly yn argoel iddynt fod yr Arglwydd yn rhoddi y Philistiaid yn eu llaw hwynt.

Adn. 11. *Wele yr Hebreaid yn dyfod allan o'r tyllau y llechasant ynddynt*] Gwel ar pen. xiii. 6. Meddylient eu bod yn cael eu gyru allan gan newyn, i edrych a allent gael rhyw ymborth ar hyd wyneb y tir.

Adn. 12. *Deuwch i fyny atom ni, a ni a ddanghoswn beth i chwi*] Pa mor gryf ydym; neu ni a ddanghoswn fwyd i chwi. Y mae yn debyg mai mewn gwawd a dirmyg y dywedent hyn, gan feddwl na feiddient hwy ddyfod i fyny i'r gwersyll rhag ofn cael eu lladd. *Yr Arglwydd a'u rhoddes hwynt yn llaw Israel*—wrth i Jonathan glywed y Philistiaid yn arferyd yr un geiriau ag a benodasai efe yn argoel o fuddugoliaeth, efe a gasglodd yn y fan fod Duw wedi effeithio ar eu meddyliau a'u tafodau hwy, ac y byddai iddo eu rhoddi yn ei law ef.

Adn. 13. *A Jonathan a ddringodd i fyny ar ei ddwylaw ac ar ei draed*] Canys yr oedd ganddo ran o'r graig fyth i'w dringo, yr hon

hwn oedd yn dwyn ei arfau ar ei ol.
A hwy a syrthiasant o flaen Jonath-
an: ei yswain hefyd oedd yn lladd ar
ei ol ef.
14 A'r lladdfa gyntaf hòno a wnaeth
Jonathan a'r hwn oedd yn dwyn ei
arfau, oedd yn nghylch ugeinwr, me-
gis o fewn yn nghylch hanner cyfer
dau *ychain* o dir.
15 A bu fraw yn y gwersyll, yn y
maes, ac yn mysg yr holl bobl: yr
amddiffynfa a'r anrheithwyr hwythau
hefyd a ddychrynasant; y ddaear he-
fyd a grynodd: a bu dychryn Duw.
16 A gwylwyr Saul yn Gibeah
Benjamin a edrychasant; ac wele, y
lluaws yn ymwasgaru, ac yn myned
dan ymguro.
17 Yna y dywedodd Saul wrth y
bobl *oedd* gydag ef, Cyfrifwch yn awr,
ac edrychwch pwy a aeth oddiwrthym
ni. A phan gyfrifasant, wele, Jon-
athan a chludydd ei arfau nid *oeddynt*
*yno.*
18 A Saul a ddywedodd wrth Ahi-
ah, Dwg yma arch Duw. (Canys yr
oedd arch Duw y pryd hyny gyda
meibion Israel)
19 ¶ A thra yr ydoedd Saul yn ym-
ddyddan â'r offeiriad, y terfysg, yr
hwn *oedd* yn ngwersyll y Philistiaid,
gan fyned a aeth, ac a anghwaneg-
odd. A Saul a ddywedodd wrth yr
offeiriad, Tyn atat dy law.
20 A Saul a'r holl bobl *oedd* gydag
ef a ymgynullasant, ac a ddaethant
i'r rhyfel: ac wele, gleddyf pob un yn
erbyn ei gyfnesaf; a dinystr mawr
iawn *oedd yno.*
21 Yr Hebreaid hefyd, *y rhai* oedd
gyda'r Philistiaid o'r blaen, y rhai a
aethant i fyny gyda hwynt i'r gwer-

---

oedd yn dra serth a llithrig, adn. 4. Ar ol iddo fyned drosodd, efe a ddechreuodd daraw yr yspïwyr, y rhai oeddynt yn nghylch ugain o bersonau wedi eu hanfon yn mlaen o blith y gwarchawdlu. *A hwy a syrthiasant o flaen Jonathan*—yr oedd Jonathan yn eu taraw i lawr â'i ffon, a'i lanc yn eu lladd â'r cleddyf. *Yswain*—neu gludydd arfau, sef ei lanc.

Adn. 14. *Yn nghylch hanner cyfer dau ychain o dir*] Tua hanner cymaint o dir ag a ellid ei aredig mewn diwrnod â dau ych. Y fath oedd dewrder a chyflymder Jonathan a'i lanc, fel y lladdasant yn nghylch ugain o ddynion mewn ychydig fynydau, ac o fewn tua hanner erw o dir.

Adn. 15. *A bu braw yn y gwersyll*] Ar ol i'r Philistiaid glywed fod ugain o'u gwŷr wedi eu lladd, casglasant yn ddiamau eu bod wedi cael ymosod arnynt gan fyddin luosog o'r Israeliaid, yr hyn a barodd arswyd mawr iddynt trwy yr holl fro. *Yr amddiffynfa a'r anrheithwyr*—yr oedd y dychryn mwyaf wedi dal y milwyr hefyd o fewn yr amddiffynfa yn Micmas, yn gystal a'r minteioedd ag oeddynt wedi myned allan i anrheithio y wlad, pen. xiii. 17, 18. *Y ddaear hefyd a grynodd*—dan eu traed, nes yr ofnent y llyncid hwy yn fyw i uffern; *a bu dychryn Duw*—nid yn unig ddychryn *mawr*, fel y gall yr ymadrodd arwyddo; eithr hefyd dychryn goruwchnaturiol, wedi ei anfon arnynt oddiwrth Dduw. Tybia rhai mai ymadrodd cyffelybiaethol am gyffro mawr trwy yr holl wlad yw y *daeargryn* uchod; ond y mae yn debycach ei fod i'w ddeall yn llythyrenol, trwy fod ymadroddion ereill yn yr adnod hon yn gosod allan gyffro eu meddwl.

Adn. 16. *A gwylwyr Saul yn Gibeah*] Y rhai a wylient symudiadau y Philistiaid; *a edrychasant*—tua Micmas, pryd y gwelent y Philistiaid yn ymwasgaru bob ffordd, yn y braw a'r annhrefn mwyaf; *ac yn myned dan ymguro*—ar draws ac yn erbyn eu gilydd; neu, fel y mae yn y Saesonaeg, 'gan guro eu gilydd i lawr,' neu ladd eu gilydd, (adn. 20,) trwy nad oeddynt yn eu braw yn gallu gwahaniaethu rhwng cyfeillion a gelynion.

Adn. 17. *Cyfrifwch yn awr, &c.*] Ar ol i Saul glywed hyn gan ei wylwyr am y Philistiaid, efe a gasglodd fod rhai o'i bobl ef wedi myned allan yn ddiarwybod iddo, ac ymosod arnynt; ac am hyny efe a orchymynodd i'w filwyr ef gael eu rhifo, i weled pwy oedd yn absenol.

Adn. 18. *A Saul a ddywedodd wrth Ahiah*] Yr offeiriad, adn. 19. *Dwg yma arch Duw*—yr hon oedd yn awr wedi ei dwyn o Ciriathjearim i'r gwersyll yn Gibeah; er y dywed Abarbinel mai cist fechan a feddylir, yn yr hon yr oedd yr ephod a'r ddwyfroneg. Wrth weled nad oedd neb ond Jonathan a'i lanc yn eisiau, mynai Saul i Ahiah yr offeiriad ofyn i'r Arglwydd beth oedd i'w wneuthur.

Adn. 19. *A thra yr ydoedd Saul yn ymddyddan â'r offeiriad*] Yn nghylch dwyn yr arch, ac ymgynghori â Duw ger ei bron hi; *y terfysg yr hwn oedd yn ngwersyll y Philistiaid*—y gwaeddi, y curo, a'r sathru eu gilydd; *a anghwanegodd*—a gynyddai fwy fwy bob mynyd, nes y tybiodd Saul nad oedd achos bellach i ymgynghori â'r Arglwydd ar y mater; ac am hyny gorchymynodd i'r offeiriad, *Tyn atat dy law*—paid â gwisgo yr ephod, y ddwyfroneg, &c. Mynai Saul ymddangos yn grefyddol; ond pan welodd ei fantais ar ei elynion, taflodd weddio o'r neilldu, a rhuthrai i'r frwydr heb ymgynghori â Duw. Nis gallai ei ysbryd diamynedd aros am ateb yr offeiriad, mwy nag am ddyfodiad Samuel o'r blaen, pen. xiii. 8—14.

Adn. 20. *Ac wele gleddyf pob un yn erbyn ei gyfnesaf*] Ymddengys fod byddin y Philistiaid wedi ei gwneyd i fyny o wahanol genhedloedd; ac yn eu braw a'u terfysg tybiai pob un o honynt mai Hebrewr oedd y llall; neu meddyliai pob un fod y llall yn fradwr anffyddlon i achos y Philistiaid. *A dinystr mawr iawn oedd yno*—trwy i ddychryn Duw droi arfau y Philistiaid yn erbyn eu gilydd.

Adn. 21. *Yr Hebreaid hefyd*] Y rhai oedd-

syll *o'r wlad* oddiamgylch, hwythau hefyd *a droisant* i fod gyda'r Israeliaid *oedd* gyda Saul a Jonathan.

22 A holl wŷr Israel, y rhai oedd yn llechu yn mynydd Ephraim a glywsant ffoi o'r Philistiaid; hwythau hefyd a'u herlidiasant hwy o'u hol yn y rhyfel.

23 Felly yr achubodd yr Arglwydd Israel y dydd hwnw: a'r ymladd a aeth drosodd i Beth-afen.

24 ¶ A gwŷr Israel oedd gyfyng arnynt y dydd hwnw: o herwydd tynghedasai Saul y bobl, gan ddywedyd, Melldigedig *fyddo* y gŵr a fwytao fwyd hyd yr hwyr, fel y dialwyf ar fy ngelynion. Felly nid archwaethodd yr un o'r bobl *ddim* bwyd.

25 A'r *rhai o'r* holl wlad a ddaethant i goed, lle yr oedd mêl ar hyd wyneb y tir.

26 A phan ddaeth y bobl i'r coed, wele y mêl yn diferu; eto ni chododd *un* ei law at ei enau: canys ofnodd y bobl y llw.

27 Ond Jonathan ni chlywsai pan dynghedasai ei dad ef y bobl: am hyny efe a estynodd flaen y wialen *oedd* yn ei law, ac a'i gwlychodd yn nil y mêl, ac a drôdd ei law at ei enau; a'i lygaid a oleuasant.

28 Yna un o'r bobl a atebodd, ac a ddywedodd, Gan dynghedu y tynghedodd dy dad y bobl, gan ddywedyd, Melldigedig *fyddo* y gŵr a fwytao fwyd heddyw. A'r bobl oedd luddedig.

29 Yna y dywedodd Jonathan, Fy nhad a flinodd y wlad. Gwelwch yn awr fel y goleuodd fy llygaid i, o herwydd i mi archwaethu ychydig o'r mêl hwn:

30 Pa faint mwy, pe bwytasai y bobl yn ddiwarafun heddyw o anrhaith eu gelynion, yr hon a gawsant hwy? oni buasai yn awr yn fwy y lladdfa yn mysg y Philistiaid?

31 A hwy a darawsant y Philistiaid y dydd hwnw o Micmas *hyd* Ajalon: a'r bobl oedd ddiffygiol iawn.

---

ynt wedi ymuno â'r Philistiaid trwy orfodaeth, neu er mwyn ennill eu ffafr a'u nawdd; *a droisant i fod gyda'r Israeliaid*—yn nghanol y frwydr hon hwy a aethant drosodd at eu cydwladwyr, gan ymuno â byddin Saul.

Adn. 22. *A holl wŷr Israel y rhai oedd yn llechu*] Mewn ogofeydd, dyrysni, creigiau, tyrau, neu bydewau, pen. xiii. 6; *a glywsant ffoi o'r Philistiaid*—o flaen Jonathan a Saul; *hwythau hefyd a'u herlidiasant*—a aethant ar ol y Philistiaid gyda'u brodyr. Dywed Josephus, y Vulgate, a'r LXX, fod byddin Saul wedi cynyddu erbyn hyn i 10,000 o wŷr.

Adn. 23. *Felly yr achubodd yr Arglwydd Israel*] Trwy ddau ddyn yn y dechre, a dim llawer yn y diwedd mewn cydmhariaeth i fyddin fawr y Philistiaid. *A'r ymladd a aeth drosodd i Beth-afen*—dinas oddeutu wyth milldir i'r dwyrain o Micmas.

Adn. 24. *A gwŷr Israel oedd gyfyng arnynt*] Gan newyn, gwendid, a lludded; *o herwydd tynghedasai Saul y bobl*—na fwytai neb o honynt ddim hyd yr hwyr, gan gyhoeddi melldith, neu fygwth marwolaeth, ar bwy bynag a dorent ei orchymyn creulon a ffol ef. *Fel y dialwyf ar fy ngelynion*—efe a'u geilw ei elynion ei *hun*, ac nid gelynion yr *Arglwydd*, am mai ei achos ei hun oedd fwyaf yn ei olwg ef, ac nid achos Duw. *Felly nid archwaethodd yr un o'r bobl ddim bwyd*—er eu bod yn lluddedig a newynog, ac er fod digon o'u hamgylch.

Adn. 25. *A'r rhai o'r holl wlad*] Sef y chwe chant o wŷr ag oeddynt gyda Saul, a'r rhai ag oeddynt wedi ymuno â hwy yn yr ymlidiad, adn. 21, 22; *a ddaethant i goed*—neu goedwig, *lle yr oedd mêl ar hyd wyneb y tir*—wedi diferu ond odid o'r ceudyllau yn y coed, neu o'r nythod ar hyd eu canghenau. Yr oedd Judea yn llawn o wenyn, a'r wlad yn llifeirio o laeth a mêl.

Adn. 26. *Eto ni chododd un ei law*] I osod mêl yn ei enau, er fod yno ddigon yn eu hymyl, a than eu traed, ac er eu bod hwythau bron â threngu o newyn; *canys ofnodd y bobl y llw*—trwy yr hwn y tynghedasai Saul y bobl i beidio bwyta dan benyd marwolaeth.

Adn. 27. *Ond Jonathan ni chlywsai*] Trwy i Saul roddi y gorchymyn hwn i'w bobl yn ei absenoldeb ef; *am hyny efe a estynodd flaen y wialen*—sef y ffon â pha un y cerddai, ac y curai ei elynion i lawr, adn. 13; ond tybia rhai mai ei waewffon a feddylir; *ac a'i gwlychodd yn nil y mêl*—i godi peth o hono i'w enau; *a'i lygaid a oleuasant*—y rhai oeddynt bron wedi dallu gan ludded a chwant bwyd, fel y dygwydda yn fynych. Darfu i ychydig fêl adfywio ei natur ef, a sirioli hyd yn nod ei ysbrydoedd a'i olygon.

Adn. 28. *Yna un o'r bobl a atebodd*] Yr hwn a glywsai y gwaharddiad uchod gan Saul cyn i Jonathan nesâu atynt. Meddylir i Jonathan annog y bobl hefyd i fwyta, yr hyn a barodd i'r gŵr amlygu y gyfraith i'r tywysog.

Adn. 29. *Fy nhad a flinodd y wlad*] Neu a wnaeth niwed i'w filwyr trwy y gwaharddiad ffol, afreidiol, a chaled hwn. *Gwelwch yn awr fel y goleuoedd fy llygaid i*—yr oedd y lles a gawsai efe oddiwrth y mêl yn amlwg iawn; a gallai pawb weled oddiwrth ei lygaid ef fod ei holl natur a'i ysbrydoedd wedi cael adfywiad mawr.

Adn. 30. *Pa faint mwy pe bwytasai y bobl yn ddiwarafun*] Pa faint mwy galluog fuasent i erlid ar ol y Philistiaid, ac i'w lladd hwynt ar y ffordd, pe cawsent fwyd i dori eu newyn, ac i'w cryfhau a'u calonogi yn eu gwaith? *Anrhaith eu gelynion*—yr hwn a

32 A'r bobl a ruthrodd at yr an-
rhaith, ac a gymerasant ddefaid, a
gwartheg, a lloi, ac a'*u* lladdasant ar
y ddaear: a'r bobl a'*u* bwytaodd gyd
a'r gwaed.
33 ¶ Yna y mynegasant hwy i Saul,
gan ddywedyd, Wele, y bobl sydd yn
pechu yn erbyn yr Arglwydd, gan
fwyta yn nghyda'r gwaed. Ac efe a
ddywedodd, Troseddasoch: treiglwch
ataf fi heddyw faen mawr.
34 Dywedodd Saul hefyd, Ymwas-
gerwch yn mysg y bobl, a dywedwch
wrthynt, Dygwch ataf fi bob un ei
ŷch, a phob un ei lwdn dafad, a lledd-
wch *hwynt* yma, a bwytewch; ac na
phechwch yn erbyn yr Arglwydd, gan
fwyta yn nghyda'r gwaed. A'r bobl
oll a ddygasant bob un ei ŷch yn ei
law y noswaith hòno, ac a'*u* lladdas-
ant yno.

35 A Saul a adeiladodd allor i'r
Arglwydd. Hon oedd yr allor gyntaf
a adeiladodd efe i'r Arglwydd.
36 ¶ A dywedodd Saul, Awn i waer-
ed ar ol y Philistiaid liw nos, ac an-
rheithiwn hwynt hyd oni oleuo y bore,
ac na adawn un o honynt. Hwythau
a ddywedasant, Gwna yr hyn oll *fyddo*
da yn dy olwg. Yna y dywedodd yr
offeiriad, Nesawn yma at Dduw.
37 Ac ymofynodd Saul â Duw, A
âf fi i waered ar ol y Philistiaid? a
roddi di hwynt yn llaw Israel? Ond
nid atebodd efe ef y dydd hwnw.
38 A dywedodd Saul, Dyneswch
yma holl benaethiaid y bobl: myn-
wch wybod hefyd, ac edrychwch yn
mhwy y bu y pechod hwn heddyw.
39 Canys, *megys mai* byw yr Argl-
wydd, yr hwn sydd yn gwaredu Is-
rael, pe byddai hyn yn Jonathan fy

---

ddaethai i'w meddiant yn nghorff y dydd, adn. 32.

Adn. 31. *O Micmas hyd Ajalon*] Nid Ajalon yn llwyth Dan, (Jos. x. 12,) na hòno yn llwyth Zabulon, (Barn. xii. 12,) y rhai oeddynt yn rhy bell, ac yn gorwedd yr ochr arall i'r wlad; eithr Ajalon yn llwyth Juda, (2 Cron. xi. 10,) yr hon, yn ol Bunting a Calmet, oedd oddeutu deuddeg milldir o Micmas.

Adn. 32. *A'r bobl a ruthrodd at yr anrhaith*] Fel adar ysglyfaethus. Yr oeddynt mor ddiffygiol a newynog, fel yn yr hwyr, ar ol darfod â'u gwaith, y rhuthrasant at yr hyn a ellid ei fwyta o'r anrhaith, heb gymeryd dim amser i dywallt gwaed yr anifeiliaid yn y modd a orchymynid gan y gyfraith. *A'r bobl a'u bwytaodd gyda'r gwaed*—fel hyn, y rhai a wnaethant gydwybod i ufyddhau i orchymyn y brenin rhag ofn ei felldith ef, ni phetrusent dori gorchymyn Duw! gwel ar Gen. ix. 4, ac Act. xv. 20.

Adn. 33. *Ac efe a ddywedodd, Troseddasoch*] Yr oedd Saul yn canfod eu trosedd hwy, ond nid ei drosedd ei hun wrth roddi achlysur iddynt trwy beri iddynt newynu. *Treiglwch ataf fi heddyw faen mawr*—i'r dyben i ladd yr anifeiliaid arno yn lle eu lladd ar y ddaear, fel y rhedai eu gwaed ymaith yn fwy llwyr. Tybia rhai mai y maen hwn oedd yr allor ag y cyfeirir ati adn. 35.

Adn. 34. *Ymwasgerwch yn mysg y bobl*] Y mae Saul yn anfon swyddogion allan i rybyddio y bobl, pan fyddai ganddynt ryw anifeiliaid i'w lladd rhagllaw, fod iddynt eu dwyn at y maen hwn, fel y byddai i'w gwaed gael ei dywallt allan yn briodol yno dan arolygaeth swyddwyr cyfaddas. *A'r bobl oll a ddygasant bob un ei ŷch*—ufyddhasant i orchymyn Saul, trwy ddwyn ŷch ar gyfer nifer penodol o honynt, neu gynifer o ychain ag a ydoedd yn ddigon iddynt oll.

Adn. 35. *A Saul a adeiladodd allor i'r Arglwydd*] Samuel, fel proffwyd, ydoedd wedi codi yr allorau hyd yn hyn; ond yr oedd Saul yn awr yn meddwl fod ganddo ef ddigon o awdurdod i adeiladu allor ei hun heb y proffwyd, gan iddo unwaith aberthu hebddo ef.

Adn. 36. *Awn i waered ar ol y Philistiaid liw nos*] Heb i'r bobl gael gorphwys dim ar ol llafur caled y dydd o'r blaen. Yr oedd Saul yn meddwl syrthio ar y gweddill o fyddin y Philistiaid yn eu cwsg, a'u lladd, a'u hyspeilio o'r cwbl a feddent: gwel ar adn. 42. *Yna y dywedodd yr offeiriad, Nesawn yma at Dduw*—i ymofyn yn gyntaf â Duw, a oedd yn iawn iddynt fyned, ac a lwyddai efe hwynt yn eu taith.

Adn. 37. *Ac ymofynodd Saul â Duw*] Cytunodd â chynygiad yr offeiriad iddo ef ymofyn â Duw dros Saul, a hyny ond odid trwy yr Urim a'r Thummim. *Ond nid atebodd efe y dydd hwnw*—am nad arhosodd Saul i ymgynghori âg ef y dydd o'r blaen, adn. 19; ac hefyd, er mwyn cael achos Jonathan i'r golwg: gwel ar adn. 42.

Adn. 38. *Dyneswch yma holl benaethiaid y bobl*] Neu swyddogion y fyddin; *edrychwch yn mhwy y bu y pechod hwn heddyw*—trwy na chafodd atebiad gan yr Arglwydd, efe a gasglai fod pechod wedi ei gyflawni gan rywun, trwy fwyta yn groes i'w orchymyn ef; a phenderfynai, os oedd modd, gael hyd i'r euog. Dylasai ystyried ei bechod ei hun yn gwarafun bwyd i'r bobl, yr hyn a fu yn achos o'r pechod hwnw, os oedd yn bechod hefyd: eithr nid oedd efe yn meddwl am ddim ond y trosedd yn erbyn ei orchymyn ei hun.

Adn. 39. *Canys megys mai byw yr Arglwydd*] Cawn yma eto brawf o fyrbwylldra a ffolineb Saul, a phoethder ei dymher ef. Fel yr oedd efe o'r blaen wedi tynghedu y bobl, felly yn awr efe a'i tyngheda ei hun i ladd, fel y troes allan, hyd yn nod ei fab ei hun, yr hwn a fu y prif os nid yr unig offeryn i ennill y waredigaeth ogoneddus hon i Israel, a hyny am brofi ychydig fêl, pan na wyddai ei fod trwy hyny yn ei osod ei hun yn agored i felldith ei Dad. *Ac nid atebodd neb*—ni ddarfu i neb o'r rhai a welsent Jonathan yn bwyta ei

mab, diau y llwyr-roddir ef i farwol-
aeth. Ac nid atebodd *neb* o'r holl
bobl ef.
40 Yna y dywedodd efe wrth holl
Israel, Chwi a fyddwch ar y naill du;
minau hefyd a Jonathan fy mab fydd-
wn ar y tu arall. A dywedodd y bobl
wrth Saul, Gwna *a fyddo* da yn dy
olwg.
41 Am hyny y dywedodd Saul wrth
Arglwydd Dduw Israel, Dod oleu-
fynag. A daliwyd Jonathan a Saul:
ond y bobl a ddiangodd.
42 Dywedodd Saul hefyd, Bwriwch
*goelbren* rhyngof fi a Jonathan fy mab.
A daliwyd Jonathan.
43 Yna y dywedodd Saul wrth Jo-
nathan, Mynega i mi beth a wnaeth-
ost. A Jonathan a fynegodd iddo, ac
a ddywedodd, Gan archwaethu yr
archwaethais ychydig o fêl ar flaen y
wialen *oedd* yn fy llaw; *ac* wele, a
fyddaf fi farw?
44 Dywedodd Saul hefyd, Felly
gwneled Duw *i mi*, ac felly chwa-
neged, onid gan farw y byddi di farw,
Jonathan.
45 A dywedodd y bobl wrth Saul,
A leddir Jonathan, yr hwn a wnaeth
yr ymwared mawr hyn yn Israel? Na
ato Duw: *fel mai* byw yr Arglwydd,
ni syrth *un* o wallt ei ben ef i'r ddaear;

---

gyhuddo ef; canys gwyddent fod ei anwybodaeth yn ei esgusodi ef; ac ni fynent, o herwydd eu mawr serch ato, ei osod ef i farwolaeth am drosedd mor fychan.

Adn. 40. *Chwi a fyddwch ar y naill du*] Efe a orchymynai i holl Israel sefyll wrthynt eu hunain un ochr, ac yntau a Jonathan a safent wrthynt eu hunain yr ochr arall, tra y bwrid coelbren i weled yn mysg pwy yr oedd y troseddwr. *Gwna a fyddo da yn dy olwg*—canys gwyddai pob un ei fod ef ei hun yn ddieuog.

Adn. 41. *Am hyny y dywedodd Saul*] Ar ol rhanu y fyddin yn ddwy, a chyn bwrw y coelbren; *Dod oleufynag*—fel y gwybydder pwy sydd euog; neu, fel ar ymyl y ddalen, 'dangos y diniwed;' Saes. 'dyro goelbren perffaith.' *A daliwyd Jonathan a Saul*—heb ddangos eto pa un o'r ddau oedd yn euog. *Ond y bobl a ddiangodd*—rhag y gosp fygythiedig, trwy i'r coelbren syrthio ar y blaid arall.

Adn. 42. *Bwriwch goelbren rhyngof fi a Jonathan fy mab*] Gwyddai Saul nad oedd ef yn euog; ac eto mynai fwrw y coelbren, i ddangos i ereill mai Jonathan oedd yn euog, a'i fod ef am gyfiawnder manwl. *A daliwyd Jonathan*—mynai Duw i weithred Jonathan ddyfod i'r golwg, nid am ei bod yn bechod yn ei olwg ef, nac am ei fod yn cymeradwyo tynghediad a melldithiad Saul, (adn. 24, 39,) nac yn ewyllysio i Jonathan gael ei roddi i farwolaeth; ond, (1) Fel y byddai i ynfydrwydd Saul gael ei geryddu, pan y gwelai efe i'r fath berygl y dygasai efe ei fab rhagorol; (2) Fel yr amlygid diniweidrwydd Jonathan, trwy ei anwybodaeth o waharddiad ei dad; ac, (3) Fel y cai y bobl gyfle i ddangos eu serch mawr at Jonathan, trwy ei waredu ef, adn. 45. Darfu i'r coelbren fynegu y *gwir;* ond nid yw Duw, yr hwn a'i llywodraethai ef, yn gosod un bai ar Jonathan, ac y mae ei gydwybod ei hun yn ei ryddhau ef. Nid yw efe yn ceisio maddeuant gan Dduw, am ei fod yn ymwybodol na phechasai. Ond gellir gofyn, paham nad atebodd Duw yr offeiriad y dydd hwnw? Am nad oedd ef yn gweled yn addas i'r bobl fyned liw nos i erlid y Philistiaid gorchfygedig. Yr oedd amcan Saul yn berffaith *ddialeddol:* 'Awn i waered ar ol y Philistiaid liw nos, ac anrheithiwn hwynt hyd oni oleuo y bore, ac na adawn un o honynt,' adn. 36; hyny yw, boed i ni losgi, dyfetha, a lladd y cwbl o'n blaen! A fuasai yn beth iawn cefnogi tymher o'r fath yma, yr hon a arweiniasai i ddinystrio llawer o'r werin ddieuog, ac Israeliaid a allent fod yn trigo yn mysg y Philistiaid? Heblaw hyn, onid oedd rheswm tra amlwg yn y *bobl* eu hunain paham nad allai Duw fod yn eu mysg? Yr oeddynt wedi ymhalogi trwy *fwyta gwaed,* adn. 32; ac er y gallent fod wedi aberthu i wneuthur iawn am y trosedd hwnw, eto yr oedd yn rhaid iddynt fod yn aflan hyd yr hwyr; ac yr oedd hyny yn ddigon o reswm dros i Dduw beidio eu hateb.

Adn. 43. *A Jonathan a fynegodd iddo*] A addefodd y gwir yn onest a rhwydd, ei fod wedi archwaethu ychydig fêl oddiar flaen y wialen. *Ac wele, a fyddaf fi farw*—a raid i mi farw am gyn lleied peth? Gallwn feddwl iddo chwanegu, na wyddai efe ar y pryd fod ei dad wedi gwahardd hyny.

Adn. 44. *Felly gwneled Duw i mi*] Math o lw eto, trwy yr hwn y dymunai Saul felldithion fwy na mwy iddo ei hun, os na roddai efe ei fab i farwolaeth! Ar ryw olwg yr oedd yn ganmoladwy yn Saul ddangos o hono fwy o barch i'w lw nag i'w serch naturiol.

Adn. 45. *A dywedodd y bobl wrth Saul*] Ar ol clywed ei benderfyniad i roddi ei fab i farwolaeth yn hytrach na thori ei lw; *A leddir Jonathan, yr hwn a wnaeth yr ymwared mawr hyn yn Israel?*—a aberthir y bywyd hwnw, yr hwn mor wrol a'i peryglodd ei hun er lles y cyffredin, ac i'r hwn yr ydym yn ddyledus am ein bywyd, ein rhyddid, a'n buddugoliaeth? *Fel mai byw yr Arglwydd*—yr oedd ei dad wedi tyngu y rhoddid ef i farwolaeth, ac y maent hwythau yn tyngu na chai efe farw; na chai ei dad, na neb arall, wneyd y niwed lleiaf iddo, gymaint a thynu blewyn o wallt ei ben. *Canys gyda Duw y gweithiodd efe heddyw*—mewn cydweithrediad â Duw, neu fel offeryn yn llaw Duw, y gwnaeth efe yr ymwared mawr hwn i Israel. Yr oedd Duw mor bell oddiwrth fod yn ddig wrtho, fel ag y darfu iddo ei arddel ef yn rasol yn ngwaith mawr y dydd heddyw. *A'r bobl a waredasant Jonathan*—nid trwy nerth a gorfodaeth, ond trwy daerineb, a'r rhesymau cryfion uchod. Yn hyn ymddygasant fel *rheithwyr* cyfiawn a diduedd, y rhai a seilient

canys gyda Duw y gweithiodd efe
heddyw. A'r bobl a waredasant Jo-
nathan, fel na laddwyd ef.
46 Yna Saul a aeth i fyny oddiar ol
y Philistiaid: a'r Philistiaid a aethant
i'w lle eu hun.
47 ¶ Felly y cymerodd Saul y fren-
hiniaeth ar Israel; ac a ymladdodd
yn erbyn ei holl elynion oddiamgylch,
yn erbyn Moab, ac yn erbyn meibion
Ammon, ac yn erbyn Edom, ac yn
erbyn brenhinoedd Sobah, ac yn erbyn
y Philistiaid: ac yn erbyn pwy bynag
yr wynebodd, efe a orchfygodd.
48 Cynullodd lu hefyd, a tharawodd
Amalec; ac a waredodd Israel o law
ei anrheithwyr.
49 A meibion Saul oedd Jonathan,
ac Issui, a Malci-sua. *Dyma* enwau
ei ddwy ferched ef: enw yr henaf *oedd*
Merab, ac enw yr ieuangaf Michal.
50 Ac enw gwraig Saul *oedd* Ahi-
noam merch Ahimaas: ac enw tywys-
og ei filwriaeth ef *oedd* Abner mab
Ner, ewythr frawd ei dad i Saul.
51 Cis hefyd *oedd* dad Saul; a Ner
tad Abner *oedd* fab Abiel.
52 A bu ryfel galed yn erbyn y
Philistiaid holl ddyddiau Saul: a phan
welai Saul ŵr glew a nerthol, efe a'i
cymerai ato ei hun.

## PENNOD XV.

A SAMUEL a ddywedodd wrth
Saul, Yr Arglwydd a'm hanfon-
odd i i'th eneinio di yn frenin ar ei
bobl, *sef* ar Israel: ac yn awr gwrando
ar lais geiriau yr Arglwydd.
2 Fel hyn y dywedodd Arglwydd
y lluoedd; Cofiais yr hyn a wnaeth
Amalec i Israel, y modd y gosododd
efe i'w erbyn ar y ffordd, pan ddaeth
efe i fyny o'r Aifft.
3 Dos yn awr, a tharo Amalec, a
dinystria yr hyn oll *sydd* ganddo, ac
nac eiriach ef; ond lladd *hwynt*, yn

---

eu *rheithfarn* yn ol y *dystiolaeth.* Ac yr oedd Duw yn foddlon iddi, er mwyn ceryddu tueddfryd Saul i chwidredd a byrbwylldra. Dywed Josephus i'r bobl weddio am i Dduw faddeu pechod Jonathan, ac am iddo gael ei waredu oddiwrth felldith ei dad.

Adn. 46. *Yna Saul a aeth i fyny*] Neu adref i'w ddinas ei hun, heb erlid yn mhellach y waith hon ar ol y Philistiaid, gan na chawsai orchymyn i hyny gan yr Arglwydd, adn. 37; *a'r Philistiaid a aethant i'w lle eu hun*—i'w gwlad eu hunain, ond nid cyn i 60,000 o honynt gael eu lladd gan Israel, yn ol Josephus.

Adn. 47. *Felly y cymerodd Saul y frenhiniaeth ar Israel*] Yr hon oedd bron wedi ei chymeryd oddiarno ef o'r blaen gan y Philistiaid, pryd yr oedd ef megys yn gauedig yn Gibeah, a hwythau yn anrheithio ac yn gorthrymu yr holl wlad. *Ac a ymladdodd yn erbyn ei holl elynion*—y rhai a gynygient ymosod ar ei wlad ef o wahanol barthau; *oddi amgylch*—yr oedd y Moabiaid a'r Ammoniaid o du y dwyrain iddo; yr Edomiaid o du y deau; Sobah oedd ran o Syria o du y gogledd i Ganaan, yn agos i Damascus, 2 Sam. viii. 3, 5; a'r Philistiaid oeddynt o du y gorllewin iddo: felly yr oedd iddo ef elynion 'oddiamgylch,' fel y dywedir yma *Efe a orchfygodd*—er fod yr Arglwydd wedi digio wrth Saul, ac yn bwriadu troi ei hiliogaeth ef o'r frenhiniaeth, eto efe a'i cynorthwyodd ef am ryw yspaid i orchfygu ei holl elynion hyn er mwyn ei bobl. Er nad oes genym hanes fanol am y rhyfeloedd hyn, diamau iddynt barhau am gryn amser.

Adn. 48. *A tharawodd Amalec*] Am yr hyn y cawn hanes yn y bennod nesaf.

Adn. 49. *Issui*] A elwir hefyd Abinadab, pen. xxxi. 2. Y mae *Isboseth*, mab arall Saul, yn cael ei adael allan yma, am nad oedd yr hanesydd santaidd yn bwriadu crybwyll neb ond y rhai hyny o feibion Saul a aethant gydag ef i ryfel, ac a laddwyd fel yntau: gwel ar adn. 50. *Merab*—gwraig Adriel; *Michal*—gwraig Dafydd, pen. xviii. 19, 27.

Adn. 50. *Ac enw gwraig Saul oedd Ahinoam*] Yr hon ond odid oedd ei unig wraig briodol ef, a mam y plant a enwyd adn. 49. Gall nad oedd Isboseth ond hanner brawd iddynt, ac mai am hyny y gadawyd ef allan o'r rhestr uchod. *Abner*—cefnder Saul.

Adn. 51. *Ner tad Abner oedd fab Abiel*] Gwel ar pen. ix. 1.

Adn. 52. *A bu ryfel galed yn erbyn y Philistiaid holl ddyddiau Saul*] Er i lawer o'r Philistiaid gael eu lladd yn ddiweddar, eto hwy a ymgryfhasant yn fuan i ryfela â Saul drachefn a thrachefn, nes iddo o'r diwedd syrthio wrth ymladd â hwynt. *A phan welai Saul ŵr glew a nerthol*—un a allai ryfela gyda gwroldeb a deheurwydd; *efe a'i cymerai ef*—i gryfhau ei warchawdlu brenhinol ei hun, yr hyn oedd weithred o gallineb mawr.

PEN. XV. Adn. 1. *A Samuel a ddywedodd wrth Saul*] Yn debygol yn mhen hir amser ar ol iddo ei geryddu ef am aberthu yn Gilgal, ac ar ol ei ryfeloedd â'r cenhedloedd, pen. xiv. 47. *Yr Arglwydd a'm hanfonodd i i'th eneinio di*—efe a grybwylla hyn i ddangos ei awdurdod i ddywedyd wrtho yr hyn a ganlyn. *Ac yn awr gwrandaw ar lais geiriau yr Arglwydd*—yr wyt ti wedi ei ddigio ef eisioes: yn awr boed i ti adennill ei ffafr ef trwy ufydd-dod manwl i'r hyn a orchymyna efe rhagllaw.

Adn. 2. *Cofiais yr hyn a wnaeth Amalec i Israel*] Oddeutu pedwar can mlynedd yn ol, Exod. xvii. 8, Deut. xxv. 17, 18. Yr oedd Duw yn cofio hyny o hyd, er na ddaethai yr amser iddo ddial eu creulondeb hyd yn awr.

Adn. 3. *Dos yn awr, a tharo Amalec*] Dywed yr Iuddewon fod gan Israel dri pheth i'w gwneyd ar ol dyfod i Ganaan, sef gosod arnynt

ŵr ac yn wraig, yn ddyn bach ac yn blentyn sugno, yn ŷch ac yn oen, yn gamel ac yn asyn.
4 A Saul a gynullodd y bobl, ac a'u cyfrifodd hwynt yn Telaim, dau can mil o wŷr traed, a deng mil o wŷr Juda.
5 A Saul a ddaeth hyd ddinas i Amalec, ac a gynllwynodd yn y dyffryn.
6 ¶ Dywedodd Saul hefyd wrth y Ceneaid, Cerddwch, ciliwch, ewch i waered o fysg yr Amaleciaid; rhag i mi eich dystrywio chwi gyda hwynt: herwydd ti a wnaethost drugaredd â holl feibion Israel, pan ddaethant i fyny o'r Aifft. A'r Ceneaid a ymadawsant o fysg yr Amaleciaid.
7 A Saul a darawodd yr Amaleciaid o Hafila, *ffordd* y delech di i Sur, yr hon *sydd* ar gyfer yr Aifft.
8 Ac a ddaliodd Agag brenin yr Amaleciaid yn fyw, ac a laddodd yr holl bobl â min y cleddyf.
9 Ond Saul a'r bobl a arbedasant Agag, a'r goreu o'r defaid, a'r ychain, a'r brasaf o'r ŵyn, a'r hyn oll *ydoedd* dda, ac ni ddystrywient hwynt: a phob peth gwael a salw, hwnw a ddifrodasant hwy.
10 ¶ Yna y bu gair yr Arglwydd wrth Samuel, gan ddywedyd,
11 Edifar i'w genyf osod Saul yn frenin: canys efe a ddychwelodd oddi ar fy ol i, ac ni chyflawnodd fy ngeiriau. A bu ddrwg gan Samuel; ac efe a lefodd ar yr Arglwydd ar hyd y nos.
12 A phan gyfododd Samuel yn

---

frenin, adeiladu y deml, a dileu coffadwriaeth Amalec odditan y nefoedd; a'r gorchwyl olaf hwn a roddwyd i Saul eu brenin cyntaf. *Nac eiriach ef*—hyny yw, nac *arbeda* Amalec na'i eiddo. Yr oedd pob peth byw i gael ei ladd, a'r holl nwyddau a'r meddiannau i gael eu llosgi a'u dinystrio; felly nid rhyfel er mwyn yr *yspail* oedd hon, ond er mwyn dial ar y rhai ag yr oedd cwpan eu hanwiredd yn llawn. Pe caniatesid i'r Israeliaid arbed yr *anifeiliaid*, ymddangosasent yn ngolwg y cenhedloedd oddiamgylch fel yn llofruddio y bobl hyn er mwyn eu cyfoeth, yn hytrach nag fel gweinidogion digofaint Duw er cospi cenedl, y rhai yr oedd eu pechodau wedi eu haddfedu hwynt i ddinystr. Nid oedd yr Arglwydd yn gwneyd dim anghyfiawnder â neb yn y dinystr hwn, yn enwedig gan fod y tô presenol yn dylyn llwybrau anfad eu henafiaid; a chyda golwg ar eu plant diniwed, yr oedd y dedwyddwch ag oedd yn eu haros hwy mewn byd arall yn gwrthbwyso yr holl ddrygau a ddisgynent arnynt yn hwn.

Adn. 4. *A Saul a gynullodd y bobl*] Trwy genadau wedi eu hanfon dros yr holl wlad; *ac a'u cyfrifodd hwynt yn Telaim*—yr un a Thelem, yn llwyth Juda, fel y meddylir, Jos. xv. 24; *dau can mil o wŷr traed, a deng mil o wŷr Juda*—y mae Josephus, a'r LXX, yn darllen, 'pedwar can mil o wŷr Israel, a deng mil ar hugain o wŷr Juda.'

Adn. 5. *A Saul a ddaeth hyd ddinas i Amalec*] Tybia rhai mai *Amalec* oedd enw y ddinas, yn ol enw y genedl; ac mai eu prif-ddinas hwy ydoedd hi; *ac a gynllwynodd*—neu a 'ymladdodd' â hwynt yn y dyffryn.

Adn. 6. *Dywedodd Saul hefyd wrth y Ceneaid*] Hiliogaeth neu genedl Jethro, y rhai gynt a drigent mewn creigiau yn ymyl neu yn mysg yr Amaleciaid, Num. xxiv. 20, 21, ac wedi hyny yn anialwch Juda: gwel ar Barn. i. 16. *Ti a wnaethost drugaredd â holl feibion Israel*—gwnaeth rhai o'ch henafiaid hyny, ac er eu mwyn hwy arbedir chwi. Cyfeirir at gynghor Jethro i Moses, Exod. xviii. 10—23, a chynorthwy Hobab, Num. x. 29—31.

Adn. 7. *O Hafila—i Sur*] Hyny yw, o'r naill gŵr o'r wlad i'r llall; neu, fel y dywed Josephus, 'o Pelusium yn yr Aifft, hyd y môr coch.'

Adn. 8. *Ac a ddaliodd Agag*] Yr hwn oedd enw cyffredin ar frenhinoedd yr Amaleciaid, fel yr oedd Pharao ar frenhinoedd yr Aifft. *Ac a laddodd yr holl bobl*—a allodd efe eu dal, oddieithr Agag; neu y rhai hyny na allasant ddianc: gwel pen. xxx. 1.

Adn. 9. *Ond Saul a'r bobl a arbedasant Agag*] Y mae yn debyg y mynai Saul ei arbed ef o barch iddo fel brenin, ac er mawreddu ei fuddugoliaeth trwy ei ddangos ef; ac yr oedd yn hawdd gan y bobl gydsynio â'i ewyllys ef, er fod hyny yn groes i ewyllys a gorchymyn Duw, adn. 3. *A'r goraf o'r defaid, &c.*—dan yr esgus o'u haberthu i'r Arglwydd, adn. 15. *A'r hyn oll ydoedd dda*—o'r nwyddau, gan feddwl eu cadw at eu gwasanaeth eu hunain. *A phob peth gwael a salw*—o'r anifeiliaid a'r meddiannau; *hwnw a ddifrodasant hwy*—am nad oedd yn werth ei gadw. Fel hyn ufuddhasant i Dduw yn mhob peth nad oedd yn anghyfleusdra iddynt eu hunain.

Adn. 10. *Yna y bu gair yr Arglwydd wrth Samuel*] Naill ai mewn breuddwyd, neu trwy leferydd hyglyw: gwel ar Heb. i. 1.

Adn. 11. *Edifar yw genyf osod Saul yn frenin*] Y mae edifeirwch, a llefaru yn briodol, yn cynwys gofid calon, a newidiad bwriad ac ewyllys; ond yn yr ystyr hwn nis gallai gael lle yn Nuw. Eithr priodolir ef yn fynych iddo yn yr ysgrythyrau, pan y mae efe yn newid ei ymddygiadau yn ol yr ammodau a roddwyd i lawr, neu a gynwysid yn ei feddwl anfeidrol ei hun: gwel ar Gen. vi. 6. *Canys efe a ddychwelodd oddiar fy ol i*—yr hyn a gynwys ei fod ef unwaith yn ei ganlyn ef. Tybia rhai fod hyn yn arwyddo ddarfod iddo ddychwelyd oddiwrth ei addoliad a'i wasanaeth ef, yn enwedig o ran gwirionedd ac uniondeb calon. *Ac ni chyflawnodd fy ngeiriau*—sef ei orchymyn i ddinystrio Amalec, a'r hyn oll oedd ganddo, adn. 3. *Ac efe a lefodd ar yr Arglwydd ar hyd y nos*—am faddeuant a thrugaredd i Saul a'i wŷr.

fore i gyfarfod Saul, mynegwyd i Samuel, gan ddywedyd, Daeth Saul i Carmel; ac wele, efe a osododd iddo le, efe a amgylchodd hefyd, ac a dramwyodd, ac a aeth i waered i Gilgal.
13 A Samuel a ddaeth at Saul. A Saul a ddywedodd wrtho ef, Bendigedig *fyddech* di gan yr Arglwydd: mi a gyflawnais air yr Arglwydd.
14 A dywedodd Samuel, Beth ynte *yw* brefiad y defaid hyn yn fy nghlustiau, a beichiad y gwartheg yr hwn yr ydwyf yn ei glywed?
15 A Saul a ddywedodd, Oddiar yr Amaleciaid y dygasant hwy: canys y bobl a arbedodd y defaid goreu, a'r ychain, i aberthu i'r Arglwydd dy Dduw; a'r rhan arall a ddifrodasom ni.
16 Yna y dywedodd Samuel wrth Saul, Aros, a mi a fynegaf i ti yr hyn a lefarodd yr Arglwydd wrthyf fi neithiwr. Yntau a ddywedodd wrtho, Llefara.
17 A Samuel a ddywedodd, Onid pan *oeddit* fychan yn dy olwg dy hun, *y gwnaed* di yn ben *ar* lwythau Israel, ac yr eneiniodd yr Arglwydd di yn frenin ar Israel?
18 A'r Arglwydd a'th anfonodd di i daith, ac a ddywedodd, Dos, a difroda y pechaduriaid, yr Amaleciaid, ac ymladd i'w herbyn, nes eu difa hwynt.
19 Paham gan hyny na wrandewaist ar lais yr Arglwydd, eithr troiast at yr anrhaith, a gwnaethost ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd?
20 A Saul a ddywedodd wrth Samuel, Yn wir mi a wrandewais ar lais yr Arglwydd, ac a rodiais yn y ffordd

---

Adn. 12. *Daeth Saul i Carmel*] Nid mynydd Carmel yn llwyth Manasse, ar fin Môr-y-canoldir; eithr dinas Carmel yn llwyth Juda, Jos. xv. 55, yr hon oedd yn ffordd Saul ar ei ddychweliad o daro yr Amaleciaid. *Ac wele, efe a osododd iddo le*—i ranu yr yspail ynddo, meddai rhai; i wersyllu ynddo, yn ol ereill. Ond trwy fod y gair *yad*, 'lle,' yn arwyddo *llaw*, tybia rhai mai math ar golofn neu garnedd ddangosiadol a feddylir, yr hon a osododd Saul i fyny yma yn gofeb o'i fuddugoliaeth. *Efe a amgylchodd hefyd*—aeth o amgylch y wlad gyda rhwysg mawr, gan ddwyn yr yspail gydag ef, ac Agag hefyd, i ymorfoleddu yn ei fuddugoliaeth ar y fath frenin cadarn. *Ac a aeth i waered i Gilgal*—gan ddysgwyl Samuel i gyfarfod âg ef yno, ac i aberthu i'r Arglwydd am y fuddugoliaeth.

Adn. 13. *Bendigedig fyddech di gan yr Arglwydd*] Teimlai Saul fod ganddo achos mawr i fendithio Samuel, neu i ddymuno am i'r Arglwydd ei fendithio ef, nid yn unig am i Samuel ei eneinio ef i fod yn frenin, ond hefyd am iddo ei anfon ef ar yr anturiaeth hon yn erbyn Amalec, yn yr hon y llwyddodd mor hynod, ac y cafodd enw mor fawr. *Mi a gyflawnais air yr Arglwydd*—os oedd ef yn meddwl fod cyflawni *rhan* o air yr Arglwydd yn gyflawni yr *oll*, yr oedd yn ffol a beius iawn; ac os oedd yn dywedyd anwiredd bwriadol wrth broffwyd Duw, yr oedd yn fwy beius fyth.

Adn. 14. *Beth ynte yw brefiad y defaid hyn yn fy nghlustiau, &c.*] Y gorchymyn oedd dinystrio pob creadur byw ag oedd gan Amalec, adn. 3; ac os oedd Saul wedi cyflawni gair yr Arglwydd fel y dywedai iddo wneyd, o ba le y daethai y defaid a'r gwartheg hyny a glywai Samuel yn brefu ac yn beichiaw yn ei glyw ef? Gofynai y proffwyd hyn, nid am nas gwyddai, ond i brofi Saul yn euog a chelwyddog, a'i ddwyn i edifeirwch.

Adn. 15. *Oddiar yr Amaleciaid y dygasant hwy*] Nis gallai wadu mai anifeiliaid yr Amaleciaid oeddynt; ond taflai y bai ar y bobl, fel pe na buasai ganddo ef un law yn y peth; pan y mae yn amlwg, oddiwrth adn. 9, mai efe oedd flaenaf yn y weithred. *I aberthu i'r Arglwydd dy Dduw*—tybiai Saul y byddai i'r dyben gyfiawnhau y weithred, ac y cawsai efe naill ai ei ganmol gan Samuel, neu o leiaf ei esgusodi. Ond dichon nad oedd hyn oll ddim ond rhagrith celwyddog i'w esgusodi ei hun, ac mai dyben Saul a'i bobl oedd meddiannu y defaid a'r ychain goraf eu hunain, a difrodi y rhai gwaelaf.

Adn. 16. *Aros*] Gellir meddwl fod Saul mewn brys i fyned ymaith, rhag ofn fod gan Samuel ryw gerydd i'w roddi iddo. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, *goddef*, neu *ganiatâ;* a bod Samuel yma yn ei anrhydeddu ef fel brenin.

Adn. 17. *Onid pan oeddit fychan yn dy olwg dy hun*] Gan feddwl yn isel am dano ei hun, ei deulu, a'i lwyth, pen. ix. 21. Sonir yma am ei ddyrchafiad ef o iselder, i ddangos y rhwymau oedd arno i ufyddhau i'r Arglwydd, ac attal y bobl rhag arbed anifeiliaid Amalec, ac nid eu beio hwy yn awr i'w arbed ei hun.

Adn. 18. *A'r Arglwydd a'th anfonodd di i daith*] Gwnaethai yr Arglwydd ei ryfelgyrch ef yn erbyn yr Amaleciaid mor lwyddiannus, nes yr oedd yn debycach i daith esmwyth a diogel, nag i ryfel galed a pheryglus. *Nes eu difa hwynt*—yn hollol, heb arbed cymaint ag un plentyn sugno, llai o lawer eu brenin hwy.

Adn. 19. *Paham gan hyny na wrandewaist*] Gan fod y gorchymyn mor eglur, ac yn cael ei gefnogi gan holl awdurdod Duw? *Eithr troaist at yr anrhaith*] Saes. 'ehedaist ar yr anrhaith,' fel aderyn ysglyfaethus yn disgyn ar ei ysglyfaeth.

Adn. 20. *Yn wir mi a wrandewais ar lais yr Arglwydd*] Hyny yw, gwnaethym i hyny, er na wnaeth y bobl, adn. 21; *ac a rodiais yn y ffordd*—aethym i ryfel yn erbyn Amalec, megys y gorchymynodd yr Arglwydd; *a dygais Agag*—yn gaeth i Gilgal; *a difrodais yr Amaleciaid*—gynifer o honynt ag a allwn eu dal. Ond prawf gwael oedd hwn o wrandaw

y'm hanfonodd yr Arglwydd *iddi,* a
dygais Agag brenin Amalec, ac a ddif-
rodais yr Amaleciaid.
21 Ond y bobl a gymerth o'r ys-
pail, ddefaid a gwartheg, blaenion y
ddifrodaeth, i aberthu i'r Arglwydd
dy Dduw yn Gilgal.
22 A Samuel a ddywedodd, A *yw*
ewyllys yr Arglwydd ar boeth-off-
rymau, neu ebyrth, megys ar wrando
ar lais yr Arglwydd? Wele, gwrando
*sydd* well nag aberth; *ac* ufyddhau,
na brasder hyrddod.
23 Canys anufydd-dod *sydd fel* pech-
od dewiniaeth; a throseddiad *sydd* an-
wiredd a delw-addoliaeth. O herwydd
i ti fwrw ymaith air yr Arglwydd,
yntau a'th fwrw dithau ymaith o *fod*
yn frenin.
24 ¶ A Saul a ddywedodd wrth
Samuel, Pechais: canys troseddais air
yr Arglwydd, a'th eiriau dithau; o
herwydd i mi ofni y bobl, a gwrando
ar eu llais hwynt.
25 Ond yn awr maddeu, atolwg, fy
mhechod, a dychwel gyda mi, fel yr
addolwyf yr Arglwydd.
26 A Samuel a ddywedodd wrth
Saul, Ni ddychwelaf gyda thi: canys
bwriaist ymaith air yr Arglwydd, a'r
Arglwydd a'th fwriodd dithau ymaith
o fod yn frenin ar Israel.
27 A phan drôdd Samuel i fyned
ymaith, efe a ymaflodd yn nghwr ei
fantell ef; a hi a rwygodd.
28 A Samuel a ddywedodd wrtho,
Yr Arglwydd a rwygodd frenhiniaeth
Israel oddiwrthyt ti heddyw, ac a'i

---

ar lais yr Arglwydd yn mhob peth, gan iddo arbed y penaf o honynt, sef eu brenin hwynt, ar ol ei ddal!

Adn. 21. *Ond y bobl a gymerth o'r yspail*] Ac nid myfi; *blaenion y ddifrodaeth*—neu y pethau ag oeddynt i gael eu llwyr ddifrodi. Felly y mae yn amlwg y gwyddai Saul mai pethau i gael eu llwyr ddifrodi oedd y cwbl. *I aberthu i'r Arglwydd dy Dduw yn Gilgal*—felly, er ei fod yn bwrw y bai yn hollol ar y bobl, y mae yn ceisio eu hesgusodi hwythau hefyd i ryw raddau trwy ddangos fod eu dyben yn dda: gwel ar adn. 15.

Adn. 22. *A yw ewyllys yr Arglwydd ar boeth-offrymau neu ebyrth*] A yw offrymau mor gymeradwy yn ei olwg ef heb ufydd-dod, ag a ydyw ufydd dod heb offrymau? neu a wna offrymau ei foddloni ef yn lle ufydd-dod? *Wele, gwrandaw sydd well nag aberth*—am fod *aberth* yn cynwys y dybiaeth o bechod; tra y mae *gwrandaw* yn foddion i gadw rhag pechod. *Ac ufyddhau*—i orchymynion Duw, *na brasder hyrddod*—neu yr hyrddod brasaf: hyny yw, y mae ufyddhau yn well na'r aberthau *goraf* ar ol anufyddhau. Nid yw y poeth-offrymau a'r ebyrth goraf ond seremoniol; tra y mae gwrandaw ar lais yr Arglwydd yn ufydd-dod moesol. Y mae y rhai cyntaf yn arwyddo pechod wedi ei gyflawni, dros yr hwn yr offrymir aberth; y mae yr olaf yn ddaioni moesol, ac yn hollol groes i bechod. Ac yn wir aberthau annghymeradwy a phechadurus a fuasai y rhai hyn o eiddo Saul a'i bobl, pe buasent yn eu haberthu, am eu bod o greaduriaid a ddylasent gael eu difrodi yn ol gorchymyn yr Arglwydd.

Adn. 23. *Canys anufydd-dod sydd fel pechod dewiniaeth*] Y mae y ddau yn waharddedig, ac o ganlyniad yn droseddiad o orchymyn Duw. Yr oedd Saul yn arferol o fod yn llym iawn yn erbyn swynyddion a dewiniaid, pen. xxviii. 3; ac felly yr oedd cydmharu ei anufydd-dod ef â'r pechod o ddewiniaeth, yn gwneyd y cerydd yn fwy llym. *A throseddiad*—neu 'gyndynrwydd,' fel y gellir ei gyfieithu; sef ymgyndyniad Saul yn ei bechod, trwy haeru iddo wrandaw ar lais yr Arglwydd, ac ymesgusodi am ei drosedd, adn. 20, 21; *sydd anwiredd a delw-addoliaeth*—neu 'sydd *fel* y drygedd o eilunaddoliaeth,' yr hwn sydd un o'r drygau mwyaf; hyny yw, y mae y naill fel y llall yn droseddiad o ddeddf Duw, ac yn sicr o gael ei gospi ganddo. *O herwydd i ti fwrw ymaith air yr Arglwydd*—trwy fod yn ddisylw o hono, neu yn anufydd iddo; *yntau a'th fwrw dithau ymaith o fod yn frenin*—y mae hyn i'w ddeall yn benaf am ei hiliogaeth ef, i'r rhai ni oddefai Duw i'r frenhiniaeth ddisgyn, pen. xiii. 13, 14; canys parhaodd Saul yn frenin tra y bu fyw; ac yr oedd Dafydd a'r bobl yn ei gydnabod ef o hyd fel eu brenin.

Adn. 24. *Troseddais air yr Arglwydd, a'th eiriau dithau*] Sef y gorchymyn yn adn. 3, yr hwn oedd oddiwrth yr Arglwydd, a thrwy enau Samuel. Y mae Saul yn dwyn Samuel i mewn yma, gan obeithio ennill ei ffafr a'i ddylanwad ef. *O herwydd i mi ofni y bobl*—esgus gwael oedd hwn yn ngenau brenin! Yr oedd Saul yn ddigon awdurdodol a meistrolaidd ar y bobl pan fynai ef fod felly, fel y dengys ei waith yn gwahardd bwyd iddynt dan benyd marwolaeth, pen. xiv. 24, 44.

Adn. 25. *Ond yn awr maddeu, atolwg, fy mhechod*] Yn llythyrenol, *dwg fy mhechod:* maddeu yr hyn a wnaethym yn dy erbyn di fel proffwyd, ac eiriol drosof am ddilead fy mhechod o olwg Duw. *A dychwel gyda mi*—i Gilgal, o'r lle yr aethai Saul allan i ymddyddan â Samuel; *fel yr addolwyf yr Arglwydd*—ond odid trwy offrymu aberth yn iawn am ei drosedd uchod.

Adn. 26. *Ni ddychwelaf gyda thi*] Nid oedd hyn yn gelwydd, er iddo wedi hyn ddychwelyd, am ei fod yn dywedyd yr hyn yr oedd yn ei feddwl: yr oedd ei eiriau a'i fwriadau ar y pryd yn gyson â'u gilydd, er iddo wedi hyny gael rheswm i newid ei fwriadau: gwel Gen. xix. 2, 3, a Luc xxiv. 28, 29. Gall hyn dawelu llawer cydwybod flin, y rhai a'u hystyriant eu hunain dan rwymau i wneyd fel y dywedasant, er eu bod yn gweled achos cyfiawn i newid eu meddyliau a'u hymddygiadau.

rhoddes i gymydog i ti, gwell na thydi.

29 A hefyd Cadernid Israel, ni ddywed gelwydd, ac nid edifarha: canys nid dyn *yw* efe, i edifarhau.

30 Yna y dywedodd *Saul*, Pechais; anrhydedda fi, atolwg, yn awr ger bron henuriaid fy mhobl a cherbron Israel, a dychwel gyda mi, fel yr addolwyf yr Arglwydd dy Dduw.

31 Felly Samuel a ddychwelodd ar ol Saul; a Saul a addolodd yr Arglwydd.

32 ¶ Yna y dywedodd Samuel, Cyrchwch ataf fi Agag brenin yr Amaleciaid. Ac Agag a ddaeth ato ef yn hoyw. Ac Agag a ddywedodd, Chwerwder marwolaeth yn ddiau a aeth ymaith.

33 A Samuel a ddywedodd, Fel y diblantodd dy gleddyf di wragedd, felly y diblentir dy fam dithau yn mysg gwragedd. A Samuel a ddarniodd Agag gerbron yr Arglwydd yn Gilgal.

34 ¶ Yna Samuel a aeth i Ramah; a Saul a aeth i fyny i'w dŷ yn Gibeah Saul.

35 Ac nid ymwelodd Samuel mwyach â Saul hyd ddydd ei farwolaeth;

---

Adn. 27. *A phan drôdd Samuel i fyned ymaith*] I gefnu am byth ar Saul; *efe a ymymaflodd yn nghŵr ei fantell ef*—hyny yw, ymaflodd Saul yn mantell Samuel i'w attal ef rhag myned ymaith; *a hi a rwygodd*—trwy fod Saul yn tynu un ffordd, a Samuel y ffordd arall. Ond tybia rhai mai Samuel a ymaflodd yn mantell Saul, i roddi arwydd iddo o rwygiad y frenhiniaeth oddiwrtho: gwel ar 1 Bren. xi. 30.

Adn. 28. *A Samuel a ddywedodd wrtho*] A gymerodd rwygiad ei fantell yn achlysur i ddywedyd wrtho am rwygiad y frenhiniaeth; *oddiwrthyt ti heddyw*—y mae efe heddyw wedi penderfynu troi dy deulu di heibio am dy bechod hwn, a bydd iddo cyn hir gymeryd ymaith dy fywyd a'th frenhiniaeth di; *ac a'i rhoddes i gymydog i ti*—sef i Dafydd, yr hwn oedd yn gymydog i Saul, trwy fod rhandir Juda a Benjamin yn nesaf at eu gilydd; *gwell na thydi*—yn un a gyflawna ewyllys yr Arglwydd yn llawnach a doethach, ac a fydd yn ŵr mwy cyfiawn, didwyll, a santaidd na thydi: gwel ar pen. xiii. 14. Y mae yn debyg nas gwyddai Samuel ei hun eto pwy oedd i deyrnasu yn lle Saul, er ei fod trwy ysbryd proffwydoliaeth yn gallu dywedyd fel hyn am dano; canys yn y bennod nesaf yr hysbysir iddo pwy oedd efe.

Adn. 29. *Cadernid Israel*] Sef JEHOFA, yr hwn sydd yn ddigon cadarn i ddwyn oddiamgylch ei holl fwriadau mewn perthynas i ti a'th frenhiniaeth. Neu *Fuddugoliaeth Israel*, fel y mae rhai yn ei gyfieithu. Yr oedd Saul wedi cymeryd clod y fuddugoliaeth ddiweddar iddo ei hun, a chodi colofn mewn gwâg ymffrost i fod yn goffadwriaeth o hyny; a meddylir fod Samuel yma yn ceryddu yr ymffrost hwnw, ac yn adgoffa i Saul mai JEHOFA oedd cadernid a buddugoliaeth Israel. *Ni ddywed gelwydd*—am y golygai hyny wendid mewn dyn, neu anallu i gyflawni ei fwriadau. *Ac nid edifarha*—nid yw y gair i'w ddeall yma yn yr un ystyr ag yr arferir ef yn adn. 11, ac mewn amrai leoedd ereill, megys Gen. vi. 6, Exod. xxxii. 14, 2 Sam. xxiv. 16, Jer. xxvi. 19, lle yr arwydda yn unig newidiad yn ymddygiadau Duw at ddynion, fel yr eglurwyd yn fynych. *Canys nid dyn yw efe i edifarhau*—gwel ar Num. xxiii. 19.

Adn. 30. *Anrhydedda fi*] A'th gymdeithas, trwy ddychwelyd gyda mi i Gilgal. Ofnai Saul, os gadewid ef yn gyhoeddus gan yr Arglwydd a'i broffwyd, y syrthiai efe felly i ddirmyg yn ngolwg yr henuriaid a'r bobl; ac ymddengys ei fod yn fwy gofidus rhag colli ei anrhydedd a'i barch gyda'r bobl, nag a ydoedd am ei bechod yn erbyn Duw.

Adn. 31. *Felly Samuel a ddychwelodd*] I Gilgal, (1) Rhag i'r bobl, dan yr esgus o'r ddedfryd hon yn erbyn Saul, anufyddhau i'w awdurdod ef tra y parhäai yn frenin, yr hyn a fuasai yn bechod yn erbyn Duw. (2) I wneyd yr hyn yr esgeulusodd Saul ei wneuthur, sef dinystrio Agag. *A Saul a addolodd yr Aglwydd*—ond odid trwy aberth, a thrwy weinyddiad Samuel.

Adn. 32. *Ac Agag a ddaeth ato ef yn hoyw*] Hyny yw, daeth ato nid fel troseddwr yn dysgwyl dedfryd marwolaeth, ond yn ngwisgoedd, addurniadau, a mawrhydri brenin. *Chwerwder marwolaeth yn ddiau a aeth ymaith*—ni fydd i mi, yr hwn a ddiangais rhag marwolaeth gan frenin gwaedlyd a'i filwyr creulon yn mhoethder rhyfel, yn ddiau ddyoddef marwolaeth oddiwrth broffwyd tosturiol yn amser heddwch. Ond, yn lle dyfod at Samuel yn *hoyw*, y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Agag a ddaeth ato *dan grynu*, gan ddywedyd, Chwerwder marwolaeth yn ddiau a *ddaeth*!'

Adn. 33. *Fel y diblantodd dy gleddyf di wragedd*] Ymddengys oddiwrth hyn iddo ef fod yn ŵr creulon iawn, ac iddo dywallt llawer o waed; a'i fod yn awr yn cael ei ladd, nid yn unig am bechodau ei henafiaid bedwar can mlynedd yn ol, ond hefyd am ei greulondeb didrugaredd ei hun. *Felly y diblentir dy fam dithau*—yr hyn a alwai yr Iuddewon yn 'gyfraith ad daledigaeth:' gwel ar Exod. xxi. 24, 25. *A Samuel a ddarniodd Agag*—efe a weithredai yn hyn fel barnwr yn Israel, ac yn ddiamau yn ol gorchymyn Duw; er nad yw yn debyg iddo ddarnio Agag â'i law ei hun, ond trwy gleddyf dienyddwr priodol. *Ger bron yr Arglwydd*—sef gerbron allor yr Arglwydd, lle yr oeddynt hwy wedi bod yn gweddio ac yn aberthu, i ddangos fod yn gyfiawn gerbron Duw i'r fath bechadur gael ei gospi fel hyn.

Adn. 34. *Yna Samuel a aeth i Ramah*] Ei gartref ei hun, pen. vii. 17; *a Saul a aeth*—i'w gartref yntau yn Gibeah, pen. x. 26.

Adn. 35. *Ac nid ymwelodd Samuel mwyach â Saul*] I'w geryddu, ei hyfforddi, na

ond Samuel a alarodd am Saul: ac edifar fu gan yr Arglwydd osod Saul yn frenin ar Israel.

## PENNOD XVI.

A'R Arglwydd a ddywedodd wrth Samuel, Pa hyd y galeri di am Saul, gan i mi ei fwrw ef ymaith o deyrnasu ar Israel? Llanw dy gorn âg olew, a dos; mi a'th anfonaf di at Jesse y Bethlehemiad: canys yn mysg ei feibion ef y darperais i mi frenin.
2 A Samuel a ddywedodd, Pa fodd yr âf fi? os Saul a glyw, efe a'm lladd i. A dywedodd yr Arglwydd, Cymer anneir-fuwch gyda thi, a dywed, Daethym i aberthu i'r Arglwydd.
3 A galw Jesse i'r aberth, a mi a hysbysaf i ti yr hyn a wnelych: a thi a eneini i mi yr hwn a ddywedwyf wrthyt.
4 A gwnaeth Samuel yr hyn a archasai yr Arglwydd, ac a ddaeth i Bethlehem. A henuriaid y ddinas a ddychrynasant wrth gyfarfod âg ef; ac a ddywedasant, Ai heddychlawn dy ddyfodiad?
5 Ac efe a ddywedodd, Heddychlawn: daethym i aberthu i'r Arglwydd: ymsanteiddiwch, a deuwch gyd

---

gweddio drosto; er i Saul unwaith ymweled â Samuel, pen. xix. 24. *Ond Samuel a alarodd am Saul*—am ei bechod, ei anedifeirwch, a'i ragrith, yn gystal ag am y drygau a ddeuent i Israel trwy ei ddrwg-lywodraeth ef. *Ac edifar fu gan yr Arglwydd osod Saul yn frenin*—dywedasai yr Arglwydd hyn o'r blaen, adn. 11; a dywedir yr un peth eilwaith, i ddangos nad oedd gweddiau Samuel drosto, na chyfaddefiadau mynych Saul, wedi newid dim ar feddwl Duw o berthynas iddo: gwel ar adn. 11, 24, 30.

PEN. XVI. Adn. 1. *Pa hyd y galeri di am Saul*] Nid oedd yr Arglwydd yn beio Samuel am alaru, ond am alaru *cyhyd*, fel pe buasai yn anfoddlon i ddedfryd benderfynol Duw ar Saul a'i hiliogaeth. *Gan i mi ei fwrw ef ymaith*—tybia rhai fod y geiriau hyn yn awgrymu fod Samuel nid yn unig yn galaru am Saul, ond hefyd yn gweddio am ei adferiad ef i'r frenhiniaeth. *Llanw dy gorn âg olew*—sef y corn a gariai efe i godi dwfr i'w yfed ar ei deithiau yn y wlad boeth hòno. *A dos*—o Ramah i Bethlehem, yr hyn oedd o gylch naw milldir o ffordd. *Darperais i mi frenin*—o'm dewisiad fy hun; tra yr oedd Saul yn frenin o ddewisiad y bobl, er mai yr Arglwydd a'i nododd ef iddynt. Y bobl a fynent gael y ffurf hon o lywodraeth pan ddewiswyd Saul, a Duw a'i myn pan ddewiswyd Dafydd. Ni wnaed Dafydd yn frenin yn weithredol y pryd hyn, ond parhaodd yn ddeiliad tra y bu Saul byw: eithr rhagddarparwyd ef fel hyn er tawelwch i feddwl Samuel ac ereill, ac i sicrhau hawliau Dafydd mewn amser dyfodol.

Adn. 2. *Pa fodd yr âf fi*] Mewn diogelwch? *Os Saul a glyw*—fy mod i yn eneinio brenin arall; *efe a'm lladd i*—fel un euog o deyrnfradwriaeth. Ymddengys fod Saul yn dra drwgdybus o Samuel er pan ddywedodd y bwrid ef ymaith o'r frenhiniaeth. *Daethym i aberthu i'r Arglwydd*—yr oedd hyn yn berffaith *wir*, canys efe a *aberthodd;* ac nid ymddengys y gallai efe wneyd y gwaith a fwriadai Duw heb iddo aberthu, a galw henuriaid y bobl yn nghyd, ac felly gynull meibion Jesse. Eithr ni fynegodd efe brif ddyben ei ddyfodiad; pe gwnaethai hyny, cynyrchasai *ddrwg* ac nid *daioni:* ac er na ddylai un dyn mewn unrhyw achos ddywedyd *anwiredd*, eto nid yw efe yn rhwym yn mhob amgylchiad i ddywedyd yr *holl wir*, er yn mhob achos na ddylai efe ddywedyd *dim ond y gwir*, a'r gwir hwnw yn y fath fodd fel na byddo i'r gwrandawyr gredu *celwydd* trwy hyny: gwel ar adn. 5. Yr oedd gan Samuel, fel proffwyd, hawl i aberthu, trwy fod yr holl ddeddf seremonïol yn ddarostyngedig iddo; ac yn yr amseroedd ansefydlog hyny gallai wneuthur hyny mewn unrhyw le: gwel pen. vii. 9, a xi. 15.

Adn. 3. *A galw Jesse i'r aberth*] Yn nghyd a'i feibion, adn. 5; i wledda arno ar ol i'r gwaed gael ei dywallt a'r gwer gael ei losgi, Lef. iii. 1, &c.; canys gallai yr aberthwr wahodd y neb a fynai i gydwledda âg ef ar yr aberth hedd, ar ol i'r Arglwydd a'r offeiriad gael eu rhanau priodol.

Adn. 4. *A henuriaid y ddinas a ddychrynasant wrth gyfarfod âg ef*] Gwyddent ei fod ef yn broffwyd i'r Arglwydd; ac wrth ei weled yn dyfod mor bell oddicartref, ac i ddinas mor anenwog, ofnent ei fod yn dyfod i gyhoeddi rhyw farn oddiwrth yr Arglwydd ar eu dinas.

Adn. 5. *Heddychlawn*] Nid oes genyf un amcan drwg wrth ddyfod atoch; eithr yr wyf yn dyfod yn heddychol, ac mewn cariad, i *aberthu* i'r Arglwydd yn eich plith, ac i'ch gwahodd chwithau i gydgyfranogi â mi o'r *wledd.* Dyma oedd un dyben o'i ddyfodiad; ac er fod ganddo ddyben arall, sef eneinio un o feibion Jesse i fod yn frenin, nid oedd efe yn rhwym o hysbysu hyny. Lle y byddo dau ddyben i weithred, gall dyn fynegu y naill, a chelu y llall, heb wneyd dim cam â'r gwirionedd. Felly y gwnaeth Moses pan y dywedodd wrth Pharao fod yn rhaid iddynt fyned i aberthu i'r Arglwydd yn yr anialwch; eithr efe a gelodd eu bwriad o fyned i wlad Canaan. Yr un modd yr oedd Samuel yn bwriadu aberthu, ac efe a wnaeth hyny; ac os oedd ganddo ddyben arall hefyd, a oedd efe yn rhwym i fynegu yr oll a wyddai, neu ddatguddio i bawb ei holl neges? Y mae celedigaeth o ddefnydd mawr yn mhob gorchwyl o bwys; ac y mae cuddio un dyben wrth fyned ar ddyben arall, i attal peri tramgwydd neu wneyd rhywbeth gwaeth, yn weithred mor gyfiawn a chanmoladwy ag ydyw cau y ffenestr i attal lladron. Gwneuthur un dyben da yn orchudd i ddyben gwell, yw gwneuthur dau ddaioni ar unwaith, a'r ddau mewn ffordd briodol; ac er y byddai yn feius i neb osod

a mi i'r aberth. Ac efe a santeidd-
iodd Jesse a'i feibion, ac a'u galwodd
hwynt i'r aberth.
6 ¶ A phan ddaethant, efe a ed-
rychodd ar Eliab; ac a ddywedodd,
Diau *fod* eneiniog yr Arglwydd ger ei
fron ef.
7 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth
Samuel, Nac edrych ar ei wynebpryd
ef, nac ar uchder ei gorffolaeth ef:
canys gwrthodais ef. O herwydd nid
*edrych DUW* fel yr edrych dyn: ca-
nys dyn a edrych ar y golygiad; ond
yr Arglwydd a edrych ar y galon.
8 Yna Jesse a alwodd Abinadab, ac
a barodd iddo ef fyned o flaen Samu-
el. A dywedodd yntau, Ni ddewis-
odd yr Arglwydd hwn chwaith.
9 Yna y gwnaeth Jesse i Sammah
ddyfod. A dywedodd yntau, Ni dde-
wisodd yr Arglwydd hwn chwaith.
10 Yna y parodd Jesse i'w saith
mab ddyfod gerbron Samuel. A Sa-
muel a ddywedodd wrth Jesse, Ni
ddewisodd yr Arglwydd y rhai hyn.
11 Dywedodd Samuel hefyd wrth
Jesse, Ai dyma *dy* holl blant? Yntau
a ddywedodd, Yr ieuangaf eto sydd
yn ol; ac wele, *mae* efe yn bugeilio y
defaid. A dywedodd Samuel wrth
Jesse, Danfon, a chyrch ef: canys
nid eisteddwn ni i lawr nes ei ddyfod
ef yma.
12 Ac efe a anfonodd, ac a'i cyrch-
odd ef. Ac efe *oedd* wridgoch, a thêg
yr olwg, a hardd o wedd. A dywed-

---

gweithred grefyddol yn orchudd dros ddrygioni, eto nis gall dim fod o'i le wrth gyflawni un weithred o ufudd-dod i Dduw yn y fath fath fodd fel ag i rwyddhau y cyflawniad o un arall. *Ymsanteiddiwch*—newidiwch eich dillad, a golchwch eich cyrff â dwfr glân, a pharotowch eich meddyliau trwy fyfyrdod a gweddi, fel ag i fod yn barod i ddyfod gyda mi i aberthu. *Ac efe a santeiddiodd Jesse a'i feibion*—y rhai a enwir yma yn benodol, am mai un o honynt hwy oedd i gael ei eneinio yn frenin.

Adn. 6. *Efe a edrychodd ar Eliab*] Sef cyntafanedig Jesse, 1 Cron. ii. 13, yr un a Elihu, 1 Cron. xxvii. 18. *Diau fod eneiniog yr Arglwydd ger ei fron ef*—gerbron yr allor, lle yr oedd Duw yn bresenol mewn modd arbenig; canys yr oedd nid yn unig yr aberth i'w offrymu, ond hefyd y gweddillion o hono i'w fwyta, 'gerbron yr Arglwydd,' Deut. xii. 7. Wrth i Samuel weled prydferthwch ac urddas corfforol Eliab, efe a gasglodd yn y fan mai efe oedd yr un a fwriadai Duw fel ei eneiniog; ond yn hyn efe a gamgymerai, fel y gwnai proffwydi ereill weithiau, pan y traethent yn fyrbwyll eu meddyliau eu hunain cyn ymgynghori â Duw.

Adn. 7. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Samuel*] Trwy weithredu yn ddirgel ar ei feddwl, a hyny mor eglur a phe buasai yn llefaru wrtho mewn geiriau; neu ynte gallasai Duw lefaru wrtho yn hyglyw, heb i neb ei glywed ond Samuel ei hun. *Nac edrych ar ei wynebpryd ef*—yr hwn oedd lân a phrydweddol iawn; *nac ar uchder ei gorffolaeth*—yr hwn oedd dàl, lluniaidd, a chadarn. Un fel hyn oedd Saul, pen. ix. 2; a chan i'r Arglwydd ddewis hwnw, tybiai Samuel mai un cyffelyb iddo a ddewisai efe eilwaith. *Gwrthodais ef*—trwy ddewis un arall. *O herwydd nid edrych Duw fel yr edrych dyn*—nid prydferthwch corfforol Saul a gymhellodd Dduw i'w osod ef yn frenin, er fod hyny, yn ngolwg dynion, yn gymhwysder mawr yn hen frenhinoedd Cenhedlig y dwyrain; ac nid golygiad neu brydferthwch allanol Eliab a wnai y tro gan yr Arglwydd, yr hwn a edrych ar y *galon*. Casgla yr Iuddewon oddiyma mai calon ddrwg a gorthrymus oedd gan Eliab, yr hon a'i hanaddasai ef i fod yn frenin ar Israel; a gellir meddwl hyny oddiwrth ei drahausder i Dafydd, pen. xvii. 28.

Adn. 8, 9. *Yna Jesse a alwodd Abinadab*] Ei ail fab, pen. xvii. 13. *Sammah*—ei drydydd mab, yr hwn hefyd a elwir Simmah, 1 Cron. ii. 13. Meddylir fod Samuel a Jesse mewn ystafell gyda'u gilydd, a bod y meibion yn cael eu galw i mewn bob yn un o flaen Samuel, fel y gallai efe gael llawn olwg arnynt. *A dywedodd yntau*—yr oedd yr Arglwydd yn dywedyd yn gyntaf wrth Samuel, a Samuel wrth Jesse, nad oedd efe wedi eu dewis hwynt i'r frenhiniaeth.

Adn. 10. *Yna y parodd Jesse i'w saith mab ddyfod*] Sef pedwar yn chwanegol at y tri uchod; canys wyth o feibion oedd ganddo ef yn y cyfan, a chyfrif Dafydd, pen. xvii. 12. Ond dichon mai mab ordderch oedd un o'r rhai hyn, neu un wedi ei fabwysiadu i'w deulu ef, ac mai am hyny y gadawyd ef allan o 1 Cron. ii. 13—15, lle na enwir ond saith o feibion i Jesse, ac y dywedir mai Dafydd oedd y seithfed. *Ni ddewisodd yr Arglwydd y rhai hyn*—gallwn feddwl fod Jesse yn digaloni yn fawr erbyn hyn, heb unwaith feddwl mai Dafydd, y bugail bach, a fynai Duw yn frenin ar Israel.

Adn. 11. *Ai dyma dy holl blant?*] Gan i'r Arglwydd ddarparu brenin iddo ei hun yn mysg meibion Jesse, (adn. 1,) ac na fynai efe yr un o'r saith uchod, casglai Samuel yn naturiol y rhaid fod ganddo ef chwaneg o feibion. *Yr ieuangaf eto sydd yn ol*—yr hwn y meddylir ei fod o 18 i 20 mlwydd oed y pryd hyny; *ac wele, y mae efe yn bugeilio y defaid*—ac felly yn fwy anaddas nag un o'i frodyr i fod yn frenin. Eithr trefnodd Duw hyn, fel yr ymddanghosai mai o Dduw yr oedd dewisiad Dafydd, ac nid o Samuel na Jesse. *Danfon, a chyrch ef*—o'r maes atynt hwy; *canys nid eisteddwn ni*—y mae yn debyg eu bod wedi aberthu cyn dechreu ar y gorchwyl hwn, ond heb eistedd i fwyta eu rhan hwy o'r aberth; ac ni wnai Samuel hyny nes cael Dafydd ger ei fron.

Adn. 12. *Ac efe oedd wridgoch*] Yr hyn

odd yr Arglwydd, Cyfod, eneinia ef:
canys dyma efe.
13 Yna y cymerth Samuel gorn yr
olew, ac a'i heneiniodd ef yn nghanol
ei frodyr. A daeth Ysbryd yr Argl-
wydd ar Dafydd, o'r dydd hwnw all-
an. Yna Samuel a gyfododd ac a aeth
i Ramah.
14 ¶ Ond Ysbryd yr Arglwydd a
giliodd oddiwrth Saul; ac ysbryd
drwg oddiwrth yr Arglwydd a'i blin-
odd ef.
15 A gweision Saul a ddywedasant
wrtho ef, Wele yn awr, drwg ysbryd
oddiwrth Dduw sydd yn dy flino di.
16 Dyweded, atolwg, ein meistr ni
*wrth* dy weision *sydd* ger dy fron, *am*
iddynt geisio gŵr yn medru canu tel-
yn: a bydd, pan ddelo drwg ysbryd
oddiwrth Dduw arnat ti, yna iddo ef
ganu â'i law; a da fydd i ti.
17 A dywedodd Saul wrth ei weis-
ion, Edrychwch yn awr i mi *am* ŵr
yn medru canu yn dda, a dygwch *ef*
ataf fi.
18 Ac un o'r llanciau a atebodd, ac
a ddywedodd, Wele, gwelais fab i
Jesse y Bethlehemiad, yn medru
canu, ac yn rymus *o* nerth, ac yn
rhyfelwr, yn ddoeth o ymadrodd he-
fyd, ac yn ŵr lluniaidd; a'r Arglwydd
*sydd* gydag ef.
19 ¶ Yna yr anfonodd Saul genad-
au at Jesse, ac a ddywedodd, Anfon
ataf fi Dafydd dy fab, yr hwn *sydd*
gyda'r praidd.

---

oedd yn arwydd o iechyd da: ond tybia Clarke mai at liw coch ei wallt y cyfeiria y gair, yr hwn yn gyffredin a dyf ar groen têg a phrydferth. *A dywedodd yr Arglwydd*—gwel ar adn. 7. *Cyfod*—er fod Samuel wedi eistedd i ddysgwyl Dafydd, nid oedd wedi eistedd i fwyta, adn. 11; *eneinia ef, canys dyma efe*—yr hwn a ddarperais i mi fy hun. Er fod Dafydd yn dêg yr olwg a hardd o wedd, eto yr oedd Duw yn edrych yn fwy ar ei galon oddi fewn, nag ar ei olygiad oddiallan, adn. 7.

Adn. 13. *Ac a'i heneiniodd ef yn nghanol ei frodyr*] Yn eu gwydd hwynt oll, er na wyddent hwy eto i ba beth. Diamau fod ar Samuel ofn i neb wybod ei fod wedi ei eneinio ef i fod yn frenin, oddieithr ei dad yn unig: ond byddai ei frodyr ar ol hyn yn alluog i sicrhau fod Samuel wedi ei eneinio ef, yr hyn, gyda thystiolaethau cyfatebol ereill, a fyddai yn ddigon i brofi hawl Dafydd i'r frenhiniaeth, os byddai raid. Ond yn lle '*yn* nghanol,' myn Dr. Waterland ei gyfieithu, '*o* ganol ei frodyr,' neu allan o'u golwg hwy. *A daeth Ysbryd yr Arglwydd ar Dafydd*—nid yn ei ddylanwadau grasol ac achubol, canys gallwn feddwl ei fod wedi dyfod arno felly cyn hyn; ond yn ei ddoniau annghyffredinol, megys ysbryd nerth, gwroldeb, a doethineb, a chymhwysderau ereill, i'w barotoi i'r gwaith ag oedd o'i flaen. *Yna Samuel a gyfododd*—ar ol eneinio Dafydd, a gwledda gyda Jesse a'i feibion ar ranau yr aberth; *ac a aeth i Ramah*—nid yn unig rhag i Saul ddyfod i wybod am ei neges ef yn Bethlehem, ond i farw mewn tangnefedd, gan fod ei lygaid wedi gweled iachawdwriaeth, sef y deyrnwialen wedi ei dwyn i Juda.

Adn. 14. *Ond Ysbryd yr Arglwydd a giliodd oddiwrth Saul*] Yr hwn a ddaethai arno pan y gwnaed ef yn frenin, (pen. x. 6, &c.,) ac a arhosodd gydag ef hyd y pryd hwn; eithr yn awr Duw a'i cymerodd ef oddiwrtho, ac a'i rhoddes i Dafydd, gan amddifadu Saul o'r doethineb, y gwroldeb, a'r cymhwysder angenrheidiol i lywodraethu fel brenin. *Ac ysbryd drwg oddiwrth yr Arglwydd a'i blinodd ef*—a gynhyrfai ynddo nwydau afreolus, megys cenfigen, cynddeiriogrwydd, dychryn, neu anobaith. Darfu i Dduw naill ai *anfon* hwn arno, neu ynte *oddef* iddo gymeryd meddiant o hono, yn gosp am ei bechodau. Yr oedd ef weithiau mor flin a gwyllt a phe buasai wedi ei feddiannu gan gythraul, a phryd arall mor ofnus ac anobeithiol a phe buasai wedi ei ddal gan y pruddglwyf, nes bod yn hollol analluog i'w lywodraethu ei hun na'i deyrnas.

Adn. 15. *A gweision Saul*] Sef prif gynghorwyr ei deyrnas, neu ynte ei feddygon, ar ol methu gwneyd dim lles iddo trwy eu celfyddyd, a deall ei ddolur, a'i cynghorent ef i geisio esmwythâd mewn ffordd arall.

Adn. 16. *Am iddynt geisio gŵr yn medru canu telyn*] Am y byddai cerddoriaeth fwyn a pheraidd yn foddion i ddofi a llareiddio ei nwydau gwylltion pan fyddai dan ddylanwad y rhai hyny; a lloni, sirioli, a chodi ei ysbrydoedd pan fyddai mewn gormod prudd-der. Y mae yn debyg fod y telynor yn cyfaddasu ei gerddoriaeth i'r ysbryd y byddai Saul ynddo, trwy chwareu yn fwynaidd a pheraidd pan fyddai ef yn wyllt, ac yn siriol a bywiog pan fyddai yn isel a phrudd. Y mae yn sicr fod cerddoriaeth yn effeithio yn rhyfedd ar feddwl ac ysbryd dyn, ac hefyd, yn ol Dr. Scheuchzer ac ereill, ar ei anhwylderau corfforol ef yr un modd. Gellir swyno nadroedd â cherddoriaeth; a dywedir y gad llew ei ymborth i wrandaw ar gerddoriaeth, fel y profwyd yn ddiweddar yn Nhŵr Llundain. Y mae yn dyb gyffredin yn mhlith yr Hindŵaid, y gall cerddoriaeth fwrw allan gythreuliaid ac ysbrydion drwg.

Adn. 17. *A dywedodd Saul, &c.*] Efe a gymeradwyodd y cynghor hwn, a gorchymynodd gyrchu ato y telynor goraf i'r dyben hwnw.

Adn. 18. *Wele, gwelais fab i Jesse y Bethlehemiad, &c.*] Y mae yn debyg mai rhyw gyfaill i Dafydd a ddywedai hyn, yr hwn a roddai iddo y cymeriad uwchaf er mwyn ei godi i sylw y brenin; a bernir ei fod ef wedi lladd y llew a'r arth, a thori pen Goliath, a thynu eiddigedd Saul, yn flaenorol i hyn: gwel Dr. Warburton. *A'r Arglwydd sydd gydag ef*—i'w ddysgu, a'i lwyddo, a'i fendithio yn mhob peth a gymero mewn llaw.

Adn. 19. *Yna yr anfonodd Saul genadau*

20 A Jesse a gymerth asyn *llwythog* o fara, a chostrelaid o win, a mỳn gafr, ac a'*u* hanfonodd gyda Dafydd ei fab at Saul.

21 A Dafydd a ddaeth at Saul, ac a safodd ger ei fron ef: yntau a'i hoffodd ef yn fawr; ac efe a aeth yn gludydd arfau iddo ef.

22 A Saul a anfonodd at Jesse, gan ddywedyd, Arhosed Dafydd, atolwg, ger fy mron i: canys efe a gafodd ffafr yn fy ngolwg.

23 A phan fyddai y *drwg* ysbryd oddiwrth Dduw ar Saul, y cymerai Dafydd delyn, ac y canai â'i ddwylaw: a byddai esmwythdra i Saul; a da *oedd hyny* iddo, a'r ysbryd drwg a giliai oddiwrtho.

## PENNOD XVII.

YNA y Philistiaid a gasglasant eu byddinoedd i ryfel, ac a ymgynullasant yn Soco, yr hon *sydd* yn Juda, ac a wersyllasant rhwng Soco ac Azecah, yn nghwr Dammim.

2 Saul hefyd a gwŷr Israel a ymgasglasant, ac a wersyllasant yn nyffryn Elah, ac a drefnasant y fyddin i ryfel yn erbyn y Philistiaid.

3 A'r Philistiaid oedd yn sefyll ar fynydd o'r naill du, ac Israel yn sefyll ar fynydd o'r tu arall: a dyffryn *oedd* rhyngddynt.

4 ¶ A daeth gŵr rhyngddynt hwy allan o wersylloedd y Philistiaid, a'i enw Goliath, o Gath: ei uchder *oedd* chwe chufydd a rhychwant,

---

*at Jesse*] Nid oedd efe yn dewis ei gymeryd heb ganiatâd ei dad, er y gallai wneuthur hyny, pen. viii. 11. *Anfon ataf fi Dafydd dy fab*—er na chrybwyllodd y llanc ei enw ef, daeth y brenin i wybod mai at Dafydd y cyfeiriai efe, naill ai oddiwrth y cymeriad a roddid iddo, neu ynte trwy holi yn fanylach. *Yr hwn sydd gyda'r praidd*—ac felly yn hawdd ei hebgor. Nid yw hyn yn cael ei ddywedyd mewn ffordd o ddirmyg, canys yr oedd y gwŷr mwyaf anrhydeddus yn bugeilio yn y dyddiau hyny.

Adn. 20. *A Jesse a gymerth asyn llwythog o fara, &c.*] Y rhai hyn oeddynt anrhegion i'r brenin, yn ol arferiad y dyddiau hyny, er mwyn dangos parch Jesse iddo, a chael gwell derbyniad i Dafydd.

Adn. 21. *A Dafydd a ddaeth at Saul*] Mewn ufydd-dod i'w alwad ef, a chyda'r anrhegion uchod oddiwrth ei dad; *ac a safodd ger ei fron ef*—i'w ddangos ei hun iddo, neu ynte i'w wasanaethu ef. *Yntau a'i hoffodd ef yn fawr*—nid yn unig fel telynor, ond hefyd fel gŵr ieuanc hardd, doeth o ymadrodd, a gweddaidd ei ymddygiad. *Ac efe a aeth yn gludydd arfau iddo ef*—dyrchafwyd ef i'r swydd anrhydeddus hon, heblaw bod yn delynor i'w fawrhydi.

Adn. 22. *Arhosed Dafydd*] Yn barhaus; canys gallwn feddwl nad oedd ef wedi ei anfon gan ei dad ond dros ychydig amser, hyd oni welläai y brenin.

Adn. 23. *A phan fyddai y drwg ysbryd*] Gwel ar adn. 14. Nid yw y gair *drwg* yn y testyn Hebreig cyffredin; ond ceir ef yn y LXX, y Vulgate, y Targum, y Syriaeg, a'r Arabaeg, ac mewn wyth o ysgriflyfrau Dr. Kennicott a De Rossi. *Oddiwrth Dduw*—'trwy ganiatâd Duw,' yn ol yr Arabaeg. *Cymerai Dafydd delyn*—chwareuai â'i fysedd ar y delyn yn beraidd a hyfryd iawn gerbron Saul; ac, yn ol Josephus, canai salmau a hymnau yn llafar â'i lais ar yr un pryd. *A byddai esmwythdra i Saul*—llonyddai ei feddwl pan fyddai yn wyllt, a siriolai ef pan fyddai yn brudd ac isel: gwel ar adn. 16. *A da oedd hyny iddo*—gael o hono ychydig esmwythdra, er na byddai ond dros fyr amser. Y mae yn debyg fod rhywbeth mwy nag effaith naturiol y delyn yn peri hyn, fod bendith Duw ar hyny: gwel ar adn. 18.

PEN. XVII. Adn. 1. *Yna y Philistiaid a gasglasant eu byddinoedd i ryfel*] Tybia Calmet i hyn ddygwydd yn mhen *wyth* mlynedd ar ol eneinio Dafydd, a *deg* neu *ddeuddeg* ar ol y rhyfel â'r Amaleciaid, pen. xv. Y mae yn debyg i'r Philistiaid glywed fod Samuel wedi gadael Saul, a bod Saul ei hun yn anaddas at un gorchwyl. *Ac a ymgynullasant yn Soco*—dinas oddeutu wyth milldir o du y gorllewin i Jerusalem.

Adn. 2. *Saul hefyd a gwŷr Israel a ymgasglasant*] Y mae yn debyg fod Saul yn ei bwyll yn awr, trwy i beroriaeth Dafydd neu fygythiad y Philistiaid ei ddwyn ef ato ei hun; er y meddylia rhai mai yn ganlynol i'r rhyfel hon y galwyd am Dafydd at Saul gyntaf: *ac a wersyllasant yn nyffryn Elah*—yn agos i Soco, lle yr oedd y Philistiaid.

Adn. 3. *A dyffryn oedd rhyngddynt*] Sef dyffryn Elah.

Adn. 4. *A daeth gŵr rhyngddynt*] I'r dyffryn rhwng y ddwy fyddin; neu rhyngddynt fel *canolwr* i derfynu y rhyfel, trwy gynyg ymladd ei hunan âg un o honynt: gwel ar adn. 8. Y mae y geiriau *ish habbenayim*, 'gŵr rhyngddynt,' yn cael ei ddeall yn amrywiol yn y gwahanol gyfieithiadau: *Saes.*, 'rhyswr' neu 'brif ymladdwr;' *Arabaeg*, 'cawr;' *Vulgate*, 'bastardd;' y LXX, 'gŵr grymus.' *A'i enw Goliath*—un o gawri yr Anaciaid, y rhai a ymnoddasant yn Gath yn amser Josua, Jos. xi. 22. *Ei uchder oedd chwe chufydd a rhychwant*—yr oedd tri math ar *gufydd* gan yr henafiaid, sef 18, 20½, a 21 o fodfeddi, a'r *rhychwant* ydoedd hanner cufydd. Os cymerwn y cufydd *lleiaf* yma, yr oedd uchder y cawr hwn yn naw troedfedd a naw modfedd; neu os cymerwn y *mwyaf*, yr oedd ei uchder yn un droedfedd ar ddeg a phedair modfedd a hanner. Nid yw hyn yn hynod; canys heblaw y cawri a grybwyllir yn yr ysgrythyrau, sonia Herodotus, Diodorus Siculus, a Pliny, am ddynion *saith gufydd* o uchder: gwel ar Num. xiii. 33.

5 A helm o bres ar ei ben, a llurig emog a wisgai: a phwys y llurig *oedd* bum mil o siclau pres.

6 A botasau pres *oedd* am ei draed ef, a tharian bres rhwng ei ysgwyddau.

7 A phaladr ei waewffon ef *oedd* fel carfan gwehydd; a blaen ei waewffon ef *oedd* chwe chan sicl o haiarn: ac un yn dwyn tarian oedd yn myned o'i flaen ef.

8 Ac efe a safodd, ac a waeddodd ar fyddinoedd Israel, ac a ddywedodd wrthynt, I ba beth y deuwch i drefnu *eich* byddinoedd? Onid *ydwyf* fi Philistiad, a chwithau yn weision i Saul? dewiswch i chwi ŵr, i ddyfod i waered ataf fi.

9 Os gall efe ymladd â mi, a'm lladd i; yna y byddwn ni yn weision i chwi: ond os myfi a'i gorchfygaf ef, ac a'i lladdaf ef; yna y byddwch chwi yn weision i ni, ac y gwasanaethwch ni.

10 A'r Philistiad a ddywedodd, Myfi a waradwyddais fyddinoedd Israel y dydd hwn: moeswch ataf fi ŵr, fel yr ymladdom yn nghyd.

11 Pan glybu Saul a holl Israel y geiriau hyny *gan* y Philistiad, yna y digalonasant, ac yr ofnasant yn ddirfawr.

---

Adn. 5. *A helm o bres ar ei ben*] Neu gap pres, i'w ddiogelu rhag cleddyf a saeth y gelyn; *a llurig emog a wisgai*—sef arwisg neu hugan, wedi ei gwneyd o lafnau pres, y rhai a osodid dros eu gilydd fel llechau tô neu gèn pysgodyn. Yr oedd y rhai hyn mor agos at eu gilydd fel nad allai saeth dreiddio rhyngddynt, ac eto yr oedd yr holl wisg mor ystwyth a rhydd fel nad oedd yn ddim rhwystr i ysgogiadau y corff. Gellir gweled rhai tebyg iddi yn Nhŵr Llundain. *A phwys y llurig oedd bum mil o siclau pres*—yn cyfateb, yn ol Esgob Cumberland, i 156 o bwysau a 4 wns, yr hyn nid oedd yn rhy drwm i gawr.

Adn. 6. *A botasau pres oedd am ei draed*] Sef am ei forddwydydd a'i goesau, yn cyraedd oddiwrth y llurig at ei draed; *a tharian bres rhwng ei ysgwyddau*—Heb. *kidon*, yr hwn a gyfieithir yn amrywiol. Tybia rhai mai *gorchudd* dros yr ysgwyddau ydoedd; ereill, mai math ar *bicell;* ereill, mai *ffon;* ac ereill, mai *cleddyf.* Ymddengys ei fod yn wahanol i'r darian yn adn. 41; a chyfieithir ef yn *waewffon* yn Jos. viii. 18.

Adn. 7. *A phaladr ei waewffon ef oedd fel carfan gwehydd*] O ran praffder, sef y garfan oddeutu pa un y troir yr ystof neu y brethyn; *a blaen ei waewffon oedd chwe chan sicl o haiarn*—neu oddeutu 18 pwys a 12 wns. *Ac un yn dwyn tarian oedd yn myned o'i flaen ef*—nid yn gymaint er amddiffyniad ag er anrhydedd a rhwysg, canys gellir meddwl fod ei lurig yn ddigon o ddiogelwch iddo. Yr oedd rhai hen darianau yn cynwys *picell* lem yn eu canol, fel ag i'w gwneyd yn arfau ymosodol yn gystal ag amddiffynol; ac y mae y gair a gyfieithir yma yn *darian* yn arwyddo rhywbeth o'r fath. A chymeryd pwysau y rhanau hyny o'r arfogaeth na nodir, mewn cyfartalwch i'r rhai a nodir, rhaid fod holl arfogaeth Goliath o leiaf oddeutu 273 o bwysau!

Adn. 8. *Ac efe a safodd*] Ond odid yn nghanol y dyffryn rhwng y ddwy fyddin; *ac a waeddodd ar fyddinoedd Israel*—y rhai, o herwydd cryfder ei lais, a allent ei glywed ef yn rhwydd o bob cŵr. *I ba beth y deuwch i drefnu eich byddinoedd*—yn erbyn rhai cryfach na chwi? Neu gall mai yr ystyr yw, nad oedd dim achos iddynt drefnu BYDDINOEDD, pan y gellid penderfynu y mater rhwng DAU. *Onid ydwyf fi Philistiad*—yn cynrychioli ein byddin ni; *a chwithau yn weision i Saul*—yn cynrychioli ei fyddin yntau? *Dewiswch i chwi ŵr*—fel y byddo i'r frwydr gael ei phenderfynu genym ni ill dau, heb i'r byddinoedd fyned allan yn erbyn eu gilydd: gwel ar adn. 4. Y mae y *Targum* yn chwanegu yr hyn a ganlyn at yr araeth hon: 'Myfi yw Goliath y Philistiad o Gath, yr hwn a leddais ddau fab Eli, Hophni a Phinees, yr offeiriaid; ac a gaethgludais arch cyfammod Jehofa, gan ei gosod yn nheml Dagon fy nuw i; a hi a arhosodd yn ninasoedd y Philistiaid saith mis. Hefyd, yn ein holl ryfeloedd, yr oeddwn i wrth ben y fyddin; a gorchfygasom a thorasom ddynion i lawr, gan eu gosod mor isel a llwch y ddaear; ac hyd heddyw ni chaniataodd y Philistiaid i mi yr anrhydedd o fod yn ben ar fil o wŷr. A chwithau, wŷr Israel, pa ryw orchest wrol a wnaeth Saul mab Cis, o Gibeah, pan y gwnaethoch ef yn frenin arnoch chwi? Os yw efe yn wron, deued i waered ei hunan, ac ymladded â mi; ond os yw efe yn ddyn gwan a llwfr, yna dewiswch i chwi ŵr i ddyfod i waered ataf fi.'

Adn. 9. *Yna y byddwn ni yn weision i chwi*] Caiff y fuddugoliaeth o'i du ef, neu o'm tu i, effeithio ar yr holl genedl fel pe buasai y byddinoedd wedi cyd-daraw. Ond nid ymddengys fod gan Goliath awdurdod i ddywedyd hyn; canys pan laddwyd ef, ni roddodd y Philistiaid eu hunain i fyny i fod yn weision i Israel.

Adn. 10. *Myfi a waradwyddais*] Neu, *yr wyf* yn eu gwaradwyddo, trwy herio y dyn goraf yn eu plith i ddyfod i ymladd â mi.

Adn. 11. *Pan glybu Saul a holl Israel y geiriau hyny*] Canys yr oedd yn hawdd i holl wersyll Israel glywed a deall geiriau Goliath, trwy ei fod yn gwaeddi mor groch, a bod ei lais mor gryf; *yna y digalonasant ac yr ofnasant yn ddirfawr*—yr oedd hyn yn rhyfedd, trwy fod cynifer o wŷr grymus a gwrol yn y fyddin, y rhai a wnaethent y fath wrolwaith cyn hyn ar y Philistiaid, yr Amaleciaid, a'r Ammoniaid: ond yr oedd Duw yn awr wedi cilio oddiwrth Saul, ac oddiwrth Israel o'i achos ef, ac yn eu gollwng hwy oll i'r digalondid a'r ofnau hyn, fel y byddai iddo ef allu dwyn Dafydd i'r amlwg ac i hynodrwydd trwy yr amgylchiad hwn.—Y mae adn. 12—31 yn eisiau yn y LXX; megys hefyd adn. 41; ac

12 ¶ A'r Dafydd hwn *oedd* fab i
Ephratëwr o Bethlehem Juda, a'i
enw Jesse; ac iddo ef *yr oedd* wyth o
feibion: a'r gŵr yn nyddiau Saul a âi
yn henafgwr yn mysg gwŷr.
13 A thri mab hynaf Jesse a aeth-
ant ac a ddylynasant ar ol Saul i'r
rhyfel: *ac* enw ei dri mab ef, y rhai a
aethant i'r rhyfel, *oedd* Eliab y cyntaf-
anedig, ac Abinadab yr ail, a Sammah
y trydydd.
14 A Dafydd *oedd* ieuangaf: a'r tri
hynaf a aeth ar ol Saul.
15 Dafydd hefyd a aeth, ac a ddy-
chwelodd oddiwrth Saul, i fugeilio
defaid ei dad yn Bethlehem.
16 A'r Philistiad a nesaodd fore a
hwyr, ac a ymddanghosodd ddeugain
niwrnod.
17 A dywedodd Jesse wrth Dafydd
ei fab, Cymer yn awr i'th frodyr epha
o'r cras-*ŷd* hwn, a'r deg torth hyn, ac
ar redeg dwg *hwynt* i'r gwersyll at dy
frodyr.
18 Dwg hefyd y deg cosyn îr hyn i
dywysog y mil, ac ymwêl â'th frodyr
a ydynt hwy yn iach, a gollwng *yn
rhydd* eu gwystl hwynt.
19 Yna Saul, a hwythau, a holl
wŷr Israel, *oeddynt* yn nyffryn Elah,
yn ymladd â'r Philistiaid.
20 ¶ A Dafydd a gyfododd yn fore,

---

o adn. 54 hyd ddiwedd y bennod; yn nghyd a'r pum adnod gyntaf o pen. xviii, ac adn. 9, 10, 11, 17, 18, 19, o'r unrhyw. Ceir yr holl adnodau hyn yn y *Codex Alexandrinus;* ond ymddengys nad oeddynt yn yr ysgriflyfrau o'r rhai yr ysgrifenwyd y *Codex Alexandrinus.* Danghosodd Dr. Kennicott fod yn bur debygol nad oedd yr adnodau hyn yn perthyn yn wreiddiol i'r testyn. Er maint a wnaeth yr Esgob Warburton ac ereill i egluro amserydd-iaeth y testyn Hebreig argraffedig presenol, ebai Clarke, y mae yn annichonadwy gwneuthur synwyr eglur a chyson o'r hanes, heb osod yr adnodau hyn o'r neilldu. Boed i unrhyw un ddarllen adn. 11 mewn cysylltiad âg adn. 32, gadael allan adn. 41, a chysylltu adn. 54 gydag adn. 6 o pen. xviii, ac efe a lwyr argyhoeddir nad oes dim yn eisiau i wneyd y synwyr yn llawn. Gwel *Boothroyd, Pilkington,* a *Kennicott,* y rhai a dybiant mai chwanegiad o eiddo rhyw adysgrifenydd rabbinaidd yw yr adnodau hyn, wedi eu rhoddi i mewn yn y testyn Hebreig yn dra bore.

Adn. 12. *A'r Dafydd hwn oedd fab i Ephratëwr*] Canys gelwid Bethlehem yn *Ephrath* ac *Ephrata,* Gen. xlviii. 7, Mica v. 2; *ac iddo ef yr oedd wyth o feibion*—ni chrybwyllir ond *saith* yn 1 Cron. ii. 13—15, trwy nad oedd yr wythfed yn fyw pan ysgrifenwyd y gofrestr yno, neu am mai plentyn mabwysiadol ydoedd: gwel ar pen. xvi. 10. *Henafgwr*—ac felly yn rhy hen i fyned allan i'r rhyfel ei hun.

Adn. 13. *A thri mab hynaf Jesse a aethant*] I'r rhyfel, i amddiffyn eu brenin a'u gwlad yn erbyn y Philistiaid.

Adn. 14. *A Dafydd oedd ieuangaf*] Ac eto a ddaeth yn enwocaf o'r teulu o ran defnyddioldeb ac urddas.

Adn. 15. *Dafydd—a ddychwelodd oddi wrth Saul*] Trwy fod Saul yn awr yn well o lawer, nid oedd eisiau Dafydd mwyach i chwareu y delyn iddo. Ond os tybiwn, gyda rhai, mai ar ol y frwydr hon â Goliath y galwyd Dafydd gyntaf i'r llys fel telynor, rhaid mai ar ryw ddyben arall yr oedd Dafydd gyda Saul yn y llys y pryd hyn. *I fugeilio defaid ei dad*—mor ddifalch a phe na buasai wedi bod yn llys y brenin erioed.

Adn. 16. *A'r Philistiad a nesaodd fore a hwyr*] Deuai i'r dyffryn ddwywaith yn y dydd, a hyny, meddai yr Iuddewon, pan yr oeddynt yn darllen eu *Shema,* i'w haflonyddu yn eu gweddiau boreol a hwyrol. *Ac a ymddanghosodd ddeugain niwrnod*—gan eu herio bob dydd i ddanfon gŵr i ymladd âg ef, a'u gwaradwyddo yn watwarus am na wnaent hyny.

Adn. 17. *Cymer yn awr i'th frodyr*] Canys efe a dybiai y gallai eu hymborth erbyn hyn fod wedi prinhau. *Epha*—deg omer, neu ddigon o ymborth i'r tri brawd am oddeutu pedwar diwrnod; *o'r cras-ŷd*—yr hwn a ystyrir yn fwyd blasus iawn hyd heddyw gan yr Arabiaid, Ruth ii. 14; *a'r deg torth*—neu deisenau o fara; *ac ar redeg dwg hwynt i'r gwersyll*—yr hwn oedd oddeutu 7 milldir o Bethlehem. Diamau fod gwas gydag ef i'w gynorthwyo i gario ei faich.

Adn. 18. *Dwg hefyd y deg cosyn îr hyn*] Yn y dwyrain ni wneir yr hyn a alwn ni yn *gaws:* nid ydynt yn gwasgu nemawr arno, ac y maent yn ei gario mewn basgedi brwyn. Rhyw fath ar laeth ceuledig ydyw, wedi ei halltu yn uchel. *I dywysog y mil*—yn anrheg iddo ef, er ennill ei ewyllys da i feibion Jesse. Tybia rhai mai Jonathan oedd y milwriad hwn. *Ac ymwêl â'th frodyr*—i edrych a ydynt hwy yn iach, llawen, a diogel. *A gollwng yn rhydd eu gwystl hwynt*—tybir nad oedd y milwyr oll y pryd hyny yn cael eu cynal gan y llywodraeth, eithr ar eu traul eu hunain a'u teuluoedd; ac y gallent hwy fod wedi gwystlo rhywbeth o'u heiddo i brynu bwyd; a bod Dafydd i ryddhau y peth hwnw, trwy dalu yr arian a gawsent hwy am dano. Ond '*cymer* eu gwystl,' yw y Saesonaeg; a thybia *Scott* mai rhywbeth yn arwydd o'u hiechyd hwynt ydoedd, yn ol eu cytundeb blaenorol â'u tad; tra y barna *Benson* mai rhyw arwydd ydoedd oddiwrthynt hwy fod Dafydd wedi eu *gweled* hwy, a'i gael ganddynt hwy eu hunain. Yr oedd gan Jesse dri neu bedwar o feibion gartref ag oeddynt yn hŷn na Dafydd; eto rhoddes Duw yn ei feddwl ef i anfon yr ieuangaf, am fod ganddo ef waith i Dafydd ei gyflawni yn y gwersyll, yr hwn ni wyddai Jesse ddim am dano.

Adn. 19. *Yn ymladd â'r Philistiaid*] Neu wedi ymfyddino yn barod i ymladd, fel yr adroddir yn yr adnodau nesaf.

Adn. 20. *Ac yn bloeddio i'r frwydr*] Yr

ac a adawodd y defaid gyda cheidwad, ac a gymerth, ac a aeth, megys y gorchymynasai Jesse iddo ef; ac efe a ddaeth i'r gwersyll, a'r llu yn myned allan i'r gâd, ac yn bloeddio i'r frwydr.

21 Canys Israel a'r Philistiaid a ymfyddinasent, fyddin yn erbyn byddin.

22 A Dafydd a adawodd y mud oddi wrtho dan law ceidwad y dodrefn, ac a redodd i'r llu, ac a ddaeth, ac a gyfarchodd well i'w frodyr.

23 A thra yr oedd efe yn ymddyddan â hwynt, wele y gŵr (*oedd yn sefyll* rhwng y ddeulu) yn dyfod i fyny o fyddinoedd y Philistiaid (Goliath y Philistiad o Gath *wrth* ei enw) ac efe a ddywedodd yr un fath eiriau, fel y clybu Dafydd.

24 A holl wŷr Israel, pan welsant y gŵr hwnw, a ffoisant rhagddo ef, ac a ofnasant yn ddirfawr.

25 A dywedodd gwŷr Israel, Oni welsoch chwi y gŵr hwn a ddaeth i fyny? diau i waradwyddo Israel y mae yn dyfod i fyny: a'r gŵr a'i lladdo ef, y brenin a gyfoethoga hwnw â chyfoeth mawr; ei ferch hefyd a rydd efe iddo ef; a thŷ ei dad ef a wna efe yn rhydd yn Israel.

26 A Dafydd a lefarodd wrth y gwŷr oedd yn sefyll yn ei ymyl, gan ddywedyd, Beth a wneir i'r gŵr a laddo y Philistiad hwn, ac a dyno ymaith y gwaradwydd oddiar Israel? canys pwy *yw* y Philistiad dienwaededig hwn, pan waradwyddai efe fyddinoedd y Duw byw?

27 A'r bobl a ddywedodd wrtho ef fel hyn, gan ddywedyd, Felly y gwneir i'r gŵr a'i lladdo ef.

28 ¶ Ac Eliab, ei frawd hynaf, a'i clybu pan oedd efe yn ymddyddan â'r gwŷr: a digter Eliab a enynodd yn erbyn Dafydd; ac efe a ddywedodd, Paham y daethost i waered yma? a chyda phwy y gadewaist yr ychydig ddefaid hyny yn yr anialwch? Myfi

---

hyn oedd arferiad cyffredin wrth fyned allan i ryfel, i wroli ysbrydoedd y milwyr, ac i daro dychryn ar eu gelynion. Bloeddient ac ysgrechient yn y modd mwyaf arswydus, a churent eu cleddyfau yn erbyn eu tarianau, i wneuthur y trwst mwyaf.

Adn. 21. *Canys Israel a'r Philistiaid*] Yr oedd y ddwy fyddin wedi ymbarotoi i'r frwydr, ac wedi cael eu gosod yn rhesi parod i ymladd.

Adn. 22. *A Dafydd a adawodd y mud*] Sef y cras-ŷd, y torthau, a'r caws, dan ofal ceidwad yr offer rhyfel o'r neilldu; *ac a redodd i'r llu*—i chwilio am ei frodyr a'r milwriad.

Adn. 23. *Wele y gŵr oedd yn sefyll rhwng y ddeulu*] Saes. 'y rhyswr' neu 'y campwr:' gwel ar adn. 4, 16; *yn dyfod i fyny o fyddinoedd y Philistiaid*—er fod y ddwy fyddin yn barod i daraw, eto y fath oedd balchder a hunanoldeb Goliath, fel ag yr ewyllysiai efe unwaith yn chwaneg, ond odid ar fore y deugeinfed dydd, adn. 16, i'r mater gael ei benderfynu rhwng dau; ac am hyny efe a heriai holl lu Israel i ddwyn allan ŵr i ymladd âg ef. *Ac efe a ddywedodd yr un fath eiriau*—gan herio a gwaradwyddo byddinoedd Israel yn nghlyw Dafydd, fel y gwnaethai bob dydd am ddeugain niwrnod, adn. 8—10, 16.

Adn. 24. *A ffoisant rhagddo ef*] Felly, trwy fod byddin luosog yn ofni un dyn, rhaid eu bod wedi eu rhoddi i fyny gan Dduw, a'u 'gwerthu gan eu Craig,' Deut. xxxii. 30. Ond trwy eu bod yn ddigon gwrol i wynebu ar holl fyddin y Philistiaid, pan y gwyddent fod Goliath yn eu mysg hwynt, dichon nad perygl personol a ofnent, eithr ei gableddau ef, y rhai ni allent oddef eu clywed.

Adn. 25. *A dywedodd gwŷr Israel*] Ond odid wrth Dafydd a'i lanc, y rhai nad oeddynt wedi gweled Goliath o'r blaen. *Ei ferch hefyd a rydd efe iddo*—yn wraig, fel yr addawsai Caleb i'r neb a darawai ac a ennillai Ciriath-sepher, Jos. xv. 16. *A thŷ ei dad ef a wna efe yn rhydd*—oddiwrth bob teyrnged a threth a ofynid gan y llywodraeth: a dichon fod hyn yn cynwys dyrchafiad i radd ac urdd pendefigion yn Israel.

Adn. 26. *Canys pwy yw y Philistiad dienwaededig hwn*] Yr oedd dau beth yn cynhyrfu Dafydd i'r anturiaeth bresenol, (1) Mai Philistiad dienwaededig ac annuwiol oedd y dyn; ac, (2) Ei fod yn gwaradwyddo Israel, byddinoedd y Duw byw. Yr oedd hyn yr un peth a gwaradwyddo JEHOFA ei hun, fel pe na buasai yr Hollalluog ddim cryfach na'r cawr hwn! Nis gallai Dafydd oddef hyn gan bagan halogedig o fath Goliath.

Adn. 27. *A'r bobl a ddywedodd wrtho*] A adroddasant drachefn yr hyn a fynegasid adn. 25.

Adn. 28. *A digter Eliab a enynodd yn erbyn Dafydd*] Tybia rhai mai *cariad* Eliab at Dafydd, a'i ofal am dano, a barodd iddo lefaru fel hyn, am y tybiai mai ei ladd a gai yn fuan gan Goliath; ond dywedir yma mai *digter* Eliab a enynodd. Efe a wyddai fod Samuel wedi eneinio Dafydd, ac fe allai fod ei genfigen o herwydd hyny yn ei gynhyrfu yn awr. Hefyd yr oedd gwroldeb Dafydd, y brawd ieuangaf, yn warth i lwfrdra Eliab, y brawd hynaf, yr hwn nis gallai oddef i'w frawd bach anturio ar orchwyl a ofnid ganddo ef ei hun. *Paham y daethost i waered yma?*—diamau ei fod ef wedi mynegu ei neges cyn hyn; ond yr oedd ei nwydau yn peri iddo annghofio fod Dafydd wedi dyfod yno mewn ufydd-dod i orchymyn ei dad, ac o serch at ei frodyr. *A chyda phwy y gadewaist yr ychydig ddefaid hyny yn yr anialwch?*—fel hyn efe a awgrymai fod Dafydd yn addasach i fugeilio defaid nag i ymladd â chawr; ac mai ei awydd

a adwaen dy falchder di, a drygioni
dy galon: canys i weled y rhyfel y
daethost ti i waered.
29 A dywedodd Dafydd, Beth a
wnaethym i yn awr? Onid *oes* achos?
30 ¶ Ac efe a droes oddiwrtho ef
at un arall, ac a ddywedodd yr un
modd: a'r bobl a'i hatebasant ef air
yn ngair *fel* o'r blaen.
31 A phan glybuwyd y geiriau a
lefarodd Dafydd, yna y mynegwyd
*hwynt* gerbron Saul: ac efe a anfon-
odd am dano ef.
32 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth
Saul, Na lwfrhäed calon neb o'i her-
wydd ef: dy was di a â ac a ymladd
â'r Philistiad hwn.
33 A dywedodd Saul wrth Dafydd,
Ni elli di fyned yn erbyn y Philistiad
hwn, i ymladd âg ef: canys llanc *yd-
wyt* ti, ac yntau sydd yn rhyfelwr o'i
febyd.
34 A Dafydd a ddywedodd wrth
Saul, Bugail oedd dy was di ar ddef-
aid ei dad; a daeth llew ac arth, ac a
gymerasant oen o'r praidd.
35 A mi a aethym ar ei ol ef, ac a'i
tarewais ef, ac a'*i* hachubais o'i safn
ef: a phan gyfododd efe i'm herbyn i,
mi a ymaflais yn ei farf ef, ac a'i tar-
ewais, ac a'i lleddais ef.
36 Felly dy was di a laddodd y llew,
a'r arth: a'r Philistiad dienwaededig
hwn fydd megys un o honynt, gan
iddo anmherchu byddinoedd y Duw
byw.
37 Dywedodd Dafydd hefyd, Yr Ar-
glwydd, yr hwn a'm hachubodd i o
grafanc y llew, ac o balf yr arth, efe
a'm hachub i o law y Philistiad hwn.

---

am fawredd a dyrchafiad a barodd iddo ddyfod oddiwrth ei orchwyl yn y maes, gan adael y defaid ond odid heb geidwad iddynt. Nid oedd Dafydd yn dysgwyl y driniaeth yma gan ei frawd, yr hon a dueddai yn fawr i'w ddigaloni ef, ac i beri i ereill ei ddiystyru.

Adn. 29. *A dywedodd Dafydd*] Yn addfwyn ac arafaidd wrth ei frawd llidiog; *Beth a wnaethym i yn awr*—i enyn dy ddigter, ac i beri i ti ddywedyd geiriau mor gas a phigog? *Onid oes achos*—i mi ddyfod i'r gwersyll ar orchymyn fy nhad, a dangos fy anfoddlonrwydd i waradwyddiadau y Philistiad? A ydyw y cawr hwn yn anorchfygadwy? ai ni all ein Duw ni ei ddarostwng ef? Modd bynag ni chymerodd Dafydd ei ddigaloni gan eiriau pigog ei frawd.

Adn. 30. *Ac efe a droes oddiwrtho ef*] Sef oddiwrth ei frawd Eliab, *at un arall*—o'r milwyr ag ydoedd gerllaw. Trwy fod Dafydd yn cael ei gynhyrfu yn ddirgelaidd gan Ysbryd Duw i ymladd â Goliath, efe a soniai am y peth wrth wahanol bersonau, fel y cyrhaeddai i glustiau y brenin; canys yr oedd ef yn rhy ŵylaidd i fyned ato ei hunan. *Fel o'r blaen*—gwel adn. 25.

Adn. 31. *A phan glybuwyd y geiriau a lefarodd Dafydd*] Ei ddirmyg o'r cawr, a'i eiddigedd dros Israel a'u Duw, a'i fwriad i ymladd â Goliath, adn. 26; *anfonodd am dano ef*—i babell Saul, i gael ymddyddan âg ef ar y mater.

Adn. 32. *A Dafydd a ddywedodd wrth Saul*] Y mae yr adnod hon yn dyfod i mewn yn naturiol ar ol adn. 11, lle y dywedir i holl Israel ddigaloni ac ofni yn ddirfawr rhag Goliath: gwel ar adn. 12. *Na lwfrhäed calon neb o'i herwydd ef*—er ei fod yn gawr nerthol. *Dy was di a â*—er nad yw ond bugail ieuanc a dibrofiad; *ac a ymladd â'r Philistiad hwn*—gan ymddiried yn nerth Duw byddinoedd Israel, yr hwn y mae efe yn ei gablu.

Adn. 33. *Ni elli di fyned*] Tybiai Saul nad oedd gan Dafydd ddigon o rym corfforol na gwybodaeth filwraidd i ymladd â chawr o fath Goliath, yr hwn oedd yn rhyfelwr o'i febyd; *canys llanc ydwyt ti*—egwan, tyner, a dibrofiad, heb fod uwchlaw ugain mlwydd oed. Bernir yn gyffredin ei fod ar draws 20, er y tybia rhai nad oedd uwchlaw 14.

Adn. 34. *Bugail oedd dy was di ar ddefaid ei dad*] Nid oedd arno gywilydd dywedyd mai bugail ydoedd, yn enwedig gan y cai trwy hyny achlysur i ddywedyd am ei ddewrder a'i lwyddiant mewn ymladd. *A daeth llew ac arth*—nid yn nghyd, ond ar ddau dro gwahanol, ac a gymerasant bob un oen.

Adn. 35. *A mi a aethym ar ei ol ef*] Efe a adrodda yn gyntaf y modd y dygwyddodd gyda'r llew; *ac a'i tarewais ef*—sef y llew, â'r bidawg neu y cleddyf ag oedd ganddo er diogelwch rhag bwystfilod; *ac a'i hachubais*—achubodd yr oen o safn y llew trwy yr ergyd a roisai ar ei ben ef. *A phan gyfododd efe i'm herbyn i*—wedi ymgynddeiriogi o herwydd y briw, ac o achos colli ei ysglyfaeth; *mi a ymaflais yn ei farf ef*—âg un law, *ac a'i tarewais*—yn farw â'r llaw arall, a hyny cyn iddo allu fy niweidio â'i ddanedd na'i grafangau.

Adn. 36. *Felly dy was di a laddodd y llew*] Un tro, *a'r arth*—dro arall, mewn modd cyffelyb. *A'r Philistiad dienwaededig hwn fydd megys un o honynt*—gorchfygir a lleddir yntau fel y gwnaed â'r llew a'r arth. Yr oedd Dafydd, trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, yn edrych ar ei fuddugoliaeth ar y llew naturiol fel arwydd ac ernes o'i fuddugoliaeth ar y llew dynol hwn. *Gan iddo anmherchu byddinoedd y Duw byw*—ac felly anmherchu JEHOFA ei hun, 'eiddo yr hwn yw y rhyfel,' adn. 47. Fel pe dywedasai, Nid oedd y llew a'r arth ond gelynion i mi a'm defaid; ond y mae y Philistiad hwn yn elyn i Dduw a'i bobl; ac er anrhydedd iddynt hwy yr wyf fi yn myned allan i'w erbyn.

Adn. 37. *Yr hwn a'm hachubodd i o grafanc y llew*] I Dduw yr oedd efe yn priodoli ei waredigaeth oddiwrth y llew a'r arth; ac yn Nuw yn unig yr oedd yn ymddiried am waredigaeth a buddugoliaeth yn yr achos hwn hefyd. *Dos*—anturia i ymladd â Goliath;

A dywedodd Saul wrth Dafydd, Dos,
a'r Arglwydd fyddo gyda thi.
38 ¶ A Saul a wisgodd Ddafydd a'i
arfau ei hun, ac a roddodd helm o bres
ar ei ben ef, ac a'i gwisgodd ef *mewn*
llurig.
39 A Dafydd a wregysodd ei gledd-
yf ar ei arfau, ac a geisiodd gerdded;
am na phrofasai efe. A dywedodd
Dafydd wrth Saul, Ni allaf gerdded
yn y rhai hyn: canys ni phrofais i. A
Dafydd a'u dyosgodd oddiam dano.
40 Ac efe a gymerth ei ffon yn ei
law, ac a ddewisodd iddo bump o ger-
ig llyfnion o'r afon, ac a'u gosododd
hwynt yn nghôd y bugeiliaid yr hon
*oedd* ganddo, sef yn yr ysgrepan; a'i
ffon dafl *oedd* yn ei law: ac efe a nes-
aodd at y Philistiad.
41 A'r Philistiad a gerddodd, gan
fyned a nesâu at Dafydd; a'r gŵr
*oedd* yn dwyn y darian o'i flaen ef.
42 A phan edrychodd y Philistiad o
amgylch, a chanfod Dafydd, efe a'i di-
ystyrodd ef: canys llanc oedd efe, a
gwridgoch, a thêg yr olwg.
43 A'r Philistiad a ddywedodd wrth
Dafydd, Ai ci *ydwyf* fi, gan dy fod yn
dyfod ataf fi â ffyn? A'r Philistiad a
regodd Ddafydd trwy ei dduwiau ef.
44 Y Philistiad hefyd a ddywedodd
wrth Dafydd, Tyred ataf fi, a rhoddaf
dy gnawd i ehediaid y nefoedd, ac i
anifeiliaid y maes.
45 Yna y dywedodd Dafydd wrth y
Philistiad, Ti ydwyt yn dyfod ataf fi
â chleddyf, ac â gwaewffon, ac â thar-
ian; a minau ydwyf yn dyfod atat ti yn
enw Arglwydd y lluoedd, Duw bydd-
inoedd Israel, yr hwn a geblaist ti.

---

*a'r Arglwydd fyddo gyda thi*—i'th amddiffyn a'th gynorthwyo, ac i roddi i ti fuddugoliaeth.

Adn. 38. *A Saul a wisgodd Ddafydd a'i arfau ei hun*] Y mae yn naturiol meddwl mai yr arfogaeth a wisgai Saul ei hun a olygir yma; ond trwy fod Saul yn uwch o'i ysgwyddau na'r holl bobl, y mae yn debyg nad oedd yr arfogaeth hòno yn gymesur i Dafydd; a gellir meddwl hefyd nad ymadawai Saul â hòno ar faes y rhyfel: felly dichon mai at ryw arfogaeth arall ag ydoedd gan y brenin i'w gwisgo am y neb a anturiai i ymladd â Goliath, y cyfeirir yma. *Helm o bres*—gyffelyb o ran gwneuthuriad a defnydd i'r hon oedd am ben Goliath, ond nid mor fawr. *Llurig*—gwel ar adn. 5.

Adn. 39. *A Dafydd a wregysodd ei gleddyf*] Ar ol gwisgo yr arfogaeth uchod, rhoddodd gleddyf i grogi ar ei glun wrth wregys ag ydoedd am ei ganol; *ac a geisiodd gerdded*—a aeth trwy ei brawf cyntaf erioed, i weled a allai efe gerdded neu beidio. A buan y canfu nad allai efe gerdded, llai o lawer ymladd, yn yr arfogaeth drom ac anhylaw hon, trwy nad oedd wedi ymarferyd; ac felly dyosgodd oddi am dano ei gleddyf, ei lurig, ei helm, a'r botasau pres, a pha beth bynag arall a wnai i fyny yr arfogaeth dan sylw.

Adn. 40. *Ac efe a gymerth ei ffon*] Sef ei fugeilffon, â'r hon yr arferai fugeilio defaid ei dad, a'r hon a ddefnyddid ganddo hefyd fel ffon dafl; er y gellir meddwl, oddiwrth adn. 43, fod ganddo ef ddwy ffon. *Ac a ddewisodd iddo bump o gerig llyfnion o'r afon*—fel y byddai iddynt nid yn unig ymadael yn rhwyddach oddiar y dafl-ffon, ond hefyd gerdded yn fwy union a chyflym drwy yr awyr, heb gael eu hattal na'u gŵyro gan eu cornelau geirwon. *Ac a'u gosododd hwynt yn nghôd y bugeiliaid*—sef yr ysgrepan yn yr hon y cariai ei ymborth pan yn gwylio defaid ei dad. Dewisai fyned fel bugail gwladaidd i wyneb ei elyn, yn hytrach nag fel milwr arfog, fel y byddai i'r Arglwydd gael yr holl ogoniant oddiwrth y fuddugoliaeth.

Adn. 41. *A'r Philistiad a gerddodd*] Yn araf a thrwm o herwydd pwys ei arfogaeth, ar ol cael arwydd oddiwrth Israel fod ei hèr wedi ei derbyn; *a'r gŵr oedd yn dwyn y darian o'i flaen*—gwel ar adn. 7.

Adn. 42. *A phan edrychodd y Philistiad o amgylch*] Gan ddysgwyl gweled ei wrthwynebwr yn gawr o ddyn fel efe ei hunan; *a chanfod Dafydd*—nad oedd ond bachgenyn tyner a thêg yr olwg, o ymddanghosiad merchedaidd, heb ddim yn gadarn a milwraidd yn ei wedd na'i wisg; *efe a'i diystyrodd ef*—gan ofni y byddai i ddistadledd ac eiddilwch ei wrthwynebydd leihau gogoniant ei fuddugoliaeth arno ef.

Adn. 43. *Ai ci ydwyf fi*] I'w guro ymaith neu ei ladd â ffyn. Canfyddai Goliath oddi wrth ei ysgrepan a'i ffon mai bugail oedd Dafydd, yr hwn a arferai geryddu ei gi â'i fugeilffon; ac yr oedd yn ddirmyg mawr yn ei olwg fod Dafydd yn dyfod i'w erbyn ef â ffon, fel pe na buasai ddim amgen na chi bugail. *A'r Philistiad a régodd Ddafydd drwy ei dduwiau*—gan ddymuno i Dagon, Astaroth, a'r lleill o'i dduwiau, ei ddyrysu a'i ddyfetha. Arferai y Rhufeiniaid a'r Hindŵaid regi eu gelyn cyn taraw, gan ddywedyd, 'Boed i'r holl dduwiau a'r duwiesau dy ddinystrio di!' Ond er i Goliath regi Dafydd trwy ei dduwiau, nid oedd ef ei hun yn ymddiried ynddynt, eithr yn ei arfogaeth a nerth ei fraich.

Adn. 44. *Tyred ataf fi*] Os beiddi; neu efe a ystyriai fod yn hawddach i Dafydd gerdded, nag iddo ef gyda'r fath lwyth o arfogaeth drom ac amrosgo. *A rhoddaf dy gnawd*—yn ddarnau maluriedig i adar ysglyfaethus a bwystfilod rheibus.

Adn. 45. *Ti ydwyt yn dyfod ataf fi â chleddyf*] Er na soniwyd o'r blaen am gleddyf yn mhlith arfau Goliath, adn. 5—7, y mae yn amlwg oddiwrth adn. 51 fod ganddo ef gleddyf, yn gystal a gwaewffon a tharian, yn y rhai yn unig yr ymddiriedai. *Minau ydwyf yn dyfod atat ti yn enw Arglwydd y lluoedd*—yr hwn sydd â'i lywodraeth yn cyraedd dros bob creadur yn y nef ac ar y ddaear, a'r

46 Y dydd hwn y dyry yr Arglwydd dydi yn fy llaw i, a mi a'th darawaf di, ac a gymeraf ymaith dy ben oddi arnat; ac a roddaf gelanedd gwersyll y Philistiaid y dydd hwn i ehediaid y nefoedd, ac i fwystfilod y ddaear; fel y gwypo yr holl ddaear fod Duw yn Israel.

47 A'r holl gynulleidfa hon a gânt wybod, nad â chleddyf, nac â gwaewffon y gwared yr Arglwydd (canys eiddo yr Arglwydd *yw* y rhyfel) ac efe a'ch rhydd chwi yn ein llaw ni.

48 A phan gyfododd y Philistiad, a dyfod a nesâu i gyfarfod Dafydd; yna y brysiodd Dafydd, ac a redodd tua'r fyddin i gyfarfod â'r Philistiad.

49 A Dafydd a estynodd ei law i'r gôd, ac a gymerth oddiyno gareg, ac a daflodd, ac a darawodd y Philistiad yn ei dalcen: a'r gareg a soddodd yn ei dalcen ef; ac efe a syrthiodd i lawr ar ei wyneb.

50 Felly y gorthrechodd Dafydd y Philistiad â ffon dafl ac â chareg, ac a darawodd y Philistiad, ac a'i lladdodd ef; er nad *oedd* cleddyf yn llaw Dafydd.

51 Yna y rhedodd Dafydd, ac a safodd ar y Philistiad, ac a gymerth ei gleddyf ef, ac a'i tynodd o'r wain, ac a'i lladdodd ef, ac a dorodd ei ben ef âg ef. A phan welodd y Philistiaid farw o'u cawr hwynt, hwy a ffoisant.

52 A gwŷr Israel a Juda a gyfodasant, ac a floeddiasant; ac a erlidiasant y Philistiaid, hyd *y ffordd* y delych i'r dyffryn, a hyd byrth Ecron. A'r Philistiaid a syrthiasant yn archolledig ar hyd ffordd Saaraim, sef hyd Gath, a hyd Ecron.

53 A meibion Israel a ddychwelasant o ymlid ar ol y Philistiaid, ac a anrheithiasant eu gwersylloedd hwynt.

54 A Dafydd a gymerodd ben y

---

hwn a'm galwodd ac a'm nerthodd i i'r gwaith hwn. Yr wyf fi yn hyderu ynddo ef, fel yr wyt tithau yn dy gleddyf a'th waewffon.

Adn. 46. *Y dydd hwn y dyry yr Arglwydd dydi yn fy llaw i*] Yr hyn a wyddai efe yn sicr trwy ysbrydoliaeth Duw arno; *a mi a'th darawaf di*—â chareg o'r ffon dafl, adn. 49; *ac a gymeraf ymaith dy ben oddiarnat*—er nad oes genyf eto gleddyf yn fy llaw; *ac a roddaf gelanedd gwersyll y Philistiaid*—nid yn unig dy gnawd di, ond cnawd dy gydfilwyr hefyd, yn fwyd i ehediaid a bwystfilod, fel y bygythiaist ti roddi fy nghnawd i, adn. 44; *fel y gwypo yr holl ddaear*—nid y Philistiaid yn unig, ond holl genhedloedd y ddaear hefyd; *fod Duw yn Israel*—hyny yw, *gwir* Dduw, un galluog i'w gwaredu o law eu gelynion; neu, fel yr arwydda y wreiddiol, 'fod Duw *dros* Israel,' ac yn eich erbyn chwi.

Adn. 47. *A'r holl gynulleidfa hon*] Yn Philistiaid ac Israeliaid; *a gânt wybod nad â chleddyf*—nad trwy arfau a nerth dynol yn unig y mae yr Arglwydd yn gweled yn dda waredu ei bobl bob amser; *canys eiddo yr Arglwydd yw y rhyfel*—y mae er ei ogoniant ef, a than ei awdurdod a'i lywodraeth, fel ag y gall roddi y fuddugoliaeth i'r neb a fyno, pryd y myno, a thrwy ba offeryn bynag a fyno.

Adn. 48. *A phan gyfododd y Philistiad*] Wedi ymgynddeiriogi o herwydd y geiriau hyn; *a nesâu i gyfarfod Dafydd*—mor gyflym ag y gallai ymlusgo dan y fath lwyth o gnawd ac arfau; *yna y brysiodd Dafydd*—i daraw yr ergyd cyntaf, ar ba un yr oedd y fuddugoliaeth yn troi. Yr oedd Dafydd yn ddigon rhydd ac ieuanc i allu rhedeg at ei waith.

Adn. 49. *Ac a darawodd y Philistiad yn ei dalcen*] Yr oedd y cawr balch mor ddiystyr o Dafydd fel ag i esgeuluso tynu i lawr yr helm dros ei dalcen; neu ynte yr oedd y gareg wedi ei thaflu mor chwyrn fel ag i dreiddio trwy yr helm bres, gan soddi i'w dalcen ef; neu hi a aeth i'w ymenydd trwy yr egoriad ag ydoedd ar gyfer ei lygaid ef. Modd bynag, nid damwain ydoedd hyn, nac effaith medrusrwydd Dafydd yn unig; eithr yr oedd y gareg yn cael ei chyfeirio gan law anweledig: gwel ar Barn. xx. 16.

Adn. 50. *Ac a'i lladdodd ef*] Hyny yw, rhoddes ergyd marwol iddo; er mai â chleddyf Goliath ei hun y gorphenwyd ei ladd ef, adn. 51.

Adn. 51. *Yna y rhedodd Dafydd*] I dori pen Goliath cyn y deuai neb o'r Philistiaid i'w gyrchu ymaith, a chyn y byddai i'r cawr ymadfywio; canys ni wyddai Dafydd eto pa faint o niwed a gawsai efe. *Ac a safodd ar y Philistiad*—gan ei fathru dan ei draed o ddirmyg arno, fel yr oedd yntau wedi dirmygu a gwaradwyddo byddinoedd y Duw byw. *Ac a gymerth ei gleddyf ef*—sef cleddyf Goliath, â'r hwn y gorphenodd efe ei ladd, trwy dori ymaith ei ben ef. *A phan welodd y Philistiaid farw o'u cawr*—tarawyd hwynt â syndod a dychryn, fel na allent wneyd na meddwl am ddim ond ffoi ymaith cyn gynted ag y gallent. Bernir mai ar yr achlysur hwn y cyfansoddodd Dafydd y nawfed Salm.

Adn. 52. *A gwŷr Israel a Juda a gyfodasant*] O'u gwersyllfa; *ac a floeddiasant*—o lawenydd am y fuddugoliaeth a roddasai Duw iddynt trwy Dafydd; *ac a erlidiasant y Philistiaid*—trwy yr holl wlad. Dywed Josephus i 30,000 o'r Philistiaid gael eu lladd y pryd hyn, ac i gynifer a hyny gael eu clwyfo.

Adn. 53. *Ac a anrheithiasant eu gwersylloedd*] Neu eu *pebyll* yn eu gwersyllfa, o'r rhai y diangasant mewn dychryn pan welsant farw eu cawr; a diamau iddynt gael llawer o drysorau gwerthfawr yno, megys arian, arfau, celfi, ac ymborth.

Adn. 54. *A Dafydd a gymerodd ben y*

Philistiad, ac a'i dyg i Jerusalem; a'i
arfau ef a osododd efe yn ei babell.
55 ¶ A phan welodd Saul Ddafydd
yn myned i gyfarfod â'r Philistiad, efe
a ddywedodd wrth Abner, tywysog y
filwriaeth, Mab i bwy *yw* y llanc hwn,
Abner? Ac Abner a ddywedodd, *Fel*
y mae yn fyw dy enaid, O frenin, nis
gwn i.
56 A dywedodd y brenin, Ymofyn
mab i bwy *yw* y gŵr ieuanc hwn.
57 A phan ddychwelodd Dafydd o
ladd y Philistiad, Abner a'i cymerodd
ef ac a'i dyg o flaen Saul, a phen y
Philistiad yn ei law.
58 A Saul a ddywedodd wrtho ef,
Mab i bwy *wyt* ti, y gŵr ieuanc? A
dywedodd Dafydd, Mab i'th was Jes-
se y Bethlehemiad.

## PENNOD XVIII.

AC wedi darfod iddo ymddyddan â
Saul, enaid Jonathan a ymglym-
odd wrth enaid Dafydd; a Jonathan
a'i carodd ef megys ei enaid ei hun.
2 A Saul a'i cymerth ef *ato* y diwr-
nod hwnw, ac ni adawai iddo ddy-
chwelyd i dŷ ei dad.
3 Yna Jonathan a Dafydd a wnaeth-
ant gyfammod; o herwydd efe a'i car-
ai megys ei enaid ei hun.
4 A Jonathan a ddyosgodd y fan-
tell *oedd* am dano ei hun, ac a'i rhodd-
es i Dafydd, a'i wisgoedd, ïe hyd yn
nod ei gleddyf, a'i fwa, a'i wregys.
5 ¶ A Dafydd a aeth i ba *le* bynag
yr anfonodd Saul ef, *ac* a ymddyg yn
ddoeth. A Saul a'i gosododd ef ar y
rhyfelwyr; ac efe oedd gymeradwy

---

*Philistiad*] Ar ol iddo yn gyntaf ei ddangos i Saul, adn. 57; *ac a'i dyg i Jerusalem*—tybia rhai na wnaed hyn hyd ar ol marwolaeth Saul, pryd yr oedd Dafydd yn frenin yno. *A'i arfau ef a osododd efe yn ei babell*—yn nhŷ ei dad yn Bethlehem, hyd oni symudwyd hwy i babell Duw rywbryd wedi hyn, pen. xxi. 8, 9.

Adn. 55. *Mab i bwy yw y llanc hwn?*] Barna rhai i hyn oll gymeryd lle cyn i Dafydd fod yn telynori o flaen Saul, fel y gwelsom eisioes; a barna ereill fod blwyddyn neu ddwy wedi myned heibio er pan ymadawsai efe o'r llys, ac y gallai Saul yn hawdd felly fod wedi ei annghofio ef, nid yn unig o herwydd yr anhwyldeb ag oedd wedi ei ddyrysu, ond hefyd trwy fod Dafydd yn awr mewn dillad bugail, tra yr oedd efe o'r blaen yn ngwisgoedd y llys. *Ac Abner a ddywedodd —nis gwn i*—yr oedd Abner yn gyffredin yn y gwersyll, fel tywysog y filwriaeth, pan yr oedd Dafydd gynt yn y llys, a chaniatâu iddo ef fod yno; a phan y deuai Abner i'r llys, nid yw yn debygol y cymerai efe ryw lawer o sylw o fachgenyn ag ydoedd gymaint islaw iddo, yr hwn yn awr a allai fod hefyd wedi cyfnewid yn ei wedd.

Adn. 56. *Ymofyn mab i bwy yw y gŵr ieuanc hwn*] Yr hyn a'i gwnai ef yn fwy pryderus oedd, ei fod wedi addaw ei ferch iddo ef, a gwobrau mawrion ereill i dŷ ei dad, os llwyddai efe i ladd y cawr, adn. 25.

Adn. 57. *A phen y Philistiad*] Yr hwn ychydig cyn hyny a gablai, a regai, ac a waradwyddai fyddinoedd y Duw byw, ac a ddychrynai holl Israel a Saul hefyd; *yn ei law* —gerfydd ei wallt, yn ddigon diniwed, â'i lygaid wedi pylu a'i dafod wedi tewi!

Adn. 58. *Mab i'th was Jesse y Bethlehemiad*] Yr hwn sydd ddeiliad ffyddlon i ti, a pharod i'th wasanaethu.

Adfeddyliadau.—(1) Yn nghwymp Goliath nyni a welwn ddiwedd dynion beilchion a chableddus, y rhai a ddyrmygant enw Duw Israel, ac a waradwyddant ei grefydd a'i bobl ef. (2) Yn muddugoliaeth Dafydd nyni a welwn gysgod gwan o fuddugoliaeth Iesu Grist, mab Dafydd, ar Satan, yr hwn am oesoedd a fu yn ddychryn i fyddinoedd y Duw byw, Heb. ii. 14.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Enaid Jonathan*] Mab Saul, *a ymglymodd wrth enaid Dafydd* —ar gyfrif ei rinweddau a'i dduwioldeb amlwg, hawddgarwch ei berson, cyfatebrwydd eu hoedran, a'r wasanaeth fawr a wnaethai efe i Dduw, a'r brenin, a holl Israel. *A Jonathan a'i carodd ef megys ei enaid ei hun*—fel pe na buasai ond un enaid rhwng y ddau gorff. Ac yr oedd Dafydd yn ei garu yntau yr un modd, 2 Sam. i. 26.

Adn. 2. *A Saul a'i cymerth ef ato*] I'w lys yn Gibeah; *ac ni adawai iddo ddychwelyd i dŷ ei dad*—yn Bethlehem Juda, am ei fod i gael merch y brenin yn wraig. Tybia rhai fod yma brawf mai cyn lladd Goliath y bu Dafydd yn telynori i Saul, a'i fod yn arferol o ddychwelyd adref pan fyddai hwyliau drwg y brenin drosodd.

Adn. 3. *Yna Jonathan a Dafydd a wnaethant gyfammod*] O gyfeillgarwch diddiwedd. Gwnaeth y naill adduned ddifrifol i'r llall, i garu, parchu, ac amddiffyn eu gilydd hyd ddiwedd eu hoes; ac wedi i'r naill farw, fod i'r llall ddangos ei gyfeillgarwch i'r trengedig trwy garedigrwydd i'w hiliogaeth ef. Fel hyn yr oedd gan Dafydd gyfaill cywir yn y llys ar ol i Saul droi yn elyn iddo, yr hwn a ddadleuai drosto, a ddatguddiai fradwriaethau ei dad iddo, ac a fu yn foddion i achub ei fywyd ef: a bu Dafydd hefyd yn ffyddlon i Jonathan tra y bu efe byw, ac i'w goffadwriaeth a'i had ar ol iddo farw.

Adn. 4. *A Jonathan a ddyosgodd y fantell*] Yr oedd anrhegion o wisgoedd ac arfau rhyfel yn bethau mynych yn y dwyrain, fel arwyddion o barch a chyfeillgarwch diffuant, a chydnabyddiad o wasanaeth werthfawr a wnaed. *Ac a'i rhoddes i Dafydd*—fel na byddai iddo ymddangos yn y llys mewn dillad bugail, eithr mewn gwisgoedd tywysog.

Adn. 5. *A Dafydd a aeth i ba le bynag yr anfonodd Saul ef*] Ar negeseuon milwraidd; *ac a ymddyg yn ddoeth*—danghosai gymaint

yn ngolwg yr holl bobl, ac yn ngolwg
gweision Saul hefyd.
6 A bu (wrth ddyfod o honynt) pan
ddychwelodd Dafydd o ladd y Phil-
istiad, ddyfod o'r gwragedd allan o
holl ddinasoedd Israel, dan ganu a
dawnsio, i gyfarfod â'r brenin Saul, â
thympanau, â gorfoledd, ac âg *offer*
cerdd danau.
7 A'r gwragedd wrth ganu a ymat-
ebent, ac a ddywedent, Lladdodd Saul
ei filoedd, a Dafydd ei fyrddiwn.
8 A digiodd Saul yn ddirfawr, a'r
ymadrodd hwn oedd ddrwg yn ei olwg
ef; ac efe a ddywedodd, Rhoddasant
i Dafydd fyrddiwn, ac i mi y rhoddas-
ant filoedd: *beth* mwy *a roddent* iddo
ef, ond y frenhiniaeth?
9 A bu Saul â'i lygad ar Dafydd o'r
dydd hwnw allan.
10 ¶ Bu hefyd dranoeth, i'r drwg
ysbryd oddiwrth Dduw ddyfod ar
Saul; ac efe a broffwydodd yn ngha-
nol y tŷ: a Dafydd a ganodd â'i law,
fel o'r blaen: a gwaewffon *oedd* yn
llaw Saul.
11 A Saul a daflodd y waewffon;
ac a ddywedodd, Tarawaf trwy Da-
fydd yn y pared. A Dafydd a giliodd
ddwywaith o'i wydd ef.
12 ¶ A Saul oedd yn ofni Dafydd;
o herwydd bod yr Arglwydd gydag ef,
a chilio o hono oddiwrth Saul.
13 Am hyny Saul a'i gyrodd ef
ymaith oddiwrtho, ac a'i gosododd ef
yn dywysog *ar* fil: ac efe a aeth i
mewn ac allan o flaen y bobl.
14 A Dafydd a ymddyg yn ddoeth
yn ei holl ffyrdd; a'r Arglwydd *oedd*
gydag ef.

---

o gallineb yn mhob achos ag a wnai o wroldeb. *A Saul a'i gosododd ef ar y rhyfelwyr*—yn gadben ar warchawdlu personol y brenin ond odid, canys Abner oedd brif dywysog y filwriaeth. *Ac efe oedd gymeradwy*—yn ngolwg y milwyr, y llyswyr, a'r werin. Dechreuodd ennill ei barch trwy ei fuddugoliaeth ar Goliath; ac yr oedd ei glod yn chwanegu o hyd trwy ei ymddygiad doeth a thirion at bawb ar bob achos.

Adn. 6. *Pan ddychwelodd Dafydd o ladd y Philistiad*] Cyfeirir yma nid at yr hyn a ddygwyddodd y diwrnod hwnw, eithr at arferiad gwastadol y gwragedd byth ar ol i Dafydd ladd Goliath. *Ddyfod o'r gwragedd allan*—o bob dinas lle yr elai, i gyfarfod â'r brenin Saul; *dan ganu a dawnsio*—ar ol rhyw fuddugoliaeth neu ymwared mawr, arferai y gwragedd orfoleddu a chanu fel hyn, i lawenhau am ddiogelwch eu gwŷr, eu meibion, a'u gwlad.

Adn. 7. *A'r gwragedd wrth ganu a ymatebent*] Yr oeddynt yn canu â'u tafodau, ac yn chwareu yr offer cerdd â'u dwylaw ar yr un pryd. Ac wrth ganu yr oeddynt yn ateb eu gilydd, neu yn canu bob yn ail, fel Miriam a'r gwragedd, a Debora a Barac: gwel ar Exod. xv. 21, a Barn. v. 1. *Lladdodd Saul ei filoedd*—dyma yr hyn a ganai y dosbarth cyntaf; *a Dafydd ei fyrddiwn*—dyma atebiad yr ail ddosbarth. Golygent fod Dafydd yn well rhyfelwr na Saul; neu, er i Saul ladd llawer o'r Philistiaid o dro i dro, fod gwaith Dafydd yn lladd Goliath yn fwy o les i'r wlad ddengwaith, trwy i hyny fod yn foddion i beri i'r holl Philistiaid ffoi, ac i filoedd o honynt gael eu lladd, pen. xvii. 51, 52.

Adn. 8. *A digiodd Saul yn ddirfawr*] Am i'r gwragedd roddi y flaenoriaeth i Dafydd o ran nifer ei laddedigion, neu edrych arno ef yn well na Saul o ran dewrder a llwyddiant milwraidd. *Rhoddasant i Dafydd fyrddiwn*—hyny yw, deg mil; *ac i mi y rhoddasant filoedd*—mwy nag un fil, ond llai na deg mil. *Beth mwy a roddent iddo ef, ond y frenhiniaeth?*—y mae yn debyg ei fod yn cofio mor gymeradwy oedd Dafydd yn ngolwg yr holl bobl, ac yn ngolwg y llyswyr, adn. 5, ac am eiriau Samuel, y rhwygai yr Arglwydd y frenhiniaeth oddiwrtho ef, i'w rhoddi i'w gymydog gwell nag ef, pen. xv. 28; ac ofnai mai Dafydd oedd hwnw.

Adn. 9. *A bu Saul â'i lygad ar Dafydd*] Yn ddrwgdybus o hono, ac yn genfigenus wrtho.

Adn. 10. *Bu hefyd dranoeth*] Sef tranoeth wedi i'r gwragedd ganmol Dafydd yn fwy na Saul; *i'r drwg ysbryd oddiwrth Dduw ddyfod ar Saul*—fel effaith ei genfigen a'i anghariadoldeb: gwel ar pen. xvi. 14, &c. *Ac efe a broffwydodd yn nghanol y tŷ*—efe a daflwyd i'r fath gynhyrfiadau ac ystumiau corfforol ag y byddai y proffwydi ynddynt weithiau; neu, fel y mae yn y Galdeaeg, 'efe a *wallgofodd* yn nghanol y tŷ.' *A Dafydd a ganodd â'i law*—ar y delyn, i liniaru a thawelu ysbrydoedd cynhyrfus Saul; *a gwaewffon oedd yn llaw Saul*—wedi ei cheisio yn ddirgelaidd i ladd Dafydd. Gwelsom eisioes fod y gair *proffwydo* yn arwyddo canu, gweddio, a'r cyffelyb, yn gystal a rhagfynegu dygwyddiadau dyfodol; ac felly y mae yn debyg mai ei ystyr ef yma yw, fod Saul yn cymeryd arno *weddio* yn nghanol ei deulu, i'r dyben i guddio ei fwriadau llofruddiog oddi wrth Dafydd, yr hwn oedd ar y pryd yn cyflawni y rhan gerddorol o'r addoliad teuluaidd. Ond y mae yr Arabaeg yn awgrymu fod Saul wedi ei wir feddiannu gan ysbryd drwg, a'i fod yn traethu trwy hwnw fath ar ragfynegiadau dieflig.

Adn. 11. *A Saul a daflodd y waewffon*] Gyda'r fath rym, nes y bwriadai iddi dreiddio trwy gorff Dafydd i'r pared. *A Dafydd a giliodd ddwywaith*—sef unwaith y tro hwn, ac eilwaith ar ol hyn, pen. xix. 10.

Adn. 12. *A Saul oedd yn ofni Dafydd*] Rhag iddo, ar ol ennill ffafr Duw a chymeradwyaeth y bobl, gymeryd y frenhiniaeth oddiarno.

Adn. 13. *Saul a'i gyrodd ef ymaith*] O'r llys, ac o'i wydd, gan ei fod yn ofni, os cai Dafydd fod yn y llys, y byddai iddo ryw ddiwrnod ladd Saul, am i Saul geisio ei ladd ef;

15 A phan welodd Saul ei fod ef yn ddoeth iawn, efe a'i hofnodd ef.

16 Eithr holl Israel a Juda a garodd Dafydd, am ei fod ef yn myned i mewn ac allan o'u blaen hwynt.

17 ¶ A dywedodd Saul wrth Dafydd, Wele, Merab fy merch hynaf, hi a roddaf fi i ti yn wraig: yn unig bydd i mi yn fab nerthol, ac ymladd ryfeloedd yr Arglwydd. (Canys dywedasai Saul, Ni bydd fy llaw i arno ef, ond llaw y Philistiaid fydd arno ef)

18 A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Pwy *ydwyf* fi? a pheth *yw* fy mywyd, *neu* dylwyth fy nhad i yn Israel, fel y byddwn yn ddaw i'r brenin?

19 Eithr yn yr amser *y dylesid* rhoddi Merab merch Saul i Dafydd, hi a roddwyd i Adriel y Meholathiad yn wraig.

20 A Michal merch Saul a garodd Ddafydd: a mynegasant *hyny* i Saul; a'r peth fu foddlawn ganddo.

21 A dywedodd Saul, Rhoddaf hi iddo ef, fel y byddo hi iddo yn fagl, ac y byddo llaw y Philistiaid yn ei erbyn ef. Felly Saul a ddywedodd wrth Dafydd, Trwy *un* o'r ddwy y byddi fab-yn-nghyfraith i mi heddyw.

22 ¶ A Saul a orchymynodd i'w weision *fel hyn;* Ymddyddenwch â

---

*ac a'i gosododd ef yn dywysog ar fil*—nid o barch iddo, ond mewn gobaith y byddai iddo cyn hir gael ei ladd mewn rhyw frwydr â'i elynion, adn. 25.

Adn. 14. *A Dafydd a ymddyg yn ddoeth*] Yn y llys tra y bu yno, ac yn y gwersyll ar ol myned oddiyno. Pa le bynag y byddai, a pha beth bynag a wnai, efe a ymddygai yn ddoeth a rhinweddol, nes yr oedd pob peth yn *llwyddo* yn ei law, am fod yr Arglwydd gyd ag ef.

Adn. 15. *A phan welodd Saul ei fod ef yn ddoeth iawn*] Ei fod bob dydd, trwy ei ymddygiad doeth, yn ennill mwy o barch gyda'r bobl; tra yr oedd ef ei hun, trwy ei fynych orphwylldra, yn colli ei ddylanwad; *efe a'i hofnodd ef*—yn fwy nag o'r blaen: ofnai y cymerai Dafydd fantais ar hyny i'w ddiorseddu ef, a meddiannu y frenhiniaeth ei hun.

Adn. 16. *Eithr holl Israel a Juda a garodd Dafydd*] Nid yn unig Juda ei lwyth ei hun, ond yr holl lwythau ereill hefyd; *am ei fod ef yn myned i mewn ac allan o'u blaen hwynt*—yn eu harwain allan yn ddoeth a gofalus i faes y frwydr, ac yna yn eu dwyn yn ol yn ddiogel. Er mai Abner oedd tywysog y filwriaeth, eto edrychai pawb arno ef fel y swyddog glewaf yn yr holl fyddin. Fel hyn, yr hyn a fwriadai Saul er niwed i Dafydd, a droes allan yn fantais iddo; canys pe cadwasai Saul ef yn ei lys, ni chawsai Dafydd gyfle i'w enwogi ei hun, nac ennill serch holl Israel.

Adn. 17. *Merab, fy merch hynaf, hi a roddaf fi i ti yn wraig*] Yr oedd Saul wedi addaw hyn o'r blaen am ladd Goliath; ac nid yw efe yn meddwl cyflawni ei addewid y tro hwn ychwaith, fel y mae yn amlwg oddiwrth adn. 19. *Yn unig bydd i mi yn fab nerthol*—efe a wyddai fod Dafydd yn rhyfelwr nerthol eisioes; ond dysgwyliai iddo fod yn fwy felly rhagllaw, er mwyn cael bod yn fab-yn-nghyfraith i'r brenin. *Ac ymladd ryfeloedd yr Arglwydd*—efe a'u geilw yn 'rhyfeloedd yr Arglwydd,' am y gwyddai fod Dafydd yn ŵr ieuanc eiddigus dros yr Arglwydd a'i bobl. A rhaid fod Saul yn ddyn drwg iawn pan y ceisiai efe, dan rith o eiddigedd dros yr Arglwydd, annog Dafydd i ryfela yn hyf a dewr, a hyny gyda bwriad bradychus i'w ddinystrio ef! *Canys dywedasai Saul*—wrth rai o'i gyfeillion, neu yn ei feddwl drygionus ei hun; *Ni bydd fy llaw i arno ef*—cynygiodd ei ladd ef â'i law ei hun unwaith, adn. 11; ond yn awr barnai fod yn well iddo beidio cynyg hyny mwyach, rhag tynu y bobl yn ei ben, y rhai a garent Dafydd mor fawr; ond gobeithiai ar yr un pryd y lleddid ef gan rai o'r Philistiaid yn eu brwydrau nesaol. Ond wedi y cwbl, iddo ef ei hun y daeth y drwg hwnw, pen. xxxi. 3, 4.

Adn. 18. *Pwy ydwyf fi*] O ran fy mherson a'm sefyllfa? *A pheth yw fy mywyd*—o werth, pan gynygit ferch y brenin yn wobr am ei osod mewn perygl? *Neu dylwyth fy nhad*—o ran meddiannau? canys yn mhob ystyr arall yr oeddynt mor urddasol a neb yn Israel. *Fel y byddwn yn ddaw*—neu fab-yn-nghyfraith i'r brenin. Nid oedd hyn yn wrthodiad o'r anrhydedd, eithr cydnabyddiad gŵylaidd o'i annheilyngdod ei hun: ac yr oedd llawer o ddoethineb yn hyn, trwy y gallai y brenin gasglu oddiwrth ei ymadroddion hyn nad oedd efe yn awyddu am y frenhiniaeth.

Adn. 19. *Eithr yn yr amser*] Neu ar y dydd ag y penodwyd i Dafydd gael Merab yn wraig; *hi a roddwyd i Adriel y Meholathiad*—a sylwa rhai, fel melldith Duw ar y briodas hon, ddarfod rhoddi holl feibion Adriel i'r Gibeoniaid i'w crogi: gwel y sylw ar 2 Sam. xxi. 8.

Adn. 20. *A Michal merch Saul*] Merch arall i Saul, ac ieuangach na Merab; *a garodd Dafydd*—o herwydd ei brydferthwch personol, ei ddewrder milwraidd, ei ymddygiad doeth a boneddigaidd, a'r clod oedd iddo gan bawb trwy yr holl wlad: *a'r peth fu foddlon ganddo*—nid o gariad at Dafydd, nac oddiar ddymuniad i gyflawni ei addewid; ond am y gobeithiai trwy hyny ddwyn oddiamgylch ei amcan o ddyfetha Dafydd.

Adn. 21. *Fel y byddo hi iddo yn fagl*] Neu yn achlysur o'i ddinystr, wrth iddo geisio cyflawni yr ammod ar ba un yr oedd efe i'w chael hi, adn. 25. *Trwy un o'r ddwy y byddi fab-yn-nghyfraith i mi*—gellid meddwl fod Saul am guddio oddiwrth Dafydd fod Merab yn wraig i Adriel; ac er iddo ar y cyntaf ei haddaw hi iddo wrth ei henw, adn. 17, y mae eto yn addaw y cai Dafydd un o'i ferched ef, ac felly y byddai yn fab-yn-nghyfraith iddo trwy y naill yn gystal a thrwy y llall.

Dafydd yn ddirgel, gan ddywedyd,
Wele, y brenin sydd hoff ganddo dydi,
a'i holl weision ef a'th garant di: yn
awr gan hyny ymgyfathracha â'r
brenin.
23 A gweision Saul a adroddasant
wrth Dafydd y geiriau hyn. A Da-
fydd a ddywedodd, Ai ysgafn *yw* yn
eich golwg chwi ymgyfathrachu â
brenin, a minau yn ŵr tlawd a gwael?
24 A gweision Saul a fynegasant
iddo, gan ddywedyd, Fel hyn y llefar-
odd Dafydd.
25 A dywedodd Saul, Fel hyn y
dywedwch wrth Dafydd; Nid yw y
brenin yn ewyllysio cynysgaeth, ond
*cael* cant o flaengrwyn y Philistiaid,
i ddial ar elynion y brenin. Ond Saul
oedd yn meddwl peri lladd Dafydd
trwy law y Philistiaid.
26 A'i weision ef a fynegasant i
Dafydd y geiriau hyn; a'r ymadrodd
fu foddlawn gan Dafydd am ymgyf-
athrachu â'r brenin; ac ni ddaethai
yr amser eto.
27 Am hyny y cyfododd Dafydd, ac
efe a aeth a'i wŷr, ac a darawodd
ddau cànwr o'r Philistiaid; a Dafydd
a ddygodd eu blaen grwyn hwynt, a
hwy a'u cwbl-dalasant i'r brenin, i
ymgyfathrachu o hono ef â'r brenin.
A Saul a roddodd Michal ei ferch yn
wraig iddo ef.
28 ¶ A Saul a welodd ac a wybu
*fod* yr Arglwydd gyda Dafydd, a *bod*
Michal merch Saul yn ei garu ef.
29 A Saul oedd yn ofni Dafydd yn
fwy eto: a bu Saul yn elyn i Dafydd
byth.
30 Yna tywysogion y Philistiaid a

---

Adn. 22. *A Saul a orchymynodd i'w weision*] Neu brif gynghoriaid ei lys. *Ymddyddenwch â Dafydd yn ddirgel*—ymddengys i Dafydd ei hun fyned allan o wyddfod Saul yn lled siomedig, heb wrando llawer ar ei gynyg ef o'i ferch ieuangaf, ar ol cael ei dwyllo am yr hynaf; ac felly mynai Saul i'w weision ymddyddan âg ef yn gyfrinachol, megys o'u penau eu hunain, a cheisio ei ddarbwyllo i gymeryd Michal ar yr ammod a roddid o'i flaen. *Wele, y brenin sydd hoff ganddo dydi*—y mae ganddo barch mawr i ti, ac efe a ddymunai yn fawr dy gael yn fab-yn-nghyfraith iddo; *a'i holl weision ef a'th garant di*—bydd dy waith yn ymbriodi â Michal yn foddlonrwydd mawr i'r holl lys.

Adn. 23. *Ai ysgafn yw yn eich golwg chwi ymgyfathrachu*] Saes. 'fod yn fab-yn-nghyfraith i frenin,' a chyflawni pob peth angenrheidiol i hyny? *A minau yn ŵr tylawd a gwael*—ac felly yn analluog i roddi cynysgaeth gyfatebol i ferch brenin. Yr oedd yn arferiad yn y dyddiau hyny i'r gŵr ieuanc roddi gwaddol am ei wraig, yn gyfatebol i sefyllfa ei theulu: gwel ar Gen. xxix. 20, a xxxiv. 12, Exod. xxii. 16, 17.

Adn. 24. *Fel hyn y llefarodd Dafydd*] Gan fynegu i Saul yr hyn a adroddwyd yn adn. 23.

Adn. 25. *Nid yw y brenin yn ewyllysio cynysgaeth*] Neu waddol o arian am ei ferch; *ond cael cant o flaengrwyn y Philistiaid*—enwir eu blaengrwyn yn hytrach na'u penau, i attal y posibilrwydd o dwyll o du Dafydd, trwy ddwyn penau y cyfryw o'i filwyr ei hun a allent fod wedi cwympo yn y rhyfel, a'u cyflwyno fel penau y Philistiaid; canys trwy fod yr Iuddewon yn tori y rhan hòno o'r corff ymaith wrth *enwaedu*, yr oedd yn hawdd adnabod Philistiaid dienwaededig. *I ddial ar elynion y brenin*—proffesai Saul mai ei amcan yn hyn oedd dial ar y Philistiaid, gelynion Israel a Duw Israel; ond y gwir amcan oedd peri i Dafydd syrthio trwy law y Philistiaid wrth geisio cyflawni yr ammod hon.

Adn. 26. *A'r ymadrodd fu foddlon gan Ddafydd*] Efe a gydsyniodd yn llawen i briodi Michal ar yr ammod hon, nid yn unig am ei fod yn caru merch y brenin, ond hefyd am y cai gyfle trwy hyny i ddial ar elynion Duw a'i bobl; *ac ni ddaethai yr amser eto*—iddo ymbriodi, trwy fod yn rhaid iddo yn flaenorol i hyny gyflawni yr ammod grybwylledig ar y Philistiaid.

Adn. 27. *Ac a darawodd ddau cànwr*] Gymaint arall ag a ofynid, i rwymo Saul yn gryfach i gyflawni ei addewid, ac i ddangos ei serch at ei ferch ef, yn gystal ag i brofi ei ddewrder ei hun, a dial yn drymach ar elynion Israel. *Cant* yn unig yw darlleniad y LXX, a *chant* a ddywed Dafydd ei hun yn 2 Sam. iii. 14; a thybia Clarke mai *cànwr* yw yr iawn ddarlleniad yma, gan mai am *gant* y cyfammododd efe â Saul. *A hwy a'u cwbl-dalasant*—a'u rhoddasant yn *llawn*, neu yn eu *rhif*, i'r brenin yn *dâl* am ei ferch ef. *A Saul a roddodd Michal ei ferch yn wraig iddo ef*—ac nis gallai ommedd mwyach yn ddiberygl, gan i Dafydd gyflawni yr ammod; er y gobeithiasai Saul y collasai efe ei fywyd yn yr anturiaeth.

Adn. 28. *Fod yr Arglwydd gyda Dafydd*] Yr oedd Saul yn cael ei argyhoeddi o hyn fwy-fwy, trwy y llwyddiant a gai efe yn mhob peth ag yr ymosodai arno; *a bod Michal merch Saul yn ei garu ef*—yr hon a wnai yr oll a allai i ddiogelu ei phriod, ac i ddatguddio drwg-fwriadau ei thad yn ei erbyn ef.

Adn. 29. *A Saul oedd yn ofni Dafydd yn fwy eto*] Wrth weled fod Duw a dynion o'i blaid, ac nad oedd gobaith iddo ef allu ei niweidio, a rhag y byddai iddo o'r diwedd ei ddiorseddu ef, a chael y frenhiniaeth iddo ei hun. *A bu Saul yn elyn i Dafydd byth*—gan benderfynu yn gryfach ei ladd ef y naill ddydd ar ol y llall tra y bu fyw. Y mae yn wir y cymerai efe arno edifarhau weithiau, a dywedyd yn dêg wrth Dafydd ar ol ceisio ei ladd ef; ond er hyny gelyn oedd efe iddo o hyd yn y gwaelod.

Adn. 30. *Yna tywysogion y Philistiaid a aent allan*] Gyda'u byddinoedd i ymladd â'r Israeliaid, gan eu bod wedi cael eu llidio yn

aent allan: a phan elent hwy, Dafydd a fyddai ddoethach na holl weision Saul; a'i enw ef a aeth yn anrhydeddus iawn.

## PENNOD XIX.

A SAUL a ddywedodd wrth Jonathan ei fab, ac wrth ei holl weision, am ladd Dafydd.
2 Ond Jonathan mab Saul oedd hoff iawn ganddo Dafydd. A mynegodd Jonathan i Dafydd, gan ddywedyd, Saul fy nhad sydd yn ceisio dy ladd di: ac yn awr ymgadw, atolwg, hyd y bore, ac aros mewn *lle* dirgel, ac ymguddia:
3 A mi a âf allan ac a safaf gerllaw fy nhad yn y maes *y byddych* di ynddo, a mi a ymddyddanaf â'm tad o'th blegid di; a hyn a welwyf, mi a'i mynegaf i ti.
4 ¶ A Jonathan a ddywedodd yn dda am Dafydd wrth Saul ei dad, ac a ddywedodd wrtho, Na pheched y brenin yn erbyn ei was, yn erbyn Dafydd: o herwydd ni phechodd efe i'th erbyn di, ac o herwydd *bod* ei weithredoedd ef yn dda iawn i ti.
5 Canys efe a osododd ei einioes yn ei law, ac a darawodd y Philistiad; a'r Arglwydd a wnaeth iachawdwriaeth mawr i holl Israel: ti a'i gwelaist, ac a lawenychaist: paham, gan hyny, y pechi yn erbyn gwaed gwirion, gan ladd Dafydd yn ddiachos?
6 A Saul a wrandawodd ar lais Jonathan; a Saul a dyngodd, *Fel mai* byw yr Arglwydd, ni leddir ef.

---

fawr trwy weithred ddiweddar Dafydd, yn gystal a thrwy eu colledion blaenorol. Tybia yr Iuddewon fod y Philistiaid wedi clywed am briodas Dafydd, ac am y gyfraith yn Israel ag oedd yn caniatâu i ŵr aros gartref am flwyddyn gyda'i wraig newydd, Deut. xxiv. 5; ac am hyny iddynt achub y cyfleusdra hwn i ymosod ar Israel yn absenoldeb Dafydd. *Dafydd a fyddai ddoethach na holl weision Saul*—danghosai fwy o ddewrder, medrusrwydd, a challineb, na'r holl swyddogion milwraidd ereill, i drechu y Philistiaid, neu i ddarganfod eu cynlluniau hwynt. *A'i enw ef a aeth yn anrhydeddus iawn*—yn ngolwg holl Israel, yn filwyr a gwladwyr.

PEN. XIX. Adn. 1. *A Saul a ddywedodd wrth Jonathan ei fab*] Yr hwn oedd etifedd y goron; *ac wrth ei holl weision*—ei wŷr llys a'i filwyr; *am ladd Dafydd*—pan nas gallodd wneyd hyny trwy ystryw, efe a gyhoeddodd elyniaeth agored yn ei erbyn ef, gan roddi gorchymyn i'w ladd, naill ai trwy drais, pan gyfarfyddent âg ef; neu ynte trwy ei gyhuddo o deyrn-fradwriaeth, neu amcan i drawsfeddiannu yr orsedd, ac felly ei ddienyddio dan rith cyfraith. Nid yw yn sicr pa un a wyddai Saul am y serch a'r cyfammod ag oedd rhwng Jonathan a Dafydd; ond os gwyddai, efe a dybiai y lladdai Jonathan ef ar gais ei dad, yn enwedig gan y diogelai hyny yr orsedd iddo ef ei hun.

Adn. 2. *A mynegodd Jonathan i Dafydd*] Anufyddhaodd Jonathan i orchymyn ei dad; ac, yn lle lladd Dafydd, y mae efe yn dadlu ei ddiniweidrwydd ef, a'r lles a wnaethai efe i Israel, fel rhesymau dros arbed ei fywyd; ac y mae hefyd yn dadguddio i Dafydd fwriad ei dad i'w ddyfetha ef. Nid oedd Jonathan yn y naill achos na'r llall yn ymddwyn yn groes i'w ddyledswydd i'w dad a'i frenin. 'Y neb a ŵyr am gydfradwriaeth yn erbyn bywyd dyn diniwed, ac nid yw yn ei amlygu, neu y neb a laddo y cyfryw un trwy orchymyn un arall,' fel y sylwa Dr. Dodd, 'y mae efe ei hunan yn llofrudd; ac nis gall dyledswydd neb i'w dad, na'i rwymedigaeth i'w dywysog, ei rwymo ef i dywallt gwaed gwirion.' *Ymgadw, atolwg, hyd y bore*—nis gwyddai Jonathan pa yspïwyr a bradwyr a allent fod gan ei dad y noson hôno yn chwilio am Dafydd i'w ladd yn y tywyllwch; ac am hyny cynghorai ef i beidio myned i'w dŷ ei hun, eithr ymguddio mewn rhyw le dirgel hyd y bore, fell y gallai ei amddiffyn ei hun yn well wrth oleuni y dydd, os nad allai efe ddarbwyllo ei dad i newid ei fwriad.

Adn. 3. *Safaf gerllaw fy nhad yn y maes*] Lle yr arferai Saul rodio bob bore er mwyn ei iechyd, a lle y cynghorasai Jonathan Dafydd i ymguddio, fel y gallai adrodd iddo yn ddioedi ganlyniad ei eiriolaeth o flaen ei dad.

Adn. 4. *Na pheched y brenin yn erbyn ei was*] Wrth ei ladd ef ac yntau yn ddieuog, yr hyn a fuasai hefyd yn bechod yn erbyn Duw; *o herwydd ni phechodd efe i'th erbyn di*—trwy anufyddhau i'th orchymynion na thrachwantu dy orsedd; *ac o herwydd bod ei weithredoedd ef yn dda iawn i ti*—megys lladd Goliath pryd yr oedd pawb ereill yn arswydo rhagddo; gyru yr ysbryd drwg i gilio oddiwrth Saul yn fynych; lladd dau gant o'r Philistiaid i ddial ar elynion y brenin; arwain byddinoedd Saul yn erbyn y Philistiaid, a'u gorchfygu hwy amrai weithiau; a gweithredu yn ffyddlon, doeth, a llwyddiannus yn mhob gwasanaeth a ymddiriedasai Saul iddo.

Adn. 5. *Canys efe a osododd ei einioes yn ei law*] Hyny yw, yn agored i'r peryglon mwyaf, (gwel ar Barn. xii. 3,) wrth fyned i ymladd â'r cawr Goliath, yr hwn a darawodd ac a laddodd efe. *A'r Arglwydd a wnaeth iachawdwriaeth fawr i holl Israel*—yn lladdiad Goliath trwy offerynoliaeth Dafydd, yr hyn a fu yn achos i'r Philistiaid ffoi rhag Israel, pen. xviii. 51, 52. *Ti a'i gwelaist*—yr oeddit ti dy hun yn y lle, yn dyst o hyn oll; *ac a lawenychaist*—o herwydd fod Duw wedi codi y fath ŵr a Dafydd yn mhlith dy ddeiliaid. *Paham gan hyny y pechi yn erbyn gwaed gwirion*—trwy ladd y fath ddyn defnyddiol yn ddiachos?

Adn. 6. *A Saul a wrandawodd ar lais Jon-*

7 A Jonathan a alwodd ar Dafydd;
a Jonathan a fynegodd iddo ef yr holl
eiriau hyn. A Jonathan a ddyg Da-
fydd at Saul; ac efe a fu ger ei fron
ef megys cynt.
8 A bu chwaneg o ryfel: a Dafydd a
aeth allan ac a ymladdodd yn erbyn
y Philistiaid, ac a'u tarawodd hwynt
â lladdfa fawr; a hwy a ffoisant rhag-
ddo ef.
9 A'r drwg ysbryd oddiwrth yr Ar-
glwydd oedd ar Saul, pan oedd efe yn
eistedd yn ei dŷ â'i waewffon yn ei
law: a Dafydd *oedd* yn canu â'i
law.
10 A cheisiodd Saul daro â'i waew-
ffon trwy Dafydd, yn y pared: ond efe
a giliodd o ŵydd Saul; ac yntau a
darawodd y waewffon yn y pared. A
Dafydd a ffôdd, ac a ddiangodd y nos
hòno.
11 Saul hefyd a anfonodd genadau i
dŷ Dafydd, i'w wylied ef, ac i'w ladd ef
y bore: a Michal ei wraig a fynegodd
i Dafydd, gan ddywedyd, Onid achubi
dy einioes heno, y fory y'th leddir.
12 ¶ Felly Michal a ollyngodd Da-
fydd i lawr trwy ffenestr: ac efe a
aeth, ac a ffôdd, ac a ddiangodd.
13 A Michal a gymerodd ddelw, ac
a'i gosododd yn y gwely; a chlustog
o *flew* geifr a osododd hi yn obenydd
iddi, ac a'*i* gorchuddiodd â dillad.
14 A phan anfonodd Saul genadau

---

*athan*] Yr hwn a ddadleuasai dros Dafydd mor ragorol; ac *a dyngodd*—a wnaeth lw difrifol na leddid Dafydd, gan alw yn ol ei orchymyn y dydd blaenorol, adn. 1. Ond os oedd efe yn tyngu yn onest y pryd hyn, dan lwyr argyhoeddiad o'r drwg o ladd Dafydd, buan y gwisgodd hyny ymaith, fel y cawn weled cyn diwedd y bennod hon.

Adn. 7. *A Jonathan a ddyg Dafydd at Saul*] I'r llys, ac i'w swydd yno megys gynt; a chymerai Saul arno dderbyn ei fab-yn-nghyfraith yn gariadus ac anrhydeddus.

Adn. 8. *A bu chwaneg o ryfel*] Rhwng Israel a'r Philistiaid; *a Dafydd a aeth allan*—nid ymddengys i'r naill na'r llall o'r ddwy blaid ddwyn allan eu holl luoedd, pe amgen Abner, fel tywysog y filwriaeth, a aethai allan; *ac a'u tarawodd hwynt â lladdfa fawr*—trwy i'r Arglwydd ei alluogi ef i ddial ar ei elynion, y rhai o hyd a flinent Israel.

Adn. 9. *A'r drwg ysbryd, &c.*] Darfu i lwyddiant Dafydd yn erbyn y Philistiaid adfywio cenfigen ac eiddigedd Saul, nes yr aeth yn wallgof eilwaith fel o'r blaen; a diamau i'r diafol ddal ar y cyfleusdra hwn i'w gynhyrfu yn waeth: gwel ar pen. xvi, 14, &c. *A'i waewffon yn ei law*—yr hon a gymerasai efe gyda bwriad i ladd Dafydd, neu ynte a ddaliai efe yn ei law fel teyrnwialen, yn arwydd o'i awdurdod brenhinol. *A Dafydd oedd yn canu â'i law*—ni esgeuluasai efe ei ddyledswydd, er y gwyddai am ei berygl.

Adn. 10. *A cheisiodd Saul daro â'i waewffon trwy Dafydd*] Fel y gwnaethai unwaith o'r blaen, pen. xviii. 11; *ond efe a giliodd*—canfu Dafydd ei amcan ef mewn pryd; a chan ei fod yn ddyn cyflym a bywiog, efe a neidiodd oddiwrth y delyn cyn i'r waewffon ei gyraedd, ac felly hi a soddodd yn y pared.

Adn. 11. *I'w wylied ef*] Nad elai allan yn y nos; *ac i'w ladd ef y bore*—ond paham na buasent yn ei ladd ef yn y nos? Am y byddai raid iddynt felly dori i mewn i'r tŷ trwy drais, yr hyn a ofynai beth amser i'w gyflawni, ac a wnai drwst, ac a roddai gyfleusdra i Dafydd glywed a dianc. Ac heblaw hyny, os ymosodent arno yn y nos yn ei wely, gallent felly ladd Michal yn ei le ef mewn camgymeriad; ac am hyny barnai Saul fod yn well aros nes y caent oleuni y dydd, fel y gallent fod yn sicr o hono. *A Michal ei wraig a fynegodd i Dafydd*—hi a gafodd hysbysrwydd y lleddid ef dranoeth oddiwrth Jonathan ei brawd, neu ryw gyfaill arall yn y llys; neu ynte hi a gasglai hyny trwy iddi ganfod gwylwyr ei thad o amgylch ei thŷ.

Adn. 12. *Felly Michal a ollyngodd Dafydd i lawr trwy ffenestr*] Fel y gollyngwyd yr yspïwyr yn Jericho a Phaul yn Damascus, Jos. ii. 15, Act. ix. 25. Gollyngwyd ef i lawr ond odid trwy ffenestr yn *nghefn* y tŷ, tra yr oedd y gwylwyr yn edrych ar ol y porth *o flaen* y tŷ, lle yr oedd yn naturiol iddynt ddysgwyl i Dafydd ymddangos; ac felly efe a ffôdd yn ddiangol at Samuel i Ramah, adn. 18.

Adn. 13. *A Michal a gymerodd ddelw*] Heb. *teraphim*. Os delw i'w *haddoli* oedd hon, neu i *ddewinio* trwyddi, rhaid ei bod gan Michal yn ddiarwybod i'w gŵr; canys ni oddefasai efe y fath bethau o fewn ei dŷ. Pa beth bynag oedd y ddelw hon, rhaid ei bod ar lun dyn; canys bwriedid hi i arddangos gŵr claf yn ei wely. Dywed Abarbinel ac Abendana fod gwragedd yn yr amseroedd hyny yn arferol o gael lluniau wedi eu gwneuthur ar ddelw eu gwŷr, fel, pan fyddai eu gwŷr oddi cartref, y gallent gael eu delw hwynt i edrych arni. Os yw hyny yn wir, gall mai delw o'r fath yma oedd eiddo Michal; neu ynte nad oedd ond math ar addurn teuluaidd. *Ac a'i gosododd yn y gwely*—yn ngwely Dafydd, fel yr ymddanghosai mai Dafydd ei hun ydoedd. *A chlustog o flew geifr a osododd hi yn obenydd iddi*—am ei bod yn esmwyth i ddyn claf, fel y ffuantai hi fod Dafydd yn awr; neu ynte, fel y tybia rhai, yr oedd y blew hyn yn hirion, ac o'r un lliw a gwallt Dafydd, ac wedi eu gosod ar ben y ddelw, i'w gwneyd yn debycach i Dafydd. *Ac a'i gorchuddiodd â dillad*—sef â dillad y gwely, dan yr esgus fod Dafydd yn glaf, ac mewn angen am orchudd felly i'w gynhesu; eithr y gwir ddyben oedd cuddio y ddelw, rhag i'r cenadau ddeall nad Dafydd oedd yno. Yr oedd hon yn ddyfais gywrain o eiddo Michal i dwyllo y cenadau, ac i arafu eu hymchwiliad, fel y gallai Dafydd gael mwy o amser i ddianc rhag ei erlidwyr.

Adn. 14. *A phan anfonodd Saul*] Genadau ereill yn y bore i ddala Dafydd, ar ol clywed gan y lleill nad aethai efe allan o'i dŷ; *hi a*

i ddala Dafydd, hi a ddywedodd, *Y mae* efe yn glâf.

15 A Saul a anfonodd *eilwaith* genadau i edrych Dafydd, gan ddywedyd, Dygwch ef i fyny ataf fi yn ei wely, fel y lladdwyf ef.

16 A phan ddaeth y cenadau, wele y ddelw ar y gwely, a chlustog o *flew* geifr yn obenydd iddi.

17 A dywedodd Saul wrth Michal, Paham y twyllaist fi fel hyn, ac y gollyngaist fy ngelyn i ddianc? A Michal a ddywedodd wrth Saul, Efe a ddywedodd wrthyf, Gollwng fi; onidê, mi a'th laddaf di.

18 ¶ Felly Dafydd a ffôdd, ac a ddiangodd, ac a ddaeth at Samuel i Ramah; ac a fynegodd iddo yr hyn oll a wnaethai Saul iddo ef. Ac efe a aeth at Samuel, a hwy a drigasant yn Naioth.

19 A mynegwyd i Saul, gan ddywedyd, Wele, *y mae* Dafydd yn Naioth o fewn Ramah.

20 A Saul a anfonodd genadau i ddala Dafydd. A phan welsant gynulleidfa y proffwydi yn proffwydo, a Samuel yn sefyll wedi ei osod arnynt hwy, yr oedd ar genadau Saul Ysbryd Duw, fel y proffwydasant hwythau hefyd.

21 A phan fynegwyd *hyn* i Saul, efe a anfonodd genadau ereill; a hwythau hefyd a broffwydasant. A thrachefn danfonodd Saul genadau y drydedd waith; a phroffwydasant hwythau hefyd.

22 Yna yntau hefyd a aeth i Ramah; ac a ddaeth hyd y ffynnon fawr *sydd* yn Sechu: ac efe a ofynodd, ac a ddywedodd, Pa le *y mae* Samuel a Dafydd? Ac *un* a ddywedodd, Wele, *y maent* yn Naioth o fewn Ramah.

23 Ac efe a aeth yno i Naioth yn

---

*ddywedodd, Y mae efe yn glaf*—darfu i'w serch at Dafydd, a'i hofn am ei einioes ef, ei thueddu i ddywedyd celwydd noeth, yn yr hyn nid ydys i'w chyfiawnhau na'i hefelychu.

Adn. 15. *A Saul a anfonodd eilwaith genadau i edrych Dafydd*] Ni fynai Saul i'r cenadau hyn gymeryd gair Michal fel y gwnaeth y lleill, ond mynu ei *weled* ef eu hunain, a'i ddwyn i fyny ato ef yn ei wely, fel y gallai efe ei ladd ef â'i ddwylaw ei hun; yr hyn a allai ei wneyd yn hawdd, os oedd Dafydd yn rhy glaf i godi.

Adn. 16. *A phan ddaeth y cenadau*] I'r ystafell, a throi o honynt ddillad y gwely o'r neilldu; *wele y ddelw ar y gwely*—fel y nodwyd adn. 13, a Dafydd ei hun wedi ffoi ymaith yn ddiogel er canol y nos o'r blaen.

Adn. 17. *A dywedodd Saul wrth Michal*] Ar ol i'r cenadau diweddaf fynegu i Saul yr hyn a welsent yn ngwely Dafydd, efe a aeth ei hun i dŷ ei ferch, neu ynte galwodd am dani hi ato ef i'r llys. *Paham y twyllaist fi fel hyn*—trwy osod delw yn y gwely, a dywedyd mai Dafydd oedd yno yn glaf, pan yr oeddit ti dy hunan wedi ei ollwng ef i ddianc? *A Michal a ddywedodd wrth Saul*—i'w hamddiffyn ei hun am y twyll a wnaethai â'i thad. *Gollwng fi, onidê mi a'th laddaf di*—yr oedd hyn yn anwiredd hollol, ac yn tueddu yn fawr i niweidio cymeriad Dafydd. Nid oedd ef wedi bygwth lladd neb, yn enwedig lladd ei anwyl wraig. Ond yr oedd ar Michal, druan, ofn cynhyrfu ei thad ei hun i'w lladd hi, os cyfaddefai hi y gwir wrtho.

Adn. 18. *Felly Dafydd a ffôdd—at Samuel i Ramah*] I gael rhyw addysg a chysur ganddo ef yn ei gyfyngder, a rhan yn ei weddiau; a thybiai hefyd y byddai ar Saul gywilydd cyflawni ei fwriadau gwaedlyd yn ngwyddfod gŵr mor hybarch a Samuel. *A hwy a drigasant yn Naioth*—yn ddedwydd a chariadus gyda'u gilydd.

Adn. 19. *A mynegwyd i Saul*] Gan ryw yspïwyr ag oeddynt wedi myned ar hyd y wlad i chwilio am dano. *Wele, y mae Dafydd yn Naioth o fewn Ramah*—Ramah ydoedd enw bryn neu fynydd, ar ba un yr oedd dinas o'r un enw yn sefyll; a *Naioth* ydoedd 'ysgol y proffwydi' yn neu gerllaw Ramah, lle yr oedd Samuel yn brif athraw. Yr oedd y gyfraith Iuddewig yn cael ei hefrydu yma, ac yr oedd yn mhob ystyr yn goleg crefyddol.

Adn. 20. *A Saul a anfonodd genadau i ddala Dafydd*] Heb un parch ganddo i grefyddoldeb y lle, na phresenoldeb Samuel. *A phan welsant gynulleidfa y proffwydi yn proffwydo*—yn rhwym mewn ymarferiadau crefyddol, megys canu mawl i Dduw, gweddio arno, &c.; *a Samuel yn sefyll wedi ei osod arnynt hwy*—i'w haddysgu a'u cyfarwyddo yn yr ymarferiadau hyny; *yr oedd ar genadau Saul Ysbryd Duw*—cyfranogasant hwythau o'r un dylanwad, ac ymunasant yn yr un gwaith, ac felly attaliwyd hwynt rhag ymaflyd yn Dafydd.

Adn. 21. *A phan fynegwyd hyn i Saul*] Fod ei genadau ef, yn lle dala Dafydd, wedi troi i broffwydo yn Naioth; *efe a anfonodd genadau ereill*—y rhai a dybiai efe yn fwy cymhwys i'r gorchwyl na'r rhai cyntaf; *a hwythau hefyd a broffwydasant*—yn lle dala Dafydd, daliwyd hwy eu hunain, yn gystal a'r trydydd cwmni o genadau, gan ddylanwad Ysbryd Duw; trwy yr hyn y gosododd efe anrhydedd ar feibion ac ysgol y proffwydi, ac y danghosodd ei awdurdod ar ysbrydoedd dynion.

Adn. 22. *Yna yntau hefyd a aeth i Ramah*] Ar ol i Saul gael ei siomi yn ei genadau, efe a benderfynodd fyned i Ramah ei hun, fel y gallai dywallt ei gynddeiriogrwydd ar Dafydd, os nid ar Samuel hefyd am ei lochesu ef; *ac a ddaeth hyd y ffynnon fawr sydd yn Sechu*—ond odid ar riw y ddinas, pen. ix. 11.

Adn. 23. *Ac arno yntau hefyd y daeth Ysbryd Duw*] Daeth arno ef ar y ffordd, tra na ddaethai ar ei genadau nes iddynt gyraedd i Naioth: ac yn hyn mynai Duw argyhoeddi

Ramah. Ac arno yntau hefyd y
daeth Ysbryd Duw; a chan fyned yr
aeth ac y proffwydodd, nes ei ddyfod
i Naioth yn Ramah.
24 Ac efe a ddyosgodd ei ddillad,
ac a broffwydodd hefyd gerbron
Samuel; ac a syrthiodd i lawr yn
noeth yr holl ddiwrnod hwnw, a'r
holl nos. Am hyny y dywedent,
*A ydyw* Saul hefyd yn mysg y
proffwydi?

## PENNOD XX.

A DAFYDD a ffôdd o Naioth yn
Ramah; ac a ddaeth, ac a ddy-
wedodd gerbron Jonathan, Beth a
wnaethum i? beth *yw* fy anwiredd?
a pheth *yw* fy mhechod o flaen dy
dad di, gan ei fod ef yn ceisio fy
einioes i?
2 Ac efe a ddywedodd wrtho, Na
ato Duw; ni byddi farw: wele, ni
wna fy nhad ddim, na mawr na
bychan, heb *ei* fynegi i mi: paham
gan hyny y celai fy nhad y peth hyn
oddiwrthyf fi? Nid *felly y mae.*
3 A Dafydd a dyngodd eilwaith,
ac a ddywedodd, Dy dad a ŵyr yn
hysbys i mi gael ffafr yn dy olwg
di; am hyny y dywed, Na chaed
Jonathan wybod hyn, rhag ei dristâu
ef: cyn wired *a* bod yr Arglwydd
yn fyw, a'th enaid dithau yn fyw,
*nid oes* ond megis cam rhyngof fi ac
angau.
4 Yna y dywedodd Jonathan wrth

---

Saul o ynfydrwydd ei fwriadau yn erbyn Dafydd, a'i fod ynddynt hwy yn ymladd yn erbyn Duw ei hun. *Proffwydodd nes ei ddyfod i Naioth*—ac hefyd ar ol cyraedd yno, fel y mae yn amlwg oddiwrth yr adnod nesaf; hyny yw, dechreuodd ganu, moliannu, a neidio, yr un modd a'r lleill. Fel hyn gofalodd Duw am ei ddiarfogi ef mewn pryd, fel nad allai wneyd dim niwed i Dafydd pan ddeuai i'r lle.

Adn. 24. *Ac efe a ddyosgodd ei ddillad*] Sef ei ddillad brenhinol, yr hyn, yn ddiarwybod iddo ef, a arwyddai symudiad y frenhiniaeth oddiwrtho; *ac a broffwydodd hefyd gerbron Samuel*—megys y gwnaethai ar hyd y ffordd ato ef. Nid yw hyn yn annghyson â pen. xv. 35, lle y dywedir 'nad ymwelodd Samuel mwyach â Saul hyd ddydd ei farwolaeth;' canys Saul a ymwelodd â Samuel yma, ac nid Samuel â Saul. *Ac a syrthiodd i lawr yn noeth*—mewn rhyw fath ar bêr-lewyg, heb ei wisg frenhinol am dano, na'i arfau milwrol, na dim ond ei *hyke* neu ei grys; *yr holl ddiwrnod hwnw a'r holl nos*—fel hyn yr oedd Duw yn ei gadw ef megys mewn cadwynau, nes i Dafydd gael digon o amser i ffoi o'i gyraedd, yr hyn a wnaeth efe, pen. xx. 1. *A ydyw Saul hefyd yn mysg y proffwydi?*—y mae yr un ddiareb ag a ddefnyddiwyd o'r blaen, pen. x. 11, 12, yn cael ei hadrodd yma drachefn. Yr oedd yn rhyfedd gweled Saul yn mysg y proffwydi y pryd hyny, ond y mae yn llawer rhyfeddach yn awr, ar ol ei holl elyniaeth i Dafydd, ac wedi iddo ddigio Samuel a Duw. Ond gwnaeth Duw Saul yn rhyw fath ar *broffwyd*, fel y gallai wneyd Dafydd yn *deyrn.*

PEN. XX. Adn. 1. *A Dafydd a ffôdd o Naioth*] Tra yr oedd Saul mewn math ar gyffrawd pêr-lewygol yn Naioth, rhedodd Dafydd at Jonathan i Gibeah, yr hwn oedd yno yn y llys. *Beth a wnaethym i?*—fel pe dywedasai, A fedri di ddywedyd pa beth a wnaethym i ddigio dy dad mor fawr, pan y mae efe o hyd yn ceisio fy lladd i?

Adn. 2. *Na ato Duw; ni byddi farw*] Nid yw fy nhad yn meddwl dy ladd di. Tybiai Jonathan nad allai fod gan ei dad un bwriad drwg yn erbyn Dafydd, o herwydd y llw a dyngasai efe wrtho ef ei hun, pen. xix. 6; ac na wnai efe, modd bynag, ddim niwed i Dafydd heb yn gyntaf fynegu i Jonathan. *Paham gan hyny y celai fy nhad y peth hyn oddiwrthyf fi?*—y mae atebiad Dafydd yn yr adnod nesaf yn ddigon o reswm paham. *Nid felly y mae*—ymddengys oddiyma na wyddai Jonathan ddim am waith Saul yn taflu y waewffon ato, adn. 10, nac am y gwylwyr oddeutu tŷ Dafydd, adn. 11—14, nac am y cenadau a anfonasai efe i Naioth, adn. 20, 21.

Adn. 3. *A Dafydd a dyngodd*] I gadarnhau i Jonathan wirionedd y peth, fod ei dad yn penderfynu ei ladd ef. Yr oedd yr achos yn ddigon pwysig iddo ef dyngu o'i herwydd; ac nid ewyllysiai Dafydd gyhuddo Saul wrth ei fab, ond ar y sail gadarnaf. *Dy dad a ŵyr yn hysbys i mi gael ffafr yn dy olwg di*—ein bod ni ill dau yn gyfeillion gwirioneddol. Os na wyddai Saul am y cyfammod a wnaed rhyngddynt, pen. xviii. 3; eto efe a wyddai eu bod yn gyfeillion oddiwrth yr hyn a glywsai ei dad ganddo, pen. xix. 4, 5. *Am hyny y dywed*—dyma y rheswm paham y celodd dy dad ei fwriad gwaedlyd oddiwrthyt ti, sef am ein bod ni yn gyfeillion. *Na chaed Jonathan wybod hyn, rhag ei dristâu ef*—y fath olygiad haelionus a boneddigaidd a ddyry Dafydd yma ar ymddygiad Saul tuag at Jonathan ei fab! Ni ddywed efe mai creulondeb ac annghyfiawnder y weithred, neu frad a dichell ei dad, a barai i Saul ei chelu oddiwrth Jonathan; eithr ei *gariad tyner* ef at ei fab, 'rhag ei dristâu ef!' *Cyn wired a bod yr Arglwydd yn fyw, a'th enaid dithau yn fyw*—dyma eiriau y llw, neu y 'tyngu' a grybwyllir yn nechre yr adnod; *nid oes ond megys cam rhyngof fi ac angau!*—y mae angau yn fy ymyl, a'm heinioes yn y perygl mwyaf. Nid oedd ond un cam rhyngddo ac angau pan darawodd Saul y waewffon yn y pared; na dim ond *trwch y mur* rhyngddo a marwolaeth pryd yr oedd y lleiddiaid o amgylch ei dŷ, pen. xix. 10, 11; ac ni wnaeth efe ond prin ddianc rhag Saul ei hun yn Naioth, heb son am y cenadau ereill a ddaethent yno i'w ddala ef.

Adn. 4. *Yna y dywedodd Jonathan*] Gan

Dafydd, Dywed beth *yw* dy ewyllys,
a mi a'*i* cwblhaf i ti.
5 A Dafydd a ddywedodd wrth
Jonathan, Wele, *y dydd cyntaf o*'r
mis *yw* y fory, a minau gan eistedd
a ddylwn eistedd gyda'r brenin i
fwyta: ond gollwng fi, fel yr ym-
guddiwyf yn y maes hyd brydnawn
y trydydd *dydd.*
6 Os dy dad a ymofyn yn fanwl
am danaf; yna dywed, Dafydd gan
ofyn a ofynodd *genad* genyf fi, i
redeg i Bethlehem, ei ddinas ei hun:
canys aberth blynyddol *sydd* yno i'r
holl genedl.
7 Os fel hyn y dywed efe, Da;
heddwch *fydd* i'th was: ond os gan
ddigio y digia efe, gwybydd fod ei
fryd ef ar ddrwg.
8 Gwna gan hyny drugaredd â'th
was; canys i gyfammod yr Ar-
glwydd y dygaist dy was gyda thi:
ac od oes anwiredd ynof fi, lladd di
fi; canys i ba beth y dygi fi at dy
dad?
9 A dywedodd Jonathan, Na ato
Duw *hyny* i ti: canys, os gan wybod
y cawn wybod fod malais wedi ei
barotôi gan fy nhad i ddyfod i'th
erbyn, onis mynegwn i ti?
10 A Dafydd a ddywedodd wrth
Jonathan, Pwy a fynega i mi? neu
beth os dy dad a'th etyb yn arw?
11 ¶ A dywedodd Jonathan wrth
Dafydd, Tyred, ac awn i'r maes.
A hwy a aethant ill dau i'r maes.
12 A Jonathan a ddywedodd wrth
Dafydd, O Arglwydd Dduw Israel,
wedi i mi chwilio *meddwl* fy nhad,
yn nghylch y pryd *hwn* y fory, *neu*

gredu erbyn hyn fod bywyd Dafydd yn y perygl mwyaf. *Dywed beth yw dy ewyllys*—beth a fyni di i mi ei wneuthur mewn trefn i ddiogelu dy fywyd, neu droi llid fy nhad oddiwrthyt?

Adn. 5. *Wele, y dydd cyntaf o'r mis yw y fory*] Yr oedd misoedd yr Iuddewon yn dechreu gyda'r lloer newydd, ar ba ddiwrnod yr offryment aberthau neillduol, gan wledda arnynt: gwel Num. x. 10, a xxviii. 11—14. *A minau gan eistedd a ddylwn eistedd gyda'r brenin i fwyta*—yn ol yr arferiad gwastadol ar y dydd nodedig hwnw, trwy ei fod yn un o deulu y brenin, fel mab-yn-nghyfraith iddo. *Ond gollwng fi*—efe a ewyllysiai i Jonathan ei esgusodi ef y tro hwnw rhag dyfod i'r wledd frenhinol; canys ymddengys fod ganddo ef awdurdod i wneuthur hyny yn absenolbeb ei dad, yr hwn oedd eto heb ddychwelyd o Naioth. *Hyd brydnawn y trydydd dydd*—pan y byddai Jonathan wedi cael digon o amser i ddeall meddwl ei dad.

Adn. 6. *Dafydd gan ofyn a ofynodd genad genyf fi i redeg i Bethlehem*] Ei ddinas enedigol, lle yr oedd ei dad a'i frodyr o hyd yn byw, yr hon oedd yn sefyll oddeutu 13 o filldiroedd i'r deau o Gibeah. Y mae yn debygol fod Dafydd wedi cael gwahoddiad gan ei dad i fyned adref y tro hwn, i gyfranogi o'r wledd gyda'i frodyr; ac felly nad oedd efe yn rhoddi celwydd yn ngenau Jonathan. *Canys aberth blynyddol sydd yno i'r holl genedl*—Saes. 'i'r holl *deulu*,' sef teulu Dafydd a Jesse. Yr oedd yn arferiad gan aelodau teuluoedd duwiol gyfarfod â'u gilydd unwaith yn y flwyddyn, ar ryw ddydd arbenig fel hwn, i glodfori Duw am ei drugareddau neillduol iddynt oll trwy y flwyddyn: felly yr oedd y dydd hwn, yn nheulu Jesse, yn ŵyl flynyddol yn gystal ag yn ŵyl fisol.

Adn. 7. *Os fel hyn y dywed efe, Da*] Neu bob peth yn burion; *heddwch fydd i'th was*—bydd ei foddlonrwydd ef i mi fyned i ymweled â'm teulu yn arwydd fod llid Saul wedi darfod: *ond os gan ddigio y digia efe*—wrthyf fi am fyned, ac wrthyt tithau am fy ngollwng, bydd hyny yn arwydd sicr ei fod ef fyth yn meddwl fy lladd i.

Adn. 8. *Gwna gan hyny drugaredd â'th was*] Trwy osod y ddyfais hon mewn gweithrediad, a mynegu i mi dueddfryd Saul tuag ataf; *canys i gyfammod yr Arglwydd y dygaist dy was*—yr hwn a wnaed yn enw ac yn ofn yr Arglwydd, gan alw arno ef i fod yn dyst o'n cywirdeb ynddo, ac yn ddialydd ar y neb a'i torai, pen. xviii. 3. *Ac od oes anwiredd ynof fi*—os gweli fy mod i yn fradwr yn erbyn y llywodraeth neu einioes dy dad, yna lladd fi dy hun. *Canys i ba beth y dygi fi at dy dad*—i ddyoddef marwolaeth greulawn ganddo ef yn ei lidiogrwydd, heb iddo chwilio pa un a ydwyf yn euog ai peidio?

Adn. 9. *Na ato Duw hyny i ti*] I mi dy ladd fy hun, na'th ddwyn at fy nhad i'th ladd, na pheidio mynegu i ti falais fy nhad i'th erbyn, os cawn wybod am dano.

Adn. 10. *Pwy a fynega i mi?*] Hyny yw, pa fodd y cai Dafydd wybod pa un ai da ai drwg fyddai atebiad Saul, fel y nodwyd ar adn. 7? *Neu beth os dy dad a'th etyb yn arw?*—gan y byddai felly yn beryglus neu yn anmhosibl i Jonathan ddyfod ato ei hun, i bwy arall y gellid ymddiried y genadwri?

Adn. 11. *Tyred, ac awn i'r maes*] Fel y gallent ymddyddan yn llawnach ar y mater hwn, heb i weision Saul yn y llys allu eu clywed.

Adn. 12. *O Arglwydd Dduw Israel!*] Ymddengys mai math ar ddolef ddisymwth yw y geiriau hyn, nid anarferol dan gyffroad mawr, neu lle y byddo serch wedi ei aflonyddu yn sydyn. Y mae y ddolef hon, modd bynag, i'w hystyried fel apeliad at Dduw, yr hwn oedd yn sylwi arnynt, ac yn dyst rhyngddynt; ac y mae yn awgrymu y fath dynerwch a chywirdeb na welir ond anfynych hyd yn nod rhwng cyfeillion mynwesol. Fel pe dywedasai wrtho, gan godi ei olygon i'r nef, 'A fydd i mi, yr hwn wyf yn dy garu mor fawr, gael fy ystyried yn alluog i dori fy nhyfammod â thi!' *Wedi i mi chwilio meddwl fy nhad*—a deall ei dueddfryd ef gyda golwg arnat. Fel pe dywedasai, Os *daioni* fydd tuag atat, mi a'i

drennydd; ac wele, *os* daioni *fydd*
tuag at Dafydd, ac oni anfonaf yna
atat ti, a'i fynegi i ti;
13 Fel hyn y gwnel yr Arglwydd
i Jonathan, ac ychwaneg: os da
fydd gan fy nhad *wneuthur* drwg i
ti; yna y mynegaf i ti, ac a'th
ollyngaf ymaith, fel yr elech mewn
heddwch: a bydded yr Arglwydd
gyda thi, megys y bu gyda'm tad i.
14 Ac nid yn unig tra fyddwyf fi
byw, y gwnai drugaredd yr Argl-
wydd â mi, fel na byddwyf fi marw:
15 Ond *hefyd* na thor ymaith dy
drugaredd oddiwrth fy nhŷ i byth;
na chwaith pan ddistrywio yr Ar-
glwydd elynion Dafydd, bob un
oddiar wyneb y ddaear.
16 Felly *y cyfammododd* Jonathan
â thŷ Dafydd; ac *efe a ddywedodd,*
Gofyned yr Arglwydd *hyn* ar law
gelynion Dafydd.
17 A Jonathan a wnaeth i Dafydd
yntau dyngu, o herwydd efe a'i
carai ef: canys fel y carai ei enaid
ei hun, y carai efe ef.
18 A Jonathan a ddywedodd wrtho
ef, Y fory *yw y dydd cyntaf o'r* mis:
ac ymofynir am danat; o herwydd
fe fydd dy eisteddle yn wâg.
19 Ac wedi i ti aros dridiau, *yna*
tyred i waered yn fuan; a thyred i'r
lle yr ymguddiaist ynddo pan oedd
y peth *ar waith,* ac aros wrth faen
Ezel.
20 A mi a saethaf dair o saethau
tua'i ystlys *ef,* fel pes gollyngwn
*hwynt* at nôd.
21 Wele *hefyd,* mi a anfonaf lanc,
*gan ddywedyd,* Dos, cais y saethau.
Os gan ddywedyd y dywedaf wrth y
llanc, Wele, y saethau o'r tu yma i
ti, dwg hwynt; yna tyred di: canys
heddwch *sydd* i ti, ac nid *oes* dim

---

mynegaf i ti, fel y gallot fod yn dawel; os *drwg,* gollyngaf di ymaith, fel y gallot fod yn ddiogel, adn. 13. Fel hyn efe a'i gwaredai ef oddiwrth ddrwg, os ydoedd yn wirioneddol; ac oddiwrth ofn drwg, os nad oedd ond dychymygol.

Adn. 13. *Fel hyn y gwnel yr Arglwydd i Jonathan, ac ychwaneg*] Rhodded yr Arglwydd gosp drymach arnaf nag y gallaf ei hadrodd, os bydd i mi ymddwyn yn anffyddlon a bradychus i ti. *A bydded yr Arglwydd gyda thi*—i'th ddiogelu a'th lwyddo; *megys y bu gyda'm tad i*—gynt, er ei fod yn awr wedi cilio oddiwrtho. Ymddengys oddiyma y gwyddai Jonathan y pryd hyn fod yr Arglwydd wedi bwriadu y frenhiniaeth i Dafydd.

Adn. 14. *Ac nid yn unig tra fyddwyf fi byw*] Ar ol i Jonathan ei rwymo ei hun i fod yn ffyddlon i Dafydd, y mae efe yma yn rhwymo Dafydd i fod yn ffyddlon iddo yntau, os byddai efe byw pan godid Dafydd i'r orsedd. *Y gwnai drugaredd yr Arglwydd â mi*—sef y drugaredd gyfammodol, yr hon y cytunwyd arni yn enw yr Arglwydd, ac yn ei wyddfod ef. *Fel na byddwyf fi marw*—fel na laddot fi, fel yr arferai tywysogion o linell arall wneuthur â pherthynasau y linell flaenorol, oddiwrth ba rai y trosglwyddesid y frenhiniaeth iddynt hwy.

Adn. 15. *Ond hefyd na thor ymaith dy drugaredd oddiwrth fy nhŷ i byth*] Meddwl Jonathan yw, fod y cyfammod hwn i fod nid yn unig rhyngddynt hwy ill dau yn bersonol, ond hefyd rhwng Dafydd a hiliogaeth Jonathan ar ei ol ef.

Adn. 16. *Felly cyfammododd Jonathan â thŷ Dafydd*] Nid yn unig â Dafydd ei hun, eithr â'i dŷ ef hefyd; fel na fyddai i frodyr Dafydd, na'i had y rhai oeddynt eto yn ei lwynau ef, niweidio Jonathan na neb o'i hiliogaeth. Os personol oedd y cyfammod rhyngddynt o'r blaen, pen. xviii. 3, y mae yr adnewyddiad hwn o hono yn helaethach, ac yn cymeryd i mewn eu hiliogaeth hwy hefyd o'r ddau du. *Gofyned yr Arglwydd hyn ar law gelynion Dafydd*—sef ar law hiliogaeth Jonathan. Nid yw Jonathan yn son dim yma am i'r Arglwydd gospi ochr Dafydd, os byddai i Dafydd neu ei had dori y cyfammod hwn: yr oedd ef fel pe buasai yn ofni yn ŵylaidd i'r holl anffyddlondeb fod o'i du ei hun, ac nid o du Dafydd.

Adn. 17. *A Jonathan a wnaeth i Dafydd yntau dyngu*] Ar ol i Jonathan dyngu llw o ffyddlondeb i Dafydd a'i dŷ, y mae efe am i Dafydd dyngu llw o ffyddlondeb i Jonathan a'i dŷ, am fod yn angenrheidiol i *gyfammod* gael ei sicrhau gan y *ddwy* blaid. *O herwydd efe a'i carai ef*—felly nid *ofni* Dafydd yr oedd Jonathan wrth beri iddo dyngu; ond chwennychai fod y rhwymau cryfaf o gyfeillgarwch rhyngddo a dyn mor dda, o herwydd ei *gariad* dirfawr ato: gwel ar pen. xviii. 1, 3.

Adn. 18. *Y fory yw y dydd cyntaf o'r mis*] Saes. 'y fory yw y lloer newydd:' gwel ar adn. 5.

Adn. 19. *Ac wedi i ti aros dridiau*] Yn Bethlehem ond odid, adn. 6; *yna tyred i waered yn fuan*—fel y byddot yno mewn pryd i glywed yr arwydd o dda neu ddrwg, adn. 21, 22; *lle yr ymguddiaist ynddo pan oedd y peth ar waith*—sef yr un peth; hyny yw, pan yr oedd Jonathan yn eiriol dros Dafydd o'r blaen, neu yn ceisio cael allan feddwl Saul, pen. xix. 3. *Ac aros wrth faen Ezel*—lle ond odid yr oedd rhyw ogof neu ymguddfa.

Adn. 20. *A mi a saethaf dair o saethau tua'i ystlys ef*] Sef ystlys y maen Ezel, fel pe buasai yn ceisio saethu at nôd i ymgynefino â saethyddiaeth; ac felly ni chreai un drwgdybiaeth yn meddwl neb.

Adn. 21. *Wele hefyd mi a anfonaf lanc*] Cyn i mi saethu, i fod yno yn barod i godi y saethau. Ac yr oedd Jonathan i beri i'r saethau ddisgyn cyn cyraedd y bachgen, neu, trwy dynu ei fwa yn gryfach, i'w gyru hwynt

*niwed, fel mai* byw yw yr Arglwydd.
22 Ond os fel hyn y dywedaf wrth
y llanc, Wele y saethau o'r tuhwnt
i ti; dos ymaith: canys yr Arglwydd
a'th anfonodd ymaith.
23 Ac *am* y peth a leferais i, mi
a thi, wele yr Arglwydd *fyddo*
rhyngof fi a thi yn dragywydd.
24 ¶ Felly Dafydd a ymguddiodd
yn y maes. A phan ddaeth y dydd
cyntaf o'r mis, y brenin a eisteddodd
i fwyta bwyd.
25 A'r brenin a eisteddodd ar
ei eisteddfa, megys ar amseroedd
eraill; *sef* ar yr eisteddfa wrth y
pared: a Jonathan a gyfododd, ac
Abner a eisteddodd wrth ystlys
Saul; a lle Dafydd oedd wâg.
26 Ac nid ynganodd Saul ddim
y diwrnod hwnw: canys meddyl-
iodd *mai* damwain *oedd* hyn; nad
*oedd* efe lân, a'i *fod* yn aflan.
27 A bu dranoeth, yr ail *dydd*
o'r mis, fod lle Dafydd yn wâg. A
dywedodd Saul wrth Jonathan ei
fab, Paham na ddaeth mab Jesse
at y bwyd, na ddoe na heddyw?
28 A Jonathan a atebodd Saul,
Dafydd gan ofyn a ofynodd i mi *am*
*gael myned* hyd Bethlehem:
29 Ac efe a ddywedodd, Gollwng
fi, atolwg; o herwydd i'n tylwyth
ni *y mae* aberth yn y ddinas, a'm
brawd yntau a archodd i mi *fod*
*yno:* ac yn awr, o chefais ffafr yn
dy olwg, gâd i mi fyned, atolwg, fel
y gwelwyf fy mrodyr. O herwydd
hyn, ni ddaeth efe i fwrdd y brenin.
30 Yna y llidiodd digter Saul yn
erbyn Jonathan; ac efe a ddywed-
odd wrtho, *Ti* fab y gyndyn wrth-
nysig, oni wn i ti ddewis mab Jesse
yn waradwydd i ti, ac yn gywilydd
i noethder dy fam?

---

tuhwnt iddo, fel y byddai yr achos yn gofyn. *Os gan ddywedyd y dywedaf wrth y llanc, Wele y saethau o'r tu yma i ti*—wedi disgyn ar y ddaear cyn cyraedd ato; *yna tyred di*—allan o'th loches; canys bydd hyny yn arwydd sicr fod heddwch a diogelwch i ti oddiwrth Saul.

Adn. 22. *Ond os fel hyn y dywedaf wrth y llanc*] A thithau yn dy guddfa yn clywed; *Wele y saethau o'r tuhwnt i ti*—wedi eu gyru lawer yn mhellach na'r fan lle yr oedd efe yn eu dysgwyl; *dos ymaith*—mor fuan ag y medri o ffordd Saul; canys felly y trefna yr Arglwydd i ti wneuthur er achub dy fywyd. Yr oedd hon yn ddyfais wedi ei threfnu yn gall, rhag y byddai i Jonathan gael ei wylio mor gaeth fel na chai efe gyfleusdra i fynegu i Dafydd trwy air o'i enau; tra y gwyddai y gallai fyned allan gyda'r llanc i ymberffeithio mewn saethyddiaeth.

Adn. 23. *Wele yr Arglwydd fyddo rhyngof fi a thi yn dragywydd*] Yn dyst o'r cyfammod hwn, ac yn ddialydd ar bwy bynag o'n teuluoedd a'i torai o genhedlaeth i genhedlaeth.

Adn. 24. *Felly Dafydd a ymguddiodd yn y maes*] Ar yr amser gosodedig, sef prydnawn y trydydd dydd; oblegid y mae yn debyg iddo fyned i Bethlehem y prydnawn hwnw, cyn i Saul ddyfod adref o Naioth, adn. 6, 19. *A phan ddaeth y dydd cyntaf o'r mis*—yr hwn oedd tranoeth, adn. 5.

Adn. 25. *A'r brenin a eisteddodd ar ei eisteddfa—wrth y pared*] Yn mhen y bwrdd, gan feddiannu y lle mwyaf anrhydeddus fel brenin; *a Jonathan a gyfododd*—oddiwrth ystlys Saul, i roddi ei le i fyny i Abner, tywysog y filwriaeth; a gallwn feddwl fod yn dda ganddo fod encyd oddiwrth ei dad yn awr, rhag iddo gael cernod ganddo am ollwng Dafydd; *a lle Dafydd oedd wâg*—yr hyn a ganfyddid yn hawdd, trwy nad oedd ond pedwar o gwbl i fod wrth fwrdd y brenin, tra yr oedd amrai yn gwledda yn yr un ystafell, ond wrth fyrddau ereill ond odid.

Adn. 26. *Canys meddyliodd mai damwain oedd hyn*] Neu rywbeth wedi dygwydd i'w wneuthur ef yn aflan yn ngolwg y gyfraith seremonïol, ac felly yn anaddas i ddyfod i blith dynion am y diwrnod hwnw, ac yn enwedig i gyfranogi o'r aberth hedd, adn. 5.

Adn. 27. *A bu dranoeth*] Gan nas gellid gwybod yn sicr y pryd hyny pa amser yn gymhwys y newidiai y lleuad, cedwid weithiau ddau ddiwrnod o ŵyl a gwledd, fel, os byddai dyn yn aflan y dydd cyntaf, y cai efe ymlanhau erbyn yr ail ddydd. *Paham na ddaeth mab Jesse at y bwyd?*—wrth i Saul alw Dafydd yn fab Jesse, pryd yr oedd yn fab-yn-nghyfraith iddo ef ei hun, yr oedd yn dangos ei ddirmyg arno ef yn ngwydd pawb. *Na doe na heddyw*—yr oedd ef wedi meddwl mai ei aflendid a'i cadwasai yn ol ddoe; ond gan y gallasai ymlanhau erbyn yr hwyr, fel ag i fod yn lân dranoeth, efe a ryfeddai beth a allai fod yr achos o'i absenoldeb y ddau ddiwrnod.

Adn. 28. *Dafydd gan ofyn a ofynodd i mi*] Hyny yw, a ofynodd yn *daer*. Ymddengys fod gan Jonathan, trwy ei fod yn nesaf at y brenin, a bod Dafydd yn cyfeirio ato, allu i ganiatau ei gais: gwel ar adn. 6.

Adn. 29. *I'n tylwyth ni y mae aberth*] Yr aberthau hyn oeddynt *wleddawl*. Ar ol i'r anifel gael ei offrwm i Dduw, ac i'w waed gael ei dywallt ger ei fron ef, ymborthai y gwahoddedigion ar ei gig. *A'm brawd yntau a archodd i mi fod yno*—ond odid Eliab, ei frawd hynaf, yr hwn oedd âg awdurdod ganddo i wahodd.

Adn. 30. *Ti fab y gyndyn wrthnysig*] Heb. 'ti fab y gwrthryfel cyndyn.' *Yn waradwydd i ti*—trwy y bydd iddo ef fyned i'r frenhiniaeth yn dy le di. *Ac yn gywilydd i noethder dy fam*—trwy na cha hi yr anrhydedd o fod yn fam i frenin. Neu efe a awgrymai nas gallai y fath adyn dirywiedig fod yn fab iddo ef, ond y rhaid ei fod yn ffrwyth godineb ei fam, neu yn fab iddi o ddyn arall.

31 Canys tra fyddo mab Jesse yn fyw ar y ddaear, ni'th sicrheir di na'th deyrnas: yn awr gan hyny anfon, a chyrch ef ataf; canys marw a gaiff efe.

32 A Jonathan a atebodd Saul ei dad, ac a ddywedodd wrtho, Paham y bydd efe marw? beth a wnaeth efe?

33 A Saul a ergydiodd y waewffon ato ef, i'w daro ef. Wrth hyn y gwybu Jonathan *fod* ei dad ef wedi rhoi ei fryd ar ladd Dafydd.

34 Felly Jonathan a gyfododd oddiwrth y bwrdd mewn llid digllawn, ac ni fwytaodd fwyd yr ail dydd o'r mis: canys drwg oedd ganddo dros Dafydd, o herwydd i'w dad ei waradwyddo ef.

35 ¶ A'r bore yr aeth Jonathan i'r maes erbyn yr amser a osodasai efe i Dafydd, a bachgen bychan gydag ef.

36 Ac efe a ddywedodd wrth ei fachgen, Rhêd, cais yn awr y saethau yr ydwyf fi yn ei saethu. *A*'r bachgen a redodd: yntau a saethodd saeth y tuhwnt iddo ef.

37 A phan ddaeth y bachgen hyd y fan *yr oedd* y saeth a saethasai Jonathan, y llefodd Jonathan ar ol y bachgen, ac a ddywedodd, Onid *yw* y saeth o'r tuhwnt i ti?

38 A llefodd Jonathan ar ol y bachgen, Cyflyma, brysia, na saf. A bachgen Jonathan a gasglodd y saethau, ac a ddaeth at ei feistr.

39 A'r bachgen ni wyddai ddim: yn unig Jonathan a Dafydd a wyddent y peth.

40 A Jonathan a roddodd ei offer at ei fachgen, ac a ddywedodd wrtho, Dos, dwg *y rhai hyn* i'r ddinas.

41 ¶ *A*'r bachgen a aeth ymaith; a Dafydd a gyfododd oddiwrth y dehau, ac a syrthiodd i lawr ar ei wyneb, ac a ymgrymodd dair gwaith. A hwy a gusanasant bob un eu gilydd, ac a wylasant y naill wrth y llall; a Dafydd a ragorodd.

42 A dywedodd Jonathan wrth Dafydd, Dos mewn heddwch: yr hyn a dyngasom ni ein dau yn enw yr Arglwydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd fyddo rhyngof fi a thi, a

---

Adn. 31. *Ni'th sicrheir di na'th deyrnas*] Ni byddai Jonathan yn sicr o'r deyrnas, na'r deyrnas yn sicr iddo yntau.

Adn. 32. *Beth a wnaeth efe*] I haeddu marw? Heb sylwi dim ar y ddifriaeth a daflasai Saul ar Jonathan ei hun, efe a ewyllysiai amddiffyn diniweidrwydd Dafydd.

Adn. 33. *A Saul a ergydiodd waewffon ato ef*] Yr hon a gadwai wrth ei law i ladd Dafydd. Mor gyfnewidiol yw dyn! Fynyd yn ol, danghosai Saul bryder mawr am sicrhau y frenhiniaeth i Jonathan; yn awr efe a amcanai ei ladd ef â'i law ei hun! *Wrth hyn y gwybu Jonathan*—gan iddo gynyg ar ladd ei fab, efe a ddeallai ei fod yn benderfynol i ladd Dafydd.

Adn. 34. *Ac ni fwytaodd fwyd*] Yr oedd ei fynwes yn rhy lawn o lid at ei dad, a gofid yn achos Dafydd, fel nad oedd yn addas iddo gyfranogi o'r aberth pe gallasai. *O herwydd i'w dad ei waradwyddo ef*—trwy ei ddifrïo, a cheisio ei ladd, adn. 30, 33; neu waradwyddo Dafydd, trwy ei alw yn fab Jesse, adn. 27.

Adn. 35. *A'r bore yr aeth Jonathan i'r maes*] I gyflawni yr arwydd ag y penderfynwyd arno, adn. 20—22.

Adn. 36. *Yntau a saethodd saeth y tuhwnt iddo ef*] I arwyddo fod perygl i Dafydd oddiwrth Saul, adn. 22.

Adn. 37. *Llefodd Jonathan ar ol y bachgen*] Nid yn gymaint fel y clywai y bachgen, eithr fel y clywai Dafydd yn ei ymguddfa, adn. 19.

Adn. 38. *Cyflyma, brysia, na saf*] Er yr ymddanghosai fod y geiriau hyn yn cael eu llefaru wrth y bachgen, er hyny wrth Dafydd y lleferid hwy, i arwyddo mai trwy ffoi ar frys y gallai efe ddiogelu ei fywyd.

Adn. 39. *A'r bachgen ni wyddai ddim*] Am ddyben y saethu, na bod Dafydd yn y maes.

Adn. 40. *A Jonathan a roddodd ei offer*] Ei fwa a'i gawell saethau. *Dwg y rhai hyn i'r ddinas*—fel y gallai ef gael mynyd neu ddau i ymddyddan â Dafydd yn absenoldeb y llanc.

Adn. 41. *Ac a syrthiodd i lawr ar ei wyneb*] Ar ol iddo yn gyntaf ymgrymu i Jonathan dair gwaith, o barch iddo fel tywysog a chyfaill. *A hwy a gusanasant bob un eu gilydd*—yn brawf adnewyddol o'u gwir serch; *ac a ŵylasant*—wrth feddwl eu bod fel hyn yn ymadael â'u gilydd am byth, er dim a wyddent. *A Dafydd a ragorodd*—hyny yw, a dywalltodd fwy o ddagrau, ac a waeddai yn uwch. Fe allai ei fod yn ŵr o dymher dynerach, neu nwydau cryfach, na Jonathan. Ac heblaw ymadael â Jonathan, yr oedd Dafydd yn gorfod ymadael â'i wraig, ei berthynasau, a'i wlad; a'r hyn oedd yn fwyaf poenus o'r cwbl, yr oedd yn gorfod ymadael âg allorau ei Dduw, ac ordinhadau crefydd.

Adn. 42. *A dywedodd Jonathan*] Canys yr oedd tristwch Dafydd yn ormod iddo ef allu dywedyd gair. *Dos mewn heddwch*—dan nawdd a bendith Duw. *Yr hyn a dyngasom ni ein dau*—mynai Jonathan i Dafydd fod yn berffaith dawel ei feddwl am y cyfammod ag oedd rhyngddynt hwy, y cadwai efe hwnw o'i du ef yn gwbl ffyddlon a dihalog byth: gwel ar adn. 16—23, a xviii. 3. *Ac efe*—sef Dafydd, a aeth ymaith am ei fywyd i Nob, pen.

rhwng fy had i a'th had dithau, *safed hyny* yn dragywydd. Ac efe a gyfododd ac a aeth ymaith: a Jonathan a aeth i'r ddinas.

## PENNOD XXI.

YNA y daeth Dafydd i Nob at Ahimelech yr offeiriad. Ac Ahimelech a ddychrynodd wrth gyfarfod â Dafydd; ac a ddywedodd wrtho, Paham *yr ydwyt* ti yn unig, ac heb neb gyda thi?

2 A dywedodd Dafydd wrth Ahimelech yr offeiriad, Y brenin a orchymynodd i mi beth, ac a ddywedodd wrthyf, Na chaed neb wybod dim o'r peth *am* yr hwn y'th anfonais, ac y gorchymynais i ti: a'*r* gweision a gyfarwyddais i i'r lle a'r lle.

3 Ac yn awr beth sydd dan dy law? dod *i mi* bum *torth* yn fy llaw, neu y *peth* sydd i'w gael.

4 A'r offeiriad a atebodd Dafydd, ac a ddywedodd, Nid *oes* fara cyffredin dan fy llaw i; eithr y mae bara cysegredig: os y llanciau a ymgadwasant o'r lleiaf oddiwrth wragedd.

5 A Dafydd a atebodd yr offeiriad, ac a ddywedodd wrtho, Diau attal gwragedd oddiwrthym er's dau ddydd neu dri, er pan cychwynais i; llestri y llanciau *hefyd* ydynt santaidd, a'r *bara* sydd megys cyffredin, ïe, petai wedi ei gysegru heddyw yn y llestr.

6 Felly yr offeiriad a roddodd iddo ef *y bara* santaidd: canys nid oedd yno fara, ond y bara gosod, yr hwn a dynasid ymaith oddigerbron yr Arglwydd, i osod bara brwd yn y dydd y tynid ef ymaith.

7 Ac *yr oedd* yno y diwrnod hwnw un o weision Saul yn aros gerbron yr Arglwydd, a'i enw Doeg, o Edomiad, y penaf o'r bugeiliaid *oedd* gan Saul.

8 ¶ A dywedodd Dafydd wrth

---

xxi. 1; *a Jonathan a aeth i'r ddinas*—sef i Gibeah, at ei deulu ei hun.

PEN. XXI. Adn. 1. *Yna y daeth Dafydd i Nob*] Dinas offeiriadol yn llwyth Benjamin, oddeutu 15 milldir i'r gogledd-orllewin o Jerusalem. Ymddengys fod y tabernacl wedi cael ei symud yma; ac yma yr aeth Dafydd am ychydig seibiant a llonyddwch. *At Ahimelech yr offeiriad*—yr hwn oedd yr archoffeiriad. Yr oedd Ahimelech yn frawd i Ahiah, (a grybwyllwyd pen. xiv. 3, yr hwn oedd yn awr wedi marw,) ac yn ganlynydd iddo yn yr archoffeiriadaeth. *Ac Ahimelech a ddychrynodd*—trwy iddo feddwl fod rhywbeth o'i le, wrth iddo weled mab-yn-nghyfraith y brenin heb ei osgorddlu brenhinol gydag ef. *Paham yr ydwyt ti yn unig?*—ymddengys oddiwrth adn. 4, 5, a Marc ii. 25, 26, fod rhyw lanciau gyda Dafydd, y rhai ond odid a anfonasai Jonathan ar ei ol ef i weini iddo; eto yr oedd Dafydd wedi gadael y rhai hyn mewn lle o'r neilldu pan yr aeth at yr archoffeiriad gyntaf, fel y dywed efe adn. 2.

Adn. 2. *Y brenin a orchymynodd i mi beth*] Yr oedd hyn yn anwiredd noeth, yn cael ei ddywedyd oddiar ofn a newyn, ac arweiniodd i'r canlyniadau mwyaf dychrynllyd. Cymerai arno ei fod ar ryw neges ddirgel dros Saul, yr hwn nid oedd neb i'w wybod; ac i'r dyben i'w gyflawni yn gyfrinachol, dywedai iddo anfon ei weision o'r neilldu.

Adn. 3. *Beth sydd dan dy law?*] Pa fwyd sydd genyt a elli ei roddi i mi? *Dod i mi bum torth yn fy llaw*—i'w cymeryd gydag ef iddo ei hun, ac i'r gweision a adawsai yn y lle a'r lle. *Neu y peth sydd i'w gael*—os nad oedd ganddo bum torth, cymerai Dafydd lai na hyny, neu ryw ymborth arall yn niffyg bara.

Adn. 4. *Nid oes fara cyffredin*] Y fath ag ydoedd yn ymborth cyffredin i ddyn; *eithr y mae bara cysegredig*—sef y 'bara gosod,' adn. 6, Marc ii. 26, y rhai a elwir hefyd yn 'fara dangos,' Exod. xxv. 30. *Os y llanciau a ymgadwasant*—yr oedd yn angenrheidiol i bawb a fwytäent o'r bara cysegredig feddu yr un purdeb seremonïol ag a ofynid yn yr offeiriaid. O barch i Dafydd nid yw efe yn ei enwi ef, eithr cyfeiria yn unig at burdeb y llanciau.

Adn. 5. *Er's dau ddydd neu dri*] Cyhyd ag a ofynai y gyfraith, Exod. xix. 15; canys yr oeddynt wedi ymadael â'u cartref er's cyhyd a hyny. *Llestri y llanciau hefyd ydynt santaidd*—y mae eu *cyrff* yn ddeddfol lân: gwel ar 1 Thes. iv. 4. *A'r bara sydd megys cyffredin*—wedi iddo unwaith gael ei gymeryd oddiar y bwrdd, neu oddigerbron yr Arglwydd, gall yr offeiriad a'i deulu ei fwyta, pa mor ddiweddar bynag y pobwyd ef. Neu, fel y darllenir diwedd yr adnod hon ar ymyl y ddalen, 'yn enwedig gan fod heddyw fara arall wedi ei gysegru yn y llestri.' Hyny yw, gan fod bara newydd wedi neu yn nghylch cael ei osod ar y bwrdd y dydd hwnw, nid oedd yr hen fara dda i ddim ond i'w fwyta megys bara cyffredin. Ymddengys oddiwrth hyn mai y *sabboth* oedd y diwrnod hwnw: gwel Lef. xxiv. 8.

Adn. 6. *Felly yr offeiriad a roddodd iddo ef y bara santaidd*] At yr amgylchiad hwn y cyfeiria ein Harglwydd, Marc ii. 25, i'r dyben i ddangos nad yw troseddiad o'r ddeddf seremonïol yn bechadurus mewn achosion o wir angenrheidrwydd. I'r offeiriaid yn unig yr oedd bwyta y bara gosod yn gyfreithlon; ond yr oedd Dafydd a'i gymdeithion yn newynu, ac nis gellid cael bara arall ar y pryd, ac am hyny darfu iddo ef a'i gyfeillion fwyta o hono yn ddibechod.

Adn. 7. *Yn aros gerbron yr Arglwydd*] Yn y babell, naill ai am ei bod yn ddydd sab-

Ahimelech, Onid oes yma dan dy
law di waewffon, neu gleddyf? canys
ni ddygais fy nghleddyf na'm harfau
chwaith i'm llaw, o herwydd bod
gorchymyn y brenin ar ffrwst.
9 A dywedodd yr offeiriad, Cleddyf
Goliath y Philistiad, yr hwn a ledd-
aist ti yn nyffryn Elah; wele ef
wedi ei oblygu mewn brethyn o'r tu
ol i'r ephod: o chymeri hwnw i ti,
cymer; canys nid *oes* yma yr un
arall ond hwnw. A Dafydd a ddy-
wedodd, Nid *oes* o fath hwnw; dyro
ef i mi.
10 ¶ Dafydd hefyd a gyfododd,
ac a ffôdd y dydd hwnw rhag ofn
Saul, ac a aeth at Achis brenin Gath.
11 A gweision Achis a ddywedas-
ant wrtho ef, Onid hwn *yw* Dafydd
brenin y wlad? onid i hwn y canas-
ant yn y dawnsiau, gan ddywedyd,
Saul a laddodd ei filoedd, a Dafydd
ei fyrddiwn?
12 A Dafydd a osododd y geiriau
hyny yn ei galon, ac a ofnodd yn
ddirfawr rhag Achis brenin Gath.
13 Ac efe a newidiodd ei wedd yn
eu golwg hwynt; ac a gymerth arno
ynfydu rhwng eu dwylaw hwynt, ac
a gripiodd ddrysau y porth, ac a
ollyngodd ei boeryn i lawr ar ei farf.
14 Yna y dywedodd Achis wrth
ei weision, Wele, gwelwch y gŵr yn
gwallgofi; paham y dygasoch ef ataf
fi?
15 Ai eisiau ynfydion sydd arnaf

---

both, pryd nad allai deithio uwchlaw milldir, Act. i. 12; neu ynte i gyflawni rhyw adduned a wnaethai, neu i gael ei lanhau oddiwrth ryw halogrwydd a gawsai. *A'i enw Doeg*—Edomiad o genedl, ond nid wedi ei broselytio i'r grefydd Iuddewig.

Adn. 8. *O herwydd bod gorchymyn y brenin ar ffrwst*] Efe a gymerai arno mai yr achos paham y daethai oddicartref heb gleddyf nac un arf arall ganddo oedd, am nad oedd ganddo amser i fyned i'w dŷ i'w ceisio, trwy fod y brenin yn gwasgu arno i fyned ar ei neges ar ffrwst.

Adn 9. *Cleddyf Goliath y Philistiad*] Yr hwn a gedwid yn y babell yn goffadwriaeth o ddaioni Duw i Israel, pryd y rhoddodd efe y cawr yn llaw Dafydd, pen. xvii. 54. *Wele ef wedi ei oblygu mewn brethyn o'r tu ol i'r ephod*—sef tu ol i'r fan lle y cedwid y gwisgoedd offeiriadol. *Nid oes o fath hwnw*—ond odid o ran mantioli a harddwch, nac un wedi gwneyd y fath wrolwaith a hwnw; a byddai cofio pa beth a wnaethai Dafydd â hwnw yn foddion i gryfhau ei ffydd tra y byddai yn ei law.

Adn. 10. *Dafydd—a ffôdd y dydd hwnw rhag ofn Saul*] Rhag ofn y dychwelai Doeg i fynegu i Saul fod Dafydd yn Nob; *ac a aeth at Achis brenin Gath*—yr oedd Gath oddeutu 24 o filldiroedd i'r gorllewin o Nob; a hon oedd dinas Goliath yr hwn a laddasai efe, a chleddyf pa un ydoedd yn awr yn ei law. Dichon ei fod yn meddwl nad adwaenid ef yno; neu, gan fod Saul wedi troi yn elyn iddo, efe a dybiai y byddai i'r Philistiaid ei ystyried ef fel gelyn i Saul, ac felly ei dderbyn yn llawen.

Adn. 11. *Onid hwn yw Dafydd brenin y wlad?*] Tybia rhai mai gwlad y *Philistiaid* a olygir, a bod Saul wedi addaw y cai y neb a laddai Goliath fod yn frenin ar y Philistiaid. Ond y mae yn debycach mai gwlad *Canaan* a feddylir, a'u bod wedi clywed mai Dafydd oedd i fod yn frenin yno ar ol Saul. Gwyddai llyswyr Achis pa fath un oedd Dafydd; ac wrth weled eu brenin yn tueddu i'w dderbyn ef, mynent ei berswadio i'r gwrthwyneb, rhag ofn y troai Dafydd yn y diwedd yn fradwr iddynt oll. *Onid i hwn y canasant*—gwel ar pen. xviii. 7.

Adn. 12. *A Dafydd a osododd y geiriau hyny yn ei galon*] Wrth ddeall fod llyswyr Achis yn ei adnabod, ac yn gwybod am ei weithredoedd rhyfelgar ef, ac ond odid wedi canfod cleddyf Goliath yn ei feddiant, efe a ystyriodd ynddo ei hun pa beth a allai y canlyniad fod; *ac a ofnodd yn ddirfawr*—rhag y parai y brenin ei ladd ef, neu ei draddodi i ddwylaw Saul.

Adn. 13. *Ac efe a newidiodd ei wedd*] Gan fin-gamu a gwneyd ystumiau yn eu golwg hwynt; *ac a gymerth arno ynfydu*—trwy ymddwyn yn mhob peth fel dyn allan o'i synwyrau; *ac a gripiodd ddrysau y porth*—gan eu crafu â'i ewinedd fel pe buasai am ysgrifenu rhywbeth arnynt; *ac a ollyngodd ei boeryn i lawr ar ei farf*—gan falu ewyn a glyfoerio fel gwallgofddyn. Tybia rhai fod dychryn Dafydd wedi ei daflu ef i wallgofrwydd gwirioneddol, yn cael ei ddylyn â phangau o'r haint dygwydd *(epilepsy)*; tra y tybia ereill, fel y dywedir yn y testyn, mai 'cymeryd arno ynfydu' yr oedd efe, i'r dyben i allu dianc o'u dwylaw hwynt. Nid oedd ganddo obaith am ei fywyd fel dyn synwyrol; eithr fel gwallgofddyn gobeithiai allu dianc. Prin y gallwn feddwl fod dim yn bechadurus ar yr olwg yma yn ymddygiad Dafydd. Ei unig amcan oedd cadw ei einioes, heb un bwriad i niweidio ereill: ac y mae y ddwy Salm a gyfansoddodd efe ar yr achlysur, (sef y xxxiv a'r lvi,) yn dangos nad oedd efe mewn un modd yn ddiffygiol o ymddibyniad dyladwy ar Dduw ar y pryd.

Adn. 14. *Wele, gwelwch y gŵr yn gwallgofi*] Neu, yn ol y LXX, 'yn ddarostyngedig i'r haint dygwydd.' Efe a ddywedai hyn i'w hennill hwy i edrych arno fel gwrthddrych o dosturi, yn hytrach na'u digofaint, ac i'w esgusodi ei hun am beidio ei niweidio. *Paham y dygasoch ef ataf fi?*—nid oedd efe yn addas i unrhyw wasanaeth yn y llys nac yn y fyddin; ac nid oedd un rheswm i'w ladd fel gelyn, ac yntau yn ddyn gwallgofus.

Adn. 15. *Ai eisiau ynfydion sydd arnaf fi?*] Dywed yr Iuddewon fod gwraig a merch

fi, pan ddygasoch hwn i ynfydu
o'm blaen i? a gaiff hwn ddyfod
i'm tŷ i?

## PENNOD XXII.

A DAFYDD a aeth ymaith oddi
yno, ac a ddiangodd i ogof
Adulam: a phan glybu ei frodyr a
holl dŷ ei dad ef *hyny*, hwy a aeth-
ant i waered ato ef yno.
2 Ymgynullodd hefyd ato ef bob
gŵr helbulus, a phob gŵr *a oedd*
mewn dyled, a phob gŵr cystudd-
iedig o feddwl; ac efe a fu yn
dywysog arnynt hwy: ac yr oedd
gydag ef yn nghylch pedwar cant o
wŷr.
3 ¶ A Dafydd a aeth oddiyno i
Mispeh Moab; ac a ddywedodd wrth
frenin Moab, Deled, atolwg, fy nhad
a'm mam *i aros* gyda chwi, hyd oni
wypwyf beth a wnel Duw i mi.
4 Ac efe a'u dyg hwynt gerbron
brenin Moab: ac arosasant gydag
ef yr holl ddyddiau y bu Dafydd yn
yr amddiffynfa.
5 ¶ A Gad y proffwyd a ddywed-
odd wrth Dafydd, Nac aros yn yr
amddiffynfa; dos ymaith, a cherdda
rhagot i wlad Juda. Felly Dafydd
a ymadawodd, ac a ddaeth i goed
Hareth.
6 ¶ A phan glybu Saul gael
gwybodaeth am Dafydd, a'r gwŷr
*oedd* gydag ef (a Saul oedd yn aros
yn Gibeah dan bren yn Ramah, a'i

---

Achis yn wallgofus ar y pryd; ac felly yr oedd gan y brenin fwy na digon o'r cyfryw yn ei dŷ, heb gymeryd ychwaneg. Gan hyny efe a ollyngodd Dafydd ymaith heb wneyd dim niwed iddo.

PEN. XXII. Adn. 1. *A Dafydd a ddiangodd i ogof Adulam*] Yr hon oedd amddiffynfa gadarn yn llwyth Juda, 1 Cron. xi. 15. Gan ei bod yn llwyth Juda, a bod Dafydd yn perthyn i'r llwyth hwnw, dichon ei fod yn dysgwyl cyfarfod â rhyw gyfeillion yn y parthau hyny. Y mae yn debyg fod ar bawb yn Israel ofn derbyn Dafydd i'w tŷ, gan mor gynddeiriog yr oedd Saul yn ei erbyn; felly gorfu iddo ymguddio yn yr ogof hon am ryw yspaid; a meddylir mai yma y cyfansoddodd efe Salm cxlii. *A phan glybu ei frodyr a holl dŷ ei dad*—ei fod yn ymguddio yn yr ogof hono; *hwy a aethant i waered ato ef yno*—i'w gysuro a'i gynorthwyo hyd y gallent; neu ynte i ymguddio rhag llid Saul, yr hwn a fynai ddial ar ei deulu ef o achos Dafydd.

Adn. 2. *Ymgynullodd hefyd ato ef bob gŵr helbulus*] Rhai mewn amgylchiadau cyfyng trwy orthrwm neu groes-ragluniaethau; *a phob gŵr a oedd mewn dyled*—heb fodd i dalu, ac yn cael eu gwasgu yn galed gan eu gofynwyr; *a phob gŵr cystuddiedig o feddwl*—o herwydd llywodraeth orthrymus Saul, neu ryw amgylchiadau chwerwon ereill. Nid ymddengys fod y rhai hyn yn ddynion o egwyddor ddrwg ac anonest, yn ymuno â Dafydd i'r dyben i dwyllo eu gofynwyr, ac er mwyn yspeilio, fel y tybiodd rhai; eithr dynion oeddynt wedi eu darostwng i gyfyngder a thylodi yn nhrefn dwyfol ragluniaeth, yr hyn sydd yn cyfarfod yn fynych â'r dynion goraf, er mwyn eu profi, eu darostwng, a'u diwygio. Ond os nad oeddynt yn rhinweddol pan y daethant at Dafydd, y mae eu holl ymddygiad dylynol yn profi ddarfod eu gwneuthur felly trwy ddysgyblaeth, dylanwad, a siampl eu tywysog. *Ac efe a fu yn dywysog arnynt hwy*—neu yn flaenor milwraidd iddynt. Yn amddiffynol yn unig y gweithredent bob amser; a hwy a fuont yn geidwaid y wlad: ni oddefai Dafydd iddynt un amser ruthro yn erbyn neb ond gelynion Israel. Ymddengys fod ganddynt obaith y deuai Dafydd cyn hir i'r frenhiniaeth, ac felly y deuai daioni iddynt hwythau trwy ymlynu wrtho fel ei warchawdlu milwraidd.

Adn. 3. *Deled, atolwg, fy nhad a'm mam i aros gyda chwi*] Nis gallai Dafydd ymddiried ei rieni o fewn cyraedd i Saul, a gwelai y byddai yn annghyfleus iawn iddynt orfod myned trwy holl ludded a pheryglon teithiau milwraidd; ac am hyny ceisiai nodded iddynt gan frenin Moab, hyd oni wypai efe pa beth a wnelai Duw iddo, yn yr hwn yr oedd ei holl ymddiriad. Trwy fod brenin Moab mewn annghydfod â Saul, (pen. xiv. 47,) a bod Dafydd wedi hanu o Ruth y Foabëes, efe a obeithiai gael y ffafr hon oddiar ei law. Y mae gofal Dafydd am ei rieni oedranus yn deilwng o bob clod ac efelychiad.

Adn. 4. *Arosasant gydag ef yr holl ddyddiau y bu Dafydd yn yr amddiffynfa*] Neu mewn *amddiffynfeydd;* hyny yw, cyhyd ag y bu Dafydd yn gorfod myned o le i le, ac o amddiffynfa i amddiffynfa, i ymddiogelu. Ond dywed yr Iuddewon i frenin Moab ladd tad a mam Dafydd wedi hyn, a'i holl frodyr onid un, yr hwn a achubwyd gan Nahas yr Ammoniad; ac mai hyny yw y 'caredigrwydd' a briodola Dafydd i Nahas, 2 Sam. x. 2.

Adn. 5. *A Gad y proffwyd a ddywedodd wrth Dafydd*] Nid ydym yn darllen dim am y proffwyd hwn o'r blaen; a gall mai yn awr y codwyd ef gan Dduw i gynorthwyo a chyfarwyddo Dafydd. *Nac aros yn yr amddiffynfa*—yn Mispeh Moab, nac mewn un amddiffynfa arall; *dos ymaith, a cherdda rhagot i wlad Juda*—ni chai efe aros yn ngwlad Moab, rhag ei ddyeithro oddiwrth ei genedl, a rhag i'w ganlynwyr lithro i eilunaddoliaeth: rhaid iddo ddychwelyd i wlad Juda, i brofi a chwanegu ei ffydd ef, ac i fod o wasanaeth i'w wlad ei hun, ac yn barod i'r frenhiniaeth ar ol marwolaeth Saul. *Ac a ddaeth i goed Hareth*—sef coedwig yn llwyth Juda, lle ond odid yr oedd llawer o ogofau yn gystal a choed.

Adn. 6. *Dan bren yn Ramah*] Neu, fel ar ymyl y ddalen, 'dan lwyn mewn uchelfa;' *a'i waewffon yn ei law*—yn barod i'w amddiffyn ei hun, neu ymosod ar ei elyn; ac yn yr am-

waewffon yn ei law, a'i holl weision
yn sefyll o'i amgylch)
7 Yna Saul a ddywedodd wrth ei
weision oedd yn sefyll o'i amgylch,
Clywch, atolwg, feibion Jemini: A
ddyry mab Jesse i chwi oll faesydd,
a gwinllanoedd? *a* esyd efe chwi oll
yn dywysogion ar filoedd, ac yn dy-
wysogion ar ganoedd;
8 Gan i chwi oll gyd-fwriadu i'm
herbyn i, ac nad *oes* a fynego i mi
wneuthur o'm mab i gynghrair â
mab Jesse, ac nid *oes neb* o honoch
yn ddrwg ganddo o'm plegid i, nac
yn datguddio i mi ddarfod i'm mab
annog fy ngwas i gynllwyn i'm her-
byn, megys y dydd hwn?
9 ¶ Yna yr atebodd Doeg yr Ed-
omiad, (yr hwn oedd wedi ei osod
ar weision Saul) ac a ddywedodd,
Gwelais fab Jesse yn dyfod i Nob at
Ahimelech mab Ahitub.
10 Ac efe a ymgynghorodd drosto
â'r Arglwydd; ac a roddes fwyd
iddo ef: cleddyf Goliath y Philist-
iad a roddes efe *hefyd* iddo.
11 Yna yr anfonodd y brenin i
alw Ahimelech yr offeiriad, mab
Ahitub, a holl dŷ ei dad ef, *sef* yr
offeiriaid *oedd* yn Nob. A hwy a
ddaethant oll at y brenin.
12 A Saul a ddywedodd, Gwrando
yn awr, mab Ahitub. Dywedodd
yntau, Wele fi, fy arglwydd.
13 A dywedodd Saul wrtho ef,
Paham y cyd-fwriadasoch i'm her-
byn i, ti a mab Jesse, gan i ti roddi
iddo fara, a chleddyf, ac ymgyng-
hori â Duw drosto ef, fel y cyfodai
yn fy erbyn i gynllwyn, megys
heddyw?
14 Ac Ahimelech a atebodd y
brenin, ac a ddywedodd, Pwy yn
mysg dy holl weision di *sydd mor*

---

seroedd hyny arferai brenhinoedd gario gwaewffon yn eu llaw, yn arwydd o'u hawdurdod brenhinol, yn lle teyrnwialen. *A'i holl weision yn sefyll o'i amgylch*—sef ei wŷr llys, neu ei warchawdlu brenhinol.

Adn. 7. *Clywch, atolwg, feibion Jemini*] Neu *Benjamin*. Gan fod Saul ei hun o lwyth Benjamin, y mae yn debyg fod y rhan fwyaf o'i brif weision ef o'r un llwyth. *A ddyry mab Jesse i chwi oll faesydd a gwinllanoedd*—fel yr oedd ef wedi gwneyd, neu ar fedr gwneyd? *A esyd efe chwi oll yn dywysogion ar filoedd?*—nid oedd Dafydd ei hun eto ond tywysog ar o gylch pedwar cant, adn. 2; ac os deuai yn frenin, rhoddai rai o'i lwyth ei hun mewn swyddau uchel felly, ac nid rhai o lwyth Benjamin.

Adn. 8. *Gan i chwi oll gydfwriadu i'm herbyn*] I guddio amcanion Dafydd oddiwrthyf, os nid i'w gynorthwyo ynddynt. Gwelwn fel y mae efe yn llawn drwgdybiau, ac yn arferyd ystrywiau i ddadlenu pethau nad oeddynt yn bodoli! *Wneuthur o'm mab i gynghrair â mab Jesse*—efe a dybiai fod Jonathan wedi ymgynghreirio â Dafydd i fyned yn erbyn Saul, trwy eu bod mor gyfeillgar; a chyhuddai ei wŷr llys o wybodaeth o'r peth, ac o gelu y fradwriaeth oddiwrtho ef. Ond y gwir yw, na wyddent am ddim o'r fath; eithr gwyddent i Saul geisio lladd Dafydd yn ddiachos, a Jonathan ei fab hefyd.

Adn. 9. *Yr hwn oedd wedi ei osod ar weision Saul*] Sef ar ei fugeiliaid ef, pen. xxi. 7. *Gwelais fab Jesse*—ar ol clywed Saul yn galw Dafydd yn fab Jesse, y mae Doeg yn ei alw ef yr un modd, o ddirmyg ar Dafydd, ac i foddhau Saul.

Adn. 10. *Ac efe a ymgynghorodd drosto ef â'r Arglwydd*] Gan na chrybwyllwyd am hyn o'r blaen, pen. xxi. 1—9, tybia rhai mai celwydd Doeg oedd hyn; ac y mae Dafydd yn ei gyhuddo ef o gelwydd, Salm lii. 3, 4, a cxx. 2, 3. *Ac a roddes fwyd iddo ef*—sef y bara santaidd, yr hwn nid oedd rydd i neb fwyta o hono ond yr offeiriaid. *Cleddyf Goliath y Philistiad a roddes efe hefyd iddo*—yr hwn a gymerasai Dafydd oddiar Goliath i dori ei ben âg ef. Gwyddai Doeg yn burion mai o barch i Saul y rhoddodd Ahimelech y bara a'r cleddyf i Dafydd, yr hwn a gymerai arno ei fod wedi dyfod ar neges ato ef dros y brenin: ond mynai ef arddangos yr offeiriad fel yn cynorthwyo Dafydd mewn bradwriaeth yn erbyn Saul. Gan nad oedd yr offeiriad i ymgynghori â Duw dros neb llai na brenin, y mae yn amlwg mai amcan Doeg oedd cyhuddo Dafydd o honi ei hun yn frenin, ac Ahimelech o'i gydnabod ef yn frenin, ac felly ddangos fod y ddau mewn cynghrair i ddiorseddu Saul.

Adn. 11. *Yna yr anfonodd y brenin i alw Ahimelech*] I ateb drosto ei hun; *a holl dŷ ei dad ef*—sef yr offeiriaid o dŷ Eli, y rhai y bygythiasai Duw eu tori ymaith, pen. ii. 31; pa fygythiad, trwy gadwyn hynod o ddygwyddiadau, oedd yn awr yn nghylch cael ei gyflawni.

Adn. 12. *Gwrando yn awr, mab Ahitub*] Er ei fod fel archoffeiriad yn ail yn y deyrnas, neu yn nesaf at Saul ei hun; eto, o ddiystyrwch arno, a digofaint ato, galwai Saul ef 'mab Ahitub,' heb ei enw ei hun na'i swydd. *Wele fi, fy arglwydd*—fel hyn rhoddai ef anrhydedd dyledus i Saul, er na chawsai anrhydedd; a danghosai barodrwydd i wrando yn ddiofn, am fod ei gydwybod yn rhydd a dieuog, heb wybod iddo wneyd dim yn erbyn ei frenin na neb arall.

Adn. 13. *Paham y cydfwriadasoch i'm herbyn i, ti a mab Jesse?*] Cyhuddai Saul ef o ddim llai trosedd na gwrthryfel a theyrnfradwriaeth mewn undeb â Dafydd, yr hwn o ddirmyg a eilw efe yn fab Jesse eto, fel y galwasai efe Ahimelech yn fab Ahitub o'r blaen.

Adn. 14. *Pwy yn mysg dy holl weision di sydd mor ffyddlon a Dafydd?*] Ystyriai Ahimelech Dafydd fel *gwas* ffyddlon i Saul,

ffyddlon a Dafydd, ac yn ddaw i'r
brenin, ac yn myned wrth dy orch-
ymyn, ac yn anrhydeddus yn dy dŷ
di?
15 Ai y dydd *hwnw* y dechreuais
i ymgynghori â Duw drosto ef? na
ato Duw i mi. Na osoded y brenin
ddim yn erbyn ei was, *nac* yn erbyn
neb o dŷ fy nhad: canys ni wybu
dy was di ddim o hyn oll, *nac*
ychydig na llawer.
16 A dywedodd y brenin, Gan
farw y byddi farw, Ahimelech, tydi
a holl dŷ dy dad.
17 ¶ A'r brenin a ddywedodd wrth
y rhedegwyr oedd yn sefyll o'i am-
gylch ef, Trowch, a lleddwch offeir-
iaid yr Arglwydd; o herwydd bod
eu llaw hwynt hefyd gyda Dafydd,
ac o herwydd iddynt wybod ffoi o
hono ef, ac na fynegasant i mi. Ond
gweision y brenin nid estynent eu
llaw i ruthro ar offeiriaid yr Argl-
wydd.
18 A dywedodd y brenin wrth
Doeg, Tro di, a rhuthra ar yr offeir-
iaid. A Doeg yr Edomiad a drôdd,
ac a ruthrodd ar yr offeiriaid, ac a
laddodd y diwrnod hwnw bump a
phedwar ugain o wŷr yn dwyn ephod
lian.
19 Efe a darawodd hefyd Nob,

---

ac ar neges drosto ef pan y daeth i Nob; a hyny oedd un achos o'r parch a dalasai efe iddo. *Ac yn ddaw*—neu fab-yn-nghyfraith i'r brenin; ac felly tybiai ei fod, wrth anrhydeddu Dafydd, yn anrhydeddu Saul, a'r holl deulu brenhinol. *Ac yn myned wrth dy orchymyn*—hyny yw, yn arfer a myned; ac felly nis gallasai Ahimelech wybod nad felly yr oedd yn awr, yn enwedig gan i Dafydd ddywedyd felly wrtho, pen. xxi. 2. *Ac yn anrhydeddus yn dy dŷ di*—fel dy fab-yn-nghyfraith di a thywysog enwog; a pha fodd y gallai Ahimelech feddwl fod yn feius iddo yntau anrhydeddu gŵr felly?

Adn. 15. *Ai y dydd hwnw y dechreuais i ymgynghori â Duw drosto ef?*] Tybia Clarke ac ereill fod hyn yn addefiad ddarfod iddo ymgynghori â Duw dros Dafydd, er na chrybwyllir hyny yn yr hanes, pen. xxi; a'i fod wedi gwneyd yr un peth lawer gwaith o'r blaen, pan fyddai Dafydd yn myned i ryfel, neu ar ryw neges pwysig arall dros y brenin: eithr ar yr un pryd ni feddyliai fod dim niwed iddo wneuthur hyny y tro diweddaf mwy na'r troion o'r blaen. Ond, fel y sylwa Benson, nid yw y geiriau hyn yn cynwys o angenrheidrwydd fod Ahimelech wedi ymgynghori â Duw dros Dafydd. Y mae yn wir i Doeg ei gyhuddo ef o wneuthur hyny, adn. 10; ond gan na chrybwylla yr hanesydd santaidd am ddim o'r fath, y mae yn debyg mai ei gamgyhuddo ef yn faleisus yr ydoedd, i'r dyben i gynhyrfu llid y brenin yn fwy yn erbyn yr offeiriaid. Gellir cyfieithu geiriau Ahimelech yn ddigon naturiol, megys y sylwa Dr. Dodd, fel ag' i gynwys gwadiad hollol o'r cyhuddiad: 'A ddechreuais i y dydd hwnw ymgynghori â Duw drosto ef? *na ato Duw*—na wneuthym i, ac ni wnaf chwaith.' Gallwn feddwl hefyd, pe buasai i'r offeiriad ymgynghori â Duw yn yr achos, y datguddiesid iddo dwyll Dafydd, a'i annghydfod ef â Saul. *Na osoded y brenin ddim yn erbyn ei was, nac yn erbyn neb o dŷ fy nhad*—fel pe buasem ni wedi gwneyd rhywbeth i gynorthwyo Dafydd mewn gwrthryfel yn erbyn y brenin. *Canys ni wybu dy was di ddim o hyn oll*—nis gwyddai ef fod Dafydd wedi gwneyd dim i ddigio Saul, na chwaith ei fod yn ffoi rhagddo, llai o lawer ei fod yn gwrthryfela yn ei erbyn ef.

Adn. 16. *Gan farw y byddi farw*] Mewn atebiad llidiog i'r eglurhad gonest uchod, cyhoeddai Saul y ddedfryd farwol arno, heb ymgynghori â neb, na chymeryd amser i ystyried y peth yn ddyladwy. *Tydi a holl dŷ dy dad*—yr oedd hwn yn benderfyniad creulon ac annghyfiawn o du Saul; canys pa beth a wnaethai yr offeiriaid ereill i haeddu y fath gosp? Ond goddefodd Duw hyn i gyflawni ei farn fygythiol ei hun ar dŷ Eli, am anwiredd ei feibion. Eithr nid oedd hyny yn esgusodi dim ar Saul, nac yn lleihau ei bechod ef; canys cyflawni ei ddial annghyfiawn ei hun yr oedd efe.

Adn. 17. *Y rhedegwyr*] Y rhai a arferent redeg o'i flaen ef pan fyddai yn myned o le i le; ac a safent o'i amgylch ef yn awr, yn barod i redeg ar unrhyw neges. *Trowch, a lleddwch offeiriaid yr Arglwydd*—addefai Saul eu bod yn offeiriaid yr Arglwydd; eto ni chai eu swydd, eu diniweidrwydd, na'u Meistr mawr, ei attal ef rhag eu llofruddio! *O herwydd bod eu llaw hwynt gyda Dafydd*—cyhuddiad hollol ddisail oedd hyn, yn cael ei ddychymygu gan Saul ei hun; canys nis gellir meddwl y gwyddai yr offeiriaid hyn ddim am ffoad Dafydd, a llai o lawer ei fod yn gwrthryfela yn erbyn Saul. *Ond gweision y brenin nid estynent eu llaw*—ni oddefai eu cydwybod iddynt wneyd y fath weithred erchyll: gwell oedd ganddynt redeg y perygl o anufyddhau i'r brenin, a'r canlyniad o'i lid ef, na bod yn euog o'r fath bechod ysgeler.

Adn. 18. *A dywedodd y brenin wrth Doeg*] Sef y gau-dyst yn eu herbyn hwy, yr hwn ydoedd mor barod i gyflawni y weithred ag a ydoedd Saul i'w herchi hi. *A Doeg yr Edomiad a drôdd, ac a ruthrodd ar yr offeiriaid*—crybwyllir *gwlad* Doeg yma i sychu ymaith ystaen y gigyddiaeth erchyll hon oddiar genedl Israel; canys yr oedd gan yr Edomiaid elyniaeth reddfol yn erbyn yr Israeliaid oll, ac yn enwedig yn erbyn yr offeiriaid. *Ac a laddodd y diwrnod hwnw bump a phedwar ugain o wŷr*—y mae y LXX yn darllen 'tri chant a phump o wŷr,' a Josephus 'tri chant a phump a phedwar ugain.' Dichon fod yr 85 yn golygu rhif yr offeiriaid yn unig; a bod y 305 yn cynwys yr holl offeiriaid a'u teuluoedd; ac mai 385 oedd nifer holl drigolion Nob. *Yn dwyn*

dinas yr offeiriaid, â min y cleddyf, yn ŵr ac yn wraig, yn ddyn bach ac yn blentyn sugno, ac yn ŷch, ac yn asyn, ac yn oen, â min y cleddyf.

20 ¶ Ond un mab i Ahimelech mab Ahitub, a'i enw Abiathar, a ddiangodd ac a ffôdd ar ol Dafydd.

21 Ac Abiathar a fynegodd i Dafydd, ddarfod i Saul ladd offeiriaid yr Arglwydd.

22 A dywedodd Dafydd wrth Abiathar, Gwybûm y dydd hwnw, pan *oedd* Doeg yr Edomiad yno, gan fynegu y mynegai efe i Saul: myfi a fûm achlysur *marwolaeth* i holl dylwyth tŷ dy dad di.

23 Aros gyda mi; nac ofna: canys yr hwn sydd yn ceisio fy einioes i, sydd yn ceisio dy einioes dithau: ond gyda mi *y byddi* di gadwedig.

## PENNOD XXIII.

YNA y mynegasant i Dafydd, gan ddywedyd, Wele y Philistiaid yn ymladd yn erbyn Ceilah; ac y maent hwy yn anrheithio yr ysguboriau.

2 Am hyny y gofynodd Dafydd i'r Arglwydd, gan ddywedyd, A âf fi a tharo y Philistiaid hyn? A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Dafydd, Dos, a tharo y Philistiaid, ac achub Ceilah.

3 A gwŷr Dafydd a ddywedasant wrtho ef, Wele, ni yn ofnus yma yn Juda: pa faint mwy os awn i Ceilah, yn erbyn byddinoedd y Philistiaid?

4 Yna Dafydd eilwaith a ymgynghorodd â'r Arglwydd. A'r Arglwydd a'i hatebodd ef, ac a ddywed-

---

*ephod lian*—hyny yw, yn meddu hawl i weinyddu y swydd santaidd. Neu dichon eu bod wedi gwisgo eu dillad offeiriadol o barch i Saul wrth ymddangos ger ei fron.

Adn. 19. *Efe a darawodd hefyd Nob*] Gallwn feddwl fod rhyw ddynion creulon yn cynorthwyo Doeg yn hyn; eithr efe oedd y prif weithredydd, i'r hwn yr ymddiriedasai Saul y gyflafan erchyll. *Yn ŵr ac yn wraig, &c.*—yr oedd hyn yn gyflawniad o'r bygythiad yn erbyn tŷ Eli, hiliogaeth yr hwn oedd yr offeiriaid hyn: gwel pen. ii. 31—36, a iii. 12—14. Pan orchymynwyd i Saul daro yr Amaleciaid fel hyn, yr oedd ei galon ef y pryd hyny yn ddigon tyner i arbed Agag, yn nghyda'r goreuon o'i anifeiliaid, pen. xv. 3—9; ond yn awr yr oedd yn ddigon caled i ddystrywio yr oll o'i genedl ei hun yn Nob, a'u meddiannu hefyd.

Adn. 20. *Ond un mab i Ahimelech, &c.*] Pan aeth Ahimelech a'r offeiriaid ereill at Saul, y mae yn debyg iddo adael y mab hwn ar ol i ofalu am y cysegr; a chan iddo glywed ddarfod lladd ei dad a'r holl offeiriaid, efe a ddiangodd am ei fywyd at Dafydd, gan gymeryd ephod yr archoffeiriad ymaith gydag ef, pen. xxiii. 6, 9. Felly daeth Abiathar yn archoffeiriad yn lle ei dad, a pharhaodd yn y swydd hòno hyd amser Solomon.

Adn. 21. *Ac Abiathar a fynegodd i Dafydd*] Ond odid yn *Ceilah*, pen. xxiii. 6; neu yn nghoed *Hareth*, lle yr oedd ef a'i wŷr yn ymguddio, adn. 5.

Adn. 22. *Gwybûm y dydd hwnw*] Pan welodd efe Doeg yn Nob, yr oedd Dafydd yn dra sicr yn ei feddwl y byddai i'r Edomiad hwnw fynegu y peth i Saul, er mwyn ennill ffafr y brenin. *Myfi a fûm achlysur marwolaeth i holl dylwyth tŷ dy dad*—nid yn fwriadol, ond yn ddamweiniol, yr hyn oedd yn ofid mawr i'w feddwl ef.

Adn. 23. *Aros gyda mi: nac ofna*] Gwelai Dafydd fod Abiathar mewn ofn, er iddo ddianc; ac i gysuro ei feddwl, efe a'i hannogai i aros gydag ef, gan addaw iddo y gwnai efe yr un ymdrech i ddiogelu einioes Abiathar ag a wnai i ddiogelu ei einioes ei hun. *Gyda mi y byddi di gadwedig*—yr oedd Dafydd yn credu yn ddiysgog y gwaredai yr Arglwydd ei fywyd ef o law Saul, i'w osod yn frenin ar Israel, onidê na buasai yn peri ei eneinio ef; ac am hyny yr oedd yn gallu sicrhau i Abiathar y byddai yntau hefyd yn gadwedig trwy aros gydag ef. Fel hyn cafodd Dafydd bresenoldeb yr archoffeiriad gydag ef yn ei holl grwydriadau, yr hyn a fu yn gysur a lles mawr iddo.

PEN. XXIII. Adn. 1. *Wele y Philistiaid yn ymladd yn erbyn Ceilah*] Dinas gaerog yn llwyth Juda, yn agos i Eleutheropolis, ar y ffordd i Hebron. *Ac y maent hwy yn anrheithio yr ysguboriau*—y rhai oeddynt yn gyffredin yn y maes agored tu allan i'r dinasoedd, i'r dyben i gael gwynt i nithio. Ymddengys i'r Philistiaid gael eu gwroli i hyn wrth glywed fod Dafydd wedi gorfod ffoi o'i wlad, a bod Duw wedi cilio oddiwrth Saul.

Adn. 2. *Gofynodd Dafydd i'r Arglwydd*] Ond odid mewn gweddi, trwy nad oedd Abiathar yr archoffeiriad wedi dyfod â'r ephod eto ato ef, adn. 6; oddieithr y tybiwn, gyda Houbigant, y dylai adn. 6 gael ei darllen yn union ar ol adn. 1. *A âf fi a tharo y Philistiaid hyn?*—cawn yma siampl hynod o wladgarwch Dafydd, trwy na thròdd efe yn elyn i'w wlad pan ei halltudiwyd o honi. Buasai llawer un, yn nghyflwr Dafydd, yn ymuno â'r Philistiaid i ddial ar ei orthrymwyr; eithr nid oedd ef yn meddwl am ddim ond amddiffyn ei wlad a'i frodyr. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Dafydd, Dos*—trecha elynion Israel, ac achub y ddinas.

Adn. 3. *A gwŷr Dafydd*] Sef y 400 a ddaethent ato ef i Adulam, pen. xxii. 2. *Wele ni yn ofnus yma*—rhag Saul a'i fyddin; *pa faint mwy os awn i Ceilah*—lle y cawn y Philistiaid hefyd i'n herbyn?

Adn. 4. *Yna Dafydd eilwaith a ymgynghorodd â'r Arglwydd*] Nid er ei fwyn ei hun, eithr er mwyn ei wŷr, i symud ei ofnau hwy:

odd, Cyfod, dos i waered i Ceilah:
canys myfi a roddaf y Philistiaid yn
dy law di.
5 A Dafydd a'i wŷr a aethant i
Ceilah, ac a ymladdodd â'r Philist-
iaid; ac a ddyg eu gwartheg hwynt,
ac a'u tarawodd hwynt â lladdfa
fawr. Felly y gwaredodd Dafydd
drigolion Ceilah.
6 A bu, pan ffôdd Abiathar mab
Ahimelech at Dafydd i Ceilah,
ddwyn o hono ef ephod yn ei law.
7 ¶ A mynegwyd i Saul, ddyfod
Dafydd i Ceilah. A dywedodd Saul,
Duw a'i rhoddodd ef yn fy llaw i:
canys cauwyd arno ef pan ddaeth i
ddinas â phyrth ac â barau *iddi*.
8 A Saul a alwodd yr holl bobl
yn nghyd i ryfel, i fyned i waered i
Ceilah, i warchae ar Dafydd ac ar
ei wŷr.
9 ¶ A gwybu Dafydd fod Saul yn
bwriadu drwg i'w erbyn ef: ac efe
a ddywedodd wrth Abiathar yr off-
eiriad, Dwg yr ephod.
10 Yna y dywedodd Dafydd, O
Arglwydd Dduw Israel, gan glywed
y clybu dy was, fod Saul yn ceisio
dyfod i Ceilah, i ddistrywio y ddi-
nas er fy mwyn i.
11 A ddyry arglwyddi Ceilah fi
yn ei law ef? a ddaw Saul i waered,
megys y clybu dy was? O Arglwydd
Dduw Israel, mynega, atolwg, i'th
was. A'r Arglwydd a ddywedodd,
Efe a ddaw i waered.
12 Yna y dywedodd Dafydd, A
ddyry arglwyddi Ceilah fyfi a'm
gwŷr yn llaw Saul? A'r Arglwydd
a ddywedodd, Rhoddant.
13 ¶ Yna y cyfododd Dafydd a'i
wŷr, *y rhai oedd* yn nghylch chwe
chant, ac a aethant o Ceilah, ac a
rodiasant lle y gallent. A myneg-
wyd i Saul, fod Dafydd wedi dianc
o Ceilah; ac efe a beidiodd a myned
allan.
14 A Dafydd a arhosodd yn yr an-
ialwch mewn amddiffynfeydd, ac a
arhôdd mewn mynydd, yn anialwch

---

a chafodd addewid bendant y rhoddid y Philistiaid yn ei law ef.

Adn. 5. *A Dafydd a'i wŷr a aethant i Ceilah*] Wedi eu gwroli gan orchymyn ac addewid Duw; *ac a ddyg eu gwartheg hwy*—y rhai a ddygasai y Philistiaid gyda hwy yn ymborth i'r fyddin, neu a yspeiliasent oddiar Israel yn nghymydogaeth Ceilah; *ac a'u tarawodd hwynt â lladdfa fawr*—er eu bod yn llawer lluosocach na gwŷr Dafydd, trwy fod Duw yn eu rhoddi yn ysglyfaeth iddynt.

Adn. 6. *A bu pan ffôdd Abiathar*] Gwel ar pen. xxii. 20; *at Dafydd i Ceilah*—gwel ar pen. xxii. 21; *ddwyn o hono ef ephod yn ei law*—sef ephod yr archoffeiriaid, ar yr hon yr oedd y ddwyfroneg, a'r Urim a'r Thummim, trwy y rhai y gallai efe ymgynghori â'r Arglwydd.

Adn. 7. *Duw a'i rhoddodd ef yn fy llaw i*] Tra yr oedd Dafydd yn crwydro o le i le, nid oedd gan Saul nemawr o fantais i'w ddal ef; ond yn awr, ar ol ei gau mewn dinas gaerog, tybiai nad oedd modd iddo ddianc rhagddo: a meddyliai fod Duw wedi rhoddi buddugoliaeth i Dafydd ar y Philistiaid, i'r dyben i'w draddodi ef i law ei elyn.

Adn. 8. *I warchae ar Dafydd ac ar ei wŷr*] Hyny oedd ei wir ddyben ef; er y meddylir iddo ffuantu myned i ryfel yn erbyn y *Philistiaid* yno, y rhai oeddynt wedi bod yn gwarchae ar Ceilah yn ddiweddar, i'r dyben i wneyd ei bobl yn fwy ewyllysgar i fyned allan.

Adn. 9. *Dwg yr ephod*] Fel y gallai ymofyn â Duw dros Dafydd yn yr achos hwn.

Adn. 10. *Yna y dywedodd Dafydd*] Trwy gyfrwng Abiathar yr archoffeiriad; *O Arglwydd Dduw Israel*—y JEHOFA mawr, Duw mewn cyfammod âg Israel.

Adn. 11. *Efe a ddaw i waered*] Os arhosi di yn Ceilah: ond gan nad arhosodd, ni ddaeth y peth i ben.

Adn. 12. *A ddyry arglwyddi Ceilah*] Sef prif swyddogion a phenaethiaid y ddinas, *fyfi a'm gwŷr yn llaw Saul*—os daw ef a'i fyddin yno? *Rhoddant*—hwy a droant yn fradwyr i ti os arhosi yno. Ymddygiad anngharedig iawn yn arglwyddi Ceilah fuasai rhoddi Dafydd a'i wŷr i fyny i ddwylaw Saul, a hwythau wedi gwaredu eu dinas hwy mor ddiweddar; eto buasent yn sicr o wneuthur hyny ped arosasent yno, am fod y difrod a wnaethai Saul yn Nob wedi creu arswyd ynddynt rhag Saul. Yn awr, fel y sylwa Clarke, er y dywedir yma yn bendant y deuai Saul i Ceilah, eto ni ddaeth efe, ac y byddai i wŷr Ceilah roddi Dafydd yn ei law ef, er hyny ni roddwyd ef. A phaham? Am i Dafydd a'i wŷr ffoi o Ceilah. Oni buasai iddynt ffoi, daethai Saul i waered, a thraddodesid Dafydd a'i wŷr i'w ddwylaw ef. Gallwn sylwi yma, pa mor bendant bynag y gallo unrhyw ddatganiad o eiddo Duw ymddangos a'r a fyddo yn cyfeirio at rywbeth lle y byddo dyn i fod ar waith, nad yw y rhagfynegiad yn cael ei fwriadu i ddiswyddo neu ddistrywio *rhyddorchwyliaeth*, ond ei fod bob amser yn cynwys ynddo *ammod* neillduol.

Adn. 13. *Yna y cyfododd Dafydd a'i wŷr*] Y rhai oeddynt yn awr wedi cynyddu ddau cant er pan fu Dafydd yn Adulam; pen. xxii. 2; *ac a aethant o Ceilah*—ar ol clywed gan yr Arglwydd pa beth a ddygwyddai iddynt os arhosent yno; *ac a rodiasant lle y gallent*—lle y tybient y byddent yn fwyaf diogel rhag Saul. *A mynegwyd i Saul*—cyn iddo gychwyn oddi cartref; *fod Dafydd wedi dianc*—a'i wŷr gydag ef; *ac efe a beidiodd â myned allan*—yn erbyn Ceilah, trwy na buasai hyny o un dyben mwyach.

Ziph: a Saul a'i ceisiodd ef bob dydd; ond ni roddodd Duw ef yn ei law ef.

15 A gwelodd Dafydd fod Saul wedi myned allan i geisio ei einioes ef: a Dafydd *oedd* yn anialwch Ziph, mewn coed.

16 A Jonathan mab Saul a gyfododd, ac a aeth at Dafydd i'r coed; ac a gryfhaodd ei law ef yn Nuw.

17 Dywedodd hefyd wrtho ef, Nac ofna: canys llaw Saul fy nhad ni'th gaiff di; a thi a deyrnesi ar Israel, a minau a fyddaf yn nesaf atat ti: a Saul fy nhad *sydd* yn gwybod hyn hefyd.

18 A hwy ill dau a wnaethant gyfammod gerbron yr Arglwydd. A Dafydd a arhosodd yn y coed; a Jonathan a aeth i'w dŷ ei hun.

19 Yna y daeth y Ziphiaid i fyny at Saul i Gibeah, gan ddywedyd, Onid yw Dafydd yn ymguddio gyda ni mewn amddiffynfeydd yn y coed, yn mryn Hachilah, yr hwn *sydd* o'r tu dehau i'r diffaethwch?

20 Ac yn awr, O frenin, tyred i waered yn ol holl ddymuniad dy galon; a *bydded* arnom ni ei roddi ef yn llaw y brenin.

21 A dywedodd Saul, Bendigedig *fyddoch* chwi gan yr Arglwydd: canys tosturiasoch wrthyf.

22 Ewch, atolwg, parotowch; *eto* mynwch wybod hefyd, ac edrychwch am ei gyniweirfa ef, lle y mae efe yn tramwy, *a* phwy a'i gwelodd ef yno: cans dywedwyd i mi, ei fod ef yn gyfrwys iawn.

23 Edrychwch, gan hyny, a mynwch wybod yr holl lochesau y mae efe yn ymguddio ynddynt, a dychwelwch ataf fi â sicrwydd, fel yr elwyf gyda chwi: ac os bydd efe yn y wlad, mi a chwiliaf am dano ef trwy holl filoedd Juda.

24 A hwy a gyfodasant, ac a aethant i Ziph o flaen Saul: ond Dafydd a'i wŷr *oedd* yn anialwch Maon, yn y rhos o'r tu deau i'r diffaethwch.

25 Saul hefyd a'i wŷr a aeth i'w geisio *ef*. A mynegwyd i Dafydd: am hyny efe a ddaeth i waered i graig, ac a arhosodd yn anialwch

---

Adn. 14. *A Dafydd a arhosodd yn yr anialwch*] Sef anialwch Ziph, yn agos i Maon a Carmel yn rhandir Juda, lle yr oedd mynyddau, creigiau, ac amddiffynfeydd cedyrn. *A Saul a'i ceisiodd ef bob dydd*—yn mhob man lle y tybiai y gallai ef fod; ond yn ofer, am fod yr Arglwydd yn ei ddiogelu.

Adn. 15. *A gwelodd Dafydd*] A'i lygaid ei hun oddiar ben y mynydd yn anialwch Ziph, neu hysbyswyd hyny iddo gan rai o'i wŷr a osodid fel yspiwyr. *Mewn coed*—tewfrig ar ben mynydd Hachilah, adn. 19.

Adn. 16. *A Jonathan mab Saul a gyfododd*] O Gibeah, *ac a aeth at Dafydd i'r coed*—yr hon oedd daith ddyrys o 26 o filldiroedd; *ac a gryfhaodd ei law ef yn Nuw*—trwy ymddyddan âg ef am addewidion, gallu, a ffyddlondeb Duw, yr hyn a dueddai i gryfhau ffydd a gobaith Dafydd yn yr Arglwydd, ac i'w wneyd yn fwy tawel a dyoddefgar yn ngwyneb ei adfydau.

Adn. 17. *A thi a deyrnesi ar Israel*] Yr hyn a wyddai Jonathan trwy i Samuel eneinio Dafydd, yr hyn a hysbyswyd iddo gan Samuel neu Dafydd ei hun. *A minau a fyddaf yn nesaf atat ti*—efe a gasglai hyn oddiwrth y cyfeillgarwch ag oedd rhyngddynt; a phe cawsai Jonathan fyw, y mae yn debyg mai efe a fuasai prif-weinidog Dafydd yn y deyrnas. *A Saul fy nhad sydd yn gwybod hyn hefyd*—canys nis gallai ef lai na chofio yr hyn a ddywedasai Samuel wrtho, pen. xv. 28.

Adn. 18. *A hwy ill dau a wnaethant gyfammod*] Neu a gadarnhasant y cyfammod a wnaethid rhyngddynt o'r blaen, pen. xviii. 3, a xx. 16, 17; a dichon fod y matter uchod, o osod Jonathan yn nesaf i Dafydd, wedi ei chwanegu ato. *Gerbron yr Arglwydd*—gan dyngu i Dduw yn ngwydd Abiathar yr archoffeiriad. *A Jonathan a aeth i'w dŷ ei hun*—yn Gibeah: ac ymddengys mai dyma y tro olaf i'r ddau gyfaill ffyddlon hyn gyfarfod â'u gilydd yn y bywyd yma.

Adn. 19. *Yna y daeth y Ziphiaid i fyny at Saul*] I fynegu iddo fod Dafydd yn ymguddio yn eu gwlad hwy.

Adn. 20. *Yn ol holl ddymuniad dy galon*] Neu dy bryder a'th awydd mawr am ddal Dafydd; *a bydded arnom ni*—nyni a ymrwymwn i'w ddal ef i ti.

Adn. 21. *Bendigedig fyddoch chwi gan yr Arglwydd*] Fel hyn efe a ddymunai i'r Arglwydd eu bendithio, am iddynt ei gynorthwyo ef yn ei fwriadau i dywallt gwaed gwirion!

Adn. 22. *Ewch, atolwg, parotowch*] Hyny yw, mynwch fwy o sicrwydd gyda golwg ar y fan lle y mae Dafydd yn aros; *canys dywedwyd i mi ei fod ef yn gyfrwys iawn*—yn ymsymud yn barhaus o'r naill fan i'r llall, nes y mae yn dra anhawdd gwybod am ddiwrnod yn mha le i'w gael.

Adn. 23. *Mi a chwiliaf am dano ef trwy holl filoedd Juda*] Yr hwn, fel y llwythau ereill, oedd wedi ei ddosbarthu yn filoedd, Exod. xviii. 21; a thrwy yr holl filoedd hyny efe a chwiliai am Dafydd.

Adn. 24. *Ond Dafydd a'i wŷr oedd yn anialwch Maon*] Erbyn dyfod y Ziphiaid bradwrus hyn adref, yr oedd Dafydd a'i wŷr wedi symud i le anial arall yn rhandir Juda, yr hwn oedd oddeutu 8 milldir yn mhellach i'r deau.

Adn. 25. *Efe a ddaeth i waered i graig*] Lle ond odid yr oedd ogof eang.

Maon. A phan glybu Saul *hyny*,
efe a erlidiodd ar ol Dafydd yn an-
ialwch Maon.
26 A Saul a aeth o'r naill du i'r
mynydd, a Dafydd a'i wŷr o'r tu
arall i'r mynydd: ac yr oedd Dafydd
yn brysio i fyned ymaith rhag ofn
Saul; canys Saul a'i wŷr a amgylch-
ynasant Dafydd a'i wŷr, i'w dala
hwynt.
27 ¶ Ond cenad a ddaeth at Saul,
gan ddywedyd, Brysia, a thyred:
canys y Philistiaid a ymdaenasant
ar hyd y wlad.
28 Am hyny y dychwelodd Saul o
erlid ar ol Dafydd; ac efe a aeth yn
erbyn y Philistiaid: o herwydd
hyny y galwasant y fan hòno Sela-
hammalecoth.
29 ¶ A Dafydd a aeth i fyny oddi
yno, ac a arhosodd yn amddiffyn-
feydd En-gedi.

## PENNOD XXIV.

A PHAN ddychwelodd Saul oddi
ar ol y Philistiaid, mynegwyd
iddo, gan ddywedyd, Wele, Dafydd
yn anialwch En-gedi.
2 Yna y cymerth Saul dair mil o
wŷr etholedig, o holl Israel; ac efe
a aeth i geisio Dafydd a'i wŷr, ar
hyd copa creigiau y geifr gwylltion.
3 Ac efe a ddaeth at gorlanau y
defaid, ar y ffordd; ac yno *yr oedd*
ogof: a Saul a aeth i mewn i was-
anaethu ei gorff. A Dafydd a'i
wŷr oedd yn aros yn ystlysau yr
ogof.
4 A gwŷr Dafydd a ddywedasant
wrtho ef, Wele y dydd *am* yr hwn

---

Adn. 26. *Saul a'i wŷr a amgylchynasant Dafydd a'i wŷr*] Y mae yn debyg fod Saul wedi rhanu ei wŷr yn ddwy fyddin, a bod un yn myned o amgylch y mynydd ar ol Dafydd, a'r llall o amgylch y ffordd arall i'w gyfarfod ef, nes y buont agos iawn â'i ddal ef.

Adn. 27. *Ond cenad a ddaeth at Saul*] Gwelwch ragluniaeth Duw! Nid yw ei ddoethineb ef byth yn ngholl o ffordd a modd i gadw ei bobl. Nis gallai dim fod yn fwy anobeithiol na chyflwr Dafydd y pryd hyn. Yr oedd wedi cael ei amgylchynu o bob tu, ac nid ymddangosai un ffordd iddo allu dianc. Ond, fel y dysgwn oddiwrth Salm liv, yr hon a gyfansoddwyd ganddo ef ar yr achlysur hwn, efe a weddiodd ar Dduw, yr hwn a ddanghosodd yn ebrwydd ei fod yn gallu gwaredu o bob trallod. *Brysia, a thyred*—yn ol i dy wlad dy hun; *canys y Philistiaid a ymdaenasant ar hyd y wlad*—gan gymeryd mantais ar dy absenoldeb; ac y maent yn dystrywio ac yn anrheithio pob peth o'u blaen, heb neb acw i'w gwrthsefyll. Y mae yn debyg mai un o wŷr ei lys yn Gibeah oedd y cenadwr hwn, er y dywed yr Iuddewon mai angel o'r nef ydoedd.

Adn. 28. *Sela-hammalecoth*] Hyny yw, *Craig y gwahaniadau;* am i Dduw, trwy ruthriad y Philistiaid ar y wlad y pryd hyny, *wahanu* Saul oddiwrth Dafydd, a'i dynu ef ymaith oddiwrtho, pan yr oedd bron âg ymaflyd ynddo.

Adn. 29. *A Dafydd a aeth i fyny oddiyno*] Sef o anialwch Maon; *ac a arhosodd yn amddiffynfeydd En-gedi*—oddeutu 15 milldir i'r dwyrain oddiyno, ar lan y môr marw, lle y dywedir fod llawer o ogofeydd cyfleus i ymguddio ynddynt.

PEN. XXIV. Adn. 1. *A phan ddychwelodd Saul oddiar ol y Philistiaid*] Ar ol iddo eu gyru allan o wlad Israel, a'u herlid i'w gwlad eu hunain, yn lle diolch i Dduw am y fuddugoliaeth hòno, y peth cyntaf a wnaeth oedd myned i erlid Dafydd drachefn. *En-gedi*—gwel ar pen. xxiii. 29.

Adn. 2. *Yna y cymerth Saul dair mil o wŷr etholedig*] Y rhai mwyaf dewisol o ran maint, cryfder, a dewrder, i erlid ar ol Dafydd a'i 600 o wŷr. *Ar hyd copa creigiau y geifr gwylltion*—dywedir fod y creigiau hyn yn En-gedi yn uchel iawn, ac yn ddychrynllyd i edrych arnynt, chwaithach eu dringo; a'u bod yn llawn clogwyni serth, y rhai a ymddanghosant fel yn barod i syrthio gyda rhuthr i'r dyffrynoedd islaw. Yn y fath leoedd ofnadwy a pheryglus a hyn yr oedd Dafydd a'i wŷr yn gorfod ymddiogelu.

Adn. 3. *Ac efe a ddaeth at gorlanau y defaid*] Lle y casglai y bugeiliaid eu praidd i'w diogelu rhag gwres y dydd ac oerni y nos; *ar y ffordd*—ag ydoedd yn arwain at y creigiau uchod; *ac yno yr oedd ogof*—tybia Clarke mai ogofau oedd y corlanau uchod; ac yma cyfeirir at ryw un neillduol o'r cyfryw. *A Saul a aeth i mewn i wasanaethu ei gorff*—y mae yn debyg fod hyn yn arwyddo y peth a gyfieithwyd yn y Vulgate, *ut purgaret ventrem.* Y mae y LXX, y Targum, a'r Arabaeg yn ei ddeall yr un modd. Y mae yn debyg, ar ol iddo wasanaethu ei gorff, ddarfod iddo orwedd i ymddadebru, ac mai tra yr oedd efe yn cysgu y torodd Dafydd gŵr ei fantell ef. Y mae yn rhyfedd na feddyliodd Saul y gallai fod cynllwynwyr iddo yn y fath le; a dywed y rabbiniaid 'fod Duw, wrth ragweled y deuai Saul i'r ogof hon, wedi peri i bryf-copyn wau gwê ar draws ei genau hi, yr hyn a barodd i Saul gasglu nad oedd neb yn ddiweddar wedi bod ynddi, ac felly ddarfod iddo ef fyned i mewn heb unrhyw ddrwgdybiaeth.' Gall hyn fod yn wir; a gwyddom y gall hyd yn nod pryf-copyn, yn llaw Duw, fod yn offeryn i beri gwaredigaeth fawr. *A Dafydd a'i wŷr oedd yn aros yn ystlysau yr ogof*—sonia *Strabo* am ogof yn Syria yn ddigon mawr i gynwys 4,000 o wŷr; a dywed *Pococke* fod tuhwnt i ddyffryn Tecoa ogof fawr a elwir gan yr Arabiad *El Maamah*, yr hon y dywedir i 30,000 o wŷr fod ynddi ar unwaith yn ymddiogelu rhag awyr afiach; a thybia ef mai at hòno y cyfeirir yn y testyn.

Adn. 4. *Wele fi yn rhoddi dy elyn yn dy*

y dywedodd yr Arglwydd wrthyt,
Wele, fi yn rhoddi dy elyn yn dy law
di, fel y gwnelych iddo megys y
byddo da yn dy olwg. Yna Dafydd
a gyfododd, ac a dorodd gŵr y fan-
tell *oedd* am Saul yn ddirgel.
5 Ac wedi hyn calon Dafydd a'i
tarawodd ef, o herwydd iddo dori
cŵr *mantell* Saul.
6 Ac efe a ddywedodd wrth ei
wŷr, Na ato yr Arglwydd i mi
wneuthur y peth hyn i'm meistr,
eneiniog yr Arglwydd, i estyn fy
llaw yn ei erbyn ef; oblegid enein-
iog yr Arglwydd *yw* efe.
7 Felly yr ataliodd Dafydd ei wŷr
â'r geiriau *hyn*, ac ni adawodd idd-
ynt gyfodi yn erbyn Saul. A Saul
a gododd i fyny o'r ogof, ac a aeth i
ffordd.
8 Ac ar ol hyn Dafydd a gyfod-
odd, ac a aeth allan o'r ogof; ac a
lefodd ar ol Saul, gan ddywedyd,
Fy arglwydd frenin. A phan ed-
rychodd Saul o'i ol, Dafydd a os-
tyngodd ei wyneb tua'r ddaear, ac
a ymgrymodd.
9 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth
Saul, Paham y gwrandewi eiriau
dynion, gan ddywedyd, Wele, y
mae Dafydd yn ceisio niwed i ti?
10 Wele, dy lygaid a welsant y
dydd hwn ddarfod i'r Arglwydd dy
roddi di yn fy llaw i heddyw yn yr
ogof: a dywedwyd *wrthyf* am dy
ladd di; ond *fy enaid* a'th arbedodd
di: a dywedais, Nid estynaf fy llaw
yn erbyn fy meistr; canys eneiniog
yr Arglwydd *yw* efe.
11 Fy nhad hefyd, gwel, ïe, gwel
gŵr dy fantell yn fy llaw i: canys
pan dorais ymaith gŵr dy fantell di,
heb dy ladd; gwybydd a gwel nad
*oes* yn fy llaw i ddrygioni na cham-
wedd, ac na phechais i'th erbyn: eto
yr wyt ti yn hela fy einioes i, i'w
dala hi.
12 Barned yr Arglwydd rhyngof fi
a thithau, a dialed yr Arglwydd fi ar-
nat ti; ond ni bydd fy llaw i arnat ti.
13 Megys y dywed yr hen ddiareb,
Oddiwrth y rhai anwir y daw an-
wiredd: ond ni bydd fy llaw i ar-
nat ti.

---

*law di*] Nid ydym yn darllen am y fath addewid a hon, ond felly y deonglai gwŷr Dafydd yr addewid o roddi y frenhiniaeth iddo ef. *Yna Dafydd*—i roddi prawf y gallasai efe ladd Saul pe mynasai; *a dorodd gŵr y fantell oedd am Saul yn ddirgel*—yr hyn a allai ei wneyd yn hawdd, gan ei fod ef yn cysgu.

Adn. 5. *Ac wedi hyn calon Dafydd a'i tarawodd ef*] Sef ei gydwybod dyner; *o herwydd iddo dori cŵr mantell Saul*—ac felly anmharchu ei frenin, yr hwn oedd eneiniog yr Arglwydd.

Adn. 6. *Ac efe a ddywedodd wrth ei wŷr*] Y rhai ond odid a'i beient ef am beidio ei ladd. *Na ato yr Arglwydd i mi wneuthur y peth hyn i'm meistr*—pa mor annheilwng bynag yr ymddygai Saul, yr oedd ef wedi cael ei osod yn frenin gan Dduw ei hun, ac nis gallai gael ei symud gan ddim ond yr awdurdod hwnw a'i gosodasai ef ar yr orsedd. Nid oedd hyd yn nod Dafydd ei hun, yr hwn a wyddai ei fod ef wedi ei benodi i deyrnasu yn ei le ef, a'r hwn yr oedd Saul yn fynych wedi ceisio ei ladd, yn meddwl fod ganddo ef hawl i gymeryd ymaith ei fywyd ef; a'i reswm am ei ymattaliad oedd, fod Saul yn *feistr* iddo ef, ac yntau yn ddeiliad neu was; a'i fod yn *eneiniog yr Arglwydd*, ac felly yn gysegredig o ran ei berson yn ngolwg yr Arglwydd. Pe buasai Dafydd yn cymeryd ymaith ei fywyd ef y pryd hyn, buasai yn ngolwg Duw yn *llofrudd*.

Adn. 7. *Ac ni adawodd iddynt gyfodi yn erbyn Saul*] Gan y gallai efe eu hattal, ei ddyledswydd oedd gwneuthur hyny; a phe caniatasai iddynt hwy ei ladd ef, efe ei hun a fuasai y llofrudd.

Adn. 8. *Fy arglwydd frenin*] Wrth yr enwau hyn gallai Saul wybod mai arno ef y gelwid, a hyny gan ryw ddeiliad ffyddlon, ac nid gan wrthryfelwr, fel y tybiai ef fod Dafydd. *A phan edrychodd Saul o'i ol*—i weled pwy oedd yn galw; *Dafydd a ostyngodd ei wyneb tua'r ddaear*—yn arwydd o barch ac anrhydedd iddo ef fel brenin.

Adn. 9. *Paham y gwrandewi eiriau dynion*] Celwyddog, megys Doeg yr Edomiad ac ereill, y rhai a genfigenant wrthyf fi, ac a wenieithiant i tithau? *Yn ceisio niwed i ti*—trwy ddwyn dy orsedd a'th fywyd.

Adn. 10. *Ddarfod i'r Arglwydd dy roddi di yn fy llaw*] Fel y gallaswn dy ladd yn gystal a thori cŵr dy fantell. *A dywedwyd wrthyf am dy ladd*—gan y rhai ag oeddynt gyda mi yn yr ogof. *Nid estynaf fy llaw yn erbyn fy meistr*—gwel ar adn. 6.

Adn. 11. *Fy nhad hefyd*] Neu ei dad-yn-nghyfraith, yn gystal a'i feistr a'i frenin. *Gwybydd a gwel nad oes yn fy llaw i ddrygioni na chamwedd*—onidê gallasai dy ben fod yn fy llaw i yn gystal a chŵr dy fantell. *Eto yr wyt ti yn hela fy einioes i*—trwy yr holl wlad, er's misoedd, i'm lladd.

Adn. 12. *Barned yr Arglwydd rhyngof fi a thithau*] Pa un o honom sydd ar yr iawn; *a dialed yr Arglwydd fi arnat ti*—y pryd a'r modd y gwelo efe yn dda: *ond ni bydd fy llaw i arnat ti*—i dalu drwg am ddrwg.

Adn. 13. *Megys y dywed yr hen ddiareb*] Neu 'ddiareb yr henafiaid,' yr hon oedd yn gymhwysiadol iawn i'r achos presenol. *Oddi*

14 Ar ol pwy y daeth brenin Israel allan? ar ol pwy yr ydwyt ti yn erlid? ar ol ci marw, ar ol chwanen.
15 Am hyny bydded yr Arglwydd yn farnwr, a barned rhyngof fi a thi; edryched hefyd, a dadleued fy nadl, ac achubed fi o'th law di.
16 ¶ A phan orphenodd Dafydd lefaru y geiriau hyn wrth Saul, yna y dywedodd Saul, Ai dy lef di *yw* hon, fy mab Dafydd? A Saul a ddyrchafodd ei lef, ac a ŵylodd.
17 Efe a ddywedodd hefyd wrth Dafydd, Cyfiawnach *wyt* ti na myfi: canys ti a delaist i mi dda, a minau a delais i ti ddrwg.
18 A thi a ddanghosaist heddyw wneuthur o honot â mi ddaioni: o herwydd rhoddodd yr Arglwydd fi yn dy law di, ac ni'm lleddaist.
19 Oblegid os caffai ŵr ei elyn, a ollyngai efe ef mewn ffordd dda? am hyny yr Arglwydd a dalo i ti ddaioni, am yr hyn a wnaethost i mi y dydd hwn.
20 Ac wele yn awr, mi a wn gan deyrnasu y teyrnesi di, ac y sicrheir brenhiniaeth Israel yn dy law di.
21 Twng dithau wrthyf fi yn awr i'r Arglwydd, na thori ymaith fy had i ar fy ol, ac na ddifethi fy enw i o dŷ fy nhad.
22 A Dafydd a dyngodd wrth Saul. A Saul a aeth i'w dŷ: Dafydd hefyd a'i wŷr a aethant i fynu i'r amddiffynfa.

## PENNOD XXV.

A BU farw Samuel; a holl Israel a ymgynullasant, ac a alarasant am dano ef, ac a'i claddasant yn ei

---

*wrth y rhai anwir y daw anwiredd*—'fel y bo y dyn, felly y bydd ei waith.' Amcan Dafydd oedd dangos, pe buasai efe y fath ddyn drygionus ag y tybiai Saul ei fod, y dangosasai efe hyny trwy ladd Saul yn yr ogof; ac mai Saul oedd y dyn drwg, trwy ei fod yn amcanu drygioni yn barhaus yn erbyn Dafydd.

Adn. 14. *Ar ol pwy y daeth brenin Israel allan*] O'i lys brenhinol, ac oddiwrth holl orchwylion pwysig ei lywodraeth, gyda byddin o dair mil o wŷr etholedig, ac ef ei hun yn eu blaenori, i'r anialwch pell hwn, ac i greigiau peryglus y geifr gwylltion? *Ar ol ci marw*—un hollol analluog i niweidio neb; *ar ol chwanen*—un anhawdd ei dal yn wir, ond hollol ddiwerth ar ol ei dal. Y mae efe yn ei osod ei hun allan yn y goleuni mwyaf dirmygus, fel y gallai argyhoeddi Saul nad oedd o un anrhydedd iddo gymeryd y fath drafferth i'w erlid ef yn barhaus.

Adn. 15. *Am hyny bydded yr Arglwydd yn farnwr*] Yn ei ragluniaeth a'i amser da ei hun; *a dadleued fy nadl*—danghosed i ti ac i'r byd nad oes anwiredd ynof; *ac achubed fi o'th law di*—rhag i ti fy lladd na'm niweidio.

Adn. 16. *Ai dy lef di yw hon, fy mab Dafydd?*] Wrth ei alw ei fab ei hun, ac nid 'mab Jesse' yn ddirmygus fel arferol, danghosai fod ei deimlad wedi cyfnewid yn fawr tuag ato, wrth ystyried y perygl y buasai ynddo yn yr ogof, a'r modd yr arbedasai Dafydd ei fywyd ef. *A Saul a ddyrchafodd ei lef, ac a ŵylodd*—o herwydd gorchfygu ei deimladau gan diriondeb Dafydd, a chan gywilyd a gofid am erlid gŵr mor ddiniwed a'i fab-yn-nghyfraith.

Adn. 17. *Cyfiawnach wyt ti na myfi*] Nid yw Saul yma yn ei olygu ei hun yn gyfiawn, fel y meddyliodd rhai, canys addefa iddo dalu drwg i Dafydd: ond yr oedd cyfiawnder a daioni Dafydd mor amlwg, fel ag yr oedd Saul ei hun, er yn elyn iddo, yn gorfod ei addef.

Adn. 18. *A thi a ddanghosaist heddyw*] Trwy dori cŵr ei fantell yn unig, pryd y gallasai ei ladd.

Adn. 19. *A ollyngai efe ef mewn ffordd dda?*] Mewn heddwch, heb wneuthur niwed iddo? Na wnai, eithr efe a'i lladdai i'w achub ei hun. *Am hyny yr Arglwydd a dalo i ti ddaioni*—a'th fendithio ac a'th lwyddo am arbed o honot fy mywyd i.

Adn. 20. *Mi a wn gan deyrnasu y teyrnesi di*] Y mae traddodiad gan yr Iuddewon, i Samuel ddywedyd wrth Saul, pan rwygodd efe ei fantell ef, (pen. xv. 27,) y torid cŵr ei fantell yntau; ac mai y gŵr a wnai hyny a deyrnasai yn ei le ef. *Ac y sicrheir brenhiniaeth Israel yn dy law di*—heb ei rhwygo oddiwrtho ef na'i feibion, fel y rhwygid hi yn fuan oddiwrth Saul.

Adn. 21. *Na thori ymaith fy had i*] Trwy ladd fy mhlant, rhag iddynt geisio meddiannu yr orsedd; *ac na ddyfethi fy enw i o dŷ fy nhad*—yr hyn a ystyrid yn farn drom yn Israel. Os lleddid ei hiliogaeth, byddai ei enw a'i dylwyth ef yn darfod; ac am hyny mynai Saul i Dafydd dyngu i'r Arglwydd na wneid hyny. Gwyddai Saul y byddai i lw rwymo Dafydd, er ei fod yn annigonol i'w rwymo ef ei hun, pen. xix. 6.

Adn. 22. *A Saul a aeth i'w dŷ*] Yn Gibeah; *Dafydd hefyd a'i wŷr a aethant i fyny i'r amddiffynfa*—yn anialwch En-gedi, adn. 1, am na fynai ymddiried i Saul, gan y gwyddai mor anwadal a thwyllodrus oedd efe.

PEN. XXV. Adn. 1. *A bu farw Samuel*] Pan oedd yn 98 mlwydd oed, fel y meddylir, ac yn nghylch pedwar mis o flaen marwolaeth Saul; er y tybia Calmet ac ereill i Saul fyw ddwy flynedd ar ei ol ef. *A holl Israel a ymgynullasant, ac a alarasant am dano ef*—canys yr oedd colli dyn mor ddoeth a santaidd, barnwr mor gyfiawn, a phroffwyd mor oleu, yn golled fawr a chyffredinol i holl Israel fel cenedl, gwladwriaeth, ac eglwys; ac yr oedd y golled yn fwy yn awr, trwy fod Saul wedi troi allan yn ddyn mor ddrwg. *Ac a'i claddasant ef yn ei dŷ yn Ramah*—nid yn ei dŷ anedd,

dŷ yn Ramah. A Dafydd a gyfododd,
ac a aeth i waered i anialwch Paran.
2 Ac *yr oedd* gŵr yn Maon, a'i
gyfoeth yn Carmel; a'r gŵr *oedd*
fawr iawn, ac iddo ef *yr oedd* tair
mil o ddefaid, a mil o eifr: ac yr
oedd efe yn cneifio ei ddefaid yn
Carmel.
3 Ac enw y gŵr *oedd* Nabal; ac
enw ei wraig Abigail: a'r wraig
*oedd* yn dda *ei* deall, ac yn deg *ei*
gwedd: a'r gŵr *oedd* galed, a drwg
*ei* weithredoedd; a Chalebiad *oedd*
efe.
4 ¶ A chlybu Dafydd yn yr an-
ialwch, fod Nabal yn cneifio ei
ddefaid.
5 A Dafydd a anfonodd ddeg o
lanciau; a Dafydd a ddywedodd
wrth y llanciau, Cerddwch i fyny i
Carmel, ac ewch at Nabal, a chy-
ferchwch well iddo yn fy enw i.
6 Dywedwch fel hyn hefyd wrtho
ef sydd yn byw *mewn llwyddiant*,
*Caffech* di heddwch, a'th dŷ hedd-
wch, a'r hyn oll *sydd* eiddot ti
heddwch.
7 Ac yn awr clywais fod rhai yn
cneifio i ti: yn awr y bugeiliaid
*sydd* genyt a fuant gyda ni, ni
wnaethom sarhad arnynt hwy, ac
ni bu ddim yn eisiau iddynt, yr holl
ddyddiau y buant hwy yn Carmel.
8 Gofyn i'th lanciau, a hwy a
fynegant i ti: gan hyny caed y
llanciau hyn ffafr yn dy olwg di
(canys ar ddiwrnod da y daethom
ni) dyro, atolwg, yr hyn a ddelo
i'th law, i'th weision, ac i'th fab
Dafydd.
9 Ac wedi dyfod llanciau Dafydd,
hwy a ddywedasant wrth Nabal yn
ol yr holl eiriau hyny yn enw Da-
fydd, ac a dawsant.

---

ond mewn tŷ neu feddrod a wnaethai efe yn ei ardd neu ei faes yn Ramah. A dywedir i'w weddillion ef, yn mhen 1461 o flynyddoedd wedi hyn, gael eu dwyn gyda rhwysg mawr o Ramah i Gaercystenyn, yn y flwyddyn O.C. 401, gan yr amherawdwr Arcadius. *A Dafydd a gyfododd, ac a aeth i waered i anialwch Paran*—yr hwn oedd allan o wlad Canaan, ac yn gorwedd rhwng mynyddoedd Juda a mynydd Sinai yn Arabia Petræ. Ar ol clywed am farwolaeth Samuel, efe a ofnai y byddai llid Saul yn fwy nag erioed; ac felly ffôdd allan o'r wlad, i fod yn ddigon pell oddi wrtho ef, ac yn ddiogel rhagddo.

Adn. 2. *Ac yr oedd gŵr yn Maon*] Yn llwyth Juda, *a'i gyfoeth yn Carmel*—oddeutu pedair milldir yn uwch i'r gogledd na Maon; *a'r gŵr oedd fawr iawn*—mewn cyfoeth ac awdurdod.

Adn. 3. *Ac enw y gŵr oedd Nabal*] Arwydda yr enw hwn un 'ynfyd, diffaith, creulon;' ac felly mewn gwirionedd yr oedd Nabal. *Ac enw ei wraig Abigail*—'llawenydd fy nhad:' eto nis gallai ei thad ddysgwyl rhyw lawer iawn o lawenydd oddiwrthi, trwy ei rhoddi yn wraig i'r fath ŵr. *A'r wraig oedd yn dda ei deall, ac yn dêg ei gwedd*—yn fenyw synwyrol, dduwiol, a phrydferth; *a'r gŵr oedd galed*—tuag at bawb anghenus, fel y gwelwn ei fod tuag at Dafydd a'i weision, adn. 10, 11; *a drwg ei weithredoedd*—yn adn. 36 dywedir ei fod yn 'feddw iawn,' ac yn adn. 17, 25, gelwir ef yn 'fab i Belial.' *A Chalebiad oedd efe*—i fwyhau ei drosedd chwanegir ei fod yn gangen lygredig o gŷff enwog Caleb, ac felly o lwyth Juda, megys hefyd yr oedd Dafydd. Ond gan fod y gair *caleb* yn arwyddo *ci*, y mae y LXX, y Syriaeg, a'r Arabaeg, yn ei ddeall fel yn arwyddo ei fod yn ddyn *cïaidd* iawn.

Adn. 4. *A chlybu Dafydd yn yr anialwch*] Lle yr oedd ef a'i wŷr yn dyoddef newyn; *fod Nabal yn cneifio ei ddefaid*—pryd yr oedd gwleddoedd breision yn arferol o gael eu rhoddi i'r cneifwyr; ac felly meddyliai Dafydd ei bod yn adeg gyfleus i ofyn ganddo am ymborth yn ei angen.

Adn. 5. *A Dafydd a anfonodd ddeg o lanciau*] I ddangos parch i Nabal, ac i gludo i Dafydd pa beth bynag a roddai efe iddynt. *A chyferchwch well iddo yn fy enw i*—cofiwch fi ato, a dywedwch mai myfi a'ch anfonais, a fy mod yn dymuno iechyd a dedwyddwch iddo ef.

Adn. 6. *Caffech di heddwch, &c.*] Bydded i bob llwyddiant a dedwyddwch orphwys yn barhaus arnat ti, a'th deulu, a'th feddiannau. Hon oedd yr hen ffurf arferedig wrth anfon anerch at gyfaill.

Adn 7. *Y bugeiliaid sydd genyt a fuant gyda ni, &c.*] Y mae yn dra amlwg fod gan Dafydd ryw hawl yn Nabal, neu fod ar Nabal fath o ddyled i Dafydd, am ryw wasanaeth o bwys a wnaethai efe i'w fugeiliaid ef yn Carmel: yr oedd Dafydd a'i wŷr wedi bod yn dda iawn wrthynt, ac yn fur iddynt nos a dydd, adn. 15, 16; ac y mae efe yn peri i Nabal ofyn i'w fugeiliaid, ai nid fel hyn y bu, adn. 8.

Adn. 8. *Ar ddiwrnod da y daethom ni*] Pryd y mae gwledd helaeth wedi ei pharotoi i'r cneifwyr. *Dyro, atolwg, yr hyn a ddelo i'th law*—nid oedd Dafydd yn gofyn am ryw ddanteithion costfawr, ond yn unig am yr hyn oedd nesaf at ei law, neu yr hyn a allai efe ei hebgor hawddaf. Fel pe dywedasai, 'Gan dy fod di yn gwneyd gwledd fawr i'th fugeiliaid, ac y buaswn inau a'm gweision, gan i ni wneyd y fath gymwynais i chwi, yn dyfod i mewn yn naturiol am ran pe buasem yna gyda chwi; danfon ryw gymaint i mi a'm gwŷr gyda'r deg llanc, fel y gallom ninau hefyd gydlawenhau â chwi.' Y mae yn sicr nad oedd hyn yn gais afresymol.

Adn. 9. *Ac wedi dyfod llanciau Dafydd*] I Carmel; *hwy a ddywedasant wrth Nabal*—air-yn-ngair fel yr oedd Dafydd wedi

10 ¶ A Nabal a atebodd weision
Dafydd, ac a ddywedodd, Pwy *yw*
Dafydd? a phwy *yw* mab Jesse?
llawer sydd o weision heddyw yn
tori ymaith bob un oddiwrth ei
feistr.
11 A gymeraf fi fy mara a'm
dwfr, a'm cig a leddais i'm cneif-
wyr, a'*u* rhoddi i wŷr nas gwn o ba
le *y maent?*
12 Felly llanciau Dafydd a drois-
ant i'w ffordd, ac a ddychwelasant,
ac a ddaethant, ac a fynegasant iddo
ef yr holl eiriau hyny.
13 A Dafydd a ddywedodd wrth
ei wŷr, Gwregyswch bob un ei
gleddyf. Ac ymwregysodd pob un
ei gleddyf: ymwregysodd Dafydd
hefyd ei gleddyf: ac yn nghylch
pedwar cant o wŷr a aeth i fyny ar
ol Dafydd, a dau gant a drigasant
gyda'r dodrefn.
14 ¶ Ac un o'r llanciau a fyneg-
odd i Abigail gwraig Nabal, gan
ddywedyd, Wele, Dafydd a anfonodd
genhadau o'r anialwch i gyfarch
gwell i'n meistr ni; ond efe a'u
difenwodd hwynt.
15 A'r gwŷr *fu* dda iawn wrthym
ni; ac ni wnaed sarhad arnom ni,
ac ni bu i ni ddim yn eisiau yr holl
ddyddiau y rhodiasom gyda hwynt,
pan oeddym yn y maes.
16 Mur oeddynt hwy i ni nos a
dydd, yr holl ddyddiau y buom
gyda hwynt yn cadw y defaid.
17 Yn awr gan hyny gwybydd,
ac ystyria beth a wnelech: canys
parotowyd drwg yn erbyn ein meistr
ni, ac yn erbyn ei holl dŷ ef: canys
efe *sydd* fab i Belial, fel na ellir
ymddyddan âg ef.
18 ¶ Yna Abigail a frysiodd, ac
a gymerth ddau cant o fara, a dwy
gostrelaid o win, a phump o ddefaid
wedi eu gwneuthur yn barod, a
phum hobaid o gras-*ŷd*, a chan *swp*
o resin, a dau can *teisen* o ffigys, ac
a'*u* gosododd ar asynod.
19 A hi a ddywedodd wrth ei

---

gorchymyn iddynt, ac fel y mae ar lawr yn adn. 6—8; *ac a dawsant*—gan ddysgwyl am atebiad Nabal.

Adn. 10. *Pwy yw Dafydd? a phwy yw mab Jesse?*] Fel hyn efe a'i dirmygai ef, i'r dyben i beidio rhoddi dim iddo, yr hyn a ddengys sarugrwydd ei dymher. Yr oedd yn annghyfiawn iddo ommedd y fath gais rhesymol; ac yr oedd y dull yn yr hwn y gommeddai yn dra sarhaus. Da y dywed ei weision am dano, ei fod yn fath 'fab i Belial, fel na ellir ymddyddan âg ef,' adn. 17. *Llawer sydd o weision heddyw yn tori ymaith bob un oddi wrth ei feistr*—tybia rhai mai ei feddwl oedd, fod y llanciau hyn yn gofyn lluniaeth ganddo ef yn dwyllodrus yn enw Dafydd; ac ereill, ei fod yn cyfeirio at y dyledwyr ag oedd gan Dafydd yn ei fyddin, pen. xxii. 2: ond y mae yn debycach mai cyhuddo Dafydd yr ydoedd o anffyddlondeb i'w feistr Saul.

Adn. 11. *A gymeraf fi fy mara a'm dwfr*] Yn ol y LXX, 'fy mara a'm *gwin;*' ac y mae yn amlwg fod gwin gan Nabal yn ei wledd, canys dywedir ei fod yn feddw iawn, adn. 36. *A'm cig a leddais i'm cneifwyr*—sef cig defaid a geifr, adn. 2, os nid cig gwartheg hefyd. *A'u rhoddi i wŷr nas gwn o ba le y maent*—yr oedd hyn yn anwiredd amlwg, yn cael ei ddywedyd fel esgus dros beidio rhoddi dim iddynt.

Adn. 12. *Felly llanciau Dafydd a droisant i'w ffordd*] Heb gael dim lluniaeth i Dafydd a'i wŷr, nac ond odid damaid o fara iddynt eu hunain.

Adn. 13. *Gwregyswch bob un ei gleddyf*] I gospi Nabal am ei draha a'i daiogrwydd. *A dau gant a drigasant gyda'r dodrefn*—i warchad y pethau ag oedd ganddynt hwy yn eu gwersyll yn Paran.

Adn. 14. *Ac un o'r llanciau*] Sef un o weision Nabal; *a fynegodd i Abigail*—pwy all lai na rhyfeddu wrth ddoethineb a ffyddlondeb y bugail hwn, yr hwn a rybyddiai ei feistres o'r perygl ag yr oedd ei theulu ynddo? Yr oedd yn rhesymol iddo gasglu hyny oddi wrth y sarhad a daflasai ei feistr ar Dafydd a'i wŷr.

Adn. 15. *A'r gwŷr fu dda iawn wrthym ni*] Pan yr oeddynt yn byw gynt yn nghymydogaeth Carmel; *ac ni wnaed sarhad arnom ni*—gan Dafydd a'i wŷr; na chan ereill, am eu bod hwy yno i'n hamddiffyn.

Adn. 16. *Mur oeddynt hwy i ni nos a dydd*] Rhag y Philistiaid ar un llaw, a rhag yr Arabiaid ar y llaw arall, y rhai oeddynt yn byw gan mwyaf ar yspail ac anrhaith. Fel hyn y mae y llanc hwn yn dywedyd mwy o'u plaid nag a ddywedasai llanciau Dafydd eu hunain; nid yn unig na wnaethant niwed iddynt, ond hefyd ddarfod iddynt eu cadw hwy a'u praidd rhag yspeilwyr a bwystfilod.

Adn. 17. *Ystyria beth a wnelech*] Beth sydd oraf ei wneuthur i attal y drwg hwnw. *Canys efe sydd fab i Belial*—neu 'fab i'r *fall*,' Deut. xiii. 13, yn ddyn diwerth a sarug; *fel na ellir ymddyddan âg ef*—heb iddo yn y fan neidio i dymherau drwg. Ac o herwydd hyny dewisodd y llanc ddywedyd am eu perygl wrth ei feistres, yn hytrach nag wrth ei feistr.

Adn. 18. *Ddau cant o fara*] o deisenau neu dorthau; *a dwy gostrelaid o win*—y rhai oeddynt gostrelau mawrion o grwyn, pen. i. 24; *a phump o ddefaid wedi eu gwneuthur yn barod*—wedi eu blingo, neu ynte wedi eu berwi neu eu rhostio; *a phum hobaid o gras-ŷd*—gwel ar pen. xvii. 17; *a chan swp o resin*—neu winrawn sychion; *a dau can teisen o ffigys*—wedi eu sychu yn ngwres yr haul, a'u gwasgu yn deisenau. Rhoddodd Abigail yr

gweision, Cerddwch o'm blaen i; wele, fi yn dyfod ar eich ol: ond wrth Nabal ei gŵr nid ynganodd hi.

20 Ac â hi yn marchogaeth ar asyn, ac yn dyfod i waered ar hyd ystlys y mynydd; yna, wele, Dafydd a'i wŷr yn dyfod i waered i'w herbyn; a hi a gyfarfu â hwynt.

21 (A dywedasai Dafydd, Diau gadw o honof fi yn ofer yr hyn oll *oedd* gan hwn yn yr anialwch, fel na bu dim yn eisiau o'r hyn oll *oedd* ganddo ef: canys efe a dalodd i mi ddrwg dros dda.

22 Felly y gwnelo Duw i elynion Dafydd, ac ychwaneg, os gadawaf o'r hyn oll *sydd ganddo* ef erbyn goleuni y bore, *un* a bisai ar bared)

23 A phan welodd Abigail Dafydd, hi a frysiodd, ac a ddisgynodd oddiar yr asyn, ac a syrthiodd ger bron Dafydd ar ei hwyneb, ac a ymgrymodd hyd lawr,

24 Ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ddywedodd, Arnaf fi, fy arglwydd, arnaf fi *bydded* yr anwiredd; a llefared dy wasanaethferch, atolwg, wrthyt, a gwrando eiriau dy law-forwyn.

25 Atolwg, na osoded fy arglwydd ei galon yn erbyn y gŵr Belial hwn, *sef* Nabal: canys fel *y mae* ei enw ef, felly *y mae* yntau; Nabal *yw* ei enw ef, ac ynfydrwydd *sydd* gydag ef: a minau dy wasanaethferch, ni welais weision fy arglwydd, y rhai a anfonaist.

26 Ac yn awr, fy arglwydd, *fel* y mae yr Arglwydd yn fyw, ac *mai* byw dy enaid di, gan i'r Arglwydd dy luddias di rhag dyfod i *dywallt* gwaed, ac i ymddial â'th law dy hun; yn awr bydded dy elynion di, a'r sawl a geisant niwed i'm harglwydd, megys Nabal.

27 Ac yn awr yr anrheg yma, yr

---

holl bethau hyn o honi ei hun, yn ddiarwybod i'w gŵr; ond yr oedd hyny yn eithaf cyfreithlon, gan mai i arbed ei fywyd ef a'i deulu y gwnaeth hi hyn.

Adn. 19. *Cerddwch o'm blaen i*] Fel y byddai i lid Dafydd, wrth weled yr anrhegion, liniaru ychydig erbyn y deuai hi i'w gyfarfod. Hi a ymddygai yn hyn fel y gwnaethai Jacob at ei frawd Esau: gwel Gen. xxxii. 16, &c.

Adn. 20. *Ac â hi yn marchogaeth ar asyn*] Wrthi ei hun ond odid, ryw encyd ar ol ei gweision a'r anrhegion; *hi a gyfarfu â hwynt*—yn dyfod o anialwch Paran tua Charmel i ddial ar Nabal.

Adn. 21. *A dywedasai Dafydd*] Ar ol i'w ddeg llanc ddychwelyd i Paran, a mynegu pa fath driniaeth a gawsent hwy gan Nabal. *Diau gadw o honof fi yn ofer*—ofer i Dafydd a'i wŷr oedd eu holl ofal hwnw am braidd Nabal yn Carmel, gan iddo ef ymddwyn fel y gwnaeth tuag atynt wedi y cwbl.

Adn. 22. *Felly y gwnelo Duw i elynion Dafydd*] Hyny yw, i Dafydd ei hun: ond gan nad ymddanghosai yn weddus iddo ei felldithio ei hun, efe a grybwylla ei elynion, am yr ystyriai y byddai iddo droi yn elyn iddo ei hun wrth beidio cyflawni ei fygythiad. *Os gadawaf*—erbyn y fory un *gwryw* yn fyw. Nis gall dim gyfiawnhau Dafydd yma. Pa gythruddiad bynag a gafodd, ni wnaed niwed personol iddo; ac yr oedd ei benderfyniad i ladd teulu cyfan am i Nabal fod yn anhaelionus tuag ato, yn ysgeler a chreulon i'r eithaf. Arglwydd, 'pa beth yw dyn!'

Adn. 23. *Ac a syrthiodd gerbron Dafydd*] Nid yn unig o barch iddo ef, ond hefyd i ddeisyf arno yn ostyngedig arbed Nabal.

Adn. 24. *Arnaf fi, fy arglwydd, &c.*] Cyfrif bechod Nabal i mi; ac, os myni, cospa ef ynof fi, yr hon wyf yma yn fy offrymu fy hun fel aberth i'th ddigofaint cyfiawn. Yr oedd hyn yn dangos ei mawr gariad hi at ei gŵr, a'i hawydd i achub ei fywyd ef, er cynddrwg ydoedd; a hi a ddefnyddiodd y ffordd effeithiol hon, gan obeithio yn lled hyderus na wnai Dafydd felly ddim niwed iddi hi na'i gŵr.

Adn. 25. *Na osoded fy arglwydd ei galon yn erbyn y gŵr Belial hwn*] I ddial arno: *canys fel y mae ei enw*—yn arwyddo dyn ynfyd, adn. 3; *felly y mae yntau*—yn ymddwyn yn ynfyd yn ei holl eiriau a'i ymddygiadau. Nid gwarthruddo ei gŵr oedd amcan Abigail, eithr achub ei fywyd ef: buasai yn dda ganddi guddio ei ynfydrwydd ef pe gallasai; ond yr oedd yn rhy gyhoeddus i bawb, a defnyddiai hithau hyny yn rheswm i geisio perswadio Dafydd i beidio gwneyd sylw o hono, ond ei adael i'w ynfydrwydd. *A minau dy wasanaethferch*—wrth alw Dafydd yn arglwydd iddi hi, a hithau yn wasanaethferch iddo yntau, mynai barchu Dafydd gymaint ag yr oedd ei gŵr wedi ei anmharchu ef; *ni welais weision fy arglwydd*—nid oeddwn yn y fan ar y pryd, onidê ni chawsent eu trin fel y cawsant.

Adn. 26. *Gan i'r arglwydd dy luddias di rhag dyfod i dywallt gwaed*] Nis gallai dim gael ei ddywedyd wrth Dafydd yn fwy effeithiol i droi ymaith ei lid ef, nag awgrymu fel hyn y fath dyb am ei ddaioni a'i hynawsedd, fel ag i gasglu eisioes ei bod hi wedi ei droi ef oddiwrth ei fwriad gwaedlyd; neu, yn hytrach, fod Duw wedi cyfryngu, trwy ei ragluniaeth dda, i'w luddias ef rhag tywallt gwaed. Y mae yn debyg fod rhyw argraff dwyfol ar ei meddwl hi ar y pryd, neu ryw arwydd o ddyhuddiant yn ngwynebpryd Dafydd, nes yr oedd yn credu yn sicr ei bod wedi llwyddo. *Yn awr bydded dy elynion di, a'r sawl a geisiant niwed i'm harglwydd, megys Nabal*—mor ddirmygus a Nabal, ac mor analluog i'th niweidio ag yw efe. Tybiai rhai ei bod yn cyfeirio, trwy ysbryd

hon a ddyg dy wasanaethferch i'm
harglwydd, rhodder hi i'r llanciau
sydd yn canlyn fy arglwydd.
28 A maddeu, atolwg, gamwedd
dy wasanaethferch: canys yr Argl-
wydd gan wneuthur a wna i'm har-
glwydd dŷ sicr; o herwydd fy argl-
wydd sydd yn ymladd rhyfeloedd
yr Arglwydd, a drygioni ni chafwyd
ynot ti yn dy *holl* ddyddiau.
29 Er cyfodi o ddyn i'th erlid di,
ac i geisio dy enaid; eto enaid fy
arglwydd a fydd wedi ei rwymo yn
rhwymyn y bywyd gyda'th Argl-
wydd dy Dduw; ac enaid dy elynion
a chwyrn-deifl efe, *fel* o ganol ceu-
deb y ffon dafl.
30 A phan wnelo yr Arglwydd i'm
harglwydd yn ol yr hyn oll a lefar-
odd efe o ddaioni am danat, a phan
y'th osodo di yn flaenor ar Israel;
31 Yna ni bydd hyn yn ochenaid
i ti, nac yn dramgwydd calon i'm
harglwydd, ddarfod i ti dywallt
gwaed heb achos, neu ddial o'm
harglwydd ef ei hun: ond pan wnelo
Duw ddaioni i'm harglwydd, yna
cofia di dy law-forwyn.
32 ¶ A dywedodd Dafydd wrth
Abigail, Bendigedig *fyddo* Argl-
wydd Dduw Israel, yr hwn a'th an-
fonodd di y dydd hwn i'm cyfarfod i:
33 Bendigedig hefyd *fo* dy gyng-
hor, a bendigedig *fyddych* dithau
yr hon a'm lluddiast y dydd hwn
rhag dyfod i *dywallt* gwaed, ac i
ymddial â'm llaw fy hun.
34 Canys yn wir, *fel* y mae Argl-

---

proffwydoliaeth, at farwolaeth ebrwydd Nabal; a'i bod yn dymuno i Saul, a phawb ereill o elynion Dafydd, gael eu tori ymaith gan law farnol Duw, fel y cai Nabal, adn. 38.

Adn. 27. *Yr anrheg yma*] A enwir adn. 18, *rhodder hi i'r llanciau*—i weision Dafydd, fel pe na buasai yn ddigon da i Dafydd ei hun yn ei barn hi.

Adn. 28. *A maddeu, atolwg, gamwedd dy wasanaethferch*] Camwedd Nabal, yr hwn a gymerasai hi arni ei hun; neu ei chamwedd hi yn dyfod fel hyn i eiriol gerbron Dafydd. *Canys yr Arglwydd gan wneuthur a wna i'm harglwydd dŷ sicr*—sef brenhiniaeth sicr i Dafydd a'i had. Hi a wyddai hyn ond odid trwy yr ysbryd proffwydoliaeth a orphwysai arni. *O herwydd fy arglwydd sydd yn ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd*—yn erbyn y Philistiaid, gelynion yr Arglwydd, ac o blaid Israel ei bobl ef. *A drygioni ni chafwyd ynot ti yn dy holl ddyddiau*—er i ti gael dy gyhuddo o lawer o ddrygioni gan Saul ac ereill. Na fydded i ti gan hyny gyfiawnhau gwarthruddiadau dy elynion, na dwyn anfri ar dy anrhydedd mawr a chyfiawn, trwy drochi dy gleddyf yn ngwaed y rhai a fyddant yn fuan yn ddeiliaid i ti.

Adn. 29. *Er cyfodi o ddyn i'th erlid di*] Sef Saul, yr hwn a erlidiasai lawer ar Dafydd i geisio dyfetha ei einioes ef; *eto enaid fy arglwydd a fydd wedi ei rwymo yn rhwymyn y bywyd*—bydd dy fywyd yn werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd, ac yn ddiogel ganddo ef; ac felly nid oedd achos iddo ef gymeryd ymaith fywyd neb arall i ddiogelu ei fywyd ei hun. Y mae yn sicr y gellir deall hyn am ddiogelwch bywyd naturiol Dafydd dan ofal rhagluniaeth Duw; ac y mae rhai yn ei ddeall hefyd am fywyd tragwyddol ei enaid ef, yn rhwymyn cyfammod tragwyddol Duw. Cymerwyd yr ymadrodd oddiwrth arferiad cyffredin dynion, y rhai a rwymant y pethau hyny mewn rhwymynau, y rhai y mae arnynt ofn eu colli. *Ac enaid dy elynion a chwyrn-deifl efe, fel o ganol ceudeb y ffon dafl*—Duw a'u symud hwy o'r byd yn gyflym a disymwyth, a chyda nerth angherddol. Y mae yn debyg fod Abigail yn cyfeirio yma at y gareg a daflodd Dafydd â'i ffon dafl i dalcen Goliath.

Adn. 30. *A phan y'th osodo di yn flaenor*] Neu yn frenin ar Israel, yn ol ei addewid o'r blaen.

Adn. 31. *Yna ni bydd hyn yn ochenaid i ti*] Bydd dy feddwl a'th gydwybod yn rhydd oddiwrth y boen a barai y fath weithred i'r hwn a'i cyflawnai. *Ddarfod i ti dywallt gwaed heb achos*—yr hyn a wnaethai Dafydd pe lladdasai efe Nabal a'i wŷr fel yr oedd yn bwriadu. Canys er i Nabal fod yn euog o ddiffeithrwydd ac anniolchgarwch, eto nid oedd efe wedi gwneyd dim yn haeddu angau, wrth gyfraith Duw na dyn; a pha beth bynag a wnaethai efe, yr oedd y lleill o'i deulu yn ddiniwed. *Ond pan wnelo Duw ddaioni i'm harglwydd*—sef dy waredu o law dy elynion, a'th ddyrchafu i'r orsedd; *yna cofia di dy law-forwyn*—tybia rhai ei bod hi yma, trwy ysbryd proffwydoliaeth, yn cyfeirio at farwolaeth ebrwydd Nabal, ac at gael eu phriodi â Dafydd; ond y mae yn debycach mai ei meddwl oedd, fod i Dafydd, wedi yr elai efe i'r frenhiniaeth, os byddai ganddi hi ryw gŵyn i'w ddwyn ger ei fron, ei gwrando hi yn dosturiol pan wedi ei gadael yn weddw.—Yn yr holl arawd hon nid oes dim yn ddiffygiol, na dim wedi ei ddodi i mewn yn afreidiol. Dywedwyd y cwbl yn y modd mwyaf addas, effeithiol, ac ennillgar; a dengys yr holl ymadrodd fod Abigail yn wraig ddoeth iawn, o ffydd gref, ac o fawr dduwioldeb. Gresyn oedd i wraig fel hon gael ei hudo i ieuo mor annghydmarus â dyn o fath Nabal!

Adn. 32. *Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel*] Canfyddai Dafydd law Duw yn amlwg yn hyn, a bendithiai Dduw am anfon Abigail i'w luddias ef rhag tywallt gwaed.

Adn. 33. *Bendigedig hefyd fo dy gynghor*] Efe a ddymunai fendith Duw ar ei chynghor hi hefyd, i'w attal ef o hyny allan rhag gormod byrbwylldra ac ysbryd dial.

Adn. 34. *Canys yn wir, fel y mae Arglwydd Dduw Israel yn fyw*] Gwel adn. 22.

wydd Dduw Israel yn fyw, yr hwn a'm hattaliodd i rhag dy ddrygu di, oni buasai i ti frysio a dyfod i'm cyfarfod, diau na adawsid i Nabal, erbyn goleuni y bore, *un* a bisai ar bared.
35 Yna y cymerodd Dafydd o'i law hi yr hyn a ddygasai hi iddo ef; ac a ddywedodd wrthi hi, Dos i fyny mewn heddwch i'th dŷ: gwel, mi a wrandewais ar dy lais, ac a dderbyniais dy wyneb.
36 ¶ Ac Abigail a ddaeth at Nabal; ac wele, *yr oedd* gwledd ganddo ef yn ei dŷ, fel gwledd brenin: a chalon Nabal *oedd* lawen ynddo ef; canys meddw iawn oedd efe: am hyny nid ynganodd hi wrtho ef air, na bychan na mawr, nes goleuo y bore.
37 A'r bore pan aeth ei feddwdod allan o Nabal, mynegodd ei wraig iddo ef y geiriau hyny; a'i galon ef a fu farw o'i fewn, ac efe a aeth *fel* careg.
38 Ac yn nghylch *pen* y deng niwrnod y tarawodd yr Arglwydd Nabal, fel y bu efe farw.
39 ¶ A phan glybu Dafydd farw Nabal, efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddo* yr Arglwydd, yr hwn a ddadleuodd achos fy sarhad i oddiar law Nabal, ac a attaliodd ei was rhag drwg: canys yr Arglwydd a drôdd ddrygioni Nabal ar ei ben ei hun. Dafydd hefyd a anfonodd i ymddyddan âg Abigail, am ei chymeryd hi yn wraig iddo.
40 A phan ddaeth gweision Dafydd at Abigail i Carmel, hwy a lefarasant wrthi, gan ddywedyd, Dafydd a'n hanfonodd ni atat ti, i'th gymeryd di yn wraig iddo.
41 A hi a gyfododd, ac a ymgrymodd ar *ei* hwyneb hyd lawr, ac a ddywedodd, Wele, dy forwyn yn wasanaethferch i olchi traed gweision fy arglwydd.
42 Abigail hefyd a frysiodd, ac a gyfododd, ac a farchogodd ar asyn,

---

Oddiyma gwelwn fod llwon, trwy y rhai y rhwyma dynion eu hunain i wneyd yr hyn sydd ddrwg, yn ddirym ac ofer: ac fel yr oedd yn bechod eu gwneuthur, felly y mae eu cyflawni yn chwanegu pechod at bechod.

Adn. 35. *Gwel, mi a wrandewais ar dy lais*] Ar ei dadleuon a'i rhesymau, y rhai oeddynt gryfion; ar ei deisyfiad taer, yr hwn a ganiatawyd; ac ar ei chynghor doeth a da, yr hwn y penderfynai Dafydd ufyddhau iddo.

Adn. 36. *Fel gwledd brenin*] O ran nifer y dysgleidiau a moethusrwydd y seigiau; canys y mae cybyddion yn afradus iawn weithiau wrth wneyd gwledd. *A chalon Nabal oedd lawen ynddo ef*—yn llawen gan win, wedi ei fyned yn 'feddw iawn;' ac os oedd ef yn ynfyd ar amserau ereill, diau ei fod yn llawer mwy ynfyd yn awr. *Am hyny nid ynganodd hi wrtho ef air*—am ei sarugrwydd ef wrth weision Dafydd, na'r perygl ag y bu ynddo o herwydd hyny, nac am yr hyn a wnaethai hi i'w arbed ef a'i holl dŷ.

Adn. 37. *A'r bore*] Wedi iddo gysgu, sobri, a dyfod i ryw raddau ato ei hun; *mynegodd ei wraig iddo ef y geiriau hyny*—am ei berygl ef oddiwrth Dafydd, a'r modd yr aethai hi i'w gyfarfod i droi ymaith ei lid ef; *a'i galon ef a fu farw o'i fewn*—syrthiodd mewn llewyg, ac aeth ei galon mor oer a dideimlad a chareg.

Adn. 38. *Ac yn nghylch pen y deg niwrnod*] Wedi iddo fod yn gorwedd cyhyd a hyny yn y dull marwaidd a syfrdan uchod, ac fe allai heb gymeryd dim lluniaeth trwy yr holl amser; *tarawodd yr Arglwydd Nabal*—ond odid â'r parlys; neu ynte goddefodd i'w ofid a'i ofnau gynyddu i'r fath raddau fel y bu farw.

Adn. 39. *A phan glybu Dafydd farw Nabal*] Yr hyn a allai ei glywed yn fuan, trwy nad oedd fawr uwchlaw 30 o filldiroedd rhwng Maon a Paran. *Bendigedig fyddo yr Arglwydd*—efe a orfoleddai nid yn gymaint am y farn a ddaethai ar Nabal, eithr yn benaf am fod yr Arglwydd wedi ei attal ef rhag y drwg o dywallt gwaed, a chadw bywyd ei weision trwy droi drygioni Nabal ar ei ben ei hun yn unig. *Dafydd hefyd a anfonodd i ymddyddan âg Abigail*—nid yn ebrwydd ar ol marw ei gŵr, eithr yn mhen rhyw amser ar ol hyny; *am ei chymeryd hi yn wraig iddo*—nid trwy orfod, ond trwy ei pherswadio, os gallent, i ymbriodi â Dafydd. Y mae yn debyg i Dafydd glywed cyn hyn ddarfod i Saul, i dori ymaith ei holl hawliau ef i'r orsedd, roddi Michal ei ferch yn wraig i Phalti, adn. 44; ac felly yr oedd yn gyfreithlon iddo ef briodi un arall: ac heblaw hyny, yn ol arferiad yr amseroedd hyny, nid oedd yn anghyfreithlon i ŵr gymeryd amrai wragedd. Gallwn feddwl i Dafydd, trwy briodi Abigail, gael holl gyfoeth Nabal yn Maon a Carmel iddo ei hun.

Adn. 40. *Carmel*] Canys yr oedd ganddi dŷ yno yn gystal ag yn Maon, adn. 2.

Adn. 41. *Wele dy forwyn yn wasanaethferch i olchi traed gweision fy arglwydd*] Hi a ddywedai hyn wrth flaenor y gweision, yr hwn a'i cyfarchai; ac y mae yr ymadrodd yn dangos nid yn unig ei mawr ostyngeiddrwydd hi, ond hefyd ei pharodrwydd i gydsynio â'u cais. Er ei bod yn fenyw brydferth a chyfoethog, tybiai fod yn anrhydedd iddi gael golchi traed gweision Dafydd, a pha faint mwy gael bod yn feistres iddynt fel gwraig Dafydd!

Adn. 42. *Ac a farchogodd ar asyn*] Yr hyn oedd mor anrhydeddus yn y wlad hono ag yw myned mewn cerbyd yn awr yn ein gwlad ni; *a phump o'i llancesau yn ei chanlyn*—i weini iddi mewn anrhydedd; *ac a aeth yn*

a phump o'i llancesau yn ei chanlyn: a hi a aeth yn ol cenhadau Dafydd, ac a aeth yn wraig iddo ef.
43 A Dafydd a gymerth Ahinoam o Jezreel, a hwy a fuant ill dwyoedd yn wragedd iddo ef.
44 ¶ A Saul a roddasai Michal ei ferch, gwraig Dafydd, i Phalti mab Lais, o Alim.

## PENNOD XXVI.

A'R Ziphiaid a ddaethant at Saul i Gibeah, gan ddywedyd, Onid *ydyw* Dafydd yn llechu yn mryn Hachilah, ar gyfer y diffaethwch?
2 Yna y cyfododd Saul, ac a aeth i waered i anialwch Ziph, a thair mil o etholedigion gwŷr Israel gydag ef, i geisio Dafydd yn anialwch Ziph.
3 A Saul a wersyllodd yn mryn Hachilah, yr hwn *sydd* ar gyfer y diffaethwch, wrth y ffordd: a Dafydd oedd yn aros yn yr anialwch; ac efe a welodd fod Saul yn dyfod ar ei ol ef i'r anialwch.
4 Am hyny Dafydd a anfonodd yspïwyr, ac a wybu ddyfod o Saul yn sicr.
5 ¶ A Dafydd a gyfododd, ac a ddaeth i'r lle y gwersyllasai Saul ynddo: a chanfu Dafydd y lle yr oedd Saul yn gorwedd ynddo, ac Abner mab Ner, tywysog ei lu. A Saul oedd yn gorwedd yn y wersyllfa, a'r bobl yn gwersyllu o'i amgylch ef.
6 Yna y llefarodd Dafydd, ac y dywedodd wrth Ahimelech yr Hethiad, ac wrth Abisai mab Serfiah, brawd Joab, gan ddywedyd, Pwy a â i waered gyda mi at Saul i'r gwersyll? A dywedodd Abisai, Myfi a âf i waered gyda thi.
7 Felly y daeth Dafydd ac Abisai at y bobl liw nos. Ac wele, Saul yn gorwedd *ac* yn cysgu yn y wersyllfa, a'i waewffon wedi ei gwthio i'r ddaear *wrth* ei obenydd ef: ac Abner a'r bobl oedd yn gorwedd o'i amgylch ef.
8 Yna y dywedodd Abisai wrth Dafydd, Duw a roddes heddyw dy elyn yn dy law di: yn awr gan hyny gad i mi ei daro ef, atolwg, â gwaewffon, hyd y ddaear unwaith, ac nas ail *darawaf* ef.

---

*wraig iddo ef*—trwy ddyweddïad a phriodas, yn ol trefn y wlad a'r amserau hyny.

Adn. 43. *A Dafydd a gymerth Ahinoam*] Meddylir iddo gymeryd hon yn wraig o flaen Abigail, am y crybwyllir am dani bob amser yn mlaenaf yn rhestr ei wragedd; a hi oedd fam ei fab hynaf Amnon, 2 Sam. iii. 2. *O Jezreel*—yr oedd dau le o'r enw hwn; un yn llwyth Issacar, a'r llall yn llwyth Juda.

Adn. 44. *I Phalti*] Fel na ddywedid fod Saul yn erlid ei fab-yn-nghyfraith, ac fel na fyddai y berthynas hòno yn un math o esgus i Dafydd hòni hawl i'r orsedd.

PEN. XXVI. Adn. 1. *A'r Ziphiaid a ddaethant at Saul*] Gan fod Dafydd wedi dyfod drachefn i'w parthau hwy, a bod y sôn yn cynyddu fwy-fwy yr âi efe yn frenin, ofnai y gwŷr hyn y dialai efe arnynt am eu bradychiad o hono o'r blaen; felly aethant at Saul eilwaith, gan obeithio y gellid dyfetha Dafydd, fel na ddialai efe arnynt hwy. *Onid ydyw Dafydd yn llechu yn mryn Hachilah*—lle yr ydoedd pan y darfu i'r Ziphiaid ei fradychu ef o'r blaen, pen. xxiii. 19. Yr oedd y lle hwn o fewn oddeutu pedair milldir i Carmel, lle yr oedd cartref a meddiannau Abigail; a hyn ond odid a barodd i Dafydd symud yma o anialwch Paran.

Adn. 2. *Yna y cyfododd Saul*] Felly ni a welwn mai yr un oedd ei elyniaeth ef at Dafydd o hyd, er i Dafydd ei arbed ef yn yr ogof, pen. xxiv. 10, &c.

Adn. 3, 4. *Ac efe a welodd fod Saul yn dyfod ar ei ol*] Hyny yw, efe a *glywodd;* canys pe buasai Dafydd wedi gweled â'i lygaid fod Saul yn dyfod ar ei ol, ni buasai raid iddo anfon yspïwyr i gael sicrwydd o'r peth.

Adn. 5. *A'r bobl yn gwersyllu o'i amgylch ef*] Yr oedd Saul ac Abner yn gorwedd yn nghanol y gwersyll, a'r milwyr oll o amgylch iddynt yn gwarchad y brenin, ac yn edrych allan bob ffordd a welent hwy Dafydd a'i wŷr. Felly y gwersylla yr Arabiaid hyd heddyw, a'u penaethiaid yn y canol.

Adn. 6. *Serfiah*] Hon oedd chwaer Dafydd; ac felly yr oedd ei meibion hi, Abisai a Joab, yn neiaint i Dafydd.

Adn. 7. *Felly y daeth Dafydd ac Abisai at y bobl liw nos*] Gweithred hyf iawn oedd i ddau ddyn fel hyn fyned i ganol byddin o dair mil o wŷr etholedig! Ond dylid ystyried, (1) Fod Dafydd wedi cael rhyw sicrwydd y cadwai Duw ef i'r frenhiniaeth; (2) Ei fod ef yn debygol wedi cael rhyw gymhelliad dwyfol i'w feddwl i wneuthur hyn; ac, (3) Y gallai Duw fod wedi datguddio iddo fod y gwŷr oll yn cysgu, fel y cai Dafydd yr ail gyfleusdra hwn i ddangos ei ddiniweidrwydd tuag at Saul. *Ac wele Saul yn gorwedd ac yn cysgu*—a'i holl filwyr yn cysgu hefyd, trwy i drymgwsg oddiwrth yr Arglwydd syrthio arnynt, adn. 12. *A'i waewffon wedi ei gwthio i'r ddaear wrth ei obenydd ef*—yn barod at ei law os byddai achos am dani.

Adn. 8. *Gad i mi ei daro ef*] Ni cheisiai Abisai gan Dafydd ei hun ladd Saul, am y gwyddai iddo wrthod gwneyd hyny o'r blaen yn yr ogof, pen. xxiv. 6; ond ceisiau ganddo adael iddo ef roddi y waewffon trwyddo i'r ddaear, fel na byddai achos ei ail daraw ef byth mwyach.

9 A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai, Na ddyfetha ef: canys pwy a estynai ei law yn erbyn eneiniog yr Arglwydd, ac a fyddai ddieuog?

10 Dywedodd Dafydd hefyd, *Fel* y mae yr Arglwydd yn fyw, naill ai yr Arglwydd a'i tery ef; ai ei ddydd ef a ddaw i farw; ai efe a ddisgyn i'r rhyfel, ac a ddyfethir.

11 Yr Arglwydd a'm cadwo i rhag estyn fy llaw yn erbyn eneiniog yr Arglwydd: ond yn awr, cymer, atolwg, y waewffon *sydd* wrth ei obenydd ef, a'r llestr dwfr, ac awn ymaith.

12 A Dafydd a gymerth y waewffon, a'r dwfr oddiwrth obenydd Saul; a hwy a aethant ymaith; ac nid oedd *neb* yn gweled, nac yn gwybod, nac yn neffro: canys *yr oeddynt* oll yn cysgu; o herwydd trymgwsg oddiwrth yr Arglwydd a syrthiasai arnynt hwy.

13 ¶ Yna Dafydd a aeth i'r tu hwnt, ac a safodd ar ben y mynydd o hirbell (*ac* encyd fawr rhyngddynt)

14 A Dafydd a lefodd ar y bobl, ac ar Abner mab Ner, gan ddywedyd, Onid atebi di, Abner? Yna Abner a atebodd, ac a ddywedodd, Pwy *ydwyt* ti *sy* yn llefain ar y brenin?

15 A Dafydd a ddywedodd wrth Abner, Onid gŵr *ydwyt* ti? a phwy *sydd* fel ti yn Israel? a phaham na chedwaist dy arglwydd frenin? canys daeth un o'r bobl i ddyfetha y brenin dy arglwydd di.

16 Nid da y peth hyn a wnaethost ti. *Fel* y mae yr Arglwydd yn fyw, meibion *euog* o farwolaeth *ydych* chwi, am na chadwasoch eich meistr, eneiniog yr Arglwydd. Ac yn awr edrychwch pa le *y mae* gwaewffon y brenin, a'r llestr dwfr *oedd wrth* ei obenydd ef.

17 A Saul a adnabu lais Dafydd, ac a ddywedodd, Ai dy lais di *yw* hwn, fy mab Dafydd? A dywedodd Dafydd, Fy llais i *ydyw,* fy arglwydd frenin.

18 Dywedodd hefyd, Paham y mae fy arglwydd fel hyn yn erlid

---

Adn. 9. *Na ddyfetha ef*] Gan fod Saul wedi cael ei wneyd yn frenin trwy benodiad neillduol Duw, edrychai Dafydd arno fel y trosedd mwyaf i neb ei niweidio ef: gwel ar pen. xxiv. 6, &c.

Adn. 10. *Fel y mae yr Arglwydd yn fyw*] Hyn ydoedd fath ar lw, i sicrhau i Abisai wirionedd y naill neu y llall o'r pethau a ganlyn. *Naill ai yr Arglwydd a'i tery ef*—â barn i farwolaeth; *ai ei ddydd ef a ddaw i farw*—o farwolaeth naturiol, yr hyn yn nhrefn naturiaeth a gymer le o flaen fy marwolaeth i, yr hwn wyf lawer ieuangach, ac felly caf waredigaeth oddiwrtho; *ai efe a ddisgyn i'r rhyfel, ac a ddyfethir*—â chleddyf gelynion ei wlad.

Adn. 11. *Cymer, atolwg, y waewffon*] Yr hon a ddengys lle y buom, a'r hyn a allasem ei wneuthur. Gwelsom eisioes fod y waewffon yn cael ei chario gan frenhinoedd, fel teyrnwialen, yn arwydd o awdurdod brenhinol; ac wrth i Dafydd gymeryd hon, gallai Saul ddeall fod hyny yn arwyddo y byddai i Dafydd esgyn i'r orsedd. *A'r llestr dwfr*—yr hwn a roddwyd yno i Saul yfed o hono yn ei syched; neu i ymlanhau âg ef, yn ol y gyfraith, os ymhalogai.

Adn. 12. *Trymgwsg oddiwrth yr Arglwydd*] Yr un gair ydyw ag a ddefnyddir Gen. ii. 21, i osod allan gyflwr Adda pan ffurfiodd Duw Efa o'i ystlys ef.

Adn. 13. *Yna Dafydd a aeth i'r tu hwnt*] Sef dros yr afon ag oedd yn rhedeg rhwng y ddau fryn, fel y dywed Josephus; *ac a safodd ar ben y mynydd o hirbell*—yn ddigon agos iddynt glywed ei lais yn y gwersyll, ac yn ddigon pell iddo allu dianc o'u cyrnedd os byddai raid.

Adn. 14. *A Dafydd a lefodd ar y bobl*] Sef ar filwyr Saul yn y gwersyll, fel y deffröent ac y clywent hwy; *ac ar Abner*—tywysog ei lu ef. *Pwy ydwyt ti sydd yn llefain ar y brenin?*—gellir meddwl wrth hyn i Dafydd lefain ar Saul hefyd; ond y mae Poole yn ei ddeall, 'yn ymyl y brenin,' neu mor agos ato fel ag i'w aflonyddu.

Adn. 15. *Onid gŵr ydwyt ti?*] Sef gŵr o wroldeb a dewrder mawr. *A phwy sydd fel ti yn Israel?*—mor uchel fel swyddog milwraidd, ac o gymaint ymddiriad a chyfrifoldeb? *A phaham na chedwaist*—na fuasai genyt well dysgyblaeth ar dy fyddin fel ag i warchad dy arglwydd frenin? *Canys daeth un o'r bobl i ddyfetha y brenin*—yr oedd hyn yn wir am Abisai, yr hwn a fynai ladd Saul, adn. 8.

Adn. 16. *Meibion euog o farwolaeth ydych chwi*] Canys yr oedd y neb a gysgai ar ei wyliadwriaeth i gael ei gospi â marwolaeth, yn ol y deddfau milwraidd. *Edrychwch pa le y mae gwaewffon y brenin*—y mae yn debyg ei bod yn ddydd goleu erbyn hyn, a bod Dafydd yn dal y waewffon a'r llestr yn ei law, i'w dangos i Abner a milwyr Saul; yr hyn oedd yn brawf iddo ef fod yn y gwersyll yn eu cymeryd, ac iddo arbed Saul pryd y gallasai ei ladd ef.

Adn. 17. *A Saul a adnabu lais Dafydd*] Yr hwn oedd wedi deffro erbyn hyn trwy fod Dafydd ac Abner yn gwaeddi ar eu gilydd. *Ai dy lais di yw hwn, fy mab Dafydd?*—gwel ar pen. xxiv. 16. *Fy llais i ydyw, fy arglwydd frenin*—y mae efe fyth yn cydnabod awdurdod Saul fel ei arglwydd a'i frenin, gan arwyddo iddo felly ei ffyddlondeb o hyd iddo ef a'i lywodraeth.

Adn. 18. *Paham y mae fy arglwydd fel hyn yn erlid ar ol ei was?*] Canys yr oedd

ar ol ei was? canys beth a wnaethym? neu pa ddrygioni *sydd* yn fy llaw?

19 Yn awr gan hyny, atolwg, gwrandawed fy arglwydd frenin eiriau ei wasanaethwr. Os yr Arglwydd a'th annogodd di i'm herbyn, arogled offrwm: ond os meibion dynion, melldigedig *fyddant* hwy gerbron yr Arglwydd; o herwydd hwy a'm gyrasant i allan heddyw, fel nad ydwyf yn cael glynu yn etifeddiaeth yr Arglwydd, gan ddywedyd, Dos, gwasanaetha dduwiau dyeithr.

20 Yn awr, gan hyny, na syrthied fy ngwaed i i'r ddaear o flaen wyneb yr Arglwydd: canys brenin Israel a ddaeth allan i geisio chwanen, megys un yn hela petris yn y mynyddoedd.

21 ¶ Yna Saul a ddywedodd, Pechais: dychwel, Dafydd, fy mab: canys ni'th ddrygaf mwy; o herwydd gwerthfawr fu fy einioes i yn dy olwg di y dydd hwn: wele, ynfyd y gwnaethym, a mi a gyfeiliornais yn ddirfawr.

22 A Dafydd a atebodd, ac a ddywedodd, wele waewffon y brenin: deled un o'r llanciau drosodd, a chyrched hi.

23 Yr Arglwydd a dalo i bob un ei gyfiawnder, a'i ffyddlondeb: canys yr Arglwydd a'th roddodd di heddyw yn *fy* llaw *i;* ond nid estynwn i fy llaw yn erbyn eneiniog yr Arglwydd.

24 Ac wele, megys y bu werthfawr dy einioes di heddyw yn fy ngolwg i, felly gwerthfawr fyddo fy einioes inau yn ngolwg yr Arglwydd, a gwareded fi o bob cyfyngdra.

25 Yna y dywedodd Saul wrth

---

Saul trwy hyny yn colli ei wasanaeth ef, yr hon a allai fod yn fanteisiol i Saul, er gwaeled oedd Dafydd.

Adn. 19. *Os yr Arglwydd a'th annogodd di i'm herbyn*] Yn gosp am dy bechodau di neu fi; *arogled offrwm*—Saes., '*derbynied* offrwm;' hyny yw, boed i ni offrymu aberth i heddychu ei lid yn ein herbyn. Neu, derbynied yr Arglwydd offrwm diolchgarwch genyt ti am waredu y wlad oddiwrth y fath ddrwgweithredwr a fi; canys rhaid fy mod yn gyfryw, onidê nid annogasai Duw dydi byth i'm herbyn. *Ond os meibion dynion*—trwy enllib a chelwyddau, a'th annogasant yn ddiachos i'm herbyn; *melldigedig fyddant hwy*—gallai y cyfryw ddysgwyl i felldith Duw ddisgyn mewn barn drom a chyfiawn arnynt cyn hir: neu gellir golygu y geiriau fel proffwydoliaeth mai felly y byddai, os nad fel gweddi hefyd, dan ysbrydoliaeth Duw, am i hyny fod. *O herwydd hwy a'm gyrasant i allan*—trwy annog Saul i'w erlid ef allan o wlad Canaan, yr hon a roisai yr Arglwydd yn etifeddiaeth i'w bobl Israel, ac yn yr hon yr oedd y tabernacl, ac addoliad y gwir Dduw. *Gan ddywedyd, Dos, gwasanaetha dduwiau dyeithr*—hon oedd iaith eu hymddygiad hwy; canys wrth ei yru ef allan i blith eilunaddolwyr, yr oeddynt yn gosod Dafydd mewn profedigaeth i droi yn eilunaddolwr, neu yn agored i gael ei orfodi i hyny gan y cenhedloedd eilunaddolgar.

Adn. 20. *O flaen wyneb yr Arglwydd*] Yr hwn a welai, ac a ddialai ei waed ef ar ben y neb a'i tywalltai. *I geisio chwanen*—peth rhy wael a dirmygus i frenin ddyfod allan ar ei hol; gwel ar pen. xxiv. 14. *Megys un yn hela petris yn y mynyddoedd*—y mae Rabbi Solomon yn cyfieithu y gair *kore* yn *cuculus*, côg neu gwcw; a'r LXX yn frân nos. Y mae yn sicr y rhaid ei fod yn meddwl rhyw aderyn diwerth yn fwyd, a hollol ddiles; ac am hyny yr oedd ei hela ef ar y *mynyddoedd*, mewn lleoedd anhawdd felly, yn waith diles ac ofer.

Adn. 21. *Yna Saul a ddywedodd, Pechais*] Tybia Clarke y dylai y gair *chatathi*, a gyfieithir yma *pechais*, gael ei gyfieithu, *cyfeiliornais*, neu *camsyniais:* tybiais di yn ddyn tra gwahanol i'r hyn yr wyf yn cael dy fod. Ond y mae yn wir ddarfod iddo *bechu* hefyd, wrth geisio ei ladd. *Dychwel, Dafydd fy mab*—adref i'th dŷ, neu i lys a gwasanaeth Saul megys gynt. Ond nid mor briodol y gallai ei alw yn *fab* iddo yn awr, na dysgwyl iddo ei wasanaethu ef mwyach, ar ol iddo roddi ei ferch, gwraig Dafydd, i ŵr arall. *Ni'th ddrygaf mwy*—ac nid ymddengys iddo geisio gwneuthur hyny wedi hyn, trwy fod tiriondeb Dafydd wedi ei lwyr orchfygu ef. *Gwerthfawr fu fy einioes i yn dy olwg di*—trwy i ti fy arbed i yn y gwersyll y tro hwn, fel yn yr ogof y tro o'r blaen. *Wele ynfyd y gwnaethym*—wrth dy erlid di fel fy ngelyn, yr hwn oeddit mewn gwirionedd fy nghyfaill goraf.

Adn. 22. *Wele waewffon y brenin*] A chan ei bod yn deyrnwialen hefyd, ni fynai Dafydd ei chadw hi, rhag i neb ddywedyd ei fod yn amcanu am y frenhiniaeth. *Deled un o'r llanciau drosodd*—canys er i Saul addaw na wnai ei ddrygu ef mwyach, ni fynai Dafydd ymddiried ei fywyd i un mor dwyllodrus, trwy ei hebrwng iddo ei hun.

Adn. 23. *Yr Arglwydd a dalo i bob un ei gyfiawnder*] Yn y geiriau hyn dengys Dafydd y sicrwydd oedd ganddo, pa fodd bynag yr ymddygai Saul tuag ato, y byddai i'r Arglwydd amddiffyn ei achos ef oblegid ei uniondeb a'i gyfiawnder.

Adn. 24. *Felly gwerthfawr fyddo fy einioes inau*] Efe a weddiai am i Dduw arbed ei fywyd ef, fel yr oedd yntau wedi arbed bywyd Saul, a'i waredu o bob cyfyngdra. Dywedodd Dafydd hyn oll yn nghlyw Saul a'i filwyr, a gallwn feddwl fod ei eiriau yn effeithio yn ddwys arnynt.

Adn. 25. *Bendigedig fych di*] Gan yr Ar-

Dafydd, Bendigedig *fych* di, fy mab
Dafydd: hefyd ti a wnai fawredd,
ac a orchfygi rhagllaw. A Dafydd
a aeth i ffordd; a Saul a ddychwel-
odd i'w fangre ei hun.

## PENNOD XXVII.

A DAFYDD a ddywedodd yn ei
galon, yn awr dyfethir fi ryw
ddydd trwy law Saul: nid *oes* dim
well i mi na dianc i dir y Philistiaid;
fel yr anobeithio Saul *ddyfod o hyd*
i mi, ac na'm ceisio mwy yn holl
derfynau Israel. Felly y diangaf
o'i law ef.
2 A Dafydd a gyfododd, ac a
dramwyodd, efe a'r chwe chànwr
*oedd* gydag ef, at Achis mab Maoch,
brenin Gath.
3 A Dafydd a arhosodd gydag
Achis yn Gath, efe a'i wŷr, bob un
gyda'i deulu; Dafydd a'i ddwy
wragedd, Ahinoam y Jezreelëes,
ac Abigail gwraig Nabal y Car-
melëes.
4 A mynegwyd i Saul, ffoi o Da-
fydd i Gath: ac ni chwanegodd efe
ei geisio ef mwy.
5 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth
Achis, O chefais yn awr ffafr yn dy
olwg di, rhodder i mi le yn un o'r
maesdrefi, fel y trigwyf yno: canys
paham yr erys dy was di yn ninas y
brenin gyda thi?
6 Yna Achis a roddodd iddo ef y
dydd hwnw Siclag: am hyny y mae
Siclag yn eiddo brenhinoedd Juda
hyd y dydd hwn.
7 A rhifedi y dyddiau yr arhosodd
Dafydd yn ngwlad y Philistiaid,
*oedd* flwyddyn a phedwar mis.
8 ¶ A Dafydd a'i wŷr a aethant i
fyny, ac a ruthrasant ar y Gesuriaid,
a'r Gezriaid, a'r Amaleciaid: canys
hwynthwy gynt oedd yn preswylio
yn y wlad, ffordd yr elych i Sur, ïe,
hyd wlad yr Aifft.

---

glwydd: fel hyn efe a weddiai drosto am i Dduw ei fendithio. *Hefyd ti a wnai fawredd, ac a orchfygi rhagllaw*—Heb. *gam asoh thaaseh, vegam yachol tuchal;* yr hyn a gyfieitha y Targum, 'hefyd gan deyrnasu ti a deyrnesi, a chan lwyddo ti a lwyddi;' yr hyn yn ol pob tebygolrwydd, ebai Clarke, yw y meddwl. *A Dafydd a aeth i ffordd*—i'r anialwch, am nad oedd ganddo ymddiriad yn Saul; *a Saul a ddychwelodd i'w fangre ei hun*—yn Gibeah; ac ni welsant eu gilydd byth mwyach yn y bywyd hwn.

PEN. XXVII. Adn. 1. *Yn awr dyfethir fi ryw ddydd trwy law Saul*] Yr oedd hwn yn gasgliad disail iawn; canys yr oedd Duw wedi cyfryngu mor fynych ar ran ei einioes, fel yr oedd ganddo sail i gredu i'r gwrthwyneb. *Nid oes dim well i mi na dianc i dir y Philistiaid*—i'r fan ag y beiai efe ei elynion am ei yru iddo, pen. xxvi. 19. Y mae Dafydd yma yn dangos diffyg gras, ac anhyder mawr yn addewid a rhagluniaeth Duw; a dylasai ymgynghori â Duw, trwy ei offeiriad neu ei broffwyd, cyn penderfynu fel hyn. Yr oedd Duw wedi gorchymyn iddo fyned i wlad Juda, pen. xxii. 5; a diau na ddylasai efe adael hòno i fyned i wlad baganaidd, heb gyffelyb orchymyn dwyfol, neu o leiaf oddefiad.

Adn. 2. *At Achis mab Maoch*] Yr hwn a elwir felly i'w wahaniaethu oddiwrth frenin arall o'r un enw, yr hwn yn debygol oedd erbyn hyn wedi marw: gwel ar pen. xxi. 10.

Adn. 3. *Bob un gyda'i deulu*] Felly ymddengys fod gan filwyr Dafydd wragedd a phlant, y rhai a gymerasant gyda hwy yn awr i'w diogelu rhag Saul. Gan nad ydym yn darllen am danynt cyn hyn, dichon mai yn awr y daethant gyntaf oddicartref.

Adn. 4. *Ac ni chwanegodd efe ei geisio ef mwy*] Nid am fod gelyniaeth Saul wedi darfod, ond am fod Dafydd wedi myned allan o'i gyraedd ef.

Adn. 5. *Rhodder i mi le yn un o'r maesdrefi*] Efe a ddeisyfai hyn fel y gallai symud ei bobl yn fwy o ffordd siamplau drwg; a chael mwy o ryddid i addoli y gwir Dduw, a hyny heb dramgwyddo y Philistiaid eilunaddolgar; ac fel y gallai arferyd ei awdurdod yn well dros ei filwyr, a rhuthro yn hawddach ar elynion Israel. *Canys paham yr erys dy was di yn ninas y brenin gyda thi?*—yr hyn sydd yn anrhydedd rhy fawr i mi, yn ormod o faich i tithau, ac a all fod yn achlysur tramgwydd i'th bobl hefyd.

Adn. 6. *Ac Achis a roddodd iddo ef y dydd hwnw Siclag*] Wrth ranu y wlad rhoddwyd y ddinas hon i lwyth Juda, ac wedi hyny i lwyth Simeon, Jos. xv. 31, a xix. 5, er na feddianwyd hi ond odid gan y naill na'r llall hyd yn awr. *Am hyny y mae Siclag yn eiddo brenhinoedd Juda hyd y dydd hwn*—hyd y dydd yr ysgrifenwyd y geiriau chwanegol hyn gan ryw un ar ol marwolaeth Samuel: gwel y rhagymadrodd.

Adn. 7. *Oedd flwyddyn a phedwar mis*] Heb. 'oedd flwyddyn o ddyddiau,' neu 'ddyddiau, sef pedwar mis;' a dywed yr Iuddewon mai oddeutu pedwar mis y bu Saul byw ar ol Samuel; ac ar farwolaeth Saul aeth Dafydd o Siclag i fod yn frenin ar Israel.

Adn. 8. *Ac a ruthrasant ar y Gesuriaid, a'r Gezriaid, a'r Amaleciaid*] Yr Amaleciaid oeddynt hen elynion annghymodadwy Israel, y rhai y tyngodd yr Arglwydd y byddai iddo ryfela â hwynt yn dragywydd; a thybir mai canghenau o honynt hwy, neu weddillion o'r Canaaneaid mewn cynghrair â hwy, oedd y Gesuriaid a'r Gezriaid: gan hyny yr oedd yn iawn i Dafydd geisio gorphen y gwaith a adawsai Saul yn bechadurus heb ei orphen, pen. xv. A chan fod y rhai hyn yn elyn-

9 A Dafydd a darawodd y wlad;
ac ni adawodd yn fyw ŵr na gwraig:
ac a ddyg y defaid, a'r gwartheg, a'r
asynod, a'r camelod, a'r gwisgoedd,
ac a ddychwelodd ac a ddaeth at
Achis.
10 Ac Achis a ddywedodd, I ba
le y rhuthrasoch chwi heddyw? A
dywedodd Dafydd, Yn erbyn tu
deau Juda, ac yn erbyn tu deau y
Jerahmeeliaid, ac yn erbyn tu deau
y Ceneaid.
11 Ac ni adawsai Dafydd yn fyw
ŵr na gwraig, i ddwyn *chwedlau* i
Gath; gan ddywedyd rhag mynegu
o honynt i'n herbyn, gan ddywedyd,
Fel hyn y gwnaeth Dafydd, ac felly
*y bydd* ei arfer ef yr holl ddyddiau
yr arhoso efe yn ngwlad y Philist-
iaid.
12 Ac Achis a gredodd Dafydd,
gan ddywedyd, Efe a'i gwnaeth ei
hun yn ffiaidd gan ei bobl ei hun
Israel; am hyny y bydd efe yn was
i mi yn dragywydd.

## PENNOD XXVIII.

A'R Philistiaid yn y dyddiau hyny
a gynullasant eu byddinoedd yn
llu, i ymladd yn erbyn Israel. A
dywedodd Achis wrth Dafydd,
Gwybydd di yn hysbys, yr âi di
gyda mi allan i'r gwersylloedd, ti
a'th wŷr.
2 A dywedodd Dafydd wrth Achis,
Yn ddiau ti a gai wybod beth a all
dy was ei wneuthur. A dywedodd
Achis wrth Dafydd, Yn wir minau
a'th osodaf di yn geidwad ar fy
mhen i byth.
3 ¶ A Samuel a fuasai farw; a
holl Israel a alarasent am dano ef,

---

iaethus i'r Philistiaid hefyd, yr oedd Dafydd a'i wŷr yn gwneyd cymwynas fawr yn hyn i Achis hefyd.

Adn. 9. *Ac ni adawodd yn fyw ŵr na gwraig*] Yn y parthau lle y bu; ond yr oedd llawer o'r Amaleciaid yn aros fyth mewn rhanau ereill o'r wlad. *Ac a ddyg y defaid, &c.*—nid oedd Dafydd wedi cael gorchymyn i ddinystrio yr anifeiliaid a'r meddiannau, fel y cawsai Saul, pen. xv. 3; gan hyny efe a'u cymerodd yn yspail rhyfel, at ei wasanaeth ei hun a'i filwyr.

Adn. 10. *Yn erbyn tu deau Juda, &c.*] Y mae yn wir fod y bobl hyn yn *ddeheuol* i Judea, ond deallai Achis ef fel yn cyfeirio at barthau deheuol Judea ei hun. Yr oedd Dafydd yn meddwl fod yn ddoeth iddo gelu yr ymosodiadau hyn, rhag ymddangos i Achis iddo fod yn ymladd dros Saul. Ac felly yr oedd twyll ac amwysedd yma nas gellir ei amddiffyn, yr hwn oedd yn gweddu yn ddrwg i Dafydd fel tywysog a phroffeswr y wir grefydd.

Adn. 11. *Iddwyn chwedlau i Gath*] Darfu i'n cyfieithwyr ni ddodi y gair chwedlau i mewn yma ebai Benson, yr hwn sydd yn gŵyrdroi ystyr y lle yn hollol. Yr Hebraeg yw, 'ni adawsai Dafydd yn fyw ŵr na gwraig i'w dwyn i Gath;' hyny yw, ni ddygodd efe ddim carcharorion yno; a'r rheswm oedd, am yr ymddangosai felly nad *Israeliaid* oedd y rhai yr ymosodasai Dafydd arnynt, fel y tybiai Achis. Ond y mae yr ymadrodd 'dwyn *chwedlau* i Gath' yn peri i'r darllenydd dynu camgasgliad, sef fod y bobl hyn mewn cynghrair âg Achis, ac y buasai iddynt am hyny anfon cenadau i achwyn ar ymddygiad Dafydd, oni buasai iddo eu lladd i attal hyny. Ond y mae yn sicr nad oes genym un rheswm i gredu fod y bobl hyn yn gyfeillion i Achis, eithr yn hollol i'r gwrthwyneb: gwel BENSON. Ond eto gellir meddwl fod diwedd yr adnod yn pleidio yr ystyr a osodir allan yn ein cyfieithiad ni: *Rhag mynegu o honynt*—neu ddwyn chwedlau i'n herbyn, mai *felly y bydd ei arfer ef*—y byddai i Dafydd o hyd, tra y byddai yn ngwlad y Philistiaid, ruthro yn erbyn rhai o'u pleidwyr hwy, gan eu lladd a'u hyspeilio; ac felly mai nid doeth na diberygl fyddai gadael i'r fath ddyn gael aros yn eu gwlad.

Adn. 12. *Ac Achis a gredodd Dafydd*] Mai yn erbyn gwŷr Juda y rhuthrasai efe, trwy yr hyn y gwnaethai efe ei hun, yn ol ei feddwl ef, yn ffiaidd yn ngolwg ei genedl, fel na feiddiai efe byth mwyach ddychwelyd i'w wlad ei hun.

PEN. XXVIII. Adn. 1. *A'r Philistiaid yn y dyddiau hyny a gynullasant eu byddinoedd yn llu*] Tybia Syr Isaac Newton fod y Philistiaid wedi cael chwanegiad mawr at eu byddinoedd y pryd hyn, trwy i *Amasis* yru lluoedd dirfawr o wŷr allan o'r Aifft; ac yr oedd hyn, yn nghyda marwolaeth Samuel, gwallgofrwydd Saul, ac enciliad Dafydd, yn gymhelliadau cryfion i adnewyddu y rhyfel yn erbyn Israel, oddiwrth ba un yr oedd gan y Philistiaid bob peth i'w obeithio. *A dywedodd Achis wrth Dafydd*—o herwydd ei fod wedi cael ei dwyllo trwy yr hyn a ddywedasai Dafydd wrtho, pen. xxvii. 10.

Adn. 2. *Yn ddiau ti a gai wybod beth a all dy was ei wneuthur*] O blaid Israel neu y Philistiaid. Tybir yn gyffredin mai atebiad amwys oedd hwn hefyd, i daflu y peth heibio ar hyn o bryd: ond deallodd Achis ef fel addewid y byddai i Dafydd ymladd yn wrol gydag ef. *Minau a'th osodaf di yn geidwad ar fy mhen i byth*—yn brif dywysog ei fyddinoedd, neu yn ben ar warchawdlu personol y brenin. Yr oedd Dafydd mewn amgylchiad cyfyng y pryd hyn: ymladd yn erbyn ei genedl ei hun nis gallai yn ddibechod, a nacâu hyny wrth Achis nis gallai yn ddiberygl.

Adn. 3. *A Samuel a fuasai farw*] Fel y gwelsom pen. xxv. 1; ac ail grybwyllir hyny yma fel arweiniad i'r hanes a ganlyn. *A Saul a yrasai ymaith y swynyddion a'r dewiniaid*

ac a'i claddasent yn Ramah, sef yn
ei ddinas ei hun. A Saul a yrasai
ymaith y swynyddion a'r dewiniaid
o'r wlad.
4 ¶ A'r Philistiaid a ymgynull-
asant ac a ddaethant ac a wersyllas-
ant yn Sunem: a Saul a gasglodd
holl Israel yn nghyd; a hwy a wer-
syllasant yn Gilboa.
5 A phan welodd Saul wersyll y
Philistiaid, efe a ofnodd, a'i galon a
ddychrynodd yn ddirfawr.
6 A phan ymgynghorodd Saul a'r
Arglwydd, nid atebodd yr Arglwydd
iddo, na thrwy freuddwydion, na
thrwy Urim, na thrwy broffwydi.
7 ¶ Yna y dywedodd Saul wrth
ei weision, Ceisiwch i mi wraig o
berchen ysbryd dewiniaeth, fel yr
elwyf ati, ac yr ymofynwyf â hi.
A'i weision a ddywedasant wrtho,
Wele, *y mae* gwraig o berchen
ysbryd dewiniaeth yn Endor.
8 A Saul a newidiodd ei ddull, ac
a wisgodd ddillad ereill; ac efe a
aeth, a dau ŵr gydag ef, a hwy a
ddaethant at y wraig liw nos. Ac
efe a ddywedodd, Dewina, atolwg, i
mi trwy ysbryd dewiniaeth, a dwg
i fyny ataf fi yr hwn a ddywedwyf
wrthyt.
9 A'r wraig a ddywedodd wrtho
ef, Wele, ti a wyddost yr hyn a
wnaeth Saul, yr hwn a ddyfethodd
y swynyddion a'r dewiniaid o'r
wlad: paham gan hyny yr ydwyt ti
yn gosod magl yn erbyn fy einioes
i, i beri i mi farw?
10 A Saul a dyngodd wrthi hi i'r
Arglwydd, gan ddywedyd, *Fel mae*
byw yr Arglwydd, ni ddygwydd i ti
niwed am y peth hyn.

---

—yn ol y gorchymyn dwyfol, Exod. xxii. 18, Lef. xx. 27; yr hyn ond odid a wnaethai efe yn nechre ei deyrnasiad, trwy orchymyn Samuel; neu wedi i'r drwg ysbryd ddyfod arno ef, gan feddwl mai swynyddion a dewiniaid a barent y fath hwyliau drwg arno trwy ei reibio. Felly nid oedd gan Saul yn awr na phroffwyd na dewin i ymgynghori âg ef.

Adn. 4. *Yn Sunem*] Dinas yn nherfynau llwyth Issacar. *Gilboa*—mynydd yn rhandir Manasse, oddeutu saith milldir i'r deau o Sunem.

Adn. 5. *Efe a ofnodd*] Wrth weled nifer y Philistiaid, a meddwl fod Samuel wedi marw, ac y gallai fod Dafydd yn ben ar y Philistiaid hyn yn ei erbyn ef.

Adn. 6. *A phan ymgynghorodd Saul a'r Arglwydd*] Y mae hyn yn ymddangos fel yn groes i'r hyn a ddywedir 1 Cron. x. 14, sef na ddarfu iddo ymgynghori â'r Arglwydd, yr hyn a nodir fel rheswm paham y lladdodd yr Arglwydd ef. Ond y mae Rabbi Kimchi ac ereill yn cysoni y ddau le fel hyn: 'Trwy na *pharhaodd* efe i ymgynghori â'r Arglwydd, ond myned o hono at ddewines, yr oedd hyny yr un peth a phe nad ymgynghorasai oll; canys efe a wnaeth hyny yn hanerog, oeraidd, a difater.' *Nid atebodd yr Arglwydd iddo na thrwy freuddwydion*—o'i eiddo ei hun nac ereill, am yr hyn ond odid y gweddiasai. *Na thrwy Urim*—ymddengys oddiwrth hyn, ar ol i Abiathar ffoi â'r ephod at Dafydd, pen. xxiii. 6, ddarfod i Saul osod i fyny archoffeiriad arall, a gwneuthur ephod gyffelyb i'r un santaidd a drefnwyd gan Dduw, trwy yr hon yn unig yr addawsai efe ei egluro ei hun. *Na thrwy broffwydi*—ysgol o ba rai oedd fyth yn Naioth, dros yr hon y buasai Samuel yn llywyddu.

Adn. 7. *Ceisiwch i mi wraig o berchen ysbryd dewiniaeth*] Un a fyddai yn ymddyddan âg ysbrydion drwg, neu a fedrai godi ellyllon neu gythreuliaid, neu a gymerai arni hyny, i'r dyben i ateb cwestiynau, neu roddi hysbysrwydd am bethau a ofynid iddynt: gwel ar Exod. xxii. 18, a Deut. xviii. 10, 11. Crybwylla Saul am *wraig* yn hytrach na *gŵr*, am mai y rhyw fenywaidd oedd fwyaf tueddol i'r arferion hyn. Yr oedd Saul yn hyn yn ymddwyn fel dyn gwallgofus, yr hwn yn awr a gymeradwyai y peth o'r blaen a waharddasai. Yr oedd ef cyn hyn wedi dyfetha, neu yru ymaith o'r wlad, y brudwyr, y swynyddion, a'r dewiniaid; ac yn awr efe a fynai ymofyn â hwynt! Pa beth na wna ofn ac ynfydrwydd yru dynion iddo? Pa fodd y daeth y fath arferiad a hwn i fod gyntaf, nis gallwn yn awr ddywedyd yn bendant; ond ymddengys ei fod yn bur hen, am y cawn ddeddfau penodol yn ei erbyn yn llyfrau Moses. Tybia rhai iddo ddechreu yn yr Aifft, lle y darfu i ymchwiliad rhy gywrain am wybodaeth beri i lawer syrthio i'r gwrthuni a'r anfadrwydd hynotaf a ddaeth erioed i galon dyn. *Yn Endor*—o fewn oddeutu wyth milldir o du y gogledd i Gilboa.

Adn. 8. *A Saul a newidiodd ei ddull*] Trwy roddi ymaith ei wisg frenhinol neu filwraidd, a gwisgo dillad gwladwr cyffredin, rhag i'r wraig ei adnabod, a gwrthod gweithredu rhag ei ofn, am iddo fod yn elyn cyhoeddus i ddewiniaid, adn. 3. *A hwy a ddaethant at y wraig liw nos*—nid yn unig fel y byddai eu mynediad yn fwy dirgelaidd, ond hefyd am mai yn y nos yr arferai y dewiniaid eu celfyddyd. *Dewina, atolwg, i mi*—trwy godi oddiwrth y meirw y neb a enwaf i ti.

Adn. 9. *Wele, ti a wyddost yr hyn a wnaeth Saul*] Hi a wyddai fod Saul a'i fyddin wedi dyfod i wersyllu yn Gilboa; ac ofnai mai yspïwr oedd efe, yr hwn a ddaethai i'w hudo hi i gyflawni dewiniaeth, i'r dyben i'w chyhuddo gerbron y brenin, fel y rhoddid hi i farwolaeth megys ereill o'i blaen.

Adn. 10. *A Saul a dyngodd wrthi*] Efe a dyngai i'r Arglwydd ar yr un pryd ag yr ymofynai â diafol trwy ddewines! ac a dyngai i'r Arglwydd na chyflawnai efe ei ddyledswydd

11 Yna y dywedodd y wraig, Pwy a ddygaf fi i fyny atat ti? Ac efe a ddywedodd, Dwg i mi Samuel i fyny.
12 A'r wraig a ganfu Samuel, ac a lefodd â llef uchel: a'r wraig a lefarodd wrth Saul, gan ddywedyd, Paham y twyllaist fi? Canys ti *yw* Saul.
13 A'r brenin a ddywedodd wrthi hi, Nac ofna: canys beth a welaist ti? A'r wraig a ddywedodd wrth Saul, Duwiau a welais yn dyrchafu o'r ddaear.

---

i'r Arglwydd trwy ddyfetha y ddewines! Ac yr oedd hyn yn brawf fod Saul yn ddyn caled â rhyfygus i'r eithaf.

Adn. 11. *Pwy a ddygaf fi i fyny atat ti?*] Nid oedd y wraig yn sicr, fel y dywed Clarke, yn meddwl dim mwy na pheri i'w *hysbryd dewiniaeth* bersonoli pwy bynag a ddymunai yr ymofynydd. Wrth godi ysbrydion, hyn yw y cwbl, yn ol rheolau proffesedig eu celfyddyd, a hònir gan y cyfryw rai; canys nid oes ganddynt ddim awdurdod dros eneidiau dynion yn y *nef* nac yn *uffern*. A chaniatau fod y fath gelfyddyd yn seiliedig ar wir egwyddorion, y cwbl a all ei hòni yw, dwyn i fyny ysbryd dewiniaeth, peri iddo ymrithio yn null neu weddnod rhyw un neillduol, a rhoddi y fath hysbysiadau perthynol i ddyfodiant ag a allo eu casglu; canys nid yw ysbrydion syrthiedig yn gwybod pob peth; ac y mae Satan ei hun, fel y gellir gweled oddiwrth y rhan fwyaf o'i demtasiynau, yn mhell oddi wrth fod yn *hollwybodol*, yr hyn a berthyn i Dduw yn unig. Y mae ef yn gyfrwys a dichellgar, ond yn sicr nid yw yn ddoeth na hollwybodol. *Dwg i mi Samuel i fyny*—er i Saul ddibrisio Samuel yn hir cyn ei farw, eto yn awr, pan y mae Saul mewn cyfyngder, ni wnai dim ei dro ef ond cael Samuel i fyny oddiwrth y meirw, i'w gynghori a'i gyfarwyddo yn ei amgylchiadau trallodus presenol.

Adn. 12. *A'r wraig a ganfu Samuel*] Cyn gynted ag yr enwodd efe Samuel, a chyn i'r ddewines *ddechreu* ar ei chelfyddyd, y wraig, er syndod dirfawr iddi ei hun, a ganfu Samuel, wedi ei anfon gan Dduw, heb gyfryngiad y ddewines, i argyhoeddi a cheryddu Saul unwaith eto cyn ei farw. *Ac a lefodd â llef uchel*—mewn ofn a dychryn mawr, wrth iddi ganfod Samuel ei hun yn ymddangos o'i blaen mor annysgwyliadwy! 'Ddarfod i *Samuel* ymddangos ar yr achlysur hwn,' ebai Clarke, 'sydd yn dra amlwg oddiwrth y testyn; ac nis gellir gwadu hyn oddiwrth unrhyw fodd cyfreithlon o ddeongliad: ac y mae yr un mor amlwg na chodwyd ef trwy allu y diafol na swyn-gyfaredd y ddewines; canys yr oedd yr ymddanghosiad a gymerodd le y pryd hyn yn gyfryw ag ydoedd hollol ddyeithr iddi hi. Nid oedd ei *hysbryd dewiniaeth* hi wedi ymddangos; ac oddiwrth y dysgrifiad cymysglyd a ddyry hi, y mae yn gwbl eglur ei bod wedi synu a dychrynu wrth yr hyn a welai, trwy ei fod mor dra gwahanol i'r hyn ag y dysgwyliai ei weled.' *Paham y twyllaist fi*—wrth ddyfod ataf wedi newid dy ddull a'th wisg? adn. 8. *Canys ti yw Saul*—hi a gasglodd yn y fan nas gallai y neb ag yr anfonwyd y person hybarch hwn ato fod yn neb llai na brenin Israel; ac yr oedd taldra yr ymofynydd yn cadarnhau ei chasgliad. Hi a wyddai nad oedd Samuel wedi codi trwy unrhyw weithred o'r eiddo hi na'i chymdeithion; ac felly yr oedd wedi ei llawn argyhoeddi, fel swynwyr yr Aifft ar achos arall, mai 'bys Duw oedd hyn.' Y mae meddwl fod y wraig hon wedi codi Samuel trwy ei dewiniaeth, neu ei bod yn twyllo Saul trwy beri i un o'i chymdeithion ymddangos fel Samuel, mor groes i reswm ac amgylchiadau yr hanes, fel nas gall un dyn diragfarn, wrth sylwi yn bwyllog, edrych arno yn hawdd yn y goleuni hwnw. Yr hanesydd ysbrydoledig a ddywed yn bendant, 'A'r wraig a *ganfu Samuel;*' ac os credwn na chanfu hi Samuel, ond rhyw ysbryd drwg yn ei bersonoli ef, rhaid i ni amau naill ai gallu ai gonestrwydd yr ysgrifenydd santaidd; rhaid i ni feddwl nad oedd ef yn gwybod yr hyn yr ysgrifenai yn ei gylch, neu ynte ei fod yn bwriadu twyllo ei ddarllenwyr. A thybio, ynte, y gallai y wraig a Saul gael eu twyllo gan ryw un ar ddull Samuel; eto gellir gofyn, A gafodd yr ysgrifenydd santaidd hefyd ei dwyllo? neu a oedd efe yn meddwl ein twyllo ni wrth ddywedyd i'r wraig *ganfod Samuel*, a dychrynu wrth yr olwg?—Yn mysg yr enwogion a gredant i Samuel ymddangos ar y pryd, gellir enwi *Benson*, *Calvin*, *Clarke*, *Coke*, *Delany*, *Farmer*, *Gray*, *Greenfield*, *Hales*, *Horn*, *Josephus*, *Marsham*, *Saurin*, *Scott*, *Sutcliffe*, *Watson*, *Wilson*, *Williams*, a lluoedd ereill o'r gwŷr dysgedicaf a duwiolaf yn mhob oes a gwlad.

Adn. 13. *A'r brenin a ddywedodd wrthi hi, Nac ofna*] Hyny yw, nad ofnai hi *ef*, ar ol deall mai Saul ydoedd, adn. 12. Ymddengys fod y wraig mewn ofn deublyg ar unwaith; ofn y ddrychiolaeth pan ganfu hi Samuel, ac ofn Saul pan ddeallodd mai efe a geisiai ganddi ddewino: ond at yr olaf y cyfeiria y brenin. *Beth a welaist ti?*—nid oedd Saul eto wedi gweled dim, am fod y wraig rhyngddo a'r ddrychiolaeth, neu fod y ddrychiolaeth yn ymddangos iddi hi heb fod yn weledig eto iddo ef, neu yn ymddangos iddi mewn ystafell arall. *Duwiau a welais*—y gair gwreiddiol yma yw *elohim;* a gellir gyda'r un priodoldeb ei gyfieithu yn *dduw* neu *dduwiau*. Pan y defnyddir ef am JEHOFA, cyfieithir ef yn DDUW yn yr ysgrythyrau; ond pan y golygir wrtho au-dduwiau y cenhedloedd, angylion, neu ynadon, fel y gwneir weithiau, cyfieithir ef yn gyffredin yn y rhif lluosog. Gan fod yn amlwg mai *un* person a welodd y wraig, ac mai am *un* y llefara, dylai gael ei gyfieithu yma yn *dduw;* hyny yw, person dwyfol neu ogoneddus, yn llawn mawredd ac urddas, yn rhagori nid yn unig ar ddynion yn gyffredin, ond hefyd ar ysbrydion. Y mae Dr. Waterland yn ei gyfieithu yn 'ŵr hybarch;' a dywed Mr. Locke, 'ei fod yn arwyddo yma angel neu ynad, a hyny yn y rhif unigol.' Y Galdeaeg a'i geilw yn 'genad yr Arglwydd.' *Yn dyrch-*

14 Yntau a ddywedodd wrthi, Pa
ddull *sydd* arno ef? A hi a ddywed-
odd, Gŵr hen sydd yn dyfod i fyny,
a hwnw yn gwisgo mantell. A
gwybu Saul mai Samuel *oedd* efe;
ac efe a ostyngodd *ei* wyneb i lawr,
ac a ymgrymodd.
15 ¶ A Samuel a ddywedodd wrth
Saul, Paham yr aflonyddaist arnaf,
gan beri i mi ddyfod i fyny? A
dywedodd Saul, Y mae yn gyfyng
iawn arnaf fi: canys y mae y Philist-
iaid yn rhyfela yn fy erbyn i, a Duw
a giliodd oddiwrthyf fi, ac nid yw
yn fy ateb mwyach, na thrwy law
proffwydi, na thrwy freuddwydion:
am hyny y gelwais arnat ti, i hysbysu
i mi beth a wnawn.
16 Yna y dywedodd Samuel, Pa-
ham gan hyny yr ydwyt ti yn ymofyn
â mi, gan i'r Arglwydd gilio oddi
wrthyt, a bod yn elyn i ti?
17 Yr Arglwydd yn ddiau a
wnaeth iddo, megys y llefarodd trwy
fy llaw i: canys yr Arglwydd a rwyg-
odd y frenhiniaeth o'th law di, ac
a'i rhoddes i'th gymydog, i Dafydd.
18 O herwydd na wrandewaist ti

---

*afu o'r ddaear*—er fod y wraig yn arddangos Samuel fel yn dyrchafu o'r ddaear, nid oes un rheswm i feddwl iddo wneuthur hyny mewn gwirionedd. Yn hytrach, yr oedd y wraig yn llefaru yn ol tyb cyffredin Iuddewon a Chenhedloedd y dyddiau hyny, mai yn neu dan y ddaear yr oedd trigfa yr eneidiau ymadawedig; ac oddiar dybiaeth ynfyd y gallent alw y meirw o'u beddau i ymgynghori â hwynt, yr oedd yr Iuddewon yn amser Esay yn 'aberthu mewn gerddi,' ac yn 'aros yn mysg y beddau,' am mai mewn gerddi yr oedd eu mynwentydd hwy yn gyffredin, Esay lxv. 3, 4.

Adn. 14. *Pa ddull sydd arno ef*] O ran gwedd, oedran, a gwisgoedd? *Gŵr hen sydd yn dyfod i fyny, a hwnw yn gwisgo mantell*—yr oedd Samuel yn ŵr hen pan y bu farw, ac yn arfer gwisgo mantell yn ei fywyd, (pen. xv. 27,) megys y gwnai y proffwydi ar ol ei amser ef, 2 Bren. ii. 8, 13. *A gwybu Saul mai Samuel oedd efe*—neu, fel y mae yn yr Hebraeg, 'gwybu Saul mai Samuel *ei hun* oedd efe,' ac nid neb arall. Ond os nid Samuel ei hun ydoedd, eithr rhyw un arall, nid yw y dywediad hwn o eiddo yr ysgrifenydd santaidd yn wirionedd; canys felly nid oedd Saul yn *gwybod*, fel y dywedir yma ei fod. *Ac efe a ostyngodd ei wyneb i lawr*—nid mewn ffordd o *addoliad*, fel y dychmyga rhai, eithr fel arwydd o barch dynol i Samuel megys proffwyd.

Adn. 15. *A Samuel a ddywedodd wrth Saul*] Yr hwn oedd erbyn hyn wedi dyfod i'w wyddfod ef. *Paham yr aflonyddaist arnaf?*—nid yw hyn yn ddiau yn golygu fod ysbryd dedwydd Samuel yn dyoddef *poen*, ond yn unig fod Saul wedi bod yn achlysur iddo ef ymddangos, neu beidio gadael *llonydd* iddo yn y fan lle yr oedd. Nid yw Samuel yma yn achwyn ar y *wraig* am ei aflonyddu, ond ar *Saul*; yr hyn sydd yn brawf arall na chodwyd ef trwy ei dewiniaeth hi. Yn wir nid oedd dim a wnelai y wraig â'r mater hwn, canys yr oedd hi, fel y gwelsom, heb ddechreu gweithredu ei chelfyddyd ddewinol pan ganfu hi Samuel, yr hyn a barodd iddi ddychrynu mor fawr, adn. 12. *Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi*—o ran ei feddwl a'i amgylchiadau, am fod y Philistiaid wedi codi yn ei erbyn, a Duw wedi cilio oddiwrtho, ac yn peidio ei ateb. *Am hyny y gelwais arnat ti*—ffolineb o'r mwyaf oedd galw ar Samuel oddiwrth y meirw i'w gysuro yn ei gyfyngder, ac yntau wedi ei ddirmygu ef pan yr oedd yn fyw; a ffolineb mawr hefyd oedd meddwl y buasai Samuel, proffwyd Duw yn hysbysu iddo trwy ddewines beth a wnai, wedi i Dduw ei hun nacâu ei ateb ef trwy y moddion arferol. Yr oedd yn awr yn rhy ddiweddar iddo gael ei waredu oddi wrth ei elynion, ac yr oedd Duw hefyd wedi troi yn elyn iddo.

Adn. 16. *Paham gan hyny yr ydwyt ti yn ymofyn â mi*] Gan i'r Arglwydd gilio oddi wrthyt, fel yr addefaist dy hun? adn. 15. Nid oedd hyny ddim amgen na meddwl y gwnai Samuel beth croes i ewyllys Duw, ac megys er gwaethaf yr Hollalluog! *A bod yn elyn i ti*—neu fod 'gyda'th elyn,' sef gyda Dafydd, fel y tybia rhai, yr hwn a ystyriai Saul yn elyn iddo.

Adn. 17. *Yr Arglwydd yn ddiau a wnaeth iddo*] Sef i Dafydd, at yr hwn y cyfeiriwyd yn niwedd yr adnod flaenorol, fel y tybia rhai. Ond y mae y LXX, y Vulgate, a phump o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi, yn gystal ag argraffiadau Venice yn 1518, yn darllen, 'a wnaeth i TI,' sef i *Saul*. *Megys y llefarodd trwy fy llaw i*—yn pen. xiii. 13, 14. a xv. 28; yr hyn nad allai neb ei ddywedyd ond Samuel ei hun. *Canys yr Arglwydd a rwygodd y frenhiniaeth o'th law di*—gwelsom eisoes fod Samuel yn awr yn gwisgo *mantell*, adn. 14; a sylwa Dr. Delany, pan gyhoeddodd Samuel gynt farnau Duw ar Saul, ei fod ef y pryd hyny yn gwisgo mantell, yr hon a *rwygodd* Saul ar yr achlysur hwnw, pen. xv. 27. Efe a ddaeth yn awr i ailadrodd a chadarnhau y ddedfryd hòno; ac i argyhoeddi Saul yn llawnach, y mae Samuel yn ymddangos yn yr un fantell; a chan ei fod yn awr yn ail gyhoeddi rhwygiad y frenhiniaeth oddiwrth Saul, paham nas gallwn feddwl fod y fantell yn awr yn dangos yr un *rhwyg* ag a ydoedd o'r blaen yn arwydd o'r rhwygiad hwnw? *Ac a'i rhoddes hi i'th gymydog, i Dafydd*—'i gymydog i ti, gwell na thydi,' a ddywedwyd yn pen. xv. 28. Nid oedd yn iawn dywedyd y pryd hyny pwy oedd efe wrth ei enw, am y buasai i hyny osod Dafydd mewn mwy o berygl; ond yn awr nid oedd dim perygl, trwy fod Dafydd allan o'i gyrhaedd ef, a bod dydd ei farwolaeth yntau wrth y drws.

Adn. 18. *O herwydd na wrandewaist ti ar lais yr Arglwydd*] Yn Gilgal, pen. xiii. 13;

ar lais yr Arglwydd, ac na chyflawn-
aist lidiogrwydd ei ddigter ef yn
erbyn Amalec ; am hyny y gwnaeth
yr Arglwydd y peth hyn i ti y dydd
hwn.
19 Yr Arglwydd hefyd a ddyry
Israel gyda thi yn llaw y Philist-
iaid: ac y fory *y byddi* di a'th feib-
ion gyda mi: a'r Arglwydd a ddyry
wersylloedd Israel yn llaw y Phil-
istaid.
20 Yna Saul a frysiodd ac a syrth-
iodd o'i hyd gyhyd ar y ddaear, ac a
ofnodd yn ddirfawr, o herwydd
geiriau Samuel : a nerth nid oedd
ynddo; canys ni fwytasai fwyd yr
holl ddiwrnod na'r holl noson *hòno*.
21 ¶ A'r wraig a ddaeth at Saul,
ac a ganfu ei fod ef yn ddychrynedig
iawn; a hi a ddywedodd wrtho ef,
Wele, gwrandawodd dy law-forwyn
ar dy lais di, a gosodais fy einioes
mewn enbydrwydd, ac ufyddhêais
dy eiriau, a leferaist wrthyf:
22 Yn awr gan hyny gwrando
dithau, atolwg, ar lais dy wasan-
aethferch, a gâd i mi osod ger dy
fron di damaid o fara; a bwyta, fel
y byddo nerth ynot, pan elech i'th
ffordd.
23 Ond efe a wrthododd, ac a ddy-
wedodd, Ni fwytâf. Eto ei weision
a'r wraig hefyd a'i cymhellasant ef:
ac efe a wrandawodd ar eu llais
hwynt. Ac efe a gyfododd oddiar y
ddaear, ac a eisteddodd ar y gwely.
24 Ac *yr oedd* gan y wraig lo bras
yn tŷ; a hi a frysiodd ac a'i lladd-
odd ef, ac a gymerth beilliaid, ac
a'*i* tylinodd, ac a'i pobodd yn gri:
25 A hi a'*i* dyg gerbron Saul, a
cherbron ei weision: a hwy a fwyt-

---

*ac na chyflawnaist lidiogrwydd ei ddigter ef yn erbyn Amalec*—eithr arbed Agag a'r goraf o'r defaid, pen. xv. 9. Nid yw pechod Saul yn lladd offeiriaid yr Arglwydd yn cael ei enwi yma, am fod y ddedfryd o gymeryd y frenhiniaeth oddiwrtho ef wedi ei chyhoeddi cyn i'r pechod hwnw gael ei gyflawni.

Adn. 19. *Y fory y byddi di a'th feibion gyda mi*] Yn ystâd y meirw, neu yn nhragwyddoldeb. Y gair Hebreig a gyfieithir *fory* yw *machar*, 'ar ol hyn,' neu 'ar fyrder;' ac felly y cyfieithir ef mewn amrai fanau yn yr ysgrythyrau: gwel Exod. xiii. 14, Jos. iv. 6, 21. Eithr 'a meddwl ei bod yn awr wedi hanner nos,' ebai Henry, 'nid wyf fi yn gweled nas gellir ei gymeryd yn benodol am y dydd nesaf ar ol yr hwn ag ydoedd yn awr wedi dechreu.' *A'r Arglwydd a ddyry wersylloedd Israel yn llaw y Philistiaid*—ac felly y gwnaed, pen. xxxi. 1, 7. Y mae Samuel yma yn rhagfynegu tri o bethau: (1) Y traddodai yr Arglwydd Israel i law y Philistiaid; (2) Y byddai Saul a'i feibion yn nhragwyddoldeb; ac, (3) Y cymerai hyny le dranoeth. Yn awr, gan nas gallai ysbryd drwg na thwyllwr o un math wybod yn sicr y pethau hyn, y rhai a gyflawnwyd yn fanwl fel y rhagfynegir yma, nac hyd yn nod Samuel ei hun, oni buasai iddo gael ei ddwyfol ysbrydoli â'r wybodaeth o honynt, y mae yn rhyfedd i neb erioed ddychmygu mai *twyll dynol* neu *ddieflig* oedd yr ymddanghosiad hwn o eiddo Samuel; canys y mae yn amlwg nas gallai y wybodaeth hon ddeilliaw oddiwrth neb ond yr hollwybodol Dduw. Mab Sirach, fel y sylwa Dr. Delany, yr hwn ond odid a feddai gymaint o ddoethineb, treiddiadaeth, a duwioldeb, ag un berniad a ddaeth erioed ar ei ol, sydd yn eglur o'r un farn a'r hanesydd santaidd, mai *Samuel ei hun* a ragfynegodd aflwydd Saul a'i feibion y pryd hyn: gwel Eccles. xlvi 13—20. A hyn hefyd oedd barn gyffredin yr Iuddewon.

Adn. 20. *Yna Saul a frysiodd*] O wyddfodd yr ysbryd, gan geisio am y drws; *ac a syrthiodd o'i hyd gyhyd ar y ddaear*—yr oedd efe wedi dychrynu gymaint wrth yr hyn a glywsai, yn enwedig am ei farwolaeth ei hun a'i feibion, nes y syrthiodd mewn llewyg ar y llawr. *A nerth nid oedd ynddo*—i godi, mwy na phe buasai gwaewffon wedi treiddio trwy ei galon. *Canys ni fwytasai fwyd yr holl ddiwrnod na'r holl noson hòno*—gan drallod ei feddwl o achos y Philistiaid, ac am fod Duw wedi cilio oddiwrtho, adn. 15; ac yr oedd hyny, gyda'r genadwri bwysig a glywsai gan Samuel, wedi ei daro ef i lawr fel marw.

Adn. 21, 22. *Wele, gwrandawodd dy lawforwyn ar dy lais di*] Dadleuai y wraig, gan iddi hi wrando ar lais Saul i beryglu ei heinioes trwy ddewino, y dylasai yntau wrando ar ei llais hithau mewn peth a dueddai i gadw yn fyw ei einioes ef, sef cymeryd bwyd ganddi. *Fel y byddo nerth ynot*—y mae yn debyg ei bod yn ofni iddo ef farw yn ei thŷ, rhag iddi gael ei chymeryd i fyny fel dewines, neu rhag y cyfrifid mai hi achosodd farwolaeth y brenin.

Adn. 23. *Ni fwytâf*] Yr oedd yn well ganddo farw o newyn yn y man hwnw, na syrthio yn llaw y Philistiaid; neu yr oedd ei ofnau gymaint nes yr oedd chwant bwyd wedi llwyr gilio oddiwrtho. *Eto ei weision a'r wraig hefyd a'i cymhellasant ef*—a fuont mor daerion wrtho, nes llwyddo o'r diwedd i gael addewid ganddo y ceisiai efe fwyta os gallai. *Ac efe a gyfododd*—trwy gael ei gynorthwyo yn ddiamau gan ei weision; *ac a eisteddodd ar y gwely*—sef glwth neu orweddfainc wrth y bwrdd, ar ba un yr arferai yr henafiaid eistedd wrth fwyta.

Adn. 24. *Ac yr oedd gan y wraig lo bras yn y tŷ*] Mewn gwledydd poethion nis gallent gadw cig nemawr o amser heb waethygu, ac am hyny cadwent loi, ŵyn, a mynod, bob amser wrth law; a phan y byddai achos, lleddid a pharotöid un o honynt yn y fan. *Ac a'i pobodd yn gri*—neu groyw, hyny yw, heb ei *lefeinio*, am nad oedd amser i'r toes eplesu.

Adn. 25. *A hi a'i dyg gerbron Saul*] Yn

asant. Yna hwy a gyfodasant, ac a
aethant ymaith y noson hòno.

## PENNOD XXIX.

YNA y Philistiaid a gynullasant
eu holl fyddinoedd i Aphec: a'r
Israeliaid oedd yn gwersyllu wrth
ffynnon *sydd* yn Jezreel.
2 A thywysogion y Philistiaid
oedd yn tramwy yn gannoedd, ac yn
filoedd: ond Dafydd a'i wŷr oedd
yn cerdded yn olaf gydag Achis.
3 Yna tywysogion y Philistiaid a
ddywedasant, Beth *a wna* yr Heb-
reaid hyn *yma?* Ac Achis a ddy-
wedodd wrth dywysogion y Philist-
iaid, Onid dyma Dafydd, gwas Saul
brenin Israel, yr hwn a fu gyda mi
y dyddiau hyn, neu y blynyddoedd
hyn, ac ni chefais ddim bai ynddo

---

y modd mwyaf trefnus a allai; *a hwy a fwytasant*—gymaint ag a allent yn eu trallod presenol; canys gallwn feddwl i drallod Saul drallodi ei weision ef hefyd; *ac a aethant ymaith y noson hòno*—neu cyn toriad y dydd, fel y gallent gyraedd i'w gwersyll heb i'r Philistiaid eu gweled, a chyn i'w milwyr eu hunain wybod am eu habsenoldeb. Ac O y fath adgno, dychryn, ac euogrwydd cydwybod a raid fod yn rhwygo teimladau Saul bob cam o'r ffordd wrth feddwl fod ei ddydd gras wedi darfod, a bod dydd ei fywyd i ddiweddu dranoeth!

Adfeddyliadau.—Rhaid addef fod cryn wahaniaeth barn yn mhlith duwinyddion duwiol a dysgedig gyda golwg ar destyn y bennod hon, sef *ymddanghosiad Samuel.* Gwada rhai y *posibilrwydd* o'r peth, gan haeru mai y *diafol* a ymddanghosodd ar rith Samuel; tra y barna ereill mai *twyll* o eiddo y wraig gyfrwys hon oedd y cwbl, heb ddim yn oruwchnaturiol yn yr achos. Yr wyf fi wedi traethu fy marn yn onest yn y sylwadau uchod, gan adael y darllenydd at ei ryddid i'w derbyn neu ei gwrthod. Gallaswn ddwyn llawer o resymau chwanegol i gadarnhau fy ngolygiadau pe buasai y lle yn caniatâu; ond barnwyf fod digon wedi ei ddywedyd i gyfiawnhau yr ysgrifenydd ysbrydoledig wrth ei alw yn Samuel. Gallaf swmio y cwbl i fyny yn ngeiriau Clarke, gydag ychydig gyfnewidiadau:—(1) Credaf fod *byd ysbrydol* a *goruwchnaturiol,* yn yr hwn, ar wahan oddiwrth eu gilydd, y mae ysbrydoedd dynion ymadawedig, drwg a da, yn byw mewn cyflwr o ymwybodolrwydd. (2) Credaf fod amrywiol raddau o *ysbrydion ereill,* drwg a da, yn byw ac yn gweithredu yn y byd anweledig hwnw. (3) Credaf y gall unrhyw un o'r ysbrydion hyn, trwy ganiatâd Duw, ac yn ol deddfau eu preswylfod, gyweithasu â thrigolion y byd hwn, ac *ymddangos* i ddynion. (4) Credaf fod yn bosibl, trwy gelfyddyd nad yw yn hollol dda, alw ar ysbrydion nad ydynt *ddynol,* ac ymddyddan â hwy, ac ennill eu cynorthwy a'u dylanwad i ryw raddau cyfyngedig. (5) Credaf nad oedd gan y ddewines o Endor un awdurdod ar *Samuel,* ac nad all un *ddewiniaeth* effeithio ar ysbryd *dyn ymadawedig,* bydded ef dda neu ddrwg. (6) Credaf i *Samuel ymddangos yn wirioneddol i Saul,* wedi ei anfon yn ddigyfrwng gan Dduw i rybyddio y brenin annuwiol o'i farwolaeth nesaol; ond pa un a'i mewn trugaredd ynte mewn barn, nis gallaf benderfynu; er y tybia Clarke mai mewn *trugaredd,* fel y gallai Saul gael cyfleusdra i ymheddychu â'i Wneuthurwr. (7) Credaf i'r wraig ddeall mai nid trwy ei dewiniaeth *wirioneddol* neu *hòniadol* hi yr ymddanghosodd Samuel, am nad oedd hi eto wedi dechreu gweithredu; eithr ddarfod iddo ymddangos mewn ffordd hollol wahanol i'r hon a ddysgwyliai neu a fwriadau hi. (8) Credaf i wirioneddau cyfeiriol, manwl, a sicr, gael eu traethu yn awr yn ngylch pethau nas gallai doethineb *dynol* na *dieflig* eu rhagfynegu na'u rhagweled; a bod maeddiad Israel, a marwolaeth Saul a'i dri mab dranoeth, yn ffeithiau nas gallai neb ond Duw ei hun eu gwybod; ac nas gallai un ellyll neu ysbryd drwg gael ei ddefnyddio yn y fath orchwyl.

PEN. XXIX. Adn. 1. *Yna y Philistiaid a gynullasant eu holl fyddinoedd i Aphec*] Yr oedd tair dinas o'r enw hwn, un yn llwyth Juda, un arall yn llwyth Aser, a'r llall yn Syria, (gwel ar Jos. xii. 18;) ond rhaid mai un arall oedd hon yn llwyth Issacar, yr hon na chrybwyllir am dani mewn un man arall, gan ei bod yn agos i Jezreel a Sunem, y rhai oeddynt yn y llwyth hwnw. *A'r Israeliaid oedd yn gwersyllu wrth ffynnon*—yn nyffryn Jezreel, er cyfleusdra i gael dwfr.

Adn. 2. *Yn gannoedd ac yn filoedd*] Hyny yw, yr oedd y Philistiaid wedi eu dosbarthu yn finteioedd o gannoedd a miloedd, a thywysog wedi ei osod yn ben ar bob mintai neu ddosbarth. *Ond Dafydd a'i wŷr*—chwe chant o rifedi, pen. xxvii. 2; *oedd yn cerdded yn olaf gydag Achis*—fel gwarchawdlu ei berson ef. Diamau fod yn dda gan Dafydd gael bod yn olaf fel hyn, gan obeithio y trefnai yr Arglwydd ymwared iddo rywfodd, fel na fyddai raid iddo ryfela gyda'r Philistiaid yn erbyn Israel; ac efe a drefnodd hyny mewn ffordd ryfedd ac annysgwyliadwy iawn, fel y gwelir isod.

Adn. 3. *Beth a wna yr Hebreaid hyn yma?*] Beth a wnai Achis â hwy yn ei fyddin, pan yr oeddynt o genedl a chrefydd arall, ac yn elynion i'r Philistiaid fel y gwyddai pawb? *Ac Achis a ddywedodd*—i'r dyben i esmwythâu meddyliau y tywysogion, a'u cymodi â Dafydd a'i wŷr; *Onid dyma Dafydd gwas Saul*—rhwng yr hwn a'i feistr y mae anghydfod tragwyddol wedi cymeryd lle; *yr hwn a fu gyda mi y dyddiau hyn neu y blynyddoedd hyn*—dull o ymadrodd yn golygu cryn yspaid o amser, heb nodi pa faint, pen. xxviii. 7; *ac ni chefais ddim bai ynddo ef*—y mae yn debyg nad oedd Achis yn gwybod eto am fynediad Dafydd yn erbyn y Gesuriaid, a'r Gezriaid, a'r Amaleciaid, pen. xxvii. 8; neu os oedd, nad oedd ef yn cyfrif hyny yn

ef, er y dydd y syrthiodd efe *ataf*
hyd y dydd hwn?
4 A thywysogion y Philistiaid a
lidiasant wrtho; a thywysogion y
Philistiaid a ddywedasant wrtho,
Gwna i'r gŵr hwn ddychwelyd i'w
le a osodaist iddo, ac na ddeled i
waered gyda ni i'r rhyfel; rhag ei
fod yn wrthwynebwr i ni yn y
rhyfel: canys â pha beth y rhyngai
hwn fodd i'w feistr? onid â phenau
y gwŷr hyn?
5 Onid hwn *yw* Dafydd, am yr
hwn y canasant wrth eu gilydd yn
y dawnsiau, gan ddywedyd, Saul a
laddodd ei filoedd, a Dafydd ei
fyrddiwn?
6 ¶ Yna Achis a alwodd Dafydd,
ac a ddywedodd wrtho, *Fel mai* byw
yr Arglwydd, diau dy *fod* di yn un-
iawn, ac yn dda yn fy ngolwg i, pan
elit allan, a phan ddelit i mewn gyda
mi yn y gwersyll: canys ni chefais
ynot ddrygioni o'r dydd y daethost
ataf fi hyd y dydd hwn: eithr nid
*wyt* ti wrth fodd y tywysogion.
7 Dychwel yn awr, gan hyny, a
dos mewn heddwch, ac na anfodd-
lona dywysogion y Philistiaid.
8 ¶ A dywedodd Dafydd wrth
Achis, Ond beth a wnaethym i? a
pheth a gefaist ti yn dy was, o'r dydd
y daethym o'th flaen di hyd y dydd
hwn, fel na ddelwn i ymladd yn
erbyn gelynion fy arglwydd frenin?
9 Ac Achis a atebodd ac a ddywed-
odd wrth Dafydd, Gwn mai da *wyt*
ti yn fy ngolwg i, megys angel Duw:
ond tywysogion y Philistiaid a ddy-
wedasant, Ni ddaw efe i fyny gyda
ni i'r rhyfel.
10 Am hyny yn awr cyfod yn fore,
a gweision dy feistr y rhai a ddaeth-
ant gyda thi: a phan gyfodoch yn

---

fai yn Dafydd, trwy eu bod yn elynion i'r Philistiaid yn gystal ag i'r Israeliaid.

Adn. 4. *A thywysogion y Philistiaid a lidiasant wrtho*] Sef wrth Achis. *Gwna i'r gŵr hwn ddychwelyd i'w le*—i Siclag; rhag iddo, os elai i'r rhyfel, droi gyda Saul yn erbyn y Philistiaid. *Canys â pha beth y rhyngai hwn fodd i'w feistr*—neu y ceisiai ymheddychu â'i feistr Saul? *Onid â phenau y gwŷr hyn*—sef â phenau rhyw nifer o'r Philistiaid, y rhai a laddai efe mewn brâd, yn ol tyb y tywysogion hyn. Dichon eu bod yn cofio am y modd y torasai efe cyn hyn ben Goliath, a blaengrwyn y Philistiaid, pen. xvii. 51, a xviii. 27.

Adn. 5. *Onid hwn yw Dafydd, am yr hwn y canasant?*] Gwel ar pen. xviii. 6, 7; *a Dafydd ei fyrddiwn*—ac felly, pa fwyaf dewr a buddugol ydoedd, mwyaf oll yr oedd i'w ofni. Yr oedd y tywysogion hyn yn ymresymu yn ddoeth; a bu dda i Dafydd eu bod mor gall: canys trwy hyny y gwaredodd Duw ef o amgylchiad cyfyng iawn, yn yr hwn y buasai raid iddo ymladd naill ai o blaid y *Philistiaid*, ac felly fradychu ei Dduw a'i wlad; neu ynte o blaid *Israel*, ac felly fradychu yr ymddiriediad a roddasai Achis ei noddwr ynddo. A thrwy yr un ragluniaeth dda anfonwyd ef yn ol i waredu ei wragedd, a gwragedd a phlant ei filwyr, y rhai a gymerasid yn gaethion gan yr Amaleciaid, pen. xxx. 1—20.

Adn. 6. *Fel mai byw yr Arglwydd*] Y mae Achis yn tyngu i Jehofa, yr hwn a addolid gan Dafydd, fel y byddai i Dafydd ei gredu ef yn gryfach; neu fe allai ei fod wedi dysgu rhywbeth gan Dafydd am y gwir Dduw, er ei fod yn addoli duwiau gau. *Diau dy fod di yn uniawn ac yn dda yn fy ngolwg i*—nid oedd ganddo ef ei hun ddim i'w roddi yn erbyn Dafydd; yr oedd ei ymddygiad wedi bod yn uniawn a gonest yn mhob man—yn Gath, yn Siclag, ac yn y gwersyll. *Eithr nid wyt ti wrth fodd y tywysogion*—o herwydd dy genedl a'th ddewrder milwraidd, adn. 4.

Adn. 7. *Dychwel yn awr*] I Siclag at dy wragedd; *a dos mewn heddwch*—yn llwyddiannus a dedwydd; *ac na anfoddlona dywysogion y Philistiaid*—trwy fynu myned gyda'r fyddin i'r rhyfel, yr hyn a all fod yn ddinystr i ti.

Adn. 8. *Ond beth a wnaethym i?*] Yr oedd Achis wedi ateb y gofyniad hwn eisioes, trwy ddywedyd na wnaethai Dafydd ddim allan o'i le, adn. 6; ond yr oedd yn rhaid i Dafydd ddywedyd rhwbeth, i gymeryd arno nad oedd yn foddlon i gael ei droi yn ol. Nid oedd hyn oll, modd bynag, ddim gwell na rhagrith yn Dafydd, yn cymeryd arno fod yn anfoddlon i ddychwelyd, pryd yr oedd yn dda gan ei galon gael troi yn ol. *Fel na ddelwn i ymladd yn erbyn gelynion fy arglwydd frenin*—sef yn erbyn Israel. Yr oedd hyn yn rhagrith hefyd; canys nid oedd dim yn fwy croes i'w feddwl ef na myned i ymladd yn erbyn Israel, gelynion Achis.

Adn. 9. *Megys angel Duw*] Yn y rhai nid oes dim bai. Y mae rhyw reswm i feddwl fod Achis naill ai wedi cofleidio y grefydd Iuddewig, neu ynte ei fod yn dra pharchus o honi; canys y mae efe yma yn llefaru am *angel Duw*, fel y gellid dysgwyl i Iuddew lefaru; ac yn adn. 6 efe a dyngodd i Jehofa, yr hyn yn debygol na wnaeth un Philistiad erioed o'r blaen. Gallwn feddwl i Dafydd ddysgu llawer iddo am y gwir Dduw, ei angylion, a'i gyfraith, tra y bu yn aros gydag ef.

Adn. 10. *Cyfod yn fore*] Sef bore dranoeth, trwy ei bod yn awr yn fin nos, ac felly yn rhy hwyr i gychwyn i'r daith. *A gweision dy feistr*—sef y chwe chànwr o Israeliaid ag oeddynt gydag ef, y rhai a ellid o hyd eu hystyried yn ddeiliaid i Saul, er eu bod yn awr yn aros mewn gwlad ddyeithr. Neu fe allai mai gweision Achis a feddylir; a bod Dafydd a'i

fore, a phan oleuo i chwi, ewch
ymaith.
11 Felly Dafydd a gyfododd, efe
a'i wŷr, i fyned ymaith y bore, i
ddychwelyd i dir y Philistiaid. A'r
Philistiaid a aethant i fyny i Jezreel.

## PENNOD XXX.

A PHAN ddaeth Dafydd a'i wŷr
i Siclag y trydydd dydd, yr
Amaleciaid a ruthrasent ar du y
deau, ac ar Siclag, ac a darawsent
Siclag, ac a'i llosgasent hi â thân.
2 Caethgludasent hefyd y gwrag-
edd *oedd* ynddi; o fychan hyd fawr
ni laddasent hwy neb, eithr dygas-
ent *hwy* ymaith, ac aethant i'w
ffordd.
3 ¶ Felly y daeth Dafydd a'i wŷr
i'r ddinas: ac wele *hi* wedi *ei* llosgi
â thân: eu gwragedd hwynt *hefyd*,
a'u meibion, a'u merched, a gaeth-
gludasid.
4 Yna dyrchafodd Dafydd a'r bobl
*oedd* gydag ef eu llef, ac a ŵylas-
ant, hyd nad *oedd* nerth ynddynt i
ŵylo.
5 Dwy wragedd Dafydd hefyd a
gaethgludasid, Ahinoam y Jez-
reelëes, ac Abigail gwraig Nabal
y Carmeliad.
6 A bu gyfyng iawn ar Dafydd;
canys y bobl a feddyliasant ei lab-
yddio ef; o herwydd cherwasai
enaid yr holl bobl, bob un am ei
feibion, ac am ei ferched: ond
Dafydd a ymgysurodd yn yr Ar-
glwydd ei Dduw.
7 A Dafydd a ddywedodd wrth
Abiathar yr offeiriad, mab Ahime-
lech, Dwg i mi, atolwg, yr ephod.
Ac Abiathar a ddyg yr ephod at
Dafydd.
8 A Dafydd a ymofynodd â'r Ar-
glwydd, gan ddywedyd, A erlidiaf
fi ar ol y dorf hon? a oddiweddaf fi
hi? Ac efe a ddywedodd wrtho,
Erlid: canys gan oddiweddyd y

---

wŷr yn cael ei galw felly am eu bod, ar ei dyfodiad i Gath, wedi ymgyflwyno i wasanaeth Achis, a chael eu gwneuthur yn osgorddlu brenhinol iddo.

Adn. 11. *Felly Dafydd a gyfododd, efe a'i wŷr, i fyned ymaith y bore*] Neu 'yn *fore*,' cyn i'r dydd bron wawrio; *i ddychwelyd i dir y Philistiaid*—sef i Siclag, yr hon oedd oddeutu 90 o filldiroedd o Aphec, lle yr oedd byddin y Philistiaid yn gwersyllu. Ychydig a wyddai Dafydd mor angenrheidiol oedd hyn er gwaredu ei deulu; ond gwyddai Duw hyny yn dda, ac yn ei ragluniaeth efe a'i hanfonodd ef tua Siclag. *A'r Philistiaid a aethant i fyny i Jezreel*—i ymladd âg Israel y dydd hwnw, fel y cawn hanes yn pen. xxxi.

PEN. XXX. Adn. 1. *A phan ddaeth Dafydd a'i wŷr i Siclag y trydydd dydd*] Felly yr oeddynt wedi teithio oddeutu 30 o filldiroedd bob dydd er pan gychwynasant o Aphec. *Yr Amaleciaid a ruthrasent ar du y deau*—ar rannau deheuol Juda, a'r wlad oddiamgylch, gan gymeryd mantais ar absenoldeb byddinoedd yr Israeliaid a'r Philistiaid, y rhai oeddynt yn mharthau gogleddol y wlad y pryd hyn. *Ac a darawsent Siclag*—i ddial ar Dafydd am iddo ef ruthro ar eu gwlad hwy ychydig cyn hyn, pen. xxvii. 8; *ac a'i llosgasant hi â thân*—gan ei gadael yn adfail annghyfanedd.

Adn. 2. *Caethgludasent hefyd y gwragedd oedd ynddi*] Yn nghyda'u meibion a'u merched, adn. 3. *Ni laddasent hwy neb*—gan fod yr Amaleciaid yn bobl gybyddlyd iawn, gallwn feddwl eu bod yn amcanu eu gwerthu hwynt yn gaethion, ac felly wneyd arian o honynt. Neu bwriadent eu lladd pan gaent well hamdden i hyny.

Adn. 3. *Felly y daeth Dafydd a'i wŷr i'r ddinas*] Ac mor fawr y rhaid fod eu syndod, ac mor annhraethadwy eu gofid, wrth weled fod eu dinas wedi ei llosgi â thân, a'u teuluoedd wedi eu caethgludo, a'u meddiannau wedi eu hanrheithio!

Adn. 4. *Wylasant hyd nad oedd nerth ynddynt i ŵylo*] Nes yr oedd eu llais wedi crygu, a'u dagrau wedi sychu!

Adn. 5. *Dwy wragedd Dafydd*] Gwel ar pen. xxv. 42, 43.

Adn. 6. *A bu gyfyng iawn ar Dafydd*] O herwydd iddo golli ei ddwy wraig, a bod ei bobl ei hun yn codi yn ei erbyn. *Canys y bobl a feddyliasant ei labyddio ef*—fel yr achos o'u trallod, trwy eu harwain hwynt oddicartref. *Ond Dafydd a ymgysurodd yn yr Arglwydd ei Dduw*—gan ei fod yn ymwybodol nad oedd y drwg hwn wedi dygwydd trwy ei esgeulusdra na'i ynfydrwydd ef; a gobeithiai y gallai adferu ei wragedd a theuluoedd ei bobl rywfodd; neu os na wneid hyny, efe a ymgysurai yn yr Arglwydd ei hun, fel ei Dduw cyfammodol, a rhan ei enaid, er colli o hono bob peth arall.

Adn. 7. *Dwg i mi, atolwg, yr ephod*] A gwisga hi, fel y gallot ymofyn â Duw drosof fi trwy yr Urim a'r Thummim sydd yn y ddwyfroneg ar yr ephod. Yr oedd Dafydd yn ymwybodol o'i fai yn esgeuluso ymofyn â Duw fel hyn wrth fyned at Achis, ac wrth fyned allan gydag Achis i'r rhyfel; ond y mae ei angen yn awr yn ei ddwyn at ei ddyledswydd, a'i ddyledswydd yn cyfarfod â llwyddiant.

Adn. 8. *A erlidiaf fi ar ol y dorf hon?*] Y dorf o Amaleciaid, y rhai a losgasant y ddinas, ac a gaethgludasant y gwragedd a'r plant. *A oddiweddaf fi hi*—yn rhywle ar y ffordd, cyn ei myned yn rhy ddiweddar i waredu y caffaeliaid? *Ac efe a ddywedodd wrtho*—trwy yr offeiriad a'i ephod; *Erlid*—dos ar eu

goddiweddi, a chan waredu y
gwaredi.
9 Felly Dafydd a aeth, efe a'r
chwe chànwr *oedd* gydag ef, a hwy
a ddaethant hyd afon Besor, lle yr
arhosodd y rhai a adawyd yn ol.
10 A Dafydd a erlidiodd, efe a
phedwar cant o wŷr (canys dau
cànwr a arhosasant yn ol, y rhai a
flinasent fel na allent fyned dros
afon Besor)
11 ¶ A hwy a gawsant Aifftddyn
yn y maes, ac a'i dygasant ef at
Dafydd; ac a roddasant iddo fara,
ac efe a fwytaodd; a hwy a'i diod-
asant ef â dwfr.
12 A hwy a roddasant iddo ddarn
o ffigys, a dau swp *o resin.* Ac efe
a fwytaodd, a'i ysbryd a ddychwel-
odd ato: canys ni fwytasai fara, ac
nid yfasai ddwfr, dridiau a thair nos.
13 A Dafydd a ddywedodd wrtho,
*Gwas* i byw *wyt* ti? ac o ba le *y*
*daethost* ti? Ac efe a ddywedodd,
Llanc o'r Aifft *ydwyf* fi, gwas i ŵr
o Amalec; a'm meistr a'm gadaw-
odd oblegid i mi glafychu erys
tridiau bellach.
14 Nyni a ruthrasom ar du deau
y Cerethiaid, a'r *hyn sydd* eiddo
Juda, a thu deau Caleb; Siclag
hefyd a losgasom ni â thân.
15 A Dafydd a ddywedodd wrtho,
A fedri di fyned â mi i waered at y
dorf hon? Yntau a ddywedodd,
Twng wrthyf fi i Dduw, na leddi fi,
ac na roddi fi yn llaw fy meistr, a
mi a âf â thi i waered at y dorf hon.
16 ¶ Ac efe a'i dyg ef i waered:
ac wele, *hwynt* wedi ymwasgaru ar
hyd wyneb yr holl dir, yn bwyta, ac
yn yfed, ac yn dawnsio; o herwydd

---

hol, a thi a'u goddiweddi hwynt yn sicr, ac a waredi y gwragedd, y plant, a'r meddiannau.

Adn. 9. *A hwy a ddaethant hyd afon Besor*] Yr hon oedd ddeg milldir o du y deau i Siclag; *lle yr arhosodd y rhai a adawyd yn ol*—i warchad y dodrefn neu y celfi ag oedd gan Dafydd a'i fyddin, adn. 24. Ar ol teithio 90 o filldiroedd o Aphec i Siclag, a 10 yn chwanegol o Siclag i Besor, a hyny mewn tri diwrnod, yr oeddynt wedi blino i'r fath raddau fel na allent fyned yn mhellach; a thosturiodd Dafydd wrthynt fel ag i'w gadael ar ol.

Adn. 10. *A Dafydd a erlidiodd, efe a phedwar cant o wŷr*] Gan gwbl gredu y cyflawnai Duw ei addewid, y goddiweddai yntau ei elynion, ac y gwaredid y gaethglud.

Adn. 11. *A hwy a gawsant Aifftddyn yn y maes*] Mewn dillad milwr ond odid, a bron â threngu gan afiechyd a newyn; *ac a'i dygasant ef at Dafydd*—i wybod pa beth a wneid iddo; *ac a roddasant iddo fara*—i'w fwyta, a dwfr i'w yfed, i'w ddadebru. Trefnodd Duw yn ei ragluniaeth iddo fod yn Aifftwr, yr hwn y gellid ei arbed, ac nid yn un o'r Amaleciaid, y rhai a ddiofrydesid i ddynystr, Deut. xxv. 19.

Adn. 12. *A hwy a roddasant iddo ddarn o ffigys*] Saes. 'ddarn o *deisen* ffigys;' *a dau swp o resin*—neu winrawn: gwel ar pen. xxv. 18. *A'i ysbryd a ddychwelodd ato*—yr oedd ef o'r blaen yn rhy wan i lefaru, ac fel dyn bron â marw gan newyn; ond wedi cael yr amgeledd uchod, adfywiodd ei ysbryd, a daeth i allu ymddyddan.

Adn. 13. *Gwas i bwy wyt ti? ac o ba le y daethost?*] Dyro hanes am danat dy hun, dy genedl, a'th neges. Y mae yn debyg eu bod yn deall ei fod yn perthyn i'r gelynion, ac yn gobeithio cael ganddo ryw wybodaeth am danynt. *Llanc o'r Aifft ydwyf fi*—o ran gwlad a chenedl, ond wedi myned yn ddiweddar i wasanaeth un o'r Amaleciaid, y rhai a fuont yn ddiweddar yn llosgi Siclag, ac yn caethgludo y trigolion oddiyno. *A'm meistr a'm gadawodd*—yn y fan yma i fyw neu farw, o herwydd i mi glafychu. Yr oedd hon yn weithred greulon, pan yr oedd ganddynt ddigon o gamelod i'w gludo, neu o fwyd i'w adael gydag ef, adn. 16, 17. Eithr costiodd yr annheimladrwydd hwn iddynt yn ddrud; canys collasant eu bywydau eu hunain trwyddo, a chafodd Dafydd yn ol yr hyn a gymerasent hwy o Siclag. Y fath yw rhagluniaeth ryfeddol Duw, yn trefnu neu yn goruwch-reoli pob peth er ei ogoniant ei hun, ac er lles y rhai a ymddiriedant ynddo ef!

Adn. 14. *Nyni a ruthrasom ar du deau y Cerethiaid*] Neu 'wlad y *Philistiaid,*' fel ei heglurir adn. 16. Felly ymddengys fod yr Amaleciaid yn elynion i'r Philistiaid; ac na ddarfu i Dafydd weithredu yn erbyn lles ei gymwynaswr Achis, fel y nodwyd o'r blaen, wrth ruthro ar y bobl hyn. *A'r hyn sydd eiddo Juda*—yn nhu deau Juda, lle y cymerasai Dafydd arno wrth Achis iddo ef ruthro, pen. xxvii. 10. *A thu deau Caleb*—sef y rhan ddeheuol hòno o wlad Juda a roddesid i Caleb, Jos. xiv. 14.

Adn. 15. *A fedri di fyned â mi i waered at y dorf hon?*] Neu ddangos y ffordd i Dafydd a'i wŷr i'r fan lle yr oedd byddin fawr yr Amaleciaid yn gorwedd yn awr. *Twng wrthyf fi i Dduw na leddi fi*—ar ol i mi dy arwain at yr Amaleciaid. Ac y mae y Vulgate, yr Arabaeg, a'r Syriaeg yn chwanegu yma, 'A Dafydd a dyngodd iddo.' *Ac na roddi fi yn llaw fy meistr*—trwy i'w feistr fod yn greulon wrtho, nid oedd yn ewyllysio bod yn ei wasanaeth ef yn hwy. *A mi a âf â thi i waered at y dorf hon*—y mae yn debyg i'w feistr hysbysu iddo y fan lle y bwriadent fyned, fel y byddai iddo ddyfod ar eu hol mor fuan ag y gallai.

Adn. 16. *Ac wele hwynt wedi ymwasgaru ar hyd wyneb yr holl dir*] Yn y modd mwyaf anwyliadwrus a diofal, trwy eu bod yn awr wedi dyfod i gyffiniau eu gwlad eu hunain, a bod y Philistiaid a'r Israeliaid oddeutu can

yr holl yspail fawr a ddygasent hwy
o wlad y Philistiaid, ac o wlad Juda.
17 A Dafydd a'i tarawodd hwynt
o'r cyfnos hyd brydnawn dranoeth:
ac ni ddiangodd un o honynt, oddi
eithr pedwar cant o wŷr ieuanc, y
rhai a farchogasant ar gamelod, ac
a ffoisant.
18 A Dafydd a achubodd yr hyn
oll a ddygasai yr Amaleciaid: Da-
fydd *hefyd* a waredodd ei ddwy
wragedd.
19 Ac nid oedd yn eisiau iddynt,
na bychan na mawr, na mab na
merch, na'r anrhaith, na dim ag a
ddygasent hwy ganddynt: hyn oll
a ddyg Dafydd adref.
20 Dyg Dafydd hefyd yr holl
ddefaid, a'r gwartheg; *y rhai* a
yrasant o flaen yr anifeiliaid *ereill*,
ac a ddywedasant, Dyma anrhaith
Dafydd.
21 ¶ A Dafydd a ddaeth at y ddau
cànwr a flinasent, fel nad allent
ganlyn Dafydd, ac a barasid iddynt
aros wrth afon Besor: a hwy a
aethant i gyfarfod Dafydd, ac i
gyfarfod â'r bobl *oedd* gydag ef. A
phan nesaodd Dafydd at y bobl, efe
a gyfarchodd well iddynt.
22 Yna yr atebodd pob gŵr dryg-
ionus, ac *eiddo* y fall, o'r gwŷr a
aethai gyda Dafydd, ac a ddywedas-
ant, O herwydd nad aethant hwy
gyda ni, ni roddwn ni iddynt hwy
*ddim* o'r anrhaith a achubasom ni;
eithr i bob un ei wraig, a'i feibion:
dygant *hwynt* ymaith, ac ymad-
awant.
23 Yna y dywedodd Dafydd, Ni
wnewch chwi felly, fy mrodyr, am
yr hyn a roddodd yr Arglwydd i ni,
yr hwn a'n cadwodd ni, ac a roddodd
y dorf a ddaethai i'n herbyn, yn ein
llaw ni.
24 Canys pwy a wrendy arnoch
chwi yn y peth hyn? canys un fath
*fydd* rhan yr hwn a elo i waered i

milldir oddiwrthynt yn ymladd, a Dafydd, fel y tybient hwy, yno gyda hwynt. *Yn bwyta, ac yn yfed, ac yn dawnsio*—mewn gorfoledd am eu bod wedi cael ymddial ar Dafydd, ac am yr yspail fawr ag oedd ganddynt.

Adn. 17. *A Dafydd a'u tarawodd hwynt*] Yr oedd eu diofalwch, eu gloddest, a'u meddwdod yn fanteisiol iawn i Dafydd ymosod arnynt; a phan y dywedent, 'Tangnefedd a diogelwch, daeth dinystr disymwth ar eu gwarthaf, ac ni ddiangasant hwy ddim.' *O'r cyfnos hyd brydnawn dranoeth*—yr hyn oedd yspaid o bedair awr ar hugain. *Ac ni ddiangodd un o honynt*—er eu bod yn 'dorf' o rai miloedd, gallwn feddwl; *oddieithr pedwar cant o wŷr ieuainc*—y rhai oeddynt yn rhy gyflym i Dafydd a'i wŷr traed allu eu goddiweddyd, trwy eu bod ar gamelod.

Adn. 18. *Yr hyn oll a ddygasai yr Amaleciaid*] Nid yn unig o Siclag, ond hefyd oddiar y Cerethiaid, &c., adn. 14, oddieithr yr hyn a fwytasent ac a yfasent hwy. Ymddengys mai eiddo yr Amaleciaid eu hunain oedd y camelod, adn. 17.

Adn. 19. *Ac nid oedd yn eisiau iddynt na bychan na mawr*] O'r gwragedd a'r plant a gaethgludesid, trwy eu bod oll wedi eu cadw yn fyw i'w gwerthu, neu i'w lladd bryd arall, adn. 2.

Adn. 20. *Dyma anrhaith Dafydd*] Hon oedd iaith milwyr Dafydd, y rhai o'r blaen a feddylient ei labyddio ef, pan gollasant eu teuluoedd a'u hanifeiliaid, adn. 6; ond yn awr, wedi iddo ef eu hadferu iddynt, yr oeddynt yn ei ganmol ac yn ei glodfori, ac yn priodoli caffaeliad yr anrhaith i'w ddewrder ef, ac yn dywedyd y gallai ef wneyd a fynai a'r oll.

Adn. 21. *A Dafydd a ddaeth at y ddau cànwr a flinasent*] Gwel ar adn. 9; ac *efe a gyfarchodd well iddynt*—a ofynodd am eu llwyddiant a'u diogelwch, gan obeithio eu bod wedi ymadferu o'u blinder a'u gwendid; ac felly yr oeddynt i raddau, gan iddynt allu dyfod allan i'w gyfarfod ef a'i bobl.

Adn. 22. *Yna yr atebodd pob gŵr drygionus, ac eiddo y fall*] Neu feibion Belial. Ymadrodd cyffredin am ddynion diwerth, sarug, creulon, ac annuwiol. *Ni roddwn ni iddynt hwy ddim o'r anrhaith*—yr oedd hwn yn benderfyniad creulon ac anghyfiawn i'r eithaf; canys yr oedd eu brodyr wedi aros ar ol, nid o ddewisiad, ond o orfod, trwy eu bod yn analluog i fyned yn mhellach; ac yr oedd yn rhaid i rywrai aros gyda'r dodrefn, adn. 24. *Eithr i bob un ei wraig a'i feibion*—heb ddim tuag at gynnal y cyfryw, hyd yn nod o'u pethau eu hunain, y rhai a adferwyd oddiar yr Amaleciaid! *Ac ymadawant*—ond i ba le yr aent? Yr oedd Siclag wedi ei llosgi; ac ni feiddient fyned i wlad Israel rhag ofn Saul.

Adn. 23. *Ni wnewch chwi felly, fy mrodyr*] Y mae Dafydd yma yn dal i fyny ei awdurdod fel blaenor arnynt, ac yn dywedyd yn hyf a phenderfynol na chaent hwy mo'u ffordd yn hyn; ac eto y mae yn ymddyddan yn dyner â hwynt, gan ei galw yn *frodyr*—nid yn unig fel rhai o'r un genedl a chrefydd âg ef, ond hefyd fel ei gydfilwyr. *Yr hyn a roddodd yr Arglwydd i ni*—fel hyn efe a briodola y fuddugoliaeth hon yn gyfiawn i Dduw, trwy fod nifer yr Amaleciaid yn llawer mwy na'r eiddo ef. Yn wir, yr oedd cynifer â holl filwyr Dafydd wedi ffoi ymaith ar gamelod, adn. 17. Fel pe dywedasai, Pan y mae Duw wedi bod mor dda i ni, ni ddylem ninau fod yn galed wrth ein brodyr.

Adn. 24 *Canys pwy a wrendy arnoch?*] Pe cyfeirid yr achos hwn i farn cylafareddwyr, ni wnai un dyn doeth a chyfiawn gydsynio â chwi. *Canys un fath fydd rhan*—yr oedd

ryfel, a rhan yr hwn a arhoso gyda'r
dodrefn: a hwy a gydranant.
25 Ac o'r dydd hwnw allan, efe
a osododd hyn yn gyfraith ac yn
farnedigaeth yn Israel, hyd y dydd
hwn.
26 ¶ A phan ddaeth Dafydd i Sic-
lag, efe a anfonodd o'r anrhaith i
henuriaid Juda, *sef* i'w gyfeillion,
(gan ddywedyd, Wele i chwi anrheg,
o anrhaith gelynion yr Arglwydd)
27 *Sef* i'*r rhai oedd* yn Bethel, ac
i'*r rhai oedd* yn Ramoth, tua'r deau,
ac i'*r rhai oedd* yn Jattir.
28 Ac i'*r rhai oedd* yn Aroer, ac
i'*r rhai oedd* yn Siphmoth, ac i'*r
rhai oedd* yn Estemoa.
29 Ac i'*r rhai oedd* yn Rachal, ac
i'*r rhai oedd* yn ninasoedd y Jera-
meeliaid, ac i'*r rhai oedd* yn ninas-
oedd y Ceneaid,
30 Ac i'*r rhai oedd* yn Hormah,
ac i'*r rhai oedd* yn Chor-asan, ac i'*r
rhai oedd* yn Athac,
31 Ac i'*r rhai oedd* yn Hebron, ac
i'r holl leoedd y buasai Dafydd a'i
wŷr yn cynniwair ynddynt.

## PENNOD XXXI.

A'R Philistiaid oedd yn ymladd
yn erbyn Israel: a gwŷr Israel
a ffoisant rhag y Philistiaid, ac
a syrthiasant yn archolledig yn
mynydd Gilboa.
2 A'r Philistiaid a erlidiasant ar
ol Saul a'i feibion; a'r Philistiaid a
laddasant Jonathan, ac Abinadab, a
Malcisua, meibion Saul.
3 A thrymhaodd y rhyfel yn
erbyn Saul, a'r gwŷr bwäau a'u
cawsant ef; ac efe a archollwyd yn
dost gan y saethyddion.
4 Yna y dywedodd Saul wrth yr
hwn oedd yn dwyn ei arfau ef, Tyn
dy gleddyf, a thrywana fi âg ef;
rhag i'r rhai dienwaededig yma
ddyfod a'm trywanu i, a'm gwarad-
wyddo. Ond ni fynai ei yswain ef;
canys efe a ddychrynasai yn ddir-

hon yn rheol eisioes yn mhlith yr Iuddewon, Num. xxxi. 27, Jos. xxii. 8.

Adn. 25. *Efe a osododd hyn yn gyfraith*] A'i cadarnhaodd o'r newydd, fel deddf gyfiawn a doeth rhwng yr holl filwyr: ac ymddengys iddi barhau mewn grym hyd amser y Maccabeaid, 2 Mac. viii. 28, 30. *Hyd y dydd hwn*—gwel ar pen. xxvii. 6.

Adn. 26—31. *A phan ddaeth Dafydd i Siclag*] Mewn bwriad ond odid i'w hadgyweirio hi, fel y gallai drigo ynddi am yr amser presenol; *Efe a anfonodd o'r anrhaith i henuriaid Juda*—y rhai oeddynt wedi bod yn garedig i Dafydd pan yr oedd yn ymguddio rhag Saul yn eu parthau hwynt, neu ar ryw achlysuron ereill; a diamau eu fod yn bwriadu trwy yr anrhegion hyn nid yn unig ddiolch iddynt hwy am eu caredigrwydd yn yr amser a aethai heibio, ond hefyd ennill eu cynorthwy i'w ddwyn ef i'r orsedd pan ddeuai yr amser i hyny. Dichon hefyd fod peth o'r anrhaith wedi ei gymeryd oddiar rai o'r henuriaid hyn gan yr Amaleciaid, adn. 14; felly yr oedd Dafydd yn ystyried y dylasai efe ar dir cyfiawnder ddychwelyd peth o'r anrhaith i'w iawn berchenogion.

PEN. XXXI. Adn. 1. *A'r Philistiaid oedd yn ymladd yn erbyn Israel*] Cymerodd hyn le y diwrnod cyntaf o'r tri ag y bu Dafydd yn dychwelyd o wersyll y Philistiaid tua Siclag, pen. xxix. 11. Ond gadawyd hanes y frwydr hon heibio, i roddi hanes ymgyrch Dafydd a'i wŷr yn erbyn yr Amaleciaid yn yr holl bennod flaenorol. *A gwŷr Israel a ffoisant*—wrth ddeall fod y Philistiaid yn gryfach os nid yn lluosocach na hwynt; *ac a syrthiasant yn archolledig yn mynydd Gilboa*—lle oddeutu pedair milldir yn ddeheuol o Jezreel, lle y buasent yn gwersyllu.

Adn. 2. *A'r Philistiaid a laddasant Jonathan*] Cyfaill ffyddlon Dafydd. Efe oedd etifedd y goron, fel mab hynaf Saul; a thrwy ei farwolaeth ef yr oedd rhagluniaeth Duw yn agor y ffordd i Dafydd ddyfod yn naturiol i'r orsedd; er y gallwn feddwl, pe cawsai ef fyw ar ol ei dad, y rhoddasai efe y goron ar ben Dafydd. *Ac Abinadab*—yr hwn a elwir hefyd Issui, pen. xiv. 49; *a Malcisua*—neu Melchi-shua. Yr oedd gan Saul fab arall a elwid *Isboseth*; ond y mae yn debyg nad oedd hwnw yn y rhyfel, eithr ei fod yn aros yn Gibeah, i drefnu materion yno.

Adn. 3. *A'r gwŷr bwäau a'i cawsant ef*] A welsant ac a adnabuasant Saul, yr hwn yr oedd yn hawdd ei adnabod trwy ei daldra; *ac efe a archollwyd yn dost gan y saethyddion*—nes yr oedd ei glwyf naill ai yn angeuol yn ei natur, neu ynte wedi ei analluogi ef i ddianc.

Adn. 4. *Yna y dywedodd Saul wrth yr hwn oedd yn dwyn ei arfau*] Neu ei yswain. Dywed yr Iuddewon mai Doeg yr Edomiad oedd hwn, wedi ei ddyrchafu i'r swydd hon am ladd yr offeiriaid, pen. xxii. 18. *Tyn dy gleddyf, a thrywana fi âg ef*—ond odid â'r cleddyf hwnw, â'r hwn y lladdasai efe yr offeiriaid. *Rhag i'r rhai dienwaededig yma ddyfod a'm trywanu i, a'm gwaradwyddo*—efe a ofnai i'r Philistiaid ei archolli a'i arteithio ef fwy na mwy cyn ei ladd, a'i drin yn watwarus ac anmharchus fel y gwnaethant â Samson. *Ond ni fynai ei yswain ef*—canys efe a ofnai yn ddirfawr ladd ei frenin, rhag y buasai i'w bobl ei hun ei roddi ynte i farwolaeth am y fath weithred; neu yr oedd ef wedi dychrynu mor fawr wrth weled ei feistr wedi ei archolli, fel na wyddai beth oedd oraf ei wneuthur. *Am hyny Saul a gymerodd gleddyf*—*eth hachereb*, 'y cleddyf hwnw,' sef

fawr: am hyny Saul a gymerodd
gleddyf, ac a syrthiodd arno.
5 A phan welodd ei yswain farw
o Saul, yntau hefyd a syrthiodd ar
ei gleddyf, ac a fu farw gydag ef.
6 Felly y bu farw Saul, a'i dri
mab, a'i yswain, a'i holl wŷr, y
dydd hwnw yn nghyd.
7 ¶ A phan welodd gwŷr Israel, y
rhai *oedd* o'r tuhwnt i'r dyffryn, a'*r*
*rhai oedd* o'r tuhwnt i'r Iorddonen,
ffoi o wŷr Israel a marw o Saul a'i
feibion, hwy a adawsant y dinas-
oedd, ac a ffoisant; a'r Philistiaid a
ddaethant ac a drigasant ynddynt.
8 A'r bore, pan ddaeth y Philist-
iaid i ddyosg y lladdedigion, hwy a
gawsant Saul a'i dri mab yn gor-
wedd yn mynydd Gilboa.
9 A hwy a dorasant ei ben ef, ac
a ddyosgasant ei arfau ef, ac a an-
fonasant i wlad y Philistiaid o bob
parth, i fynegu yn nhŷ eu delwau
hwynt, ac yn mysg y bobl.
10 A gosodasant ei arfau ef yn
nhŷ Astaroth; a'i gorff ef a hoelias-
ant hwy ar fur Beth-san.
11 ¶ A phan glybu trigolion Jabes
Gilead yr hyn a wnaethai y Philist-
iaid i Saul;
12 Yr holl wŷr nerthol a gyfod-
asant, ac a gerddasant ar hyd y nos,
ac a ddygasant ymaith gorff Saul,
a chyrff ei feibion ef, oddiar fur
Beth-san, ac a ddaethant i Jabes,
ac a'*u* llosgasant hwynt yno.
13 A hwy a gymerasant eu hes-
gyrn hwynt, ac a'*u* claddasant dan
bren yn Jabes, ac a ymprydiasant
saith niwrnod.

---

cleddyf Doeg; *ac a syrthiodd arno*—hyny yw, trywanodd ei hun âg ef; neu ynte rhoddodd garn y cleddyf ar y ddaear, a'i flaen tuag i fyny, a gorweddodd â'i holl bwys arno, nes y daeth allan trwy ei gefn.

Adn. 5. *A phan welodd ei yswain farw o Saul*] Yn y fan, trwy syrthio felly ar ei gleddyf; *yntau hefyd a syrthiodd ar ei gleddyf*—yr hwn a dynasai efe i'r perwyl hwnw o gorff Saul; *ac a fu farw gydag ef*—yn ei ymyl, a'r un modd, ac mewn llai na hanner mynyd ar ei ol ef, cyn i'r Philistiaid gyraedd atynt. Fel hyn ymddengys i Saul a Doeg farw trwy yr un cleddyf ag a ddefnyddiwyd i ladd yr offeiriaid trwy orchymyn Saul! Yr un modd darfu *Brutus* a *Cassius* eu lladd eu hunain â'r un cleddyfau ag y trywanasant *Cesar* â hwynt; a thrywanwyd *Calippus* â'r un cleddyf ag a ddefnyddiasai yntau i drywanu *Dio*.

Adn. 6. *A'i holl wŷr*] Nid ei holl fyddin, canys ffôdd llawer o honynt, adn. 7, ac yn eu mysg Abner, tywysog y filwriaeth; eithr y rhai a laddwyd, a fuant feirw y dydd hwnw yn nghyd.

Adn. 7. *Y rhai oedd o'r tuhwnt i'r dyffryn*] Sef dyffryn Jezreel, tua Beth-san; *a'r rhai oedd o'r tuhwnt i'r Iorddonen*—gan i'r Philistiaid feddiannu Beth-san, yr hon oedd ar fin yr Iorddonen, darfu i'r Israeliaid ag oeddynt o'r tu arall i'r Iorddonen ffoi yr un modd, rhag y byddai i'r Philistiaid ddyfod i'w dinasoedd hwythau hefyd. Ond gan fod y wreiddiol yn arwyddo yr *ochr hon* i'r Iorddonen yn gystal a'r *tu hwnt*, tybia Benson ac ereill mai trigolion ochr gwlad Canaan i'r Iorddonen a feddylir yma.

Adn. 8. *A'r bore, pan ddaeth y Philistiaid i ddyosg y lladdedigion*] Ymddengys i'r frwydr barhau y dydd blaenorol hyd y nos, fel nad oedd cyfle iddynt yspeilio y lladdedigion o'u gwisgoedd a'u meddianau hyd bore dranoeth. *Hwy a gawsant Saul a'i dri mab yn gorwedd yn mynydd Gilboa*—yn hollol farw, yn ol rhagfynegiad Samuel yn nhŷ y ddewines, pen. xxviii. 19.

Adn. 9. *A hwy a dorasant ei ben ef*] I'w grogi yn nhŷ Dagon, fel arwydd o'u buddugoliaeth, 1 Cron. x. 10; *ac a ddyosgasant ei arfau ef*—i'w gosod yn nhŷ Astaroth, adn. 10; *ac a anfonasant i wlad y Philistiaid*—i wahodd pawb i ddyfod i weled pen ac arfau Saul, neu i roddi y gogoniant i'w duwiau am y fuddugoliaeth hon.

Adn. 10. *A'i gorff ef a hoeliasant hwy ar fur Beth-san*] I'w waradwyddo gan bawb a'i gwelent; ac ymddengys oddiwrth adn. 12, iddynt wneyd yr un driniaeth â'i feibion ef hefyd. Dywed Josephus mai ar groesbren ar y mur yr hoeliwyd hwynt.

Adn. 11. *A phan glybu trigolion Jabes Gilead*] Dinas ag oedd yn gorwedd y tuhwnt i'r Iorddonen, oddeutu 12 milldir o Beth-san.

Adn. 12. *Yr holl wŷr nerthol*] Neu hyf a dewr, wedi eu tanio wrth glywed am y fath ddirmyg a wnaed i gyrff eu brenin a'i feibion; *a gerddasant ar hyd y nos*—er mwy o ddirgeledd; *ac a ddygasant ymaith gorff Saul a chyrff ei feibion ef*—yn ddiarwybod i'r Philistiaid, neu er gwaethaf iddynt; *ac a'u llosgasant hwynt*—rhag ofn, os cleddid hwynt, y byddai i'r Philistiaid eu codi hwynt eilwaith i'w hanmharchu. Yr oedd y weithred hon o eiddo gwŷr Jabes yn weithred o ddiolchgarwch dyledus i Saul, yr hwn, yn nechre ei deyrnasiad, a'u gwaredasai hwynt o law Nahas brenin yr Ammoniaid: gwel ar pen. xi. 1, &c.

Adn. 13. *A hwy a gymerasant eu hesgyrn hwynt*] Neu ludw eu hesgyrn a'u cnawd llosgedig, i'w claddu yn weddaidd a pharchus dan *dderwen* yn Jabes, 1 Cron. x. 12. Yr oedd yn hoff gan yr Iuddewon gladdu eu meirw dan dderwen, am fod y pren hwnw yn arwydd o'r adgyfodiad, yn ei farweiddiad yn y gauaf, a'i flaguriad adnewyddol yn yr haf: gwel Gen. xxxv. 8. *Ac a ymprydiasant saith niwrnod*—mewn ffordd o alar am ddarostyngiad Israel gan y Philistiaid, ac am farwolaeth Saul a'i feibion.

# AIL LYFR
# SAMUEL.

Gan fod y llyfr hwn yn barhad didor o'r hanes flaenorol, prin y gallwn ei alw yn llyfr *arall*. Ar y cyntaf nid oedd hwn a'r un blaenorol yn gwneuthur dim ond *un* llyfr, ac fe'i rhanwyd yn *ddau* heb un rheswm nac angenrheidrwydd. Am hanes gyffredinol am y ddau, gwel y rhagymadrodd i lyfr cyntaf Samuel. Addefir yn gyffredin fod y llyfr hwn yn cynwys yspaid o 40 mlynedd, neu o'r flwyddyn o. b. 2949 hyd 2989. Y mae wedi ei ranu yn *dair* rhan: Yn y *gyntaf* cawn hanes dechread dedwydd teyrnasiad Dafydd, pen. i.—x. Yn yr *ail*, cwymp annedwydd Dafydd, a'i ganlyniadau echrydus, pen. xi—xviii. Yn y *drydedd*, ei adferiad ef i ffafr Duw, ail sefydliad ei frenhiniaeth, a'r dygwyddiadau a hynodent y rhan ddiweddaf o'i deyrnasiad, pen. xix.—xxiv. Bernir yn gyffredin mai *Gad* a *Nathan* a'i hysgrifenasant ef, yn gystal a'r pennodau olaf o'r llyfr cyntaf.

## PENNOD I.

AC ar ol marwolaeth Saul, pan
ddychwelasai Dafydd o ladd yr
Amaleciaid, wedi aros o Dafydd
ddeuddydd yn Siclag;
2 Yna, y trydydd dydd, wele ŵr
yn dyfod o'r gwersyll oddiwrth
Saul, a'i ddillad wedi eu rhwygo, a
phridd ar ei ben: a phan ddaeth efe
at Dafydd, efe a syrthiodd i lawr,
ac a ymgrymodd.
3 A Dafydd a ddywedodd wrtho
ef, O ba le y daethost ti? Yntau a
ddywedodd wrtho, O wersyll Israel
y diengais i.
4 A dywedodd Dafydd wrtho ef,
Pa fodd y bu? mynega, atolwg, i
mi. Yntau a ddywedodd, Y bobl a
ffôdd o'r rhyfel, a llawer hefyd o'r
bobl a syrthiodd, ac a fuant feirw;
a Saul a Jonathan ei fab a fuant
feirw.
5 A Dafydd a ddywedodd wrth y
llanc oedd yn mynegu iddo, Pa fodd
y gwyddost ti farw Saul a Jonathan
ei fab?
6 A'r llanc, yr hwn oedd yn
mynegu iddo, a ddywedodd, Dygwyddodd i mi ddyfod i fynydd Gilboa; ac wele, Saul oedd yn pwyso
ar ei waewffon: wele *hefyd*, y cerbydau a'r marchogion yn erlid ar ei
ol ef.
7 Ac efe a edrychodd o'i ol, ac a'm
canfu i, ac a alwodd arnaf fi. Minau
a ddywedais, Wele fi.
8 Dywedodd yntau wrthyf, Pwy
*wyt* ti? Minau a ddywedais wrtho,
Amaleciad *ydwyf* fi.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf fi,
Sâf, atolwg, arnaf, a lladd fi: canys

---

PEN. I. Adn. 1. *Wedi aros o Dafydd ddeuddydd yn Siclag*] Yr hon, er ei llosgi gan yr Amaleciaid, eto nad oedd wedi ei llwyrlosgi, fel nas gallai Dafydd a'i wŷr gael rhyw fath o gysgod ynddi hyd onid adgyweirid hi. Ymddengys mai yn ystod yr arhosiad hwn yr anfonodd Dafydd anrhegion o'r anrhaith i henuriaid Juda, 1 Sam. xxx. 26—31.

Adn. 2. *A'i ddillad wedi eu rhwygo, a phridd ar ei ben*] Yn arwydd o alar o herwydd yr hyn ag oedd ganddo i'w fynegu. *Efe a syrthiodd i lawr*—yn arwydd o barch mawr i Dafydd fel olynydd Saul yn y frenhiniaeth.

Adn. 3. *O ba le y daethost ti?*] Y mae yn debyg fod Dafydd yn meddwl fod ganddo ef ryw newydd trallodus o'r rhyfel, wrth weled ei ddillad wedi eu rhwygo, a phridd ar ei ben.

Adn. 4. *Pa fodd y bu?*] Ewyllysiai Dafydd gael gwybodaeth fanol yn nghylch y frwydr—pwy a gawsai y fuddugoliaeth, a pha beth a ddygwyddodd i'r blaid a gollasai y dydd.

Adn. 5. *Pa fodd y gwyddost ti farw Saul a Jonathan ei fab?*] A welaist ti hwynt wedi marw, ynte clywed a wnaethost gan ereill?

Adn. 6. *Saul oedd yn pwyso ar ei waewffon*] Fel y byddai iddi dreiddio trwy ei gorff ef. Y mae yn eglur mai llunio ei ysdori yr oedd yr Amaleciad hwn, gan ddywedyd y cyfryw bethau ag a ymddanghosent i Dafydd yn debygol, fel y gallai ennill ei ffafr ef. Cawn wir hanes am farwolaeth Saul yn 1 Sam. xxxi. 4, lle y dywedir mai syrthio ar *gleddyf* a wnaethai Saul, a marw felly.

Adn. 7. *Ac a'm canfu i*] Yr hwn oeddwn yn myned heibio ar *ddygwyddiad*, heb fod genyf un llaw yn y rhyfel. Yr oedd hyn yn anwiredd; canys yr oedd Saul yn gwbl farw cyn iddo ef ddyfod i'r fan, fel nas gallai ei ganfod, na galw arno.

Adn. 8. *Amaleciad ydwyf fi*] Felly Amaleciad a gymerodd y goron hono oddiar ben Saul, yr hon a fforffetiasai efe trwy ei anufydd-dod yn achos yr Amaleciaid, 1 Sam. xv. 26.

Adn. 9. *Canys cyfyngder a ddaeth arnaf*] Trwy ei fod wedi ei archolli eisioes gan y Philistiaid, ac yn ofni iddynt ddyfod ato i'w drywanu a'i waradwyddo drachefn: gwel 1 Sam. xxxi. 4. Ond tybia Buxtorf ac amrai ferniaid fod *shabats*, a gyfieithir yma, 'cyfyngder,' yn arwyddo *llurig emawg*, neu *arfbais*, debyg i'r hon a wisgai Goliath, 1 Sam. xvii. 5. 'Ymddengys mai ystyr y frawddeg yw,' ebai Benson, 'Y mae fy llurig yn rhwystr i'r

cyfyngder a ddaeth arnaf, o herwydd *bod* fy holl einioes ynof fi eto.
10 Felly mi a sefais arno ef, ac a'i lleddais ef; canys mi a wyddwn na byddai efe byw ar ol ei gwympo: a chymerais y goron *oedd* ar ei ben ef, a'r freichled *oedd* am ei fraich ef, ac a'i dygais hwynt yma at fy arglwydd.
11 Yna Dafydd a ymaflodd yn ei ddillad, ac a'u rhwygodd hwynt; a'r holl wŷr hefyd y rhai *oedd* gydag ef.
12 Galarasant hefyd, ac wylasant, ac ymprydiasant hyd yr hwyr, am Saul ac am Jonathan ei fab, ac am bobl yr Arglwydd, ac am dŷ Israel; o herwydd iddynt syrthio trwy y cleddyf.
13 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth y llanc oedd yn mynegu *hyn* iddo, O ba le y'th *henyw* di? Yntau a ddywedodd, Mab i ŵr dyeithr o Amaleciad *ydwyf* fi.
14 A dywedodd Dafydd wrtho, Pa fodd nad ofnaist ti estyn dy law, i ddyfetha eneiniog yr Arglwydd?
15 A Dafydd a alwodd ar un o'r gweision, ac a ddywedodd, Nesâ, rhuthra iddo ef. Ac efe a'i tarawodd ef, fel y bu efe farw.
16 A dywedodd Dafydd wrtho ef, *Bydded* dy waed di ar dy ben dy hun: canys dy enau dy hun a dystiolaethodd yn dy erbyn, gan ddywedyd, Myfi a leddais eneiniog yr Arglwydd.
17 ¶ A Dafydd a alarnadodd yr alarnad hon am Saul ac am Jonathan ei fab:

---

waewffon dreiddio yn ddigon dwfn i beri marwolaeth ddiatreg.' Felly yr oedd y gŵr hwn yn cymeryd arno wrth Dafydd fod Saul yn peri iddo ef dynu y waewffon o'r clwyf, a'i gwthio yn rymus i'w gorff ef lle y caniatäai y llurig iddo wneuthur hyny.

Adn. 10. *Felly mi a sefais arno ef, ac a'i lleddais*] Yn ol ei ddymuniad ef ei hun. Yr oedd hyn yn anwiredd a gostiodd iddo ef ei fywyd, adn. 15: canys yn ol y wir hanes, yr oedd Saul yn ofni cael ei ladd gan rai *dienwaededig;* ac onid oedd yr Amaleciad hwn felly; *A chymerais y goron oedd ar ei ben ef, a'r freichled oedd am ei fraich*—y rhai a wisgai Saul yn arwydd o'i frenhindod. Ymddengys mai math o grwydryn lladronaidd oedd y dyn hwn, yr hwn a ddaethai i yspeilio y lladdedigion yn y nos, cyn i'r Philistiaid ddyfod atynt bore dranoeth, 1 Sam. xxxi. 8. *Ac a'u dygais hwynt yma at fy arglwydd*—canys nis gallai ef yn ddiberygl gadw y rhai hyny yn ei feddiant ei hun, ac efe a obeithiai gael anrhydedd mawr gan y brenin newydd am eu dwyn iddo ef.

Adn. 11 *Yna Dafydd a ymaflodd yn ei ddillad*] Sef yn ei ddillad ei hun; *ac a'u rhwygodd hwynt*—yn arwydd o alar am farwolaeth Saul a Jonathan; a'i wŷr a wnaethant yr un peth.

Adn. 12. *Am bobl yr Arglwydd*] Y rhai a syrthiasant yn y frwydr; *ac am dŷ Israel*—sef yr holl genedl, y rhai oeddynt yn agored i gael eu drygu gan eu gelynion ar ol hyn.

Adn. 13. *O ba le y'th henyw di*] Neu yr hanaist? *Mab i ŵr dyeithr o Amaleciad ydwyf fi*—heb fod gan fy nhad na minau ddim i'w wneuthur â'r rhyfel, o blaid Israel na'r Philistiaid. Yr oedd Dafydd wedi clywed eisioes gan y llanc pwy oedd efe, adn. 8; ond y mae yn awr yn gofyn iddo fel barnwr neu frenin, mewn trefn i'w brofi a'i gospi ef.

Adn. 14. *Pa fodd nad ofnaist ti estyn dy law i ddyfetha eneiniog yr Arglwydd?*] Yr oedd hyn yn ddigon o reswm gan Dafydd ei hun rhag dyfetha Saul; a rhyfeddai fod yr Amaleciad hwn mor ddiofn Duw a dynion, fel ag i wneuthur yr hyn na feiddiai Dafydd ei hun ei gyflawni, er iddo gael cyfle yn fynych i hyny.

Adn. 15. *A Dafydd a alwodd ar un o'r gweision*] Sef ar un o'r chwe chànwr ag oeddynt yn ei wasanaeth ef. *Rhuthra iddo ef*—â'th gleddyf. Yr oedd yn iawn i Dafydd amddiffyn ei ddiniweidrwydd ei hun yn ngolwg y byd trwy y weithred hon, onidê cyhuddesid ef ond odid o roddi yr Amaleciad hwn ar waith i ladd Saul ei elyn; a diamau ei fod am attal ereill rhag ei ladd yntau, pan y delai i'r orsedd, trwy y siampl hon.

Adn. 16. *Bydded dy waed di ar dy ben dy hun*] Ac nid ar ben Dafydd, nac ar ben ei was yr hwn a'i tarawsai ef. Yr oedd ef ei hun wedi tystiolaethu mai efe a laddasai Saul, ac wedi dwyn ei goron a'i freichled ef at Dafydd yn brawf o hyny; a chan ei fod, yn ol ei dystiolaeth ei hun, wedi tywallt gwaed dyn, a gwaed brenin hefyd, yr oedd yn eithaf cyfiawn tywallt ei waed yntau, yn ol deddf Duw, yn y cyfryw achos, Gen. ix. 6; canys efe a wnaethai hyny nid fel milwr mewn rhyfel, ond fel dyeithrddyn a ddaethai yno yn unig i yspeilio.

Adn. 17. *A Dafydd a alarnadodd*] Neu a gyfansoddodd yr alarnad neu y farwnad a ganlyn ar farwolaeth Saul a Jonathan; a chanodd hi ond odid, efe a'r bobl oedd gydag ef, ar ryw dôn briodol ac addas iddi. Y mae bron yn anmhosibl darllen yr alarnad ardderchog hon yn yr Hebraeg, fel yr addefa pob gŵr dysgedig, heb deimlo fod pob gair ynddi yn cael ei chwyddo âg ochenaid neu ei dori âg ing. Y mae calon drylawn o ofid, ac yn ymdrechu i draethu ymadroddion darluniadol o'i theimladau, y rhai a rwystrir yn barhaus gan ormod tristwch, i'w gweled yn amlwg trwy yr oll. Y mae yr ymruthriadau o ofid mor gryf, mor gyffrous, mor fyr, mor amrywiol, mor annghysylltiol, fel na phaentiwyd un tristwch erioed yn y fath liwiau bywiog a pharhaus. Y mae calon Dafydd wedi ei thyneru a'i thoddi trwyddi yn y fath fodd, fel ag i annghofio holl greulonderau Saul tuag ato. Nid

18 (Dywedodd hefyd am ddysgu meibion Juda *i saethu* â bwa: wele, *y mae* yn ysgrifenedig yn llyfr Jaser)
19 O ardderchogrwydd Israel, efe a archollwyd ar dy uchelfaoedd di: pa fodd y cwympodd y cedyrn!
20 Nac adroddwch *hyn* yn Gath; na fynegwch yn heolydd Ascalon: rhag llawenychu merched y Philistiaid, rhag gorfoleddu o ferched y rhai dienwaededig.
21 O fynyddoedd Gilboa, na *ddisgyned* arnoch chwi wlith na gwlaw, na meusydd o offrymau: canys yno y bwriwyd ymaith darian y cedyrn yn ddirmygus, tarian Saul *fel pe buasai* heb *ei* eneinio âg olew.
22 Oddiwrth waed y lladdedigion, oddiwrth frasder y cedyrn, ni thrôdd bwa Jonathan yn ol, a chleddyf Saul ni ddychwelodd yn wâg.
23 Saul a Jonathan *oedd* gariadus ac anwyl yn ei bywyd, ac yn eu marwolaeth ni wahanwyd hwynt: cynt oeddynt na'r eryrod, *a* chryfach oeddynt na'r llewod.
24 Merched Israel, wylwch am Saul, yr hwn oedd yn eich dilladu chwi âg ysgarled, gydag hyfrydwch, yr hwn oedd yn gwisgo addurnwisg aur ar eich dillad chwi.

---

yw efe yn cofio am ddim yn awr ond y gwron dewr, y blaenor grymus, y tywysog mawreddog, y brenin o osodiad Duw, ei feistr tirion ei hun unwaith, tad ei Fichal a Jonathan! Efe a glodfora Saul am ei fuddugoliaethau, ei gyflymdra, a'i gryfder blaenorol, ac a dywallt ddeigryn uwch ei ben ef o herwydd ei orchfygu, ac o herwydd yr anmharch a ddanghoswyd tuag ato wedi iddo farw. Ond am Jonathan, mor gyfiawn ac angherddol yw ei ing ar ei ol ef! 'Gofid sydd arnaf am danat ti, fy mrawd Jonathan!' &c.

Adn. 18. *Dywedodd hefyd am dysgu meibion Juda i saethu â bwa*] Er y galarai Dafydd yn drwm am Saul a Jonathan, nid oedd er hyny yn esgeuluso ei ddyledswydd at feibion Juda ei bobl, eithr mynai eu dysgu hwy i saethu â bwa, er amddiffyn eu gwlad mewn amser i ddyfod. Ond trwy na sonir am *saethu* yn y wreiddiol, yr hon y gellir ei chyfieithu fel hyn, 'Dywedodd hefyd am ddysgu i feibion Juda y bwa,' barna llawer o wŷr dysgedig mai nid 'dysgu saethu â bwa' a orchymynid iddynt, ond dysgu y gân hon, yr hon a elwid 'Y Bwa.' *Wele, y mae yn ysgrifenedig yn llyfr Jaser*—ddarfod i Dafydd orchymyn i saethu â bwa gael ei ddysgu. Neu, os yw y *bwa* yn golygu yr alarnad hon, yna y meddwl yw, fod y gân hon yn ysgrifenedig yn y llyfr hwnw, yr hwn y tybia rhai ei fod yn llyfr o odlau neu bryddestau, yn y rhai yr adroddid llwyddiant neu aflwyddiant Israel yn eu rhyfeloedd. Am *lyfr Jaser*, gwel ar Num. xxi. 14, a Jos. x. 13.

Adn. 19. *O ardderchogrwydd Israel!*] Neu ogoniant ac addurn Israel: felly yr ystyriai efe Saul a Jonathan, yn nghyda'u byddin. Ond tybia rhai mai at Jonathan yn unig y cyfeiria Dafydd yn y frawddeg hon, am fod yn fwy naturiol meddwl mai Jonathan oedd gwrthddrych cyntaf ei alarnad. *Efe a archollwyd ar dy uchelfaoedd di!*—sef ar fynydd Gilboa, un o uchelfaoedd gwlad Israel, lle yr archollwyd Jonathan a Saul. *Pa fodd y cwympodd y cedyrn!*—mor annysgwyliadwy y cwympodd Jonathan! mor waradwyddus y cwympodd Saul trwy ei ddwylaw ei hun! ac mor gyffredinol y cwympodd eu byddinoedd dewrion! Y mae y geiriau hyn i'w hystyried fel math ar gydgor neu ferdon i'r gân, trwy eu bod yn cael eu defnyddio yma deirgwaith: gwel adn. 25, 27.

Adn. 20. *Nac adroddwch hyn yn Gath*] Am y mynai Dafydd gelu oddiwrth holl elynion Israel, os oedd bosibl, y fath aflwydd a gwarth ag a ddisgynasai ar ei genedl. *Rhag llawenychu merched y Philistiaid*—yn ol arferiad benywod ar ol buddugoliaethau: gwel ar Barn. xi. 34, 1 Sam. xviii. 6—8.

Adn. 21. *O fynyddoedd Gilboa*] Lle y syrthiodd Saul a Jonathan, yn nghyda'u byddinoedd; *na ddysgyned arnoch chwi wlith na gwlaw*—nid ydym i ddeall hyn fel pe buasai Dafydd yn dymuno i farn felly ddisgyn ar un ran o wlad Israel; eithr ehediadau barddonol yw y geiriau, yn dangos gofid ei feddwl ef am yr anffawd ag y galarnada o'i herwydd. *Na maesydd o offrymau*—dim maesydd ffrwythlawn o ŷdau ac anifeiliaid, o'r rhai y gellid dwyn offrymau i gysegr yr Arglwydd. *Canys yno y bwriwyd ymaith darian y cedyrn*—gan filwyr Israel eu hunain wrth ffoi o flaen eu gelynion, yr hyn a gyfrifid yn ymddygiad dirmygus a thrallodus yn mhlith pob cenedl. *Tarian Saul, fel pe buasai heb ei eneinio*—yn frenin, neu fel pe na buasai ond milwr cyffredin. Ond y mae rhai yn ei ddarllen, 'Tarian Saul, *arfau wedi* eu heneinio âg olew,' i'w cadw yn ddirwd.

Adn. 22. *Ni thrôdd bwa Jonathan yn ol*] Yn ddieffaith: eithr yr oedd ei *saethau* ef yn cyraedd y nôd, ac yn suddo yn ddwfn i gnawd a brasder, i galon ac ymysgaroedd ei elynion, er cadarned oeddynt, ac yn peri i waed y lladdedigion redeg yn ffrydiau; a'r un modd y gwnai *cleddyf* Saul.

Adn. 23. *Saul a Jonathan oedd gariadus ac anwyl yn eu bywyd*] Heb ddim annghydfod rhyngddynt ond yn unig yn achos Dafydd, yr hyn a gela efe yma; *ac yn eu marwolaeth ni wahanwyd hwynt*—trwy iddynt syrthio yn yr un lle, ar yr un achos, a bron yr un amser. *Cynt oeddynt na'r eryrod*—wrth fyned i amddiffyn eu cyfeillion neu erlid eu gelynion; *a chryfach oeddynt na'r llewod*—yn eu rhyfeloedd â'u gelynion; neu '*hyfach* na'r llewod,' fel y mae rhai yn ei ddarllen.

Adn. 24. *Yr hwn oedd yn eich dilladu chwi âg ysgarlad*] Efe a wnai hyn â'r yspail a gymerai oddiar y gelynion; neu trwy ryw

25 Pa fodd y cwympodd y cedyrn
yn nghanol y rhyfel! Jonathan, *ti*
a laddwyd ar dy uchelfaoedd.
26 Gofid *sydd* arnaf am danat ti,
fy mrawd Jonathan: cu iawn fuost
genyf fi: rhyfeddol oedd dy gariad
tuag ataf fi, tuhwnt i gariad
gwragedd.
27 Pa fodd y syrthiodd y cedyrn,
ac y dyfethwyd arfau rhyfel!

## PENNOD II.

AC ar ol hyn yr ymofynodd Dafydd
a'r Arglwydd, gan ddywedyd, A
âf fi i fyny i'r un o ddinasoedd Juda?
A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho
ef, Dos i fyny. A dywedodd Dafydd,
I ba le yr âf i fyny? Dywedodd
yntau, I Hebron.
2 A Dafydd a aeth i fyny yno, a'i
ddwy wragedd hefyd, Ahinoam y
Jezreelëes, ac Abigail gwraig Nabal
y Carmeliad.
3 A Dafydd a ddyg i fyny ei wŷr
y rhai *oedd* gydag ef, pob un a'i
deulu: a hwy a arosasant yn ninas-
oedd Hebron.
4 A gwŷr Juda a ddaethant, ac a
eneiniasant Dafydd yno yn frenin ar
dŷ Juda. A mynegasant i Dafydd,
gan ddywedyd, *mai* gwŷr Jabes
Gilead a gladdasent Saul.
5 ¶ A Dafydd a anfonodd genadau
at wŷr Jabes Gilead, ac a ddywedodd
wrthynt, Bendigedig *ydych* chwi
gan yr Arglwydd y rhai a wnaeth-
och y drugaredd hon a'ch arglwydd
Saul, ac a'i claddasoch ef.
6 Ac yn awr yr Arglwydd a wnelo
â chwi drugaredd a gwirionedd:
minau hefyd a dalaf i chwi am y

---

fesurau a ddefnyddiai efe yn ddoeth i gyfoethogi y genedl, fel y gallai gwŷr a rhieni ddilladu eu gwragedd a'u merched â gwisgoedd hardd a gwerthfawr.

Adn. 25. *Jonathan, ti a laddwyd ar dy uchelfaoedd!*] Efe a ddywed '*dy* uchelfaoedd,' am fod mynyddoedd Gilboa yn ngwlad Jonathan; ac hefyd yn ei *deyrnas* ef, oni buasai i'w dad ei ddifeddiannu ef trwy ei bechodau: ac yr oedd hyny yn fwy galarus o lawer na phe syrthiasai efe yn ngwlad ei elynion.

Adn. 26. *Gofid sydd arnaf am danat ti, fy mrawd Jonathan!*] Yn y rhan gyntaf o'r farwnad hon galara Dafydd am Jonathan fel gwron dewr; yn ei diwedd fel cyfaill anwyl. *Tuhwnt i gariad gwragedd*—at eu gwŷr. Tybia rhai fod Dafydd yn cyfeirio at gariad ei wragedd ei hun, sef Ahinoam ac Abigail, y rhai a'i carent ef mor fawr; ac os felly, pa faint mwy tuhwnt i gariad Michal, yr hon a aethai gyda gŵr arall!

Adn. 27. *Pa fodd y syrthiodd y cedyrn!*] Gwel ar adn. 19; *ac y dyfethwyd arfau rhyfel!*—neu pa fodd yr ymadawodd pob gogoniant milwraidd oddiwrth Israel!

PEN. II. Adn. 1. *Ymofynodd Dafydd â'r Arglwydd*] Trwy Abiathar yr offeiriad, gyda'r Urim a'r Thummim. *A âf fi i fyny i'r un*—neu *i* un o ddinasoedd Juda? yr hwn oedd ei lwyth ef, a lle yr oedd iddo fwyaf o gyfeillion. *Dos i fyny*—o Siclag i wlad Juda. *I ba le yr âf i fyny*—i ba ddinas neu dref? Er ei eneinio yn frenin, ac addaw y deyrnas iddo gan yr Arglwydd trwy Samuel, eto ni wnai Dafydd ddim tuag at feddiannu yr orsedd heb ymgynghori â'r Arglwydd. *I Hebron*—yr hon, yn nesaf at Jerusalem, oedd brifddinas llwyth Juda, os nid y benaf oll, trwy fod y Jebusiaid yn awr yn meddiannu rhan helaeth o Jerusalem. Yr oedd Hebron yn sefyll yn nghanol rhandir y llwyth, ac felly yn gyfleus iawn i'r holl bobl gyrchu yno pan fyddai achos. Yr ydoedd hefyd yn ddinas noddfa, ac yn perthyn i'r offeiriaid, ac yn le dymunol a ffrwythlon. Yr oedd yn gorwedd oddeutu 20 milldir o du y deau i Jerusalem, a 23 o du y dwyrain i Siclag, lle yr oedd Dafydd yn awr.

Adn. 2. *Abigail gwraig Nabal*] Yr hon a fuasai yn wraig i Nabal, 1 Sam. xxv. 39—43.

Adn. 3. *Yn ninasoedd Hebron*] Neu yn y trefi perthynol i Hebron, yr hon oedd y brifddinas; canys trwy fod Hebron wedi ei llenwi âg offeiriaid, ac â llyswyr Dafydd, nid oedd ynddi le i'w holl filwyr ef a'u teuluoedd: gwel ar 1 Cron. xii.

Adn. 4. *A gwŷr Juda a ddaethant*] I Hebron, sef henuriaid neu benaethiaid pob dinas yn y llwyth; *ac a eneiniasant Dafydd yno yn frenin*—eneiniesid ef o'r blaen gan Samuel, trwy yr hyn y cafodd efe *jus ad regnum*, 'hawl *i'r* frenhiniaeth;' a thrwy yr eneiniad presenol cafodd *jus in regno*, 'awdurdod *dros* y frenhiniaeth.' *Ar dŷ Juda*—canys yr oedd y parthau ereill o'r deyrnas, neu y llwythau ereill, yn ymlynedig eto wrth deulu Saul. *A mynegasant i Dafydd*—y mae yn debyg mai y peth cyntaf a wnaeth efe ar ol ei eneinio oedd holi am gorff Saul, eu diweddar frenin, fel y gallai roddi claddedigaeth anrhydeddus iddo.

Adn. 5. *Bendigedig ydych chwi gan yr Arglwydd*] Gellir ystyried hyn fel dymuniad Dafydd iddynt gael eu bendithio, neu fel rhagfynegiad proffwydol y bendithid hwy gan yr Arglwydd am y weithred drugarog hon o gladdu Saul. Yn mhlith yr Iuddewon cyfrifid claddu y meirw yn weithred o drugaredd a duwioldeb, yn ol siampl Duw ei hun, yr hwn a gladdodd gorff Moses; ac am hyny gellid dysgwyl bendith yr Arglwydd ar y neb a'i gwnelai, yn enwedig mewn amgylchiad fel hwn.

Adn. 6. *Yr Arglwydd a wnelo â chwi drugaredd a gwirionedd*] Neu drugaredd wirioneddol, fel y gwnaethoch chwithau â'ch brenin; *minau hefyd a dalaf i chwi*—pan ddaw ar fy llaw i wneuthur hyny. Nis gallai

daioni hwn, oblegid i chwi wneuthur
y peth hyn.
7 Yn awr gan hyny ymnerthed
eich dwylaw, a byddwch feibion
grymus: canys marw a fu eich
arglwydd Saul, a thŷ Juda a'm hen-
einiasant inau yn frenin arnynt.
8 ¶ Ond Abner fab Ner, tywysog
y filwriaeth *oedd* gan Saul, a gy-
merth Isboseth mab Saul, ac a'i dyg
ef drosodd i Mahanaim;
9 Ac efe a'i gosododd ef yn frenin
ar Gilead, ac ar yr Assuriaid, ac ar
Jezreel, ac ar Ephraim, ac ar Ben-
jamin, ac ar holl Israel.
10 Mab deugain mlwydd *oedd* Is-
boseth mab Saul, pan ddechreuodd
deyrnasu ar Israel; a dwy flynedd
y teyrnasodd efe. Tŷ Juda yn unig
oedd gyda Dafydd.
11 (A rhifedi y dyddiau y bu Da-
fydd yn frenin yn Hebron ar dŷ Juda,
oedd saith mlynedd a chwe mis)
12 ¶ Ac Abner mab Ner, a gweis-
ion Isboseth mab Saul, a aethant
allan o Mahanaim i Gibeon.
13 Joab hefyd mab Serfiah, a
gweision Dafydd, a aethant allan,
ac a gyfarfuant yn nghyd wrth lyn
Gibeon: a hwy a eisteddasant wrth
y llyn, rhai o'r naill du, a'r lleill
wrth y llyn o'r tu arall.
14 Ac Abner a ddywedodd wrth
Joab, Cyfoded yn awr y llanciau, a
chwareuant ger ein bronau ni. A
dywedodd Joab, Cyfodant.

---

Dafydd ddechreu ei deyrnasiad mewn ffordd fwy anrhydeddus iddo ei hun, nac mewn modd tebycach i ennill calonau y bobl oll, na thrwy y gofal parchus hwn am gorff Saul, yn enwedig pan feddylid gymaint gelyn a fuasai Saul iddo dros gynifer o flynyddoedd.

Adn. 7. *Ymnerthed eich dwylaw*] Nac ofnwch rhag i'r Philistiaid ddial arnoch am gymeryd cyrff Saul a'i feibion oddiarnynt hwy i'w claddu; *canys marw a fu eich arglwydd Saul*—neu, *er* iddo ef farw, a'ch gadael fel defaid heb fugail arnynt, nid oes achos i chwi ofni, trwy fod gwŷr Juda wedi fy eneinio i yn frenin, yr hwn a'ch amddiffynaf chwi. Y mae yn debyg fod Dafydd trwy hyn yn amcanu ennill gwŷr Jabes hefyd i'w gymeryd ef yn frenin arnynt.

Adn. 8. *Ond Abner fab Ner*] Yr hwn oedd dywysog byddin Saul, ac a ddiangasai heb ei ladd yn y frwydr ddiweddar; a chan ei fod yn gefnder i Saul, ac yn chwennych cadw ei swydd oruchel yn y fyddin, yr oedd yn naturiol iddo geisio cadw y llywodraeth o law Dafydd. *A gymerth Isboseth mab Saul*—sef yr unig un o'i feibion ag ydoedd yn awr yn fyw, yr hwn a elwir *Esbaal*, 1 Cron. viii. 33. *Ac a'i dyg ef drosodd i Mahanaim*—lle yn llwyth Gad, tuhwnt i'r Iorddonen, Jos. xiii. 26. Efe a ddewisodd y lle hwn, fel y gallai yn hawddach ennill y ddau lwyth a hanner i'w bleidio, a bod yn fwy allan o gyraedd Dafydd a'r Philistiaid.

Adn. 9. *Ac efe a'i gosododd ef yn frenin ar Gilead*] Sef ar y ddau lwyth a hanner o du y dwyrain i'r Iorddonen, y rhai a gynwysir dan yr enw hwn; *ar yr Assuriaid*—sef llwyth Aser, fel ei deallir yn gyffredin; *ar Jezreel*—yr holl ddyffryn mawr ag oedd yn rhedeg o'r Iorddonen a llyn Gennesaret yn y dwyrain, hyd Fôr-y-canoldir yn y gorllewin, ac yn cynwys llwythau Zabulon, Issacar, Naphtali, a Mannasse; *ar Ephraim ac ar Benjamin*—y rhai a orweddent rhwng Mannasse a Juda; *ac ar holl Israel*—sef ar bob llwyth ond Juda, ar yr hwn yr oedd Dafydd yn frenin.

Adn. 10, 11. *Mab deugain mlwydd oedd Isboseth*] Ac felly ganed ef pan ddechreuodd ei dad deyrnasu, yr hwn a fu yn frenin ddeugain mlynedd, Act. xiii. 21; *a dwy flynedd y teyrnasodd efe*—cyn i'r rhyfel dori allan rhyngddo ef a Dafydd; yr hon, wedi iddi ddechreu, a barhaodd bum mlynedd a hanner, yn ystod pa amser yr arhosai Dafydd yn Hebron. Y mae yn ddiamau i Isboseth deyrnasu yr holl amser ag y bu Dafydd yn Hebron, yr hyn, fel y dysgwn oddiwrth adn. 11, oedd 'saith mlynedd a chwe mis;' ond tybia rhai mai *Abner* mewn gwirionedd oedd yn teyrnasu yn ystod y pum mlynedd a hanner olaf, ac nad oedd Isboseth yn meddu dim ond yr *enw* o fod yn frenin ar ol y ddwy flynedd gyntaf. *Tŷ Juda yn unig oedd gyda Dafydd*—tra yr oedd yr holl lwythau ereill yn ddeiliaid i Isboseth neu Abner.

Adn. 12. *Ac Abner mab Ner*] Yr hwn oedd fyth yn dywysog y filwriaeth; *a gweision Isboseth*—sef ei holl filwyr ef; *a aethant allan o Mahanaim*—yr hon oedd o du y dwyrain i'r Iorddonen; *i Gibeon*—dinas yn llwyth Benjamin, o du y gorllewin i'r Iorddonen. Y mae yn debyg iddynt fod yn Mahanaim am ddwy flynedd yn ceisio cael holl Israel dan lywodraeth Isboseth; ac ar ol llwyddo i ennill pawb ond llwyth Juda, yr hwn oedd yn dal gyda Dafydd, daethant drosodd yn awr i geisio ennill y llwyth hwnw hefyd. Nid Dafydd a ddechreuodd y rhyfel; eithr efe a arhosai yn dawel, i gael gweled pa fodd y trefnai rhagluniaeth Duw o'i blaid.

Adn. 13. *Joab hefyd mab Serfiah*] Yr oedd Serfiah yn chwaer i Dafydd; a chrybwyllir am Joab wrth enw ei fam yn hytrach na'i dad, am fod ei dad ef wedi marw, adn. 32, ac i ddangos ei berthynas ef â Dafydd; *a gweision Dafydd*—neu ei filwyr ef; *a aethant allan*—o Hebron i Gibeon, yr hyn oedd 27 o filldiroedd, i gyfarfod â byddin Abner; *a hwy a eisteddasant wrth y llyn*—plaid Abner o un tu iddo, a phlaid Joab o'r tu arall, yn gwylied symudiadau eu gilydd.

Adn. 14. *Chwareuant ger ein bronau ni*] A'u cleddyfau, dyn yn erbyn dyn, fel y gwelom gan ba un o honom y mae y milwyr dewraf. Rhaid mai dyn creulon iawn oedd Abner, pan y galwai weithred waedlyd a llofruddiog felly yn *chware!*

15 Yna y cyfodasant, ac yr aethant drosodd dan rif, deuddeg o Benjamin, *sef* oddiwrth Isboseth mab Saul, a deuddeg o weision Dafydd.

16 A phob un a ymaflodd yn mhen eu gilydd, ac *a yrodd* ei gleddyf yn ystlys ei gyfaill; felly y cydsyrthiasant hwy. Am hyny y galwyd y lle hwnw Helcath Hazzurim, yn Gibeon.

17 A bu rhyfel caled iawn y dwthwn hwnw; a tharawyd Abner, a gwŷr Israel, o flaen gweision Dafydd.

18 ¶ A thri mab Serfiah oedd yno, Joab, ac Abisai, ac Asahel: ac Asahel *oedd mor* fuan ar ei draed ag un o'r iyrchod *sydd* yn y maes.

19 Ac Asahel a ddylynodd ar ol Abner; ac wrth fyned ni thrôdd ar y tu deau nac ar y tu aswy, oddiar ol Abner.

20 Yna Abner a edrychodd o'i ol, ac a ddywedodd, Ai tydi *yw* Asahel? A dywedodd yntau, *Ie*, myfi.

21 A dywedodd Abner wrtho ef, Tro ar dy law ddeau, neu ar dy law aswy, a dal i ti un o'r llanciau, a chymer i ti ei arfau ef. Ond ni fynai Asahel droi oddiar ei ol ef.

22 Ac Abner a ddywedodd eilwaith wrth Asahel, Cilia oddiar fy ol i: paham y tarawaf di i lawr? canys pa fodd y codwn fy ngolwg ar Joab dy frawd di *wedi hyny?*

23 Ond efe a wrthododd ymado. Am hyny Abner a'i tarawodd ef â bôn y waewffon dan y bummed *ais*, a'r waewffon a aeth allan o'r tu cefn iddo; ac efe a syrthiodd yno, ac a fu farw yn ei le: a phawb a'r oedd yn dyfod i'r lle y syrthiasai Asahel ynddo, ac y buasai farw, a safasant.

24 Joab hefyd ac Abisai a erlidiasant ar ol Abner: pan fachludodd yr haul, yna y daethant hyd fryn Ammah, yr hwn *sydd* gyferbyn a Giah, tuag anialwch Gibeon.

25 ¶ A meibion Benjamin a ymgasglasant ar ol Abner, ac a aethant

---

Adn. 15. *Deuddeg o Benjamin*] Sef o lwyth Abner ac Isboseth, i gyfarfod â deuddeg o filwyr Dafydd o lwyth Juda.

Adn. 16. *A phob un a ymaflodd yn mhen eu gilydd*] Ymaflai pob un yn ngwallt y llall âg un llaw, ac â'r llall gwthiai pob un ei gleddyf i ystlys ei wrthwynebydd, nes y syrthiodd y pedwar-ar-hugain yn feirw megys ar unwaith! *Am hyny y galwyd y lle hwnw Helcath Hazzurim*—'maes y cedyrn,' neu 'faes y creigiau,' am i bob un sefyll yn gadarn fel craig ansymudadwy nes iddo farw yn y fan.

Adn. 17. *A bu rhyfel caled iawn y dwthwn hwnw*] Neu y *dydd* hwnw. Ar ol i'r pedwar-ar-hugain a nodwyd gydsyrthio, heb benderfynu y ddadl o un ochr mwy na'u gilydd, aeth y ddwy fyddin i ymladd; a chafodd milwyr Dafydd y fuddugoliaeth, trwy i Abner ffoi, ac i 360 o'i wŷr gael eu lladd, adn. 31.

Adn. 18. *Joab, ac Abisai, ac Asahel*] Tri brawd, neiaint i Dafydd, sef meibion ei chwaer ef, a swyddogion enwog yn ei fyddin: gwel adn. 13, a 1 Sam. xxvi. 6, 7. *Ac Asahel oedd mor fuan ar ei draed ag un o'r iyrchod*—yr hyn a gyfrifid yn gymhwysder mawr mewn rhyfelwr yn yr hen amseroedd, yn mhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid.

Adn. 19. *Ac Asahel a ddylynodd ar ol Abner*] Heb sylwi dim ar ereill ar y ddeau na'r aswy, y rhai y gallasai eu cymeryd yn garcharorion, trwy ei fod yn awyddus am y gogoniant o ladd tywysog y fyddin.

Adn. 20. *Ai tydi yw Asahel?*] Felly rhaid eu bod yn agos iawn i'w gilydd erbyn hyn, pan y gallent gydymddyddan.

Adn. 21. *A dywedodd Abner wrtho ef*] Mewn rhan er dirmyg arno, ac mewn rhan am na fynai ei ladd ef rhag ofn Joab; *Tro ar dy law ddeau neu ar dy law aswy*—fel pe dywedasai, Os wyt ti am dy enwogi dy hun fel milwr dewr, gwell i ti brofi pa beth a elli ei wneyd gyda rhyw lanc fel ti dy hun, y rhai sydd o'th ddeutu, cyn beiddio ymosod ar hen ryfelwr glew fel myfi.

Adn. 22. *Cilia oddiar fy ol*] Os wyt ti am gadw dy fywyd; *paham y tarawaf di i lawr?*—neu ei ladd ar unwaith, megys y gorfu iddo o'r diwedd wneyd, am na chymerai Asahel y rhybydd prydlon hwn. *Pa fodd y codwn fy ngolwg ar Joab dy frawd di wedi hyny?*—yr hwn y gwyddai y byddai iddo ddial gwaed ei frawd, os lladdai efe ef. Efe a dybiai y deuai amser pryd y byddai yn dda iddo gael Joab yn gyfaill i eiriol drosto am faddeuant gan Dafydd, ar ol iddo ennill y deyrnas yn gyffredinol; a pha fodd y gallai ddysgwyl y ffafr hòno oddiar law Joab, wedi iddo ladd ei frawd ef?

Adn. 23. *Abner a'i tarawodd ef â bôn y waewffon*] Felly yr oedd picell yn ei bôn yn gystal ag yn ei blaen hi; neu efe a '*drôdd* ei blaen hi ato,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; *dan y bummed ais*—trwy ei lwynau a'i ymysgaroedd ef, nes dyfod o honi allan yr ochr arall iddo, ac felly beri marwolaeth iddo yn y fan. *A phawb a'r oedd yn dyfod i'r lle*—sef pawb o filwyr Dafydd, oddieithr Joab ac Abisai, wrth erlid Abner a'i wŷr; *a safasant*—yno, heb allu myned gam yn mhellach gan alar a gofid o herwydd ei farwolaeth ef; neu safasant i wylio ei gorff ef; neu yr oeddynt yn ofni cael eu trin yr un modd os aent yn mlaen.

Adn. 24. *Joab hefyd ac Abisai a erlidiasant ar ol Abner*] Ni safasant hwy fel y lleill, eithr yn llawn llidiogrwydd erlidiasant ar ol Abner, i ddial gwaed eu brawd arno ef.

Adn. 25. *A meibion Benjamin*] Y rhai oeddynt gydag Abner o'r blaen, ond a wasgaresid yn y frwydr; neu ynte rai ereill o lwyth

yn un fintai, ac a safasant ar ben
bryn.
26 Yna Abner a alwodd ar Joab,
ac a ddywedodd, Ai byth y difa y
cleddyf? oni wyddost ti y bydd
chwerwder yn y diwedd? hyd ba
bryd gan hyny y byddi heb ddywed-
yd wrth y bobl am ddychwelyd oddi
ar ol eu brodyr?
27 A dywedodd Joab, *Fel mai* byw
Duw, oni buasai *yr hyn* a ddywed-
aist, diau yna y bore yr aethai y
bobl i fyny, bob un oddiar ol ei
frawd.
28 Felly Joab a udganodd mewn
udgorn: a'r holl bobl a safasant, ac
nid erlidiasant mwyach ar ol Israel,
ac ni chwanegasant ymladd mwyach.
29 Ac Abner a'i wŷr a aethant
trwy y gwastadedd ar hyd y nos
hòno, ac a aethant dros yr Iordd-
onen, ac a aethant trwy holl Bithron,
a daethant i Mahanaim.
30 A Joab a ddychwelodd oddiar
ol Abner: ac wedi iddo gasglu yr
holl bobl yn nghyd, yr oedd yn eis-
iau o weision Dafydd bedwar gŵr
ar bymtheg, ac Asahel.
31 A gweision Dafydd a daraw-
sent o Benjamin, ac o wŷr Abner,
dri chant a thriugain gŵr, *fel* y
buant feirw.
32 ¶ A hwy a gymerasant Asahel,
ac a'i claddasant ef yn meddrod ei
dad, yr hwn *oedd* yn Bethlehem.
A Joab a'i wŷr a gerddasant ar hyd
y nos, ac yn Hebron y goleuodd
arnynt.

## PENNOD III.

A BU rhyfel hir rhwng tŷ Saul a
thŷ Dafydd: a Dafydd oedd yn
myned gryfach gryfach, ond tŷ Saul
oedd yn myned wanach wanach.
2 ¶ A meibion a anwyd i Dafydd
yn Hebron: a'i gyntafanedig ef oedd
Amnon, o Ahinoam y Jezreelëes;
3 A'i ail *fab oedd* Chileab, o Abi-

---

Benjamin, y rhai, wedi clywed iddo ef gael ei drechu, a ymgasglasant ato ef o'u dinasoedd, i'w gynorthwyo yn erbyn gwŷr Dafydd; *ac a safasant ar ben bryn*—mewn lle manteisiol i ganfod ysgogiadau byddin Joab, ac i'w hamddiffyn eu hunain.

Adn. 26. *Ai byth y difa y cleddyf?*] Yr oedd Abner yn barod iawn i roddi y cleddyf ar waith yn y bore, a *chware* y cyfrifai efe hyny, adn. 14; ond wedi iddo golli y frwydr, a cholli llawer o'i wŷr hefyd, yr oedd wedi blino ar y 'chware' hwnw, ac yn cwyno fod y cleddyf yn difa cyhyd. *Oni wyddost ti y bydd chwerwder yn y diwedd*—y collir llawer o fywydau, ac yn eu plith fe allai dy fywyd di a minau, os na roddir terfyn ar y rhyfel yma? *Eu brodyr*—o ran cenedl a chrefydd, wedi disgyn oddiwrth Abraham, ac yn addoli yr un Duw. Ond dylasai Abner ystyried mai efe ei hun a ddechreuodd y cweryl, ac nad oedd Dafydd, Joab, a gwŷr Juda, yn gwneyd dim ond eu hamddiffyn eu hunain.

Adn. 27. *Oni buasai yr hyn a ddywedaist*] Oni buasai i ti roddi hèr i ymladd yn y bore, ni fuasai i'n pobl ni ymosod arnoch, na gyru ar eich ol: felly y mae yr holl fai yn gorwedd wrth dy ddrws dy hun.

Adn. 28. *Felly Joab a udganodd mewn udgorn*] Yn arwydd i'w filwyr beidio erlid yn mhellach, ond dychwelyd tuag adref.

Adn. 29. *Ar hyd y nos hòno*] Heb golli dim amser, rhag y dychwelai Joab i ddial arnynt am farwolaeth ei frawd Asahel.

Adn. 30, 31. *Bedwar gŵr ar bymtheg*] Os cyfrifir y deuddeg a syrthiasent gyda gwŷr Benjamin yn mysg y rhai hyn, adn. 16, yna ni chollodd Joab ond *saith* yn y cyfan, heblaw Asahel, yn ystod y frwydr galed hon; pan y collodd Abner 360!

Adn. 32. *A hwy a gymerasant Asahel*] Ar ol claddu y lleill ond odid yn y fan lle y syrthiasant; *ac a'i claddasant ef yn meddrod ei dad*—yr hwn oedd er's hir amser wedi marw, fel y gallwn gasglu oddiwrth fod y brodyr hyn yn cael eu galw yn barhaus yn 'feibion Serfiah,' adn. 13, 18; *yr hwn oedd yn Bethlehem*—oddeutu 13 o filldiroedd o Gibeon, neu hanner y ffordd yn gymhwys o Gibeon i Hebron. *A Joab a'i wŷr a gerddasant ar hyd y nos*—sef yr ail noson ar ol y frwydr, am fod brys arnynt i gyraedd at Dafydd, i roddi hanes y frwydr iddo.

PEN. III. Adn. 1. *A bu rhyfel hir rhwng tŷ Saul a thŷ Dafydd*] Am bum mlynedd a hanner wedi hyn; canys y mae yn debyg i Isboseth gael ei wneyd yn frenin yn union ar farwolaeth Saul; ac nid ymostyngodd y llwythau ereill i Dafydd hyd ddiwedd y saith mlynedd a hanner, pen. ii. 11. Er nad ydym yn darllen am un frwydr fawr arbenig wedi cymeryd lle rhyngddynt, eto bu llawer ysgarmes rhwng y ddau dŷ, trwy fod Abner yn fynych yn rhuthro iddynt yn ddirgelaidd, pryd yr oedd byddin Dafydd yn gorfod gwneyd amddiffyniad. *A Dafydd oedd yn myned gryfach gryfach*—trwy ei fod yn trechu tŷ Saul yn mhob ysgarmes, a bod llawer o ddeiliaid Isboseth yn dyfod drosodd ato ef yn barhaus.

Adn. 2. *A meibion a anwyd i Dafydd yn Hebron*] Y mae yn debyg na chafodd efe ddim plant o'i wragedd nes ei ddyfod i Hebron; ond os cafodd, rhaid mai merched oeddynt. *A'i gyntafanedig oedd Amnon*—ond ni chafodd Dafydd fawr o gysur oddiwrth hwn, pen. xiii. *O Ahinoam*—ei wraig gyntaf ef.

Adn. 3. *A'i ail fab oedd Chileab*] Yr hwn a aned o Abigail ei ail wraig, ac a elwir *Daniel*, 1 Cron. iii. 1. Gan fod yr enw *Chileab*

gail gwraig Nabal y Carmeliad; a'r
trydydd, Absalom, mab Maachah,
ferch Talmai brenin Gesur;
4 A'r pedwarydd, Adoniah, mab
Haggith; a'r pummed, Sephatiah,
mab Abital;
5 A'r chweched, Ithream, o Eglah
gwraig Dafydd. Y rhai hyn a anwyd
i Dafydd yn Hebron.
6 ¶ A thra yr ydoedd rhyfel
rhwng tŷ Saul a thŷ Dafydd, yr
oedd Abner yn ymegnïo dros dŷ
Saul.
7 Ond i Saul *y buasai* ordderch-
wraig a'i henw Rispah, merch Aiah:
ac *Isboseth* a ddywedodd wrth
Abner, Paham yr aethost i mewn
at ordderchwraig fy nhad?
8 Yna y digiodd Abner yn ddir-
fawr o herwydd geiriau Isboseth,
ac a ddywedodd, Ai pen ci *ydwyf* fi,
yr hwn ydwyf heddyw yn erbyn
Juda yn gwneuthur trugaredd â thŷ
Saul dy dad di, a'i frodyr, ac a'i
gyfeillion, a heb dy roddi di yn llaw
Dafydd, pan osodaist i'm herbyn fai
*am* y wraig hon heddyw?
9 Fel hyn y gwnelo Duw i Abner,
ac fel hyn y chwanego iddo, ond
megys y tyngodd yr Arglwydd wrth
Dafydd, felly y gwnaf iddo ef;
10 Gan droi y frenhiniaeth oddi
wrth dŷ Saul, a dyrchafu gorsedd-
fainc Dafydd ar Israel, ac ar Juda,
o Dan hyd Beerseba.
11 Ac ni feiddiodd efe mwyach
ateb gair i Abner rhag ei ofn ef.
12 ¶ Ac Abner a anfonodd gen-

---

yn arwyddo 'perffeithrwydd ei dad,' dichon mai yn mhen rhyw amser ar ol ei enwaedu y rhoddwyd yr enw hwn iddo, wrth ei weled yn tebygu fwy-fwy i'w dad fel yr oedd yn tyfu i fyny. *A'r trydydd Absalom*—am yr hwn y darllenwn lawer yn nghorff y llyfr hwn; *mab Maachah, ferch Talmai brenin Gesur*—sef rhan o Syria, o du y gogledd-ddwyrain i wlad Israel. Pa fodd y cafodd Dafydd afael yn hon, nid yw yn hawdd dywedyd. Dichon mai ei ddyben wrth ei phriodi oedd cael cynghreiriwr cryf yn ei thad, i'w gynorthwyo ef yn erbyn plaid Isboseth yn y gogledd, tra yr oedd ef ei hun yn wrthwynebydd iddo yn y deau. Ond os felly, efe a dalodd yn ddrud am briodi un o ferched y cenhedloedd, fel y dengys hanes Absalom ei mab hi.

Adn. 4. *A'r pedwarydd Adoniah*] Yr hwn a drawsfeddiannodd yr orsedd cyn marwolaeth ei dad, i ragflaenu ei frawd Solomon, ac a laddwyd am hyny wrth orchymyn Solomon, 1 Bren. i. 5, a ii. 25. Pwy oedd *Haggith*, ei fam ef, nis gwyddom. *A'r pummed Sephatiah*—am yr hwn a'i fam nis gwyddom ddim.

Adn 5. *A'r chweched Ithream*] Am yr hwn ni ddarllenwn ddim ond yma ac yn 1 Cron. iii. 3; *o Eglah gwraig Dafydd*—y mae yn debyg fod yr ymadrodd 'gwraig Dafydd' i gael ei gysylltu â phob un o'r lleill, trwy eu bod oll yn wragedd iddo yn gystal a hithau; ond ni ddodwyd ef i mewn nes dyfod at yr olaf, rhag mynychu yr un ymadrodd. Fel hyn ganed i Dafydd chwech o feibion, o chwech o wragedd, o fewn oddeutu chwe blynedd

Adn. 6. *Yr oedd Abner yn ymegnïo dros dŷ Saul*] Gan fyned i fyny ac i waered yn barhaus trwy holl lwythau Israel, i gadarnhau y bobl yn eu hymlyniad wrtho ef.

Adn. 7. *Paham yr aethost i mewn at ordderchwraig fy nhad?*] I'w halogi ond odid trwy orwedd gyda hi; neu dichon ei fod am ei chael yn wraig iddo. Yr oedd Isboseth yn edrych ar hyn fel ymgais Abner am y frenhiniaeth, fel yn achos Adoniah, 1 Bren. ii. 22, &c.

Adn. 8. *Yna y digiodd Abner yn ddirfawr*] Nid yw yn gwbl eglur fod Abner yn euog o'r cyhuddiad hwn; ond os ydoedd, tro annghall oedd i Isboseth edliw hyn iddo ef yn awr, am ei fod yn ymddibynu yn hollol ar Abner. *Ai pen ci ydwyf fi?*—neu greadur mor wael a diwerth, nes meddwl o honot fod yn warth i'th deulu i'm bath i gael gordderchwraig dy dad? *Yr hwn ydwyf heddyw yn erbyn Juda*—pleidwyr Dafydd, pryd y gallaswn yn hawdd ei sefydlu ef yn frenin cyffredinol ar yr holl lwythau, a'th draddodi dithau a'th gyfeillion i'w law ef.

Adn. 9. *Fel hyn y gwnelo Duw i Abner*] Dull cyffredin o lw, neu apeliad difrifol at Dduw, yn yr hwn y dymunai i fwy o ddrwg nag a allai ei enwi ddyfod iddo oddiwrth yr Arglwydd, os na wnai efe droi y frenhiniaeth oddiwrth dŷ Saul, am i Isboseth roi y bai uchod yn ei erbyn ef. *Megys y tyngodd yr Arglwydd wrth Dafydd*—dengys y geiriau hyn yn eglur y gwyddai Abner yn dda fod Duw wedi penderfynu rhoddi brenhiniaeth Israel i Dafydd; ac eto yr oedd efe hyd yn hyn wedi gwrthwynebu hyny â'i holl egni, oddiar egwyddor o uchelgais a hunanoldeb! *Felly y gwnaf iddo ef*—sef i Dafydd. Diamau fod Abner yn llefaru yn falch ac ynfyd yn hyn, fel pe buasai ar Dduw angen am ei gynorthwy ef i ddwyn oddiamgylch yr hyn a dyngasai i Ddafydd, neu fel pe gallasai efe attal hyny!

Adn. 10. *O Dan hyd Beerseba*] O eithaf y gogledd hyd eithaf y deau, yn cynwys holl wlad Israel a Juda: gwel ar Jos. xix. 47.

Adn. 11. *Rhag ei ofn ef*] Rhag iddo naill ai ei ladd yn y fan, neu ei ddiorseddu trwy gymhorth y fyddin ag oedd yn hollol dan ei lywodraeth ef. Gwae y brenin a lywodraethir gan gadfridog ei fyddin, yr hwn a all ei ddyosg ef o'i awdurdod a'i urddas pan y myno! Felly y bu gyda Siarl I yn Lloegr, a Louis XVI yn Ffrainc. Ni ddylai milwyr yn anad neb gael eu gwisgo âg awdurdod *gwladol:* os mynant fod yn fawr, ar y *maes* yn unig y dylent fod felly.

Adn. 12. *Ac Abner a anfonodd genadau at Dafydd*] Ar ol iddo dynu gŵg Isboseth, efe a farnai nad oedd yn ddiogel iddo oedi cyf-

adau at Dafydd drosto ei hun, gan
ddywedyd, Eiddo pwy *yw* y wlad ?
*a* chan ddywedyd, Gwna gynghrair â
mi: ac wele, fy llaw i *fydd* gyda thi,
i droi atat ti holl Israel.
13 ¶ A dywedodd yntau, Da; myfi
a wnaf gyfammod â thi : eto un peth
yr ydwyf fi yn ei geisio genyt, gan
ddywedyd, Ni weli fy wyneb, oni
ddygi di yn gyntaf Michal merch
Saul, pan ddelych i edrych yn fy
wyneb.
14 A Dafydd a anfonodd genadau
at Isboseth, mab Saul, gan ddywed-
yd, Dyro *i mi* fy ngwraig Michal,
yr hon a ddyweddïais i mi am gant
o flaengrwyn y Philistiaid.
15 Ac Isboseth a anfonodd, ac a'i
dyg hi oddiwrth *ei* gŵr, *sef* oddiwrth
Phaltiel mab Lais.
16 A'i gŵr a aeth gyda hi, gan
fyned ac ŵylo ar ei hol hi, hyd Ma-
hurim. Yna y dywedodd Abner
wrtho ef, Dos, dychwel. Ac efe a
ddychwelodd.
17 ¶ Ac Abner a lefarodd wrth
henuriaid Israel, gan ddywedyd,
Cyn hyn yr oeddych chwi yn ceisio
Dafydd yn frenin arnoch,
18 Ac yn awr gwnewch *hyny :*
canys yr Arglwydd a lefarodd am
Dafydd, gan ddywedyd, Trwy law
Dafydd fy ngwas y gwaredaf fy
mhobl Israel o law y Philistiaid, ac
o law eu holl elynion.
19 Dywedodd Abner hefyd wrth
Benjamin. Ac Abner a aeth i ym-
ddyddan â Dafydd yn Hebron, am yr
hyn oll *oedd* dda yn ngolwg Israel,
ac yn ngolwg holl dŷ Benjamin.

---

lawni yr hyn a fygythiasai: ac eto, yn lle myned ei hunan at Dafydd i geisio ymgymodi, efe a dybiai fod yn ddoethach ac yn fwy diberygl iddo geisio gwneuthur hyny trwy genadau. *Eiddo pwy yw y wlad?*—i bwy y mae yn perthyn trwy ddwyfol hawl ond i ti? Neu gall mai yr ystyr yw, ei fod yn golygu mai ei eiddo *ef ei hun* oedd gwlad neu bobl Israel, a bod ganddo gymaint o awdurdod drostynt fel ag y gallai eu troi drosodd at Dafydd pryd y mynai. *Gwna gynghrair â mi*—neu gyfammod o gyfeillgarwch, fel yr annghofiai ac y maddeuai Dafydd bob peth a wnaethai Abner yn ei erbyn ef hyd hyny. *Ac wele fy llaw i fydd gyda thi*—arferaf fy holl egni a'm dylanwad i droi holl Israel oddiwrth Isboseth atat ti.

Adn. 13. *Oni ddygi di yn gyntaf Michal merch Saul*] Boddlonodd Dafydd i wneyd cynghrair âg ef, ar yr ammod iddo adferu iddo ef Michal ei wraig. Yr oedd Dafydd yn hyn yn dangos ei fawr serch at Michal o hyd, er ei rhoddi i ŵr arall, (1 Sam. xxv. 44,) ac er fod ganddo yntau chwech o wragedd ereill eisioes, adn. 2—5; a'i anrhydedd i dŷ Saul, pan y mynai i'w ferch ef gydgyfranogi âg ef yn y frenhiniaeth; ac hefyd yr oedd hyn yn fater o gallineb ynddo ef, i ennill ewyllys da tŷ Saul trwy hyny. Pe buasai ysgariaeth wedi bod yn ol y gyfraith, nis gallasai efe ei chymeryd hi yn ol; ond gan mai gweithred o drais ei thad hi oedd ei phriodi â Phaltiel, yn groes i ewyllys Dafydd a Michal ond odid, yr oedd yn iawn i Dafydd ei mynu hi yn ol.

Adn. 14. *A Dafydd a anfonodd genadau at Isboseth*] Ar ol clywed gan Abner, ond odid, nad allai efe roddi Michal iddo heb gydsyniad Isboseth, chwaer a deiliad yr hwn ydoedd hi. *Dyro i mi fy ngwraig Michal*—yr hon, er ei chymeryd trwy drais oddiarnaf, ac er ei gorfodi i briodi gŵr arall, yw fy ngwraig gyfreithlon i. *Yr hon a ddyweddïais i mi*—gwel ar 1 Sam. xviii. 25, 27.

Adn. 15. *Ac Isboseth a anfonodd*] Genadau awdurdodol i dŷ ei gŵr; *ac a'i dyg hi oddiwrth ei gŵr*—trwy awdurdod ei frenin ef a'i brawd hithau. Yr oedd Isboseth yn plygu i gais Dafydd, nid fel mater o gyfiawnder iddo ef, ond rhag ei ofn, gan y gwyddai nas gallai ei drechu ef trwy rym arfau, yn enwedig ar ol colli Abner.

Adn. 16. *A'i gŵr a aeth gyda hi*] Neu a gerddai y tu ol iddi, gan ŵylo am ei cholli, yr hyn a brawf ei fod yn ei charu yn fawr. *Yna y dywedodd Abner wrtho ef*—wrth hyn ymddengys i Isboseth ddanfon ei chwaer i Hebron at Dafydd dan ofal *Abner*, yr hwn ni feiddiai edrych yn ngwyneb Dafydd oni ddygai efe hi, adn. 13.

Adn. 17. *Ac Abner*] Ar ol gweled Dafydd, ac ymgyfammodi âg ef; *a lefarodd wrth henuriaid Israel*—wedi iddo ddychwelyd, gan eu perswadio hwythau i wneyd megys y gwnaethai efe; ac ar ol ennill y penaethiaid drosodd at Dafydd, yr oedd yn gwybod yr ennillid y werin yn hawdd. *Cyn hyn yr oeddych chwi yn ceisio Dafydd yn frenin arnoch*—wedi i Dafydd ladd Goliath, yr oedd ef yn cael ei garu yn fawr gan bawb; ac ar ol iddo orfod ffoi, daeth llawer o Israel ato ef i Adulam a Siclag, 1 Cron. xii. Ac y mae yn dra thebyg, ar ol i Saul a Jonathan farw, y buasent oll yn tueddu i osod Dafydd yn frenin arnynt, oni buasai i Abner, trwy ei ddylanwad mawr, osod i fyny un o dŷ Saul.

Adn. 18. *Ac yn awr gwnewch hyny*] Gosodwch ef yn frenin arnoch, a minau nis gwrthwynebaf hyny mwyach. *Trwy law Dafydd fy ngwas, &c.*—nid ydym yn cael y geiriau hyn mewn un man, ond gallwn feddwl i Samuel eu hadrodd yn fynych: o leiaf y mae eu hystyr hwynt yn cael ei gynwys yn ngeiriau Duw wrth Samuel, pan y gorchymynodd efe iddo eneinio Dafydd yn frenin ar Israel, 1 Sam. xvi. 1—13; canys yr amcan wrth roddi brenin iddynt oedd, fel y byddai iddo ymladd eu rhyfeloedd hwynt, 1 Sam. viii. 20.

Adn. 19. *Dywedodd Abner hefyd wrth Benjamin*] Yr un peth ag a ddywedasai wrth henuriaid y llwythau ereill, adn. 17, 18.

20 Felly Abner a ddaeth at Dafydd, i Hebron, ac ugeinwr gydag ef. A Dafydd a wnaeth wledd i Abner, ac i'r gwŷr *oedd* gydag ef.

21 A dywedodd Abner wrth Dafydd, Mi a godaf, ac a âf, ac a gasglaf holl Israel at fy arglwydd frenin, fel y gwnelont gyfammod â thi, ac y teyrnasech di ar yr hyn oll a chwenych dy galon. A Dafydd a ollyngodd Abner ymaith; ac efe a aeth mewn heddwch.

22 ¶ Ac wele, weision Dafydd a Joab yn dyfod oddiwrth y dorf, ac anrhaith fawr a ddygasent hwy ganddynt (ond nid *oedd* Abner gyda Dafydd yn Hebron; canys efe a'i gollyngasai ef ymaith, ac yntau a aethai mewn heddwch)

23 Pan ddaeth Joab a'r holl lu *oedd* gydag ef, mynegwyd i Joab gan ddywedyd, Abner mab Ner a ddaeth at y brenin; ac efe a'i gollyngodd ef ymaith, ac efe a aeth mewn heddwch.

24 A Joab a ddaeth at y brenin, ac a ddywedodd, Beth a wnaethost ti? wele, daeth Abner atat ti: paham y gollyngaist ef i fyned ymaith?

25 Ti a adwaenit Abner mab Ner, mai i'th dwyllo di y daeth efe, ac i wybod dy fynediad allan, a'th ddyfodiad i mewn, ac i wybod yr hyn oll yr wyt ti yn ei wneuthur.

26 A Joab a aeth allan oddiwrth Dafydd, ac a anfonodd genadau ar ol Abner; a hwy a'i dygasant ef yn ol oddiwrth ffynnon Sirah, heb wybod i Dafydd.

27 A phan ddychwelodd Abner i Hebron, Joab a'i trôdd ef o'r neilldu yn y porth, i ymddyddan âg ef mewn heddwch; ac a'i tarawodd ef yno dan y bummed *ais*, fel y bu efe farw, o herwydd gwaed Asahel ei frawd ef.

28 ¶ Ac wedi hyny y clybu Dafydd, ac y dywedodd, Dieuog *ydwyf* fi a'm brenhiniaeth gerbron yr Ar-

---

Yr oedd yn angenrheidiol iddo gymeryd trafferth i droi llwyth Benjamin at Dafydd, o herwydd eu hymlyniad hwy wrth dŷ Saul, yr hwn oedd o'u llwyth hwy; a chan eu bod yn cyffinio â llwyth Juda, gallai Dafydd gael llawer o boen oddiwrthynt, os nad ennillid hwy drosodd ato ef. *Ac Abner a aeth i ymddyddan â Dafydd yn Hebron*—i fynegu iddo y modd y llwyddasai i droi Israel a Benjamin oddiwrth Isboseth at Dafydd.

Adn. 20. *Ac ugeinwr gydag ef*] Yn debygol henuriaid neu benaethiaid y llwythau, i ymuno âg ef yn y cynghrair ag ydoedd i'w wneyd yn awr â Dafydd. *A Dafydd a wnaeth wledd*—nid yn unig fel arwydd o barch iddynt hwy, ond hefyd yn gadarnhad o'r cyfammod: gwel ar Gen. xxvi. 28—30, a xxxi. 44—46.

Adn. 21. *Ac a gasglaf holl Israel*] I gadarnhau yr un cyfammod yn eu henwau a throstynt eu hunain. *A Dafydd a ollyngodd Abner ymaith*—i fyned at y gwaith a dorasai efe iddo ei hun; *ac efe a aeth mewn heddwch*—gyda chydsyniad ac ewyllys da Dafydd. Ond nid aeth efe yn mhell hyd oni ddaeth iddo, yn lle heddwch, chwerwder chwerw, adn. 27.

Adn. 22. *Ac wele weision Dafydd a Joab yn dyfod oddiwrth y dorf*] Meddylir mai mintai o yspeilwyr oedd y dorf hon,—Edomiaid, Amaleciaid, neu Philistiaid,—y rhai, wrth glywed fod Israel a Juda yn ymladd â'u gilydd, a gymerent fantais ar hyny i yspeilio y wlad. Aethai Joab a milwyr Dafydd yn eu herbyn hwynt, a dychwelasant i Hebron gydag anrhaith fawr a ddygasent oddiarnynt hwy, yn union ar ol i Abner a'i wŷr fyned ymaith mewn heddwch oddiwrth Dafydd.

Adn. 23. *Mynegwyd i Joab*] Gan rai o lyswyr Dafydd, y rhai a achwynent fel hyn ar eu brenin.

Adn. 24. *Beth a wnaethost ti?*] Yr oedd yn hyfdra mawr i nai ddywedyd hyn wrth ei ewythr, chwaithach deiliad a gwas wrth ei frenin a'i arglwydd. Yr oedd Dafydd wedi rhoddi gormod o raff i Joab, o herwydd ei berthynas âg ef, a'i wasanaeth ffyddlon iddo, nes yr oedd ef wedi myned o'r diwedd i feistroli arno ef, fel y gwnai Abner ar Isboseth.

Adn. 25. *Ti a adwaenit Abner*] Ei fod yn ddyn cyfrwys a thwyllodrus, yn cymeryd arno fod yn gyfaill i'w elyn, er mwyn cael cyfleusdra i'w fradychu ef.

Adn. 26. *A Joab a aeth allan oddiwrth Dafydd*] Mewn tymher lidiog, heb aros am atebiad; *ac a anfonodd genadau ar ol Abner*—i'w ddal a'i gospi yn ddiarwybod i Dafydd; *oddiwrth ffynnon Sirah*—oddeutu dwy filldir a hanner o Hebron.

Adn. 27. *A phan ddychwelodd Abner i Hebron*] Gan feddwl ond odid mai Dafydd a anfonasai y cenadau ar ei ol, fel y gallai fynegu iddo ryw genadwri ag yr anghofiasai efe ei thraethu iddo; *Joab a'i trôdd ef o'r neilldu yn y porth*—gan fod hwnw yn le cyhoeddus, lle yr arferai dynion wneuthur eu negeseuon, ac y cynelid llysoedd cyfiawnder, nid oedd Abner yn meddwl fod dim perygl, yn enwedig gan i Joab ei gymeryd ef mewn modd cyfeillgar gerfydd ei law, fel pe buasai ganddo rywbeth i'w fynegu iddo yn gyfrinachol; *ac a'i tarawodd ef yno dan y bummed ais*—megys y tarawsai yntau Asahel, pen. ii. 23; *o herwydd gwaed Asahel ei frawd ef*—sef i ddial arno am dywallt ei waed ef. Ond diamau fod gan Joab ddyben arall wrth ladd Abner, rhag y deuai ef yn ŵr enwocach ac uwch nag ef yn myddin Dafydd, am ei fod yn dywysog milwraidd hynach a mwy profiadol.

Adn. 28. *Dieuog ydwyf fi a'm brenhiniaeth*]. Efe a alwai ar yr Arglwydd yn dyst, nad oedd ganddo ef na'i lyswyr ddim llaw yn

glwydd byth, oddiwrth waed Abner
mab Ner:
29 Syrthied ar ben Joab, ac ar
holl dŷ ei dad ef: fel na phallo *fod*
*un* o dŷ Joab yn ddiferllyd, neu yn
wahanglwyfus, neu yn ymgynal
wrth fagl, neu yn syrthio ar gledd-
yf, neu mewn eisiau bara.
30 Felly Joab ac Abisai ei frawd
ef a laddasant Abner, o herwydd
lladd o hono ef Asahel eu brawd
hwynt mewn rhyfel yn Gibeon.
31 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth
Joab, ac wrth yr holl bobl *oedd*
gydag ef, Rhwygwch eich dillad,
ac ymwregyswch mewn sachlian,
a galerwch o flaen Abner. A'r
brenin Dafydd oedd yn myned ar
ol yr elor.
32 A hwy a gladdasant Abner yn
Hebron. A'r brenin a ddyrchafodd
ei lef, ac a ŵylodd wrth fedd Abner;
a'r holl bobl a ŵylasant.
33 A'r brenin a alarnadodd am
Abner, ac a ddywedodd, Ai fel y
mae yr ynfyd yn marw, y bu farw
Abner?
34 Dy ddwylaw nid *oeddynt* yn
rhwym, ac nid oedd dy draed wedi
eu rhoddi mewn egwydydd: syrth-
iaist fel y syrthiai *un* o flaen meib-
ion enwir. A'r holl bobl a chwa-
negasant ŵylo am dano ef.
35 A phan ddaeth yr holl bobl i
beri i Dafydd fwyta bara, a hi eto
yn ddydd, Dafydd a dyngodd, gan
ddywedyd, Fel hyn y gwnelo Duw
i mi, ac fel hyn y chwanego, os

---

y gyflafan hon; ac yr oedd yn iawn iddo ymryddhau oddiwrth y fath weithred, rhag i hyny rwystro i Israel ei gymeryd ef yn frenin arnynt.

Adn. 29. *Syrthied ar ben Joab*] Syrthied yr euogrwydd a'r gosp ar ei ben ef, canys efe a wnaeth y weithred; *ac ar holl dŷ ei dad ef*—ar Abisai ei frawd, ac ereill o'r teulu, y rhai oeddynt barod i'w gynorthwyo ef ynddi os byddai achos, adn. 30; *fel na phallo fod un o dŷ Joab yn ddiferllyd*—yr hwn oedd glefyd ffiaidd a halogedig iawn, Lef. xv. 2, &c.; *neu yn wahanglwyfus*—gwel ar Lef. xiii. 2, &c.; *neu yn ymgynal wrth fagl*—o herwydd colli grym eu haelodau; *neu yn syrthio ar gleddyf*—trwy eu lladd eu hunain yn warthus fel Saul; *neu mewn eisiau bara*—ac yn gorfod ei gardota o ddrws i ddrws. Bernir yn gyffredin fod llidiogrwydd Dafydd yn ei gario ef yn rhy bell wrth ddymuno i holl deulu Joab orfod dyoddef am y gyflafan hon, yr hyn oedd yn groes i gyfraith Dduw, Deut. xxiv. 16. Ond fe allai y dylid deall y geiriau fel rhagfynegiad yn hytrach na dymuniad neu rêg; ac felly cyfieitha Houbigant ac ereill y geiriau yn y modd adroddiadol, 'Fe *syrth* ar ben Joab, ac ar holl dŷ ei dad ef, ac *ni phalla*,' &c. Yn yr olwg yma nid yw y geiriau ddim ond datganiad proffwydol y danghosai Duw ei anfoddlonrwydd am y fath weithred ysgeler.

Adn. 30. *Felly Joab ac Abisai ei frawd*] Er mai Joab a'i lladdodd ef, eto yr oedd Abisai yr un mor euog, trwy ei fod yn annog ei frawd i hyny, ac yn sefyll gerllaw i'w gynorthwyo ef, fel y dywed Josephus, os byddai achos. *O herwydd lladd o hono ef Asahel eu brawd hwynt mewn rhyfel*—yr hyn a wnaethai efe mewn *diffyniad* iddo ei hun, ac felly nid oedd yn cyfiawnhau y llofruddiaeth fradwrus hon: gwel ar 1 Bren. ii. 5.

Adn. 31. *A Dafydd a ddywedodd wrth Joab*] I'w ddwyn ef i edifeirwch am ei bechod, ac i'w gywilyddio yn ngwydd yr holl bobl; *Rhwygwch eich dillad, &c.*—y pethau hyn oeddynt arwyddion allanol o alar mawr ar ol Abner; ac felly yr oedd Joab ei hun, pa mor anfoddlon bynag, yn gorfod dangos rhyw rith o alar. *A'r brenin Dafydd oedd yn myned ar ol yr elor*—fel prif alarwr. Er nad arferai brenhinoedd ganlyn eu perthynasau eu hunain at y bedd, llawer llai ganlyn dyeithriaid; eto gwnaeth Dafydd hyny yn awr, i ddangos ei wir alar am farwolaeth Abner, ac i argyhoeddi holl Israel na bu ganddo ef un law yn ei lofruddiad ef.

Adn. 32. *A'r brenin a ddyrchafodd ei lef*] Mewn gwir alar o herwydd marwolaeth Abner, â'r hwn y gwnaethai efe gyfammod o heddwch, adn. 20; ac mewn gofid wrth ystyried y modd y cyfarfyddodd efe â'i farwolaeth. *A'r holl bobl a ŵylasant*—trwy gael eu cynhyrfu i hyny wrth weled eu brenin yn ŵylo.

Adn. 33. *A'r brenin a alarnadodd*] Neu a gyfansoddodd bennill o farwnad ar yr achlysur o farwolaeth Abner, yr hwn a draethodd efe fel araeth anghladdol wrth y bedd, neu a ganwyd ganddo ef a'r holl bobl. *Ai fel y mae yr ynfyd yn marw y bu farw Abner?*—ai fel *drwgweithredwr*, wedi ei brofi a'i gollfarnu yn gyfiawn?

Adn. 34. *Dy ddwylaw di nid oeddynt yn rhwym*] Mewn gefynau heiyrn, fel drwgweithredwr; *ac nid oedd dy draed wedi eu rhoddi mewn egwydydd*—neu lyffetheiriau, fel pe buasit droseddwr yn nwylaw dienyddwr. *Syrthiaist fel y syrthiai un o flaen meibion enwir*—neu lofruddion drygionus, y rhai a ymosodent arno mewn brâd, i'w lofruddio yn ddiachos. Felly y mae yr alarnad hon, er byred ydyw, yn llawn teimlad a serch gwresog. *A'r holl bobl a chwanegasant ŵylo*—wedi cael eu cynhyrfu o'r newydd gan eiriau yr alarnad, a'r modd effeithiol yr adroddai y brenin hwynt. Rhaid fod y gân hon yn bigiad chwerw i gydwybod euog Joab, yn enwedig os oedd yr holl bobl, fel y tybia rhai, yn ei chanu mewn dagrau.

Adn. 35. *I beri i Dafydd fwyta*] Yn ebrwydd ar ol claddu perthynas neu gyfaill, arferai yr Iuddewon wledda er cynal eu natur, o herwydd fod eu galar wedi peri iddynt anghofio neu esgeuluso cymeryd lluniaeth yn flaenorol i hyny. *Dafydd a dyngodd*—ond paham y tyngai Dafydd mor ddifrifol, ac yn y

archwaethaf fara, a dim oll, nes
machludo yr haul.
36 A'r holl bobl a wybuant *hyny*,
a da oedd *hyn* yn eu golwg hwynt:
a'r hyn oll a wnai y brenin, oedd dda
yn ngolwg y bobl.
37 A'r holl bobl a holl Israel a
wybuant y diwrnod hwnw, na ddar-
fuasai o fodd y brenin ladd Abner
mab Ner.
38 A'r brenin a ddywedodd wrth
ei weision, Oni wyddoch chwi i
dywysog ac i ŵr mawr syrthio
heddyw yn Israel?
39 A minau *ydwyf* eiddil heddyw,
er fy eneinio yn frenin; a'r gwŷr
hyn, meibion Serfiah, *sydd* ry galed
i mi. Yr Arglwydd a dâl i'r hwn
a wnaeth y drwg yn ol ei ddrygioni.

## PENNOD IV.

A PHAN glybu mab Saul farw o
Abner yn Hebron, ei ddwylaw
a laesasant, a holl Israel a ofnasant.
2 A dau ŵr oedd gan fab Saul yn
dywysogion *ar* dorfoedd: enw un
*oedd* Baanah, ac enw yr ail Rechab,
meibion Rimmon y Beerothiad, o
feibion Benjamin: (canys Beeroth
hefyd a gyfrifid i Benjamin:
3 A'r Beerothiaid a ffoisent i
Gittaim, ac a fuasent yno yn ddy-
eithriaid hyd y dydd hwn)

---

fath eiriau, ar achos mor ddibwys a hwn? I ddangos ei wir alar ef am lofruddiad Abner, ac i roddi prawf eglur i bawb na bu ganddo ef ddim i'w wneyd yn y fath weithred waedlyd.

Adn. 36. *A'r holl bobl a wybuant hyny*] Fod ei alar ef yn wirioneddol, ac iddo gadw ei lŵ; *a da oedd hyn yn eu golwg*—am ei fod yn brawf diamheuol o'i ddiniweidrwydd ef yn yr achos; *a'r hyn oll a wnai y brenin oedd dda yn ngolwg y bobl*—darfu iddo trwy y weithred hon ymlusgo mor bell i'w ffafr hwynt, nes eu tueddu i roddi y lliw goraf ar ei holl weithredoedd ef, fel yn ddoeth a thra addas.

Adn. 37. *A'r holl bobl*] Sef deiliaid Dafydd o dŷ Juda; *a holl Israel*—ag oeddynt eto dan lywodraeth Isboseth o dŷ Saul; *a wybuant y diwrnod hwnw*—neu pan glywsant am ymddygiad a galar Dafydd y diwrnod hwnw; *na ddarfuasai o fodd y brenin ladd Abner*—nad oedd ef wedi gorchymyn hyny, ac na wyddai ddim am dano nes yr oedd wedi ei gyflawni.

Adn. 38. *A'r brenin a ddywedodd wrth ei weision*] Ei lyswyr a swyddogion ei fyddin, y rhai ond odid a dybient fod ei alar ef yn ormodol ar y fath achos. *Oni wyddoch chwi i dywysog*—un o'r teulu brenhinol, trwy ei fod yn gefnder i Saul, ac yn ewythr i Isboseth; *ac i ŵr mawr*—fel blaenor y fyddin, a rhyfelwr dewr a galluog; *syrthio heddyw yn Israel*—trwy frad a llofruddiaeth?

Adn. 39. *A minau ydwyf eiddil heddyw*] Nid yn ei gorff na'i feddwl, eithr yn ei frenhiniaeth, yr hon oedd eto fel cangen dyner, ac yn gofyn llawer o ofal a gwyliadwriaeth rhag ei hysigo hi. Fel pe dywedasai, Pe buasai Abner yn fyw, dygesid holl Israel dan fy llywodraeth i, adn. 21, ac yna buaswn yn gryf. *A'r gwŷr hyn*—Joab ac Abisai, meibion Serfiah ei chwaer ef; *sydd ry galed i mi*—y mae ganddynt ormod o awdurdod a dylanwad ar y milwyr, ac y maent yn y fath ffafr gyda'r bobl, fel nas gallaf eu cospi hwynt yn ol cyfraith Dduw heb beryglu fy mywyd a'm teyrnas; yn enwedig tra y mae yr holl lwythau, oddi eithr Juda, yn fy erbyn. Hyn oedd rheswm Dafydd am beidio cospi llofrudd Abner yn ol y gyfraith. *Yr Arglwydd a dâl i'r hwn a wnaeth y drwg*—sef i Joab, yr hwn yr oedd yn gas gan Dafydd gymeryd ei enw yn ei wefusau, Salm xvi. 4; *yn ol ei ddrygioni*—gan roddi cosp fawr am bechod mawr: gwel ar adn. 29. Modd bynag, dylasai Dafydd wneyd ei ddyledswydd, a gadael y canlyniad i Dduw; a phe cawsai y gyfraith ei gosod mewn grym yn erbyn Joab, y mae yn debygol yr attaliesid llofruddiad Isboseth, Amasa, ac ereill ar ol hyn. Ymddengys fod meddwl Dafydd yn anesmwyth iawn ar hyd ei oes o herwydd iddo arbed Joab; ac wrth farw rhoddes orchymyn i'w fab Solomon wneuthur yr hyn ag yr ofnai efe yn awr ei wneyd: gwel ar 1 Bren. ii. 5, 6.

PEN. IV. Adn. 1. *A phan glybu mab Saul*] Sef Isboseth, yr hwn oedd eto yn frenin ar Israel; *farw o Abner yn Hebron*—lle yr oedd Dafydd brenin Israel yn teyrnasu; ac iddo gael ei ladd gan Joab, tywysog llu Dafydd; *ei ddwylaw a laesasant*—collodd ei holl wroldeb a'i nerth, nid yn unig wrth feddwl fod Abner wedi marw, ond ei fod wedi marw yn *Hebron*, lle y gallasai fod wedi gwneuthur llawer o niwed iddo ef gyda Dafydd, yn ol ei fygythiad, pen. iii. 9, 10. *A holl Israel a ofnasant*—ofnai pleidwyr Isboseth, am fod tywysog ei filwriaeth ef wedi cael ei ladd; ac ofnai y rhai a fwriadent droi oddiwrth Isboseth at Dafydd, am nad oedd ganddynt neb mwyach i'w cymodi hwy â Dafydd. Meddylient fod yn beryglus anfon neb arall ar y neges yma, gan i Abner gael ei ladd, a bod Joab yn cael myned yn ddigosp am ei ladd ef.

Adn. 2. *Yn dywysogion ar dorfoedd*] Ar ddwy dorf o *yspeilwyr*, yn ol y Vulgate a'r Syriaeg, y rhai a deithient ar hyd y gwledydd i yspeilio Judah ac ereill o'u hanifeiliaid a'u meddiannau. Ond dichon mai tywysogion oeddynt ar ddau ddosbarth o'r gwarchawdlu brenhinol. *Meibion Rimmon y Beerothiad*—Beeroth, yn llwyth Benjamin, oedd le genedigol y ddau frawd hyn; ac felly yr oeddynt o'r un llwyth ag Isboseth ei hun, yr hyn a barasai iddo eu dyrchafu i'r fath ymddiriediad.

Adn. 3. *A'r Beerothiaid a ffoisent i Gittaim*] Dinas yn yr un llwyth, ond yn mhellach oddiwrth y Philistiaid, Neh. xi. 33; canys ar farwolaeth Saul, darfu i lawer o'r Israeliaid ffoi o'u dinasoedd, a'r Philistiaid a'u meddiannas-

4 Ac i Jonathan, mab Saul, *yr oedd* mab cloff o'*i* draed. Mab pum mlwydd oedd efe pan ddaeth y gair am Saul a Jonathan o Jezreel: a'i fammaeth a'i cymerth ef, ac a ffôdd: a bu, wrth frysio o honi i ffoi, iddo ef syrthio, fel y cloffodd efe. A'i enw ef *oedd* Mephiboseth.

5 A meibion Rimmon y Beerothiad, Rechab a Baanah, a aethant ac a ddaethant, pan wresogasai y dydd, i dŷ Isboseth; ac efe oedd yn gorwedd ar wely ganol dydd.

6 Ac wele, hwy a ddaethant i mewn i ganol y tŷ, *fel* rhai yn prynu gwenith; a hwy a'i tarawsant ef dan y bummed *asen:* a Rechab a Baanah ei frawd a ddiangasant.

7 A phan ddaethant i'r tŷ, yr oedd efe yn gorwedd ar ei wely o fewn ystafell ei wely: a hwy a'i tarawsant ef, ac a dorasant ei ben ef, ac a gerddasant trwy y gwastadedd ar hyd y nos.

8 A hwy a ddygasant ben Isboseth at Dafydd i Hebron; ac a ddywedasant wrth y brenin, Wele ben Isboseth mab Saul, dy elyn di, yr hwn a geisiodd dy einioes di: a'r Arglwydd a roddes i'm harglwydd frenin ddial y dydd hwn ar Saul, ac ar ei had.

9 ¶ A Dafydd a atebodd Rechab a Baanah ei frawd, meibion Rimmon y Beerothiad, ac a ddywedodd wrthynt, Fel *mai* byw yr Arglwydd, yr hwn a ryddhaodd fy enaid o bob cyfyngdra,

10 Pan fynegodd *un* i mi, gan ddywedyd, Wele, bu farw Saul (ac yr oedd yn ei olwg ei hun megys un yn dwyn llawen-chwedl) mi a ymaflais ynddo, ac a'i lleddais ef yn Siclag, yr hwn *a dybiasai* y rhoddaswn iddo obrwy am ei chwedl:

11 Pa faint mwy *y gwnaf i* ddynion annuwiol a laddasant ŵr cyfiawn yn ei dŷ ar ei wely? Yn awr, gan hyny, oni cheisiaf ei waed ef ar

---

ant hwy, 1 Sam. xxxi. 7. *Hyd y dydd hwn*—nid oeddynt wedi dychwelyd i Beeroth pan yr ysgrifenwyd yr hanes yma.

Adn. 4. *Ac i Jonathan mab Saul*] A brawd Isboseth, *yr oedd mab cloff o'i draed*—yr hwn y toresid ei ddau figwrn ond odid wrth syrthio o freichiau ei fammaeth, wrth iddi ffoi ar frys o Gibeah, pan ddaeth y newydd yno fod Saul a Jonathan wedi eu lladd gan y Philistiaid yn Jezreel. *Mab pum mlwydd oedd efe*—y pryd hyny, a deuddeg mlwydd a hanner yn awr, trwy fod Isboseth wedi bod yn teyrnasu oddeutu saith mlynedd a hanner ar ol ei dad, pen. ii. 10, 11. *A'i enw ef oedd Mephiboseth*—neu Merib-baal: gwel ar 1 Cron. viii. 34. Dyben y crybwylliad hwn am Mephiboseth yw dangos pa beth a annogodd y ddau lofrudd hyn, Rechab a Baanah, i ladd Isboseth; canys ar ol ei ladd ef, ni byddai neb ond y bachgenyn cloff hwn wedi ei adael, yr hwn, o herwydd ei oedran a'i gloffni, ydoedd yn hollol annghymwys i'r orsedd; ac felly tybient y deuai yr holl frenhiniaeth yn ddirwystr i Dafydd, ac y byddai iddo yntau o ganlyniad eu gwobrwyo hwy yn helaeth am eu gwaith.

Adn. 5. *Ac efe oedd yn gorwedd ar wely ganol dydd*] I orphwyso oddiwrth wres yr haul, yn ol arferiad cyffredin gwŷr mawrion yn y gwledydd poethion, lle y mae y gwres yn angherddol ganol dydd.

Adn. 6. *Fel rhai yn prynu gwenith*] Saes. '*ceisio* gwenith,' yr hwn a gedwid yn nhŷ y brenin, ac a gludid oddiyno gan lywodraethwyr y fyddin yn ymborth i'r milwyr a'u hanifeiliaid, y rhai a delid yn yr amseroedd hyny, nid mewn arian, ond mewn eiddo. Dan yr esgus yma gollyngwyd hwy i'r tŷ, ac felly aethant o ystafell i ystafell nes dyfod i'r fan lle yr oedd y brenin yn gorwedd. *A hwy a'i tarawsant ef dan y bummed asen*] gwel ar pen. ii. 23.

Adn. 7. *A hwy a dorasant ei ben ef*] Ac a'i dodasant mewn sach gyda'r gwenith, fel y gallent ei ddwyn yn ddirgel at Dafydd; *ac a gerddasant trwy y gwastadedd ar hyd y nos*—o Mahanaim i Hebron, yr hyn oedd bellder o 80 milldir: gwel ar pen. ii. 8.

Adn. 8. *Wele ben Isboseth mab Saul, dy elyn di*] Dywedent hyn i gyffroi digter Dafydd at Saul ac Isboseth, ac i wneyd yr anrheg yn fwy derbyniol ganddo ef, mewn gobaith o gael eu gwobrwyo a'u dyrchafu gan Dafydd am eu gweithred; *a'r Arglwydd a roddes i'm harglwydd frenin*—priodolai y ddau lofrudd i Jehofa yr hyn a wnaethent hwy eu hunain â dwylaw gwaedlyd!

Adn. 9. *Fel mai byw yr Arglwydd, yr hwn a ryddhaodd fy enaid o bob cyfyngdra*] Priodola Dafydd hefyd ei holl waredigaethau i'r Arglwydd; ond yr oedd ef mor bell oddi wrth gydnabod mai efe a roisai y llofruddion hyn ar waith, nes y mae yn tyngu yma i'r Arglwydd y mynai efe eu tori hwynt ymaith oddiar y ddaear, mor wired ag iddo wneuthur hyny â'r Amaleciad gynt, pen. i. 2, &c.

Adn. 10. *Ac yr oedd yn ei olwg ei hun*] Fel yr ydych chwithau yn awr; *megys un yn dwyn llawen-chwedl*—tybiai yr Amaleciad hwnw ei fod yn dwyn newydd da i Dafydd, ac y buasai yn llawen iawn ganddo glywed ei fod ef wedi lladd Saul, ac y gwobrwyai Dafydd ef am ei newydd da. *Mi a ymaflais ynddo, ac a'i lleddais ef*—hyny yw, parodd i'w was wneuthur hyny, yr hyn yn briodol oedd weithred Dafydd ei hun: gwel ar pen. xii. 9.

Adn. 11. *Pa faint mwy y gwnaf i ddynion annuwiol a laddasant ŵr cyfiawn*] Beth bynag oedd cyflwr Isboseth yn ei berthynas â

eich llaw chwi? ac *oni* thoraf chwi
ymaith oddiar y ddaear?
12 A Dafydd a orchymynodd i'w
lanciau; a hwy a'u lladdasant hwy,
ac a dorasant eu dwylaw hwynt a'u
traed, ac a'*u* crogasant *hwy* uwch-
ben y llyn yn Hebron. Ond pen
Isboseth a gymerasant hwy, ac a'i
claddasant yn meddrod Abner, yn
Hebron.

## PENNOD V.

YNA holl lwythau Israel a ddaeth-
ant at Dafydd i Hebron, ac a
lefarasant, gan ddywedyd, Wele, dy
asgwrn di a'th gnawd *ydym* ni.
2 Cyn hyn hefyd, pan oedd Saul
yn frenin arnom ni, ti oeddit yn
arwain Israel allan, ac yn eu dwyn
i mewn: a dywedodd yr Arglwydd
wrthyt ti, Ti a borthi fy mhobl Is-
rael, a thi a fyddi yn flaenor ar Israel.
3 Felly holl henuriaid Israel a
ddaethant at y brenin i Hebron: a'r
brenin Dafydd a wnaeth gyfammod
â hwynt yn Hebron, gerbron yr Ar-
glwydd; a hwy a eneiniasant Da-
fydd yn frenin ar Israel.
4 ¶ Mab deng mlwydd ar hugain
*oedd* Dafydd pan ddechreuodd
deyrnasu; *a* deugain mlynedd y
teyrnasodd efe.
5 Yn Hebron y teyrnasodd efe ar
Juda saith mlynedd a chwe mis: ac
yn Jerusalem y teyrnasodd efe dair
blynedd ar ddeg ar hugain ar holl
Israel a Juda.
6 ¶ A'r brenin a'i wŷr a aethant i

---

Duw ac â Dafydd, yr oedd efe yn gyfiawn neu *ddiniwed* gyda golwg ar ei lofruddion, am na wnaethai ddim iddynt hwy erioed i'w cynhyrfu yn ei erbyn; ïe, yn hytrach, yr oedd wedi dangos llawer o garedigrwydd iddynt hwy, trwy eu dyrchafu i swyddau anrhydeddus yn ei fyddin. *Yn ei dŷ ar ei wely*—nid mewn amddiffyniad iddynt eu hunain ar faes y gwaed, nac i ddial gwaed eu cenedl, fel y gallasai yr Amaleciad uchod ddadlu yn achos llofruddiad Saul; ond lladdasant hwy eu *brenin*, yr hwn oedd o'u llwyth hwy eu hunain; a gwnaethant hyny yn ei *dŷ*, yr hwn oedd ei gastell amddiffynol; a phan yn cysgu yn dawel ar ei *wely*, pryd nad oedd yn dysgwyl dim drwg, nac yn barod i'w wrthsefyll. *Yn awr, gan hyny, oni cheisiaf ei waed ef ar eich llaw chwi*—trwy beri eich lladd chwi, megys y lladdasoch chwi ef? Buasai yn dda pe gwnaethai Dafydd yr un modd â Joab am ladd Abner; canys felly ni buasai ynddo un ymddanghosiad o bleidgarwch, ac nis gallasai neb obeithio dianc yn ddigosp am y fath weithredoedd: a dichon mai yr arbediad o fywyd Joab a hyfhaodd y ddau hyn i ladd Isboseth.

Adn. 12. *A Dafydd a orchymynodd i'w lanciau*] Sef y gwŷr ieuainc yn ei fyddin; *ac a dorasant eu dwylaw*—â'r rhai y torasent hwy ben Isboseth; *a'u traed*—â'r rhai y rhedasent yn fuan i dywallt gwaed, ac wedi hyny i ddwyn y newydd galarus at Dafydd; *ac a'u crogasant hwy uwchben y llyn yn Hebron*—sef y dwylaw a'r traed, yn ol rhai, am nad oedd cyrff meirw i fod yn grogedig ond hyd yr hwyr, Deut. xxi. 23. Ond y mae yn debycach i'w cyrff hwy hefyd gael eu dynoethi fel hyn am ryw amser, i ddangos i bawb atgasrwydd Dafydd at y fath weithred, ac er dychryn i ereill. *Ond pen Isboseth*—a gladdasant hwy yn yr un bedd âg Abner. Yr oedd y ddau wedi bod yn cydymgynghori yn erbyn Dafydd am saith mlynedd a hanner, ac felly yr oedd yn iawn gosod y ddau ben hyny yn yr un bedd, i gydorwedd mewn dystawrwydd.

PEN. V. Adn. 1. *Yna holl lwythau Israel a ddaethant at Dafydd*] Sef henuriaid Israel, fel cenadau dros bob llwyth, adn. 3. Yr oedd Isboseth eu brenin, ac Abner eu tywysog, wedi marw; a chan nad oedd ganddynt obaith am allu cynal brenhiniaeth wahanol, gwelsant mai gwell oedd iddynt ymostwng i awdurdod Dafydd. *Wele, dy asgwrn di a'th gnawd ydym ni*—yr ydym yn *frodyr* i ti, neu o had Abraham, Isaac, a Jacob, fel tithau; ac felly yr oedd yn unol â chyfraith Dduw iddynt ei osod ef yn frenin arnynt, Deut. xvii. 15.

Adn. 2. *Cyn hyn hefyd, &c.*] Y mae ganddynt dri rheswm da yma, fel y sylwa Clarke, am osod Dafydd yn frenin arnynt: (1) Ei fod o'u cenedl hwy, adn. 1. (2) Mae efe oedd arweinydd llwyddiannus byddinoedd Israel yn amser Saul gynt. (3) A bod yr Arglwydd wedi ei ddewis ef i fod yn fugail neu frenin iddynt. Gwyddent yr holl bethau hyn o'r blaen; ond yn awr y daethant i weithredu yn ol eu gwybodaeth.

Adn. 3. *A'r brenin Dafydd a wnaeth gyfammod â hwynt*] I'w llywodraethu hwy yn gyfiawn yn ol cyfraith yr Arglwydd o'i du ef, ac i fod yn ddarostyngedig a ffyddlon iddo ef o'u tu hwythau; a dichon fod maddeuant o'u troseddau blaenorol hwy o bob ochr yn gynwysedig hefyd yn y cyfammod hwn. *A hwy a eneiniasant Dafydd yn frenin ar Israel*—dyma y drydedd waith iddo ef gael ei eneinio: (1) Gan Samuel, 1 Sam. xvi. 13; (2) Pan dderbyniwyd ef yn frenin gan wŷr Juda, pen. ii. 4; (3) Ac yn awr, pryd y gwnaed yr un peth gan holl lwythau ereill Israel.

Adn. 4, 5. *Mab deng mlwydd ar hugain oedd Dafydd*] Pan ddechreuodd efe deyrnasu ar Juda, pen. ii. 4, saith mlynedd a hanner cyn y pryd hyn; a hyny oedd oed Crist, yr hwn yr oedd Dafydd yn gysgod o hono, pan ddechreuodd yntau ar ei weinidogaeth gyhoeddus, Luc. iii. 23. *A deugain mlynedd y teyrnasodd efe*—yn y cwbl, rhwng y ddau yspaid, ar Juda ac ar Israel. Cyfeirir yma at gyfanrif y blynyddoedd *cyflawn;* canys gwelwn oddiwrth adn. 5 iddo ef deyrnasu chwe mis yn rhagor.

Adn. 6. *A'r brenin a'i wŷr a aethant i Jerusalem*] Ei ryfelgyrch cyntaf ef, ar ol ei

Jerusalem, at y Jebusiaid, preswyl-
wyr y wlad: y rhai a lefarasant
wrth Dafydd, gan ddywedyd, Ni
ddeui di yma, oni thyni ymaith y
deillion a'r cloffion: gan dybied,
Ni ddaw Dafydd yma.
7 Ond Dafydd a ennillodd amddi-
ffynfa Seion: hòno *yw* dinas Dafydd.
8 A dywedodd Dafydd y dwthwn
hwnw, Pwy bynag a elo i fyny i'r
gwter, ac a darawo y Jebusiaid, a'r
cloffion, a'r deillion, *y rhai sydd* gas
gan enaid Dafydd, *hwnw fydd
blaenor.* Am hyny y dywedasant, Y
dall a'r cloff ni ddaw i mewn i'r tŷ.
9 A Dafydd a drigodd yn yr am-
ddiffynfa, ac a'i galwodd hi, Dinas
Dafydd. A Dafydd a adeiladodd
oddiamgylch, o Milo ac oddimewn.
10 A Dafydd a aeth rhagddo, ac
a gynyddodd yn fawr; ac Arglwydd
Dduw y lluoedd *oedd* gydag ef.
11 ¶ A Hiram brenin Tyrus a an-
fonodd genadau at Dafydd, a choed

---

wneyd yn frenin ar holl Israel, oedd yn erbyn y rhan hòno o Jerusalem ag ydoedd yn nwylaw y Jebusiaid: gwel ar Jos. xv. 63. Ni thybiodd Dafydd fod yn iawn iddo wneyd hyn o'r blaen, am nad oedd y rhan hon o Jerusalem, eiddo priodol Benjamin, yn perthyn i'w frenhiniaeth ef hyd yn awr. *Y rhai a lefarasant wrth Dafydd*—pan ddaeth efe a'i fyddin i ymosod ar dŵr neu amddiffynfa Seion. *Ni ddeui di yma, oni thyni ymaith y deillion a'r cloffion*—nid oes braidd un ran o'r ysgrythyrau sant-aidd wedi dyrysu y berniaid yn fwy na'r frawddeg hon. Y LXX a'i cyfieithant, 'Ni ddeui di yma, canys y deillion a'r cloffion a'th gadwant di allan;' a dyma yr ystyr a roddir i'r geiriau yn Meibl Coverdale, a argraffwyd yn 1535. Ond pwy a feddylir wrth y *deillion* a'r *cloffion* hyn? (1) Tybia rhai mai nifer o *bobl* ddeillion a chloffion, neu hen filwyr clwyfedig a methedig, a feddylir, y rhai a osodasai y Jebusiaid ar y muriau y pryd hyny o ddirmyg ar fyddin y brenin, ac mewn diys-tyrwch o honynt, gan dybied yn rhyfygus fod y fath filwyr a'r rhai hyny yn ddigonol i gadw Dafydd a'i wŷr oddiwrth y fath amddiffynfa gadarn. (2) Tybia ereill mai *duwiau amddi-ffynol*, neu ddelwau pres, a olygir, y rhai a osodesid yma a thraw ar hyd y tŵr, ac i'r rhai yr ymddiriedasai y Jebusiaid gadwraeth eu dinas. Arferai yr Israeliaid ddiystyru y rhai hyn, a'u galw yn dduwiau â *llygaid* ganddynt, ond heb allu gweled; a *thraed* ganddynt, ond heb allu cerdded. Fel pe dywedasent, Bydd i'r duwiau, y rhai a elwi di yn 'ddeillion a chloffion,' ein hamddiffyn ni rhagot; a rhaid i ti eu gorchfygu hwynt, cyn y gelli ein gorch-fygu ni. *Ni ddaw Dafydd yma*—er nad oedd ond deillion a chloffion wedi eu gosod fel rhith filwyr i amddiffyn y lle.

Adn. 7. *Ond Dafydd a ennillodd amddi-ffynfa Seion*] Lle cadarn o'r tuallan i'r ddinas; *hòno yw dinas Dafydd*—lle yr adeiladodd efe dŷ i breswylio ynddo; ac felly galwyd y rhan hòno o Jerusalem yn ddinas Dafydd o hyny allan.

Adn. 8. *Pwy bynag a elo i fyny i'r gwter*] A ddringo i ben yr amddiffynfa lle yr oedd y deillion a'r cloffion wedi eu gosod. Tybia rhai mai *cafn* ar ben yr amddiffynfa hon oedd y *gwter;* ac ereill, mai *ffos dan-ddaearol* ydoedd, i drosglwyddo dwfr a budreddi allan o honi, ar hyd yr hon yn unig y gallent obeithio myned i'r fan lle yr oedd y deillion a'r cloffion yn aros. *Ac a darawo y Jebusiaid*—sef y deillion a'r cloffion o honynt, at y rhai y cyf-eiriwyd yn adn. 6; neu, a darawo rai o drigol-ion y ddinas. *Y rhai sydd gas gan enaid Dafydd*—tybia rhai fod hyn yn brawf amlwg mai *eilunod* y Jebusiaid a feddylir wrth y deillion a'r cloffion yn adn. 6; canys yr oedd Dafydd yn ddiau yn casâu *eilunod*, tra nas gallai byth gasâu *dynion* am eu bod yn ddall a chloff. Ond gellir dywedyd dau beth mewn atebiad i hyn: (1) Fod y Jebusiaid deillion a chloffion eu hunain ond odid wedi sarhau Da-fydd a chablu Duw, ac y gallai Dafydd am hyny fod yn eu casâu hwynt yn yr un ystyr ag y dywed efe yn fynych yn ei salmau ei fod yn casâu y rhai drygionus; hyny yw, ei fod yn casâu eu ffyrdd, eu tueddiadau, a'u gweith-redoedd. Ond, (2) Gall y geiriau gwreiddiol, a diamau y dylent, gael eu cyfieithu, fel y gwna y LXX, 'y rhai sydd yn *casâu* enaid Dafydd.' *Hwnw fydd blaenor*—nid yw y geiriau hyn yn y wreiddiol, ond dodwyd hwy i mewn yn briodol yma o 1 Cron. xi. 6, lle y cawn mae Joab a esgynodd gyntaf, ac a wnaed yn ben ac yn dywysog. *Am hyny y dywedasant, Y dall a'r cloff ni ddaw i newn i'r tŷ*—rhoddir tri ystyr i'r geiriau hyn: (1) Y Jebusiaid a ddy-wedasant am eu duwiau, y rhai a alwai Dafydd yn ddeillion a chloffion, os nad amddiffynent hwy y ddinas rhag Dafydd, na chaent ddyfod i'w tŷ neu eu teml byth drachefn. (2) Neu dywedai Dafydd a'i gyfeillion na chai y duwiau ddyfod i'r tŷ, neu i amddiffynfa Seion: yn lle iddynt hwy gau Dafydd allan, y cauid hwy eu hunain allan am byth. (3) Neu gall mae yr ystyr yw, fel ar ymyl y ddalen, tarewid hwynt fel hyn 'am iddynt ddywedyd, sef y dall a'r cloff, Ni ddaw [Dafydd] i mewn i'r tŷ.'

Adn. 9. *A Dafydd a adeiladodd oddiam-gylch*] Trwy nad oedd yr amddiffynfa yn ddigon helaeth i gynwys y llys; *o Milo*—tybia rhai mae lle o gydgynulliad cyhoeddus ar achosion gwladol oedd Milo, sef math ar gynghordŷ, neu ynte arfdŷ cadarn: gwel ar Barn. ix. 6. Tybia ereill mai ffos ydoedd o amgylch amddiffynfa Seion, i'w gwahanu oddi wrth y rhan arall o'r ddinas, am y dywedir i Dafydd adeiladu *o Milo ac oddimewn*—sef tu fewn i'r ffos neu y cylch ag ydoedd o amgylch yr amddiffynfa.

Adn. 10. *Ac Arglwydd Dduw y lluoedd*] Yr hwn sydd yn llywodraethu holl luoedd nef-oedd a daear; *oedd gydag ef*—yn ei fendithio ac yn ei gyfarwyddo yn ei holl anturiaethau, yr hyn oedd yr achos o'i holl ragoriaeth, ei gynydd, a'i fawredd, yn wladol a chrefyddol.

Adn. 11. *A Hiram brenin Tyrus*] Tyrus

cedr, a seiri prenau, a seiri meini:
a hwy a adeiladasant dŷ i Dafydd.
12 A gwybu Dafydd i'r Arglwydd
ei sicrhau ef yn frenin ar Israel, a
dyrchafu o hono ei frenhiniaeth ef
er mwyn ei bobl Israel.
13 ¶ A Dafydd a gymerodd eto
ordderchwragedd a gwragedd o
Jerusalem, wedi iddo ddyfod o
Hebron: a ganwyd eto i Dafydd
feibion a merched.
14 A dyma enwau y rhai a anwyd
iddo ef yn Jerusalem; Sammua, a
Sobab, a Nathan, a Solomon,
15 Ibhar hefyd, ac Elisua, a Ne-
pheg, a Japhïa,
16 Elisama *hefyd*, ac Elïada, ac
Eliphalet.
17 ¶ Ond pan glybu y Philistiaid
iddynt eneinio Dafydd yn frenin ar
Israel, yr holl Philistiaid a ddaeth-
ant i fyny i geisio Dafydd. A Da-
fydd a glybu, ac a aeth i waered i'r
amddiffynfa.
18 A'r Philistiaid a ddaethant, ac
a ymdaenasant yn nyffryn Rephaim.
19 A Dafydd a ymofynodd â'r Ar-
glwydd, gan ddywedyd, A âf fi i
fyny at y Philistiaid? a roddi di
hwynt yn fy llaw i? A'r Arglwydd
a ddywedodd wrth Dafydd, Dos i
fyny: canys gan roddi y rhoddaf y
Philistiaid yn dy law di.
20 A Dafydd a ddaeth i Baal-
perasim; a Dafydd a'u tarawodd
hwynt yno; ac a ddywedodd, Yr
Arglwydd a wahanodd fy ngelynion
o'm blaen i, megys gwahanu dyfr-
oedd. Am hyny y galwodd efe enw
y lle hwnw, Baal-perasim.

---

ydoedd ddinas fawr, ac enwog am ei marsiandïaeth, yn sefyll ar lan Mor-y-canoldir, yn llwyth Aser, yn y pen gogleddol i wlad Canaan. Wrth glywed fod Dafydd yn bwriadu ymsefydlu yn Jerusalem, efe a anfonodd seiri a defnyddiau i adeiladu palas iddo. Tybia Gill mai mab i hwn oedd yr Hiram ag y sonir am dano yn amser Solomon: gwel 1 Bren. v. 1, &c.

Adn. 12. *A gwybu Dafydd i'r Arglwydd ei sicrhau ef yn frenin ar Israel*] Yn gystal ag ar Juda o'r blaen: hyny yw, cafodd sicrwydd o hyn trwy fod yr Arglwydd yn ei lwyddo ac yn ei fendithio yn mhob dim. *A dyrchafu o hono ei frenhiniaeth ef er mwyn ei bobl Israel*—nid er dyrchafiad a mawredd i Dafydd ei hun, ond er lles a mawredd i'w bobl Israel.

Adn. 13. *A Dafydd a gymerodd eto ordderchwragedd a gwragedd*] Yr oedd ganddo chwech o wragedd eisioes, pen. iii. 2—5, heblaw Michal merch Saul; a gellid meddwl fod hyny yn ddigon iddo, a gormod o bump. Ond yr oedd amlwreigaeth yn arferiad yn yr oesoedd hyny, ac y mae felly eto yn ngwledydd y dwyrain, yn enwedig gan frenhinoedd a thywysogion; ac ymollyngodd Dafydd i'r un arferiad, er fod hyny yn groes i orchymyn penodol Duw, Deut. xvii. 17. Y mae amlwreigaeth yn annaturiol ynddo ei hun, fel y sylwa Clarke, gan fod 14 o wrywod yn cael eu geni yn y cyffredin ar gyfer pob 13 o fenywod. Y *gordderchwragedd* hyn oeddynt fath o îswragedd dan y gwragedd ereill. Yr oedd amlwreigaeth yn cael ei ystyried bob amser fel doethineb gwladyddol mewn brenhinoedd, er ennill mwy o blant, y rhai, wrth eu priodi i deuluoedd galluog, a allent gryfhau eu dylanwad hwy, ac eangu eu hawdurdod; ac ymddengys mai hyn oedd y rheswm paham y cymerth Dafydd gynifer o wragedd. Modd bynag, nis gellir cyfiawnhau Dafydd yn hyn, a rhaid i ni edrych arno fel un o'i ffaeleddau ef. *O Jerusalem*—neu *yn* Jerusalem, 1 Cron. xiv. 3.

Adn. 14—16. *A dyma enwau y rhai a anwyd iddo ef yn Jerusalem*] Yn chwanegol at y rhai a anesid iddo yn Hebron, pen. iii. 2—5. Unarddeg a enwir yma, ac felly yn yr Hebraeg; ond y mae y LXX yn enwi 24, trwy gymeryd i mewn fe allai blant y gordderchwragedd, neu rifo y merched yn gystal a'r meibion.

Adn. 17. *Ond pan glybu y Philistiaid, &c.*] Tra yr oedd Israel yn ddwy blaid dan Isboseth a Dafydd, ac mewn rhyfel gartrefol â'u gilydd, yr oedd y Philistiaid yn aros yn llonydd, gan obeithio y dyfethent hwy eu gilydd; ond ar ol clywed ddarfod uno Juda ac Israel dan lywodraeth Dafydd, ac iddo orchfygu y Jebusiaid, tybiasant fod yn llawn bryd iddynt geisio ei ddarostwng ef cyn iddo ymsefydlu ac ymgryfhau yn ei frenhiniaeth newydd. *A Dafydd a glybu, ac a aeth i waered i'r amddiffynfa*—fel y gallai barotoi ei fyddinoedd i gyfarfod â'r gelynion. Tybia rhai mai y pryd hyn y cyfansoddodd Dafydd yr ail Salm.

Adn. 18. *Yn nyffryn Rephaim*] A elwir 'glyn y cawri,' Jos. xv. 8; lle yn agos i Jerusalem, o du y gorllewin iddi.

Adn. 19. *A Dafydd a ymofynodd â'r Arglwydd*] Ond odid trwy Abiathar yr archoffeiriad. Yr oedd efe yn ei ystyried ei hun fel cadben dan Dduw yn ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd; ac am hyny ni fynai fyned gam yn mlaen ond yn ol cyfarwyddyd ei Ben-cadfridog. *Dos i fyny*—fel hyn efe a gafodd orchymyn gan Dduw i fyned yn erbyn y Philistiaid, ac addewid o fuddugoliaeth sicr arnynt.

Adn. 20. *Yr Arglwydd a wahanodd fy ngelynion o'm blaen i*] Fel hyn efe a briodola y fuddugoliaeth i JEHOFA, heb yr hwn nis gallai ef wneuthur dim; *megys gwahanu dyfroedd*—a redent yn erbyn craig, rhan o'r tu yma iddi, a rhan o'r tu arall. *Baal-perasim*—neu 'faes y gwahaniadau.' Felly y galwodd Dafydd y lle yn awr, i fod yn goffadwriaeth o'r modd y gwahanodd ac y rhwygodd yr Arglwydd ei elynion o'i flaen ef.

Adn. 21. *Ac yno y gadawsant hwy eu delwau*] Arferai y rhan fwyaf o'r hen genhedloedd gymeryd eu duwiau gyda hwynt i'r

21 Ac yno y gadawsant hwy eu
delwau; a Dafydd a'i wŷr a'u llosg-
odd hwynt.
22 ¶ A'r Philistiaid eto a chwa-
negasant ddyfod i fyny, ac a ym-
daenasant yn nyffryn Rephaim.
23 A Dafydd a ymofynodd â'r Ar-
glwydd; ac efe a ddywedodd, Na
ddos i fyny: amgylchyna o'r tu ol
iddynt, a thyred arnynt hwy gyfer-
byn a'r morwydd.
24 A phan glywech drwst cerdd-
ediad yn mrig y morwydd, yna
ymegnïa: canys yna yr Arglwydd
a â allan o'th flaen di, i daro gwer-
syll y Philistiaid.
25 A Dafydd a wnaeth megys y
gorchymynasai yr Arglwydd iddo
ef; ac a darawodd y Philistiaid o
Geba, hyd oni ddelech i Gazer.

## PENNOD VI.

A CHASGLODD Dafydd eto yr holl etholedigion yn Israel, *sef* deng mil ar hugain.
2 A Dafydd a gyfododd, ac a aeth,
a'r holl bobl *oedd* gydag ef, o Baale
Juda, i ddwyn i fyny oddiyno arch
Duw; enw yr hon a elwir *ar* enw
Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd
yn aros arni *rhwng* y cerubiaid.
3 A hwy a osodasant arch Duw
ar fèn newydd; ac a'i dygasant hi o
dŷ Abinadab yn Gibeah: Uzzah
*hefyd* ac Ahio, meibion Abinadab,
*oedd* yn gyru y fèn newydd.
4 A hwy a'i dygasant hi o dŷ
Abinadab yn Gibeah, gydag arch
Duw; ac Ahio *oedd* yn myned o
flaen yr arch.

---

rhyfel, i'w hamddiffyn hwynt; ac mewn efelychiad iddynt cymerodd yr Israeliaid unwaith yr arch i'r maes, a chollasant hi, 1 Sam. iv. 3, &c. *A Dafydd a'i wŷr a'u llosgodd hwynt*—yn ol gorchymyn Duw, Deut. vii. 5. Ond gwelwch y gwahaniaeth rhwng yr arch a'r delwau hyn! Pan syrthiodd yr arch i ddwylaw y Philistiaid, hi a'u hysodd hwynt; eithr pan syrthiodd y delwau hyn i ddwylaw yr Israeliaid, nis gallent eu niweidio hwy, na'u hachub eu hunain rhag cael eu llosgi.

Adn. 22. *A'r Philistiaid eto a chwanegasant ddyfod i fyny*] A dywed Josephus fod rhif eu milwyr y tro hwn yn gymaint deirgwaith a'r tro cyntaf.

Adn. 23. *A Dafydd a ymofynodd â'r Arglwydd*] Er i Dafydd orchfygu y Philistiaid y tro o'r blaen, eto nid âi efe i fyny y tro hwn heb gyfarwyddyd eilwaith oddiwrth Dduw; canys gwyddai mai yn ei law ef yn unig yr oedd y fuddugoliaeth. *Na ddos i fyny*—ar dy gyfer i wyneb y Philistiaid; *amgylchyna o'r tu ol iddynt*—lle nad ydynt yn dy ddysgwyl. Lle y gellir defnyddio moddion a doethineb dynol ni weithreda Duw hebddynt. *Gyferbyn â'r morwydd*—y rhai a dyfent yn nyffryn Rephaim, ac yn agos i ba rai y gwersyllai y Philistiaid.

Adn. 24. *A phan glywech drwst cerddediad*] Arabaeg, 'trwst carnau meirch;' neu, fel y gellir cyfieithu y wreiddol, 'trwst symudiad;' neu ysgydwad mawr yn mhlith dail y coed, yn cael ei achosi ond odid gan wynt cryf. *Yn mrig y morwydd*—neu yn '*nechre* y morwydd,' sef yn y rhes flaenaf, neu y nesaf ato ef wrth iddo fyned tua'r goedwig. *Yna ymegnïa*—i daro y Philistiaid. Pa un bynag ai naturiol ai goruwchnaturiol oedd y trwst hwn, yr oedd yn arwydd i Dafydd ymegnïo fel pe buasai y fuddugoliaeth yn ymddibynu ar ei fedrusrwydd ef ei hun, ac yn brawf y rhoddai yr Arglwydd wersyll y Philistiaid ar yr ammod hòno yn ei law ef.

Adn. 25. *A Dafydd a wnaeth megys y gorchymynasai yr Arglwydd iddo ef*] Efe a ufyddhaodd yn fanwl i gyfarwyddiadau yr Arglwydd, a llwyddodd yn y cwbl yn ol ei ewyllys. *O Geba*—neu Gibeon, 1 Cron. xiv. 16, i ba le y ffoisent; *hyd oni ddelech i Gazer*—oddeutu 12 milldir i'r gogledd-orllewin o Gibeon.

PEN. VI. Adn. 1. *A chasglodd Dafydd eto*] Megys y casglasai efe o'r blaen yn erbyn y Philistiaid; *yr holl etholedigion yn Israel*—sef y gwŷr ieuainc cryfaf a dewraf i amddiffyn yr arch, os ymosodai y Philistiaid arnynt; *sef deng mil ar hugain*—dywed y LXX 70,000. Ar ol i Dafydd orchfygu y Philistiaid, a sefydlu heddwch, meddyliodd mai ei ddyledswydd ydoedd cyrchu yr arch i'w ddinas ei hun, a'i gosod yno mewn lle anrhydeddus, er mwyn cynal addoliad sefydlog a rheolaidd i Dduw Israel.

Adn. 2. *O Baale Juda*] Neu *i* Baale Juda, fel ei darllenir yn 1 Cron. xiii. 6. Gelwir y lle hwn hefyd *Baalah*, a *Ciriath-jearim*, Jos. xv. 9. *I ddwyn i fyny oddiyno arch Duw*—canys yr oedd yr arch wedi bod bellach yn Ciriath-jearim am oddeutu 46 o flynyddau: gwel ar 1 Sam. vii. 2. *Enw yr hon a elwir ar enw Arglwydd y lluoedd*—hyny yw, 'yr hon a elwir *arch* Arglwydd y lluoedd;' neu, 'o flaen yr hon y gelwir ar *enw* Arglwydd y lluoedd.' *Yr hwn sydd yn aros arni rhwng y cerubiaid*—fel y SECINA dwyfol: gwel ar Exod. xxv. 22.

Adn. 3. *A hwy a osodasant arch Duw ar fèn newydd*] Fel y gwnaethai y Philistiaid gynt, 1 Sam. vi. 11. Ni wyddai y rhai hyny ddim gwell; ond dylasai Dafydd ac Israel wybod mai ar ysgwyddau y Cohathiaid yn unig yr oedd i gael ei dwyn, Num. vii. 9. *Ac a'i dygasant hi o dŷ Abinadab yn Gibeah*—neu 'yn y *bryn*,' yr hyn yw ystyr y gair *Gibeah* yma; canys yr oedd tŷ Abinadab ar *fryn* yn Ciriath-jearim, 1 Sam. vii. 1. *Uzzah hefyd ac Ahio*—yn 1 Sam. vii. 1 dywedir iddynt santeiddio Eleazar, mab Abinadab, i gadw yr arch; ond dichon fod Eleazar ac Abinadab yn awr wedi marw, a bod gofal yr arch ar y ddau frawd ieuangaf hyn.

Adn. 4. *A hwy a'i dygasant hi*] Sef y fèn

5 Dafydd hefyd a holl dŷ Israel
oedd yn chwareu gerbron yr Arglwydd, â phob *offer o* goed ffynidwydd, sef â thelynau, ac â nablau, ac â thympanau, ac âg udgyrn, ac â symbalau.
6 ¶ A phan ddaethant i lawrdyrnu Nachon, Uzzah a estynodd *ei law* at arch Duw, ac a ymaflodd ynddi hi; canys yr ychen oedd yn *ei* hysgwyd.
7 A digofaint yr Arglwydd a lidiodd wrth Uzzah; a Duw a'i tarawodd ef yno am *yr* amryfusedd *hyn;* ac efe a fu farw yno wrth arch Duw.
8 A bu ddrwg gan Dafydd am i'r Arglwydd rwygo rhwygiad ar Uzzah: ac efe a alwodd y lle hwnw Peres Uzzah, hyd y dydd hwn.
9 A Dafydd a ofnodd yr Arglwydd y dydd hwnw; ac a ddywedodd, Pa fodd y daw arch yr Arglwydd ataf fi?
10 Ac ni fynai Dafydd fudo arch yr Arglwydd ato ef i ddinas Dafydd: ond Dafydd a'i trôdd hi i dŷ Obed-edom y Gethiad.

---

newydd, âg arch Duw arni; *ac Ahio oedd yn myned o flaen yr arch*—gan arwain yr ychen a lusgent y fèn.

Adn. 5. *Yn chwareu gerbron yr Arglwydd*] Sef gerbron yr arch, yr hon oedd arwydd o'i bresenoldeb ef; *â phob offer o goed ffynidwydd*—neu 'â'u holl *nerth*,' fel y gellir cyfieithu y wreiddiol, ac fel ei darllenir yn 1 Cron. xiii. 8. Dichon fod rhai o'r offerynau hyn wedi eu gwneuthur, mewn rhan, o goed ffynidwydd; eithr y lleill oeddynt o arian neu bres.

Adn. 6. *A phan ddaethant i lawr-dyrnu Nachon*] Neu *Chidon*, 1 Cron. xiii. 9: dau enw ar yr un dyn, neu ar yr un lle, yr hyn a ddygwydda yn fynych. *Uzzah a estynodd ei law*—a ymaflodd yn yr arch i attal iddi syrthio oddiar y fèn; *canys yr ychen oedd yn ei hysgwyd*—neu, fel y mae Bochart a Waterland yn ei gyfieithu, 'yr ychen a lynasant yn y llaid,' neu, 'a syrthiasant.'

Adn. 7. *A digofaint yr Arglwydd a lidiodd wrth Uzzah*] O herwydd ei amryfusedd, neu ei fyrbwylldra rhyfygus, yn cyffwrdd â'r arch; *a Duw a'i tarawodd ef*—ond odid â mellten, neu dân o'r nefoedd; *ac efe a fu farw yno*—mewn eiliad, tra yr oedd ei law ar yr arch! Gall hyn ymddangos yn greulondeb, wrth ystyried fod ei amcan ef yn ddaionus, ac nad oedd ei drosedd yn un mawr. Ond dylem gofio fod dynion yn farnwyr annghymwys ar ymddygiadau JEHOFA; a bod barnedigaethau Duw bob amser yn gyfiawn, er y gallant fod weithau yn dywyll i ni. Tybia rhai mai am nad oedd efe yn *Lefiad* y lladdwyd ef: ond gallwn feddwl ei fod ef o lwyth Lefi, trwy ei fod yn frawd i Eleazar, yr hwn a santeiddiwyd i ofalu am yr arch, 1 Sam. vii. 1. Ond a chaniatâu ei fod yn Lefiad, yr oedd yn euog o amrai feiau: (1) Peidio dwyn yr arch ar ei *ysgwyddau* gyda'i frodyr, (Num. vii. 9,) gan edrych ar ei esmwythdra ei hun yn fwy nag ar ei ddyledswydd tuag at Dduw a'i arch. (2) *Cyffwrdd* â'r arch, yr hyn a waherddid hyd yn nod i'r Lefiaid dan boen marwolaeth, Num. iv. 15—20. (3) Meddwl ei hun mor *santaidd* a *chymhwys* i'r gwaith a neb o'r offeiriaid, o herwydd i'r arch fod cyhyd dan ei ofal ef yn Ciriath-jearim. (4) Diffyg *ffydd* yn ngallu Duw, neu yn ei bresenoldeb ef gyda'r arch, fel pe nas gallasai efe ei chadw hi rhag syrthio heb ei gymhorth ef. A gallwn feddwl, yn (5) Mai Uzzah a gynygiodd gyntaf ddwyn yr arch ar *fèn*, yn lle ar *ysgwyddau;* ac i Dduw ei gospi ef yn y ffordd a nodwyd am yr holl feiau hyn yn nghyd. Pe gadawsai Duw iddo gyffwrdd â'r arch yn ddigosp, collasai dynion eu parch iddi hi, ac i'r wasanaeth santaidd ag ydoedd yn nglŷn â hi; ac yr oedd ei farwolaeth ef, fel y sylwa y Parch. James Hughes, 'yn gerydd ac yn rhybydd i Dafydd, i'r offeiriaid, ac i holl Israel; ac yn wir i bawb eto a ymyront âg achos Duw yn annghyfreithlawn, yn afreolaidd, ac heb fod hyny yn perthyn iddynt.' Gwel ei *Nodau* ar y lle. Fel hyn, wedi y cwbl, y mae mwy o *ddaioni* nag o *doster* i'w weled yma yn ymddygiad Duw; canys cyfyngwyd ei doster ef at un dyn, tra y mae y daioni a'r lles o hono yn cyraedd at holl ddynolryw hyd ddiwedd y byd. Ac er i Uzzah bechu 'pechod i farwolaeth,' o ran y *corff;* ai nid allwn feddwl ddarfod i drugaredd Duw gael ei hestyn ar yr un pryd i'w *enaid* ef? gwel ar 1 Ioan v. 16, 17.

Adn. 8. *A bu ddrwg gan Dafydd*] Hyny yw, efe a ymofidiodd, yn gystal am y pechod, ag am farn drom Duw arno, trwy yr hyn y siomwyd eu dysgwyliadau ac yr attaliwyd eu gorfoledd. *Am i'r Arglwydd rwygo rhwygiad ar Uzzah*—trwy ei dori ef ymaith fel hyn oddiwrth gynulleidfa Israel; neu dichon fod yr Arglwydd wedi gwneyd rhyw rwygiad ar ei *gorff* ef trwy y fellten a'i tarawsai. Yr oedd yn ddrwg gan Dafydd fod un achos o'r fath rwygiad neu ddinystr wedi cymeryd lle; ac fe allai ei fod yn ofni y byddai raid iddo yntau ei hun ddyoddef am beidio gofalu yn well yn nghylch cludiad yr arch. *Ac efe a alwodd y lle hwnw Peres Uzzah*—neu 'Rwygiad Uzzah,' yn goffadwriaeth am y farn arswydus hon, fel y byddai i'r Lefiaid a phawb ereill gymeryd rhybydd oddiwrtho ef yn nghylch yr iawn gyflawniad o'u dyledswydd.

Adn. 9. *A Dafydd a ofnodd yr Arglwydd y dydd hwnw*] Rhag ei fod ef ei hun mewn perygl, am na wyddai pa fodd i'w chludo yn ddiogel; neu ofnai, wedi ei mudo, y cyffyrddai rhywrai â hi yn fynych, ac y lladdai yr Arglwydd hwynt am hyny, megys y lladdasai efe Uzzah yn awr.

Adn. 10. *Ac ni fynai Dafydd fudo arch yr Arglwydd ato ef*] I Jerusalem yn awr, eithr i ryw le arall dros ychydig, fel y gallai weled pa beth fyddai y canlyniad; *ond Dafydd a'i trôdd hi i dŷ Obed-edom*—yr hwn ydoedd gerllaw. Yr oedd yr Obed-edom hwn yn *Lefiad*, 1 Cron. xv. 18, ac felly yn ŵr addas i ymddiried yr arch i'w ofal. *Y Gethiad*—sef

11 Ac arch yr Arglwydd a arhosodd yn nhŷ Obed-edom y Gethiad dri mis: a'r Arglwydd a fendithiodd Obed-edom a'i holl dŷ.

12 ¶ A mynegwyd i'r brenin Dafydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd a fendithiodd dŷ Obed-edom, a'r hyn oll *oedd* ganddo, er mwyn arch Duw. Yna Dafydd a aeth, ac a ddyg i fyny arch Duw o dŷ Obed-edom, i ddinas Dafydd, mewn llawenydd.

13 A phan gychwynodd y rhai oedd yn dwyn arch yr Arglwydd chwech o gamrau, yna efe a offrymodd ychen a phasgedigion.

14 A Dafydd a ddawnsiodd a'*i* holl egni gerbron yr Arglwydd; a Dafydd *oedd* wedi ymwregysu âg ephod lian.

15 Felly Dafydd a holl dŷ Israel a ddygasant i fyny arch yr Arglwydd, trwy floddest, a sain udgorn.

16 Ac fel yr oedd arch yr Arglwydd yn dyfod i mewn i ddinas Dafydd, yna Michal merch Saul a edrychodd trwy ffenestr, ac a ganfu y brenin Dafydd yn neidio, ac yn llemain o flaen yr Arglwydd; a hi a'i dirmygodd ef yn ei chalon.

17 ¶ A hwy a ddygasant i mewn arch yr Arglwydd, ac a'i gosodasant yn ei lle, yn nghanol y babell, yr hon a osodasai Dafydd iddi. A Dafydd a offrymodd boeth-offrymau ac

---

brodor o Gath-rimmon, yr hon oedd un o ddinasoedd y Lefiaid, yn perthyn i feibion Cohath, Jos. xxi. 24.

Adn. 11. *Dri mis*] Ar ol rhoddi yr arch dan ofal Obed-edom, aeth Dafydd a'i wŷr i'w cartrefleoedd, lle yr arosasant am dri mis cyn dyfod yn ol i gwblhau y gorchwyl a ddechreuasent. *A'r Arglwydd a fendithiodd Obed-edom*—yn ysbrydol a thymhorol. Dywed Josephus fod Obed-edom yn dylawd iawn cyn hyn, ac iddo ddyfod yn gyfoethog iawn megys ar unwaith. Yr un llaw ag a gospodd ryfyg Uzzah, a wobrwyodd wroldeb gostyngedig Obed-edom. Ni chafodd neb erioed, ac ni cha neb byth, achos i ddywedyd mai ofer yw gwasanaethu Duw. Y neb a dderbynio genadau Duw, neu a gysegro ei dŷ i wasanaeth Duw, a dderbyn yn ddiffael fendith gan Dduw. *A'i holl dŷ*—cafodd ei deulu hefyd gyfranogi o'r un fendith. Da yw cael byw mewn teulu ag sydd yn croesawu yr arch, canys bydd i bawb o'i deutu gael lles oddiwrthi.

Adn. 12. *A mynegwyd i'r brenin*] Ond odid gan rai o'i lyswyr, neu yr offeiriaid. Yr oedd y bendithiad mor amlwg, mor sydyn, ac mor helaeth, nes yr oedd pawb yn sylwi arno, ac yn son am dano fel peth goruwchnaturiol. *Yna Dafydd a aeth*—ar ol clywed i'r Arglwydd fendithio, ac nid lladd, Obed-edom a'i deulu er mwyn yr arch, collodd Dafydd ei ofnau blaenorol, adn. 9, a chalonogwyd ef i'w chyrchu i'w ddinas ei hun; gan obeithio y bendithiai yr Arglwydd yntau a'i ddinas er ei mwyn hi, yr un modd ag y bendithiasai efe Obed-edom a'i dŷ.

Adn. 13. *A phan gychwynodd y rhai oedd yn dwyn arch yr Arglwydd*] Nid ar fèn y dygid yr arch yn awr, ond ar ysgwyddau y Lefiaid, wrth drosolion, yn ol y gyfraith, 1 Cron. xv. 12—15; canys yr oedd Dafydd erbyn hyn wedi gweled ei gamgymeriad y tro o'r blaen. *Chwech o gamrau*—o dŷ Obed-edom. Erbyn hyny gwelid nad oedd yr Arglwydd yn eu lladd hwy, fel y lladdasai efe Uzzah, eithr ei fod yn eu 'cynorthwyo,' 1 Cron. xv. 26. *Yna efe a offrymodd ychen a phasgedigion*—sef saith o fustych a saith o hyrddod, 1 Cron. xv. 26, yn offrwm diolchgarwch i'r Arglwydd am yr anrhydedd a'r ffafr o gael cyrchu yr arch i'w ddinas mewn diogelwch. Y mae yn debyg eu bod wedi parotoi allor yno cyn hyn, a threfnu offeiriaid hefyd at y gwaith.

Adn. 14. *A Dafydd a ddawnsiodd â'i holl egni*] O flaen yr arch, yr arwydd o bresenoldeb yr Arglwydd. Yr oedd ef yn canu, yn neidio, ac yn dawnsio gerbron yr Arglwydd, yn ol fel yr oedd amrywiol fesurau y gerddoriaeth yn ei gyfarwyddo, nes cyraedd o hono at y babell, lle y dodwyd yr arch i lawr; a gwnai hyn oll o wir lawenydd calon am ddyfodiad yr arch i'w ddinas ef, a hyny heb farn Duw ar neb fel y tro athrist o'r blaen. Y mae dawnsio yn ddefod grefyddol yn mhlith yr Hindŵaid hyd heddyw, ac ystyriant hyny yn weithred o ddyhewyd i'w duwiau; a diamau mai yn y goleuni hwnw yr edrychai Dafydd ar y peth. *A Dafydd oedd wedi ymwregysu âg ephod lian*—gwisg arferol yr offeiriaid wrth weini mewn pethau santaidd, yr hon a wisgid weithiau gan ereill, megys y bachgen Samuel, 1 Sam. ii. 18. Ymddyosgodd Dafydd o'i wisgoedd brenhinol, a rhoddodd am dano y wisg hon, nid yn unig am ei bod yn ysgafnach i ddawnsio ynddi, ond hefyd i ddangos, er ei fod yn frenin Israel, nad oedd yn gywilydd ganddo ymarddel fel gweinidog Duw.

Adn. 15. *Trwy floddest a sain udgorn*] Dywed Josephus fod saith gôr o gantorion yn myned o flaen yr arch wrth orchymyn Dafydd, a bod Dafydd ei hun yn chwareu ar y delyn ar yr un pryd. Cawn drefn yr orymdaith hon yn Salm. lxviii. 25, 27. Dywedir fod yr holl dorf yn canu bob yn ail y bedwaredd Salm ar hugain, yr hon a gyfansoddwyd ar yr achlysur hwn.

Adn. 16. *Ac fel yr oedd arch yr Arglwydd yn dyfod i mewn*] I'r rhan hòno o Jerusalem a elwid dinas Dafydd, pen. v. 7; *yna Michal merch Saul*—gelwir hi yma yn ferch Saul, yn hytrach na gwraig Dafydd, am ei bod yn dangos mwy o ysbryd balch a thrahaus ei thad, nag o barch i'w gŵr priod; *a ganfu y brenin Dafydd yn neidio ac yn llemain*—neu yn *llamu* mewn gorfoledd o flaen yr arch, adn. 14; *a hi a'i dirmygodd ef yn ei chalon*—gan dybied ei fod yn ei ddarostwng ei hun trwy ymddyosg o'i wisgoedd a'i addurniadau brenhinol, a dawnsio yn mhlith y werin.

Adn. 17. *Yn nghanol y babell, yr hon a*

offrymau hedd, gerbron yr Arglwydd.
18 Ac wedi gorphen o Dafydd
offrymu poeth-offrwm ac offrymau
hedd, efe a fendithiodd y bobl yn
enw Arglwydd y lluoedd.
19 Ac efe a ranodd i'r holl bobl,
*sef* i holl dyrfa Israel, yn ŵr ac yn
wraig, i bob un deisen o fara, ac un
dryll *o gig*, ac un gostrelaid *o win*.
Felly yr aeth yr holl bobl bawb i'w
dŷ ei hun.
20 ¶ Yna y dychwelodd Dafydd i
fendigo ei dŷ: a Michal merch Saul
a ddaeth i gyfarfod Dafydd; ac a
ddywedodd, O mor ogoneddus oedd
brenin Israel heddyw, yr hwn a
ymddyosgodd heddyw yn ngŵydd
llaw-forwynion ei weision, fel yr
ymddyosgai un o'r ynfydion gan
ymddyosg!
21 A dywedodd Dafydd wrth
Michal, Gerbron yr Arglwydd, yr
hwn a'm dewisodd i o flaen dy dad
di, ac o flaen ei holl dŷ ef, gan
orchymyn i mi fod yn flaenor ar
bobl yr Arglwydd, ar Israel, *y
chwareuais:* a mi a chwareuaf ger
bron yr Arglwydd.
22 Byddaf eto waelach na hyn, a
byddaf ddirmygus yn fy ngolwg fy
hun: a chyda'r llaw-forwynion (*am
y rhai y dywedaist wrthyf*) y'm
gogoneddir.
23 Am hyny i Michal merch Saul ni
bu etifedd hyd ddydd ei marwolaeth.

---

*osodasai Dafydd iddi*] Canys yr oedd y tabernacl a wnaed gan Moses yn aros fyth yn Gibeon, 1 Cron. xvi. 39, a xxi. 29, 2 Cron. i. 3; ac ni anfonodd Dafydd i gyrchu hwnw, am ei fod yn bwriadu adeiladu teml yn ebrwydd, i osod yr arch ynddi. Yr hyn a wnaeth efe yn awr oedd codi cortynau neu leni o amgylch yr arch, ar ddull y tabernacl: gwel pen. vii. 2. *A Dafydd a offrymodd*—i erfyn am barhad o drugareddau Duw iddynt, ac i ddiolch iddo am y rhai a dderbyniasent.

Adn. 18. *Efe a fendithiodd y bobl*] Hyny yw, efe a weddiodd yn ddiffuant am i'r Arglwydd eu bendithio; neu efe a'u cyhoeddodd hwynt yn fendigedig yn enw yr Arglwydd. Efe a wnaeth hyn fel proffwyd, ac fel eu brenin, yr hwn y perthynai iddo yn mhob modd geisio llesâd ei bobl. I'r offeiriaid yn gyffredin y perthynai bendithio y bobl yn gyhoeddus fel hyn; ond gellir meddwl oddiwrth siampl Dafydd yma, ac eiddo Solomon ar ol hyn, (1 Bren. viii. 55,) ei bod yn rhagorfraint brenhinoedd hefyd: gwel y ffurf yn Num. vi. 23—26.

Adn. 19. *I bob un deisen o fara*] Sef digon ar un pryd; *ac un dryll o gig*—sef o gig yr offrymau hedd, adn. 17, ddigon i gyfateb i'r deisen fara; *ac un gostrelaid o win*—neu gwpanaid, sef cymaint ag a yfai un ar y tro. *Felly yr aeth yr holl bobl*—ac os oedd yno gynifer a'r tro o'r blaen, (adn. 1,) yr oeddynt o leiaf yn 30,000; a gellir meddwl eu bod yn llawer mwy, gan y sonir yma am wragedd yn gystal a gwŷr; *bawb i'w dŷ ei hun*—naill ai ar ol bwyta ac yfed y pethau uchod, neu ynte i'w bwyta a'u hyfed yn eu tai eu hunain.

Adn. 20. *Yna y dychwelodd Dafydd i fendigo ei dŷ*] Megys y bendithiasai efe ei bobl o'r blaen; canys efe a arferai addoliad teuluaidd, yn gystal ag addoliad cyhoeddus: ond ychydig a feddyliai efe fod y fath bregeth sarhaus yn ei aros oddiwrth ei wraig! *O mor ogoneddus oedd brenin Israel heddyw!*—hi a lefarai fel hyn yn watwarllyd, mewn ffordd o ddirmyg a gwawd. *Yr hwn a ymddyosgodd heddyw yn ngŵydd llaw-forwynion ei weision*—y mae yn sicr ei bod hi yn meddwl rhywbeth mwy na newid ei wisg frenhinol am ephod lian, onidê paham y soniai hi am wneuthur hyny yn ngŵydd y *llaw-forwynion*, mwy nag yn ngŵydd y dynion? *Fel yr ymddyosgai un o'r ynfydion*—fel dyn wedi colli ei synwyrau, yr hwn a deifl ymaith ei wisgoedd, ac a rodia yn noeth, heb ofalu dim pwy a'i gwelo. Ond y mae yn sicr na wnaeth Dafydd ddim o'r fath beth, eithr ei fod yn ymgadw o fewn terfynau gweddeidd-dra yn y cwbl, yn enwedig gan ei fod ar y pryd yn rhwym mewn gwaith santaidd, ac yn ei gyflawni gerbron yr Arglwydd.

Adn. 21. *Gerbron yr Arglwydd*] Y chwareuais; ac felly nid yw yn debyg y buaswn yn gwneuthur dim yn anweddaidd ar y fath achos; *yr hwn a'm dewisodd i o flaen dy dad di*—a gymerodd y frenhiniaeth oddi wrtho ef a'i deulu i'w rhoddi i mi, yr hyn sydd yn rheswm digonol paham y dylwn i ei glodfori ef fel hyn; *a mi a chwareuaf*—eto, â'r delyn ac â dawns, er fy mod yn frenin, ac er i tithau fy ngwawdio.

Adn. 22. *Byddaf eto waelach na hyn*] Os gwael y cyfrifai Michal iddo ef chwareu felly gerbron yr Arglwydd, ymdrechai Dafydd fod yn waelach fyth, trwy ymarfer yn barhaus i glodfori Duw gerbron ei arch ogoneddus ef. *A byddaf ddirmygus yn fy ngolwg fy hun*—gan ryfeddu gras a daioni Duw yn rhoddi y fath fraint i un mor wael a fi. *A chyda'r llaw-forwynion*—neu *ganddynt* hwy, *y'm gogoneddir*—yn lle fy nirmygu a'm gwatwar, hwy a ganmolant ac a barchant fy ngweithredoedd pan y deallant fy nybenion.

Adn. 23. *Am hyny i Michal merch Saul*] O herwydd ei thrahausder wrth Dafydd; *ni bu etifedd hyd ddydd ei marwolaeth*—y mae yn debyg na chymerodd Dafydd hi i'w wely ar ol hyn; neu attaliodd yr Arglwydd blant iddi, fel na chymysgid had Dafydd â had Saul. Yr oedd anmhlantadrwydd yn cael ei ystyried yn *warth* a *melldith* yn Israel. Er y priodolir plant iddi yn pen. xxi. 8, eto bernir mai plant ei chwaer Merab oedd y rhai hyny: gwel y sylw yno.

PEN. VII. Adn. 1. *A phan eisteddodd y brenin yn ei dŷ*] Pan sefydlwyd ef mewn

## PENNOD VII.

A PHAN eisteddodd y brenin yn ei dŷ, a rhoddi o'r Arglwydd lonydd iddo ef rhag ei holl elynion oddiamgylch;

2 Yna y dywedodd y brenin wrth Nathan y proffwyd, Wele yn awr, fi yn preswylio mewn tŷ o gedrwydd, ac arch Duw yn aros o fewn y cortynau.

3 A Nathan a ddywedodd wrth y brenin, Dos, gwna yr hyn oll *sydd* yn dy galon: canys yr Arglwydd *sydd* gyda thi.

4 ¶ A bu, y noson hòno, i air yr Arglwydd ddyfod at Nathan, gan ddywedyd,

5 Dos, a dywed wrth fy ngwas Dafydd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Ai tydi a adeiledi i mi dŷ, lle y cyfaneddwyf fi?

6 Canys nid arhosais mewn tŷ, er y dydd yr arweiniais blant Israel o'r Aifft, hyd y dydd hwn, eithr bûm yn rhodio mewn pabell ac mewn tabernacl.

7 Yn mha *le* bynag y rhodiais gyda holl feibion Israel, a yngenais i air wrth un o lwythau Israel, i'r rhai y gorchymynais borthi fy mhobl Israel, gan ddywedyd, Paham nad adeiladasoch i mi dŷ o gedrwydd?

8 Ac yn awr fel hyn y dywedi wrth fy ngwas Dafydd: Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; Myfi a'th gymerais di o'r gorlan, oddiar ol y praidd, i fod yn flaenor ar fy mhobl, ar Israel.

9 A bûm gyda thi yn mha *le* bynag y rhodiaist; torais ymaith *hefyd* dy holl elynion di o'th flaen, a gwnaethym enw mawr i ti, megys enw y rhai mwyaf ar y ddaear.

---

llonyddwch yn y tŷ a adeiladodd gweision Hiram iddo, pen. v. 11; yna efe a feddyliodd am gyflwr ansefydlog yr arch, a gwaeledd preswylfod Duw mewn cydmhariaeth i wychder ei breswylfod ei hun. *A rhoddi o'r Arglwydd lonydd iddo*—ond nid hir y parhaodd y llonyddwch hwn, canys cawn ef yn ymladd âg amrai genhedloedd yn y bennod nesaf.

Adn. 2. *Yna y dywedodd Dafydd wrth Nathan y proffwyd*] Dyma y tro cyntaf i ni ddarllen am y Nathan hwn. Nis gwyddom pwy oedd efe; ond y mae yn debyg ei fod yn ŵr duwiol iawn, ac yn wir broffwyd i'r Arglwydd. Cadwai rhai brenhinoedd ynfydion yn eu tai i'w difyru, ond cadwai Dafydd broffwyd yn ei dŷ i'w hyfforddi. *Wele, yn awr, fi yn preswylio mewn tŷ o gedrwydd*—wedi ei fyrddio yn ardderchog â chedrwydd Libanus, er nad wyf ond brenin daearol; *ac arch Duw*—yr hwn yw Brenin y brenhinoedd, *yn aros o fewn y cortynau*—neu babell o leni crogedig wrth gortynau, pen. vi. 17.

Adn. 3. *Dos, gwna yr hyn oll sydd yn dy galon*] Rho dy fwriadau mewn gweithrediad, ac adeilada deml ardderchog i'r arch. Trwy fod yr amcan yn dda, a'r peth heb ei wahardd gan Dduw, y mae Nathan ar unwaith yn ei gymeradwyo, cyn iddo ymgynghori â Duw, yr hyn y dylasai efe a Dafydd ei wneuthur mewn achos o gymaint pwys. Gwelwn oddiyma nad oedd y proffwydi santaidd yn llefaru pob peth trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, ond eu bod yn dywedyd rhai pethau, fel dynion duwiol, trwy eu hysbryd eu hunain.

Adn. 4. *A bu y noson hòno i air yr Arglwydd ddyfod at Nathan*] Rhag iddo ef a Dafydd fod yn hir mewn camgymeriad am adeiladu y tŷ, ac yn enwedig rhag i Dafydd yn ei sel fyned yn rhy fyrbwyll at orchwyl ag yr oedd arall i'w gyflawni. O'r blaen nid oedd Nathan dan ddylanwad proffwydoliaethol, ond yn awr meddiannwyd ef gan ysbrydoliaeth ddwyfol.

Adn. 5. *Ai tydi a adeiledi i mi dŷ?*] Pa fodd y meddyliaist ti am y fath beth? Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, Ni chai di adeiladu i mi dŷ.

Adn. 6. *Canys nid arhosais mewn tŷ*] Sefydlog o'r fath, *er y dydd yr arweiniais blant Israel o'r Aifft*—yr hyn a gymerodd le 449 o flynyddau cyn hyn; *eithr bûm yn rhodio mewn pabell ac mewn tabernacl*—symudol o le i le. Dichon mai y gwahanleni oddifewn a olygir yma wrth y *babell;* ac mae y gwaith coed, wrth y rhai y crogid hwynt, a feddylir wrth y *tabernacl.*

Adn. 7. *A yngenais i air wrth un o lwythau Israel*] Neu *farnwyr* Israel, 1 Cron. xvii. 6, y rhai oeddynt o wahanol lwythau Israel, ac a ofalent am y llwythau. *Paham nad adeiladasoch i mi dŷ o gedrwydd?*—ni orchymynodd Duw iddynt wneyd y fath beth erioed, ac nis ceryddodd hwynt am beidio; a phaham y meddyliai Dafydd am wneyd hyn? Y mae yn amlwg fod Duw yn cymeradwyo y bwriad hwn yn Dafydd, er na chafodd efe y fraint o'i gyflawni: gwel ar adn. 11, a 1 Bren. viii. 18.

Adn. 8. *Ac yn awr fel hyn y dywedi wrth fy ngwas Dafydd*] Yr oedd Dafydd yn was i'r Arglwydd mewn amrai bethau, yn wladol a chrefyddol; ond er hyny nid oedd ef i wneyd yr holl waith, nac i gael yr holl anrhydedd. *Mi a'th gymerais di o'r gorlan*—lle yr oedd efe yn bugeilio defaid ei dad, 1 Sam. xvi. 11. Crybwyllir hyn oll wrth Dafydd, rhag ei ddigaloni wrth nacâu iddo yr anrhydedd o adeiladu y deml.

Adn. 9. *A bûm gyda thi yn mha le bynag y rhodiaist*] Pan yn ngwasanaeth Saul, a phan yn ffoi rhagddo; *torais ymaith hefyd dy holl elynion*—megys Saul ac ereill, yn Israel, a'r Philistiaid a'r Jebusiaid o'i amgylch, adn. 1; *a gwnaethym enw mawr i ti*—fel brenin, rhyfelwr, a buddugoliaethwr; y fath ag a gawsai rhai o'r brenhinoedd a'r cadfridogion mwyaf a fuont erioed ar y ddaear.

10 (Gosodaf hefyd i'm pobl Is-
rael le; a phlanaf ef, fel y trigo efe
yn ei le ei hun, ac na symudo mwy-
ach: a meibion anwiredd ni chwa-
negant ei gystuddio ef, megys gynt;
11 *Sef* er y dydd yr ordeiniais i
farnwyr ar fy mhobl Israel, ac y
rhoddais lonyddwch i ti oddiwrth
dy holl elynion) A'r Arglwydd sydd
yn mynegu i ti, y gwna efe dŷ i ti.
12 ¶ A phan gyflawner dy ddydd-
iau di, a huno o honot gyda'th
dadau, mi a gyfodaf dy had di ar
dy ol, yr hwn a ddaw allan o'th
ymysgaroedd di, a mi a gadarnhaf
ei frenhiniaeth ef.
13 Efe a adeilada dŷ i'm henw i;
minau a gadarnhaf orseddfainc ei
frenhiniaeth ef byth.
14 Myfi a fyddaf iddo ef yn dad,
ac yntau a fydd i mi yn fab. Os
trosedda efe, mi a'i ceryddaf â
gwialen ddynol, ac â dyrnodiau
meibion dynion:
15 Ond fy nhrugaredd nid ymedy
âg ef, megys ag y tynais *hi* oddi

---

Adn. 10. *Gosodaf hefyd i'm pobl Israel le*] Sef holl wlad Canaan, yr hon oedd eto heb ei llwyr feddiannu; *a phlanaf ef*—fel y gwreiddio, y tyfo, ac y parhao yn ei le ei hun: cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth blanu pren, yr hon a ddefnyddir yn fynych am blanu Israel yn Nghanaan. *A meibion anwiredd*—sef yr eilunaddolwyr o'u hamgylch; *ni chwanegant ei gystuddio ef*—megys y gwnaethai yr Aifftiaid gynt yn yr Aifft, a chenhedloedd ereill yn yr anialwch ac yn Nghanaan. Ond y mae Houbigant ac ereill yn darllen yr adnod hon yn yr amser gorphenol: '*Gosodais* hefyd i'm pobl Israel le, a *phlenais* ef;' gan gyfeirio at yr hyn a wnaethid eisioes.

Adn. 11. *Sef er y dydd yr ordeiniais i farnwyr*] Yr oedd Israel ar ol cael barnwyr arnynt, yn gystal a chyn hyny, yn cael eu cystuddio yn dost gan y cenhedloedd o'u hamgylch; *ac y rhoddais lonyddwch i ti oddiwrth dy holl elynion*—gellid meddwl oddiwrth rediad y frawddeg hon, mewn cysylltiad â'r un flaenorol, mai yr ystyr yw, fod meibion anwiredd yn parhau i gystuddio Israel nid yn unig er dyddiau y barnwyr, ond hefyd er y dydd y rhoddodd Duw lonyddwch i Dafydd oddiwrth ei holl elynion, yr hyn sydd wrthddywediad. Gan hyny dylai y gromfach fod o flaen yr adran hon, sef ar ol y gair *Israel:* ac yna cysylltid y frawddeg hon yn briodol âg adn. 9: 'Gwnaethym enw mawr i ti,—*a rhoddais* lonyddwch i ti oddiwrth dy holl elynion:' gwel ar adn. 1. *A'r Arglwydd sydd yn mynegu i ti, y gwna efe dŷ i ti*—nid tŷ o waith dwylaw dynion a feddylir, canys yr oedd gan Dafydd dŷ felly, adn. 2; ond gwneyd teulu lluosog, a'i sicrhau ef a'i had ar orsedd Israel; neu wneyd tŷ ysbrydol iddo, yn ol rhai, sef eglwys o wir dduwiolion. Am fod yn dy fryd di wneyd tŷ iddo ef, efe a wna dŷ i ti.

Adn. 12. *Yr hwn a ddaw allan o'th ymysgaroedd*] Dengys y dull hwn o lefaru ei fod ef yn cyfeirio at ryw un ag ydoedd eto heb ei eni, sef Solomon; ac nad oedd Absalom, Adoniah, ac ereill a hònent hawl yn y frenhiniaeth, wedi cael eu bwriadu iddi, trwy eu bod eisioes wedi eu geni. *A mi a gadarnhaf ei frenhiniaeth ef*—bu Solomon ei hun yn teyrnasu yn hir, a'i hiliogaeth ar ei ol ef; a'r Messia, ei had ef, a deyrnasa yn dragywydd. Felly gellir deall y geiriau canlynol, rhan am Solomon, rhan am ei hiliogaeth ef, a rhan am Grist yn unig, yn ol gwahanol natur yr amrywiol frawddegau.

Adn. 13. *Efe a adeilada dŷ i'm henw i*] Cyfeiria hyn yn gyntaf at Solomon, yr hwn a adeiladodd y deml fateriol yn Jerusalem; ac yna at Grist, yr hwn yw Adeiladydd teml ysbrydol Duw, Zec. vi. 12, 13; 1 Cor. iii. 9—17. *Minau a gadarnhaf orseddfainc ei frenhiniaeth ef byth*—nid yw hyn yn llythyrenol yn cyfeirio at Solomon, canys ni pharhaodd ei frenhiniaeth ef uwchlaw 40 mlynedd, nac eiddo ei hiliogaeth uwchlaw 20 o genedlaethau; ond at Grist, yr hwn sydd â'i 'orseddfainc yn oesoesoedd,' Heb. i. 8; 'ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd,' Luc i. 32, 33: gwel Esay ix. 7.

Adn. 14. *Myfi a fyddaf iddo ef yn dad*] Ymddygaf tuag ato ef gyda holl serchogrwydd tad, ac arddelaf ef fel fy mab anwyl. Meddylir fod hyn yn cyfeirio at Solomon, fel cysgod o Grist; ac at Grist hefyd, fel y mae yn eglur oddiwrth Heb. i. 5. *Os trosedda efe*—yn erbyn fy nghyfreithiau santaidd i; *mi a'i ceryddaf â gwialen ddynol*—trwy gyfodi *dynion* yn wrthwynebwyr iddo i'w geryddu, 1 Bren. xi. 14, 23, 26; *ac â dyrnodiau meibion dynion*—sef â'r fath geryddon ag a ddyry rhieni i'w plant am droseddau, er eu diwygio ac nid er eu dystrywio. Cyfeiria hyn, yn y goleuni yma, yn unig at Solomon ac ereill o hiliogaeth Dafydd, ac nid at Grist, yr hwn ni throseddodd erioed gyfraith ei Dad. Nid oedd Solomon yn gysgod o Grist yn yr hyn oedd *ddrwg,* eithr yn yr hyn oedd *dda;* ac felly y mae y rhan yma o'r testyn yn *terfynu* yn Solomon a'i hiliogaeth; tra yn y pethau ag yr oedd Solomon ynddynt yn gysgod o Grist, y mae y synwyr yn rhedeg *trwy* Solomon at Grist. Ond dylid sylwi fod rhai beirniaid, gan ddeall yr adnod hon fel yn cyfeirio at Grist yn unig, yn ei chyfieithu fel hyn: 'Yn ei *ddyoddefiadau am drosedd,* mi a'i ceryddaf â gwialen ddynol, (sef â gwialen *ddyledus i ddynion,*) ac â dyrnodiau *(dyledus i)* feibion *Adda.*' A rhaid addef fod y golygiad hwn yn gyson ag Esay liii. 4, 5: Efe 'a ddyg ein doluriau,' (sef y doluriau *dyledus* i ni, y rhai y buasai raid i ni pe amgen eu dyoddef:) 'efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni.'

Adn. 15. *Ond fy nhrugaredd nid ymedy âg ef*] Nid am drugaredd *achubol* i'r enaid y

wrth Saul, yr hwn a fwriais ymaith
o'th flaen di.
16 A'th dŷ di a sicrheir, a'th
frenhiniaeth yn dragywydd o'th
flaen di: dy orseddfainc a sicrheir
byth.
17 Yn ol yr holl eiriau hyn, ac yn
ol yr holl weledigaeth hon, felly y
llefarodd Nathan wrth Dafydd.
18 ¶ Yna yr aeth y brenin Da-
fydd i mewn, ac a eisteddodd ger
bron yr Arglwydd; ac a ddywed-
odd, Pwy *ydwyf* fi, O Arglwydd
Dduw? a pheth *yw* fy nhŷ, pan
ddygit fi hyd yma?
19 Ac eto bychan oedd hyn yn dy
olwg di, O Arglwydd Dduw; ond
ti a leferaist hefyd am dŷ dy was
dros hir amser: ai dyma arfer dyn,
O Arglwydd Dduw?
20 A pha beth mwyach a ddywed
Dafydd ychwaneg wrthyt? canys ti
a adwaenost dy was, O Arglwydd
Dduw.
21 Er mwyn dy air di, ac yn ol
dy feddwl dy hun, y gwnaethost yr
holl fawredd hyn, i beri i'th was *eu*
gwybod.
22 Am hyny y'th fawrhawyd, O
Arglwydd Dduw: canys nid *oes* neb
fel tydi, ac nid *oes* Duw onid ti, yn
ol yr hyn oll a glywsom ni â'n
clustiau.
23 A pha un genedl ar y ddaear
*sydd* megys dy bobl, megys Israel,
yr hon yr aeth Duw i'w gwaredu

---

sonir yma, ond am y drugaredd *freniniaethol:* er y ceryddai yr Arglwydd Solomon os troseddai, eto ni fwriai efe ef na'i had o'r frenhiniaeth, megys y bwriesid Saul o'r frenhiniaeth o'i flaen ef. Darfu i lawer gymhwyso yr adnod hon, a'r lleoedd cyfredol, fel prawf o'r athrawiaeth o barhad *diammodol* mewn gras: ond pe caniatäem mai hyny a feddylir yma, gellid nodi yr adnod hon hefyd fel yn cynwys un siampl o *syrthiad* oddiwrth ras; canys dywedir yma fod y drugaredd hòno a addewir i Solomon, wedi cael ei *thynu* oddi wrth Saul. Ond os cymhwyswn y geiriau hyn at Grist, yna yr ystyr yw, na fyddai i'w ddyoddefiadau ef yn lle dynion ei amddifadu o'i frenhiniaeth ysbrydol.

Adn. 16. *A'th dŷ di a sicrheir*] Llwyr ddiffoddodd brenhiniaeth a theulu Saul; ond parhaodd teulu Dafydd hyd ymgnawdoliad Crist; canys yr oedd Joseph a Mair ill dau o deulu Dafydd. *O'th flaen di*—bu Dafydd byw i weled dechre cyflawniad yr addewid hon, yn eisteddiad ei fab Solomon ar yr orsedd; ac â llygad ffydd cafodd weled cyflawniad perffaith o honi yn mrenhiniaeth ei Fab enwocach, sef y MESSIA.

Adn. 17. *Yn ol yr holl eiriau hyn*] A gynwysir o adn. 5 hyd adn. 16; *ac yn ol yr holl weledigaeth hon*—neu y datguddiad a wnaethai yr Arglwydd i Nathan, adn. 4; *felly y llefarodd Nathan*—heb leihau, chwanegu, na chyfnewid gair, er fod hyny yn groes i'r cynghor a roisai efe ar y cyntaf i Dafydd, adn. 3.

Adn. 18. *Yna yr aeth y brenin Dafydd i mewn*] I'r babell; *ac a eisteddodd gerbron yr Arglwydd*—sef gerbron yr arch, yr arwydd o'r presenoldeb dwyfol. Goddefa y gair *jashab*, a gyfieithir yma 'eisteddodd,' ei gyfieithu '*arhosodd* gerbron yr Arglwydd,' gan gyfeirio at ei hir barhad ef yno, ac nid at ei agwedd; canys prin y gallwn feddwl iddo ef weddio yn ei *eistedd* mewn lle mor santaidd, a cherbron y fath Fôd goruchel. *Pwy ydwyf fi, O Arglwydd Dduw?*—pa mor annheilwng ydwyf fi a'm teulu i gael y fath anrhydedd anfeidrol oddiar dy law!

Adn. 19. *Ac eto bychan oedd hyn yn dy olwg di*] Sef fy nghodi i i'r orsedd; *ond ti a leferaist hefyd am dŷ dy was dros hir amser*—ar ol huno o honof fi gyda'm tadau, (adn. 12—16,) y cai fy hiliogaeth barhau yn y frenhiniaeth byth. *Ai dyma arfer dyn*—sef codi un mor isel i anrhydedd mor uchel? Ond dywedir fod y geiriau gwreiddiol, *vezoth torath haadam*, yn arwyddo yn llythyrenol, *a hyn yw cyfraith y dyn*, neu *yr Adda:* fel pe dywedasai, Rhaid fod yr addewid hon yn cyfeirio at y gyfraith neu y trefniad a wnaeth Duw âg Adda mewn perthynas i had y wraig, neu yr ail Adda; neu, Wrth lefaru fel hyn wrth dy was, yr wyt yn fy anrhydeddu i megys yr anrhydeddaist Adda, trwy wneyd cyfammod âg ef a'i hiliogaeth.

Adn. 20. *A pha beth mwyach a ddywed Dafydd?*] Yr oedd efe yn teimlo ei fod yn fyr o eiriau i ryfeddu daioni Duw iddo, i ddiolch am ei ddaioni, ac i ofyn ychwaneg ganddo. *Canys ti a adwaenost dy was*—pa deimlad oedd ganddo o'i waeledd a'i annheilyngdod ei hun, pa ddiolchgarwch oedd yn llenwi ei galon am ddaioni Duw tuag ato, a pha beth fyddai ei anghenion ef rhagllaw: gwyddai Duw hyn oll, a gallai ei ddiwallu ef yn wastadol tuhwnt i ddim a allai Dafydd ei ofyn mewn geiriau. Yn adn. 5 y mae Duw yn galw Dafydd yn *was* iddo; ac yn y weddi hon y mae Dafydd yn ei alw ei hun felly *ddeg* o weithiau.

Adn. 21. *Er mwyn dy air di*] Neu, fel y mae yn 1 Cron. xvii. 19, 'er mwyn dy *was;*' a dywed yr Iuddewon mai Gwas y Tad fel Cyfryngwr, sef y Tragwyddol Air, a feddylir. *Ac yn ol dy feddwl dy hun*—o'th ewyllys da penarglwyddiaethol, heb ddim haeddiant na theilyngdod ynof fi.

Adn. 22. *Am hyny y'th fawrhawyd*] Gan Dafydd a holl Israel; neu 'am hyny *yr ydwyt fawr*,' yn ol y Saesonaeg; sef mawr yn ei allu a'i ddaioni, fel yr oedd ei weithredoedd yn dangos. *Nid oes Duw onid ti*—nid oes un gwir a bywiol dduw: nid oedd neb erioed wedi clywed am un arall.

Adn. 23. *A pha un genedl ar y ddaear, &c.*] Ymddengys fod geiriau Moses ganddo ef mewn golwg: gwel ar Deut. iv. 7, 34. *Ac i*

yn bobl iddo ei hun, ac i osod iddo enw, ac i wneuthur eroch chwi bethau mawr ac ofnadwy dros dy dir, gerbron dy bobl y rhai a waredaist i ti o'r Aifft, *oddiwrth* y cenhedloedd a'u duwiau?

24 Canys ti a sicrheaist i ti dy bobl Israel yn bobl i ti byth: a thi, Arglwydd, ydwyt iddynt hwy yn Dduw.

25 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw, cwblhâ byth y gair a leferaist am dy was, ac am ei dŷ ef, a gwna megys y dywedaist.

26 A mawrhäer dy enw yn dragywydd; gan ddywedyd, Arglwydd y lluoedd *sydd* Dduw ar Israel: a bydded tŷ dy was Dafydd wedi ei sicrhau ger dy fron di.

27 Canys ti, O Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, a fynegaist i'th was, gan ddywedyd, Adeiladaf dŷ i ti: am hyny dy was a gafodd yn ei galon weddio atat ti y weddi hon.

28 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw, tydi *sydd* Dduw, a'th eiriau di sydd wirionedd, a thi a leferaist am dy was y daioni hwn.

29 Yn awr, gan hyny rhynged bodd i ti fendigo tŷ dy was, i fod ger dy fron di yn dragywydd: canys ti, O Arglwydd Dduw, a leferaist, ac â'th fendith di y bendithier tŷ dy was yn dragywydd.

## PENNOD VIII.

AC wedi hyn tarawodd Dafydd y Philistiaid, ac a'u darostyngodd hwynt: a Dafydd a ddyg ymaith Metheg-ammah o law y Philistiaid.

2 Ac efe a darawodd Moab, ac a'u mesurodd hwynt â llinyn, gan eu cwympo hwynt i lawr: ac efe a fesurodd â dau linyn, i ladd; ac â llinyn llawn, i gadw yn fyw. Ac *felly* y Moabiaid fuant i Dafydd yn weision, yn dwyn treth.

---

*wneuthur eroch chwi*—neu 'erddynt *hwy*,' fel y mae y LXX, y Vulgate, a'r Arabaeg yn ei ddarllen; *bethau mawr ac ofnadwy*—megys darostwng y Canaaneaid o flaen Israel, a'u gosod hwythau mewn meddiant o'r wlad trwy wyrthiau a rhyfeddodau.

Adn. 24. *Yn bobl i ti byth*] Os byddent hwy yn ffyddlon i'w gyfammod ef: gwel ar Deut. xxvi. 17—19, a Hos. i. 9.

Adn. 25. *A gwna megys y dywedaist*] Trwy Nathan, adn. 11—16.

Adn. 26. *A mawrhäer dy enw yn dragywydd*] Trwy ddangos i bawb dy fod yn Dduw ar Israel, a thrwy sicrhau y frenhiniaeth yn fy nheulu a'm hiliogaeth i, yn enwedig yn y MESSIA, megys yr addawyd uchod.

Adn. 27. *Am hyny dy was a gafodd yn ei galon weddio atat ti*] Addewid Duw oedd sail a chalondid Dafydd i weddio y weddi hon. Er fod Duw wedi addaw y pethau hyn i Dafydd, ac yn penderfynu eu cyflawni, eto efe a fynai i Dafydd 'ymofyn âg ef i wneuthur y pethau hyn iddo,' Ezec. xxxvi. 37. Ein cefnogi i weddio y mae addewidion Duw, ac nid gwneyd yn afreidiol i ni weddio.

Adn. 28. *A'th eiriau di sydd wirionedd*] Cyflawnir dy holl addewidion hyn yn ddiffael. Y mae y rhanau hyn o'r weddi ffyddiog hon i'w hystyried yn fwy fel gorlifiadau calon ddiolchgar, nag fel erfyniadau neu ddeisyfiadau. Yr oedd ef wedi ei wasgu mor ddwys gan deimlad o fawredd y trugareddau hyn, a'r sierwydd o'u cyflawniad iddo, fel nas gwyddai pa fodd i ymattal oddiwrth son am danynt; a hyn yw y rheswm paham y mae yn taro mor fynych ar yr un tant.

Adn. 29. *Yn dragywydd*] Yr hyn a gyfeiria yn benaf at y MESSIA, a'r bendithion ysbrydol a geir trwyddo ef yn oesoesoedd: gwel ar adn. 13.

PEN. VIII. Adn. 1. *Ac wedi hyn tarawodd Dafydd y Philistiaid*] Bob amser cyn hyn deuai y Philistiaid i wlad Israel; ond yn awr aeth Dafydd i'w gwlad hwy, i ymosod arnynt ar eu tir eu hunain, lle darostyngodd efe hwynt, fel nas gallasant byth orthrymu Israel fel o'r blaen. *A Dafydd a ddyg ymaith Metheg-ammah*—neu 'ffrwyn fy mhobl,' fel yr arwydda y gair. 'Gath a'i phentrefydd,' yw y darlleniad yn 1 Cron. xviii. 1. Trwy fod Gath yn brifddinas y Philistiaid, ac yn meddu brenin ynddi, yr oedd hi megys *ffrwyn* i gadw Israel mewn darostyngiad iddynt, ac i'w hattal rhag dyfod i dir y Philistiaid i'w trechu hwynt.

Adn. 2. *Ac efe a darawodd Moab*] Ar ol darostwng y Philistiaid o du y gorllewin, aeth yn erbyn Moab o du y dwyrain i'r môr marw, a tharawodd hwythau hefyd. Dywed yr Iuddewon i'r Moabiaid ladd rhieni Dafydd (gwel ar 1 Sam. xxii. 3, 4,) ac mai am hyny y rhuthrodd efe arnynt hwy yn awr; ac yr oeddynt bob amser yn elynion greddfol i Israel. *Ac a'u mesurodd hwynt â llinyn*—sef â dau linyn, un i ladd, a'r llall i gadw yn fyw. Fe allai mai yr ystyr yw, ddarfod iddo, ar ol gorchfygu y wlad, ei rhanu yn ddwy ran: un ran, y rhai mwyaf ystyfnig o honynt, *a gwympodd efe i lawr*—gan ladd y trigolion a dinystrio eu dinasoedd, eu cestyll, a'u hamddiffynfeydd; a'r rhan arall, yr hon oedd y rhan luosocaf, ac a elwir yma y *llinyn llawn*, a gadwodd efe *yn fyw*—trwy iddynt dderbyn telerau heddwch, ac ymostwng i'w lywodraeth ef. *Ac felly y Moabiaid fuant i Dafydd yn weision*—yn ddarostyngedig iddo fel ei ddeiliaid; *yn dwyn treth*—yr hyn a wnaethant ei holl ddyddiau ef, a than deyrnasiad Solomon. Ac ar ol i'r deyrnas gael ei rhanu, telid y dreth hon i frenhinoedd Israel hyd ar ol marwolaeth

3 ¶ Tarawodd Dafydd hefyd Hadadezer mab Rehob, brenin Sobah, pan oedd efe yn myned i ennill ei derfynau wrth afon Euphrates.

4 A Dafydd a ennillodd oddiarno ef fil o *gerbydau*, a saith cant o farchogion, ac ugain mil o wŷr traed; a thorodd Dafydd linynau gar *meirch* pob cerbyd, ac efe a adawodd o honynt gan cerbyd.

5 A phan ddaeth y Syriaid o Damascus, i gynorthwyo Hadadezer brenin Sobah, Dafydd a laddodd o'r Syriaid ddwy fil ar hugain o wŷr.

6 A Dafydd a osododd swyddogion yn Syria Damascus; a'r Syriaid a fuant weision i Dafydd, yn dwyn treth. A'r Arglwydd a gadwodd Dafydd yn mha le bynag yr aeth efe.

7 Dafydd hefyd a gymerth y tarianau aur oedd gan weision Hadadezer, ac a'u dyg hwynt i Jerusalem.

8 O Betah hefyd, ac o Berothai, dinasoedd Hadadezer, y dyg y brenin Dafydd lawer iawn o bres.

9 ¶ Pan glybu Toi brenin Hamath, daro o Dafydd holl lu Hadadezer;

10 Yna Toi a anfonodd Joram ei fab at y brenin Dafydd, i gyfarch gwell iddo, ac i'w fendithio, am iddo ymladd yn erbyn Hadadezer, a'i faeddu ef (canys gwr rhyfelgar oedd Hadadezer *yn erbyn* Toi) a llestri arian, a llestri aur, a llestri pres, ganddo:

11 Y rhai hefyd a gysegrodd y brenin Dafydd i'r Arglwydd, gyda'r arian a'r aur a gysegrasai efe, o'r holl genhedloedd a oresgynasai efe;

12 Oddiar Syria, ac oddiar Moab, ac oddiar feibion Ammon, ac oddiar y Philistiaid, ac oddiar Amalec, ac o anrhaith Hadadezer mab Rehob, brenin Sobah.

---

Ahab, pryd y gwrthodasant ei thalu, 2 Bren. iii. 4, 5.

Adn. 3. *Brenin Sobah*] Sobah oedd ran o Syria, i'r gogledd-ddwyrain o Ganaan, o du y deau i Damascus, ac yn cyraedd hyd yr Euphrates. *Pan oedd efe yn myned i ennill ei derfynau wrth afon Euphrates*—tybia Clarke mai Hadadezer oedd yn myned i estyn ei derfynau y pryd hyn; ond y mae yn debycach mai am Dafydd y dywedir hyn, yr hwn a wyddai fod yr holl wlad y ffordd hòno wedi ei haddaw gan Dduw i Abraham, Gen. xv. 18.

Adn. 4. *A Dafydd a ennillodd oddiarno ef fil o gerbydau*] Nid yw y gair *cerbydau* yn yr Hebraeg yma, eithr ceir ef yn 1 Cron. xviii. 4, yn mha lyfr y mae llawer o bethau yn cael eu hegluro, y rhai a grybwyllir yn fyr yma. *A saith cant o farchogion*—neu 'saith gant o *gwmnïau* o farchogion,' yr hyn a wna yn y cyfan *saith mil*, fel y mae yn 1 Cron. xviii. 4, trwy fod deg yn mhob cwmni, a phob cwmni yn meddu swyddog neu gadben arnynt. Ond y mae y LXX yn darllen yma 'saith mil.' *Ac ugain mil o wŷr traed*—y rhai yr oedd yn hawdd eu cymeryd ar ol ennill y cerbydau a'r marchogion. *A thorodd Dafydd linynau gar meirch pob cerbyd*—neu, fel y mae yn yr Hebraeg, 'A Dafydd a ddadgymalodd yr holl gerbydau;' a thybia Clarke mai dyfetha y *cerbydau* yn unig a olygir yma. Ond yr oedd Duw wedi gorchymyn i Josua dori llinynau garau meirch y Canaaneaid, yn gystal a llosgi eu cerbydau â thân: gwel ar Jos. xi. 6, 9. *Ac efe a adawodd o honynt gan cerbyd*—nid i'w defnyddio mewn rhyfel, onidê efe a gadwasai y cwbl, ond i fod yn goffadwriaeth o'i fuddugoliaeth, neu i gludo eu celfi.

Adn. 5. *A Dafydd a laddodd o'r Syriaid ddwy fil ar hugain*] A chan iddo ladd y rhai hyn, y mae yn debyg iddo ladd gwŷr Hadadezer hefyd, adn. 4.

Adn 6. *A Dafydd a osododd swyddogion yn Syria Damascus*] Neu finteioedd o filwyr dan swyddogion mewn gwahanol barthau o'r wlad, i gadw y Syriaid yn ddarostyngedig i'w lywodraeth ef. *A'r Syriaid a fuant weision i Dafydd*—gwel ar adn. 2. *A'r Arglwydd a gadwodd Dafydd*—rhag cael niwed yn yr holl ryfeloedd hyn; ac yr oedd hyny yn brawf ei fod ef yn gweithredu yn ol ewyllys Duw.

Adn. 7. *Y tarianau aur oedd gan weision Hadadezer*] Tybia rhai mai tlysau ac addurniadau aur a feddylir, y rhai a wisgid gan brif swyddogion y brenin yn unig; neu a berthynent i'r brenin ei hun, ac a osodwyd dan ofal rhai o'i weision ef; *ac a'u dyg hwynt i Jerusalem*—fel yspail rhyfel, ac a ddefnyddiwyd ond odid at wasanaeth y deml yn amser Solomon.

Adn. 8. *O Betah hefyd, ac o Berothai*] Yn 1 Cron. xviii 8, gelwir y dinasoedd hyn *Tibhath* a *Chun*. Y mae yn debyg fod yr Hebreaid yn eu galw ar un enw, a'r Syriaid ar yr enw arall; er y tybia rhai fod pedair dinas yn cael eu bwriadu. *Llawer iawn o bres*—o'r hwn y gwnaeth Solomon y môr pres, a'r colofnau a'r llestri pres.

Adn. 9. *Pan glybu Toi brenin Hamath*] Hamath oedd deyrnas fechan arall yn Syria, i'r hon yr oedd Hadadezer yn elyn cryf.

Adn. 10. *I gyfarch gwell iddo, ac i'w fendithio*] I ddangos parch iddo am faeddu gelyn ei dad, ac i ddymuno ei lwyddiant ef yn barhaus. *Canys gŵr rhyfelgar oedd Hadadezer yn erbyn Toi*—wedi bod yn ymosod arno yn fynych, i geisio dwyn ei deyrnas oddiarno. *A llestri arian, a llestri aur, a llestri pres*—yn anrhegion i Dafydd, er ennill ei ffafr a'i amddiffyniad.

Adn. 11, 12. *Y rhai hefyd a gysegrodd y brenin Dafydd i'r Arglwydd*] At adeiladaeth y deml a'i dodrefn, fel yr arferai wneyd â'r anrhaith a gymerai efe yn ei ryfeloedd â gwahanol genhedloedd, adn. 12.

13 A Dafydd a ennillodd *iddo* enw, pan ddychwelodd efe o ladd y Syriaid, yn nyffryn yr halen, *sef* tair mil ar bymtheg.
14 ¶ Ac efe a osododd benaethiaid ar Edom; ar holl Edom y gosododd efe benaethiaid, a bu holl Edom yn weision i Dafydd. A'r Arglwydd a gadwodd Dafydd, i ba le bynag yr aeth efe.
15 A theyrnasodd Dafydd ar holl Israel; ac yr oedd Dafydd yn gwneuthur barn a chyfiawnder i'w holl bobl.
16 A Joab mab Serfiah *oedd ben* ar y llu; a Jehosaphat mab Ahilud yn gofiadur:
17 A Sadoc mab Ahitub, ac Ahimelech mab Abiathar *oedd* offeiriaid; a Seraiah yn ysgrifenydd;
18 Benaiah hefyd mab Jehoiada *oedd ar* y Cerethiaid a'r Pelethiaid; a meibion Dafydd oedd dywysogion.

## PENNOD IX.

A DAFYDD a ddywedodd, A oes eto un wedi ei adael o dŷ Saul, fel y gwnelwyf drugaredd âg ef, er mwyn Jonathan?
2 Ac *yr oedd* gwas o dŷ Saul a'i enw Siba. A hwy a'i galwasant ef at Dafydd. A'r brenin a ddywedodd wrtho ef, Ai tydi *yw* Siba? A dywedodd yntau, Dy was *yw efe.*

---

Adn. 13. *A Dafydd a ennillodd iddo enw*] Fel rhyfelwr dewr, a buddugwr digyffelyb. Ond y mae y Targum yn ei ddarllen, 'Dafydd a gasglodd *finteioedd*;' sef i lenwi ei fyddin ar ol dychwelyd o ladd y Syriaid; a gellir meddwl fod ei fynych frwydrau wedi teneuo ei fyddin i raddau mawrion. *Yn nyffryn yr halen*—gwastadedd eang, yn llawn o ffynnonau heilltion, oddeutu tair milldir oddiwrth ddinas Palmyra, neu Tadmor yn yr anialwch. *Sef tair mil ar bymtheg*—yn 1 Cron. xviii. 12, dywedir i Abisai, nai Dafydd, ac un o'i dywysogion ef, ladd deunaw mil o *Edomiaid* yn nyffryn yr halen. Fe allai mai Edomiaid yn ymladd o blaid y Syriaid oeddynt, ac am hyny gelwir hwy yn *Edomiaid* yno, ac yn *Syriaid* yma.

Adn. 14. *Ac efe a osododd benaethiaid ar Edom*] I gadw yr Edomiaid mewn darostyngiad iddo ef, fel y gwnaethai o'r blaen yn Syria: gwel ar adn. 6. Yn awr y dechreuwyd cyflawni rhagfynegiad Rebecca, Gen. xxv. 23, a phroffwydoliaeth Balaam, Num. xxiv. 18.

Adn. 15. *A theyrnasodd Dafydd ar holl Israel*] Ar holl wlad yr addewid yn yr ystyr helaethaf, o afon yr Aifft hyd afon Euphrates, Gen. xv. 18; *ac yr oedd Dafydd yn gwneuthur barn*—yn llywodraethu ei holl bobl yn gyfiawn yn ol cyfraith Duw.

Adn. 16. *A Joab mab Serfiah oedd ben ar y llu*] Neu dywysog y filwriaeth; ac efe a gafodd yr anrhydedd hwn, nid am ei fod yn nai i Dafydd, ond am daraw o hono y Jebusiaid, pen. v. 8. *A Jehosaphat mab Ahilud yn gofiadur*—yn ysgrifenu mewn llyfr bob peth o bwys yn y fyddin neu y llywodraeth, ac yn coffâu i'r brenin y pethau ag yr oedd yn rhaid iddo ef eu gwneuthur ar amserau penodol. Yr oedd brenhinoedd y dwyrain yn cadw dyddlyfr o hanes eu teyrnasiad: gwel Esther vi. 1.

Adn. 17. *A Sadoc mab Ahitub, ac Ahimelech mab Abiathar, oedd offeiriaid*] Sef yr offeiriaid penaf dan Abiathar, yr hwn ei hun oedd yr *archoffeiriad* y pryd hyn, ac hyd amser Solomon, 1 Bren. ii. 26, 27; *a Seraiah yn ysgrifenydd*—sef ysgrifenydd y cyfringynghor, neu brif gynghorwr y brenin yn y gyfraith. Dichon fod swyddau Jehosaphat a Seraiah yn gwahaniaethu yn hyn, fod un yn ysgrifenydd mewn pethau gwladol, a'r llall mewn pethau eglwysig.

Adn. 18. *Benaiah hefyd mab Jehoiada*] Am ddewrder hwn gwel ar pen. xxiii. 20—23; *oedd ar y Cerethiaid a'r Pelethiaid*—'gwŷr gard' Dafydd y gelwir y rhai hyn yn pen. xxiii. 23; a diamau mai rhyw filwyr enwog am eu dewrder a'u ffyddlondeb i'r brenin oeddynt, fel yr ymddengys oddiwrth pen. xv. 18, a xx. 7, 1 Bren. i. 38, 44. Tybia rhai, oddiwrth eu henwau, mai Philistiaid oeddynt o genedl; ond prin y gallwn feddwl y cymerasai Dafydd rai felly i'w wasanaeth. Y mae y Galdeaeg yn cyfieithu y rhai hyn yn *bwäwyr* a *thaflwyr*, sef rhai medrus i saethu â bwäau, ac i daflu cerig â ffyn tafl; a dichon fod gan Dafydd ddwy fyddin felly yn osgorddlu brenhinol iddo, ar y rhai yr oedd Benaiah yn gadfridog. *A meibion Dafydd oedd dywysogion*—o ran swydd a gwaedoliaeth. Fel hyn, ar ol i'r hanesydd santaidd grybwyll am deyrnasiad uniawn a chyfiawn Dafydd, adn. 15, y mae efe yn ebrwydd yn rhoddi enwau a swyddau prif weinidogion ei deyrnas ef; canys y mae y rhan fwyaf o ddoethineb a dedwyddwch brenin, fel y sylwa Delany, yn gynwysedig yn y dewisiad o weinidogion galluog i gyflawni swyddau mawrion y llywodraeth.

PEN. IX. Adn. 1. *A oes eto un wedi ei adael o dŷ Saul?*]. Ar ol i Dafydd orphen ei ryfeloedd, a sefydlu ei deyrnas a'i lys, efe a ddechreuodd feddwl pa rwymedigaethau oedd arno i dŷ Saul, ac yn enwedig i Jonathan. *Fel y gwnelwyf drugaredd âg ef*—yn ol y cyfammod a wnaed rhwng Dafydd a Jonathan, 1 Sam. xx. 15, &c. Gan nad oedd Mephiboseth ond deuddeg mlwydd a hanner oed pan aeth Dafydd yn frenin ar holl Israel, pen. iv. 4, a'i fod yn awr yn *dad*, adn. 12, rhaid mai yn mhen llawer o flynyddoedd ar ol ei wneyd yn frenin ar holl Israel y gwnaeth Dafydd yr ymofyniad hwn.

Adn. 2. *Ac yr oedd gwas o dŷ Saul a'i enw Siba*] Dywed yr Iuddewon mai Canaanead oedd y gwas hwn, yr hwn na ryddhawyd byth, ond a barhäai yn feddiant i'w blant ar ei ol, yn ol y gyfraith, Lef. xxv. 45, 46: gwel ar adn. 10.

3 A dywedodd y brenin, A *oes* neb
eto o dŷ Saul, fel y gwnelwyf dru-
garedd Duw âg ef? A dywedodd
Siba wrth y brenin, Y *mae* eto fab i
Jonathan, yn gloff o'*i* draed.
4 A dywedodd y brenin wrtho, Pa
le *y mae* efe? A Siba a ddywedodd
wrth y brenin, Wele ef yn nhŷ Ma-
chir, mab Ammïel, yn Lo-debar.
5 ¶ Yna y brenin Dafydd a anfon-
odd, ac a'i cyrchodd ef o dŷ Machir,
mab Ammïel, o Lo-debar.
6 A phan ddaeth Mephiboseth mab
Jonathan, mab Saul, at Dafydd, efe
a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ym-
grymodd. A Dafydd a ddywedodd,
Mephiboseth. Dywedodd yntau,
Wele dy was.
7 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrtho
ef, Nac ofna; canys gan wneuthur
y gwnaf drugaredd â thi, er mwyn
Jonathan dy dad, a mi a roddaf yn
ei ol i ti holl dir Saul dy dad; a thi
a fwytâi fara ar fy mwrdd i yn was-
tadol.
8 Ac efe a ymgrymodd, ac a ddy-
wedodd, Beth *ydyw* dy was di, pan
edrychit ar gi marw o'm bath i?
9 ¶ Yna y brenin a alwodd ar Siba
gwas Saul, ac a ddywedodd wrtho,
Yr hyn oll oedd eiddo Saul, ac eiddo
ei holl dŷ ef, a roddais i fab dy
feistr di.
10 A thi a erddi y tir iddo ef, ti,
a'th feibion, a'th weision, ac a'u
dygi i mewn, fel y byddo bara i fab
dy feistr di, ac y bwytao efe: a
Mephiboseth, mab dy feistr di, a
fwyty yn wastadol fara ar fy mwrdd
i. Ac i Siba yr *oedd* pymtheg o
feibion, ac ugain o weision.
11 Yna y dywedodd Siba wrth y
brenin, Yn ol yr hyn oll a orchym-
ynodd fy arglwydd y brenin i'w was,
felly y gwna dy was. Yna *y dywed-
odd Dafydd,* Mephiboseth a fwyty

---

Adn. 3. *Fel y gwnelwyf drugaredd Duw âg ef*] Hyny yw, y drugaredd *fwyaf;* megys gelwir taranau *mawrion* yn 'daranau *Duw*,' Exod. ix. 28: ac heblaw hyny, yr oedd y drugaredd hon yn ol cyfammod Duw, yn debyg i weithredoedd Duw, ac er gogoniant i Dduw. *Yn gloff o'i draed*—gwel ar pen. iv. 4.

Adn. 4. *Wele ef yn nhŷ Machir*] Ymddengys fod Machir yn ŵr haelionus iawn, yr hwn a letyai Mephiboseth o wir dosturi, ac a fu dda wrth Dafydd wedi hyn er ei fwyn ef, pen. xvii. 27—29. *Yn Lo-debar*—meddylir mai lle yn Gilead, tuhwnt i'r Iorddonen, oedd hwn; a bod Mephiboseth wedi cilio yno, rhag ofn i Dafydd ei ladd ef fel etifedd yr orsedd; ac mai hyn oedd yr achos nas gwyddai Dafydd fod mab i Jonathan wedi ei adael.

Adn. 5. *Yna y brenin Dafydd a anfonodd*] Genadau i'w gyrchu ef, yn mhlith y rhai ond odid yr oedd Siba yn un.

Adn. 6. *Efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ymgrymodd*] I ddangos ei barch a'i ymostyngiad i'r brenin. *A Dafydd a ddywedodd, Mephiboseth!*—y mae Dafydd yn ei gyfarch ef wrth ei enw; ac wrth weled ei fod yn gloff o'i ddau droed, a chofio am yr anwyldeb mawr ag oedd rhyngddo a Jonathan ei dad ef, gallwn feddwl fod ei ymysgaroedd yn cynhesu yn ddirfawr tuag ato ef.

Adn. 7. *Nac ofna*] Dichon fod Mephiboseth yn amlygu rhyw arwyddion o ofn, rhag y lladdai Dafydd ef, i ddiogelu yr orsedd iddo ei hun; ac yma y mae y brenin yn ei annog i beidio ofni dim niwed oddiwrtho ef, eithr dysgwyl pob tiriondeb er mwyn ei dad. *Mi a roddaf yn ei ol i ti holl dir Saul dy dad*—neu ei *daid*, adn. 6. Ar ol marw Isboseth, yr oedd tiroedd Saul wedi dyfod i Dafydd, naill ai fel tiroedd y goron; neu yn hawl Michal ei wraig, merch Saul; neu ynte fel tiroedd fforffetiedig iddo ef am wrthryfel Isboseth. *A thi a fwytâi fara ar fy mwrdd i yn wastadol*—fel un o'i gyfeillion anwylaf, neu ei berthynasau agosaf; canys nis gallai Mephiboseth gymeryd un swydd yn y llys, o herwydd ei gloffni. Hyn oedd yr anrhydedd mwyaf a allai un deiliad ei fwynhau, fel y gallwn weled oddi wrth Luc xxii. 30. Ond tybia rhai mai hawl i le wrth fwrdd y brenin ar y gwleddoedd cyhoeddus yn unig a feddylir, trwy fod cynyrch y tir yn cael ei ddarparu er ei gynaliaeth reolaidd ef, adn. 10.

Adn. 8. *Pan edrychit ar gi marw o'm bath i?*] Ymadrodd yn arwyddo ei feddwl distadl ef am dano ei hun, o herwydd ei gloffni ac iselder ei amgylchiadau. Yr oedd ci byw yn cael ei ystyried yn greadur gwael ac aflan, a llawer mwy felly ci marw: gwel ar 1 Sam. xxiv. 14.

Adn. 9. *A roddais i fab dy feistr di*] Sef i *Mephiboseth* mab Jonathan, mab Saul, meistr cyntaf Siba. Ond tybia rhai mai i *Micha*, mab Mephiboseth, a feddylir.

Adn. 10. *A thi a erddi y tir iddo ef*] Ymddengys fod Siba a'i deulu i ofalu am yr holl etifeddiaeth, a'i hamaethu ar eu cost eu hunain, gan roddi hanner y cynyrch i deulu Mephiboseth; *fel y byddo bara i fab dy feistr di*—sef i *Micha* mab Mephiboseth, fel y tybia rhai; tra yr oedd *Mephiboseth* mab Jonathan i fwyta yn wastadol ar fwrdd y brenin. Ond os *Mephiboseth* ei hun a feddylir yma, rhaid mai ar amseroedd nodedig, megys y newyddloerau, (gwel 1 Sam. xx. 24—27,) yr oedd efe i fwyta ar fwrdd y brenin, fel y nodwyd ar adn. 7.

Adn. 11. *Felly y gwna dy was*] Y mae Siba yn addaw yn dêg iawn yma, y gwnai efe bob peth yn ol gorchymyn Dafydd; ond efe a drôdd allan yn dwyllodrus wedi hyn: gwel ar pen. xvi. 1—4, a xix. 26, 27. *Yna y dywedodd Dafydd, Mephiboseth a fwyty ar fy mwrdd i*—nid yw y geiriau 'y dywedodd Dafydd' yn yr Hebraeg; a chan mai Siba

ar fy mwrdd i, fel un o feibion y
brenin.
12 Ac i Mephiboseth *yr oedd* mab
bychan, a'i enw *oedd* Micha. A
phawb a'r *a oedd* yn cyfaneddu tŷ
Siba *oedd* weision i Mephiboseth.
13 A Mephiboseth a drigodd yn
Jerusalem: canys ar fwrdd y brenin
yr oedd efe yn bwyta yn wastadol:
ac yr oedd efe yn gloff o'u ddau-
droed.

## PENNOD X.

AC ar ol hyn y bu i frenin meibion
Ammon farw, a Hanun ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
2 Yna y dywedodd Dafydd, Mi a
wnaf garedigrwydd â Hanun mab
Nahas, megys y gwnaeth ei dad ef
garedigrwydd â mi. A Dafydd a
anfonodd gyda'i weision i'w gysuro
ef am ei dad. A gweision Dafydd a
ddaethant i wlad meibion Ammon.
3 A thywysogion meibion Ammon
a ddywedasant wrth Hanun eu har-
glwydd, Wyt ti yn tybied mai an-
rhydeddu dy dad di y mae Dafydd,
o herwydd iddo ddanfon cysurwyr
atat ti? onid er mwyn chwilio y
ddinas, a'i throedio, a'*i* dyfetha, yr
anfonodd Dafydd ei weision atat ti?
4 Yna Hanun a gymerth weision
Dafydd, ac a eilliodd hanner eu
barfau hwynt, ac a dorodd eu dillad
hwynt yn *eu* hanner, hyd eu cluniau,
ac a'u gollyngodd hwynt ymaith.
5 Pan fynegwyd *hyn* i Dafydd,
efe a anfonodd i'w cyfarfod hwynt;
canys y gwŷr oedd wedi cywilyddio
yn fawr. A dywedodd y brenin,

---

sydd yn llefaru yn nechre yr adnod, dichon mai Siba a lefarodd y geiriau hyn, gan addaw yn ymffrostgar y cai Mephiboseth fywioliaeth fel un o feibion y brenin ar ei fwrdd ef.

Adn. 12. *Ac i Mephiboseth*] Yr hwn yn debygol a briodasai yn Lo-debar, adn. 4; *yr oedd mab bychan, a'i enw oedd Micha*—crybwyllir amrai genedlaethau o'i hiliogaeth ef yn 1 Cron. viii. 34—40. *Oedd weision i Mephiboseth*—yn gystal ag i *Siba*, adn. 10, trwy eu bod yn rhanog am gynyrch y tir.

Adn. 13. *Ac yr oedd efe yn gloff o'i ddaudroed*] Neu, '*er ei fod* yn gloff o'i ddaudroed,' nid attaliodd hyny y brenin rhag ei groesawu ef ar ei fwrdd gyda'r tiriondeb mwyaf.

PEN. X. Adn. 1. *Bu i frenin meibion Ammon farw*] Sef Nahas, yr hwn a orchfygwyd gan Saul lawer blwyddyn cyn hyn, 1 Sam. xi.

Adn. 2. *Megys y gwnaeth ei dad ef garedigrwydd â mi*] Ond odid pan yr oedd Dafydd yn gorfod ffoi yma a thraw rhag Saul. Fe allai iddo ddanfon lluniaeth iddo ef a'i wŷr, neu eu gwahodd hwy ato ef i wlad Ammon er eu diogelwch, a hyny nid o gariad at Dafydd, ond o gâs at Saul, gan obeithio gallu gorchfygu Saul rywbryd trwy goleddu yr annghydfod rhwng Dafydd ac ef: gwel ar 1 Sam. xxii. 4. *A Dafydd a anfonodd gyda'i weision i'w gysuro ef am ei dad*—yr hyn yr arferai brenhinoedd heddychol â'u gilydd ei wneyd yn y dyddiau hyny, ac eto hefyd.

Adn. 3. *Wyt ti yn tybied mai anrhydeddu dy dad di y mae Dafydd?*] A wyt ti mor ffol a meddwl fod Dafydd yn ddiragrith yn hyn? *Onid er mwyn chwilio y ddinas*—o ran ei chyfoeth; *a'i throedio*—neu ei cherdded, i weled ei manau gweinion, a pha le y gellid dyfod i mewn iddi hawddaf; *a'i dyfetha*—trwy ladd ei thrigolion a llosgi y ddinas ar ol hyn, y danfonodd efe ei weision atat ti yn awr?

Adn. 4. *Yna Hanun a gymerth weision Dafydd*] Gan gredu yr hyn a ddywedasai ei dywysogion am danynt; *ac a eilliodd hanner eu barfau hwynt*—sef un ochr i wyneb pob un ond odid; *ac a dorodd eu dillad hwy yn eu hanner*—ar gyfer eu cluniau, gan adael y rhanau hyny o'u cyrff yn noethion, y rhai yr oedd gweddeidd-dra yn gofyn eu gorchuddio; *ac a'u gollyngodd hwynt ymaith*—yn yr agwedd warthus a noeth hon, i fod yn wrthddrychau gwawd a dirmyg gan bawb a'u gwelent. Hyn oedd y gwarth mwyaf a allasai efe ei roddi arnynt; canys yr oedd barf hir a dillad llaesion yn cael eu hystyried yn y dwyrain yn arwyddion o anrhydedd; ïe, mewn rhai manau, yr oedd tori y farf yn cael edrych arno nid yn unig fel yr anfri mwyaf, ond hefyd fel y gosp drymaf. Yn mhlith yr Indiaid a'r Persiaid gorchymyna y brenin i'r troseddwyr mwyaf gael eu heillio, yr hyn yw y gosp drymaf a all efe ei gweinyddu arnynt tu yma i'w dienyddio; ac yn Sparta, pan droai y milwyr eu cefn yn nydd y frwydr, yr oeddynt yn gorfod ymddangos wedi eillio hanner eu barfau. Yr oedd tri rheswm gan y dwyreinwyr dros barchu eu barfau: (1) Am eu bod yn ei hystyried yn addurn naturiol, wedi ei fwriadu i wahaniaethu rhyngddynt a'r rhyw *fenywaidd*, pan nad oedd nemawr o wahaniaeth yn eu gwisgoedd hwynt. (2) Yr oedd yn arwydd o *ryddid*, mewn gwrthgyferbyniad i *gaethweision*. (3) Arferent hefyd *dyngu* i'w barfau, ac ystyrient y llw hwnw yr un mwyaf rhwymiadol. Felly, ar bob ystyriaeth, yr oedd y dirmyg a'r sarhad a ddanghosodd Hanun i deyrn-genadau Dafydd yn drosedd o'r radd uwchaf, y mwyaf a allai efe ei ddangos iddynt tu yma i'w lladd: yr oedd yn droseddiad o ddeddf natur, yn gystal ag o hawliau cenhedloedd, ac yn bechod yn erbyn cyfraith Dduw: gwel Lef. xix. 27.

Adn. 5. *Arhoswch yn Jericho hyd oni thyfo eich barfau*] Dyma y lle cyntaf y daethant iddo yn Nghanaan ar ol croesi yr Iorddonen. Er nad oedd Jericho wedi cael ei hadeiladu byth er pan ddinystriwyd hi gan Josua, (gwel ar Jos. vi. 26,) eto yr oedd yno rai tai bugeiliaid ac ereill, lle y gallent aros

Arhoswch yn Jericho hyd oni thyfo
eich barfau chwi; ac *yna* dychwel-
wch.
6 ¶ A meibion Ammon a welsant
eu bod yn ffiaidd gan Dafydd; a
meibion Ammon a anfonasant ac a
gyflogasant y Syriaid o Beth-rehob,
a'r Syriaid *o* Soba, ugain mil o wŷr
traed, a chan frenin Maachah fil o
wŷr, ac o Istob ddeuddeng mil o
wŷr.
7 A phan glybu Dafydd, efe a
anfonodd Joab, a holl lu y cedyrn.
8 A meibion Ammon a ddaethant,
ac a luniaethasant ryfel *wrth* ddrws
y porth: a'r Syriaid *o* Soba, a
Rehob, ac *o* Istob, a Maachah, *oedd*
o'r neilldu yn y maes.
9 Pan ganfu Joab fod wyneb y
rhyfel yn ei erbyn ef yn mlaen ac
yn ol, efe a etholodd o holl ethol-
edigion Israel, ac a ymfyddinodd
yn erbyn y Syriaid.
10 A gweddill y bobl a roddes
efe dan law Abisai ei frawd, i'w
byddino yn erbyn meibion Ammon.
11 Ac efe a ddywedodd, Os trech
fydd y Syriaid na mi, yna bydd di i
mi yn gynorthwy: ond os meibion
Ammon fyddant trech na thi, yna y
deuaf i'th gynorthwyo dithau.
12 Bydd bybyr, ac ymwrolwn
dros ein pobl, a thros ddinasoedd
ein Duw: a gwnaed yr Arglwydd
yr hyn fyddo da yn ei olwg ef.
13 A nesaodd Joab a'r bobl *oedd*
gydag ef, yn erbyn y Syriaid i'r
rhyfel: a hwy a ffoisant o'i flaen ef.
14 A phan welodd meibion Am-
mon ffoi o'r Syriaid, hwythau a
ffoisant o flaen Abisai, ac a aethant
i'r ddinas. A dychwelodd Joab
oddiwrth feibion Ammon, ac a
ddaeth i Jerusalem.
15 ¶ A phan welodd y Syriaid
eu lladd o flaen Israel, hwy a ym-
gynullasant yn nghyd.
16 A Hadarezer a anfonodd, ac a
ddyg y Syriaid *oedd* o'r tuhwnt i'r
afon: a hwy a ddaethant i Helam,

---

yn annghyhoedd hyd oni byddent yn gymhwys i ymddangos yn mhlith eu cydraddolion. *Ac yna dychwelwch*—i'r llys i Jerusalem. Gallwn feddwl oddiwrth hyn i Dafydd anfon dillad iddynt gyda'i weision ar y pryd.

Adn. 6. *A meibion Ammon a welsant eu bod yn ffiaidd gan Dafydd*] Fod eu hymddygiad hwy tuag at ei genadau ef wedi ei ddigio yn fawr, ac y byddai efe yn debyg o ddial yn llym arnynt; ac am hyny cyflogasant 33,000 o filwyr eu cymydogion, yn chwanegol at eu milwyr eu hunain, i wrthsefyll Dafydd, neu i ymosod arno.

Adn. 7. *Efe a anfonodd Joab, a holl lu y cedyrn*] Nid arhosodd Dafydd i'r gelynion ddyfod i'w dir ef, eithr danfonodd ei filwyr i'w tir hwynt, i ymosod arnynt yn eu gwlad eu hunain.

Adn. 8. *A meibion Ammon a ddaethant*] O'u holl ddinasoedd; *ac a luniaethasant ryfel wrth ddrws y porth*—sef porth dinas Medeba; *a'r Syriaid*—cyflogedig, oeddynt o'r neilldu yn y maes, yn cynllwyn tu ol i fyddin Joab.

Adn. 9. *Pan ganfu Joab*] Eu bod wedi rhanu eu byddinoedd yn ddwy dorf, yr Ammoniaid o'i flaen ef, a'r Syriaid tu ol iddo; *efe a etholodd*—efe a ranodd ei fyddin ei hun yn ddwy ran, gan ddewis y milwyr goraf i ymosod ar y Syriaid, y rhai ond odid oeddynt luosocach neu ddewrach na'r Ammoniaid.

Adn. 10. *A gweddill y bobl a roddasai efe dan law Abisai ei frawd*] Yr hwn oedd yn rhyfelwr dewr fel yntau; *i'w byddino yn erbyn meibion Ammon*—tra yr oedd Joab ei hun yn arwain y lleill yn erbyn y Syriaid.

Adn. 11. *Os trech fydd y Syriaid na mi*] Yr hyn y gallai Abisai ei wybod wrth weled gwŷr Joab yn cilio; *yna bydd di i mi yn gynorthwy*—trwy ddanfon rhan o'th fyddin atom ni. Yr oedd hon yn ddarpariaeth gall o bob tu.

Adn. 12. *Bydd bybyr*] Bydd ddewr a chalonog; *ac ymwrolwn dros ein pobl*—fel na ddarostynger hwy i gaethiwed; *a thros ddinasoedd ein Duw*—rhag i eilunaddoliaeth gael ei hail sefydlu yn ninasoedd Canaan, yn lle addoliad y gwir Dduw. Fel hyn eu rhyddid, eu gwlad, a'u crefydd, yn fwy na dial am anmharchu gweision Dafydd, oedd rhesymau Joab i annog ei filwyr i bybyrwch a gwrolder. *A gwnaed yr Arglwydd yr hyn fyddo da yn ei olwg ef*—os gwnaent hwy eu dyledswydd, yr oedd ef yn hyderu y byddai rhagluniaeth Duw o'u plaid; ond os na fyddai, yr oedd am ymostwng i ewyllys yr Arglwydd. Y *moddion* oedd eiddynt hwy, a'r *canlyniad* oedd eiddo yr Arglwydd, i roddi y fuddugoliaeth iddynt neu beidio.

Adn. 13. *A hwy a ffoisant o'i flaen ef*] Am na allent sefyll yn erbyn Israel; a dichon nad oeddynt yn chwennych sefyll ychwaith, gan mai ymladd am gyflog yr oeddynt, a'u bod wedi cael eu tâl yn mlaenllaw, 1 Cron. xix. 6.

Adn. 14. *A phan welodd meibion Ammon ffoi o'r Syriaid*] Yn y rhai y rhoisent gymaint o ymddiriad; *hwythau a ffoisant*—i ddinas Medeba, yr hon oedd yn ddigon cadarn i'w hamddiffyn hwy am dro; *a dychwelodd Joab*—yn fuddugoliaethus i Jerusalem, i hysbysu ei lwyddiant i Dafydd.

Adn. 15. *Ymgynullasant yn nghyd*] I ystyried pa beth oedd oraf ei wneuthur dan y fath amgylchiadau. Ofnent y dialai Dafydd yn mhellach arnynt am gynorthwyo yr Ammoniaid, a barnent mai gwell oedd darparu byddin ddigon cref i'w hamddiffyn eu hunain os ymosodai efe arnynt.

Adn. 16. *A Hadarezer*] Yr hwn a orchfygwyd o'r blaen gan Dafydd, pen. viii. 3, &c.,

a Sobach tywysog llu Hadarezer o'u blaen.

17 A phan fynegwyd i Dafydd *hyny,* efe a gasglodd holl Israel, ac a aeth dros yr Iorddonen, ac a ddaeth i Helam: a'r Syriaid a ymfyddinasant yn erbyn Dafydd, ac a ymladdasant âg ef.

18 A'r Syriaid a ffoisant o flaen Israel; a Dafydd a laddodd o'r Syriaid, *wŷr* saith cant *o* gerbydau, a deugain mil o wŷr meirch: ac efe a darawodd Sobach tywysog eu llu hwynt, fel y bu efe farw yno.

19 A phan welodd yr holl frenhinoedd *oedd* weision i Hadarezer, eu lladd hwynt o flaen Israel, hwy a heddychasant âg Israel, ac a'u gwasanaethasant hwynt. A'r Syriaid a ofnasant gynorthwyo meibion Ammon mwyach.

## PENNOD XI.

AC wedi pen y flwyddyn, yn yr amser y byddai y brenhinoedd yn myned allan *i ryfel,* danfonodd Dafydd Joab a'i weision gydag ef, a holl Israel; a hwy a ddistrywiasant feibion Ammon, ac a warchaeasant ar Rabbah: ond Dafydd oedd yn aros yn Jerusalem.

2 ¶ A bu ar brydnawn-gwaith gyfodi o Dafydd oddiar ei wely, a rhodio ar nen tŷ y brenin: ac oddiar

---

ac a elwir yno *Hadadezer;* ac felly y gelwir ef yma gan oddeutu 30 o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi. Trwy fod y *resh* a'r *daleth* (sef y ddwy lythyren Hebreig *r* a *d*) yn debyg iawn i'w gilydd, yr oedd yn hawdd i adysgrifenwyr roddi y naill yn lle y llall. *A ddyg y Syriaid oedd o'r tuhwnt i'r afon*—sef afon Euphrates; *i Helam*—rhyw le yn Syria, rhwng yr Iorddonen a'r Euphrates. Dywed Josephus fod byddin Hadadezer y tro hwn yn 80,000 o wŷr traed, a 10,000 o wŷr meirch, heblaw y cerbydwyr.

Adn. 17. *Ac a aeth dros yr Iorddonen*] Felly aeth Dafydd ei hun i'r rhyfel y tro hwn, ond odid gyda Joab; a phan welodd y Syriaid ef a'i wŷr yn dyfod, trefnasant eu byddinoedd yn y fan i'w wrthsefyll.

Adn. 18. *A Dafydd a laddodd o'r Syriaid wŷr saith gant o gerbydau*] Yn 1 Cron. xix. 18, dywedir eu bod yn *saith mil.* Y mae yn dra thebyg fod yr Iuddewon gynt, megys y maent yn fynych eto, yn ysgrifenu eu niferoedd mewn *llythyren rifedigol,* ac nid mewn *geiriau llawn;* a chan fod llawer o'r llythyrenau Hebreig yn dra thebyg i'w gilydd, gallai camgymeriadau ymlusgo i mewn yn hawdd. Y mae y llythyren *nun* yn sefyll am 700; a'r llythyren *zain,* yr hon sydd yn debyg iawn iddi, gyda nodyn bychan uwch ei phen, yn sefyll am 7,000; a gallasai tebygolrwydd y rhai hyn i'w gilydd beri i adysgrifenydd anwyliadwrus roddi y naill yn lle y llall. *A deugain mil o wŷr meirch*—yn 1 Cron. xix. 18, gelwir hwynt yn *wŷr traed.* Dichon fod y gwŷr meirch a'r gwŷr traed wedi cydymgymysgu, fel ag y lladdwyd o honynt yn y cwbl ddeugain mil, rhwng y gwŷr meirch a'r gwŷr traed. Ond tybia Houbigant y dylai yr adnodau hyn gael eu darllen, 'Dafydd a laddodd o'r Syriaid saith mil o wŷr meirch, saith gant o gerbydwyr, a deugain mil o wŷr traed.'

Adn. 19. *A phan welodd yr holl frenhinoedd oedd weision i Hadarezer*] Gan mai efe oedd y brenin cryfaf yn y parthau hyny, ymddengys fod ganddo lawer o is-frenhinoedd dano ef, neu wedi cael eu cyflogi ganddo i ddyfod yn erbyn Dafydd. *Hwy a heddychasant âg Israel, ac a'u gwasanaethasant hwy*—megys y gwnaeth Hadarezer ei hun hefyd yn ddiamau, trwy dalu teyrnged neu dreth i Dafydd. Yn hyn cyflawnwyd addewid Duw i Abraham, yr hon a adnewyddwyd wedi hyny i Josua, o roddi y wlad i'w had ef, 'o afon yr Aifft hyd afon Euphrates:' gwel ar Gen. xv. 18, a Jos. i. 2—4. *A'r Syriaid a ofnasant gynorthwyo meibion Ammon mwyach*—trwy eu bod wedi cael eu gorchfygu ganddynt bob tro, adn. 13, 18. Crybwyllir hyn fel rheswm paham nad aethant allan i'w cynorthwyo yn yr ymosodiad nesaf, pen. xi. 1. Fel hyn, mewn yspaid ugain mlynedd, ennillodd Dafydd wyth o frwydrau mawrion, i'r rhai yr aethai efe yn gyfiawn, ac o'r rhai y daeth allan yn anrhydeddus.

PEN. XI. Adn. 1. *Ac wedi pen y flwyddyn*] Heb. 'yn nychweliad y flwyddyn;' neu ar ol i'r flwyddyn hòno ddiweddu, ac i'r llall ddechreu; sef yn mis Abib, tua diwedd Mawrth neu ddechre Ebrill: gwel ar Exod. xii. 2. *Yn yr amser y byddai y brenhinoedd yn myned allan i ryfel*—pan fyddai y ddaear yn addas i'r milwyr deithio, ac wedi dwyn ymborth i ddyn ac anifel. Tybia Calmet i'r ymosodiad yn y bennod flaenorol gymeryd lle yn yr *hydref,* a hwn yn y *gwanwyn,* am fod y gauaf yn rhy oer i'r fath waith, a'r haf yn rhy wresog, yn y gwledydd hyny. *Danfonodd Dafydd Joab*—yn nghyda holl filwyr Israel, dros yr Iorddonen i wlad yr Edomiaid, lle y llosgodd efe eu dinasoedd, y lladdodd eu trigolion, ac y gwarchaeodd ar Rabbah, yr hon o'r diwedd a ennillodd efe, pen. xii. 26. *Ond Dafydd oedd yn aros yn Jerusalem*—crybwyllir hyn fel arweiniad i'r hanes alarus a ganlyn. Nid aml yr arhosai Dafydd gartref yn segur, tra yr oedd ei fyddin allan yn rhyfela; a phe buasai ef yn awr ar lwybr ei ddyledswydd fel arferol, ni syrthiasai efe i'r pechod gwarthus a ganlyn.

Adn. 2. *A bu ar brydnawn-gwaith gyfodi o Dafydd oddiar ei wely*] Lle y buasai efe yn ymorphwyso oddiwrth wres yr haul ar ol ciniaw, pen. iv. 5; *a rhodio ar nen tŷ y brenin*—i ymadfywio trwy yr awel oeraidd ac iachusol; canys yr oedd nen tai y dwyrain yn lleddf neu wastad, lle yr oedd rhodfeydd a chanllawiau, Deut. xxii. 8; *efe a ganfu wraig*

y nen efe a ganfu wraig yn ymolchi;
a'r wraig *oedd* dêg iawn yr olwg.
3 A Dafydd a anfonodd ac a ym-
ofynodd am y wraig: ac *un* a ddy-
wedodd, Onid hon *yw* Bathseba
merch Elïam, gwraig Urïas yr Heth-
iad?
4 A Dafydd a anfonodd genadau,
ac a'i cymerth hi; a hi a ddaeth i
mewn ato ef, ac efe a orweddodd
gyda hi (ac yr oedd hi wedi ei glan-
hau oddiwrth ei haflendid) a hi a
ddychwelodd i'w thŷ ei hun.
5 A'r wraig a feichiogodd, ac a
anfonodd ac a fynegodd i Dafydd,
ac a ddywedodd, *Yr ydwyf* fi yn
feichiog.
6 ¶ A Dafydd a anfonodd at Joab,
*gan ddywedyd,* Danfon ataf fi Urïas
yr Hethiad. A Joab a anfonodd
Urïas at Dafydd.
7 A phan ddaeth Urïas ato ef,
Dafydd a ymofynodd am lwyddiant
Joab, ac am lwyddiant y bobl, ac
am ffyniant y rhyfel.
8 Dywedodd Dafydd hefyd wrth
Urïas, Dos i waered i'th dŷ a golch
dy draed. Ac Urïas a aeth allan o
dŷ y brenin, a saig y brenin a aeth
ar ei ol ef.
9 Ond Urïas a gysgodd wrth
ddrws tŷ y brenin gyda holl weision
ei arglwydd, ac nid aeth i waered
i'w dŷ ei hun.
10 Yna y mynegasant i Dafydd,
gan ddywedyd, Nid aeth Urïas i
waered i'w dŷ ei hun. A Dafydd a
ddywedodd wrth Urïas, Onid o'*th*
daith yr ydwyt ti yn dyfod? paham
nad ait ti i waered i'th dŷ dy hun?
11 A dywedodd Urïas wrth Da-
fydd, Yr arch, ac Israel hefyd, a

---

*yn ymolchi*—mewn baddon yn yr ardd ond odid, i ymlanhau oddiwrth ei haflendid seremonïol yn ystod saith niwrnod ei gwahaniaeth: gwel ar Lef. xv. 19, &c. *A'r wraig oedd dêg iawn yr olwg*—o ran llun ei chorff, a lliw ei thegwch pryd; ac ymddengys ei bod yn fenyw ieuanc hefyd, gan iddi gael pedwar neu bump o blant wedi hyn.

Adn. 3. *A Dafydd a anfonodd ac a ymofynodd am y wraig*] Pwy oedd hi, beth oedd ei henw, ac a ydoedd hi yn briod ai peidio. *Onid hon yw Bathseba merch Elïam?*—yn 1 Cron. iii. 5, gelwir hi 'Bathsua merch Amiel;' eithr nid yw yr enw olaf ond Elïam wedi trawsgyfleu y llythyrenau: gwel y sylw yno. *Gwraig Urïas yr Hethiad*—yr oedd ef yn Hethiad o genedl, ond wedi ymbroselytio i'r grefydd Iuddewig. Yn ol yr Hebraeg, geiriau Dafydd ei hun yw y rhai hyn: 'Dafydd a anfonodd ac a ymofynodd am y wraig, ac a ddywedodd, Onid hon yw Bathseba, &c.?' ac felly yr oedd ei euogrwydd yn fwy, gan y gwyddai ei bod yn wraig i un o'i filwyr ffyddlonaf ef, yr hwn oedd allan gyda'r fyddin.

Adn. 4. *A Dafydd a anfonodd genadau, ac a'i cymerth hi*] O'i thŷ ei hun i'w balas ef, nid trwy drais, ond trwy ddarbwylliad. *Ac efe a orweddodd gyda hi*—yr hyn oedd yn odineb deublyg, fel y dywed yr Iuddewon, trwy fod Dafydd yn ŵr priod, a hithau yn wraig briod. *Ac yr oedd hi wedi ei glanhau oddiwrth ei haflendid*—ac felly yn yr adeg fwyaf tebygol i feichiogi, fel y dywed naturiaethwyr. *A hi a ddychwelodd i'w thŷ ei hun*—ond odid bore dranoeth, a hyny gyda chydwybod euog, a llawn o ddychryn; canys yr oedd hi wedi gwneuthur pechod am yr hwn yr oedd y gyfraith yn ei chondemnio i gael ei llabyddio, Ioan viii. 5.

Adn. 5. *A'r wraig a feichiogodd*] Deallodd cyn hir fod ei phechod yn debyg o ddyfod i'r amlwg; *ac a fynegodd i Dafydd*—fel y gallai ef ddyfeisio rhyw lwybr i guddio gwarth y ddau, a'i chadw hithau rhag eiddigedd ei gŵr a chosp y gyfraith.

Adn. 6. *A Dafydd a anfonodd at Joab*] I Rabbah, lle yr oedd Urïas gydag ef yn gwarchae ar y ddinas hòno, adn. 1, yr hon oedd oddeutu 56 o filldiroedd o Jerusalem. *Danfon ataf fi Urïas yr Hethiad*—y mae yn debyg i Dafydd orchymyn cael hanes am ansawdd y rhyfel gydag ef, fel esgus dros ei ddanfon ef adref; ond gwir amcan Dafydd wrth ei gyrchu adref oedd, fel y byddai iddo orwedd gyda'i wraig am ychydig nosweithiau, fel y gellid meddwl mai efe oedd tad y plentyn.

Adn. 7. *A phan ddaeth Urïas ato ef*] Yr hyn a wnaeth fel cenad ffyddlon cyn myned i'w dŷ ei hun at ei wraig; *Dafydd a ymofynodd am lwyddiant Joab*—pa fodd yr oedd ef a'i bobl yn ymdaro, a pha argoel oedd am gymeryd y ddinas.

Adn. 8. *Dos i waered i'th dŷ*] I gymeryd esmwythder a gorphwysdra am ychydig ddyddiau; *a golch dy draed*—ar ol dy daith; ac onid oedd hyn yn awgrymiad iddo fyned i'w wely gyda'i wraig? *A saig y brenin a aeth ar ei ol ef*—sef bara, cig, a gwin, meddai yr Iuddewon, fel trwy fwyta ac yfed yn helaeth y byddai yn fwy awyddus i wneuthur ewyllys y brenin. Gallwn dybied nad oedd efe eto yn meddwl lladd Urïas, na chymeryd Bathseba yn wraig; ac na wnaethai ef y naill na'r llall ped aethai Urïas i'w dŷ ei hun y noson hòno.

Adn. 9. *Ond Urïas a gysgodd wrth ddrws tŷ y brenin*] Fel gwir filwr, efe a orweddodd yr holl noson hòno gyda gwarchawdlu y brenin, heb fyned adref at ei wraig. Hyn a wnaeth efe trwy ddylanwad dirgel Duw ar ei feddwl, fel y byddai i bechod Dafydd gael ei ddwyn i'r amlwg, er ei holl gynlluniau ef i'w gelu.

Adn. 10. *Onid o'th daith yr ydwyt ti yn dyfod?*] Ac felly nid oeddwn i yn dysgwyl i ti gadw gwyliadwriaeth wrth fy nrws i gyda'r gwarchawdlu brenhinol. *Paham nad ait ti i waered i'th dŷ dy hun*—i gael ychydig esmwythder ac amgeledd gan dy wraig, cyn dychwelyd o honot at Joab i Rabbah?

Adn. 11. *Yr arch, ac Israel hefyd, a Juda, sydd yn aros mewn pebyll*] Yr oedd yr arch

Juda, sydd yn aros mewn pebyll; a
Joab fy arglwydd, a gweision fy ar-
glwydd, sydd yn gwersyllu ar hyd
wyneb y maes: a âf fi gan hyny i'm
tŷ fy hun, i fwyta ac i yfed, ac i
orwedd gyda'm gwraig? *fel mai*
byw di, ac *fel mai* byw dy enaid di,
ni wnaf y peth hyn.
12 A Dafydd a ddywedodd wrth
Urïas, Aros yma eto heddyw, ac y
fory y'th ollyngaf di. Ac Urïas a
arhosodd yn Jerusalem y dwthwn
hwnw a thranoeth.
13 A Dafydd a'i galwodd ef, i fwy-
ta ac i yfed ger ei fron ef, ac a'i
meddwodd ef: ac yn yr hwyr efe a
aeth i orwedd ar ei wely gyda gweis-
ion ei arglwydd, ac nid aeth i waered
i'w dŷ ei hun.
14 ¶ A'r bore yr ysgrifenodd Da-
fydd lythyr at Joab, ac a'i hanfon-
odd yn llaw Urïas.
15 Ac efe a ysgrifenodd yn ei lythyr
gan ddywedyd, Gosodwch Urïas ar
gyfer wyneb y rhyfelwyr glewaf; a
dychwelwch oddiar ei ol ef, fel y
tarawer ef, ac y byddo marw.
16 A phan oedd Joab yn gwarchae
ar y ddinas, efe a osododd Urïas yn
y lle y gwyddai efe *fod* gwŷr nerth-
ol ynddo.
17 A gwŷr y ddinas a aethant allan,
ac a ymladdasant â Joab: a syrth-
iodd *rhai* o'r bobl o weision Dafydd;
ac Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd.
18 ¶ Yna Joab a anfonodd, ac a fy-
negodd i Dafydd holl hanes y rhyfel:
19 Ac a orchymynodd i'r genad,
gan ddywedyd, Pan orphenech lef-
aru holl hanes y rhyfel wrth y brenin:

---

mewn pabell ar fynydd Seion, pen. vi. 17, a milwyr Israel a Juda mewn pebyll ar faes y rhyfel o flaen Rabbah; neu dichon fod yr arch gyda hwy yn awr yn y rhyfel, fel yr oedd weithiau, 1 Sam. iv. 4, a xiv. 18. *A Joab fy arglwydd, a gweision fy arglwydd*—sef prif-dywysog y filwriaeth, a'r swyddogion dano ef, y rhai a wahaniaethid fel hyn oddiwrth y milwyr cyffredin; *sydd yn gwersyllu ar hyd wyneb y maes*—yn amddifad o gysuron teuluaidd, er eu bod mewn swyddau uchel. *A âf fi gan hyny i'm tŷ fy hun, &c.?*—hyn oedd atebiad milwr dewr, ffyddlon, a hunanymwadol. Ni fydd i mi ymanwesu ac ymfoethuso, pan y mae fy holl gydfilwyr yn dyoddef caledi, ac hyd yn nod arch yr Arglwydd mewn perygl. Gallai un dybied fod calon Dafydd yn teimlo yn awr, wrth feddwl y fath gam a wnaethai efe â dyn mor ragorol, ac mor ffiaidd yr ymdroisai efe mewn pleserau pechadurus! *Fel mai byw di, &c.*—cyn wired a'th fod di yn fyw, a bod dy enaid yn fyw, nid ymddygaf felly, pan y mae gwŷr mor urddasol yn dyoddef y fath galedi dros eu gwlad a'u brenin.

Adn. 12. *Aros yma eto heddyw*] Gan obeithio yr âi efe adref at ei wraig y noson hòno; *ac y fory y'th ollyngaf di*—gan awgrymu nad allai ei lythyrau at Joab fod yn barod hyd hyny. *Ac Urïas a arhosodd yn Jerusalem*—y dydd hwnw a thranoeth, heb fyned adref at ei wraig yn ol ei lw uchod.

Adn. 13. *A Dafydd a'i galwodd ef*] I giniawa neu swpera gydag ef; *ac a'i meddwodd ef*—fel y byddai iddo annghofio ei lw, ac y byddai i'w nwydau anianol ef gael eu tanio gan nerth y gwin: *ac yn yr hwyr*—yn lle myned adref at ei wraig, efe a aeth i gysgu i luestfa y milwyr fel o'r blaen: gwel ar adn. 9.

Adn. 14. *A'r bore yr ysgrifenodd Dafydd lythyr at Joab*] Ar ol clywed nad aeth Urïas i'w dŷ y noson hòno ychwaith, efe a gynlluniodd i'w lofruddio ef, fel yr unig ffordd i guddio ei odineb ei hun; a thybiai na byddai neb wedi hyny yn gallu profi nad Urïas oedd tad y plentyn. *Ac a'i hanfonodd yn llaw Urïas*—wedi ei selio â sêl y brenin; ond ychydig a feddyliai efe, ei fod yn cario ei warant angenol ei hun!

Adn. 15. *Gosodwch Urïas ar gyfer wyneb y rhyfelwyr glewaf*] Ar gyfer y rhan hòno o gaerau y ddinas, lle yr oedd y rhyfel boethaf a'r perygl fwyaf; *a dychwelwch oddiar ei ol ef*—gadewch ef yno wrtho ei hun, fel, pan welo yr Ammoniaid hyny, y byddo iddynt ruthro arno a'i ladd.

Adn. 16. *Efe a osododd Urïas*] Fel yr oedd Dafydd wedi gorchymyn yn ei lythyr. Y mae yn debyg iddo amlygu yn ei lythyr ei fod am roddi terfyn ar einioes Urïas yn ddirgelaidd, a dichon iddo fynegu yr achos o hyny; canys gwyddai Joab y byddai y newydd am ei farwolaeth ef yn ddymunol iawn gan Dafydd, adn. 21, 24. Er fod Joab yn rhwym o ufyddhau i'w frenin, eto nid oedd hyny yn anfoddhaol ganddo yn yr achos hwn, gan nad allai Dafydd mwyach ddannod iddo ef ei fod wedi tywallt gwaed gwirion: gwel ar pen. iii. 28, &c.

Adn. 17. *A syrthiodd rhai o'r bobl*] Yr oedd hyn yn chwanegu pechod Dafydd, trwy fod amrai fywydau yn cael eu haberthu wrth geisio dyfetha Urïas, y rhai pe amgen a allasent fod o wasanaeth i'w gwlad. *Ac Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd*—hyny oedd y peth a fwriedid trwy y ddyfais hon; ac nid oedd waeth gan Dafydd a Joab pa nifer o fywydau a gollid, ond cael dyfetha Urïas ffyddlon a diniwed!

Adn. 18. *Holl hanes y rhyfel*] Pa fodd y dygwyd yn mlaen y gwarchae, a pha lwydd neu aflwydd a gawsent, ac yn enwedig pa fodd y bu yn yr ymosodiad diweddaf, pan syrthiodd Urïas. Yn wir, hyn oedd y prif beth i'w fynegu: nid oedd holl hanes arall y rhyfel y waith hon ddim amgen na ffug dros yr un peth hwn.

Adn. 19. *Pan orphenech lefaru*] Dywed am syrthiad Urïas, yr hyn a dawela ei ysbryd ef, os cyfyd ei lidiogrwydd wrth glywed hanes y pethau ereill.

Adn. 20. *Oni wyddech y taflent hwy*] Saes. 'y *saethent* oddiar y mur;' neu y taflent *gerig* fel yn achos Abimelec: gwel ar adn. 21.

20 Os cyfyd llidiogrwydd y brenin, ac os dywed wrthyt, Paham y nesasoch at y ddinas i ymladd? oni wyddech y taflent hwy oddiar y gaer?
21 Pwy a darawodd Abimelech mab Jerubbeseth? onid gwraig a daflodd arno ef ddarn o faen melin oddiar y mur, fel y bu efe farw yn Thebes? paham y nesasoch at y mur? yna y dywedi, dy was Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd.
22 ¶ Felly y genad a aeth, ac a ddaeth ac a fynegodd i Dafydd yr hyn oll yr anfonasai Joab ef o'i blegid.
23 A'r genad a ddywedodd wrth Dafydd, Yn ddiau y gwŷr oeddynt drech na ni, ac a ddaethant atom ni i'r maes, a ninau a aethom arnynt hyd ddrws y porth.
24 A'r saethyddion a saethasant at dy weision oddiar y mur; a *rhai* o weision y brenin a fuant feirw; a'th was Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd.
25 Yna Dafydd a ddywedodd wrth y genad, Fel hyn y dywedi di wrth Joab; na fydded hyn ddrwg yn dy olwg di: canys y naill fel y llall a ddyfetha y cleddyf: cadarnha dy ryfel yn erbyn y ddinas, a distrywia hi; a chysura dithau ef.
26 ¶ A phan glybu gwraig Urïas farw Urïas ei gwr, hi a alarodd am ei phriod.
27 A phan aeth y galar heibio, Dafydd a anfonodd, ac a'i cyrchodd hi i'w dŷ, i fod iddo yn wraig; a hi a ymddyg iddo fab. A drwg yn ngolwg yr Arglwydd oedd y peth a wnaethai Dafydd.

## PENNOD XII.

A'R Arglwydd a anfonodd Nathan at Dafydd. Ac efe a ddaeth ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Dau ŵr

Adn. 21. *Pwy a darawodd Abimelec mab Jerubbeseth?*] Neu Jerubbaal, yr hwn yw Gedeon: am newidiad yr enwau hyn gwel ar Barn. vi. 32. *Onid gwraig a daflodd arno ef ddarn o faen melin oddiar y mur?*—fel yr adroddir yn Barn. ix. 53. Dengys hyn fod milwyr Dafydd yn dra chyfarwydd yn yr ysgrythyrau; a gallwn feddwl fod llyfr y Barnwyr y pryd hyny wedi ei gasglu yn nghyd. *Paham y nesasoch at y mur?*—a chwithau yn gwybod oddiwrth y siampl uchod fod perygl mawr yn hyny? *Yna y dywedi, Dy was Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd*—yr hyn oedd y newydd dymunol ag y dysgwyliai Dafydd ei glywed, adn. 19.

Adn. 22. *Felly y genad a aeth*] O Rabbah i Jerusalem, yr hyn oedd daith diwrnod a noswaith, adn. 6.

Adn. 23. *Y gwŷr oeddynt drech na ni*] Sef gwŷr Rabbah, y rhai a amddiffynent y ddinas; *ac a ddaethant atom ni i'r maes*—lle y syrthiodd rhai o weision Dafydd, adn. 17; canys hyny a feddylir wrth eu bod yn *drech* na hwynt; *a ninau* a *aethom arnynt hwy*—gyrasom hwynt yn ol, a chanlynasom hwynt hyd ddrws porth y ddinas.

Adn. 24. *A'r saethyddion a saethasant at dy weision oddiar y mur*] Pan yr oeddym yn erlid eu brodyr hyd borth y ddinas; *a rhai o weision y brenin a fuont feirw*—yno hefyd yn gystal ag ar y maes; *a'th was Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd*—pan yr oedd yn ymladd yn wrol ei hunan dros ei frenin a'i genedl, adn. 15.

Adn. 25. *Na fydded hyn ddrwg yn dy olwg di*] Na ddigaloned ac na ofidied Joab o herwydd colli o hono y frwydr y tro hwn, nac am iddo golli rhai o'i filwyr ffyddlonaf. Nid oedd waeth gan Dafydd pa nifer o'i wŷr oedd wedi syrthio y tro hwn, gan i Urïas syrthio; ac ni fynai i Joab ychwaith ofidio na digaloni. *Canys y naill fel y llall a ddyfetha y cleddyf*—y mae pawb yn agored i'r un ddamwain a'u gilydd mewn rhyfel. Yr oedd hyn yn rhagrith o'r fath waethaf yn Dafydd; canys efe a wyddai yn dda mai nid damwain oedd marwolaeth Urïas, ond ei fod ef ei hun wedi peri ei wthio et megys ar fin cleddyf meibion Ammon! *Cadarnha dy ryfel yn erbyn y ddinas*—ymosoda arni gyda mwy o rym, nes ei llwyr ddinystrio hi. *A chysura dithau ef*—sef Joab a'i filwyr, â'r geiriau hyn oddiwrthyf fi.

Adn. 26. *Hi a alarodd am ei phriod*] Yn fwy o ran ffurf, gallwn feddwl, nag o ran gofid. 'Tywalltai ddeigryn anfoddlon, a gwthiai riddfaniad o galon iach!'

Adn. 27. *A phan aeth y galar heibio*] Yr hwn ni pharhäai yn gyffredin uwchlaw saith niwrnod, 1 Sam. xxxi. 13; ac nis gallai natur yr achos oddef oediad hwy, rhag i enedigaeth ry fore y plentyn ddatguddio pechod Dafydd. *Dafydd a anfonodd, ac a'i cyrchodd hi i'w dŷ*—i'w phriodi yn ol defod y dyddiau hyny. *A hi a ymddyg iddo fab*—wedi ei genhedlu mewn godineb deublyg, adn. 4. *A drwg yn ngolwg yr Arglwydd oedd y peth a wnaethai Dafydd*—yr oedd yn angenrheidiol crybwyll hyn, rhag i ogoniant rhinweddau blaenorol Dafydd dueddu neb i feddwl fod ei feiau ef yn cael eu hesgusodi, neu yn cael edrych arnynt yn ddibwys gan y Duw santaidd a chyfiawn.

PEN. XII. Adn. 1. *A'r Arglwydd a anfonodd Nathan at Dafydd*] Yn ebrwydd ond odid ar ol geni y plentyn, pan yr oedd gelynion crefydd yn dechreu cablu o herwydd pechod Dafydd, adn. 14. *Ac efe a ddaeth ato ef*—fel pe buasai ganddo ryw gŵyn cyfreithiol i'w osod ger ei fron ef oddiwrth ŵr tylawd; *ac a ddywedodd wrtho*—mewn ffordd o DDAMMEG, yn ol arferiad mynych y dwyreinwyr, fel y byddai i Dafydd yn ddiarwybod gyhoeddi dedfryd yn ei erbyn ei hun. Yr hyn oedd llythyr

oedd yn yr un ddinas; y naill yn gyfoethog, a'r llall yn dylawd.
2 Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o ddefaid a gwartheg;
3 A chan y tylawd nid *oedd* dim ond un oenig fechan, yr hon a brynasai efe, ac a fagasai; a hi a gynyddasai gydag ef, a chyda'i blant: o'i damaid ef y bwytai hi, ac o'i gwpan ef yr yfai hi, ac yn ei fynwes ef y gorweddai hi, ac yr oedd hi iddo megys merch.
4 Ac ymdeithydd a ddaeth at y gwr cyfoethog; ond efe a arbedodd gymeryd o'i ddefaid ei hun, ac o'i wartheg ei hun, i arlwyo i'r ymdeithydd a ddaethai ato; ond efe a gymerth oenig y gwr tylawd, ac a'i parotôdd i'r gwr a ddaethai ato.
5 A digofaint Dafydd a enynodd yn ddirfawr wrth y gwr; ac efe a ddywedodd wrth Nathan, *Fel mai* byw yr Arglwydd, euog o farwolaeth *yw* y gwr a wnaeth hyn.
6 A'r oenig a dâl efe adref yn bedwar dyblyg; o herwydd iddo wneuthur y peth hyn, ac nad arbedodd.
7 ¶ A dywedodd Nathan wrth Dafydd, Ti *yw* y gwr. Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel; Myfi a'th eneiniais di yn frenin ar Israel, myfi hefyd a'th waredais di o law Saul:
8 Rhoddais *hefyd* i ti dŷ dy arglwydd, a gwragedd dy arglwydd yn dy fynwes, a mi a roddais i ti dŷ Israel a Juda; a phe rhy fychan *fuasai hyny*, myfi a roddaswn i ti fwy o lawer.

---

Dafydd yn llaw Urïas, pen. xi. 14, hyny oedd y ddammeg hon yn llaw Dafydd. *Dau ŵr oedd yn yr un ddinas*—nid yw yn angenrheidiol fod pob peth mewn dammeg yn cyfateb yn mhob amgylchiad; canys y mae rhai pethau i'w hystyried fel addurniadau cyflenwol: digon yw fod i'r prif bwnc gael cyfeirio ato mewn llinellau eglur.

Adn. 2. *Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o ddefaid a gwartheg*] Gan gyfeirio at amrai wragedd a gordderchadon Dafydd, y rhai a ddylasent fod yn ddigon iddo.

Adn. 3. *A chan y tylawd nid oedd dim ond un oenig fechan*] Nid oedd gan Urïas ddim ond un wraig, yr hon a elwir yma yn oenig fechan, ond odid, am fod Bathseba yn llawer ieuangach nag ef; *yr hon a brynasai efe*—yr oedd dynion yn fynych yn prynu eu gwragedd yn y dyddiau hyny, trwy roddi swm o arian i'w rhieni am danynt: gwel ar Gen. xxix. 20, a xxxiv. 12. *A chyda'i blant*—o'i wraig flaenorol: ond gwel ar adn. 1.

Adn. 4. *Ac ymdeithydd a ddaeth at y gŵr cyfoethog*] Gellir cymhwyso hyn at Satan, yr hwn sydd yn temtio dynion i bechodau; neu at drachwant cnawdol Dafydd, yr hwn a barodd iddo grwydro o'i dŷ ei hun i chwenychu gwraig gŵr arall. *Efe a gymerth oenig y gŵr tylawd*—nid yw Nathan yn son am y llofruddiad a wnaed i guddio y godineb, rhag y buasai i Dafydd ddeall ei feddwl ef cyn cyhoeddi y ddedfryd.

Adn. 5. *A digofaint Dafydd a enynodd yn ddirfawr wrth y gŵr*] Wrth ystyried yr amgylchiadau dan ba rai yr ymddygasai y lleidr. *Euog o farwolaeth yw y gŵr a wnaeth hyn*—yn angerdd ei nwyd ddigofus y dywedodd Dafydd hyn, canys nid oedd y lleidr, yn ol y gyfraith, ond i dalu pedair dafad am ddafad, Exod. xxii. 1. Modd bynag, nid oedd y farn hon a gyhoeddodd efe ar arall yn ormod am ei bechod ef ei hun, sef am ei odineb, heb son am ei lofruddiaeth, Lef. xx. 10.

Adn. 6. *A'r oenig a dâl efe adref yn bedwar dyblyg*] Neu yn bedwar *plyg*, sef ar ei bedwaredd, yn ol y gyfraith. Y mae Dafydd yma fel pe bai yn galw y ddedfryd marwolaeth yn ol, ac yn ymgadw at lythyren y gyfraith ar y fath achos Fel hyn gorfu i Dafydd, yn nhrefn ddwyfol rhagluniaeth, dalu y ddyled bedwar plyg hon, trwy golli *pedwar* o'i feibion trwy farwolaeth anamserol: Y *mab* hwn o Bathseba, ar yr hwn y gosodasai Dafydd ei galon, a darawyd gan yr Arglwydd; *Amnon* a laddwyd trwy orchymyn ei frawd Absalom; *Absalom* a laddwyd gan Joab yn y dderwen; ac *Adoniah* a laddwyd trwy orchymyn ei frawd Solomon.

Adn. 7. *A dywedodd Nathan wrth Dafydd, Ti yw y gŵr!*] Y fath air dychrynllyd oedd hwn, yn cael ei draethu gyda holl ddifrifwch barnwr wrth gyhoeddi dedfryd marwolaeth uwchben llofrudd! Gallwn feddwl fod ei wyneb yn gwelwi, ei liniau yn curo yn nghyd, a'i galon fel yn marw ynddo, wrth glywed y fath ymadrodd annysgwyliadwy! *Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel*—y mae Nathan yn awr yn llefaru, nid fel dadleuwr dros ŵr tylawd, ond fel teyrn-genadwr oddiwrth Jehofa! *Myfi a'th eneiniais di yn frenin ar Israel*—fel hyn y mae efe yn mwyhau pechod Dafydd trwy grybwyll y rhwymedigaethau oedd arno ef i Dduw, yr hwn a'i codasai ef o gyflwr isel i'r frenhiniaeth, ac a'i gwaredasai o'r peryglon a'r cyfyngderau mwyaf.

Adn. 8. *Rhoddais hefyd i ti dŷ dy arglwydd*] Pob peth a berthynai i Saul fel *brenin*, a ddaethant yn naturiol i Dafydd fel ei olynydd ef. *A gwragedd dy arglwydd*—nid ydym yn darllen ond am un wraig i Saul, a Rispah ei ordderchwraig ef; ac ni chawn hanes i'r rhai hyny gael eu rhoddi i Dafydd, nac i Dafydd eu cymeryd i orwedd gyda hwy. Yn wir yr oedd gwraig Saul lawer yn hŷn na Dafydd, ac yn fam i Michal ei wraig ef, ac felly buasai yn annghyfreithlon iddo ef ei chymeryd hi, Lef. xviii. 8, 17. Yr oedd yn arferiad yn y dwyrain, pan fyddai farw un brenin, i'r brenin nesaf gael meddiant o'i holl wragedd ef, ac awdurdod neu hawl i'w cymeryd yn wragedd

9 Paham y dirmygaist air yr Ar-
glwydd, i wneuthur drwg yn ei olwg
ef? Urïas yr Hethiad a darewaist ti
â'r cleddyf, a'i wraig ef a gymeraist
i ti yn wraig, a thi a'i lleddaist ef â
chleddyf meibion Ammon.
10 Yn awr gan hyny nid ymedy y
cleddyf â'th dŷ di byth; o herwydd i
ti fy nirmygu i, a chymeryd gwraig
Urïas yr Hethiad i fod yn wraig i ti.
11 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Wele, myfi a gyfodaf i'th erbyn
ddrwg o'th dŷ dy hun, a mi a ddygaf
dy wragedd di yn ngŵydd dy lygaid,
ac a'u rhoddaf *hwynt* i'th gymydog,
ac efe a orwedd gyd â'th wragedd di
yn ngolwg yr haul hwn.
12 Er i ti wneuthur mewn dirgel-
wch; eto mi a wnaf y peth hyn ger-
bron holl Israel, a cherbron yr haul.
13 A dywedodd Dafydd wrth Na-
than, Pechais yn erbyn yr Arglwydd.
A Nathan a ddywedodd wrth Da-
fydd, Yr Arglwydd hefyd a dynodd
ymaith dy bechod di: ni byddi di
marw.
14 Eto, o herwydd i ti beri i elyn-
ion yr Arglwydd gablu trwy y peth
hyn, y plentyn a anwyd i ti a fydd
marw yn ddiau.

---

iddo ei hun os ewyllysiai; ac fe allai mai at yr *hawl* hwn y cyfeirir yma yn unig. *A mi a roddais i ti dŷ Israel a Juda*—sef llywodraeth ar y deuddeg llwyth. *A phe rhy fychan fuasai hyny*—sef meddiannau, gwragedd, a theyrnas Saul; *myfi a roddaswn i ti fwy o lawer*—ond i ti eu gofyn.

Adn. 9. *Paham y dirmygaist air yr Arglwydd?*] Sef y chweched a'r seithfed gorchymyn, Exod. xx. 13, 14; ac yn wir wrth ddirmygu un, yr oedd efe yn dirmygu y cwbl, Iago ii. 10, 11. *Urïas yr Hethiad a darewaist ti â'r cleddyf*—tydi dy hun yw y LLOFRUDD, yr hwn a gynlluniaist ei farwolaeth ef; ac nid oedd cleddyf meibion Ammon ddim ond dy OFFERYN DI yn unig. *A'i wraig ef a gymeraist i ti yn wraig*—ar ol godinebu â hi pan yr oedd yn wraig i Urïas.

Adn. 10. *Nid ymedy y cleddyf â'th dŷ di byth*] Cyflawnwyd hyn yn lladdiad ei ddau fab Amnon ac Absalom yn ystod ei fywyd ef, ac yn lladdiad Adoniah yn fuan ar ol ei farwolaeth ef; ac yn lladdiad amrai o hiliogaeth Dafydd wedi hyny yn eu rhyfeloedd âg Israel ar ol yr ymraniad. *O herwydd i ti fy nirmygu i*—canys wrth ddirmygu gair Duw, yr oedd efe yn dirmygu Duw ei hun yr hwn a roisai y gair.

Adn. 11. *Wele, myfi a gyfodaf i'th erbyn ddrwg o'th dŷ dy hun*] Yr hyn a gyflawnwyd yn halogiad Tamar, ac yn mradwriaeth Absalom yn ei erbyn ef; *a mi a ddygaf dy wragedd di yn ngŵydd dy lygaid*—er na welodd Dafydd hyn â'i lygaid, eto gwnaed hyn tra yr oedd efe yn fyw; ac yr oedd y peth mor hysbys iddo a phe buasai wedi ei weled â'i lygaid; *ac a'u rhoddaf hwynt i'th gymydog*—sef i Absalom ei fab, yr hwn a elwir yma dan yr enw aneglur hwn, fel na byddai i'r cyflawniad o hono gael ei attal; *yn ngolwg yr haul hwn*—liw dydd goleu, yn ngŵydd holl Israel: gwel ar pen. xvi. 21, 22. Er y priodolir hyn oll i'r Arglwydd ei hun, eto yr ystyr yw, y byddai iddo ef *oddef* hyn oll, i gospi Dafydd am ei bechod; ac yr oedd Duw yn cospi pechodau Dafydd, trwy oddef i bechodau o'r un natur gael eu gwneuthur yn ei erbyn yntau.

Adn. 12. *Er i ti wneuthur mewn dirgelwch*] Sef godinebu gyda Bathseba mewn ystafell ddirgel yn ei dŷ, a cheisio gyru ei gŵr ati i guddio ei godineb, ac wedi hyny ei ladd ef yn ddirgel; *eto mi a wnaf y peth hyn gerbron holl Israel*—gwel ar pen. xvi. 21, 22; *a cherbron yr haul*—yn ngoleuni y dydd.

Adn. 13. *Pechais yn erbyn yr Arglwydd*] Trwy fod Dafydd wedi ei orchuddio â chywilydd, a'i ddwysbigo yn ei gydwybod, ac yn arswydo rhag y digofaint dwyfol ag ydoedd yn crogi uwch ei ben ef a'i dŷ, nis gallai efe draethu dim mwy yn awr na'r cyfaddefiad byr hwn; ac y mae yn debyg mai yn awr y dechreuodd ei galon ef dyneru gan saeth argyhoeddiad, ar ol bod naw mis, fel y dywed yr Iuddewon, mewn cyflwr o wrthgiliad! *Yr Arglwydd hefyd a dynodd ymaith dy bechod di*—cyn belled ag y perthyna i'th fywyd naturiol, fel na byddi di *marw* oblegid dy bechod, er i ti haeddu hyny. Tybia llawer i Dafydd gael *maddeuant llawn* y pryd hyn, yr hyn sydd gyfeiliornad hollol; canys ar ol i Nathan fyned ato ef, fel yr addefir yn gyffredinol, y cyfansoddodd Dafydd Salm li, yn yr hon y mae efe yn cyfaddef ei bechod, i'r dyben o gael maddeuant o hono. Yr oedd Dafydd, fel godinebwr, i'w roddi i farwolaeth yn ol cyfraith Duw, Lef. xx. 10, ac yr oedd yntau wedi cyhoeddi y ddedfryd hòno arno ei hun, adn. 5; ac ni allasai neb ond y Deddfroddwr ei hun dynu yn ol y ddedfryd hòno: ac am hyny y mae Nathan, yr hwn a'i cyhuddodd ef o'i euogrwydd, yn cael ei awdurdodi gan Dduw i sicrhau iddo na chai efe farw *marwolaeth naturiol* o'i herwydd, ond y cai efe estyniad i'w einioes, fel y byddai iddo gael amser i edifarhau am ei bechod, troi at Dduw, a chael trugaredd.

Adn. 14. *Eto, o herwydd i ti beri i elynion yr Arglwydd gablu*] Sef cablu Duw a'i grefydd; yr hyn a wnaethai y cenhedloedd eilunaddolgar, pe goddefasai JEHOFA i bechodau o'r fath yma fyned heibio yn ddigosp. *Y plentyn a anwyd i ti a fydd marw yn ddiau*—gweinyddir marwolaeth arno ef yn lle arnat ti, yr hyn a fydd yn fwy o drugaredd iddo ef nag o gosp, trwy y bydd iddo gyfnewid bywyd naturiol am fywyd tragwyddol; ac yn drugaredd i tithau hefyd, yn lle iddo fod yma yn gofgolofn barhaus o'th bechod, ac yn warth arhosol ar dy gymeriad. Y mae hyn yn cael ei gynwys yn ngeiriau Nathan: *gam Yehovah heebir chattathecha*, 'hefyd Jehofa *a barodd* i'th bechod di *fyned drosodd;*' hyny yw, efe

15 ¶ A Nathan a aeth i'w dŷ. A'r
Arglwydd a darawodd y plentyn a
blantasai gwraig Urïas i Dafydd; ac
efe a aeth yn glaf iawn.
16 Dafydd am hyny a ymbiliodd
â Duw dros y bachgen; a Dafydd a
ymprydiodd ympryd, ac a aeth ac
a orweddodd ar y ddaear ar hyd y
nos.
17 A henuriaid ei dŷ ef a gyfod-
asant ato ef, i beri iddo godi oddi-
ar y ddaear: ond ni fynai efe, ac
ni fwytâi fara gyda hwynt.
18 Ac ar y seithfed dydd y bu
farw y plentyn. A gweision Da-
fydd a ofnasant fynegi iddo ef farw
y bachgen: canys dywedasant,
Wele, tra oedd y bachgen yn fyw, y
llefarasom wrtho, ond ni wrandawai
ar ein llais; pa fodd gan hyny yr
ymofidia, os dywedwn wrtho farw y
plentyn?
19 Ond pan welodd Dafydd ei
weision yn sibrwd, deallodd Dafydd
farw y plentyn: a Dafydd a ddy-
wedodd wrth ei weision, A fu farw
y plentyn? A hwy a ddywedasant,
Efe a fu farw.
20 Yna Dafydd a gyfododd oddi-
ar y ddaear, ac a ymolchodd, ac a
ymeneiniodd, ac a newidiodd ei
ddillad, ac a aeth i dŷ yr Arglwydd,
ac a addolodd: wedi hyny y daeth
efe i'w dŷ ei hun; ac a ofynodd, a
hwy a roddasant iddo fara, ac efe a
fwytaodd.
21 Yna ei weision a ddywedasant
wrtho ef, Pa beth yw hyn a wnaeth-
ost ti? dros y plentyn byw yr ym-
prydiaist, ac yr ŵylaist; ond pan
fu y plentyn farw, ti a gyfodaist ac
a fwyteaist fara.
22 Ac efe a ddywedodd, Tra yr
ydoedd y plentyn yn fyw, yr ym-
prydiais ac yr ŵylais: canys mi a
ddywedais, Pwy a ŵyr a drugarhâ
yr Arglwydd wrthyf, fel y byddo
byw y plentyn?

---

a *drosglwyddodd* gosp ddeddfol dy bechod oddiwrthyt ti ar dy blentyn.

Adn. 15. *A'r Arglwydd a darawodd y plentyn*] A rhyw glefyd trwm ac angeuol, dan yr hwn y bu yn nychu dros saith niwrnod, adn. 18.

Adn. 16. *A Dafydd am hyny a ymbiliodd â Duw dros y bachgen*] Am iddo gael byw, adn. 22. Ond pa fodd y gallai efe wneyd hyny ar ol clywed y byddai efe 'marw yn ddiau?' Dichon ei fod yn meddwl fod y bygythiad hwn yn *ammodol*, ac y byddai i'w edifeirwch a'i weddiau ef droi y farn heibio: hefyd yr oedd ei ysbryd ef yn dyner iawn y pryd hyn, fel yr oedd yn naturiol i dad weddio am arbediad bywyd ei blentyn claf a diniwed. *A Dafydd a ymprydiodd ympryd*—ond odid bob dydd o'r saith ag y bu y plentyn yn glaf; *ac a aeth*—i'w ystafell neillduedig yn ei dŷ ei hun, canys ar ol hyn yr aeth efe i'r babell gerbron y drugareddfa, adn. 20; *ac a orweddodd ar y ddaear ar hyd y nos*—mewn galar, edifeirwch, a gweddi; ac felly ond odid bob nos, adn. 20.

Adn. 17. *A henuriaid ei dŷ*] Sef rhai o brif swyddogion ei lys; *a gyfodasant ato ef*—ond odid o'u gwelyau, i'w annog yntau i godi oddiar y ddaear; *ond ni fynai efe*—er eu holl daerineb hwy, roddi heibio ei alar na'i ympryd.

Adn. 18. *Ac ar y seithfed dydd y bu farw y plentyn*] Y seithfed dydd ar ol ei eni, meddai rhai; ond y mae yn debycach mai y seithfed dydd o'i glafychiad a feddylir, neu bob un o'r ddau. *A gweision Dafydd a ofnasant fynegu iddo ef farw y bachgen*—gan gasglu oddiwrth drymder ei ofid ef pan yr oedd y bachgen yn *fyw*, y byddai ei ofid yn llawer mwy angherddol pan glywai ei fod ef wedi *marw*. Ofnent y byddai iddo dynu gwallt ei ben, dryllio ei gnawd, ac efallai roddi diwedd ar ei einioes, fel y tybia rhai fod y gair a gyfieithir yma yn *ymofidio* yn arwyddo.

Adn. 19. *Ond pan welodd Dafydd ei weision yn sibrwd*] Yn mynegu eu hofnau yn ddystaw wrth eu gilydd, fel y nodwyd uchod; *deallodd Dafydd farw y plentyn*—canys yr oedd gwedd alarus a chyffrous eu gwynebau yn brawf o natur a thestyn eu hymddyddanion dystaw.

Adn. 20. *Yna Dafydd a gyfododd oddiar y ddaear*] Lle y buasai yn gorwedd y rhan fwyaf o saith niwrnod, adn. 16; *ac a ymolchodd, ac a ymeneiniodd, ac a newidiodd ei ddillad*—yr hyn ni wnaethai o'r blaen er pan ddechreuodd ymprydio; ac yn lle y sach-lian a wisgai wrth ymprydio, rhoddodd ei ddillad brenhinol am dano; *ac a aeth i dŷ yr Arglwydd*—sef i'r babell, i gyfaddef ei bechod gerbron yr Arglwydd, i gydnabod ei gyfiawnder dwyfol ef yn hyn, ac i ddiolch iddo na bu efe ei hun farw yn ac am ei bechod; ac y mae yn debyg iddo offrwm hefyd y cyfryw ebyrth ag a ofynid ar y fath achos. *Wedi hyny y daeth efe i'w dŷ ei hun*—lle y gofynodd ac y cafodd fwyd, yr hyn oedd yn dra angenrheidiol iddo ar ol ei hir ympryd.

Adn. 21. *Pa beth yw hyn a wnaethost ti?*] Paham y danghosaist fwy o alar pan yr oedd y plentyn yn *fyw*, nag a wnei yn awr ar ol iddo *farw?* Yr oedd hyn mor dra gwahanol i'w dysgwyliad hwy, (adn. 18,) fel yr ewyllysient gael gwybod ei reswm ef am dano.

Adn. 22. *Tra yr ydoedd y plentyn yn fyw, yr ymprydiais ac yr ŵylais*] Heb wybod nad allai fy ngalar a'm gweddiau beri i'r Arglwydd drugarhau wrthyf trwy arbed bywyd y plentyn. Gwyddai Dafydd fod yr Arglwydd yn bygwth dynion yn fynych, ac wedi hyny yn troi y farn draw ar eu hymostyngiad a'u hedifeirwch; a gobeithiai y gwnai efe felly yn yr achos hwn: gwel ar adn. 16.

23 Ond yn awr efe fu farw; i ba beth yr ymprydiwn? a allaf fi ei ddwyn ef yn ei ol mwyach? myfi a âf ato ef, ond ni ddychwel efe ataf fi.

24 ¶ A Dafydd a gysurodd Bathseba ei wraig, ac a aeth i mewn ati hi, ac a orweddodd gyda hi: a hi a ymddyg fab, ac efe a alwodd ei enw ef Solomon. A'r Arglwydd a'i carodd ef.

25 Ac efe a anfonodd trwy law Nathan y proffwyd; ac efe a alwodd ei enw ef Jedidiah, oblegid yr Arglwydd.

26 ¶ A Joab a ymladdodd yn erbyn Rabbah meibion Ammon, ac a ennillodd y frenhinol ddinas.

27 A Joab a anfonodd genadau at Dafydd, ac a ddywedodd, Rhyfelais yn erbyn Rabbah, ac a ennillais ddinas y dyfroedd.

28 Yn awr gan hyny casgl weddill y bobl, a gwersylla yn erbyn y ddinas, ac ennill hi; rhag i mi ennill y ddinas, a galw fy enw i arni hi.

29 A Dafydd a gasglodd yr holl bobl, ac a aeth i Rabbah, ac a ymladdodd yn ei herbyn, ac a'i hennillodd hi.

30 Ac efe a gymerodd goron eu brenin hwynt oddiam ei ben (a'i phwys hi *oedd* dalent o aur, gyda'r maen gwerthfawr) a hi a osodwyd ar ben Dafydd. Ac efe a ddyg ym-

---

Adn. 23. *Ond yn awr efe fu farw*] Ac ni âll ympryd, galar, na gweddi, ei ddwyn ef yn ol mwyach; ac yn awr fy nyledswydd i ydyw ymdawelu, ac ymostwng i ewyllys Duw. *Myfi a âf ato ef*—i'r bedd a thragwyddoldeb; *ond ni ddychwel efe ataf fi*—i'r bywyd naturiol hwn, neu i fod yn breswylydd daear. Y mae yn sicr fod Dafydd yn credu yn anfarwoldeb yr enaid, ac yn nghadwedigaeth babanod; ac os oedd efe ei hun y pryd hyn wedi 'cael drachefn o orfoledd iachawdwriaeth,' Salm li. 12, gall ei fod yn golygu hefyd, myned ato ef i wynfyd y *nef*. Yr oedd Dafydd hefyd yn credu yr athrawiaeth o adgyfodiad cyffredinol yn y dydd diweddaf; ond nid at hyny y cyfeiria efe yn y geiriau hyn, eithr at ddychweliad ei blentyn i fyw eilwaith yma gyda Dafydd.

Adn. 24. *A Dafydd a gysurodd Bathseba ei wraig*] Yr hon yn ddiamau oedd yn drallodus iawn am golli ei phlentyn, ac yn ofidus ei chalon o herwydd ei phechod. *A hi a ymddyg fab*—nid yn odinebus yn awr, ond yn ddihalog ac anrhydeddus fel gwraig gyfreithlon Dafydd. *Ac efe a alwodd ei enw ef Solomon*—galwodd Dafydd ef felly ar ol ei eni, megys y galwasai yr Arglwydd ef cyn ei eni, 1 Cron. xxii. 9. Ystyr yr enw hwn yw HEDDYCHLON, a bu heddwch i Israel yn ei ddyddiau ef. *A'r Arglwydd a'i carodd ef*—ac a orchymynodd roddi enw arall iddo i arwyddo hyny, fel y gwelwn yn yr adnod nesaf.

Adn. 25. *Ac efe a anfonodd*] Hyny yw, anfonodd yr Arglwydd trwy Nathan at Dafydd, i beri iddo roddi enw arall i'w fab yn chwanegol at yr enw Solomon. *Ac efe*—sef Dafydd, *a alwodd ei enw ef Jedidiah*—neu ANWYLYD JEHOFA, fel yr arwydda yr enw; *oblegid yr Arglwydd*—oblegid fod yr Arglwydd yn ei *garu* ef, fel y dywedir yn adn. 24, neu oblegid i'r Arglwydd orchymyn ei alw ef felly trwy law Nathan. Modd bynag, nid oedd yr enw hwn ddim amgen nag enw arwyddocaol, i ddangos i'w rieni yr hyn a allent ei ddysgwyl; canys cawn ef bob amser yn cael ei alw *Solomon* yn yr ysgrythyrau.

Adn. 26. *A Joab a ymladdodd yn erbyn Rabbah*] Cawsom hanes gwarchaead y ddinas hon yn pen. xi. Nid ydym i feddwl ddarfod i Joab barhau yno am oddeutu dwy flynedd, nes geni ail fab i Bathseba; eithr oedwyd hanes gorpheniad y rhyfel hyd yma, rhag tori yr hanes uchod am Dafydd a Bathseba. Y mae yn debyg i Joab orphen y rhyfel yn Rabbah yn fuan ar ol marwolaeth Urïas, pan y gorchymynodd Dafydd iddynt gadarnhau y rhyfel yn erbyn y ddinas, a'i dystrywio hi, pen. xi. 25. *Ac a ennillodd y frenhinol ddinas*—neu y rhan hòno o honi lle yr oedd palas y brenin, yr hwn yn awr a enciliodd i'r amddiffynfa gadarn a berthynai i'r ddinas mewn cwr arall o honi.

Adn. 27. *Ennillais ddinas y dyfroedd*] Sef y rhan a elwid y 'frenhinol ddinas,' adn. 26, yr hon a elwid felly am ei bod yn cael ei dyfrhau gan gangen o afon Jabboc. Ond myn rhai ei gyfieithu, *torais ymaith ddyfroedd y ddinas;* ac y mae hyny yn gyson â'r hyn a ddywed Josephus, 'ddarfod i Joab droi y dyfroedd oddiwrth y ddinas,' fel nad oedd yn bosibl i'r Ammoniaid ddal allan yn hir heb ddwfr. Rhaid mai rhywbeth felly a olygir, gan fod Joab yn gwahodd Dafydd i ddyfod i'w hennill hi, adn. 28.

Adn. 28. *Rhag i mi ennill y ddinas*] Yn dy absenoldeb di; *a galw fy enw i arni hi*—fel ei gorchfygwr. Er fod Joab yn ddyn uchelfrydig iawn, eto yr oedd ganddo gymaint parch i'w ewythr a'i frenin, fel y chwennychai iddo ef gael yr enw o'r fuddugoliaeth hon.

Adn. 29. *A Dafydd a gasglodd yr holl bobl*] Sef yr holl filwyr gweddill ag oeddynt yn ngwlad Israel; *ac a aeth i Rabbah*—yr hon a ennillodd efe yn hawdd trwy gymhorth Joab a'i fyddin.

Adn. 30. *Ac efe a gymerodd goron eu brenin hwynt oddiam ei ben*] Yr hon oedd rhan Dafydd o'r anrhaith; *a'i phwys hi oedd dalent o aur*—dywedir fod talent o aur yn pwyso 125 o bwysau; a chan na allai un brenin gario y fath lwyth ar ei ben, meddylir mai *gwerth* y goron, ac nid ei *phwys*, a olygir, yr hyn sydd yn cyfateb i £5,475 o'n harian ni; *gyda'r maen gwerthfawr*—dywed Josephus fod maen sardonyx o uchel bris yn ei chanol, yr hwn a chwanegai yn fawr at ei gwerth hi; a dichon fod ynddi amrai feini gwerthfawr ereill hefyd. *A hi a osodwyd ar ben Da-*

aith o'r ddinas anrhaith fawr iawn.
31 Ac efe a ddyg ymaith y bobl
*oedd* ynddi, ac a'*u* gosododd dan lif-
iau, a than ogau heiyrn, a than fwy-
ill heiyrn, ac a'u bwriodd hwynt i'r
odynau calch: ac felly y gwnaeth i
holl ddinasoedd meibion Ammon.
A dychwelodd Dafydd a'r holl bobl
i Jerusalem.

## PENNOD XIII.

AC ar ol hyn yr oedd gan Absalom
mab Dafydd chwaer deg, a'i
henw Tamar: ac Amnon mab Da-
fydd a'i carodd hi.
2 Ac yr oedd mor flin ar Amnon,
fel y clefychodd efe o herwydd Ta-
mar ei chwaer: canys gwyryf *oedd*
hi; ac anhawdd y gwelai Amnon
wneuthur dim iddi hi.
3 Ond gan Amnon yr oedd cyfaill,
a'i enw Jonadab, mab Simeah,
brawd Dafydd: a Jonadab *oedd* ŵr
call iawn.
4 Ac efe a ddywedodd wrtho ef,
Ti fab y brenin, paham *yr ydwyt* yn
curio fel hyn beunydd? oni fynegi
di i mi? Ac Amnon a ddywedodd
wrtho ef, Caru yr ydwyf fi Tamar,
chwaer Absalom fy mrawd.

---

*fydd*—i arwyddo mai efe a ennillasai y fuddugoliaeth ar y ddinas a'i brenin, ac mai iddo ef yr oedd yr Ammoniaid i ymostwng rhagllaw. *Anrhaith fawr iawn*—o aur ac arian, a phethau gwerthfawr ereill, y rhai a gysegrodd Dafydd ond odid at waith y deml: gwel ar pen. viii. 11, 12.

Adn. 31. *Ac efe a ddyg ymaith y bobl oedd ynddi*] Nid holl drigolion y ddinas, eithr tywysogion meibion Ammon, y rhai a gynghorasant Hanun i drin gweision Dafydd yn y modd dirmygus a grybwyllwyd pen. x. 4, yn nghydag ereill a ymddigrifent yn y driniaeth warthus hòno; *ac a'u gosododd dan lifiau, a than ogau heiyrn, a than fwyill heiyrn*—yn 1 Cron. xx. 3 dywedir, 'ac a'u *torodd* hwynt â llifiau, ac âg ogau heiyrn, ac â bwyill;' yr hyn a ymddengys fel yn arwyddo iddynt gael eu dryllio i farwolaeth â'r offerynau uchod; ac os gwnaeth Dafydd felly, rhaid i ni briodoli ei greulondeb ef i'r cyflwr caled a gwrthgiliedig yn yr hwn yr oedd efe yn awr. *Ac a'u bwriodd hwynt i'r odynau calch*—i'w llosgi yn fyw, fel yr arferent hwy losgi eu plant i Moloch. Ond, wedi y cwbl, gallwn obeithio nad yw y geiriau hyn i'w deall fel yn arwyddo y fath greulonderau. Yn lle *vaiyasar*, 'TORODD', fel y mae yn 1 Cron. xx. 3, darllenir yma *vaiyasem*, 'GOSODODD;' a'r holl wahaniaeth rhwng y ddau air hyn yw un lythyren Hebreig, *resh* yn lle *mem;* ac y mae y gyntaf yn ddarn o'r olaf, ac felly yn lled debyg iddi. Y mae yn deilwng o sylw hefyd fod chwech neu saith o'r ysgriflyfrau a chwiliwyd gan Dr. Kennicott yn darllen *vaiyasem*, 'gosododd,' yn 1 Cron. xx. 3; tra nad oes un o'r ysgriflyfrau a chwiliwyd eto ar yr adnod hon yn pleidio y darlleniad cyffredin yn 1 Cron. Yr ystyr gan hyny yw, Efe a wnaeth yr holl bobl yn *gaethion,* ac a'u rhoddodd ar waith i *lifio,* gwneyd *ogau heiyrn.* (neu *fŵn-gloddio,* canys y mae y gair yn arwyddo y ddau,) *naddu coed,* a gwneyd *calch* neu *briddfeini.* Felly nid yw tori, rhwygo, naddu, a llosgi *dynion* yn cael ei gynwys yn y testynau hyn, mwy nag yr oedd yn ymddygiad Dafydd tuag at yr Ammoniaid. Ac y mae yr ystyr hwn yn cael ei gadarnhau yn mhellach yn y geiriau nesaf: *Ac felly y gwnaeth i holl ddinasoedd meibion Ammon*—canys pe dystrywiasai Dafydd yr holl drigolion yn y ffordd greulon hon, llwyr ddiwreiddiesid yr holl genedl: ac eto darllenwn am danynt wedi hyn yn ymuno â'r Moabiaid yn fyddin luosog yn erbyn Jehosaphat, 2 Cron. xx. 1, &c. *A dychwelodd Dafydd a'r holl bobl*—sef y rhan fwyaf o filwyr Israel, gan adael rhai o honynt yn ddiamau ar ol, i lywodraethu y caethweision uchod; *i Jerusalem*—mewn gorfoledd mawr, a chydag anrhaith lawer.

PEN. XIII. Adn. 1. *Chwaer dêg, a'i henw Tamar*] Yr oedd hi yn chwaer gyfan i Absalom, o'r un tad a mam, sef *Maacah;* tra nad oedd hi ond hanner chwaer i Amnon, yr hwn oedd fab i *Ahinoam:* gwel ar pen iii. 2, 3. *Ac Amnon mab Dafydd a'i carodd hi*—nid â chariad diwair i'w gwneuthur hi yn wraig iddo, ond â chariad anllad i'w darostwng i buteindra.

Adn. 2. *Ac yr oedd mor flin ar Amnon fel y clefychodd efe*] Gan rym ei chwant aflan yn gweithio yn angherddol ar ei natur halogedig. Fel hyn yr oedd ei chwantau cnawdol ef yn eu cospi eu hunain, ac yn rhyfela nid yn unig yn erbyn yr enaid, ond yn erbyn y corff hefyd, ac yn bydrni i'w esgyrn ef! Gwelwn y fath feistr caled a wasanaethir gan bechaduriaid, ac mor drwm yw iau pechod! *Canys gwyryf oedd hi*—ac felly dan gadwraeth fanol, fel yr oedd yn anhawdd iddo gael cyfleusdra i wneuthur dim iddi hi.

Adn. 3. *Ond gan Amnon yr oedd cyfaill*] Neu yn hytrach *elyn;* canys efe a'i dangosodd ei hunan felly trwy y cynghor drwg a roddodd efe i Amnon, yr hwn a derfynodd yn ninystr ei gorff a'i enaid ef, fel y gallwn feddwl. *Mab Simeah brawd Dafydd*—neu *Sammah,* 1 Sam. xvi. 9, ac felly yr oedd Jonadab yn gefnder i Amnon; *a Jonadab oedd ŵr call iawn*—sef gŵr cyfrwys a dichellgar, neu gall i wneuthur drwg.

Adn. 4. *Ti fab y brenin, &c.*] Fel pe dywedasai, Paham yr wyt ti, a thithau yn fab hynaf y brenin, ac yn etifedd ei orsedd ef, ac yn bwyta ar ei fwrdd ef, a phob peth genyt i'th besgi a'th sirioli, yn curio ac yn gwaelu fel hyn o ddydd i ddydd? *Caru yr ydwyf fi Tamar, chwaer Absalom fy mrawd*—galwai hi yn 'chwaer Absalom,' heb grybwyll ei bod yn hanner chwaer iddo yntau ei hun, i'r dyben i leihau y pechod o'i gariad annghyfreithlon ef;

5 A Jonadab a ddywedodd wrtho
ef, Gorwedd ar dy wely, a chymer
arnat fod yn glaf: a phan ddelo dy
dad i'th edrych, dywed wrtho ef,
Deued, atolwg, Tamar fy chwaer i
roddi bwyd i mi, ac i arlwyo bwyd
yn fy ngolwg, fel y gwelwyf, ac y
bwytawyf o'i llaw hi.
6 ¶ Felly Amnon a orweddodd,
ac a gymerth arno fod yn glaf. A'r
brenin a ddaeth i'w edrych ef; ac
Amnon a ddywedodd wrth y brenin,
Deued, atolwg, Tamar fy chwaer i
grasu dwy deisen yn fy ngolwg i,
fel y bwytawyf o'i llaw hi.
7 Yna Dafydd a anfonodd adref
at Tamar, gan ddywedyd, Dos yn
awr i dŷ Amnon dy frawd, a pharo-
tôa fwyd iddo.
8 Felly Tamar a aeth i dŷ Amnon
ei brawd (ac efe oedd yn gorwedd)
a hi a gymerth beilliaid, ac a'*i* tylin-
odd, ac a wnaeth deisenau yn ei
wydd ef, ac a grasodd y teisenau.
9 A hi a gymerth badell, ac a'*u*
tywalltodd *hwynt* ger ei fron ef:
ond efe a wrthododd fwyta. Ac
Amnon a ddywedodd, Gyrwch allan
bawb oddiwrthyf fi. A phawb a
aethant allan oddiwrtho ef.
10 Yna Amnon a ddywedodd wrth
Tamar, Dwg y bwyd i'r ystafell, fel
y bwytawyf o'th law di. A Tamar a
gymerth y teisênau a wnaethai hi,
ac a'*u* dyg at Amnon ei brawd i'r
ystafell.
11 A phan ddyg hi *hwynt* ato ef i
fwyta, efe a ymaflodd ynddi hi, ac a
ddywedodd wrthi hi, Tyred, gor-
wedd gyda mi, fy chwaer.
12 A hi a ddywedodd wrtho, Paid,
fy mrawd; na threisia fi: canys ni
wneir fel hyn yn Israel: na wna di
yr ynfydrwydd hyn.
13 A minau, i ba le y bwriaf ym-
aith fy ngwarth? a thi a fyddi fel
un o'r ynfydion yn Israel. Yn awr,
gan hyny, ymddyddan, atolwg, â'r
brenin: canys ni ommedd efe fi i ti.
14 Ond ni fynai efe wrando ar ei
llais hi; eithr efe a fu drech na hi,
ac a'i treisiodd, ac a orweddodd
gyda hi.
15 ¶ Yna Amnon a'i casaodd hi

---

ac y mae yn amlwg mai am gariad o anlladrwydd y deallodd Jonadab ef.

Adn. 5. *Gorwedd ar dy wely, a chymer arnat fod yn glaf*] Fod dy gylla mor wan, fel nas gelli fwyta dim a barotoir gan dy weision; a gofyn i'th dad a gaiff Tamar, yr hon a ŵyr pa fodd i drin seigiau blasus, ddyfod i wneyd rhyw ddanteithfwyd i ti. *Tamar fy chwaer*—yma cyfarwydda Jonadab ef i'w galw yn chwaer iddo ei hun yn awr, ac nid 'chwaer Absalom,' fel o'r blaen, (adn. 4,) i'r dyben i guddio ei ddrwg-fwriad yn well oddiwrth ei dad. Y fath ddyfais felldigedig i andwyo Tamar oedd hyn oll!

Adn. 6. *Felly Amnon a orweddodd*] Ac a wnaeth bob peth yn ol cynghor Jonadab, adn. 5.

Adn. 7. *Yna Dafydd*] Gan gredu fod Amnon yn glaf felly mewn gwirionedd, ac heb erioed feddwl fod yn ei fryd ef dreisio ei chwaer, a gydsyniodd â'i gais ef. *Dos yn awr i dŷ Amnon dy frawd*—canys yr oedd ganddo ef, fel mab y brenin, dŷ iddo ei hun, a gosgordd o weinyddion.

Adn. 8. *Felly Tamar a aeth*] Mewn ufydddod i orchymyn ei thad, ac o gariad at ei brawd claf, gyda mynwes ddiwair a diniwed. *Ac efe oedd yn gorwedd*—ar lwth neu esmwythfainc yn y parlawr neu y gegin, lle y gwnaeth hi deisenau blasus yn ei ŵydd ef.

Adn. 9. *Ond efe a wrthododd fwyta*] Gan gymeryd arno ei fod yn rhy glaf nid yn unig i fwyta, ond i oddef presenoldeb neb yn yr ystafell heblaw ei chwaer.

Adn. 10. *Dwg y bwyd i'r ystafell*] Sef i'w wely-ystafell, yr hon oedd yn mhellach i mewn na'r ystafell arall, ac yn yr hon y gallai efe gyflawni ei fwriad drygionus heb i'r rhai a aethent allan glywed, os gwaeddai Tamar.

Adn. 11. *Efe a ymaflodd ynddi hi*] Ac nid yn y bwyd; gan ddangos mewn gweithred, yn gystal ag mewn geiriau, ei amcan ffiaidd yn hudo ei chwaer at ei wely.

Adn. 12. *Paid, fy mrawd*] Wrth ei alw yn *frawd*, awgrymai fod natur yn ei ddysgu i ffieiddio y fath feddyliau, ac y dylasai efe fod yn amddiffynwr iddi, ac nid yn dreisiwr; *canys ni wneir fel hyn yn Israel*—yn mysg pobl Dduw, y rhai y dysgir iddynt bethau gwell, pa beth bynag a wneir yn mhlith y cenhedloedd eilunaddolgar. *Na wna di yr ynfydrwydd hwn*—yr hyn oedd nid yn unig yn bechod cywilyddus, ond yn ynfydrwydd anifeilaidd.

Adn. 13. *A minau, i ba le y bwriaf ymaith fy ngwarth*] O fod yn fam i blentyn fy mrawd? *A thi a fyddi fel un o'r ynfydion yn Israel*—byddi yn ddirmygus yn ngolwg pawb, fel dyn amddifad o bob crefydd, rhinwedd, synwyr, a dynoliaeth. *Ymddyddan, atolwg, â'r brenin*—am iddo fy rhoddi yn wraig i ti. Nid oedd hyn ddim ond esgus i ymryddhau oddiwrtho ef yn awr, canys gwyddai fod y fath briodas yn annghyfreithlon.

Adn. 14. *Ond ni fynai efe wrando ar ei llais hi*] Yr oedd ei nwydau anifeilaidd mor angherddol, fel na wrandawai ar ei chynghor, ei rheswm, na'i deisyfiad; *eithr efe a fu drech na hi*—darostyngodd hi o'i hanfodd, trwy ei threisio a'i halogi. Os gwaeddodd hi yn ol y gyfraith, Deut. xxii. 23—27, nid oedd yno neb i'w chlywed, trwy fod pawb wedi eu gyru

â châs mawr iawn: canys mwy *oedd*
y câs â'r hwn y casasai efe hi, na'r
cariad â'r hwn y carasai efe hi. Ac
Amnon a ddywedodd wrthi hi, Cyf-
od, dos ymaith.
16 A hi a ddywedodd wrtho ef,
Nid *oes* achos: y drygioni hwn, *sef*
fy ngyru ymaith, *sydd* fwy na'r llall
a wnaethost â mi. Ond ni wrandawai
efe arni hi.
17 Eithr efe a alwodd ar ei lanc,
ei weinidog, ac a ddywedodd, Gyr-
wch hon yn awr allan oddiwrthyf fi;
a chloa y drws ar ei hol hi.
18 Ac am dani *hi yr oedd* mantell
symudliw: canys â'r cyfryw fentyll
y dilledid merched y brenin, *y rhai*
*oedd* forwynion. Yna ei weinidog
ef a'i dyg hi allan, ac a glöodd y
drws ar ei hol hi.
19 ¶ A Thamar a gymerodd ludw
ar ei phen, ac a rwygodd y fantell
symudliw *oedd* am dani, ac a osod-
odd ei llaw ar ei phen, ac a aeth
ymaith dan waeddi.
20 Ac Absalom ei brawd a ddy-
wedodd wrthi hi, Ai Amnon dy
frawd a fu gyda thi? er hyny yn
awr taw â son, fy chwaer: dŷ frawd
di *yw* efe: na osod dy galon ar y
peth hyn. Felly Tamar a drigodd
yn amddifad yn nhŷ Absalom ei
brawd.
21 ¶ Ond pan glybu y brenin Da-
fydd yr holl bethau hyny, efe a
ddigiodd yn aruthr.

---

allan, adn. 9; ac os na waeddodd hi, hyny oedd am iddo ef attal ei genau, neu am na fynai ddynoethi ei brawd i'w wasanaethyddion.

Adn. 15. *Yna Amnon a'i casaodd hi â châs mawr iawn*] Ei feddwl, yr hwn ar y cyntaf a gymhellid gan drachwant i un eithafion, a gynhyrfwyd yn awr gan euogrwydd cydwybod i eithafion arall; a'i chwaer, yr hon a ystyriai fel yr achlysur o atgno ei feddwl, a gaseïd ganddo, pan y dylasai efe ei gasâu ei hun! Ac fe allai fod ei geiriau hi cyn ei threisio, a'i hedliwiad iddo ar ol ei threisio, yn frathiad mor ddwfn yn ei gydwybod ef, nes peri iddo ei chasâu yn awr yn llawer mwy nag y carai efe hi o'r blaen. *Cyfod, dos ymaith*—fel hyn, heb gymaint a'i henwi hi, gorchymynai iddi godi oddiar y gwely lle yr halogasai efe hi, a myned ymaith o'i olwg ef. Pe buasai hi yn butan gyffredin wedi dyfod i mewn ato ef, nis gallasai wneyd mwy na hyn o ddirmyg iddi; neu pe buasai ganddo ddim parch i'w enw da ei hun, heb son am yr eiddo hi, ni buasai yn ei throi hi allan fel y gwnaeth, mewn modd mor gyhoeddus. Ond mynai Duw fel hyn ddwyn ei bechod aflan ef i'r golwg, a chospi trwy hyny odineb blaenorol Dafydd ei dad: gwel ar pen. xii. 11.

Adn. 16. *Nid oes achos*] I ti fy nghasâu a'm gyru ymaith fel hyn, ar ol fy halogi fel y gwnaethost. *Y drygioni hwn, sef fy ngyru ymaith, sydd fwy na'r llall*—nid yn fwy pechod, ond yn weithred o fwy o greulondeb a gofid iddi hi, trwy ei dynoethi i warth a dirmyg cyffredinol. Ped ymbwyllasai efe, fe allai y gallesid celu y peth rhag ei thad, rhag Absalom ei brawd, a rhag gelynion a gwawdwyr crefydd; ac y gallasai hithau briodi yn anrhydeddus â rhyw dywysog arall, ac na chollasai Amnon ei fywyd trwy law Absalom.

Adn. 17. *Gyrwch hon yn awr allan oddiwrthyf fi*] Ei llusgo o'r ystafell lle y gorweddai ef ar ei wely; *a chloa y drws ar ei hol hi*—gan awgrymu ei bod am ddyfod ato ef i'r gwely, os gallai. Fel hyn efe a fynai ei ddieuogi ei hun, a'i chyhuddo hithau.

Adn. 18. *Ac am dani hi yr oedd mantell symudliw*] Wedi ei gweu â sidan o wahanol liwiau, neu ei brodio yn amryliw trwy waith edeu a nodwydd; *canys â'r cyfryw fentyll y dilledid merched y brenin*—yn eu hystâd wyryfol, i'w gwahaniaethu oddiwrth wyryfon cyffredin, ac oddiwrth wragedd priod. *Yna ei weinidog ef a'i dyg hi allan*—ymaflodd ynddi, gwthiodd hi allan o'r ystafell, a chlöodd y drws ar ei hol hi, fel pe buasai butan neu ladrones.

Adn. 19. *A Thamar a gymerodd ludw ar ei phen*] Yr hyn, yn gystal a rhwygiad ei mantell, oedd yn arwydd o alar a gofid dirfawr, gwel ar Jos. vii. 6; *ac a osododd ei llaw ar ei phen*—yn arwydd o warth a chywilydd, fel pe nas gallasai ddangos ei gwyneb, Jer. ii. 37; *ac a aeth ymaith dan waeddi*—o dŷ Amnon i dŷ Absalom ei brawd.

Adn. 20. *Ai Amnon dy frawd a fu gyda thi?*] Gwyddai Absalom fod Amnon yn ddyn anniwair; ac wrth ei chlywed yn gwaeddi, a gweled fod ei mantell forwynig wedi ei rhwygo, ac arwyddion ereill o'i gofid a'i chywilydd, efe a gasglodd yn bur naturiol fod Amnon wedi ei threisio hi. *Er hyny yn awr taw â son*—wrth y brenin na neb arall; *dy frawd di yw efe*—gan hyny dylit faddeu ac annghofio y niwed; canys bydd dy waradwyddiad o hono ef yn warth i ni oll; ac ni fydd i'th dad ei gospi ef, am ei fod mor agos ac anwyl iddo ef a thithau: ac y mae dy ddianrhydedd yn llai, am na threisiwyd di gan ddyn isel-radd, ond gan fab y brenin; a chan nas gellir dial y drwg hwn, rhaid ei ddyoddef. *Na osod dy galon ar y peth hyn*—fel ag i flino ac ymofidio o'i herwydd. Fel hyn y cuddiai Absalom ei fwriad o ddial ar Amnon pan gai efe gyfle. *Felly Tamar a drigodd yn amddifad yn nhŷ Absalom ei brawd*—heb ymbriodi â neb, na gweled cyfeillion, na mwynhau difyrwch fel o'r blaen; ac y mae yn debyg iddi barhau yn amddifad felly weddill ei hoes.

Adn. 21. *Efe a ddigiodd yn aruthr*] Wrth Amnon: ond er hyny ni chospodd ef, yn enwedig mor drwm ag y dylasai (1) Am ei fod yn fab hynaf iddo; (2) Am nad allai wneyd hyny yn ol y gyfraith, (Lef. xx. 17,)

22 Ac ni ddywedodd Absalom
wrth Amnon na drwg na da: canys
Absalom a gasâodd Amnon, o her-
wydd iddo dreisio Tamar ei chwaer
ef.
23 ¶ Ac ar ol dwy flynedd o
ddyddiau yr oedd gan Absalom rai
yn cneifio yn Baal-hasor, yr hwn
*sydd* wrth Ephraim: ac Absalom a
wahoddodd holl feibion y brenin.
24 Ac Absalom a ddaeth at y
brenin, ac a ddywedodd, Wele, yn
awr, rai yn cneifio i'th was di; deu-
ed, atolwg, y brenin a'i weision
gyda'th was.
25 A dywedodd y brenin wrth
Absalom, Nage, fy mab, ni ddeuwn
ni i gyd yn awr; rhag i ni ormesu
arnat ti. Ac efe a fu daer arno:
ond ni fynai efe fyned; eithr efe a'i
bendithiodd ef.
26 Yna y dywedodd Absalom, Oni
ddaw Amnon fy mrawd yn awr gyda
ni? A'r brenin a ddywedodd wrtho
ef, I ba beth yr â efe gyda thi?
27 Eto Absalom a fu daer arno,
fel y gollyngodd efe Amnon gydag
ef, a holl feibion y brenin.
28 ¶ Ac Absalom a orchymynodd
i'w lanciau, gan ddywedyd, Edrych-
wch, atolwg, pan fyddo llawen calon
Amnon gan win, a *phan* ddywedwyf
wrthych, Tarewch Amnon; yna
lleddwch ef, nac ofnwch: oni or-
chymynais i chwi? ymwrolwch, a
byddwch *feibion* glewion.
29 A llanciau Absalom a wnaeth-
ant i Amnon fel y gorchymynasai

---

heb waradwyddo ei dŷ ei hun; (3) Am mai efe ei hun a yrasai Tamar i dŷ Amnon; ac, (4) Am ei fod yntau wedi rhoddi siampl ddrwg felly i'w feibion yn achos Bathseba. Y mae y LXX yn chwanegu yma y geiriau canlynol: 'Ond ni fynai efe ofidio enaid Amnon ei fab, canys efe a'i carai ef, am ei fod yn gyntafanedig iddo.' Ceir y chwanegiad hwn hefyd yn y Vulgate a chan Josephus, a dichon ei fod ar y cyntaf yn rhan o'r testyn Hebreig.

Adn. 22. *Ac ni ddywedodd Absalom wrth Amnon na drwg na da*] Er ei fod yn casâu Amnon yn ei galon am iddo dreisio ei chwaer, eto ni ddanghosodd y digter lleiaf tuag ato ef, ac ni ddywedodd ddim wrtho yn nghylch y weithred, mwy na phe buasai heb glywed am dani, fel y caffai well adeg i ddial arno ar ol hyn: eithr efe a lefarai yn rhydd wrtho ar destynau ereill, rhag creu drwgdybiaeth yn meddwl Amnon a'i dad.

Adn. 23. *Ac ar ol dwy flynedd*] Cadwodd Absalom ei gasineb at Amnon yn guddiedig yn ei fynwes ei hun cyhyd a hyny, fel y cai gyfle i'w ddyfetha ef heb i neb ofni dim drwg. *Yr oedd gan Absalom rai yn cneifio yn Baal-hasor*—dinas yn llwyth Ephraim, oddeutu 18 milldir i'r gogledd o Jerusalem. *Ac Absalom a wahoddodd holl feibion y brenin*—i gydwledda âg ef ar yr achlysur o gneifio ei ddefaid, yr hyn oedd yn arferiad yn y gwledydd hyny: gwel ar 1 Sam, xxv. 4, &c.

Adn. 24. *Deued, atolwg, y brenin a'i weision*] Nid oedd efe yn ddiau am i'r brenin ddyfod; ond er hyny gwahoddai ef, i ochelyd pob drwgdybiaeth, ac fel y byddai yn hawddach ganddo ollwng ei feibion.

Adn. 25. *Ni ddeuwn ni i gyd yn awr*] Yr oedd y brenin yn foddlon i rai o'i deulu fyned, ond nid pawb o honynt y pryd hyny, rhag i hyny fod yn rhy gostfawr i Absalom. *Eithr efe a'i bendithiodd ef*—a ddiolchodd iddo am ei wahoddiad caredig, ac a ddymunodd i Dduw ei fendithio ef.

Adn. 26. *Oni ddaw Amnon fy mrawd yn awr gyda ni?*] Neu, fel y mae y Syriaeg yn ei ddarllen, 'Oni ddeui di, atolwg deued Amnon fy mrawd yn awr gyda ni.' Y mae yn debyg fod Dafydd wedi amlygu y cai ei frodyr oll fyned oddieithr Amnon, yr hwn oedd i aros gartref yn gwmni i'w dad: ond y mae Absalom yn deisyf fel ffafr neillduol, os na ddeuai y brenin ei hun, fod i Amnon ei fab hynaf ef, ac etifedd y goron, gael dyfod i anrhydeddu y wledd. *I ba beth yr â efe gyda thi?*—y mae yn debyg oddiwrth hyn fod Dafydd yn lledofni fod rhyw ddrwg-amcan yn mryd Absalom.

Adn. 27. *Eto Absalom a fu daer arno, fel y gollyngodd efe Amnon*] Gallai un feddwl y buasai taerineb Absalom i gael Amnon gydag ef, yn ddigon i greu drwgdybiaeth yn meddwl gŵr mor ddoeth a Dafydd, neu i'w chryfhau os oedd hi ynddo o'r blaen; ond goddefodd Duw iddo syrthio i ddallineb meddwl, fel y cospid Amnon am ei losgach annaturiol, ac fel y cyflawnid bygythion Duw trwy Nathan ar Dafydd ei hun, am ei bechodau yn achos Bathseba ac Urïas.

Adn. 28. *Pan fyddo llawen calon Amnon gan win*] Pan fyddo efe leiaf yn ofni drwg, ac yn fwyaf analluog i'w attal ef. Er mai gweithred erchyll oedd hon, eto yr oedd ynddi gyfatebiad amlwg i ymddygiad Dafydd yn meddwi Urïas, ac wedi hyny yn peri ei ladd ef! *Nac ofnwch; oni orchymynais i chwi?*—efe a arwyddai, gan ei fod yn fab y brenin, ac etifedd nesaf y goron ar ol lladd Amnon, nad oedd ganddynt ddim i'w ofni oddiwrth neb am ei ladd ef; ac y cymerai ef yr holl ganlyniad arno ei hun, ond iddynt wneyd ei orchymyn ef fel eu harglwydd. Tybia rhai fod Chileab, ail fab Dafydd, wedi marw cyn hyn; a bod Absalom, ei drydydd mab ef, yn bwriadu trwy hyn nid yn unig ddial trais Tamar, ond tori ymaith ei frawd hynaf hefyd, fel y byddai efe yn etifedd nesaf y goron.

Adn. 29. *A llanciau Absalom a wnaethant*] A laddasant Amnon yn ol gorchymyn eu meistr. *A holl feibion y brenin a gyfodasant*—oddiwrth fwrdd y wledd, rhag ofn y gwneid yr un peth iddynt hwythau; *a phob un a farchogodd ar ei ful*—creaduriaid cymysgryw o feirch ac asynod, y rhai oeddynt

Absalom. A holl feibion y brenin
a gyfodasant, a phob un a farchog-
odd ar ei ful, ac a ffoisant.
30 ¶ A thra *yr oeddynt* hwy ar y
ffordd, y daeth y chwedl at Dafydd,
gan ddywedyd, Absalom a laddodd
holl feibion y brenin, ac ni adawyd
un o honynt.
31 Yna y brenin a gyfododd, ac a
rwygodd ei ddillad, ac a orweddodd
ar y ddaear; a'i holl weision oedd
yn sefyll gerllaw, a'u gwisgoedd yn
rhwygedig.
32 A Jonadab mab Simeah, brawd
Dafydd, a atebodd ac a ddywedodd,
Na thybied fy arglwydd iddynt hwy
ladd yr holl lanciau, *sef* meibion y
brenin; canys Amnon yn unig a fu
farw: canys yr oedd yn mryd Absa-
lom *hyny*, er y dydd y treisiodd efe
Tamar ei chwaer ef.
33 Ac yn awr na osoded fy ar-
glwydd frenin y peth at ei galon,
gan dybied farw holl feibion y bren-
in: canys Amnon yn unig a fu
farw.
34 Ond Absalom a ffôdd. A'r llanc
yr hwn oedd yn gwylio a ddyrchaf-
odd ei lygaid, ac a edrychodd: ac
wele, bobl lawer yn dyfod ar hyd y
ffordd o'i ol ef, ar hyd ystlys y
mynydd.
35 A Jonadab a ddywedodd wrth
y brenin, Wele, feibion y brenin yn
dyfod: fel y dywedodd dy was, felly
y mae.
36 A phan orphenasai efe ymddy-
ddan, wele, meibion y brenin a
ddaethant, ac a ddyrchafasant eu
llef, ac a ŵylasant. A'r brenin hefyd
a'i holl weision a ŵylasant âg ŵylo-
fain mawr iawn.
37 ¶ Ac Absalom a ffôdd, ac a
aeth at Talmai mab Ammihud bren-
in Gesur: a *Dafydd* a alarodd am
ei fab bob dydd.
38 Ond Absalom a ffôdd, ac a aeth i
Gesur; ac yno y bu efe dair blynedd.
39 Ac *enaid* Dafydd y brenin a
hiraethodd am fyned at Absalom:
canys efe a gysuresid am Amnon,
gan ei farw ef.

---

dra chyffredin yn y dyddiau hyny, er yn waharddedig, Lef. xix. 19; *ac a ffoisant*—am eu bywydau tuag adref.

Adn. 30. *Daeth y chwedl at Dafydd*] Gan un o weision ei feibion, yr hwn a gychwynodd yn y fan pan syrthiodd Amnon, cyn i neb godi oddiwrth y bwrdd, ac a dybiai yn sicr fod yr un peth i gael ei wneuthur â holl feibion y brenin.

Adn. 31. *Yna y brenin a gyfododd, ac a rwygodd ei ddillad*] Yn arwydd o alar a thrallod dirfawr am lofruddiad ei holl feibion, fel y tybiai efe; *a'i holl weision*—sef ei brif-gynghoriaid a swyddogion ei lys, a rwygasant eu gwisgoedd fel yntau, yn arwydd o'u cydalar âg ef o herwydd y fath drychineb.

Adn. 32, 33. *A Jonadab*] Nai y brenin, ac ond odid un o'i brif-gynghoriaid ef; *a atebodd*—yn debygol ar ol holi y genad yn fanylach, a deall na welsai ef ladd neb ond Amnon; a chan ei fod ef yn 'ŵr call iawn,' adn. 3, ac wedi deall rywfodd am fwriad Absalom, efe a gasglodd yn naturiol nad oedd neb ond Amnon yn unig wedi marw; a mynai i'r brenin gredu hyny, a pheidio ymofidio i'r fath raddau. *Canys yr oedd yn mryd Absalom hyny*—yr hyn a gasglai efe ond odid oddiwrth agosrwydd y berthynas rhwng Absalom a Tamar, ac oddiwrth daerineb Absalom am gael Amnon i'r wledd yn anad neb, adn. 1, 26. Ond pa fodd bynag y gwyddai Jonadab am fwriad Absalom, yr oedd ef yn ddyn drygionus iawn wrth beidio rhybyddio Amnon o'i berygl, ar ol iddo ei gynghori i gyflawni y drwg.

Adn. 34. *Ond Absalom a ffôdd*] Yr oedd ef yn awr yn ofni meibion y brenin, gymaint ag yr ofnent hwythau ef: ffoisent hwy rhag ei falais ef, a ffôdd yntau rhag eu cyfiawnder hwythau. *A'r llanc yr hwn oedd yn gwylio*—sef un o weision Dafydd, yr hwn oedd yn edrych a oedd un genad arall yn dyfod o dŷ Absalom i Jerusalem, i gadarnhau neu wrthddywedyd y genadwri flaenorol; *ac wele bobl lawer yn dyfod*—sef meibion y brenin a'u gosgorddlu, y rhai oeddynt yn ffoi adref.

Adn. 35. *Fel y dywedodd dy was, felly y mae*] Ac y mae yn debyg ei fod yn ymffrostio yn fawr yn ei graffder a'i dybiaeth flaenorol.

Adn. 36. *Ac a ddyrchafasant eu llef*] Nis gallent ar y cyntaf fynegu y newydd galarus mewn geiriau, ond amlygent y peth mewn ŵylofain a dagrau; *a'r brenin hefyd a'i holl weision*—a dorasant allan i ŵylo o'r newydd, wrth weled yn awr fod Amnon wedi ei ladd.

Adn. 37. *Ac Absalom a ffôdd*] Yn lle sefyll ei dir i'w amddiffyn ei hun a'i weision, fel yr addawsai, adn. 28; *a Dafydd a alarodd am ei fab bob dydd*—sef am Amnon ei fab hynaf, ac etifedd naturiol y goron, yr hwn a lofruddiwyd gan ei frawd, ac a fu farw yn anedifeiriol *yn* ei feddwdod, ac *am* ei drais: ac yr oedd ei alar yn fwy, am y gwelai yn hyn ei gosp ei hun, yn ol gair yr Arglwydd trwy Nathan, 'nad ymadawai y cleddyf â'i dŷ ef byth,' pen. xii. 10. Ond tybia rhai mai galar Dafydd am Absalom a feddylir, gan y dywedir iddo 'ymgysuro am Amnon, gan ei farw ef,' adn. 39.

Adn. 38. *Ac a aeth i Gesur*] Gan ei fod yn euog o lofruddiaeth *wirfoddol*, nis gallai gael diogelwch mewn dinas noddfa yn ngwlad Israel; ac am hyny efe a ffôdd i Syria, i ymnoddi gyda Talmai brenin Gesur, yr hwn oedd yn daid iddo o'du ei fam, pen. iii. 3. *Ac yno y bu efe dair blynedd*—heb i neb gynyg ei aflonyddu.

## PENNOD XIV.

YNA Joab mab Serfiah a wybu *fod* calon y brenin tuag at Absalom.
2 A Joab a anfonodd i Tecoah, ac
a gyrchodd oddiyno wraig ddoeth,
ac a ddywedodd wrthi, Cymer arnat, atolwg, alaru, a gwisg yn awr alarwisg, ac nac ymira âg olew, eithr bydd fel gwraig yn galaru er ys llawer o ddyddiau am y marw:
3 A thyred at y brenin, a llefara
wrtho yn ol yr ymadrodd hyn. A Joab a osododd yr ymadroddion yn ei genau hi.
4 ¶ A'r wraig o Tecoah, pan
ddywedodd wrth y brenin, a syrthiodd i lawr ar ei hwyneb, ac a ymgrymodd: ac a ddywedodd, Cynorthwya, O frenin.
5 A dywedodd y brenin wrthi hi,
Beth *a ddarfu* i ti? A hi a ddywedodd, Yn wir gwraig weddw *ydwyf* fi, a'm gwr a fu farw.
6 Ac i'th lawforwyn *yr oedd* dau
fab, a hwynt ill dau a ymrysonasant yn y maes; ond nid *oedd* athrywynwr rhyngddynt hwy; ond y naill a darawodd y llall, ac a'i lladdodd ef.
7 Ac wele yr holl dylwyth a gy-
fododd yn erbyn dy lawforwyn, a hwy a ddywedasant, Dyro yr hwn a darawodd ei frawd, fel y lladdom ni ef, am einioes ei frawd a laddodd efe; ac y dyfethom hefyd yr etifedd: felly y diffoddent fy marworyn, yr

---

Adn. 39. *Ac enaid Dafydd y brenin a hiraethodd am fyned at Absalom*] Y mae yn debyg ei fod yn ofni gwahodd Absalom adref, rhag y byddai i'r awdurdodau gwladol ei roddi i farwolaeth; ac am hyny hiraethai am fyned, oddiar serch tadol, i ymweled âg ef yn Gesur. Rhaid i ni briodoli hyn oll i'w wendid ef; canys tra na fynai efe gospi Amnon am dreisio ei chwaer, mynai ddangos caredigrwydd i Absalom er iddo lofruddio ei frawd! *Canys efe a gysuresid am Amnon, gan ei farw ef*—mewn yspaid tair blynedd efe a ymiachodd o'i alar am farwolaeth Amnon, gan wybod nas gallai ei gael ef yn fyw o'i fedd, tra y gwyddai fod modd cael Absalom yn ol o'i alltudiaeth, yr hyn a chwennychai efe yn fawr. Deallodd Joab deimladau Dafydd, a dyfeisiodd ffordd i gael Absalom yn ol, fel y gwelwn yn y bennod nesaf. Ond buasai yn well i bawb pe gorphenasai Absalom ei ddyddiau yn Gesur, canys darfu i'w ddychweliad adref chwanegu at drueni ei dad anffortunus: a gellir sylwi fod ymlyniad tadol direswm fel hyn yn cael ei wobrwyo yn fynych eto yn yr un modd.

PEN. XIV. Adn. 1. *Yna Joab*] Nai Dafydd, a thywysog ei filwriaeth; *a wybu fod calon y brenin tuag at Absalom*—ei fod yn hiraethus am ei gael adref o'i alltudiaeth, pe gallesid gwneuthur hyny yn gyson â chyfiawnder, ac â'i anrhydedd ei hun. Casglai Joab hyny ond odid oddiwrth rywbeth a ddywedai Dafydd yn awr ac eilwaith yn nghylch Absalom.

Adn. 2. *A Joab a anfonodd i Tecoah*] Dinas yn llwyth Juda, oddeutu 9 milldir o du y deau i Jerusalem; *ac a gyrchodd oddiyno wraig ddoeth*—un ag y gwyddai ef ei bod yn alluog i'r fath orchwyl: a dywed yr Iuddewon mai nain y proffwyd Amos oedd hi. *Cymer arnat, atolwg, alaru*—fel y byddai i'w chyflwr galarus fel gwraig weddw, ei hadroddiad trallodus, a'i gwisg, wneuthur argraff dwysach ar y brenin, ac ennill ei sylw.

Adn. 3. *A llefara wrtho yn ol yr ymadrodd hyn*] Yr oedd hi i ddywedyd wrth y brenin fod ei gŵr wedi ei gladdu; fod ganddi ddau fab, y rhai oeddynt ei chynaliaeth a'i chysur hi yn ei gweddwdod; ddarfod iddynt ymryson yn y maes, ac i un o honynt yn anffodus ladd y llall; a'i bod hi, o'i rhan ei hunan, yn awyddus i arbed bywyd y llofrudd, fel nad amddifader hi o'i dau fab megys mewn un dydd: ond fod ei thylwyth yn sefyll yn erbyn ei einioes, nid o serch at yr ymadawedig, nac o awydd i weinyddu cyfiawnder, ond fel y byddai yr etifeddiaeth, ar ol lladd yr etifedd, yn eiddo iddynt hwy. Fel hyn, holl amcan ei hymadrodd oedd ffurfio achos cyffelyb i achos Dafydd, i'r dyben i'w argyhoeddi ef pa faint mwy rhesymol oedd cadw bywyd Absalom. Ond yr oedd llawer o fedrusrwydd yn angenrheidiol er peidio gwneyd y gyffelybiaeth yn rhy amlwg, rhag i'r brenin ddeall amcan deisyfiad y wraig cyn iddi gael maddeuant i'w mab.

Adn. 4. *Cynorthwya, O frenin!*] Yr oedd yr apeliad sydyn hwn, tra yr oedd hi ar ei gwyneb ar y ddaear, yn dangos ei bod mewn caledi a gofid dirfawr, ac nad oedd neb ond y brenin a allai ei chynorthwyo.

Adn. 5. *Yn wir gwraig weddw ydwyf fi*] Y mae yn bur debyg fod y prif ffeithiau a grybwyllir yma yn wirionedd, a darfod i Joab ei dewis hi am fod ei hamgylchiadau yn dwyn cryn debygolrwydd i'r hyn yr ewyllysiai efe ei arddangos.

Adn. 6. *Ac i'th lawforwyn yr oedd dau fab*] Hyn a ddywedai, pa un bynag ai ei fod yn wirionedd ai peidio, i gyfaddasu yr amgylchiad at Amnon ac Absalom. *Ond nid oedd athrywynwr rhyngddynt*—neb i'w heddychu na'u gwahanu, nac o ganlyniad i'w gweled, fel ag i allu dywedyd pwy oedd ar y bai. Neu fe allai ei bod hi yma yn cyfeirio at Dafydd, yr hwn ni cheisiodd gymodi ei ddau fab ei hun.

Adn. 7. *Ac wele yr holl dylwyth*] Sef tylwyth y bechgyn o du eu tad; *a gyfododd yn erbyn dy lawforwyn*—am na roddwn fy mab i fyny iddynt hwy, i ddial arno fel llofrudd

hwn a adawyd, heb adael i'm gŵr *nac* enw nac epil ar wyneb y ddaear.
8 A'r brenin a ddywedodd wrth y wraig, Dos i'th dŷ; a mi a roddaf orchymyn o'th blegid di.
9 A'r wraig o Tecoah a ddywedodd wrth y brenin, *Bydded* y camwedd hwn arnaf fi, fy arglwydd frenin, ac ar dŷ fy nhad i, a'r brenin a'i orseddfainc ef yn ddieuog.
10 A'r brenin a ddywedodd, Dwg ataf fi yr hwn a yngano wrthyt, ac ni chaiff mwyach gyffwrdd â thi.
11 Yna hi a ddywedodd, Cofied, atolwg, y brenin dy Arglwydd Dduw, rhag amlhau dialwyr y gwaed i ddistrywio, a rhag dyfetha o honynt hwy fy mab i. Ac efe a ddywedodd, *Fel mai* byw yr Arglwydd, ni syrth *un* o wallt pen dy fab di i lawr.
12 Yna y dywedodd y wraig, Atolwg, gâd i'th lawforwyn ddywedyd gair wrth fy arglwydd frenin. Yntau a ddywedodd, Dywed.
13 A'r wraig a ddywedodd, Paham gan hyny y meddyliaist fel hyn yn erbyn pobl Dduw? canys y mae y brenin yn llefaru y gair hwn megys *un* beius, gan na ddyg y brenin adref ei herwr.
14 Canys gan farw yr ydym ni yn marw, ac *ydym* fel dyfroedd wedi eu tywallt ar y ddaear, y rhai ni chesglir: gan na ddyg Duw *ei* einioes, efe a feddyliodd foddion, fel na yrer ymaith *ei* herwr oddiwrtho.

---

gwirfoddol. Dichon fod yma gyfeiriad at feibion ereill Dafydd, y rhai a'i cymhellent ef yn barhaus i ladd Absalom, dan rith dial gwaed Amnon, am mai efe oedd etifedd naturiol y goron: gwel pen. xiii. 28. *Felly y diffoddent fy marworyn*—fy unig obaith am hiliogaeth, fel y mae marworyn yn obaith am dân. Yr oedd y paganiaid yn defnyddio yr un gyffelybiaeth. Galwent yr ychydig bersonau a adawyd yn fyw ar ol dylif Deucalion yn *zôpura*, 'marwor byw,' am mai ganddynt hwy yr oedd *fflam fywiol* yr hil ddynol i gael ei *hail gyneu* ar y ddaear. *Heb adael i'm gŵr nac enw nac epil ar y ddaear*—mwy na marworyn wedi diffodd. Ond yn hyn yr oedd ei hachos hi yn annghyfatebol i achos Dafydd; canys pe lladdesid Absalom, yr oedd iddo ef amrai feibion ereill i barhau ei enw a'i hiliogaeth.

Adn. 8. *Dos i'th dŷ*] Adref i Tecoah; *a mi a roddaf orchymyn o'th blegid di*—efe a edrychai i mewn i'r amgylchiad; ac os cai efe fod pob peth fel y dywedasai hi, efe a roddai orchymyn i'r tylwyth na ddialent; yr hyn a allai efe ei wneuthur, os nad oedd *tyst* i'r weithred, adn. 6.

Adn. 9. *A'r wraig o Tecoah a ddywedodd*] Nid oedd yr addewid uchod yn ddigon ganddi hi, eithr mynai i Dafydd benderfynu yr achos y pryd hyny, heb ymchwilio yn mhellach iddo. *Bydded y camwedd hwn arnaf fi*—mynai arbediad i'w mab, ac i'r bai gael ei gyfrif iddi hi a'i theulu, os oedd wedi dywedyd rhywbeth i gamarwain y brenin; *a'r brenin a'i orseddfainc ef yn ddieuog*—wrth ddiogelu ei mab hi ar y dystiolaeth uchod.

Adn. 10. *Dwg ataf fi yr hwn a yngano wrthyt*] Am roddi dy fab i fyny i ddialydd y gwaed, neu a'th anmharcho am na wnai hyny. Ond nid oedd hyn ychwaith yn ddigon ganddi hi.

Adn. 11. *Cofied, atolwg, y brenin dy Arglwydd Dduw*] Yr hwn, pan y ceisier ganddo ef ddangos trugaredd, sydd yn gwneuthur hyny ar unwaith yn y fan, heb aros nes y byddo yn rhy ddiweddar: y mae fy mab yn agored i berygl bob mynyd; ac os na phenderfyna y brenin yr achos ar unwaith, gall fyned yn rhy ddiweddar. Neu fe allai mai cais yw hyn am iddo ef *dyngu* i'r Arglwydd y byddai iddo amddiffyn ei mab hi. *Fel mai byw yr Arglwydd*—tyngodd y brenin yn ddifrifol iddi na chai ei mab hi ddim niwed, gymaint a cholli blewyn o wallt ei ben; a hyn oedd y peth a geisiai y wraig ganddo o'r dechre.

Adn. 12. *Yna y dywedodd y wraig*] Ar ol iddi ennill ei phwnc, a chael llw y brenin na roddid ei mab hi i farwolaeth, yna y mae yn myned rhagddi i gymhwyso yr amgylchiad uchod, pa un bynag ai ffaith ynte dammeg ydoedd, at achos Absalom ei fab ef; ac i wneuthur defnydd o lw y brenin o blaid ei mab hi, i ddiogelu bywyd Absalom, a'i gael yn ol o'i alltudiaeth.

Adn. 13. *Paham gan hyny y meddyliaist fel hyn yn erbyn pobl Dduw?*] Gan i ti dyngu na chaiff dialwyr y gwaed ladd fy mab i, yr hwn na fyddai ei farwolaeth, fel dyn tylawd cyffredin, yn golled i neb ond i mi; onid yw yn greulondeb o'r mwyaf i ti feddwl dial gwaed Amnon ar Absalom, etifedd y goron, yr hwn y byddai ei farwolaeth yn ofid mawr i holl wladwriaeth Israel? *Y mae y brenin yn llefaru y gair hwn megys un beius*—wrth ddywedyd a thyngu y diogelir fy mab i, yr wyt yn dy gondemnio dy hun trwy beidio caniatâu yr un fraint i'th fab dy hun, neu wrth beidio ei ddwyn ef adref o'i alltudiaeth. *Ei herwr*—ei ffoadur neu ei enciliwr.

Adn. 14. *Canys gan farw yr ydym ni yn marw*] Rhai fel hyn, ac ereill fel arall: a chan mai marwolaeth yw rhan gyffredin pawb, buasai raid i Amnon farw, pe na laddasai Absalom ef; ac Absalom, er ei arbed gan law cyfiawnder, a raid farw er hyny o angenrheidrwydd natur; ac os na elwir ef adref yn ebrwydd, gall farw mewn alltudiaeth, yr hyn yn ddiau a fyddai yn ofid mawr i ti, O frenin, ac i holl bobl Dduw. A rhaid i tithau dy hun farw, ac am hyny yr wyt yn rhwym i ofalu am fywyd dy olynydd Absalom, ac i ymdrechu i'w ddiogelu ef, yn lle ei gymeryd

15 Ac yn awr mi a ddaethym i ymddyddan â'm harglwydd frenin am y peth hyn, oblegid i'r bobl fy nychrynu i: am hyny y dywedodd dy lawforwyn, Ymddyddanaf yn awr â'r brenin; ond odid fe a wna y brenin ddymuniad ei lawforwyn.

16 Canys y brenin a wrendy, fel y gwaredo efe ei lawforwyn o law y gŵr *a fynai* fy nyfetha i a'm mab hefyd o etifeddiaeth Dduw.

17 A'th lawforwyn a ddywedodd, Bydded, *atolwg,* gair fy arglwydd frenin yn gysur: canys fel angel Duw *yw* fy arglwydd frenin, i wrando y da a'r drwg: a'r Arglwydd dy Dduw fydd gyda thi.

18 Yna yr atebodd y brenin, ac y dywedodd wrth y wraig, Na chela, atolwg, oddiwrthyf fi y peth yr ydwyf yn ei ofyn i ti. A dywedodd y wraig, Llefared yn awr fy arglwydd frenin.

19 A'r brenin a ddywedodd, *A ydyw* llaw Joab gyda thi yn hyn oll? A'r wraig a atebodd ac a ddywedodd, *Fel mai* byw dy enaid di, fy arglwydd frenin, nid gwiw *troi* ar y llaw ddeau nac ar y llaw aswy oddiwrth yr hyn oll a ddywedodd fy arglwydd frenin: canys dy was Joab a orchymynodd i mi, ac a osododd yr holl eiriau hyn yn ngenau dy lawforwyn.

20 Ar fedr troi y chwedl y gwnaeth dy was Joab y peth hyn: ond fy arglwydd *sydd* ddoeth, fel doethineb angel Duw, i wybod yr hyn oll *sydd* ar y ddaear.

21 ¶ A'r brenin a ddywedodd

---

ymaith. *Ac ydym fel dyfroedd wedi eu tywallt ar y ddaear*—wedi i ni farw unwaith; *y rhai ni chesglir*—gan fod Amnon wedi marw, ni ellid ei ddwyn ef i fywyd drachefn pe lleddid Absalom, nac Absalom ychwaith pe lleddid yntau, mwy nag y gellir casglu dwfr ar ol ei dywallt ar y ddaear; am hyny gwell i ti ymdawelu am y naill, a maddeu i'r llall. *Gan na ddyg Duw ei einioes*—ond yn hytrach ddarfod iddo gadw Absalom yn fyw bellach er's tair blynedd, pen. xiii. 38; *efe a feddyliodd foddion*—rhaid ei fod wedi dyfeisio rhyw drefn i'w gael ef yn ol o'i alltudiaeth yn mhlith eilunaddolwyr. Fel hyn hi a geisiai berswadio Dafydd i fod yn debyg i Dduw, ac nid bod yn anfaddeugar ac annghymodlon tuag at un ag y dangosasai Duw drugaredd iddo.

Adn. 15. *Oblegid i'r bobl fy nychrynu i*] Trwy fygwth lladd fy mab i; neu, trwy ddywedyd y mynent Absalom adref er gwaethaf Dafydd; ac am hyny hi a ofnai y codid terfysg cartrefol yn y wlad, ac y deuai brenin Gesur yn mlaen i gynorthwyo Israel i osod Absalom ar yr orsedd yn lle ei dad. Nid oedd hyn ond ffyg i gyd, wedi ei ddyfeisio rhyngddi hi a Joab; a hi a lefarai fel hyn, rhag i'r brenin feddwl ei bod yn cymeryd gormod o hyfdra gydag ef. *Ymddyddanaf yn awr â'r brenin*—am achos Absalom, dan yr esgus o ymddyddan am ei mab ei hun, mewn gobaith y gwnai y brenin arbed Absalom fel yr oedd hi a Joab yn dymuno.

Adn. 16. *Canys y brenin a wrendy*] Hi a gasglai cyn cychwyn y gwnai efe hyny, oddiwrth ei diriondeb a'i hynawsedd arferol; *fel y gwaredo efe ei lawforwyn*—canys pe dyfethesid ei mab, buasai yr un peth a'i dyfetha hi, gan nad oedd ganddi un mab arall i feddiannu etifeddiaeth y teulu yn Israel, nac i barhau yr hiliogaeth: a chan y gwrandawai y brenin arni yn achos ei mab ei hun, hi a gasglai hefyd y gwrandawai efe arni yn achos ei fab yntau, gan ei arbed, a'i ddychwelyd yn ddiogel i'w wlad, ac i'w etifeddiaeth yn mhlith llwythau Israel.

Adn. 17. *Bydded, atolwg, gair fy arglwydd frenin yn gysur*] Yn air a barai gysur i bawb, pan glywent am fwriad a gorchymyn y brenin i ddwyn Absalom yn ol. *Canys fel angel Duw yw fy arglwydd frenin*—mewn doethineb, cyfiawnder, a daioni; *i wrando y da a'r drwg*—i wahaniaethu rhwng cais resymol ac un afresymol; neu i wybod beth sydd dda a pheth sydd ddrwg, a deall pob peth a ddelo o'th flaen. *A'r Arglwydd dy Dduw fydd gyda thi*—i'th gyfarwyddo i farnu yn iawn, ac i ddangos trugaredd: neu, gan dy fod mor ddoeth a grasol tuag at rai a gyfiawn haeddant eu cospi, bydd i Dduw fod gyda thi i'th lwyddo a'th fendithio yn dy holl weithredoedd.

Adn. 18. *Yna yr atebodd y brenin*] Wrth sylwi ar ei chyfrwysdra a'i deheurwydd anarferol hi yn yr hyn oll a ddywedai, deallodd y brenin nad oedd ei chwedl hi am ei mab ei hun ddim ond ffyg, ac mai ei chyfeiriad yn y cwbl oedd at ryddhau Absalom; a thybiai fod rhywun wedi bod yn ei dysgu i hyn.

Adn. 19. *A ydyw llaw Joab gyda thi yn hyn oll?*] Ai nid dyfais Joab yw hyn oll, yn llaw yr hwn yr ydwyt ti megys offeryn? *Nid gwiw troi ar y llaw ddeau nac ar y llaw aswy*—ni wiw ceisio celu y peth, y mae fel y dywedaist; *canys dy was Joab a orchymynodd i mi*—ddyfod o Tecoah i Jerusalem; *ac a osododd yr holl eiriau hyn yn ngenau dy lawforwyn*—o ran eu synwyr a'u sylwedd; canys diamau fod rhai o'r ymadroddion yn amrywio, yn ol fel yr oedd atebiad y brenin yn rhoddi achlysur.

Adn. 20. *Ar fedr troi y chwedl y gwnaeth dy was Joab y peth hyn*] Sef peri iddi ddywedyd y chwedl uchod am ei mab ei hun yn gyntaf; ac yna, ar ol cael addewid o amddiffyniad y brenin iddo ef, troi y chwedl hòno oddiwrtho ef, a'i chymhwyso at Absalom ei fab ei hun, i'r dyben i gael arbediad a dychweliad iddo yntau. *Ond fy arglwydd sydd ddoeth, fel doethineb angel Duw*—nid yn unig i ddeall amcan y chwedl uchod, ond

wrth Joab, Welo yn awr, gwnaeth-
ym y peth hyn: dos, a dwg y llanc
Absalom yn ei ol.
22 A Joab a syrthiodd i lawr ar
ei wyneb, ac a ymgrymodd, ac a
fendithiodd y brenin. A Joab a ddy-
wedodd, Heddyw y gwybu dy was
di gael o honof ffafr yn dy olwg di,
fy arglwydd frenin, am i'r brenin
gyflawni dymuniad ei was.
23 A Joab a gyfododd, ac a aeth
i Gesur, ac a ddyg Absalom i Jeru-
salem.
24 A'r brenin a ddywedodd, Trö-
ed i'w dŷ ei hun; ac nac edryched
*yn* fy wyneb i. Felly Absalom a
drodd i'w dŷ ei hun, ac ni welodd
wyneb y brenin.
25 ¶ Ac nid oedd ŵr mor glod-
fawr am ei degwch ag Absalom o
fewn holl Israel: o wadn ei droed
hyd ei goryn nid oedd wrthuni yn-
ddo ef.
26 A phan gneifiai efe ei ben
(canys un waith yn y flwyddyn y
torai efe ei wallt: o herwydd *ei* fod
yn drwm arno, am hyny efe a'i torai
ef) efe a bwysai wallt ei ben yn ddau
can sicl, wrth bwys y brenin.
27 A thri mab a anwyd i Absalom,
ac un ferch, a'i henw hi *oedd* Tamar:
yr oedd hi yn wraig dêg yr olwg.

hefyd i wybod pwy oedd ei hawdwr hi. *I wybod yr hyn oll sydd ar y ddaear*—nid oedd hyn ddim ond gweniaith, yn ol arferiad parhaus y dwyreinwyr, y rhai, wrth gyfarch gŵr mawr, a ddywedant, 'Fy arglwydd, ti a wyddost bob peth; yr wyt ti yn un o angylion y duwiau.' Dywed y Persiaid fod eu brenhinoedd hwy yn meddu llawn wybodaeth o'r pethau mwyaf a lleiaf.

Adn. 21. *A'r brenin a ddywedodd wrth Joab*] Yr hwn ond odid oedd yn yr ystafell yn gwrando yr hyn oll a ddywedid gan y wraig. *Wele, yn awr, gwnaethym y peth hyn*—yr wyf wedi cydsynio i alw Absalom adref ar dy gais di trwy y wraig hon; *dos*—mor fuan ag y myni; *a dwg y llancAbsalom yn ei ol*—er y cymerai Dafydd arno wneyd hyn ar ddeisyfiad Joab, eto mewn gwirionedd yr oedd ef ei hun yn hiraethu yn fawr am gael ei fab adref; ac yr oedd yn meddwl hefyd fod ei lw i arbed mab y wraig yn ei rwymo i arbed Absalom, yr hwn oedd y person a fwriedid mewn gwirionedd.

Adn. 22. *A Joab a syrthiodd i lawr ar ei wyneb*] Mewn anrhydedd iddo, ac ymostyngiad defodol ger ei fron; *ac a fendithiodd y brenin*—a erfyniodd am fendith Duw arno; neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'ac a *ddiolchodd* i'r brenin,' am roi caniatâd iddo ef i ddwyn Absalom adref. *Heddyw y gwybu dy was*—dichon ei fod yn ofni o'r blaen, er pan laddasai efe Abner, nad oedd ef yn ffafr y brenin; ond yn awr efe a ystyriai hyn fel arwydd amlwg ei fod yn gymeradwy yn ei olwg ef.

Adn. 23. *A Joab a gyfododd*] Oddiar y ddaear; *ac a aeth i Gesur*—ond odid yr awr hòno, gan faint ei awydd i gael Absalom yn ol. Yr oedd o Jerusalem i Gesur 99 o filldiroedd.

Adn. 24. *Tröed i'w dŷ ei hun*] Yr hwn oedd ganddo yn Jerusalem cyn iddo ffoi i Gesur, lle yr oedd Tamar yn cartrefu, os oedd hi eto yn fyw, pen. xiii. 20; *ac nac edryched yn fy wyneb i*—yr hyn ni wnaeth am ddwy flynedd, adn. 28. Efe a orchymynodd hyn (1) I ddystewi y rhai a'i beient am ddwyn Absalom yn ol; (2) I ddangos ei anfoddlonrwydd i weithred Absalom; ac, (3) Mewn bwriad i'w ddarostwng ef i edifeirwch am dywallt gwaed.

Adn. 25. *Ac nid oedd ŵr mor glodfawr am ei degwch ag Absalom*] Crybwyllir hyn i ddangos paham y cerid ef mor fawr gan yr holl bobl, y rhai a edrychent yn fwy ar brydferthwch allanol nag ar rinweddau mewnol; *o wadn ei droed hyd ei goryn nid oedd wrthuni ynddo ef*—dim craith na chramen, nac annghyfartalwch yn ei aelodau na'i wynebpryd: yr oedd ef yn mhob dim yn ddyn iach, lluniaidd, heinif, a phrydweddol.

Adn. 26. *Un waith yn y flwyddyn y torai efe ei wallt*] Y mae *mikkets yamim laiyamim* yn arwyddo yn llythyrenol, 'o ddiwedd dyddiau i ddyddiau;' yr hyn a ddeonglir yn briodol gan Jonathan ben Uzzil ac ereill, 'ar amserau priodol neu gyfleus;' sef pan fyddai ei wallt wedi tyfu yn rhy hir neu yn rhy drwm, yr hyn a allai fod yn amlach nag un waith yn y flwyddyn. *Efe a bwysai wallt ei ben yn ddau can sicl*—sef yr hyn a gneifid ymaith, heb son am yr hyn a adewid ar ol. Trwy fod sicl y cysegr yn pwyso hanner wns, yr oedd y gwallt a dorid ymaith, yn ol hwnw, yn pwyso 8 pwys a 4 wns; ac nid yw hyny yn rhyfedd, pan yr ystyriom fod gwallt y mawrion y pryd hyny yn cael ei iro âg enaint lawer, a'i addurno â llwch aur, yr hwn oedd yn drwm a drud. Ond chwanegir yma, *Wrth bwys y brenin*—yr hyn, yn ol Epiphanius, ni wnai ond 4 pwys a 2 wns, trwy nad oedd sicl y brenin ond cyfartal i hanner sicl y cysegr. Eithr tybia rhai fod hyn eto yn ormod o lawer; ac y mae Clarke yn meddwl fod camgymeriad wedi ymlusgo i mewn i'r testyn, wrth roddi y nifer mewn geiriau llawn, yn lle mewn llythyrenau rhifedigol, fel y nodwyd o'r blaen ar pen. x. 18. Tybia ef fod y lythyren *lamed*, yr hon a saif am 30, ac a allai fod yn y testyn ar y cyntaf, wedi cael ei chamgymeryd gan yr adysgrifenydd am *resh*, 200, y rhai o ran llun sydd yn lled debyg i'w gilydd; ac os felly, ni phwysai 30 sicl, hyd yn nod yn ol sicl y *cysegr*, ddim ond 15 wns; a byddai ychydig dan hanner pwys wrth sicl y *brenin*. Wedi y cwbl, gall mai *gwerth* y gwallt, ac nid ei *bwysi*, a olygir; ac felly yr oedd 200 sicl, yn ol 2*s*. 6*c*. yr un, yn cyraedd i £25 o'n harian ni, yr hyn nid yw ryfedd os oedd llawer o lwch aur ynddo; neu cyrhaeddai 30 sicl i £3 15*s*. yn unig.

28 ¶ Felly Absalom a drigodd
ddwy flynedd gyfan yn Jerusalem,
ac ni welodd wyneb y brenin.
29 Am hyny Absalom a ddanfon-
odd am Joab, i'w anfon ef at y bren-
in; ond ni ddeuai efe ato ef: ac efe
a anfonodd eto yr ail waith, ond ni
ddeuai efe ddim.
30 Am hyny efe a ddywedodd
wrth ei weision, Gwelwch randir
Joab ger fy llaw i, a haidd *sydd* gan-
ddo ef yno; ewch a llosgwch hi â
thân. A gweision Absalom a losg-
asant y rhandir â thân.
31 Yna Joab a gyfododd, ac a
ddaeth at Absalom i'*w* dŷ, ac a ddy-
wedodd wrtho, Paham y llosgodd
dy weision di fy rhandir i â thân?
32 Ac Absalom a ddywedodd
wrth Joab, Wele, mi a anfonais atat
ti, gan ddywedyd, Tyred yma, fel
y'th anfonwyf at y brenin, i ddy-
wedyd, I ba beth y daethym i o
Gesur? gwell *fuasai* i mi fy *mod*
yno eto: ac yn awr gadawer i mi
weled wyneb y brenin; ac od oes
gamwedd ynof, lladded fi.
33 Yna Joab a ddaeth at y brenin,
ac a fynegodd iddo ef. Ac efe a
alwodd am Absalom. Yntau a
ddaeth at y brenin, ac a ymgrym-
odd iddo i lawr ar ei wyneb gerbron
y brenin. A'r brenin a gusanodd
Absalom.

## PENNOD XV.

AC wedi hyn y parotôdd Absalom
iddo ei hun gerbydau, a meirch,
a dengwr a deugain i redeg o'i flaen.
2 Ac Absalom a gyfodai yn fore,

Adn. 27. *A thri mab a anwyd i Absalom*] Y rhai a fuont feirw o'i flaen ef, pen. xviii. 18; *ac un ferch*—yr hon a alwodd efe Tamar, o barch i'w chwaer; *yr oedd hi yn wraig dêg yr olwg*—fel ei modryb, pen. xiii. 1. Y mae y LXX yn chwanegu yma, 'A hi a aeth yn wraig i Roboam, mab Solomon, ac a ymddyg Abia iddo ef:' gwel Mat. i. 7. Ceir yr un darlleniad hefyd yn Josephus.

Adn. 28. *Ddwy flynedd*] Gwel ar adn. 24.

Adn. 29. *I'w anfon ef at y brenin*] I geisio gan y brenin ei dderbyn ef i'w wyddfod. Y mae yn debyg fod Absalom dan fath ar gaethiwed yn ei dŷ ei hun er's dwy flynedd; a chan ei fod wedi blino ar y cyflwr hwnw, mynai i Joab eiriol am ollyngdod iddo. *Ond ni ddeuai efe ato ef*—naill ai am y gwyddai na fynai y brenin weled Absalom; neu ynte am nad oedd Absalom wedi ei wobrwyo ef yn ddigonol am ei wasanaeth o'r blaen iddo; neu dichon y gwyddai Joab fod gan Absalom ryw fwriadau drwg yn erbyn ei dad a'i deyrnas. Rhaid fod rhyw achos fel hyn yn bodoli, pan y gommeddai fyned ato ar ol danfon am dano ddwywaith.

Adn. 30. *Gwelwch randir Joab ger fy llaw i*] Gan fod Absalom a Joab yn gefnderoedd, yr oedd eu hetifeddiaethau hwy yn agos i'w gilydd, yn ol y rhaniad cyntefig i'r teuluoedd; *a haidd sydd ganddo ef yno*—yr hwn ond odid oedd yn addfed, ac felly yn barotach i losgi; *ewch, a llosgwch hi â thân*—nid yn unig i ddial ar Joab, ond hefyd mewn gobaith i'w ddwyn ef i'w wyddfod, fel y gallai yntau fyned i wyddfod y brenin. Y mae yn debyg mai yr un gweision oedd y rhai hyn ag a laddasent Amnon.

Adn. 31. *Yna Joab a gyfododd*] Ar ol deall mai gweision Absalom a losgasant ei randir ef yn ol gorchymyn eu meistr, efe a aeth ato i'w dŷ i geisio eglurhad.

Adn. 32. *Ac Absalom a ddywedodd*] Heb wadu y weithred, na gofyn am faddeuant gan Joab; *Wele, mi a anfonais atat ti*—gwel ar adn. 29. *I ba beth y daethym i o Gesur?*—beth oedd yn ngolwg fy nhad wrth dy anfon di yno i fy nghyrchu i yma? *Gwell fuasai i mi fy mod yno eto*—yn anrhydeddus yn llys y brenin yn Gesur, na bod fel hyn yn gaeth yn fy nhŷ fy hun yn Jerusalem, a than y gwarth o esgymundod o wyddfod brenin Israel. *Ac yn awr gadawer i mi weled wyneb y brenin*—eiriol di drosof fel y byddo i mi gael y fraint hon. Nid o barch i'w dad y ceisiai Absalom hyn, fel y gwelwn yn y bennod nesaf; eithr mewn awydd am ei ryddid a'i anrhydedd ei hun, ac fel y gallai gael cyfle i ennill y bobl i wrthryfela yn erbyn y brenin. *Ac od oes gamwedd ynof*—nis gallai ef lai na gwybod ei fod yn euog o'r camwedd mwyaf fel llofrudd ei frawd; ond efe a gymerai arno, os na fyddai i'r brenin faddeu iddo, a'i dderbyn i'w wyddfod, fod yn well ganddo *farw* yn ol y gyfraith.

Adn. 33. *Yna Joab a ddaeth at y brenin*] I eiriol dros Absalom yn ol ei ddymuniad. *Ac efe a alwodd am Absalom*—yr hwn ni welsai bellach er's pum mlynedd, adn. 28, pen. xiii. 38. *Yntau a ddaeth*—gan ymgrymu o flaen y brenin mewn rhith o barch ac ymostyngiad. *A'r brenin a gusanodd Absalom*—yn arwydd o gymod, ac mewn gwir serchogrwydd tadol. Dywed Josephus i'r brenin ei gyfodi ef oddiar y ddaear, gan addaw maddeuant iddo am yr hyn oll a aethai heibio. Yr oedd hyn yn wendid mawr yn Dafydd; canys nid yw yr anedifeiriol ond yn ymgryfhau yn ei ddrygioni trwy faddeuant o'i gamweddau, fel y gwelwn eto yn achos Absalom.

PEN. XV. Adn. 1. *Ac wedi hyn*] Ar ol iddo gael maddeuant, a rhyddid i fyned i lys y brenin fel cynt; *y parotôdd Absalom iddo ei hun gerbydau a meirch*—gan nad oedd meirch yn Israel y pryd hyn, dichon mai gan ei daid, brenin Gesur, y cafodd efe y meirch a'r cerbydau hyn; *a dengwr a deugain i redeg o'i flaen*—i chwanegu ei rwysg a'i fawredd fel mab hynaf y brenin. Nid oedd hyn oll fawr lai mewn effaith na darpariaeth i fyned â'r frenhiniaeth oddiar ei dad.

ac a safai gerllaw ffordd y porth: ac Absalom a alwai ato bob gŵr yr oedd iddo fater i ddyfod at y brenin am farn, ac a ddywedai, O ba ddinas *yr ydwyt* ti? Yntau a ddywedai, O un o lwythau Israel *y mae* dy was.

3 Ac Absalom a ddywedai wrtho ef, Wele, *y mae* dy faterion yn dda, ac yn uniawn; ond nid *oes* neb dan y brenin a wrandawo arnat ti.

4 Dywedai Absalom hefyd, O na'm gosodid i yn farnwr yn y wlad, fel y delai ataf fi bob gŵr a fyddai ganddo hawl neu gynghaws; myfi a wnawn gyfiawnder iddo.

5 A phan nesäai neb i ymgrymu iddo ef, efe a estynai ei law, ac a ymaflai ynddo ef, ac a'i cusanai.

6 Ac fel hyn y gwnai Absalom i holl Israel y rhai a ddeuent am farn at y brenin. Felly Absalom a ladrataodd galon holl wŷr Israel.

7 ¶ Ac yn mhen deugain mlynedd y dywedodd Absalom wrth y brenin, Gad i mi fyned, atolwg, a thalu fy adduned a addunedais i'r Arglwydd yn Hebron.

8 Canys dy was a addunedodd adduned, pan oeddwn i yn aros o fewn Gesur yn Syria, gan ddywedyd, Os gan ddychwelyd y dychwel yr Arglwydd fi i Jerusalem, yna y gwasanaethaf yr Arglwydd.

9 A'r brenin a ddywedodd wrtho ef, Dos mewn heddwch. Felly efe a gyfododd, ac a aeth i Hebron.

10 ¶ Eithr Absalom a anfonodd yspïwyr trwy holl lwythau Israel, gan ddywedyd, Pan glywoch lais yr udgorn, yna dywedwch, Absalom sydd yn teyrnasu yn Hebron.

---

Adn. 2. *Ac Absalom a gyfodai yn fore*] Fel y gallai gael cyfle i ddangos rhith o bryder am les a daioni y cyffredin. *O ba ddinas yr wyt ti?*—gofynai hyn fel arweiniad i mewn i ymddyddaniad pellach, ac i ennill serch Israel ato, a'u hymddiriediad ynddo.

Adn. 3. *Wele, y mae dy faterion yn dda ac yn uniawn*] Fel hyn efe a wenieithiai i bawb fod cyfiawnder o'u tu, fel, os troai yr achos wedi hyny yn eu herbyn, y byddai iddynt gasglu, pe buasai Absalom yn farnwr, y troisai efe gyda hwynt. *Ond nid oes neb dan y brenin a wrandawo arnat ti*—a wna gyfiawnder i ti. Y mae meibion ereill y brenin, a'r barnwyr a'r llywodraethwyr dano ef, oll yn llygredig, neu yn rhy esgeulus a difater i drin achosion fel hyn; ac y mae fy nhad yn rhy hen neu afiach i edrych i mewn iddynt ei hunan. Fel hyn y dywedai neu yr awgrymai Absalom: a thybia Delany fod Dafydd yn beryglus afiach y pryd hyn.

Adn. 4. *O na'm gosodid i yn farnwr yn y wlad!*] Ymddengys oddiwrth hyn nad oedd Absalom yn dal un swydd dan y brenin, fel y gwnai ei frodyr; a hyny o herwydd ei drosedd yn lladd ei frawd; ac am y gwyddai y brenin ei fod yn ddyn balch, gwyllt, ac uchelfrydig iawn. *Myfi a wnawn gyfiawnder iddo*—heb dderbyn wyneb y cyfoethog o flaen y tylawd. Efe a lefarai fel hyn wrth ddeiliaid ei dad, i greu anfoddlonrwydd ynddynt yn erbyn y llywodraeth bresenol, ac i'w parotoi hwynt i gymeryd ei blaid ef yn ei amcan gwrthryfelgar.

Adn. 5. *A phan nesäai neb i ymgrymu iddo ef*] Fel mab y brenin ac etifedd y goron; *efe a estynai ei law*—i attal iddo ymgrymu iddo ef, ac ymostyngai ei hunan i'w gusanu.

Adn. 6. *Ac fel hyn y gwnai Absalom i holl Israel*] Nid yn unig i'r mawrion, ond i'r tylodion hefyd, nes yspeilio ei dad o serchiadau ei holl ddeiliaid, a pheri iddynt hiraethu am weled Absalom ar yr orsedd.

Adn. 7. *Ac yn mhen deugain mlynedd*] Addefir yn gyffredin fod yma wall wedi ymlusgo i'r testyn; yn lle *arbaim*, DEUGAIN, mai *arba*, PEDAIR, a ddylasai fod, fel y mae y Syriaeg a'r Arabaeg yn ei ddarllen; hyny yw, yn mhen *pedair blynedd* ar ol i'w dad faddeu iddo. Ond y mae dau o ysgriflyfrau Kennicott yn darllen 'deugain NIWRNOD,' yn lle 'deugain MLYNEDD;' ac y mae hyny yn debycach i wirionedd na'r darlleniad cyffredin, canys ni bu Dafydd byw ond deugain mlynedd ar ol cael ei wneyd yn frenin: gwel ar pen. v. 4, 5. *Gad i mi fyned, atolwg, a thalu fy adduned a addunedais i'r Arglwydd, yn Hebron*—yn Gesur y gwnaethai efe yr adduned, adn. 8, yr hon oedd i'w thalu yn Hebron, lle y ganesid ef. Gwyddai Absalom y byddai yn dda gan ei dad weled rhyw arwyddion o grefydd ynddo, ac y byddai yn hawdd ganddo ei ollwng ef i Hebron i dalu ei adduned i'r Arglwydd; ac fel hyn yr oedd efe yn gwneyd mantell o grefydd i guddio ei amcan gwrthryfelgar yn erbyn ei dad, ac i ddechreu ar y gwrthryfel hwnw.

Adn. 8. *Os gan ddychwelyd y dychwel yr Arglwydd fi i Jerusalem*] Efe a lefara yma fel gŵr crefyddol iawn, yr hwn a ddysgwyliai wrth yr Arglwydd am iddo ef ei ddychwelyd; *yna y gwasanaethaf yr Arglwydd*—trwy aberthu iddo ef yn Hebron, adn. 12. Y mae yn debyg mai dyfais gelwyddog oedd hon, i gael caniatâd y brenin i fyned i Hebron, fel y gallai ddwyn i ben ei fradwriaeth.

Adn. 9. *Dos mewn heddwch*] Bydded dy daith yn llwyddiannus, a'th neges yn gymeradwy gan Dduw. *Felly efe a gyfododd*—bore dranoeth; *ac a aeth i Hebron*—yr hon oedd oddeutu 20 milldir o du y deau i Jerusalem, ac yn ail brifddinas yn llwyth Juda: gwel ar pen. ii. 1. Yma hefyd y ganed ef, ac yma y dechreuodd ei dad deyrnasu, yr hyn a ystyriai ef yn argoel da o'i deyrnasiad yntau.

Adn. 10. *Eithr Absalom a anfonodd yspïwyr*] Yr oedd y rhai hyn wedi ymdaenu o'r blaen trwy holl lwythau Israel; ac yr oedd udganiad yr *udgorn* i fod yn arwydd i bawb

11 A dau cant o wŷr a aethant
gydag Absalom o Jerusalem, *ar*
wahodd; ac yr oeddynt yn myned
yn eu gwiriondeb, ac heb wybod
dim oll.
12 Ac Absalom a anfonodd am
Ahitophel y Giloniad, cynghorwr
Dafydd, o'i ddinas, o Giloh, tra
oedd efe yn offrymu aberthau. A'r
cydfradwriaeth *oedd* gryf; a'r bobl
oedd yn amlhau gydag Absalom yn
wastadol.
13 ¶ A daeth cenad at Dafydd,
gan ddywedyd, Y mae calon gwŷr
Israel ar ol Absalom.
14 A dywedodd Dafydd wrth ei
holl weision y rhai *oedd* gydag ef
yn Jerusalem, Cyfodwch a ffown;
canys ni ddiangwn ni gan Absalom:
brysiwch i fyned; rhag iddo ef
frysio a'n dala ni, a dwyn drwg ar-
nom ni, a tharo y ddinas â min y
cleddyf.
15 A gweision y brenin a ddy-
wedasant wrth y brenin, Wele, dy
weision *yn barod*, ar ol yr hyn oll a
ddewiso fy arglwydd frenin.
16 A'r brenin a aeth, a'i holl dy-
lwyth ar ei ol. A'r brenin a adaw-
odd ddeg o ordderchwragedd i gadw
y tŷ.
17 A'r brenin a aeth ymaith, a'r
holl bobl ar ei ol; a hwy a arosas-
ant mewn lle o hirbell.
18 A'i holl weision ef oedd yn
cerdded ger ei law ef: yr holl Cer-
ethiaid a'r holl Pelethiaid, a'r holl
Gethiaid, a chwe chànwr a ddaeth-
ai ar ei ol ef o Gath, oedd yn cerdd-
ed o flaen y brenin.
19 ¶ Yna y dywedodd y brenin
wrth Ittai y Gethiad, Paham yr âi

---

godi, a chyhoeddi brenhindod Absalom yn mhob lle megys ar unwaith. Clywid yr udgorn cyntaf yn Hebron, gan udganwr ag oedd filldir neu ddwy oddiyno; a chlywid ei udgorn yntau gan un pellach fyth o Hebron; ac felly, mewn ychydig amser, taenid y newydd trwy holl lwythau Israel: ac wrth glywed y waedd, *Absalom sydd yn teyrnasu yn Hebron*, meddyliai llawer fod Dafydd wedi marw, neu wedi rhoddi Absalom ar yr orsedd cyn ei farw; yr hyn a barai i'r holl wlad fyned ar ol Absalom, cyn gwybod mai gwrthryfela yr oedd efe yn erbyn ei dad!

Adn. 11. *A dau gant o wŷr a aethant gydag Absalom*] Wedi eu hudo i Hebron dan yr esgus o gydgyfranogi âg ef o'r wledd grefyddol yno, heb wybod dim am ddyfais fradwrus Absalom i ddiorseddu ei dad; ac y mae yn debyg eu bod oll naill ai yn filwyr dewr, neu ynte yn wŷr o urddas ac uwchafiaeth. Gobeithiai Absalom eu hennill hwy o'i blaid ar ol myned i Hebron, neu o leiaf eu gosod yn agored i ddrwgdybiaeth Dafydd, fel na byddai ganddo ef hyder ynddynt mwyach; ac yna byddent yn debyg o bleidio Absalom i'w diogelu eu hunain.

Adn. 12. *Ac Absalom a anfonodd am Ahitophel*] I ymgynghori âg ef ar yr achos drygionus hwn; *cynghorwr Dafydd*—neu yr hwn a fuasai yn gynghorwr iddo. Meddylir ei fod ef wedi cilio oddiwrth Dafydd cyn hyn, o herwydd i'r brenin warthruddo ei dŷ ef, trwy orwedd gyda Bathseba, yr hon oedd yn ŵyres i Ahitophel, pen. xxiii. 34. *O'i ddinas o Giloh*—lle yr oedd efe yn aros yn awr, 12 milldir o du y deau i Hebron. *Tra oedd efe yn offrymu aberthau*—dan rith cyfranogi o'r wledd gydag ef. *A'r cydfradwriaeth oedd gryf*—am fod y bobl yn amlhau gydag Absalom bob dydd, y rhai a ddeuent i gyfranogi o'r wledd aberthawl, heb feddwl dim drwg ar y cyntaf.

Adn. 13. *A daeth cenad at Dafydd*] Ond odid un o'r ddau cànwr a aethent gydag Absalom i Hebron, adn. 11. *Y mae calon gwŷr Israel ar ol Absalom*—i'w wneuthur ef yn frenin yn dy le di.

Adn. 14. *Cyfodwch, a ffown*] Y mae yn rhyfedd i ŵr o ddewrder Dafydd lwfrhau gymaint cyn gynted ag y clywodd am y cydfradwriaeth uchod: ond yr oedd ei hen euogrwydd yn peri iddo ofni fel hyn, a'r bygythiad y 'cyfodid drwg i'w erbyn o'i dŷ ei hun,' pen. xii. 11. Ac efe a wyddai am ffyrnigrwydd ei fab, ac ynfydrwydd anfoddog ei bobl; ac felly barnai mai doethach oedd ffoi, yn hytrach na gwneuthur un gwrthsafiad.

Adn. 15. *A gweision y brenin*] Ei gynghoriaid, ei swyddogion gwladol, ei weision teuluaidd, a'r milwyr ag oeddynt o amgylch ei berson, adn. 18. *Wele dy weision yn barod*—i'th amddiffyn di a'r ddinas, neu i ffoi allan o honi yn ol dy ddewisiad.

Adn. 16. *A'r brenin a aeth*] Allan o Jerusalem; *a'i holl dylwyth ar ei ol*—Heb. 'ar draed:' canys dewisai Dafydd *gerdded*, fel y gallai ymddarostwng yn fwy dan law Duw, a chefnogi y lleill yn y caledi hwn, a'u hennill i dosturio yn fwy wrtho ef. *A'r brenin a adawodd ddeg o ordderchwragedd i gadw y tŷ*—gan feddwl y byddai i'w rhywogaeth a'u gradd eu diogelu rhag cynddaredd ei fab. Y mae yn debyg i wragedd priodol Dafydd, a'i blant, ffoi ymaith gydag ef.

Adn. 17. *A hwy a arosasant mewn lle o hirbell*] Oddiwrth y ddinas, i drefnu ei weision a'i filwyr, ac i weled pwy o'r trigolion a'u dylynasent hwy.

Adn. 18. *Cerethiaid a'r holl Pelethiaid*] Gwel ar pen. viii. 18; *a'r holl Gethiaid*—tybia rhai mai Philistiaid wedi eu proselytio yn Gath oedd y rhai hyn; ac ereill, mai Iuddewon a ymmoddasent gydag ef pan yn aros yn Gath oeddynt; ac ereill, mai y chwe chànwr isod oeddynt, y rhai a elwid felly am iddynt fod yn aros yn Gath; *a chwe chànwr*—gwel ar 1 Sam. xxvii. 2. Yn yr orymdaith hon yr

di hefyd gyda ni? Dychwel, a thrig
gyda'r brenin: canys alltud *ydwyt*
ti, a dyeithr hefyd allan o'th fro dy
hun.
20 Doe y daethost ti; a fudwn ni di
heddyw i fyned gyda ni? Myfi a âf i
rywle; dychwel di, a dwg dy frodyr
*gyda thi:* trugaredd a gwirionedd
*fyddo* gyda thi.
21 Ac Ittai a atebodd y brenin,
ac a ddywedodd, *Fel mai* byw yr
Arglwydd, ac *mai* byw fy arglwydd
frenin, yn ddiau yn y lle y byddo
fy arglwydd frenin ynddo, pa un
bynag ai mewn angau ai mewn einioes, yno y bydd dy was hefyd.
22 A Dafydd a ddywedodd wrth
Ittai, Dos, a cherdda drosodd. Ac
Ittai y Gethiad a aeth drosodd, a'i
holl wŷr, a'r holl blant *oedd* gydag
ef.
23 A'r holl wlad oedd yn ŵylofain
â llef uchel; a'r holl bobl a aethant
drosodd. A'r brenin a aeth dros
afon Cidron, a'r holl bobl a aeth
drosodd, tua ffordd yr anialwch.
24 ¶ Ac wele, Sadoc, a'r holl
Lefiaid *oedd* gydag ef, yn dwyn arch
cyfammod Duw; a hwy a osodasant
i lawr arch Duw; ac Abiathar a
aeth i fyny, nes darfod i'r holl bobl
ddyfod allan o'r ddinas.
25 A dywedodd y brenin wrth
Sadoc, Dychwel âg arch Duw i'r
ddinas: os caf fi ffafr yn ngolwg yr
Arglwydd, efe a'm dwg eilwaith,
ac a bar i mi ei gweled hi, a'i
babell.

---

oedd rhai yn cerdded bob ochr i'r brenin, ac ereill o'i flaen ef.

Adn. 19. *Yna y dywedodd y brenin wrth Ittai y Gethiad*] Meddylir mai efe oedd llywodraethwr y Gethiaid, neu y chwe chànwr uchod; a dywed yr Iuddewon ei fod yn fab i Achis brenin Gath, yr hwn o ran crefydd a chyfeillgarwch a ymunasai â Dafydd. *Paham yr âi di hefyd gyda ni*—a thithau yn alltud a dyeithr, heb un achos yn galw arnat i ymgyfranogi o'n trueni a'n peryglon ni? *Dychwel*—i Jerusalem; *a thrig gyda'r brenin*—sef gydag Absalom, yr hwn oedd frenin trwy drawsfeddiant; canys, fel dyeithrddyn, gallai ddysgwyl triniaeth dda oddiar ei law ef. Neu, dychwel adref at frenin Gath.

Adn. 20. *Doe y daethost ti*] O Gath, neu o ryw ryfel ag y buasai ef a'i wŷr ynddi yn ngwasanaeth Dafydd; *ac a fudwn ni di heddyw*—a thithau yn flinderog a lluddedig, heb gael amser i orphwyso? *Myfi a âf*—a grwydraf i rywle am ddiogelwch, gan dy adael di a'th filwyr ar ol. *Trugaredd a gwirionedd fyddo gyda thi*—danghosed yr Arglwydd drugaredd a thiriondeb i ti, fel yr wyt tithau wedi dangos cariad a ffyddlondeb i minau; a chadwed ei wirionedd ef di byth rhag cyfeiliornad a thwyll. Fel hyn ni a welwn i breswyliad Dafydd yn ngwlad y Philistiaid fod o les ysbrydol i lawer o'r genedl hòno.

Adn. 21. *Ac Ittai a atebodd*] Gan dyngu i fywyd Jehofa a bywyd Dafydd, mewn cadarnhad o'i ymlyniad wrth y brenin hyd angau. *Yn ddiau yn lle y byddo fy arglwydd frenin ynddo*—efe a âi gyda'r brenin i ba le bynag yr âi yntau, anturiai ei fywyd yn ei achos ef, a byddai fyw neu farw gydag ef. Yr oedd hyn yn ffyddlondeb ardderchog mewn estron at ei frenin, pan yr oedd ei fab ei hun yn wrthryfelwr yn ei erbyn ef!

Adn. 22. *A Dafydd a ddywedodd wrth Ittai*] Ar ol i Dafydd ddeall ei benderfyniad i lynu wrtho, ni cheisiodd ganddo ddychwelyd mwyach; eithr myned rhagddo, efe a'i wŷr, dros afon Cidron o'i flaen ef. *A'r holl blant oedd gydag ef*—y rhai a berthynent i Ittai a'i wŷr; a diamau fod eu gwragedd, mamau y plant, yno hefyd.

Adn. 23. *A'r holl wlad oedd yn ŵylofain*] Wrth weled fod y brenin yn gorfod ffoi o Jerusalem rhag brad a gwrthryfel ei fab ei hun; *a'r holl bobl a aethant drosodd*—y rhai oeddynt gyda Dafydd, adn. 18; *a'r brenin a aeth dros afon Cidron*—fel wedi hyny yr aeth ein Hiachawdwr bendigedig, o'r hwn yr oedd Dafydd yn gysgod, wrth fyned i ardd Gethsemane, Ioan xviii. 1. *Tua ffordd yr anialwch*—yr hwn a orweddai rhwng Jerusalem a Jericho.

Adn. 24. *Ac wele Sadoc, a'r holl Lefiaid, oedd gydag ef*] Gwyddai yr offeiriaid fod Duw wedi rhoddi y frenhiniaeth i Dafydd, ac nid oedd ganddynt un prawf fod Duw wedi ei ddiorseddu ef; ac am hyny aethant gydag ef, gan ddwyn yr arch gyda hwynt. *A hwy a osodasant i lawr arch Duw*—naill ai mewn dysgwyliad am ddenu mwy o bobl o blaid Dafydd, o ffyddlondeb i'w brenin cyfreithlon, ac o barch duwiol i'r arch; neu ynte fel y byddai i'r holl bobl fyned yn mlaen, a gadael yr arch o'r tu ol iddynt, er diogelwch a chefnogaeth iddynt. *Ac Abithar a aeth i fyny*—naill ai i ben mynydd yr Olewwydd, lle y gallai weled y bobl yn dyfod allan o Jerusalem ar ol Dafydd; neu ynte i fyny i Jerusalem, i annog y bobl i ddyfod allan ar ei ol ef.

Adn. 25. *Dychwel âg arch Duw i'r ddinas*] Efe a ddywedai hyn (1) Rhag ymddangos, wrth gymeryd yr arch gydag ef, fel yn ymddiried ynddi hi yn fwy nag yn Nuw ei hun. (2) Ac heblaw hyny, yr oedd yr arch yn rhy werthfawr yn ei olwg i gael ei gosod yn agored i beryglon ei grwydriadau. (3) Ac ni fynai efe ei chymeryd o'r ddinas, am nas gallai yr addoliad cyhoeddus gael ei ddwyn yn mlaen yno hebddi hi: ac felly yr oedd efe yn teimlo yn fwy dros anrhydedd Duw, na thros ei ddiogelwch personol ei hun. (4) Ac efe a obeithiai y byddai i santeiddrwydd yr arch a'r weinidogaeth ddiogelu yr offeiriaid a'r arch rhag anmharch oddiwrth Absalom. *Os caf fi ffafr yn ngolwg yr Arglwydd*—os gwel

26 Ond os fel hyn y dywed efe: Nid wyf foddlawn i ti; wele fi, gwnaed i mi fel *y byddo* da yn ei olwg.
27 A'r brenin a ddywedodd wrth Sadoc yr offeiriad, Onid gweledydd *ydwyt* ti? dychwel i'r ddinas mewn heddwch, a'th ddau fab gyda thi, *sef* Ahimaas dy fab, a Jonathan mab Abiathar.
28 Gwelwch, mi a drigaf yn ngwastadedd yr anialwch, nes dyfod gair oddi wrthych i'w fynegu i mi.
29 Felly Sadoc ac Abiathar a ddygasant yn ei hol arch Dnw i Jerusalem; ac a arosasant yno.
30 ¶ A Dafydd a aeth i fyny i *fryn* yr Olewwydd; *ac yr oedd* yn myned i fyny ac yn ŵylo, a'i ben wedi ei orchuddio, ac *yr oedd* efe yn myned yn droednoeth. A'r holl bobl y rhai *oedd* gydag ef a orchuddiasant bawb ei ben, ao a aethant i fyny, gan fyned ac ŵylo.
31 A mynegwyd i Dafydd, gan ddywedyd, *Y mae* Ahitophel yn mysg y cydfwriadwyr gydag Absalom. A Dafydd a ddywedodd, O Arglwydd, tro, atolwg, gynghor Ahitophel yn ffolineb.
32 ¶ A *phan* ddaeth Dafydd i ben *y bryn* yr addolodd Dduw ynddo, wele, Husai yr Arciad yn ei gyfarfod ef, wedi rhwygo ei bais, a phridd ar ei ben.
33 A Dafydd a ddywedodd wrtho, Od âi drosodd gyda mi, ti a fyddi yn faich arnaf.
34 Ond os dychweli i'r ddinas, a dywedyd wrth Absalom, Dy was di, O frenin, fyddaf fi; gwas dy dad *fum* hyd yn hyn, ac yn awr dy was dithau *fyddaf:* ac felly y diddymi i mi gynghor Ahitophel.

---

efe yn dda faddeu y pechodau am ba rai y mae efe yn gyfiawn yn fy ngheryddu i fel hyn; *efe a'm dwg eilwaith*—efe a'm hadfer drachefn i fwynhad o freintiau ei babell ac ordinhadau ei grefydd, yr hyn sydd fwy yn fy ngolwg na chael meddiant o'm palas a'm gorsedd.

Adn. 26. *Ond os fel hyn y dywed efe*] Yn ymddygiadau ei ragluniaeth tuag ataf; *Nid wyf foddlawn i ti*—gael dychwelyd mwyach i'r frenhiniaeth nac i Jerusalem. *Wele fi*—yn ei law, ac yn foddlon iddo wneyd â mi fel y byddo da yn ei olwg. Yr oedd Dafydd yma mewn ysbryd rhagorol o wir ymostyngiad i ewyllys Duw. Ac fel hyn y dylem ninau ymostwng yn siriol dan ei alluog law ef yn ngwyneb pa beth bynag a'n cyferfydd. I'n cadw rhag *achwyniad*, dylem ganfod llaw Duw yn mhob dygwyddiad; ac i'n cadw rhag *ofn*, dylem edrych ar bob dygwyddiad fel yn llaw Duw.

Adn. 27. *Onid gweledydd ydwyt ti?*] Yr wyt ti yn broffwyd yn gystal ag yn offeiriad, ac felly nis gall yr addoliad cyhoeddus yn Jerusalem gael ei ddwyn yn mlaen hebot ti: gwel ar 1 Sam. ix. 9. Ond y mae y gair *roeh*, a gyfieithir yma 'gweledydd,' yn meddwl hefyd dyn craff a threiddgar; ac fe allai mai yr ystyr yw, ei fod ef yn alluog i sylwi ar y pethau a gymerent le yn Jerusalem, a deall eu natur, a rhoddi hysbysrwydd am danynt i Dafydd. *A'th ddau fab gyda thi*—dy ddau fab o ran *swydd;* canys nid oedd ond un o honynt yn fab priodol iddo ef, a'r llall oedd fab i Abiathar.

Adn. 28. *Mi a drigaf yn ngwastadedd yr anialwch*] Ar y ffordd i Jericho, adn. 23; *nes dyfod gair oddiwrthych*—i fynegu pa fodd y bydd pethau yn myned yn mlaen yn Jerusalem.

Adn. 29. *Felly Sadoc ac Abiathar*] Ond odid trwy weinidogaeth y Lefiaid o feibion Cohath, gwaith y rhai oedd dwyn yr arch. Y mae yn debyg i Ahamaas a Jonathan aros yn En-rogel, i dderbyn newyddion oddiwrth Sadoc, a'u trosglwyddo i Dafydd, pen. xvii. 17.

Adn. 30. *A Dafydd a aeth i fyny i fryn yr Olewwydd*] Yr hwn oedd oddeutu milldir i'r dwyrain o Jerusalem, oddiar ba un yr esgynodd ein Harglwydd i'r nef; *yn ŵylo*—wrth feddwl fod ei fab ei hun yn codi ei sawdl yn ei erbyn ef, ac wrth gofio am ei bechod yn achos Urïas, fel yr achos o hyn oll; *a'i ben wedi ei orchuddio*—yn arwydd o alar a chywilydd; *ac yr oedd efe yn myned yn droednoeth*—i amlygu ei dristwch a'i fawr ymddarostyngiad, Esay xx. 2, Mic. i. 8. A gwnaeth yr holl bobl yr un modd ag yntau. Dywed Josephus, ar ol i Dafydd gyraedd i ben y mynydd, ddarfod iddo edrych ar y ddinas, a gweddio ar Dduw mewn dagrau lawer.

Adn. 31. *Y mae Ahitophel yn mysg y cydfwriadwyr*—Gwel ar adn. 12. *O Arglwydd*—fel hyn, yn ei holl beryglon a'i anhawsderau, cyfeiriai Dafydd at yr Arglwydd, yr hwn yn unig a allai ei gynorthwyo. *Tro, atolwg, gynghor Ahitophel yn ffolineb*—dyrysa ef, fel y rhoddo gynghor ffol; neu dirmyger ei gynghor ef fel ffolineb; neu aflwydded ei gynghor yn ei weithrediad.

Adn. 32. *Wele Husai yr Arciad yn ei gyfarfod ef*] Y mae yn debyg mai brodor o Arci ydoedd ef, yr hon oedd ddinas yn llwyth Ephraim, Jos. xvi. 2; *wedi rhwygo ei bais, a phridd ar ei ben*—yn arwydd o alar mawr yn achos Dafydd. Trefnodd rhagluniaeth Duw i Husai ddyfod at Dafydd yn awr, mewn atebiad i'w weddi ef, yr hwn a roddes gynghor a drôdd gynghor Ahitophel yn ffolineb.

Adn. 33. *Od âi drosodd gyda mi*] Yn fy ffoedigaeth dros yr Iorddonen; *ti a fyddi yn faich arnaf*—trwy ei fod ond odid yn hen ŵr, analluog i gerdded na rhyfela.

Adn. 34. *Ond os dychweli i'r ddinas*] Sef

35 Oni *bydd* gyda thi yno Sadoc ac Abiathar yr offeiriaid? am hyny pob gair a glywech o dŷ y brenin, mynega i Sadoc ac i Abiathar yr offeiriaid.

36 Wele, *y mae* yno gyda hwynt eu dau fab, Ahimaas *mab* Sadoc, a Jonathan *mab* Abiathar: danfonwch gan hyny gyda hwynt ataf fi bob peth a'r a glywoch.

37 Felly Husai, cyfaill Dafydd, a ddaeth i'r ddinas; ac Absalom a ddaeth i Jerusalem.

## PENNOD XVI.

AC wedi myned o Dafydd ychydig dros ben *y bryn*, wele, Siba gwas Mephiboseth yn ei gyfarfod ef â chwpl o asynod wedi eu cyfrwyo, ac arnynt hwy yr *oedd* dau can *torth* o fara, a chan swp o resynau, a chant o ffrwythydd haf, a chostrelaid o win.

2 A dywedodd y brenin wrth Siba, Beth *yw* y rhai hyn *sydd* genyt? A Siba a ddywedodd, Asynod i dylwyth y brenin i farchogaeth, a bara a ffrwythydd hâf i'r llanciau i'w bwyta, a gwin i'r lluddedig i'w yfed yn yr anialwch, *ydynt hwy.*

3 A'r brenin a ddywedodd, A pha le *y mae* mab dy feistr? A Siba a ddywedodd wrth y brenin, Wele, y mae efe yn aros yn Jerusalem: canys efe a ddywedodd, Tŷ Israel a roddant drachefn i mi heddyw frenhiniaeth fy nhad.

4 Yna y dywedodd y brenin wrth Siba, Wele, eiddot ti yr hyn oll *oedd eiddo* Mephiboseth. A Siba a ddywedodd, Yr ydwyf yn atolwg gael o honof ffafr yn dy olwg di, fy arglwydd frenin.

5 ¶ A phan ddaeth y brenin Dafydd hyd Bahurim, wele, un o dylwyth tŷ Saul yn dyfod allan oddiyno, a'i enw ef *oedd* Simei, mab Gera; efe a ddaeth allan, dan gerdded a melldigo.

6 Ac efe a daflodd Dafydd â cher-

---

i Jerusalem, o'r lle y daethai ef yn awr at Dafydd; *a dywedyd wrth Absalom*—dy gymhell dy hun yn weinidog yn ei lys ef, megys y buost yn yr eiddof finau; *felly y diddymi i mi gynghor Ahitophel*—trwy roddi cynghor croes iddo. Yr oedd Husai yn ŵr call iawn; a gwyddai Dafydd y gallai ef fod o fawr wasanaeth iddo yn llys Absalom. Prin y gellir cyfiawnhau Dafydd yn hyn, am mai ei amcan ef oedd cael datguddiad o'r gyfrinach trwy dwyll.

Adn. 35. *Oni bydd gyda thi yno Sadoc ac Abiathar yr offeiriaid?*] I'th gynorthwyo i ffurfio dyfeisiau a chynghorion croes i eiddo Ahitophel, neu i drosglwyddo gwybodaeth o bob cyfrinach i mi.

Adn. 36. *Wele y mae yno*] Sef yn Enrogel gerllaw yno, pen. xvii. 17; *eu dau fab*—y rhai a fynegant i mi yr holl bethau a glywant hwy gan eu tadau oddiwrthyt ti.

Adn. 37. *Felly Husai, cyfaill Dafydd, a ddaeth i'r ddinas*] Sef i Jerusalem, a hyny cyn i Absalom gyraedd yno; ac felly ni wyddai neb o elynion Dafydd fod Husai wedi bod yn cynyg ei wasanaeth i'w hen feistr.

PEN. XVI. Adn. 1. *Wele Siba gwas Mephiboseth yn ei gyfarfod ef*] Gwel ar pen. ix. 2, &c.; *a chwpl o asynod wedi eu cyfrwyo*—yn barod i dylwyth y brenin farchogaeth arnynt, er mai y pethau a enwir oedd arnynt yn awr; *dau can torth o fara*—neu deisenau teneuon; *a chan swp o resynau*—gwel ar 1 Sam. xxv. 18; *a chant o ffrwythydd haf*—megys pompionau, ffigys, cucumerau, &c.; *a chostrelaid o win*—neu, fel y mae yn y Lladin, '*dwy* gostrelaid o win.'

Adn. 2. *Asynod i dylwyth y brenin i farchogaeth*] Bob yn ail, pan fyddent yn lluddedig; *a bara a ffrwythydd haf i'r llanciau*—i'w cynal ar eu taith; *a gwin i'r lluddedig*—i'w dadebru pan wedi diffygio yn ngwres yr anialwch. Yr oedd Siba yn ymddangos yn garedig iawn i Dafydd a'i wŷr yn eu hadfyd presenol; ond dyben drwg a hunanol oedd ganddo ef, fel y gwelwn eto.

Adn. 3. *A pha le y mae mab dy feistr?*] Sef Mephiboseth, mab Jonathan ac ŵyr Saul: gwel ar pen. ix. 2, &c. *Y mae efe yn aros yn Jerusalem*—mewn dysgwyliad hyderus am gael y frenhiniaeth ag oedd gynt yn nwylaw Saul oddiwrthyt ti. Nid oedd hyn ddim ond celwydd wedi ei ddyfeisio gan Siba, i'r dyben i feddiannu eiddo Mephiboseth; ac nid rhyfedd i Dafydd goelio hyn am Mephiboseth, wrth ystyried fod ei fab ei hun yn amcanu myned â'r frenhiniaeth oddiwrtho ef.

Adn. 4. *Wele, eiddot ti yr hyn oll oedd eiddo Mephiboseth*] Pe buasai chwedl Siba yn wir am ei feistr, buasai yn gyfiawn i Dafydd wneyd fel y gwnaeth, trwy y fforffetiesid eiddo Mephiboseth yn gyfiawn am ei wrthryfel, fel y gwnaed âg eiddo Isboseth o'r blaen, pen. ix. 7. Bu Dafydd yn hyn yn rhy fyrbwyll o lawer; canys efe a yspeiliodd ddyn diniwed i wobrwyo dyhiryn, heb gymeryd amser i edrych i mewn i'r achos! Ond rhaid cofio ei fod ef ar y pryd mewn trallodion dyfnion, y rhai weithiau a wnant ddyn doeth yn ynfyd; ac hefyd ei fod wedi cael ei ddallu yn llwyr gan gelwydd a rhoddion Siba. *Yr ydwyf yn atolwg gael o honof ffafr yn dy olwg di*—fel hyn yn rhagrithiol efe a gymer arno werthfawrogi ffafr neu ewyllys da y brenin yn fwy na'r rhodd a gawsai efe eisioes.

Adn. 5. *A phan ddaeth y brenin Dafydd hyd Bahurim*] Dinas oddeutu chwe milldir yn ddwyreiniol o Jerusalem, ar y ffordd i

ig, a holl weision y brenin Dafydd: ac *yr oedd* yr holl bobl a'r holl gedyrn ar ei law ddeau ac ar ei law aswy ef.
7 Ac fel hyn y dywedai Simei wrth felldithio; Tyred allan, tyred allan, ŵr gwaedlyd, a gŵr i'r fall.
8 Yr Arglwydd a drôdd atat ti holl waed tŷ Saul, yr hwn y teyrnesaist yn ei le; a'r Arglwydd a roddodd y frenhiniaeth yn llaw Absalom dy fab: ac wele, di *wedi dy ddal* yn dy ddrygioni; canys gŵr gwaedlyd *wyt* ti.
9 ¶ Yna y dywedodd Abisai mab Serfiah wrth y brenin, Paham y melldithia y ci marw hwn fy arglwydd frenin? gad i mi fyned drosodd, atolwg, a thori ei ben ef.
10 A'r brenin a ddywedodd, Beth *sydd* i mi *a wnelwyf* â chwi, meibion Serfiah? felly melldithied, o herwydd yr Arglwydd a ddywedodd wrtho, Melldithia Dafydd. Am hyny pwy a ddywed, Paham y gwnai fel hyn?
11 A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai, ac wrth ei holl weision, Wele, fy mab, yr hwn a ddaeth allan o'm hymysgaroedd i, yn ceisio fy einioes: ac yn awr pa faint mwy *y cais* y Benjaminiad hwn? Gadewch iddo, a melldithied: canys yr Arglwydd a archodd iddo.
12 Fe a allai yr edrych yr Arglwydd ar fy nghystudd i, ac y dyry yr Arglwydd i mi ddaioni am ei felldith ef y dydd hwn.

---

Jericho; *wele un o dylwyth tŷ Saul*—sef Simei mab Gera, yr hwn a edrychai ar Dafydd fel gelyn mawr teulu Saul, wedi ei gynhyrfu ond odid gan ymddygiad Dafydd tuag at Mephiboseth; *dan gerdded a melldigo*—sef melldithio Dafydd a'i bobl.

Adn. 6. *Ac efe a daflodd Dafydd â cherig*] Neu yn hytrach, efe a daflodd gerig at Dafydd, ac at ei holl weision; *ac yr oedd yr holl bobl a'r holl gedyrn*—crybwyllir hyn i ddangos diogelwch Dafydd, a hyfdra a chynddeiriogrwydd Simei pan y beiddiai daflu cerig at Dafydd yn nghanol ei weision a'i gedyrn.

Adn. 7. *Tyred allan, tyred allan*] Neu, '*dos* allan o'r wlad ac o'r frenhiniaeth i rywle!' Y mae ailadroddiad y geiriau yn dangos ei lid i'r graddau uwchaf. *Wr gwaedlyd, a gŵr i'r fall*—neu 'fab Belial;' hyny yw, un wedi ymwerthu i bob drwg. Y mae yn debyg ei fod yn cyfeirio at odineb Dafydd gyda Bathseba, a llofruddiad ei gŵr hi.

Adn. 8. *Yr Arglwydd a drôdd arnat ti holl waed tŷ Saul*] Yr oedd hyn cystal a dywedyd fod Dafydd yn euog o ladd Saul a'i feibion, trwy gynhyrfu y Philistiaid i'w herbyn hwy yn y rhyfel, pryd y syrthiasant; a bod ganddo ryw law ddirgelaidd yn marwolaeth Abner ac Isboseth; a dichon fod marwolaeth saith mab Saul ganddo mewn golwg, y rhai y bernir eu bod wedi eu crogi cyn hyn, er na chrybwyllir hyny hyd pen. xxi. *Ac wele di wedi dy ddal yn dy ddrygioni*—trwy fod dy fab wedi myned â'r frenhiniaeth o'th law di, megys yr aethost tithau â hi o law Saul.

Adn. 9. *Yna y dywedodd Abisai*] Nai Dafydd fab ei chwaer, a brawd Joab; *Paham y melldithia y ci marw hwn fy arglwydd frenin?*—y mae efe yn galw Simei yn *gi*, am ei fod yn aflan a ffiaidd; ac yn gi *marw*, am ei fod yn ddiwerth ac atgas, neu yn ddrewedig fel burgyn braenedig. *Gad i mi fyned drosodd, atolwg, a thori ei ben ef*—yr hyn a allasai efe yn hawdd ei wneuthur âg un ergyd, ac felly roi taw bythol ar y melldithiwr gwaradwyddus hwn.

Adn. 10. *Beth sydd i mi a wnelwyf â chwi, meibion Serfiah?*] Ymddengys fod Joab gydag Abisai ei frawd yn y cais hwn. Fel pe dywedasai Dafydd, 'Nid yw eich cynygiad chwi yn foddhaol genyf fi, na'i felldithiad yntau o un niwed i chwithau; felly aed yn mlaen gyda'i felldithio.' *O herwydd yr Arglwydd a ddywedodd wrtho*—nid trwy unrhyw orchymyn pendant, yr hyn a fuasai yn groes i ddeddf Duw ei hun, Exod. xxii. 28; na thrwy gynhyrfiad ei Ysbryd, yr hyn a fuasai yn annghydweddol â santeiddrwydd ei natur ef; ond trwy oddefiad Duw, a chyfleusdra rhagluniaethol. Yr oedd calon Simei yn llawn dygasedd a llid yn erbyn Dafydd, a goddefodd Duw iddo dywallt ei gynddaredd fel hyn i gospi Dafydd. Ac y mae y brenin duwiol yn ymostwng i hyn oll, gan edrych arno fel cerydd cyfiawn yn dyfod arno ef oddiwrth Dduw. *Am hyny pwy a ddywed, Paham y gwnai fel hyn?*—pwy a feia ragluniaeth Duw am oddef i mi gael fy nifrïo fel hyn? neu pwy a'i hettyl ef rhag gweinyddu ei farn gyfiawn yn fy erbyn i?

Adn. 11. *Wele fy mab—yn ceisio fy einioes*] Yr hyn sydd yn llawer mwy o ddrwg na'r edliwiad hwn mewn geiriau; *pa faint mwy y cais y Benjaminiad hwn?*—yr hwn sydd nid yn unig o'r un llwyth a Saul, ond hefyd o'i dylwyth ef, oddiwrth y rhai y dygesid y frenhiniaeth i'w rhoddi i mi. *Gadewch iddo*—felldithio, heb ei attal trwy drais, na'i gospi am hyny; *canys yr Arglwydd a archodd iddo*—gwel ar adn. 10. Nis gallwn feddwl i Dduw erioed erchi i'r naill ddyn felldithio y llall, llawer llai i'r fath adyn a Simei felldithio y fath ddyn a Dafydd; ond y mae hyn yn briodoledd berthynol i'r Hebraeg, yr hon nid yw bob amser, fel y gwelsom yn fynych, yn gwahaniaethu rhwng *goddefiad* a *gorchymyn*. Felly y mae yr ysgrythyrau yn aml yn priodoli i Dduw yr hyn nad yw efe ond yn *goddef* iddo gael ei wneuthur; neu yr hyn nad yw efe, yn nhrefn ei ras a'i ragluniaeth, yn ei *attal*: gwel ar Exod. iv. 21.

Adn. 12. *Fe a allai yr edrych yr Ar-*

13 Ac fel yr oedd Dafydd a'i wŷr
yn myned ar hyd y ffordd, Simei
yntau oedd yn myned ar hyd ystlys
y mynydd, ar ei gyfer ef; ac fel yr
oedd efe yn myned, efe a felldithiai,
ac a daflai gerig, ac a fwriai lwch
i'w erbyn ef.
14 A daeth y brenin, a'r holl bobl
*oedd* gydag ef, yn lluddedig, ac a
orphwysodd yno.
15 ¶ Ac Absalom a'r holl bobl,
gwŷr Israel, a ddaethant i Jerusa-
lem, ac Ahitophel gydag ef.
16 A phan ddaeth Husai yr Arc-
iad, cyfaill Dafydd, at Absalom,
Husai a ddywedodd wrth Absalom,
Byw fo y brenin, byw fyddo y brenin.
17 Ac Absalom a ddywedodd wrth
Husai, Ai dyma dy garedigrwydd
di i'th gyfaill? paham nad aethost
ti gyda'th gyfaill?
18 A Husai a ddywedodd wrth
Absalom, Nage; eithr yr hwn a
ddewiso yr Arglwydd, a'r bobl yma,
a holl wŷr Israel, eiddo ef fyddaf fi,
a chydag ef yr arhosaf fi.
19 A phwy hefyd a wasanaethaf?
onid gerbron ei fab ef? Megys y
gwasanaethais gerbron dy dad di,
felly y byddaf ger dy fron dithau.
20 ¶ Yna y dywedodd Absalom
wrth Ahitophel, Moeswch eich
cynghor beth a wnawn ni.
21 Ac Ahitophel a ddywedodd
wrth Absalom, Dos i mewn at or-
dderchwragedd dy dad, y rhai a ad-
awodd efe i gadw y tŷ: pan glywo
holl Israel dy fod yn ffiaidd gan dy
dad, yna y cryfheir llaw y rhai oll
*sydd* gyda thi.
22 Felly y taenasant i Absalom
babell ar nen y tŷ: ac Absalom a

---

*glwydd ar fy nghystudd i*] Yr hwn oedd arno yn awr trwy wrthryfel ei fab, ac yn cael ei chwanegu trwy felldithiad Simei; *ac y dyry yr Arglwydd i mi ddaioni*—gwyddai fod ei bechod ef yn achos Urïas a'i wraig yn haeddu y cerydd hwn, er ei fod yn berffaith ddiniwed gyda golwg ar dŷ Saul; a gwyddai hefyd fod Duw yn drugarog i'r edifeiriol, ac ond onid y byddai i'w ymostyngiad amynedd-gar ef beri i ddaioni gael ei ddwyn iddo yn lle melldith Simei.

Adn. 13. *Simei yntau oedd yn myned ar hyd ystlys y mynydd*] Gan gydgerdded â Dafydd a'i wŷr, a pharhau i'w felldithio ef, a thaflu cerig a llwch tuag ato. Fel hyn yr oedd amynedd a dyoddefgarwch y brenin yn enyn ei gynddaredd ef yn fwy: ond daeth y cerig ar ei ben ei hun yn y diwedd, a'r llwch i'w wyneb ei hun: gwel ar 1 Bren. ii. 44—46.

Adn. 14. *Yn lluddedig*] Gan y daith, a chan ofid a thrallod meddwl; *ac a orphwysodd yno*—sef yn Bahurim, yn ol rhai, adn. 5. Ond yn lle 'daeth yn *lluddedig*,' y mae Houbigant yn ei ddarllen, *daeth i Ephim*, yr hwn y tybia ef ei fod yn enw y fan lle y *gorphwysodd* Dafydd, neu lle y cymerodd efe *luniaeth* gyntaf, yr hyn oedd ar fin yr Iorddonen, fel y dywed Josephus.

Adn. 15. *Ac Absalom a'r holl bobl*] A ddaethant i Jerusalem tua'r un amser ag y daeth Dafydd i Bahurim neu Ephim; felly, oni buasai iddo ffoi o Jerusalem pryd y gwnaeth, efe a syrthiasai yn nwylaw ei fab anrasol ag oedd yn ceisio ei einioes ef, adn. 11.

Adn. 16. *Husai a ddywedodd wrth Absalom*] Yn ol y cyfarwyddyd a roisai Dafydd iddo, pen. xv. 34—37. *Byw fo y brenin*—yn hir a dedwydd yn ei frenhiniaeth. Nid yw efe yn dywedyd, 'Byw fo y brenin ABSALOM,' nac yn meddwl hyny, er mai felly y deallai Absalom ef; neu os oedd, nid oedd ei eiriau ddim ond rhagrith.

Adn. 17. *Ai dyma dy garedigrwydd di i'th gyfaill?*] Sef i Dafydd, yr hwn y gwyddai Absalom ei fod yn gyfaill calon iddo. *Paham nad aethost ti gyda'th gyfaill?*—sef gyda Dafydd yn ei ffoedigaeth o Jerusalem. Ni wyddai Absalom i Husai fod gyda Dafydd, ac iddo ddychwelyd i fod megys yspïwr dros Dafydd.

Adn. 18. *Yr hwn a ddewiso yr Arglwydd a'r bobl yma*] I fod yn frenin ar Israel; *eiddo ef fyddaf fi*—i fod yn was a deiliad ffyddlon iddo, ac i aros gydag ef. Yr oedd yma eto amwysedd. Yr oedd Husai yn meddwl yn ei galon fod Duw a holl wŷr Israel wedi dewis *Dafydd;* ond efe a lefarai fel ag i beri i Absalom gredu ei fod yn llefaru am dano *ef.*

Adn. 19. *Onid gerbron ei fab ef?*] Er mai Absalom oedd y mab hwn, eto nid gwasanaethu Absalom a ddywedai, eithr gwasanaethu *gerbron* Absalom; hyny yw, gwasanaethu Dafydd, trwy roddi cynghor i Absalom a fyddai yn fanteisiol i Dafydd. *Felly y byddaf ger dy fron dithau*—yn GYNGHORWR i ti, megys y bûm i dy dad. Ac yn y swydd hon efe a allai fod o fwy o wasanaeth fyth i Dafydd. Ond yr oedd Absalom wedi ei ddallu gan falchder a drygioni, fel nad allai weled trwy y fath ymadroddion amwys.

Adn. 20. *Moeswch eich cynghor*] Yr oedd Ahitophel gydag ef o'r blaen fel cynghorwr; ac yn awr, wedi cael ei foddloni yn ffyddlondeb Husai, derbyniodd yntau i'r un swydd. Ni feddyliodd Absalom ddim am yr offeiriad i ymgynghori drosto gerbron yr arch trwy yr Urim a'r Thummim, eithr ymddiriedai yn hollol i'w gynghoriaid gwladol. *Beth a wnawn ni*—ai aros yn Jerusalem i wneuthur rhywbeth yno, ynte erlid ar ol Dafydd a'i wŷr?

Adn. 21. *Dos i mewn at ordderchwragedd dy dad*] Y rhai a adawsai Dafydd i gadw ei dŷ, pen. xv. 16. Hyn oedd cynghor Ahitophel ei hun, yr hwn a roddai efe (1) I ddial ar Dafydd am y camwri a wnaethai efe â Bathseba, ei wyres ef, pen. xxiii. 34. (2) Ac, yn benaf, er ei ddiogelwch ei hun ac ereill; canys

aeth i mewn at ordderchwragedd ei
dad, yn ngŵydd holl Israel.
23 A chynghor Ahitophel, yr hwn
a gynghorai efe yn y dyddiau hyny,
oedd fel ped ymofynai *un* â gair
Duw: felly *yr* oedd holl gynghor
Ahitophel, gyda Dafydd a chydag
Absalom.

PENNOD XVII.

DYWEDODD Ahitophel hefyd
wrth Absalom, Gad i mi yn awr
ddewis deuddeng mil o wŷr, a mi a
gyfodaf ac a erlidiaf ar ol Dafydd
y nos hon.
2 A mi a ddeuaf arno tra *fyddo*
ef yn lluddedig, ac yn wan ei ddwy-
law, ac a'i brawychaf ef: a ffy yr
holl bobl *sydd* gydag ef; a mi a
darawaf y brenin yn unig.
3 A thröaf yr holl bobl atat ti:
megys pe dychwelai pob un, *yw* y
gŵr yr ydwyt ti yn ei geisio: *felly*
yr holl bobl fydd mewn heddwch.
4 A da fu y peth yn ngolwg Ab-
salom, ac yn ngolwg holl henuriaid
Israel.
5 Yna y dywedodd Absalom,
Galw yn awr hefyd ar Husai yr Ar-
ciad, a gwrandawn beth a ddywedo
yntau hefyd.
6 A phan ddaeth Husai at Absal-
om, llefarodd Absalom wrtho ef,
gan ddywedyd, Fel hyn y dywed-
odd Ahitophel: a wnawn ni ei gyng-
hor ef? onidê, dywed di.
7 A dywedodd Husai wrth Ab-
salom, Nid da y cynghor a gynghor-
odd Ahitophel y waith hon.
8 Canys (eb Husai) ti a wyddost

efe a wyddai y byddai i hyny dori ymaith bob gobaith am gymod rhwng Dafydd ac Absalom. Byddai y weithred hon mor ffiaidd gan Dafydd, fel na faddeuai efe byth i'w fab; a phan glywai holl Israel fod rhwyg annghymodadwy wedi ei wneuthur rhwng Dafydd ac Absalom, a bod Dafydd yn ffoadur, ac Absalom yn frenin gyda phlaid gref o'i amgylch, hwy a dröent yn naturiol at y blaid gryfaf, ac felly cryfheid llaw y rhai oeddynt eisioes gydag ef. Gwyddai Ahitophel y buasai yn ddrwg arno ef ei hun, pe daethai Dafydd eilwaith i'r orsedd: ac am hyny mynai dori ymaith bob gobaith am y cyfryw beth.

Adn. 22. *Felly y taenasant i Absalom babell ar nen y tŷ*] Yn yr un man ag y safai Dafydd pan y chwennychodd efe wraig Urïas, pen. 2; *yn ngŵydd holl Israel*—y rhai a welsant y babell yn cael ei thaenu, ac Absalom yn myned i mewn i orwedd gyda gordderchwragedd ei dad! Rhaid fod holl blaid Absalom yn ddynion tra llygredig, pan y medrent edrych ar yr aflendid hwn heb ei ffieiddio. Ond yn hyn cyflawnwyd proffwydoliaeth Nathan, pen. xii. 11, 12, er na wyddai neb o honynt hwy am dani.

Adn. 23. *Oedd fel ped ymofynai un â gair Duw*] Tybiai pawb fod cynghor Ahitophel mor ddoeth, priodol, ac anffaeledig, a phed ymofynesid â Duw trwy yr Urim a'r Thummim. *Gyda Dafydd*—pan yr oedd efe gynt yn gynghorwr iddo ef; *a chydag Absalom*—yn awr. Yr oedd Ahitophel yn ddyn cyfrwys iawn, a gwyddai pa fodd i addasu ei gynghorion at dymherau ac amgylchiadau ei feistriaid.

PEN. XVII. Adn. 1. *Gad i mi yn awr ddewis deuddeng mil o wŷr*] Sef mil o bob llwyth yn Israel, y rhai oeddynt yn awr yn Jerusalem; *a mi a gyfodaf ac a erlidiaf ar ol Dafydd*—ni fynai efe i Absalom fyned allan ei hun, rhag yr arbedai efe ei dad os syrthiai yn ei law ef, a chymodi o'r ddau â'u gilydd, yr hyn a fuasai yn beryglus i Ahitophel: gwel ar pen. xvi. 21.

Adn. 2. *A mi a ddeuaf arno tra fyddo ef yn lluddedig*] Gan flinder ei daith; *ac yn wan ei ddwylaw*—cyn casglu o hono fyddinoedd i'w amddiffyn; *ac a'i brawychaf ef*—trwy iddo ganfod deuddeng mil o wŷr dewisedig yn dyfod ar ei warthaf mor ddisymwth; *a mi a darawaf y brenin yn unig*—a'i lladdaf ef, heb wneyd dim niwed i'r bobl sydd gydag ef, amgen na'u troi yn ddeiliaid i ti.

Adn. 3. *Megys pe dychwelai pob un, yw y gwr yr ydwyt ti yn ei geisio*] Bydd i ladd Dafydd osod terfyn ar unwaith ar yr achos; canys bydd i'r holl bobl ddyfod o un fryd i'th bleidio di, pan welont nad oes ganddynt neb arall i ymostwng iddo. *Felly yr holl bobl fydd mewn heddwch*—sef plaid Dafydd a'th blaid dithau.

Adn. 4. *A da fu y peth*] Er mai lladd Dafydd oedd y cynghor, derbyniwyd ef yn llawen gan Absalom a holl henuriaid Israel! Diamau y buasai i'r ddyfais greulon hon lwyddo i ddyfetha Dafydd ar unwaith, oni buasai i Dduw droi y cynghor hwn yn ffolineb, fel y gwelwn eto.

Adn. 5. *Galw yn awr hefyd ar Husai*] Yr hwn oedd yn absenol pan roddes Ahitophel ei gynghor, adn. 6. Gwelwn yma effaith dwyfol ragluniaeth, yn tueddu calon Absalom i beidio gorphwys ar gynghor Ahitophel yn unig, er ei fod yn dda yn eu golwg hwy oll, heb gael clywed beth a ddywedai Husai hefyd; ac fel hyn y diddymodd Duw gynghor Ahitophel, ac y dygodd ddinystr ar Absalom hefyd!

Adn. 6. *A wnawn ni ei gynghor ef*] Gan ei ddanfon ef gyda deuddeng mil o wŷr dewisedig i ladd Dafydd? *Onidê, dywed di*—traetha dy feddwl yn rhydd a diymattal ar y pen hwn.

Adn. 7. *Nid da y cynghor—y waith hon*] Fel pe dywedasai, 'Er ei fod ef yn gyffredin yn rhoddi cynghor da a doeth, eto ymddengys iddo fod yn aflwyddiannus y waith hon, o ddiffyg ystyried yn ddigonol amgylchiadau yr achos.' Amcan Husai wrth ddywedyd hyn oedd arbed bywyd Dafydd; ac wrth atta

am dy dad a'i wŷr, mai cryfion *ydynt*
hwy, a chreulawn eu meddwl, megys
arth wedi colli ei chenawon yn y
maes: dy dad hefyd *sydd* ryfelwr,
ac nid erys efe dros nos gyda'r bobl.
9 Wele, yn awr y mae efe yn
llechu mewn rhyw ogof, neu mewn
rhywle: a phan syrthio *rhai* o hon-
ynt yn y dechre, yna y *bobl* a glyw,
ac a ddywed, Bu lladdfa yn mysg
y bobl *sydd* ar ol Absalom.
10 Yna yr un grymus, yr hwn *y*
*mae* ei galon fel calon llew, a lwfrha:
canys gŵyr holl Israel mai glew *yw*
dy dad di, ac *mai* gwŷr grymus *yw* y
rhai *sydd* gydag ef.
11 Am hyny y cynghoraf, lwyr-
gasglu atat ti holl Israel, o Dan hyd
Beerseba, fel y tywod wrth y môr o
amldra, a myned o'th wyneb di dy
hun i'r rhyfel.
12 Felly y deuwn arno ef i un o'r
lleoedd yr hwn y ceffir ef ynddo, ac
a ruthrwn arno ef fel y syrth y
gwlith ar y ddaear: ac ni adewir
*dim* o hono ef, nac un chwaith o'r
holl wŷr *sydd* gydag ef.
13 Ond os i ddinas yr ymgasgl
efe, yna holl Israel a ddygant raffau
at y ddinas hòno, a ni a'i tynwn hi
i'r afon, fel na chaffer yno un
garegan.
14 A dywedodd Absalom, a holl
wŷr Israel, Gwell *yw* cynghor
Husai yr Arciad na chynghor
Ahitophel. Canys yr Arglwydd a
ordeiniasai ddiddymu cynghor da
Ahitophel, fel y dygai yr Arglwydd
ddrwg ar Absalom.
15 ¶ Yna y dywedai Husai wrth
Sadoc ac wrth Abiathar yr offeir-
iaid, Fel hyn ac fel hyn y cynghor-
odd Ahitophel i Absalom, ac i hen-
uriaid Israel; ac fel hyn ac fel hyn
y cynghorais inau.
16 Yn awr gan hyny anfonwch

---

rhuthr arno am un diwrnod, gobeithiai allu rhybyddio Dafydd o'i berygl cyn yr ymosodid arno wedi hyn.

Adn. 8. *Ti a wyddost am dy dad a'i wŷr mai cryfion ydynt*] Ac nid mor hawdd i'w gorchfygu ag y tybia Ahitophel; *a chreulawn eu meddwl*—wedi eu gweithio i greulondeb gan eu hamgylchiadau presenol; *megys arth wedi colli ei chenawon*—felly hwythau a ymladdant gyda'r ffyrnigrwydd mwyaf dros eu brenin, eu teuluoedd, eu meddiannau, a'u bywydau: gwel ar Hos. xiii. 8. *Dy dad hefyd sydd ryfelwr*—nid yn unig hyf a dewr o naturiaeth, ond hefyd medrus a chyfrwys yn y gelfyddyd filwraidd, ac wedi ymarfer â hi yn llwyddiannus o'i febyd; *ac nid erys efe dros nos gyda'r bobl*—eithr efe a ymguddia mewn rhyw ogof neu le diogel, rhag i'w elynion syrthio arno yn y gwersyll yn y tywyllwch.

Adn. 9. *A phan syrthio rhai*] O wŷr Absalom trwy law milwyr Dafydd yn nechre y frwydr; *yna y bobl a glyw*—sef y rhan arall o filwyr Absalom, ac a lwfrhant.

Adn. 10. *Yna yr un grymus*] Sef pob gŵr grymus yn myddin Absalom, er eu bod yn ddeuddeng mil o rifedi, a'u calonau yn gyffredin fel calonau llewod; *a lwfrha*—pan glywont fod rhai o'u plaid eu hunain wedi syrthio trwy law gwŷr grymus Dafydd. Ond fe allai mai at Dafydd y cyfeiria Husai yn nechre yr adnod: 'Yna yr un grymus, yr hwn y mae ei galon fel calon llew, a lwfrha EFE?' *Canys gŵyr holl Israel mai glew yw dy dad di*—y mae efe wedi ei ddangos ei hun felly er pan laddodd efe Goliath gynt; a rhaid fod Ahitophel yn ffol iawn pan y meddyliai am *frawychu* y fath ŵr a Dafydd!

Adn. 11. *Am hyny y cynghoraf lwyrgasglu atat ti holl Israel*] Yr hyn a gymerai lawer o amser i'w ddwyn i ben; *o Dan hyd Beerseba*—o eithaf y gogledd hyd eithaf y deau: gwel ar Jos. xix. 47. Amcan Husai oedd croesi cynghor Ahitophel, fel y gallai Dafydd gael rhybydd o'i berygl, ac amser i ymddiogelu neu ymgryfhau. *A myned o'th wyneb di dy hun i'r rhyfel*—ac nid ymddiried llywodraethiad y fyddin, na gogoniant y fuddugoliaeth, i arall. Yr oedd casglu byddin fawr, a'i blaenori ei hunan, yn cydweddu yn dda â balchder Absalom; a thrwy gymeryd y cynghor hwn, daeth iddo y diwedd ag yr oedd yn ei haeddu.

Adn. 12. *Ac a ruthrwn arno ef fel y syrth y gwlith ar y ddaear*] Yn gyffredinol, sydyn, ac anwrthwynebol. Nid oes un gwelltyn yn ymguddio rhag y gwlith; ac felly ni adewid un o wŷr Dafydd heb ei ddyfetha.

Adn. 13. *Ond os i ddinas yr ymgasgl efe*] Yn yr adnod flaenorol golygid Dafydd a'i wŷr ar y maes, ond yma mewn rhyw ddinas gaerog, y rhai a adeiledid yn gyffredin ar lan afonydd, er mwyn cael dwfr iddynt. *Yna holl Israel a ddygant raffau*—i'w gosod o amgylch ei muriau a'i thyrau hi, i'w llwyr ddadymchwelyd am ben Dafydd a'i wŷr, fel na byddo yn aros gareg ar gareg.

Adn. 14. *Gwell yw cynghor Husai*] Er iddynt oll gymeradwyo cynghor Ahitophel o'r blaen, adn. 4, eto, yn awr, tybient fod cynghor Husai yn fwy rhesymol, ac yn debycach o lwyddo. *Canys yr Arglwydd a ordeiniasai ddiddymu cynghor da Ahitophel*—yr hwn oedd yn *dda*, a'i ystyried yn wladyddol, y goraf a'r doethaf a allesid ei roddi i Absalom a'i blaid: ond am fod eu hachos a'u dyben hwy yn *ddrwg*, trefnodd Duw i ddiddymu y cynghor hwnw, trwy dueddu Absalom a'i wŷr i gymeradwyo cynghor Husai yn ei le ef, fel y dinystrid ei fradwriaeth ef a'i einioes.

Adn. 15. *Yna y dywedodd Husai wrth Sadoc, &c.*] Efe a adroddodd i'r offeiriaid y

yn fuan, a mynegwch i Dafydd, gan
ddywedyd, Nac aros dros nos yn
ngwastadedd yr anialwch, ond gan
fyned dos; rhag difa y brenin a'r
holl bobl *sydd* gydag ef.
17 Jonathan hefyd ac Ahimaas
oedd yn sefyll wrth En-rogel; ac fe
aeth llances ac a fynegodd iddynt.
Hwythau a aethant ac a fynegasant
i'r brenin Dafydd: canys ni allent
hwy ymddangos i fyned i'r ddinas.
18 Eto llanc a'u gwelodd hwynt,
ac a fynegodd i Absalom: ond hwy
a aethant ymaith ill dau yn fuan, ac
a ddaethant i dŷ gŵr yn Bahurim,
ac iddo ef *yr oedd* pydew yn ei gyn-
tedd; a hwy a aethant i waered
yno.
19 A'r wraig a gymerth ac a led-
odd glawr ar wyneb y pydew, ac a
daenodd arno falurion ŷd: fel na
wybuwyd y peth.
20 A phan ddaeth gweision Ab-
salom at y wraig i'r tŷ, hwy a ddy-
wedasant, Pa le *y mae* Ahimaas a
Jonathan? A'r wraig a ddywedodd
wrthynt, Hwy a aethant dros yr aber
ddwfr. A phan geisiasant, ac nas
cawsant *hwynt*, yna y dychwelasant
i Jerusalem.
21 Ac ar ol iddynt hwy fyned
ymaith, yna *y lleill* a ddaethant i
fyny o'r pydew, ac a aethant ac a
fynegasant i'r brenin Dafydd; ac a
ddywedasant wrth Dafydd, Cyfod-
wch, ac ewch yn fuan dros y dwfr:
canys fel hyn y cynghorodd Ahito-
phel yn eich erbyn chwi.
22 Yna y cododd Dafydd a'r holl
bobl y rhai *oedd* gydag ef, ac a
aethant dros yr Iorddonen: erbyn
goleuo y bore nid oedd un yn eisiau
a'r nad aethai dros yr Iorddonen.
23 ¶ A phan welodd Ahitophel
na wnaethid ei gynghor ef, efe a
gyfrwyodd *ei* asyn, ac a gyfododd,
ac a aeth i'w dŷ ei hun, i'w ddinas,
ac a wnaeth drefn ar ei dŷ, ac a
ymgrogodd, ac a fu farw, ac a
gladdwyd yn meddrod ei dad.

---

ddau gynghor air-yn-ngair, fel y cai Dafydd wybod yr hyn a gymerasai le.

Adn. 16. *Yn awr gan hyny anfonwch yn fuan*] Rhag i feddyliau Absalom a'i wŷr gyfnewid trwy ddarbwylliad Ahitophel, ac iddo yntau fyned â deuddeng mil o wŷr ar eu hol hwynt yn ol y bwriad cyntaf.

Adn. 17. *Oedd yn sefyll wrth En-rogel*] Neu 'ffynon y panwr,' lle yn agos i Jerusalem, yn yr hwn yr arhosodd meibion yr offeiriaid pan ddanfonodd Dafydd hwy yn ol, pen. xv. 27, 36; *ac fe aeth llances ac a fynegodd iddynt*—y genadwri uchod o eiddo Husai i'r ddau offeiriad, fel y gallent hwythau ei mynegu i Dafydd. *Canys ni allent hwy ymddangos i fyned i'r ddinas*—ond odid o herwydd rhyw aflendid seremonïol; neu nis gallasent fyned o'r ddinas, pe buasent yno, heb gael eu drwgdybio. Y mae y frawddeg ddiweddaf hon yn sefyll yn ail yn y Saesonaeg, ac yn dyfod i mewn yn fwy priodol ar ol En-rogel.

Adn. 18. *Eto llanc a'u gwelodd hwynt*] Yn ymddyddan â'r llances, yr hwn a wyddai eu bod yn bleidiol i Dafydd, ac yn aros yno i ddysgwyl rhyw newydd i'w fynegu iddo ef; *ac a fynegodd i Absalom*—yr hyn a welsai, a'i dyb ef am fynediad y llanciau at Dafydd. *Ond hwy a aethant ymaith ill dau*—i fynegu i Dafydd ei berygl, a hyny cyn i weision Absalom ddyfod i'w dal; *ac a ddaethant i dŷ gŵr yn Bahurim*—lle y buasai Dafydd ychydig yn ol, pen. xvi. 5; *ac iddo ef yr oedd pydew yn ei gyntedd*—sef yn y cwrt o flaen ei dŷ, y rhai oeddynt yn gyffredin yn sychion yn yr haf; *a hwy a aethant i waered yno*—i ymguddio hyd oni ddeuai yn nos, gan ofni yr anfonid swyddogion ar eu hol.

Adn. 19. *A'r wraig—a ledodd glawr*] A roddes garthen neu len-llian dros y caead ag ydoedd ar wyneb y pydew; *ac a daenodd arno falurion ŷd*—megys i'w crasu yn ngwres yr haul; *fel na wybuwyd y peth*—fod yno bydew, chwaethach dynion yn ymguddio ynddo.

Adn. 20. *A phan ddaeth gweision Absalom*] Y rhai a glywsant ar y ffordd fod y llanciau wedi troi i'r cyfryw dŷ. *Hwy a aethant dros yr aber ddwfr*—yn ol Josephus, dywedodd y wraig na wnaethant hwy ddim arhosiad yn ei thŷ hi, eithr iddynt, ar ol gofyn am ychydig ddwfr, frysio ymaith; ac os byddai iddynt brysuro ar eu hol, ei bod yn credu y gallent eu goddiweddyd. Yr oedd hyn modd bynag yn gelwydd noeth, yr hwn nas gellir ei esgusodi, hyd yn nod er iddo fod yn foddion i achub bywyd y llanciau: gwel ar Rhuf. iii. 7, 8.

Adn. 21. *Yna y lleill a ddaethant i fyny o'r pydew*] Ar ol i weision Absalom ddychwelyd i Jerusalem, daeth Ahimaas a Jonathan i fyny o'u hymguddfa, ac a aethant ar ol Dafydd, i fynegu iddo gynghor Ahitophel, ac i'w annog i ffoi am ei fywyd dros yr Iorddonen. Os oedd Dafydd yn awr yn aros ar fin yr Iorddonen, yr oedd gan y llanciau hyn 17 o filldiroedd i'w cerdded o Bahurim cyn dyfod ato.

Adn. 22. *Yna y cododd Dafydd a'r holl bobl*] Ac a aethant dros yr Iorddonen y nos hòno, yn ol cynghor y llanciau; *nid oedd un yn eisiau*—neu wedi aros ar ol trwy afiechyd neu lesgedd, na thrwy anffyddlondeb i'w frenin. Meddylir mai y pryd hyn y cyfansoddodd Dafydd Salm iii, xlii, a xliii.

Adn. 23. *A phan welodd Ahitophel na wnaethid ei gynghor ef*] Trwy ei anfon ef gyda deuddeng mil o wŷr i erlid ar ol Dafydd y noson hòno; *aeth i'w dŷ ei hun*—i Giloah,

24 Yna Dafydd a ddaeth i Maha-
naim. Ac Absalom a aeth dros yr
Iorddonen, efe a holl wŷr Israel
gydag ef.
25 ¶ Ac Absalom a osododd
Amasa yn lle Joab ar y llu. Ac
Amasa *oedd* fab i ŵr a'i enw Ithra,
yr hwn *oedd* Israeliad, yr hwn a aeth
i mewn at Abigail merch Nahas,
chwaer Serfiah, mam Joab.
26 Felly y gwersyllodd Israel ac
Absalom yn ngwlad Gilead.
27 ¶ A phan ddaeth Dafydd i
Mahanaim, Sobi mab Nahas o Rab-
bath meibion Ammon, a Machir mab
Amiel o Lo-debar, a Barsilai y Gi-
leadiad o Rogelim,
28 A ddygasant welyau, a chawg-
iau, a llestri pridd, a gwenith, a
haidd, a blawd, a chras-*ŷd*, a ffa, a
ffacbys, a chras-*bys*.
29 A mêl, ac ymenyn, a defaid, a
chaws gwartheg, i Dafydd, ac i'r
bobl *oedd* gydag ef, i'w bwyta.
Canys dywedasant, *Y mae* y bobl
yn newynog, yn flin hefyd, ac yn
sychedig yn yr anialwch.

## PENNOD XVIII.

A Dafydd a gyfrifodd y bobl *oedd*
gydag ef, ac a osododd arnynt
hwy filwriaid a chanwriaid.
2 A Dafydd a anfonodd o'r bobl y
drydedd ran dan law Joab, a'r
drydedd ran dan law Abisai mab
Serfiah, brawd Joab, a'r drydedd
ran dan law Ittai y Gethiad. A'r
brenin a ddywedodd wrth y bobl, Gan
fyned yr âf finau hefyd gyda chwi.
3 Ond y bobl a atebodd, Nid âi
di allan: canys os gan ffoi y ffown
ni, ni osodant hwy *eu* meddwl arnom
ni; ac os bydd marw ein hanner ni,
ni osodant *eu* meddwl arnom: ond

---

pen. xv. 12; *ac a wnaeth drefn ar ei dŷ*—neu a ysgrifenodd ei ewyllys i ranu ei feddiannau, ac i drefnu ei gladdedigaeth; *ac a ymgrogodd*—fel y gwnaeth Judas wedi hyn, o'r hwn yr oedd efe yn gysgod. Efe a welai y byddai i Dafydd yn awr ennill amser a nerth, ac yn debygol brofi yn llwyddiannus; ac yna y byddai i'r ystorm guro yn benaf arno ef ei hun, fel prif golofn y gwrthryfel, a lluniwr y cynghor uchod yn erbyn Dafydd.

Adn. 24. *Yna Dafydd a ddaeth i Mahanaim*] Dinas o du y dwyrain i'r Iorddonen, yn llwyth Gad, lle y cyfarfu yr angylion â Jacob gynt, Gen. xxxii. 1, 2; *ac Absalom a aeth dros yr Iorddonen*—yn ol cynghor Husai, adn. 11, &c. Fel hyn, wrth amcanu am fywyd ei dad, efe a gollodd cyn hir ei fywyd ei hun.

Adn. 25. *Absalom a osododd Amasa yn lle Joab ar y llu*] Trwy fod Joab gyda Dafydd, pen. xviii. 2. *Ithra, yr hwn oedd Israeliad*—yn 1 Cron. ii. 17, gelwir ef 'Jether yr Ismaeliad,' ond odid am iddo fod yn ymdaith yn hir yn mysg yr Ismaeliaid. *Yr hwn a aeth i mewn at Abigail*—yn debygol yn annghyfreithlon, ac felly mab ordderch oedd Amasa; *merch Nahas*—Nahas oedd un o wragedd Jesse, tad Dafydd, o'r hon y cafodd efe yr Abigail hon, mam Amasa, megys y cawsai efe Serfiah mam Joab o wraig arall; ac felly yr oeddynt yn chwiorydd i'w gilydd ac i Dafydd o du eu tad, er nad felly o du eu mam; ac yr oedd Joab ac Amasa yn gefnderoedd i'w gilydd, ac yn neiaint i Dafydd.

Adn. 26. *Yn ngwlad Gilead*] Nid yn mhell o Mahanaim, yn barod i ymladd â Dafydd a'i wŷr.

Adn. 27. *Sobi mab Nahas o Rabbath*] Ymddengys fod Sobi yn frawd i Hanun brenin yr Ammoniaid, yr hwn a driniodd genadau Dafydd mor warthus, pen. x. 4. Meddylir i Dafydd osod y Sobi hwn ar yr orsedd yn lle Hanun, am iddo ddangos ei annghymeradwyaeth o ymddygiad Hanun; ac yn awr y mae yntau yn dangos y caredigrwydd hwn i Dafydd am hyny. *Machir mab Amiel*—cyfaill a noddwr Mephiboseth, pen. ix. 4. *Barsilai y Gileadiad*—yr hwn oedd yn hen ŵr cyfoethog a haelionus, pen. xix. 32; *o Ragelim*—lle wrth odre mynydd Gilead, ac a elwid felly oddiwrth y *panwyr* a gyfaneddent yno, er mwyn y ffynnonau yn y rhai y cànent eu brethynau.

Adn. 28. *A ddygasant welyau, &c.*] Pob math ar ddodrefn, ac amrai fathau o ymborth, y rhai yr oedd ar Dafydd a'i bobl yn awr eu mawr eisiau.

Adn. 29. *Canys dywedasant*] Hyny yw, dywedasai y tri gŵr haelionus uchod felly wrth eu gilydd. *Yn yr anialwch*—daethai Dafydd a'i wŷr allan o Jerusalem ar ffrwst, heb gymeryd nemawr neu ddim lluniaeth gyda hwynt: ac nid oedd dim i'w gael yn yr anialwch, lle y buasent hwy, oddieithr yr hyn a gawsent gan Siba, pen. xvi. 1; ac felly rhaid eu bod yn newynog, yn flinderus, ac yn sychedig iawn erbyn cyraedd i Mahanaim, yr hyn a ystyriodd y gwŷr uchod gyda theimlad a charedigrwydd mawr.

PEN. XVIII. Adn. 1. *A Dafydd a gyfrifodd y bobl*] Y rhai oeddynt wedi tyru ato ef i Mahanaim, fel ag i wneyd erbyn hyn gryn fyddin; *ac a osododd arnynt hwy filwriaid a chanwriaid*—neu swyddogion ar filoedd ac ar gannoedd. Dywed Josephus eu bod yn 4000 o wŷr; a chasgla ereill, oddiwrth adn. 3, eu bod yn 10,000 o leiaf.

Adn. 2. *Y drydedd ran dan law Joab*] Prif dywysog y filwriaeth; *a'r drydedd ran dan law Abisai*—brawd Joab, i sefyll ar y ddeau i Joab; *a'r drydedd ran dan law Ittai y Gethiad*—ar yr aswy iddo: ac felly rhanwyd y fyddin yn dair rhan gyfartal, dan ofal y tri blaenor hyn. *Af finau hefyd gyda chwi*—fel y byddai presenoldeb y brenin yn

yn awr *yr ydwyt ti* fel deng mil o
honom ni: yn awrgan hyny gwell *yw*
i ti fod i'n cynorthwyo ni o'r ddinas.
4 A dywedodd y brenin wrthynt
hwy, Gwnaf yr hyn fyddo da yn eich
golwg chwi. A'r brenin a safodd
ger llaw y porth; a'r holl bobl a
aethant allan yn gannoedd ac yn
filoedd.
5 A'r brenin a orchymynodd i Joab,
ac Abisai, ac Ittai, gan ddywedyd,
*Byddwch* esmwyth, er fy mwyn i,
wrth y llanc Absalom. A'r holl bobl
a glywsant pan orchymynodd y
brenin i'r holl flaenoriaid yn achos
Absalom.
6 ¶ Felly yr aeth y bobl i'r maes
i gyfarfod Israel: a'r rhyfel fu yn
nghoed Ephraim.
7 Ac yno y lladdwyd pobl Israel
o flaen gweision Dafydd; ac yno y
bu lladdfa fawr y dwthwn hwnw,
*sef* ugain mil.
8 Canys y rhyfel oedd yno wedi
gwasgaru ar hyd wyneb yr holl
wlad: a'r coed a ddyfethodd fwy
o'r bobl nag a ddyfethodd y cledd-
yf y diwrnod hwnw.
9 ¶ Ac Absalom a gyfarfu â
gweision Dafydd yn *eu* hwyneb.
Ac Absalom oedd yn marchogaeth
ar ful, a'r mul a aeth dan dewfrig
derwen fawr, a'i ben ef a lynodd yn
y dderwen: felly yr oedd efe rhwng
y nefoedd a'r ddaear; a'r mul *oedd*
dano ef a aeth ymaith.
10 A rhyw un a ganfu *hyny*, ac a
fynegodd i Joab, ac a ddywedodd,

---

gefnogaeth iddynt yn y rhyfel, ac yn foddion i achub bywyd Absalom os syrthiai efe i'w dwylaw.

Adn. 3. *Nid âi di allan*] Hyn a ddywedent o barch i Dafydd, i'w gadw ef allan o berygl y rhyfel; *canys os gan ffoi y ffown ni, ni osodant hwy eu meddwl arnom ni*—i erlid ar ein hol pan na byddot ti gyda ni; *ac os bydd marw ein hanner ni*—ni chyfrifant hyny yn un fuddugoliaeth cyhyd ag y byddot ti yn fyw. *Yr ydwyt ti fel deng mil o honom ni*—nid yn unig o ran urddasrwydd dy berson, ond hefyd o ran dy ddefnyddioldeb i'n hachos cyffredin, yr hwn a lwyr ddyfethid pe collem di. *Gwell yw i ti fod i'n cynorthwyo ni o'r ddinas*—trwy ddanfon lluniaeth i ni o Mahanaim yn ol ein hangen, a'n diwallu â milwyr a ddeuant atat ti yno, a rhoddi i ni gefnogaeth a chynghor priodol; ac yn enwedig trwy weddio drosom yno, ar i'r Arglwydd ein cynorthwyo yn y rhyfel.

Adn. 4. *Gwnaf yr hyn fyddo da yn eich golwg chwi*] Ymostyngodd y brenin yn siriol i ewyllys ei bobl, gan ei fod yn gweled mai o gariad ato a ffyddlondeb iddo yr oeddynt hwy yn ei gynghori ef i aros yn y ddinas.

Adn. 5. *Byddwch esmwyth, er fy mwyn i, wrth y llanc Absalom*] Os gorchfygwch, (yr hyn a ddysgwyliai efe oddiwrth atebiad grasol Duw i'w weddi, yn troi cynghor Ahitophel yn ffolineb,) ac os cymerwch Absalom yn garcharor, na leddwch ef, ond byddwch dirion wrtho. Yr oedd y dymuniad hwn yn tarddu (1) Oddiar anwyldeb tadol Dafydd at ei blant; (2) Oddiar ei ymwybodoldeb mai efe ei hun oedd yr achos haeddiannol o'r gwrthryfel yma, ac nad oedd Absalom ddim ond offeryn yn llaw rhagluniaeth i gospi pechodau Dafydd; (3) Oddiar yr ystyriaeth o ieuenctid Absalom, pryd y mae plant yn gyffredin yn wyllt ac ynfyd, ac yn agored i gael eu camarwain, ac, (4) Oddiar dduwioldeb Dafydd ei hun, yr hyn a'i gwnai yn anfoddlon i'w fab gael ei dori ymaith yn nghanol ei bechodau, heb gael amser i edifarhau. Amcanai Absalom at fywyd ei dad tyner yn fwy na dim arall; a dymunai Dafydd, uwchlaw pob peth, arbed bywyd ei fab gwrthryfelgar! Ai nid oedd Dafydd yn hyn yn gysgod o wir Frenin Israel, yr hwn wedi hyny a weddiodd, 'O Dad, maddeu iddynt!' Bydd esmwyth wrthynt er fy mwyn i. *A'r holl bobl a glywsant*—rhoddodd Dafydd y gorchymyn hwn i'r blaenoriaid yn nghlyw yr holl filwyr, fel y gwypai pawb beth oedd ei ewyllys ef gyda golwg ar Absalom.

Adn. 6. *A'r rhyfel fu yn nghoed Ephraim*] Lle a elwid felly, nid am ei fod yn llwyth Ephraim, o du y gorllewin i'r Iorddonen, oblegid yr oedd y ddwy blaid yn awr o du y dwyrain i'r Iorddonen, yn agos i Mahanaim, pen. xvii. 24; ond am fod llwyth Ephraim wedi cael caniatad gan Josua i borthi eu hanifeiliaid yno, fel y dywed yr Iuddewon. Neu gelwid ef felly o herwydd y lladdfa a wnaed ar y Midianiaid yno gan wŷr Ephraim, neu ar wŷr Ephraim gan Jephthah, Barn. vii. 25, viii. 3, a xii. 5, 6.

Adn. 7. *Ac yno y lladdwyd pobl Israel*] Sef y rhai a berthynent i Absalom; *ugain mil*—rhwng y lladdedigion ar y maes ac yn y coed.

Adn. 8. *A'r coed a ddyfethodd fwy o'r bobl*] Wrth i wŷr Absalom ffoi i'r coed rhag gwŷr Dafydd, yr oedd mwy o honynt yn cael eu dyfetha yno na phan yr oeddynt yn sefyll yn ngwyneb eu gelynion ar y maes. Tybia rhai fod yno bydewau i'r rhai y syrthient, neu ddyrysni o'r hwn nis gallent ffoi, na'u hamddiffyn eu hunain. Ond yn ol y Galdaeg, y Syriaeg, a'r Arabaeg, dyfethid hwy yn y coed gan fwystfilod rheibus.

Adn. 9. *Absalom a gyfarfu â gweision Dafydd yn eu hwyneb*] Y rhai, yn ol gorchymyn Dafydd, a'i harbedasant ef, ac a roisant iddo gyfle i ddianc. Ond er na ddaliasant hwy ef, eto daliwyd ef gan ddwyfol ddialedd; canys ei *ben ef a lynodd yn y dderwen*—naill ai gerfydd ei wallt hir, yr hwn a ymglymodd am y tewfrig; neu ynte gerfydd ei wddf, yr hwn a lynodd rhwng dwy gangen o'r dderwen. *Felly yr oedd efe rhwng y nefoedd a'r ddaear*—fel yn annheilwng o'r naill a'r llall.

Wele, gwelais Absalom yn nghrog
mewn derwen.
11 A dywedodd Joab wrth y gŵr
oedd yn mynegu iddo, Ac wele, ti
a'*i* gwelaist *ef;* paham nas tarew-
aist ef yno i'r llawr, ac arnaf fi roddi
i ti ddeg *sicl* o arian, ac un gwregys?
12 A dywedodd y gŵr wrth Joab,
Pe cawn bwyso ar fy llaw fil o *sicl-
au* arian, nid estynwn fy llaw yn
erbyn mab y brenin: canys gorch-
ymynodd y brenin lle y clywsom ni
wrthyt ti, ac wrth Abisai, ac wrth
Ittai, gan ddywedyd, Gwyliwch
*gyfwrdd* o neb â'r llanc Absalom.
13 Os amgen, mi a wnaethwn ffals-
der yn erbyn fy einioes: canys nid
oes dim yn guddiedig oddiwrth y
brenin; tithau hefyd a safasit yn *fy*
erbyn.
14 Yna y dywedodd Joab, Nid ar-
hoaf fel hyn gyda thi. Ac efe a
gymerth dair o bicellau yn ei law,
ac a'u brathodd trwy galon Absa-
lom, ac efe eto yn fyw yn nghanol
y dderwen.
15 A'r deg llanc *y rhai* oedd yn
dwyn arfau Joab a amgylchynas-
ant, ac a darawsant Absalom, ac a'i
lladdasant ef.
16 A Joab a udganodd mewn ud-
gorn; a'r bobl a ddychwelodd o
erlid ar ol Israel; canys Joab a at-
taliodd y bobl.
17 A hwy a gymerasant Absalom,
ac a'i bwriasant ef mewn ffos fawr
yn y coed, ac a osodasant arno
garnedd gerig fawr iawn: a holl
Israel a ffoisant bob un i'w babell.
18 ¶ Ac Absalom a gymerasai ac

---

Gwthiwyd ef mor chwyrn i'r cyflwr hwn gan garlamiad y mul, nes yr oedd wedi syfrdanu; ac aeth y mul ymaith odditano, gan ei adael ef yno yn analluog i'w amddiffyn ei hun.

Adn. 10. *A rhyw un*] O filwyr Dafydd yn myddin Joab; *a ganfu hyny*—a welodd y mul yn carlamu ymaith dan y dderwen, gan adael ei feistr yn grogedig ar ol.

Adn. 11. *Paham nas tarewaist ef yno i'r llawr*] Hyny yw, ei ladd; *ac arnaf fi roddi i ti*—fel gwobr am y weithred, *ddeg sicl o arian*—neu oddeutu £1 5*s*. o'n harian ni; *ac un gwregys*—sef gwregys milwraidd gorwych, yr hwn oedd yn arwydd o anrhydedd mawr, ac o ddyrchafiad i swydd yn y fyddin.

Adn. 12. *Pe cawn bwyso ar fy llaw, &c.*] Pe rhoddesid yn fy llaw fil o siclau arian am ladd Absalom, ni wnaethwn hyny mewn anufydd-dod i orchymyn y brenin.

Adn. 13. *Os amgen*] Neu pe buaswn yn ei ladd ef; *mi a wnaethwn ffalsder yn erbyn fy einioes*—nid yn unig ymddygaswn felly yn ffals neu dwyllodrus tuag at y brenin, ond buaswn yn fforffetio fy einioes fy hun hefyd trwy anufyddhau i'w orchymyn ef; *tithau hefyd a safasit yn fy erbyn*—i'm cyhuddo a'm cospi.

Adn. 14. *Nid arhoaf fel hyn gyda thi*] Ni threuliaf fy amser i ymddyddan yn ofer gyda thi, eithr mi a âf, ac a'i lladdaf ef fy hunan. *Ac a'u brathodd trwy galon Absalom*—fel ag i'w ladd yn y fan: gwel ar adn. 15. Er y dylasai Joab ufyddhau i orchymyn ei frenin, eto yr oedd diogelwch y llywodraeth yn gofyn i Absalom gael ei dori ymaith. Ac heblaw hyny, yr oedd ei fywyd ef wedi cael ei fforffetio i'r gyfraith bedair gwaith bellach: (1) Am lofruddio Amnon ei frawd. (2) Am greu gwrthryfel yn y deyrnas. (3) Am godi arfau yn erbyn ei dad ei hun, Deut. xxi. 18, 21. (4) Am orwedd gyda gordderchwragedd ei dad, Lef. xviii. 29. Dylasai Absalom farw er's talm dan law cyfiawnder; ac yn awr daeth ei holl bechodau ar ei ben ef trwy law Joab.

Adn. 15. *A'r deg llanc*] Y rhai oeddynt yn gweini yn neillduol i Joab fel tywysog y filwriaeth; *a amgylchynasant*—y dderwen lle yr oedd Absalom yn grogedig; *ac a'i lladdasant ef*—y mae yn sicr nas gallai fod bywyd ynddo ar ol i Joab frathu tair o bicellau trwy ei galon ef, adn. 14; a'r ystyr yma yw, iddynt rwygo ei gorff ef â'u cleddyfau, yr hyn a fuasai yn sicr o'i ladd ef pe buasai y pryd hyny yn fyw.

Adn. 16. *A Joab a udganodd mewn udgorn*] I alw ei filwyr ei hun oddiwrth dywallt gwaed. Efe a wyddai fod y gwrthryfel bellach ar ben ar ol lladd Absalom, ac ni fynai i filwyr twylledig Absalom ddyoddef ychwaneg.

Adn. 17. *Bwriasant ef mewn ffos fawr yn y coed*] Ni farnent yn ddoeth ddwyn ei gorff drylliedig ef at ei dad, rhag i hyny ei ofidio yn ormodol. *Ac a osodasant arno garnedd gerig fawr iawn*—i fod yn gofgolofn barhaus o'i bechod a'i warth ef, ac o gyfiawn farn Duw arno. Fel hyn y triniodd yr Israeliaid gyrff Acan a brenin Ai, a brenhinoedd yr Amoriaid, Jos. vii. 26, viii. 29, a x. 27, Cafodd Absalom mewn ystyr ei grogi, yr hon oedd yn farwolaeth felldigedig; ac wedi hyny ei drywanu â phicellau a chleddyfau: ac yna mewn ystyr ei labyddio, yr hon oedd gosp briodol i fab cyndyn ac anufydd, Deut. xxi. 18—21. Dywed Adricomius fod y garnedd hon i'w gweled yn ei ddyddiau ef, a bod yr holl ymdeithwyr, wrth fyned heibio, yn arferol o daflu careg yn ychwanegol arni, mewn atgasrwydd at wrthryfel Absalom yn erbyn ei dad. *A holl Israel a ffoisant bob un i'w babell*—i'w tai neu eu cartrefleoedd, i ochelyd gwarth a chosp eu gwrthryfel.

Adn. 18. *Ac Absalom—a osodasai iddo yn ei fywyd golofn*] I gadw i fyny ei enw; er y buasai yn fwy anrhydeddus iddo fod ei enw wedi ei gladdu mewn tragwyddol annghof. Eithr hyn oedd effaith y balchder a'r gwâggoniant a fuont yn brif achos ei ddinystr ef. *Yn nyffryn y brenin*—lle a elwid felly yn agos i Jerusalem. *Nid oes fab genyf i*

a osodasai iddo yn ei fywyd golofn,
yn nyffryn y brenin: canys efe a
ddywedodd, Nid *oes* fab genyf i
wneuthur coffa am fy enw: ac efe a
alwodd y golofn ar ei enw ei hun.
A hi a elwir Lle Absalom, hyd y
dydd hwn.
19 ¶ Yna Ahimaas mab Sadoc a
ddywedodd, Gad i mi redeg yn awr,
a mynegu i'r brenin, ddarfod i'r Ar-
glwydd ei ddial ef ar ei elynion.
20 A Joab a ddywedodd wrtho ef,
Ni *byddi* di yn genadwr y dydd
hwn, eithr mynegi ddiwrnod arall:
ond heddyw ni byddi di genad, o
herwydd marw mab y brenin.
21 Yna y dywedodd Joab wrth
Cusi, Dos, dywed i'r brenin yr hyn
a welaist. A Chusi a ymgrymodd i
Joab, ac a redodd.
22 Yna Ahimaas mab Sadoc a
ddywedodd eilwaith wrth Joab,
Beth bynag a fyddo, gad i minau,
atolwg, redeg, ar ol Cusi. A dy-
wedodd Joab, I ba beth y rhedi di,
fy mab, gan nad *oes* genyt genad-
wriaeth addas?
23 Ond beth bynag a fyddo *(eb
efe)* gad i mi redeg. A dywedodd
yntau wrtho, Rhed. Yna Ahimaas
a redodd ar hyd y gwastadedd, ac
a aeth heibio i Cusi.
24 A Dafydd oedd yn eistedd
rhwng y ddau borth: a'r gwylied-
ydd a aeth ar nen y porth ar y mur
ac a ddyrchafodd ei lygaid, ac a
edrychodd; ac wele, ŵr yn rhedeg ei
hunan.
25 A'r gwyliedydd a waeddodd,
ac a fynegodd i'r brenin. A'r brenin
a ddywedodd, Os ei hun *y mae* efe,
cenadwriaeth *sydd* yn ei enau ef.
Ac efe a ddaeth yn fuan, ac a nes-
aodd.
26 A'r gwyliedydd a ganfu ŵr
arall yn rhedeg: a'r gwyliedydd a
alwodd ar y porthor, ac a ddywed-
odd, Wele, ŵr *arall* yn rhedeg ei
hunan. A dywedodd y brenin, Hwn
hefyd sydd genad.

---

*wneuthur coffa am fy enw*—bu iddo ef dri mab, pen. xiv. 27; ond yr oeddynt naill ai wedi marw, neu ynte yn anaddas ac annheilwng, yn ei farn ef, i gadw i fyny ei enw a'i anrhydedd. Tybir yn gyffredin eu bod wedi marw; ac iddo ef, yr hwn a geisiai fywyd ei dad, gael fel hyn ei gospi â marwolaeth ei dri mab ei hun. *A hi a elwir Lle Absalom*—Heb. '*Llaw* Absalom;' am ddarfod iddo ei gwneuthur ond odid â'i law ei hun, yn goffadwriaeth o'i enw a'i fedrusrwydd. *Hyd y dydd hwn*—pryd yr ysgrifenwyd yr hanes yma. Yr oedd yno golofn o fynor yn amser Josephus, yr hon a elwid *Colofn Absalom;* a danghosir yno heddyw golofn ar ei enw ef, ond o wneuthuriad diweddar, wedi ei naddu o'r graig.

Adn. 19. *Yna Ahimaas mab Sadoc*] Yr offeiriad. Yr oedd ef yn awyddus am fod y cyntaf i fynegu i Dafydd ddarfod i'r Arglwydd ei ddial ef ar ei elynion, mewn rhan, o wir gariad at Dafydd, ac hefyd i barotoi ei feddwl ef yn raddol i glywed y newydd trwm am farwolaeth ei fab.

Adn. 20. *Ni byddi di yn genadwr y dydd hwn*] Am nad yw yn gymhwys i ti, fel mab i offeiriad, ddwyn y newydd galarus am farwolaeth mab y brenin; ac ni thuedda hyny i beri cymeradwyaeth i ti gyda'r brenin. *Eithr mynegi ddiwrnod arall*—pan fyddai rhyw ymwared arall wedi ei wneyd, neu ryw newydd cysurus i'w fynegu.

Adn. 21. *Yna y dywedodd Joab wrth Cusi*] Tybia rhai oddiwrth ei enw mai Ethiopiad oedd y Cusi hwn, ond yn broselyt i'r grefydd Iuddewig, ac yn ymlynydd ffyddlon wrth Dafydd a'i achos, adn. 29. *Dos, dywed i'r brenin yr hyn a welaist*—wrth hyn gellid meddwl ei fod ef yn wyddfodol pan laddwyd Absalom, neu o leiaf iddo ei weled wedi ei ladd, ac felly ei fod yn fwy addas i ddwyn y genadwri i Dafydd na Ahimaas, yr hwn ni fuasai yn llygad-dyst: gwel ar adn. 22. *A Chusi a ymgrymodd i Joab*—o barch iddo ef fel ei dywysog milwraidd, ac mewn diolchgarwch iddo am ei anfon ar y genadwri hon; *ac a redodd*—â'i holl egni tua Mahanaim, i fynegu y newydd i Dafydd.

Adn. 22. *I ba beth y rhedi di, fy mab?*] Felly y geilw Joab ef o herwydd ei ieuenctid, ac oblegid ei barch i'w rinweddau a'i ffyddlondeb ef. *Gan nad oes genyt genadwriaeth addas*—gan nad wyt wedi bod yn llygad-dyst, neu gan nad oes genyt ddim i'w fynegu ond yr hyn a ymddiriedwyd i Cusi.

Adn. 23. *Ond beth bynag a fyddo*] Fel pe dywedasai, Cenadwriaeth neu beidio, *gad i mi redeg*—ac wrth ganfod ei daerineb caniataodd Joab ei ddymuniad; fel pe dywedasai, Gan mai rhedeg a fyni, *rhed*—ac felly efe a redodd yn gynt na Cusi, gan ei basio ar y ffordd.

Adn. 24. *A Dafydd oedd yn eistedd rhwng y ddau borth*] Yn y cwrt, rhwng porth y cwrt a phorth mur y ddinas, yn dysgwyl am newydd o'r rhyfel. Ymddengys fod tŵr uwchben y porth olaf, i'r hwn yr esgynodd y gwyliedydd i gael gweled yn mhellach.

Adn. 25. *Os ei hun y mae efe, cenadwriaeth sydd yn ei enau ef*] Y mae wedi ei anfon gyda chenadwri, a hono yn un *dda;* canys pe buasai yno lawer yn cydredeg, gallasai y brenin feddwl mai ffoi yr oeddynt rhag eu gelynion.

Adn. 26. *A'r gwyliedydd a ganfu ŵr arall yn rhedeg*] Yr hwn a ddaeth i'r golwg cyn i'r blaenaf gyraedd at y porth; a chan ei fod yntau yn rhedeg yn unigol, casglodd y brenin mai un yn dwyn newydd da oedd yntau hefyd.

Adn 27. *Fel rhediad Ahimaas mab Sadoc*]

27 A'r gwyliedydd a ddywedodd, Yr ydwyf fi yn gweled rhediad y blaenaf fel rhediad Ahimaas mab Sadoc. A dywedodd y brenin, Gŵr da *yw* hwnw, ac â chenadwriaeth dda y daw efe.

28 Ac Ahimaas a alwodd, ac a ddywedodd wrth y brenin, Heddwch: ac a ymgrymodd i lawr ar ei wyneb gerbron y brenin, ac a ddywedodd, Bendigedig *fyddo* yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a warchaeodd ar y gwŷr a gyfodasant eu llaw yn erbyn fy arglwydd frenin.

29 A'r brenin a ddyweddodd, Ai diangol y llanc Absalom? A dywedodd Ahimaas, Gwelais gythrwfl mawr, pan anfonodd Joab was y brenin, a'th was dithau, ond ni wybum i beth *ydoedd.*

30 A'r brenin a ddywedodd, Tro heibio; saf yma. Ac efe a drôdd heibio, ac a safodd.

31 Ac wele, Cusi a ddaeth. A dywedodd Cusi, Cenadwri, arglwydd frenin: canys yr Arglwydd a'th ddialodd di heddyw ar bawb a'r a ymgyfododd i'th erbyn.

32 A dywedodd y brenin wrth Cusi, A ddiangodd y llanc Absalom? A dywedodd Cusi, Fel y llanc hwnw y byddo gelynion fy arglwydd frenin, a'r holl rai a ymgyfodant i'th erbyn di er niwed *i ti.*

33 ¶ A'r brenin a gyffrôdd, ac a aeth i fyny i ystafell y porth, ac a ŵylodd: ac fel hyn y dywedodd efe wrth fyned; O fy mab Absalom! fy mab, fy mab Absalom! O na buaswn farw drosot ti, Absalom, fy mab, fy mab!

PENNOD XIX.

A mynegwyd i Joab, Wele, y brenin yn ŵylo, ac yn galaru am Absalom.

---

Yr hwn, fel yr ymddengys, oedd yn hynod am ei gyflymdra. Yr oedd y brenhinoedd gynt yn cadw rhedegwyr cyflym; a sonir am un a redodd o Tyrus i Jerusalem, pellder o fwy na chan milldir, mewn 24 o oriau. *Gŵr da yw hwnw*—y mae efe yn caru fy lles, ac am hyny ni ddaethai efe â newydd drwg i'm trallodi.

Adn. 28. *Ahimaas a alwodd*] Cyn ei ddyfod yn hollol i'r fan lle yr eisteddai y brenin. *Heddwch!*—math ar gyfarchiad priodol wrth nesâu at benadur; *ac a ymgrymodd*—mor gynted ag y daeth gerbron y brenin. *Bendigedig fyddo yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a warchaeodd, &c.*—efe a briodolai y fuddugoliaeth ar elynion Dafydd i'r Arglwydd, nid i Joab, a bendithiai yr Arglwydd yn ddiffuant am dani; yr hyn oedd yn brawf ei fod ef yn 'ŵr da,' adn. 27.

Adn. 29. *Ai diangol y llanc Absalom?*] Yr oedd cymaint o deimlad tad yn Dafydd, nes yr annghofiodd deimlad brenin; ac yr oedd diogelwch Absalom yn fwy ar ei feddwl na diogelwch ei fyddin ei hun; ac nis gallai efe lawenychu yn y newydd am y fuddugoliaeth, cyn cael gwybod a oedd ei fab yn ddiangol. *Gwelais gythrwfl mawr*—nis gallwn feddwi ei fod yn cyfeirio at laddiad na chladdiad Absalom yn neillduol, ond dywedai rywbeth yn lle ateb y brenin yn uniongyrchiol. *Pan anfonodd Joab was y brenin*—sef Cusi, yr hwn yr ymddengys oddiyma ei fod yn perthyn i'r llys; *a'th was dithau*—sef Ahimaas ei hun. *Ond ni wybum i beth ydoedd*—tybia rhai na wyddai Ahimaas am farwolaeth Absalom, er y gwyddai am orchfygiad ei fyddin ef; a barna ereill y gwyddai efe y cwbl, ond ei fod yn dywedyd fel hyn yn lle bod yn gludydd newydd drwg i Dafydd.

Adn. 30. *Tro heibio*] O'r neilldu, hyd oni ddeuai y cenadwr arall, fel y gallai y brenin gydmharu geiriau y ddau, a deall rhyngddynt pa fodd yr oedd pethau mewn gwirionedd.

Adn. 31. *Cenadwri, arglwydd frenin!*] Hyny yw, yr oedd ef wedi cael ei anfon yn swyddogol o'r rhyfel gyda chenadwri at y brenin; ac yr oedd hòno yn genadwri dda yn yn ei dyb ef, sef fod yr Arglwydd wedi cymeryd ei blaid ef, a maeddu ei holl elynion.

Adn. 32. *A ddiangodd y llanc Absalom?*] Gwel ar adn. 29. *Fel y llanc hwnw y byddo gelynion fy arglwydd frenin*—dull tyner o fynegu fod Absalom wedi ei ladd.

Adn. 33. *A'r brenin a gyffrôdd*] Effeithiwyd mor gryf ar ei holl deimladau a'i nwydau, fel na wnaeth un ymholiad yn nghylch modd ei farwolaeth, na natur y fuddugoliaeth; *ac a aeth i fyny i ystafell y porth*—yr hon oedd yn y tŵr uwchben y porth, i ŵylo ac ymofidio yno wrtho ei hun: eto nis gallai efe ymattal oddiwrth ocheneidiau galarnadol wrth fyned yno, eithr clybuwyd ef yn llefain allan ar hyd y ffordd, *O fy mab Absalom! fy mab, fy mab Absalom! O na buaswn farw drosot ti, Absalom, fy mab, fy mab!* Y mae mynychu y geiriau yn dangos cryfder angherddol serchiadau y tad, a mawredd ei alar ar ol ei fab. Ond eto nid teimlad *tadol* yw y cwbl a welir yma, eithr y mae yma fwy o'r teimlad *crefyddol;* canys pan yr ystyriom y fath fachgen *drwg* oedd Absalom, y mae yn anmhosibl cael rheswm dros y fath iaith alarus o eiddo Dafydd ond ar y dybiaeth ofnadwy ei fod ef wedi marw yn ei bechodau, a bod ei enaid yn dragwyddol golledig. A'r dymuniad am gael *marw yn ei le,* a raid gael ei egluro yn unig ar yr egwyddor o barodrwydd y tad i wynebu angau, trwy ei fod mewn heddwch â Duw, a'r gobaith y buasai arbediad bywyd y mab yn rhoddi iddo yntau amser i edifarhau. Diau mai hyn, yn nghyda'r ystyriaeth mai pechodau Dafydd ei hun a fuont yn achlysur o

2 A'r fuddugoliaeth *a aeth* y
dwthwn hwnw yn alar i'r holl bobl:
canys clywodd y bobl y diwrnod
hwnw ddywedyd, dristâu o'r brenin
am ei fab.
3 A'r bobl a aethant yn lladrad-
aidd y diwrnod hwnw i mewn i'r
ddinas, fel pobl a fyddai yn myned
yn lladradaidd wedi eu cywilyddio
wrth ffoi o ryfel.
4 Ond y brenin a orchuddiodd ei
wyneb; a'r brenin a waeddodd â
llef uchel, O fy mab Absalom, Ab-
salom, fy mab, fy mab!
5 A Joab a ddaeth i mewn i'r tŷ
at y brenin, ac a ddywedodd, Gwa-
radwyddaist heddyw wynebau dy
holl weision, y rhai a amddiffynas-
ant dy einioes di heddyw, ac einioes
dy feibion a'th ferched, ac einioes
dy wragedd, ac einioes dy ordderch-
wragedd;
6 Gan garu dy gaseion, a chasâu
dy garedigion: canys danghosaist
heddyw nad oedd ddim genyt dy
dywysogion, na'th weision: o her-
wydd mi a wn heddyw, pe Absalom
fuasai fyw, a ninau i gyd yn feirw
heddyw, mai da fuasai *hyny* yn dy
olwg di.
7 Cyfod yn awr gan hyny, cerdda
allan, a dywed yn dêg wrth dy weis-
ion: canys yr wyf fi yn tyngu i'r
Arglwydd, os tî nid âi allan, nad
erys neb gyda thi y nos hon; a
gwaeth fydd hyn i ti na'r holl ddrwg
a ddaeth i'th erbyn di o'th febyd
hyd yr awr hon.
8 Yna y brenin a gyfododd, ac a
eisteddodd yn y porth. A myneg-
wyd i'r holl bobl, gan ddywedyd,
Wele y brenin yn eistedd yn y porth.
A'r holl bobl a ddaethant o flaen *y*
brenin: canys Israel a ffoisai bob
un i'w babell.
9 ¶ Ac yr oedd yr holl bobl yn
ymryson trwy holl lwythau Israel,
gan ddywedyd, Y brenin a'n gwa-
redodd ni o law ein gelynion, ac efe
a'n gwaredodd ni o law y Philist-
iaid; ac yn awr efe a ffôdd o'r wlad
rhag Absalom.
10 Ac Absalom, yr hwn a enein-
iasom ni arnom, a fu farw mewn

---

arwain at farwolaeth Absalom, (gwel ar adn. 5,) oedd y prif achos o'r dirfawr dristwch a deimlid ac a fynegid gan Dafydd yn y ddolef uchod.

PEN. XIX. Adn. 1. *A mynegwyd i Joab*] Ond odid gan Cusi, yr hwn a ddychwelasai i'r gwersyll ar ol traddodi ei genadwri.

Adn. 2. *A'r fuddugoliaeth a aeth y dwthwn hwnw yn alar i'r holl bobl*] Pan glywsant am alar Dafydd ar ol ei fab, aethant hwythau i alaru mewn cydymdeimlad âg ef, yr hyn a roes attalfa ar eu gorfoledd am y fuddugoliaeth.

Adn. 3. *A'r bobl a aethant yn lladradaidd —i'r ddinas*] Aethant i Mahanaim, nid yn amlwg a gorfoleddus, fel yr arferai buddugwyr fyned; ond yn ddirgelaidd a dirwysg, fel pe buasent yn eu hystyried eu hunain yn euog o droseddu gorchymyn y brenin trwy ladd ei fab, ac yn ofni iddo ef eu gweled. *Wedi eu cywilyddio*—fel pe buasent yn ffoi mewn cywilydd ar ol eu gorchfygu gan eu gelynion.

Adn. 4. *Ond y brenin a orchuddiodd ei wyneb*] Yn ol arferiad galarwyr, fel pe na buasai am weled neb o'i dywysogion, na chael ei weled gan neb. *A'r brenin a waeddodd*—a barhâai i waeddi yr un alarnad er pan glywodd am farwolaeth ei fab y dydd o'r blaen: gwel ar pen. xviii. 33.

Adn. 5. *Gwaradwyddaist heddyw wynebau dy holl weision*] Trwy siomi eu gobeithion cyfiawn am glodydd a gwobrau, a'u trin fel pe buasent wedi bod yn anffyddlon i'w brenin; *y rhai a amddiffynasant dy einioes, &c.*—canys y mae yn debyg, pe troisai y fuddugoliaeth o du Absalom, y lladdesid Dafydd a'i holl deulu.

Adn. 6. *Gan garu dy gaseion*] Dy fab gwrthryfelgar a'i blaid; *a chasâu dy garedigion*—sef nyni, y rhai a beryglasom ein bywydau i'th amddiffyn; *canys danghosaist heddyw*—yn dy waith yn galaru mor fawr ar ol dy fab gwrthryfelgar, heb wneyd dim sylw o neb o honom ni, *nad oedd ddim genyt dy dywysogion na'th weision*—nad oeddit yn gofalu dim am fywyd na buddugoliaeth dy filwyr dy hun, ond i ti gael Absalom yn fyw.

Adn. 7. *Cyfod yn awr*] Oddiar dy orweddfa; *cerdda allan*—i borth y ddinas; *a dywed yn dêg wrth dy weision*—dangos dy hun i'th filwyr, diolcha iddynt am eu gwasanaeth, a llon-gyfarcha hwynt am eu llwyddiant. *Canys yr wyf fi yn tyngu i'r Arglwydd*—gan gadarnhau ei fygythiad â'r llw difrifolaf; *os ti nid âi allan*—i gydnabod yn ddiolchgar wasanaeth dy filwyr; *nad erys neb gyda thi y nos hon*—bydd i'th holl filwyr dy adael di ar unwaith, a thyngu ffyddlondeb i frenin arall, yr hyn a fydd yn fwy o golled i ti na dim a gyfarfu â thi erioed. Yr oedd y cyfarchiad hwn i raddau yn angenrheidiol, i ddwyn y brenin i ystyried ei le a'i ddyledswydd, er ei fod ar y cyfan yn rhy lym.

Adn. 8. *A mynegwyd i'r holl bobl, &c.*] Fod Dafydd wedi rhoddi heibio ei alar am Absalom, ac wedi dyfod i borth y ddinas i dderbyn ei gyfeillion, ac i drin achosion fel arferol. *A'r holl bobl a ddaethant o flaen y brenin*—i'w llon-gyfarch ef ar gaffaeliad y fuddugoliaeth ddiweddar, ac i dderbyn ei ddiolchgarwch yntau am eu gwasanaeth i'w brenin yn y frwydr hòno. *Canys Israel a ffoisai bob un i'w babell*—yn lladradaidd, ar ol clywed am alar Dafydd, adn. 3. Neu gall fod 'Israel'

rhyfel: ac yn awr paham yr ydych
heb son am gyrchu y brenin dra-
chefn?
11 ¶ A'r brenin Dafydd a anfon-
odd at Sadoc ac at Abiathar yr
offeiriaid, gan ddywedyd, Lleferwch
wrth henuriaid Juda, gan ddywed-
yd, Paham yr ydych chwi olaf i
ddwyn y brenin yn ei ol i'w dŷ?
canys gair holl Israel a ddaeth at y
brenin, hyd ei dŷ.
12 Fy mrodyr *ydych* chwi; fy
asgwrn a'm cnawd *ydych* chwi: pa-
ham gan hyny yr ydych yn olaf i
ddwyn y brenin adref?
13 Dywedwch hefyd wrth Amasa,
Onid fy asgwrn i a'm cnawd *wyt* ti?
Fel hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel
hyn y chwanego, onid tywysog y llu
fyddi di ger fy mron i yn lle Joab
byth.
14 Ac efe a drôdd galon holl wŷr
Juda, fel *calon* un gŵr; a hwy a
anfonasant at y brenin, *gan ddywed-
yd*, Dychwel di a'th holl weision.
15 Felly y brenin a ddychwelodd,
ac a ddaeth i'r Iorddonen. A Juda
a ddaeth i Gilgal, i fyned i gyfarfod
â'r brenin, i ddwyn y brenin dros
yr Iorddonen.
16 ¶ A Simei mab Gera, mab
Jemini, yr hwn *oedd* o Bahurim, a
frysiodd, ac a ddaeth i waered gyda
gwŷr Juda, i gyfarfod â'r brenin
Dafydd.
17 A mil o wŷr o Benjamin *oedd*
gydag ef; Siba hefyd gwas tŷ Saul,
a'i bymtheg mab a'i ugain gwas
gydag ef: a hwy a aethant dros yr
Iorddonen, o flaen y brenin.
18 Ac ysgraff a aeth drosodd i
ddwyn trwodd dylwyth y brenin, ac
i wneuthur yr hyn fyddai da yn ei
olwg ef. A Simei mab Gera a

---

yma yn meddwl byddin a phleidwyr Absalom, y rhai a ffoisent i'w pebyll ar ol colli y frwydr, pen. xviii. 17.

Adn. 9, 10. *Ac yr oedd yr holl bobl*] A fuasent gynt yn pleidio Absalom; *yn ymryson trwy holl lwythau Israel*—yn beio eu gilydd am bleidio Absalom yn erbyn Dafydd, yr hwn a wnaethai gymaint o les iddynt; ac am eu bod mor hwyrfrydig yn awr, ar ol i Absalom farw, i gyrchu Dafydd adref i'r orsedd.

Adn. 11. *A'r brenin Dafydd a anfonodd at Sadoc ac at Abiathar yr offeiriaid*] Y rhai oeddynt yn Jerusalem, ac yn bleidwyr iddo ef o hyd, ond yn ddirgel hyd farwolaeth Absalom. *Lleferwch wrth henuriaid Juda*—trwy fod Dafydd o'u llwyth hwy, ac wedi ei eneinio yn frenin ar eu llwyth hwy yn gyntaf, efe a ryfeddai eu bod hwy yn olaf o bawb i'w ddwyn ef yn ol i'w frenhindy i Jerusalem. *Canys gair holl Israel*—neu ddymuniad ac awydd yr holl lwythau ereill am ei gael ef yn ol i'r orsedd; *a ddaeth at y brenin hyd ei dŷ*—cyrhaeddodd y newydd am hyny glustiau y brenin yn ei dŷ yn Mahanaim.

Adn. 12. *Fy mrodyr ydych chwi*] O'r un llwyth; *fy asgwrn a'm cnawd*—y mae llawer o honoch yn berthynasau agos i mi: ac am hyny dylasech chwi fod yn fwy awyddus na neb i'm cyrchu adref: gwel ar pen. v. 1.

Adn. 13. *Dywedwch hefyd wrth Amasa*] Yr hwn a fuasai yn dywysog llu Absalom yn y gwrthryfel. *Onid fy asgwrn i a'm cnawd wyt ti?*—sef nai Dafydd fab ei chwaer: gwel ar pen. xvii. 25. *Fel hyn y gwnelo Duw i mi*—math ar lw difrifol i sicrhau y gwnai efe nid yn unig faddeu i Amasa, ond hefyd ei dderchafu ef i'r swydd uwchaf yn y fyddin yn lle Joab. Yr oedd Joab wedi colli ffafr Dafydd trwy amrai bethau, megys llofruddio Abner yn fradychus, lladd Absalom yn greulon, a bygwth Dafydd ei hun wedi hyny; ac yr oedd yn dda gan Dafydd gael y cyfle hwn i ddarostwng Joab, ac ennill Amasa a holl Israel i'w bleidio ef yn fwy diysgog.

Adn. 14. *Ac efe a drôdd galon holl wŷr Juda*] Dywed Chandler a'r rabbiniaid Iuddewig mai *Amasa* a'u trôdd hwynt; ond y mae yn debycach mai *Dafydd* a olygir, yr hwn a effeithiodd ar galonau holl wŷr Juda trwy y genadwri heddychlon uchod. *A hwy a anfonasant at y brenin*—i'w wahodd ef i ddychwelyd i Jerusalem, gan addaw y ffyddlondeb cywiraf iddo rhagllaw.

Adn. 15. *Felly y brenin a ddychwelodd*] O Mahanaim, i fyned dros yr Iorddonen; *a Juda a ddaeth i Gilgal*—cyn gorphwyso. Ond gan fod Gilgal oddeutu 4 milldir o du y gorllewin i'r Iorddonen, rhaid i benaethiaid Juda fyned gymaint a hyny yn mhellach na Gilgal, i'r dyben i'w ddwyn ef drosodd. Modd bynag, y mae yn debyg iddynt hwy aros yn Gilgal nes i'r brenin ddyfod atynt yno, adn. 40.

Adn. 16. *A Simei mab Gera*] Yr hwn oedd yn melldithio Dafydd wrth iddo ffoi o Jerusalem, pen. xvi. 5, &c.; *a frysiodd*—gan ei fod ef wedi sarhau y brenin yn y fath fodd, efe a gasglai yn ddoeth nas gallai ef gael un gobaith am faddeuant, oddieithr iddo fod yn un o'r rhai cyntaf i ddwyn y brenin yn ol.

Adn. 17. *A mil o wŷr o Benjamin oedd gydag ef*] Y rhai a gymerth Simei i ddangos i'r brenin ei fawredd a'i awdurdod ei hun, a'r wasanaeth a allai efe ei rhoddi i'r brenin os maddeuai efe iddo, ac nas gallai ei gospi heb anfoddloni llawer o'i ddeiliaid ei hun. *Siba hefyd gwas tŷ Saul*—yn ymwybodol ddarfod iddo dwyllo Dafydd, ac ymddwyn yn anghyfiawn tuag at ei feistr Mephiboseth, (gwel ar pen. xvi. 1—4,) ac yn ofni i'r cwbl ddyfod bellach i'r golwg, a fwriadai ennill ffafr Dafydd trwy fod yn mysg y rhai cyntaf i'w resawu ef adref. *A hwy*—sef Simei a'i 1,000 o filwyr, a Siba a'i 35 o wŷr; *a aethant dros yr Iorddonen*—i gyfarfod â'r brenin yr ochr ddwyreiniol iddi.

syrthiodd gerbron y brenin, pan
ddaeth efe dros yr Iorddonen;
19 Ac a ddywedodd wrth y bren-
in, Na ddannoded fy arglwydd i mi
anwiredd, ac na chofia yr hyn a
wnaeth dy was yn anwir y dydd yr
aeth fy arglwydd frenin o Jerusa-
lem, i osod o'r brenin *hyny* at ei
galon.
20 Canys dy was sydd yn cydna-
bod bechu o honof fi: ac wele, daeth-
ym heddyw yn gyntaf o holl dŷ
Joseph, i ddyfod i waered i gyfarfod
â'm harglwydd frenin.
21 Ac Abisai mab Serfiah a ateb-
odd, ac a ddywedodd, Ai o herwydd
hyn ni roddir Simei i farwolaeth,
am iddo felldithio eneiniog yr Ar-
glwydd?
22 A dywedodd Dafydd, Beth
*sydd* i mi *a wnelwyf* â chwi, meibion
Serfiah, fel y byddych i mi yn
wrthwynebwyr heddyw? a roddir i
farwolaeth heddyw neb yn Israel?
canys oni wn i, mai heddyw yr *yd-
wyf* fi yn frenin ar Israel?
23 A'r brenin a ddywedodd wrth
Simei, Ni byddi di farw: a'r brenin
a dyngodd wrtho ef.
24 ¶ Mephiboseth mab Saul hefyd
a ddaeth i waered i gyfarfod â'r
brenin; ac ni olchasai efe ei draed,
ac ni thorasai ei farf, ac ni olchasai
ei ddillad, er y dydd yr aethai y
brenin hyd y dydd y daeth efe *dra-
chefn* mewn heddwch.
25 A phan ddaeth efe i Jerusalem
i gyfarfod â'r brenin, yna y dywed-
odd y brenin wrtho ef, Paham nad
aethost ti gyda mi, Mephiboseth?
26 Ac efe a ddywedodd, Fy ar-
glwydd frenin, fy ngwas a'm twyll-

---

Adn. 18. *Ac ysgraff a aeth drosodd*] Rhyw fath ar gwch llydan, yn cael ei lusgo ond odid yn ol ac yn mlaen gan wŷr Simei a Siba, gerfydd rhaffau; *i ddwyn trwodd dylwyth y brenin*—sef ei wragedd a'i blant, y rhai ni allent rydio yr afon, ac i gario unrhyw beth arall a fyddai da yn ei olwg ef. *A Simei mab Gera a syrthiodd gerbron y brenin*—i ofyn yn ostyngedig am faddeuant ganddo am ei regi a'i felldithio mor dost; *pan ddaeth efe dros yr Iorddonen*—hyny yw, pan aeth Simei drosodd i'r ochr ddwyreiniol at Dafydd.

Adn. 19. *Na ddannoded fy arglwydd i mi anwiredd*] Sef yr anwiredd neu y pechod o'i felldithio ef yn ddiachos, pen. xvi. 5, &c.; *ac na chofia yr hyn a wnaeth dy was yn anwir*—fel ag i ddial arnaf am dano; eithr maddeu ac annghofia y cwbl.

Adn. 20. *Canys dy was sydd yn cydnabod bechu o honof fi*] Yr wyf yn cyfaddef fy mhechod o'th flaen, ac yn ngwydd dy weision di a'm gweision inau; *ac wele, daethym heddyw yn gyntaf o holl dŷ Joseph*—felly y gelwid weithiau holl Israel, i'w gwahaniaethu oddiwrth Juda, Salm lxxx. 1. Er mai Benjaminiad o dŷ Saul oedd Simei, eto efe a wyddai nad oedd dim yn y cymeriad hwnw i'w gymhell ef i ffafr Dafydd; ac am hyny y mae yn ymgyfenwi ar enw Joseph, anwyl frawd Benjamin.

Adn. 21. *Abisai mab Serfiah*] Yr un gŵr ag a fynasai dori pen Simei pan yr oedd yn melldithio Dafydd, pen. xvi. 9. *Ai o herwydd hyn ni roddir Simei i farwolaeth?*—a ydyw ei gyfaddefiad ddarfod iddo felldithio eneiniog yr Arglwydd, yn ddigon o iawn am ei drosedd fel na roddid ef i farwolaeth?

Adn. 22. *Beth sydd i mi a wnelwyf â chwi, meibion Serfiah?*] Ymddengys oddiyma fod Joab yn cyduno â'i frawd yn hyn; *fel y byddych i mi yn wrthwynebwyr*—trwy geisio ganddo ef ladd Simei, yr hyn ni fuasai yn ddim anrhydedd na lles iddo ef yn nghyfrif y bobl. *A roddir i farwolaeth heddyw neb yn Israel*—ar ddiwrnod o lawenydd cyffredinol? a fydd i ryw deulu yn Israel gael achos i alaru, trwy roddi neb i farwolaeth heddyw am ddim a basiodd yn ystod y gwrthryfel? Yr oedd yn ddoethineb i Dafydd beidio gwrando ar gynghor y brodyr hyn, pe amgen buasai holl Israel yn ymbellhau oddiwrtho, gan ofni y cospai efe hwythau yr un modd pan gai amser cyfaddas. *Oni wn i mai heddyw yr ydwyf fi yn frenin ar Israel*—ac felly fod genyf fi awdurdod i gospi neu faddeu, fel y gwelwyf yn dda? Efe a wyddai ei fod yn frenin nid ar Juda yn unig, ond ar holl Israel hefyd; ac am hyny efe a benderfynai yn ddoeth y cai ei serch tadol ef gyraedd atynt oll. Pan yr oedd Duw wedi bod mor drugarog ato ef ei hun, fel ag i faddeu ei bechod, a'i ddwyn yn ol i'r frenhiniaeth, ni fynai efe ymddangos yn ddialgar ar Simei.

Adn. 23. *Ni byddi di farw*] Y pryd hyny, nac yn ystod bywyd Dafydd: gwel ar 1 Bren. ii. 8, 9, 36—46. *A'r brenin a dyngodd wrtho ef*—na roddid ef i farwolaeth ganddo ef.

Adn. 24. *Mephiboseth mab Saul*] Hyny yw, ei ŵyr ef, mab Jonathan, pen. iv. 4; *a ddaeth i waered i gyfarfod â'r brenin*—nid at yr Iorddonen, fel y gwnaethai Simei a Siba; eithr o'i dŷ ei hun yn Jerusalem, i dŷ y brenin yno, ar ol iddo ef gyraedd adref; *ac ni olchasai efe ei draed, &c.*—fel yr arferid gwneyd er glanweithdra ac iechyd, yr hyn ydoedd arwydd eglur o'i ddwfn alar ef oblegid adfyd a fföedigaeth y brenin; *er y dydd yr aethai y brenin*—ar ffo o Jerusalem, pen. xv. 16—18; *hyd y dydd y daeth efe drachefn*—adref mewn heddwch, yr hyn oedd rai wythnosau o leiaf. Yr oedd ei farf hir, a'i draed a'i ddillad budron, yn brawf amlwg o anwiredd tystiolaeth Siba am dano ef, pen. xvi. 3.

Adn. 25. *Paham nad aethost ti gyda mi, Mephiboseth?*] Efe a ofynai hyn, am nad allai gysoni tystiolaeth Siba â'r arwyddion galar a welai yn ymddanghosiad Mephiboseth.

odd i: canys dywedodd dy was, Cyfrwyaf i mi asyn, fel y marchogwyf arno, ac yr elwyf at y brenin; o herwydd cloff *yw* dy was.

27 Ac efe a enllibiodd dy was wrth fy arglwydd frenin; ond fy arglwydd frenin *sydd* fel angel Duw: am hyny gwna *yr hyn fyddo* da yn dy olwg.

28 Canys nid oedd holl dŷ fy nhad i ond dynion meirw gerbron fy arglwydd y brenin; eto tydi a osodaist dy was yn mhlith y rhai oedd yn bwyta ar dy fwrdd dy hun: pa gyfiawnder gan hyny sydd i mi bellach i waeddi mwy ar y brenin?

29 A'r brenin a ddywedodd wrtho, I ba beth yr adroddi dy faterion yn mhellach? dywedais, ti a Siba rhenwch y tir.

30 A Mephiboseth a ddywedodd wrth y brenin, Ie, cymered efe y cwbl gan ddyfod fy arglwydd frenin i'w dŷ mewn heddwch.

31 ¶ A Barsilai y Gileadiad a ddaeth i waered o Rogelim, ac a aeth dros yr Iorddonen gyda'r brenin, i'w hebrwng ef dros yr Iorddonen.

32 A Barsilai *oedd* hen iawn, yn fab pedwar ugain mlwydd: efe oedd yn darparu lluniaeth i'r brenin tra yr ydoedd efe yn Mahanaim; canys gŵr mawr iawn *oedd* efe.

33 A'r brenin a ddywedodd wrth Barsilai, Tyred drosodd gyda mi, a mi a'th borthaf di gyda mi yn Jerusalem.

34 A Barsilai a ddywedodd wrth y brenin, Pa faint *yw* dyddiau blyn-

Adn. 26. *Fy ngwas a'm twyllodd i*] Yr oedd Mephiboseth wedi gorchymyn i Siba gyfrwyo asyn i'w gario ef at Dafydd, gan ei fod yn rhy gloff i allu cerdded; ond yn lle hyny, efe a'i cyfrwyodd iddo ei hun, ac a aeth ymaith gydag anrhegion i hudo y brenin, fel y gwelsom pen. xvi. 1—4.

Adn. 27. *Ac efe a enllibiodd dy was*] Trwy ddywedyd ddarfod i mi aros yn Jerusalem mewn dysgwyliad am y frenhiniaeth. *Ond fy arglwydd frenin sydd fel angel Duw*—o ran deall a doethineb i allu gwahaniaethu rhwng enllib a ffaith, rhwng celwydd a gwirionedd: gwel ar pen. xiv. 17, 20. *Am hyny*—gan dy fod yn gallu treiddio trwy y dybènion a lywodraethent fy ngwas a minau; *gwna yr hyn fyddo da yn dy olwg*—yr wyf yn ymostwng yn dawel i ddoethineb ac uniondeb dy farn.

Adn. 28. *Canys nid oedd holl dŷ fy nhad i ond dynion meirw*] Neu yn haeddu marwolaeth, trwy i Isboseth mab Saul geisio cymeryd y frenhinaeth oddiar Dafydd, pen. ii. 8, &c. Yr oedd nid yn unig fy etifeddiaeth, ond fy mywyd hefyd wedi ei fforffetio, ped ymddygesit ti fel y gwna brenhinoedd ereill at dylwyth eu cydymgeiswyr gelyniaethus. *Eto tydi a osodaist dy was yn mhlith y rhai oedd yn bwyta ar dy fwrdd*—yn yr anrhydedd mwyaf: gwel ar pen. ix. 7—13. *Pa gyfiawnder gan hyny sydd i mi bellach*—neu pa *hawl* sydd genyf yn ngwyneb hyn i ofyn i'r brenin am amddiffyn fy anrhydedd, neu ddychwelyd fy etifeddiaeth?

Adn. 29. *I ba beth yr adroddi dy faterion yn mhellach*] Am y niweidiau a wnaethai ei dylwyth ef i'r brenin, a'r cymwynasau a gawsai yntau gan y brenin, neu am roddi ei eiddo ef i Siba? *Ti a Siba rhenwch y tir*—caiff y tir ei ranu rhyngot ti ac yntau, yn ol fy ngorchymyn cyntaf, pen. ix. 10: rhaid iddo ef a'i feibion ei lafurio, a chael hanner y cynyrch am eu gwasanaeth, fel o'r blaen, a rhoddi yr hanner arall i ti. Y mae yn hawdd casglu oddiwrth yr atebiad hwn o eiddo Dafydd, ei fod ef yn canfod diniweidrwydd Mephiboseth, a'i hygoeledd ei hun yn credu Siba, ac am hyny ni fedrai oddef clywed son am dano. Hefyd, nid oedd ganddo ef amser yn awr i chwilio yn mhellach i'r achos; a'r cwbl a allai ei wneuthur yn bresenol oedd ei adfer ef i'r etifeddiaeth, a'i adael ef a Siba fel yr oeddynt ar y cyntaf, nes y cai efe hamdden i chwilio i mewn yn mhellach. Pa mor feius bynag oedd ymddygiad Siba at Mephiboseth, yr oedd ef wedi bod yn ffyddlon a defnyddiol iawn i Dafydd; a'i gollfarnu ef yn ei absenoldeb, fel y gwnaed â Mephiboseth, a fuasai yn weithred fyrbwyll a ffol, ac yn debyg o arwain i ganlyniadau chwerwon yn nghyflwr ansefydlog presenol y deyrnas.

Adn. 30. *Ie, cymered efe y cwbl*] Yr oedd Mephiboseth yn foddlon i Siba gael yr holl etifeddiaeth, fel yr oedd Dafydd yn ei fyrbwylldra wedi ei rhoddi iddo, gan fod y brenin wedi dyfod i Jerusalem yn fuddugoliaethus a llwyddiannus. Nid oedd yn bosibl i Mephiboseth roddi prawf llawnach na hyn o'i ffyddlondeb i'w frenin.

Adn. 31. *Barsilai y Gileadiad*] Gwel ar pen. xvii. 27; *a ddaeth i waered o Rogelim*—i hebrwng Dafydd dros yr Iorddonen, ac yna i ddychwelyd i'w fangre ei hun.

Adn. 32. *A Barsilai oedd hen iawn*] Wedi cyraedd y blynyddoedd a addewsid hyd yn nod i *gryfder*, Salm xc. 10. *Gŵr mawr iawn oedd efe*—nid yn unig mewn cyfoeth a haelioni, trwy yr hyn y darparodd efe luniaeth i'r brenin a'i deulu yn ystod eu ffoedigaeth, pen. xvii. 28, 29; ond hefyd mewn synwyr a duwioldeb, fel y gallwn feddwl.

Adn. 33. *Tyred drosodd gyda mi*] Nid yn unig dros yr Iorddonen, ond drosodd i Jerusalem, i dreulio gweddill ei oes yn mhalas y brenin. Efe a ewyllysiai ad-dalu iddo garedigrwydd mor fawr.

Adn. 34. *Pa faint yw dyddiau blynyddoedd fy einioes i, &c.*] Yr oedd efe eisioes yn 80 mlwydd oed, a gwyddai oddiwrth ei henaint a'i aml wendidau nas gallai fyw lawer

yddoedd fy einioes i, fel yr elwn i
fyny gyda'r brenin i Jerusalem.
35 Mab pedwar ugain mlwydd
*ydwyf* fi heddyw: a wn i ragoriaeth
rhwng da a drwg? a ddichon dy
was di archwaethu yr hyn a fwytaf,
neu yr hyn a yfaf? a glywaf fi bell-
ach lais cerddorion a cherddoresau?
paham gan hyny y bydd dy was
mwyach yn faich ar fy arglwydd
frenin?
36 Dy was a â ychydig tuhwnt i'r
Iorddonen gyda'r brenin: a phaham
y talai y brenin i mi gyfryw daled-
igaeth.
37 Gad, atolwg, i'th was ddych-
welyd yn fy ol, fel y byddwyf marw
yn fy ninas fy hun, *ac fel y'm cladd-
er* yn meddrod fy nhad a'm mam:
ac wele, Cimham dy was, efe a â dros-
odd gyda'm harglwydd frenin, a gwna
iddo yr hyn *fyddo* da yn dy olwg.
38 A dywedodd y brenin, Cim-
ham a â gyda mi, a mi a wnaf iddo
ef yr hyn *fyddo* da yn dy olwg di:
a pheth bynag a erfyniech di arnaf
fi, mi a'*i* gwnaf erot.
39 A'r holl bobl a aethant dros yr
Iorddonen. Y brenin hefyd a aeth
drosodd: a'r brenin a gusanodd
Barsilai, ac a'i bendithiodd ef; ac
efe a ddychwelodd i'w fangre ei
hun.
40 Yna y brenin a aeth i Gilgal,
a Cimham a aeth gydag ef. A holl
bobl Juda a hebryngasant y brenin,
a hanner pobl Israel hefyd.
41 ¶ Ac wele, holl wŷr Israel a
ddaethant at y brenin, ac a ddywed-
asant wrth y brenin, Paham y llad-
rataodd ein brodyr ni, gwŷr Juda,
dydi, ac y dygasant y brenin a'i dy-
lwyth dros yr Iorddonen, a holl wŷr
Dafydd gydag ef?
42 Ac atebodd holl wŷr Juda i
wŷr Israel, Oblegid câr agos *yw* y

---

yn hwy; ac am hyny nid oedd wiw iddo ef feddwl am fyned i Jerusalem, ac yntau mor agos i derfyn ei oes.

Adn. 35. *A wn i ragoriaeth rhwng da a drwg?*] Sef rhwng bwydydd a diodydd da a drwg. Nid oedd gan ddanteithion a phleserau llys ddim swyn iddo ef yn yr oedran hwnw: yr oedd ei olwg, ei glyw, a'i archwaeth, wedi pylu gan henaint, fel nas gallai y bwydydd a'r gwinoedd mwyaf danteithiol, na'r gerddoriaeth bereiddiaf, fod o ddim hyfrydwch iddo ef. *Paham gan hyny y bydd dy was di mwyach yn faich?*—trwy y byddai raid cadw gweision a morwynion i weini iddo fel hen ŵr gwael a methiedig.

Adn. 36. *Dy was a â ychydig tuhwnt i'r Iorddonen*] Cyn troi yn ol, i ddangos fy ymlyniad wrthyt a'm serch atat: *a phaham y talai y brenin i mi gyfryw daledigaeth*—ag a fyddai fy nghynal yn y llys, gan na wnaethym ddim mwy na'm dyledswydd i fy mhenadur?

Adn. 37. *Gad, atolwg, i'th wâs ddychwelyd yn fy ol*] Ar ol i mi fyned dros yr Iorddonen gyda thi; *fel y byddwyf marw yn fy ninas fy hun*—yn Rogelim, oddeutu 7 milldir o du y gogledd-ddwyrain i Mahanaim; *ac fel y'm cladder yn meddrod fy nhad a mam*—fel hyn, er ei fod yn hen ŵr, nid oedd ei serch mabaidd wedi heneiddio. *Wele, Cimham dy was*—neu, fel y mae yn y Syriaeg a'r Arabaeg, 'Cimham *fy mab*;' ac felly y gellir casglu oddiwrth 1 Bren. ii. 7. Rhag iddo ymddangos yn rhy ddifoes wrth wrthod cynygiad tirion y brenin, efe a ddymuna iddo gymeryd ei fab gydag ef, a gwneyd iddo fel y gwelai yn dda.

Adn. 38. *Cimham a â gyda mi*] Cydsyniodd Dafydd i gymeryd y mab i Jerusalem yn lle y tad, gan addaw gwneyd iddo beth bynag a geisiai ei dad. Yn mhen cannoedd o flynyddau wedi hyn cawn le a elwid '*Trigfa Cimham*, yn agos i Bethlehem,' Jer. xli. 17; a chan mai dinas Dafydd oedd Bethlehem, meddylir iddo roddi rhan o'i drefdadaeth ei hun yno i Cimham, er mwyn Barsilai.

Adn. 39. *A'r brenin a gusanodd Barsilai*] Ar ol dyfod dros yr Iorddonen; *ac a'i bendithiodd ef*—yr oedd y *cusan* yn arwydd o gyfeillgarwch mynwesol wrth ymadael, a'r *fendith* oedd weddi ar i Dduw ei lwyddo a'i fendithio.

Adn. 40. *A holl bobl Juda*] Yr oedd henuriaid a blaenoriaid llwyth Juda wedi ymgynull yn gyffredinol yn Gilgal, er mwyn hebrwng y brenin oddiyno i Jerusalem; *a hanner pobl Israel*—neu ran o honynt yn unig, sef o'r llwythau ereill: gwel adn. 16, 17. Nid oedd pobl Israel wedi eu gwahodd fel pobl Juda, adn. 11—13; ac naill ai ofnent fyned heb eu gwahodd, oblegid eu gwrthryfel diweddar; neu ynte ni chawsant wybodaeth o amser ei ddychweliad ef adref.

Adn. 41. *Holl wyr Israel a ddaethant at y brenin*] Sef y rhan arall o honynt, y rhai nid aethent allan i Gilgal: ymddengys iddynt glywed erbyn hyn fod y brenin ar y ffordd adref, ac iddynt fyned allan i'w gyfarfod ef pan yr oedd yn ymyl Jerusalem. *Paham y lladrataodd ein brodyr ni, gwŷr Juda, dydi?*—paham yr aethant hwy allan fel hyn i'th gyfarfod di heb roddi hysbysrwydd i ni, y rhai oeddym mor awyddus a hwythau i'th gyrchu di a'th dylwyth adref?

Adn. 42. *Oblegid câr agos yw y brenin i ni*] Yr oedd efe o'i llwyth hwy, ac yn perthyn yn agos i lawer o honynt, adn. 12, 13; ac yr oedd ei lys brenhinol ef yn Jerusalem, o fewn eu terfynau hwy; ac am hyny yr oedd yn rhesymol i'r brenin ddysgwyl mwy oddiwrthynt hwy nag ereill. *A fwytasom ni ddim ar draul y brenin*—wrth fyned allan i'w gyfarfod, neu wrth ddyfod gydag ef yn ol?

brenin i ni: paham gan hyny y digiasoch chwi am y peth hyn? a fwytasom ni *ddim* ar *draul* y brenin? neu a anrhegodd efe ni âg anrheg?
43 A gwŷr Israel a atebasant wŷr Juda, ac a ddywedasant, Deg rhan *sydd* i ni yn y brenin; hefyd *y mae* i ni yn Dafydd fwy nag i chwi: paham gan hyny y diystyraist fi? onid myfi a ddywedais yn gyntaf am gyrchu adref fy mrenin? Ac ymadrodd gwŷr Juda oedd galetach nag ymadrodd gwŷr Israel.

## PENNOD XX.

AC yno y dygwyddodd bod gŵr i'r fall, a'i enw Seba, mab Bichri, gŵr o Jemini; ac efe a udganodd mewn udgorn, ac a ddywedodd, Nid oes i ni ddim rhan yn Dafydd, nac etifeddiaeth i ni yn mab Jesse: pawb i'w babell, O Israel.
2 Felly holl wŷr Israel a aethant i fyny oddiar ol Dafydd, ar ol Seba mab Bichri: ond gwŷr Juda a lynasant wrth eu brenin, o'r Iorddonen hyd Jerusalem.
3 ¶ A daeth Dafydd i'w dŷ ei hun i Jerusalem; a'r brenin a gymerth y deg gordderchwraig a adawsai efe i gadw y tŷ, ac a'u rhoddes hwynt *mewn* cadwraeth, ac a'u porthodd hwynt; ond nid aeth efe i mewn atynt hwy: eithr buant yn rhwym hyd ddydd eu marwolaeth, yn byw mewn gweddwdod.
4 ¶ Yna y dywedodd y brenin wrth Amasa, Cynull i mi wŷr Juda

---

*Neu a anrhegodd efe ni âg anrheg?*—a oedd genym ni olwg ar hunan-elw? Yn mhell oddiwrth hyny, yr oeddynt wedi ymgynal yn hollol ar eu traul eu hunain, heb ddim ganddynt mewn golwg ond dangos parch i'r brenin, ac amcan i lesâu y wlad.

Adn. 43. *Deg rhan sydd i ni yn y brenin*] Neu yn hytrach 'yn y *frenhiniaeth*,' fel y mae Patrick ac ereill yn ei ddarllen. Dywedent *deg*, ac nid *unarddeg*, am mai deg llwyth oeddynt hwy, trwy fod Simeon yn cael ei gyfrif gyda llwyth Juda, lle yr oedd ei etifeddiaeth ef, Jos. xix. 1; neu ynte am fod Ephraim a Manasse, meibion Joseph, yn cael eu cyfrif megys un llwyth, fel y gwneir weithiau. *Hefyd y mae i ni yn Dafydd fwy nag i chwi*—'fwy o *hawl* nag sydd genych chwi,' fel y mae yn y Saesonaeg. Am un hawl ag oedd gan Juda yn eu brenin, yr oedd ganddynt hwy ddeg; ac am hyny tybient y dylasai Juda ymgynghori â hwy, a rhoddi y flaenoriaeth iddynt yn yr achos. *Paham gan hyny y diystyraist fi*—trwy gyrchu y brenin heb wybod i mi? Hyn a ddywedai yr un ag ydoedd fel genau dros y deg llwyth. *Onid myfi a ddywedais yn gyntaf am gyrchu adref fy mrenin?*—gwel ar adn. 10, 11. *Ac ymadrodd gwŷr Juda*—sef yr hyn a ddywedasant hwy ond odid mewn atebiad i hyn, er nad adroddir ef yma; *oedd galetach nag ymadrodd gwŷr Israel*—yn fwy sarhaus a chwerw; neu, fel y tybia rhai, yn fwy pwysig a chryf, trwy fod ganddynt fwy o reswm o'u tu, adn. 42. Ond trwy na ddywedodd Dafydd ddim i heddychu y ddwy blaid, tybiodd gwŷr Israel ei fod ef yn ochri gyda gwŷr Juda; ac am hyny torodd allan wrthryfel newydd, fel y gwelwn yn y bennod nesaf.

PEN. XX. Adn. 1. *Ac yno*] Lle y bu y ddadl uchod rhwng gwŷr Israel a gwŷr Juda; *y dygwyddodd bod gŵr i'r fall*—Saes. 'gŵr i Belial;' dyn diwerth a drygionus, yr hwn a geisiai ymysgwyd oddiwrth iau yr awdurdod gwladol: gwel ar Deut. xiii. 13, 1 Sam. ii. 12, a xxx. 22. *Seba, mab Bichri, gŵr o Jemini*—neu o lwyth Benjamin; ac felly efe a ymofidiai am ddarfod trosglwyddo y frenhiniaeth oddiwrth Saul a llwyth Benjamin, i Dafydd a llwyth Juda. *Efe a udganodd mewn udgorn*—i dynu Israel oddiwrth Dafydd, ac i gasglu plaid iddo ei hun, a hyny cyn i Dafydd gyraedd i Jerusalem, adn. 2. *Nid oes i ni ddim rhan yn Dafydd*—trwy fod llwyth Juda yn hòni y brenin hwn iddynt eu hunain; *nac etifeddiaeth i ni*—deg llwyth Israel, *yn mab Jesse*—enw o ddirmyg ar Dafydd, fel pe na buasai ef ddim ond dyn cyffredin, ac annheilwng o fod yn frenin arnynt hwy. *Pawb i'w babell, O Israel*—i ystyried yno beth a wnaent, a phwy a ddewisent yn frenin iddynt eu hunain. Neu, na foed i ni hebrwng Dafydd ddim yn mhellach tua Jerusalem, ond aed pob un adref yn awr, fel y gallom ddyfod yn nghyd drachefn i ddewis brenin newydd.

Adn. 2. *Felly holl wŷr Israel a aethant i fyny oddiar ol Dafydd*] Yn lle myned adref, darfu i'r rhan fwyaf o'r Israeliaid ag oeddynt wyddfodol ymlynu wrth Seba; *ond gwŷr Juda a lynasant wrth eu brenin*—ni chiliodd neb o honynt hwy oddiwrth Dafydd, ond arweiniasant ef yn ffyddlon adref i Jerusalem.

Adn. 3. *A daeth Dafydd i'w dŷ ei hun i Jerusalem*] Yn llwyddiannus, ar ol bod ar ffo ond odid lawer o wythnosau; *a'r brenin a gymerth y deg gordderchwraig a adawsai efe i gadw y tŷ*—gwel ar pen. xv. 16; *ac a'u rhoddes hwynt mewn cadwraeth*—mewn rhyw adeilad allan o'r llys, lle y treuliasant weddill eu hoes mewn cyflwr o weddwdod, ac eto mewn bywioliaeth ragorol. Nis gallai y brenin yn hawdd eu hysgaru hwynt, ac nis gallent hwythau heb hyny briodi gwŷr ereill; nis gallai efe chwaith fyned i mewn atynt hwy, am eu bod wedi eu halogi gan ei fab; ac nis gallai eu cospi, am nad oedd bai arnynt hwy, trwy mai eu treisio a wnaed; a buasai eu gollwng yn rhyddion, yn adnewyddu y goffadwriaeth am aflendid Absalom.

Adn. 4. *Yna y dywedodd y brenin wrth Amasa*] Yr hwn yr addawsai efe ei wneyd yn dywysog y llu, pen. xix. 13. *Cynull i mi wŷr Juda erbyn y trydydd dydd*—ond odid trwy genadau yn udganu mewn udgyrn trwy

*erbyn* y trydydd dydd; a bydd dithau yma.
5 Felly Amasa a aeth i gynull Juda: ond efe a drigodd yn hwy na'r amser terfynedig a osodasai efe iddo.
6 A dywedodd Dafydd wrth Abisai, Seba mab Bichri a'n dryga ni yn waeth nag Absalom: cymer di weision dy arglwydd, ac erlid ar ei ol ef, rhag iddo gael y dinasoedd caerog, ac ymachub *o'n golwg* ni.
7 A gwŷr Joab, a'r Cerethiaid, y Pelethiaid *hefyd,* a'r holl gedyrn, a aethant ar ei ol ef; ac a aethant allan o Jerusalem, i erlid ar ol Seba mab Bichri.
8 *Pan oeddynt* hwy wrth y maen mawr *sydd* yn Gibeon, Amasa a aeth o'u blaen hwynt. A Joab oedd wedi gwregysu ei gochl oedd am dano, ac arni *yr oedd* gwregys â chleddyf wedi ei rwymo ar ei lwynau ef yn ei wain; a phan gerddai efe *y cleddyf* a syrthiai.
9 A dywedodd Joab wrth Amasa, *A wyt* ti yn llawen, fy mrawd? A llaw ddeau Joab a ymaflodd yn marf Amasa i'w gusanu ef.
10 Ond ni ddaliodd Amasa ar y cleddyf *oedd* yn llaw Joab: felly efe a'i tarawodd ef âg ef dan y bummed *ais,* ac a ollyngodd ei berfedd ef i'r llawr, ac nid ail darawodd ef; ac efe a fu farw. Felly Joab ac Abisai ei frawd a ganlynodd ar ol Seba mab Bichri.
11 Ac un o weision Joab oedd yn sefyll yn ei ymyl ef, ac a ddywedodd, Pwy bynag a ewyllysio *yn dda* i Joab, a phwy bynag *sydd* gyda Dafydd, *eled* ar ol Joab.
12 Ac Amasa oedd yn ymdrybaeddu mewn gwaed yn nghanol y

---

yr holl lwyth; *a bydd dithau yma*—i fod yn ben arnynt.

Adn. 5. *Ond efe a drigodd yn hwy na'r amser terfynedig*] Neu y tridiau a nodesid iddo, naill ai o esgeulusdra a diofalwch; neu o herwydd fod tridiau yn rhy fach o amser i gynull yr holl bobl; neu am nad oedd gwŷr Juda yn foddlon i wasanaethu dano ef, yr hwn oedd wedi bod mor ddiweddar yn blaenori yn ngwrthryfel Absalom.

Adn. 6. *A dywedodd Dafydd wrth Abisai*] Nid wrth *Joab,* rhag iddo ef trwy hyny adennill ei swydd, a digaloni Amasa, a pheri i'r bobl amau ffyddlondeb Dafydd yn ei addewid i Amasa: ond y mae y Syriaeg a'r Arabaeg yn darllen *Joab,* ac nid Abisai. *Seba mab Bichri a'n dryga ni yn waeth nag Absalom*—os caiff efe amser i gasglu byddin, trwy fod Israel wedi ymchwerwi trwy gael eu cythruddo gan wŷr Juda. *Cymer di weision dy arglwydd*—sef gwarchawdlu y brenin, a'r milwyr rheolaidd a gedwid bob amser mewn parodrwydd; *ac erlid ar ei ol ef*—cyn iddo gael amser i gymeryd y dinasoedd caerog, ac ymnoddi ac ymgyfnerthu ynddynt.

Adn. 7. *A gwŷr Joab*] Yn debygol dan arweiniad Abisai, er fod Joab hefyd yno, adn. 8; *a'r Cerethiaid, &c.*—gwel ar pen. viii. 18, a xv. 18.

Adn. 8. *Pan oeddynt hwy wrth y maen mawr sydd yn Gibeon*] Sef wrth golofn a godesid gan rywun yn goffadwriaeth o ryw ddygwyddiad. Yr oedd Gibeon yn sefyll oddeutu 9 milldir o du y gogledd-orllewin i Jerusalem. *Amasa a aeth o'u blaen hwynt*—yn dywysog ar y llu, trwy iddo gyfarfod â'r gwarchawdlu a'r milwyr rheolaidd yn Gibeon. *A Joab oedd wedi gwregysu ei gochl*—canys nid oedd ganddo ef yn awr un arfogaeth am dano, namyn gwisg gyffredin milwr, wedi ei rhwymo am dano â gwregys, wrth yr hwn yr oedd cleddyf yn crogi ar ei glun mewn gwain. *A phan gerddai efe*—i gyfarch gwell i Amasa fel tywysog y llu; *y cleddyf a syrthiai*—trwy ei fod yn fwriadol wedi ei osod yn y fath fodd yn y wain fel ag i syrthio o honi ar symudiad penodol o'i gorff; ac felly, trwy i'w gleddyf syrthio o hono ei hun, ac nid cael ei dynu allan gan Joab, nid ofnai Amasa ddim perygl wrth iddo ei weled ef yn ei godi oddiar y ddaear â'i law aswy. Meddylir i Joab ei hun syrthio yn fwriadol wrth fyned at Amasa, ac i'r cleddyf trwy hyny lithro allan o'r wain.

Adn. 9. *A wyt ti yn llawen, fy mrawd?*] Ymddanghosai hyn fel cyfarchiad cyfeillgar, yn yr hwn y gofynai am, ac y dymunai ei iechyd a'i lwyddiant ef. *A llaw ddeau Joab a ymaflodd yn marf Amasa i'w gusanu ef*—tra yr oedd y cleddyf yn ei law aswy i'w drywanu. Y mae yn deilwng o sylw mai y *farf* yn gyffredin, ac nid y *dyn,* a gusenir hyd heddyw yn y gwledydd dwyreiniol: gwel *D'Arvieux.*

Adn. 10. *Ond ni ddaliodd Amasa ar y cleddyf*] Fel ag i'w amddiffyn ei hun rhagddo; *ac felly efe a'i tarawodd ef âg ef dan y bummed ais*—sef yn ei ymysgaroedd dan ei asenau, nes y syrthiodd ei berfedd ar y ddaear; *ac nid ail darawodd ef*—am nad oedd achos, trwy fod y cyntaf yn darawiad angeuol. *Felly Joab ac Abisai ei frawd a ganlynodd ar ol Seba*—fel tywysogion y llu, gan adael celan Amasa yno dan ofal un o'r milwyr. Fel hyn dyrchafiad Amasa a fu yn achlysur o'i farwolaeth ef.

Adn. 11. *Ac un o weision Joab oedd yn sefyll yn ei ymyl ef*] Sef yn ymyl corff Amasa, ar ol i Joab ac Abisai fyned ymaith. *Pwy bynag a ewyllysio yn dda i Joab*—fel tywysog y fyddin yn lle Amasa; *a phwy bynag sydd gyda Dafydd*—yn erbyn Seba a'i gyd-wrthryfelwyr; *eled ar ol Joab*—heb ymrwystro o achos marwolaeth Amasa. Y mae yn debyg ei fod yn dywedyd fel hyn yn ol gorchymyn Joab, yr hwn yn gyfrwys a gysyllt-

brif-ffordd. A phan welodd y gŵr
yr holl bobl yn sefyll, efe a symud-
odd Amasa oddiar y brif-ffordd i'r
maes, ac a daflodd gadach arno, pan
welodd efe bawb a'r oedd yn dyfod
ato ef yn sefyll.
13 Pan symudwyd ef oddiar y
brif-ffordd, yr holl wŷr a aethant ar
ol Joab, i erlid ar ol Seba mab
Bichri.
14 ¶ Ac efe a dramwyodd trwy
holl lwythau Israel i Abel, ac i Beth-
maachah, ac i holl *leoedd* Berim: a
hwy a ymgasglasant, ac a aethant
ar ei ol ef.
15 Felly y daethant hwy, ac a
warchaeasant arno ef yn Abel Beth-
maachah, ac a fwriasant glawdd yn
erbyn y ddinas, *yr hon* a safodd ar
y rhagfur: a'r holl bobl y rhai *oedd*
gyda Joab oedd yn curo y mur, i'w
fwrw i lawr.
16 ¶ Yna gwraig ddoeth o'r ddi-
nas a lefodd, Clywch, clywch: dy-
wedwch, atolwg, wrth Joab, Nesâ
hyd yma, fel yr ymddyddanwyf â thi.
17 Pan nesâodd efe ati hi, y wraig
a ddywedodd, Ai ti *yw* Joab? Dy-
wedodd yntau, *Ie*, myfi. A hi a ddy-
wedodd wrtho ef, Gwrando eiriau
dy lawforwyn. Dywedodd yntau,
Yr ydwyf yn gwrando.
18 Yna hi a ddywedodd, Hwy a
lefarent gynt, gan ddywedyd, Diau
yr ymofynant âg Abel: ac felly y
dybenent.
19 Myfi wyf un *o* heddychol ffydd-
loniaid Israel: yr wyt ti yn ceisio dy-
fetha dinas a mam yn Israel: paham
y dyfethi di etifeddiaeth yr Ar-
glwydd?
20 A Joab a atebodd ac a ddywed-
odd, Na ato Duw, na ato Duw, i mi
na dyfetha na dinystrio.

---

ai enw y brenin gyda'i enw ei hun, i'r dyben i ennill y bobl yn fwy o'i blaid.

Adn. 12. *Ac Amasa oedd yn ymdrybaeddu mewn gwaed*] Sef yn ei waed ei hun, ac heb fod eto yn hollol farw ond odid. *A phan welodd y gŵr yr holl bobl yn sefyll*—i edrych ar yr olygfa erchyll, yn lle myned rhagddynt ar ol Joab; *efe a symudodd Amasa oddiar y brif-ffordd i'r maes*—yn lle i'r olwg ar ei gelan ef gynhyrfu cydymdeimlad yn y bobl, ac attal gwasanaeth y brenin; *ac a daflodd gadach arno*—i'w guddio o olwg y rhai a aent heibio wedi hyn: ac y mae yn debyg iddo guddio ei waed ef ar y ffordd, trwy roddi llwch arno.

Adn. 13. *Yr holl wŷr a aethant ar ol Joab*] Heb aros dim ar y ffordd, gan na wyddent hwy am y llofruddiaeth.

Adn. 14. *Ac efe*] Sef Siba, *a dramwyodd trwy holl lwythau Israel*—i godi plaid yn erbyn Dafydd; *i Abel, ac i Beth-maachah*—neu 'i Abel-Bethmaachah,' fel ei gelwir yn yr adnod nesaf, i'w gwahaniaethu oddiwrth leoedd ereill a elwid *Abel*, ac i arwyddo mai hon oedd yr Abel hòno yn nherfyn gogleddol Caanan, tua'r rhan hòno o Syria a elwid Maachah, pen. x. 8. *Ac i holl leoedd Berim*—Saes. 'a'r holl *Beriaid*,' sef trigolion Beeroth yn llwyth Benjamin, fel y tybia rhai. Ond gan nad yw hyn yn synwyr da, Houbigant a'i cyfieitha, 'I Abel-Bethmaachah, lle y *casglwyd* yr holl Beriaid ato ef.' Y LXX a'i cyfieithant, 'I Bethmaachah; a'r holl rai *anfoddog* a aethant ar ei ol ef.'

Adn. 15. *Felly y daethant hwy*] Sef Joab a'i fyddin, i warchae ar Seba a'i fyddin yn Abel-Bethmaachah; *ac a fwriasant glawdd yn erbyn y ddinas*—ymddengys mai yr ystyr yw, iddynt godi *tŵr* cyfuwch â rhagfur y ddinas, oddiar yr hwn y gallai y saethyddion a'r arwestrwyr *(slingers)* gadw y trigolion ymaith, tra yr oedd y lleill o'r gwarchaewyr yn tynu y mur i lawr.

Adn. 16. *Yna gwraig ddoeth o'r ddinas*] Yr hon ond odid oedd ei llywodraethyddes: neu yr oedd hi o ran synwyr yn debyg i'r wraig o Tecoah, (pen. xiv. 2, &c.,) Abigail, (1 Sam. xxv. 18, &c.,) ac amrai ereill yn Israel. *Clywch, clywch!*—gwaeddai yn groch fel hyn oddiar ben y mur, i dynu sylw gwŷr Joab, y rhai a geisient dori adwy trwy y rhagfur. Nid ymddengys ddarfod i neb o *wŷr* y ddinas geisio ammodau heddwch; ond 'un *wraig* ddoeth a waredodd y ddinas.' Ni ŵyr eneidiau am wahaniaeth ystlen. Y mae llawer calon wrol yn lletya yn mynwes benyw: ac nid yw trysor doethineb yn llai gwerthfawr am ei fod yn nghadw yn y llestr gwanaf.

Adn. 17. *Yr ydwyf yn gwrando*] Ni ddiystyrodd Joab hi am mai gwraig ydoedd; eithr, fel gŵr doeth, efe a wrandawodd arni yn astud.

Adn. 18. *Diau yr ymofynant âg Abel*] Hi a ddechreua trwy ganmol dinas Abel-Bethmaachah fel un ddiarebol enwog, er cyn cof, am ddoethineb, ac am roddi barn iawn ar bethau. Fel pe dywedasai, Nid yw y ddinas hon, yr hon yr wyt ti ar fedr ei dyfetha, yn un wael a dirmygus; eithr y mae mor anrhydeddus a chlodfawr am ei doethineb, fel pan gyfodai rhyw annghydfod yn mhlith rhai o'r cymydogion, yr arferent ddywedyd yn ddiarebol, 'Nyni a ofynwn farn a chynghor gwŷr Abel o berthynas iddo, ac a safwn at eu cylafareddiad hwy;' ac felly yr oedd pob plaid yn cael boddlonrwydd, a dadleuon eu dybenu. Ond yn nghyfieithiad *Tremellius* a *Castelio* deallir fod y wraig yn arwyddo ddarfod i wŷr dinas Abel ddywedyd, yn *nechre* y gwrthryfel, y gwnai y rhai oedd yn dyfod i'w herbyn ymofyn neu ymgynghori â hwy, ac felly ddybenu yr ymrafael: gwel Deut. xx. 10.

Adn. 19. *Myfi wyf un o heddychol ffyddloniaid Israel*] Hi a lefara yn enw yr holl ddinas, yr hon oedd o ysbryd heddychol, ac a fuasai yn ffyddlon i Dafydd yn ystod y gwrth-

21 Nid felly *y mae* y peth: eithr
gŵr o fynydd Ephraim (Seba mab
Bichri *dan* ei enw) a ddyrchafodd ei
law yn erbyn y brenin, yn erbyn Da-
fydd. Rhoddwch ef yn unig, a mi a
âf ymaith oddiwrth y ddinas. A
dywedodd y wraig wrth Joab, Wele,
ei ben ef a fwrir atat ti dros y mur.
22 Yna y wraig o'i doethineb a
aeth at yr holl bobl. A hwy a dor-
asant ben Seba mab Bichri, ac a'*i*
taflasant allan i Joab. Ac efe a
udganodd mewn udgorn; a hwy a
wasgarwyd oddiwrth y ddinas, bob
un i'w pabellau. A Joab a ddych-
welodd i Jerusalem at y brenin.
23 ¶ Yna Joab *oedd* ar holl lu-
oedd Israel; a Bennaiah mab Jehoi-
ada ar y Cerethiaid, ac ar y Peleth-
iaid;
24 Ac Adoram *oedd* ar y dreth; a
Jehosaphat mab Ahilud yn gofiadur;
25 Sefa hefyd yn ysgrifenydd; a
Sadoc ac Abiathar yn offeiriaid;
26 Ira hefyd y Jairiad oedd ben-
llywydd yn nghylch Dafydd.

PENNOD XXI.

A bu newyn yn nyddiau Dafydd
dair blynedd olynol. A Dafydd
a ymofynodd gerbron yr Arglwydd.
A'r Arglwydd a ddywedodd, O her-
wydd Saul, ac o herwydd *ei* dŷ
gwaedlyd *ef y mae hyn;* oblegid
lladd o hono ef y Gibeoniaid.
2 A'r brenin a alwodd am y Gib-
eoniaid, ac a ymddyddanodd â
hwynt; (a'r Gibeoniaid hyny nid
*oeddynt* o feibion Israel, ond o

---

ryfel diweddar. *Yr wyt ti yn ceisio dyfetha dinas a mam yn Israel*—neu fam-ddinas, yr hon yr oedd llawer o drefi yn ymddibynu arni, ac yn ddarostyngedig iddi. *Paham y dyfethi di etifeddiaeth yr Arglwydd?*—sef dinas ag ydoedd yn rhan o'r wlad a roddasai yr Arglwydd i'w bobl.

Adn. 20. *Na ato Duw, na ato Duw!*] Efe a ddybla y geiriau, i ddangos fod yn mhell o'i feddwl ef ddinystrio y ddinas, ond iddo gael Seba allan.

Adn. 21. *Nid felly y mae y peth*] Nid dyfetha y ddinas yw fy amcan, ond dal gelyn y brenin Dafydd. *Rhoddwch ef yn unig*—canys gwyddai Joab y darfyddai y gwrthryfel yn y fan ar ol rhoddi Seba i fyny, heb dywallt gwaed neb o'r Israeliaid a hudwyd ganddo. *Wele, ei ben ef a fwrir atat ti dros y mur*—hi a addawai hyn nid yn unig ar gyfrif yr awdurdod ag oedd ganddi hi yn y ddinas, ond hefyd am y gwyddai mor ofnus oedd y trigolion, y rhai a wnaent unrhyw beth i achub eu dinas.

Adn. 22. *Yna y wraig o'i doethineb a aeth at yr holl bobl*] Galwodd henuriaid y ddinas yn nghyd, a llefarodd wrthynt gyda doethineb mawr am gais gyfiawn Joab, a'r perygl o'i gwrthod; ac felly cytunasant o un fryd i dori pen Seba, a'i daflu dros y mur i Joab. *Ac efe a udganodd mewn udgorn*—yn arwydd i'r milwyr beidio drygu y muriau mwyach, ond myned adref i randir llwyth Juda, yr hwn oedd fwy na chan milldir oddiyno.

Adn. 23. *Yna Joab oedd ar holl luoedd Israel*] Yn dywysog yr holl fyddin. Yr oedd efe wedi lladd Amasa, ac ymaflyd yn y swydd hon fel cynt: a'r fath oedd ei gryfder ef yn bresenol, a'r wasanaeth a wnaethai efe i'r llywodraeth trwy ddarostwng gwrthryfel Seba, nes yr oedd y brenin yn gorfod ei oddef ef; ac ni feiddiai ei alw ef i gyfrif am ei lofruddiaethau heb beryglu diogelwch y llywodraeth trwy ryfel gartrefol. *A Benaiah mab Jehoiadah ar y Cerethiaid*—gwel ar pen. viii. 18.

Adn. 24. *Adoram oedd ar y dreth*] Yn brif drysorydd, neu 'Ganghellwr y Trysorlys,' fel y galwn ni ef; *a Jehosaphat mab Ahilud yn gofiadur*—pa swydd a ddaliai efe o'r blaen, pen. viii. 16.

Adn. 25. *Sefa hefyd yr ysgrifenydd*] Saraiah yw enw yr ysgrifenydd yn pen. viii. 17: ac naill ai yr un gŵr yw hwn dan enw arall, neu ynte yr oedd hwnw yn awr wedi marw, neu gael ei ddiswyddo. *A Sadoc ac Abiathar yn offeiriaid*—neu archoffeiriaid: gwel ar pen. viii. 17.

Adn. 26. *Ira hefyd y Jairiad oedd ben-llywydd yn nghylch Dafydd*] Ei gyfaill mynwesol, a'i brif-gynghorwr yn ei holl achosion personol a neillduol, fel yr oedd Ahitophel gynt. Ond y mae yr Hebraeg yn ei alw yn *offeiriad Dafydd*, ac felly y gwna y LXX, y Vulgate, y Syriaeg, a'r Arabaeg. Y mae yn debyg ei fod yn fath o *gapelwr teuluaidd* i'r brenin.

PEN. XXI. Adn. 1. *A bu newyn yn nyddiau Dafydd dair blynedd olynol*] Bernir yn gyffredin i'r newyn hwn gymeryd lle yn hir cyn gwrthryfel Absalom, er nad adroddwyd am dano hyd yn awr. *A Dafydd a ymofynodd gerbron yr Arglwydd*—dichon fod Dafydd, yn ystod y flwyddyn gyntaf a'r ail, yn priodoli yr adfyd hwn i achosion naturiol; ond yn y drydedd flwyddyn, ar ol deall mai *barn* oedd yr ymweliad hwn, efe a ymofynodd â Duw, ond odid trwy yr Urim a'r Thummim, i gael gwybod yr achos o hono: a mynegwyd yn ebrwydd iddo mai o achos Saul a'i dŷ gwaedlyd yr oedd y gosp hon ar y wlad. *Oblegid lladd o hono ef y Gibeoniaid*—y rhai y gwnaethai Josua a thywysogion y gynulleidfa gyfammod â hwy trwy lw i'w cadw yn fyw: gwel ar Jos. ix. Ni chrybwyllir yn yr ysgrythyrau pa bryd y lladdodd Saul hwynt, nac yn mha le, oddieithr fod rhai o honynt yn cael eu lladd gyda'r offeiriaid yn ninas Nob,

weddill yr Amoriaid; a meibion
Israel a dyngasai iddynt hwy: eto
Saul a geisiodd eu lladd hwynt, o
serch i feibion Israel a Judah;)
3 A Dafydd a ddywedodd wrth y
Gibeoniaid, Beth a wnaf i chwi? ac
â pha beth y gwnaf gymod, fel y
bendithioch chwi etifeddiaeth yr
Arglwydd?
4 A'r Gibeoniaid a ddywedasant
wrtho, Ni fynwn ni nac arian nac
aur gan Saul, na chan ei dŷ ef: ac
ni fynwn ni ladd neb yn Israel. Ac
efe a ddywedodd, Yr hyn a ddy-
wedoch chwi, a wnaf i chwi.
5 A hwy a ddywedasant wrth y
brenin, Y gŵr a'n dyfethodd ni, ac
a fwriadodd i'n herbyn, i'n dinystr-
io ni rhag aros yn un o derfynau
Israel,
6 Rhodder i ni saith o wŷr o'i
feibion ef, fel y crogom ni hwynt i'r
Arglwydd yn Gibeah Saul, dewis-
edig yr Arglwydd. A dywedodd y
brenin, Myfi a'*u* rhoddaf.
7 Ond y brenin a arbedodd Me-
phiboseth, fab Jonathan, fab Saul,
o herwydd llw yr Arglwydd yr hwn
*oedd* rhyngddynt hwy, rhwng Da-
fydd a Jonathan mab Saul.
8 Ond y brenin a gymerth ddau
fab Rispah merch Aiah, y rhai a
ymddug hi i Saul, *sef* Armoni a
Mephiboseth; a phum mab Michal
merch Saul, y rhai a blantodd hi i
Adriel mab Barsilai y Maholathiad:
9 Ac efe a'u rhoddes hwynt yn
llaw y Gibeoniaid; a hwy a'u crog-
asant hwy yn y mynydd gerbron yr
Arglwydd: a'r saith hyn a gyd-

---

lle yr oeddynt yn 'gymynwyr coed ac yn wehynwyr dwfr' at wasanaeth y tabernacl, Jos. ix. 27: gwel ar 1 Sam. xxii. 18, 19. Ond y mae yn debyg mai am ryw ddinystr mwy cyffredinol o honynt y cospwyd y wlad â'r newyn hwn, er fod yr ysgrythyr yn ddystaw am dano.

Adn. 2. *A'r brenin a alwodd am y Gibeoniaid*] Sef rhai o'r gweddill a ddiangasant o law Saul; *a'r Gibeoniaid hyny nid oeddynt o feibion Israel*—o waedoliaeth, er eu bod yn broselytiaid i grefydd Israel er's oddeutu 400 o flynyddoedd; eithr gweddill oeddynt o'r hen Ganaaneaid, y rhai oll a elwir weithiau yn AMORIAID. *A Saul a geisiodd eu lladd hwynt*—fel gweddillion yr hen Ganaaneaid, y rhai y gorchymynesid eu dyfetha; *o'i serch i feibion Israel a Juda*—fel y gallent hwy berchenogi y pedair dinas a berthynai i'r Gibeoniaid, Jos. ix. 17.

Adn. 3. *Beth a wnaf i chwi*] Am y niwed a wnaeth Saul i'ch pobl? *ac â pha beth y gwnaf gymod*—fel ag i droi ymaith y newyn ag sydd wedi disgyn yn farn ar y wlad? *Fel y bendithioch chwi etifeddiaeth yr Arglwydd*—fel y gweddïent hwy am fendith yr Arglwydd ar y tir a roddasai efe yn etifeddiaeth i'w bobl Israel. Tybia Josephus, pan hysbysodd Duw yr achos o'r newyn, ddarfod iddo fynegu hefyd y byddai iddo gael ei symud, os gwnai efe yr hyn a geisiai y Gibeoniaid.

Adn. 4. *Ni fynwn ni nac arian nac aur*] Am nad oedd arian ac aur yn iawn digonol am y golled a ddyoddefasent hwy trwy law Saul a'i dŷ gwaedlyd; *ac ni fynwn ni ladd neb yn Israel*—oddieithr rhai o deulu Saul, adn. 6. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Ac ni pherthyn i ni ladd neb;' gan eu bod yn y fath gyflwr o gaethiwed, fel nad oedd yn oddefol iddynt *hwy* gyflawni yr unig ad-daledigaeth briodol, sef gwaed am waed. Yn unol â hyn dywed Dafydd, y gwnai *ef* iddynt yr hyn a ddywedent.

Adn. 5. *Y gŵr a'n dyfethodd ni*] Sef Saul: gwel ar adn. 1, 2.

Adn. 6. *Rhodder i ni saith o wŷr o'i feibion ef*] O'i hiliogaeth ef, sef o'i blant a'i ŵyrion; *fel y crogom ni hwynt i'r Arglwydd*—nid i foddhau ysbryd dialgar o'r eiddynt eu hunain, ond i anrhydeddu cyfiawnder Duw, ac i ddyhuddo ei lid ef yn erbyn y wlad, am greulondeb a wnaed iddynt yn groes i'r cyfammod a sicrhawyd trwy lw. Ond gellir gofyn, 'Os dyfethodd Saul y bobl hyn yn groes i lw a sicrhawyd yn enw yr Arglwydd, paham y cospid ei blant a'i ŵyrion ef o'r herwydd?' I hyn gellir ateb ar sail dda, nad am euogrwydd Saul y cospwyd hwy, ond am eu heuogrwydd eu hunain, fel cyflawnwyr ei orchymyn creulon ef ar y Gibeoniaid, fel y gallent gael eu meddiannau iddynt eu hunain o oes i oes; canys priodolir y pechod hwn nid yn unig i Saul, ond hefyd i'w 'dŷ gwaedlyd ef,' adn. 1. *Yn Gibeah Saul*—sef yn ei gartref ef; ac yr oedd eu crogi hwy yno yn warth mwy i enw a theulu Saul. *A dywedodd y brenin*—ar ol iddo yn ddiamau ymgynghori â'r Arglwydd yn yr achos; *Myfi a'u rhoddaf*—yr oedd Dafydd wedi cadw ei lw i Saul, na thorai efe ymaith ei had ef yn ei achos ei hun, sef rhag iddynt geisio meddiannu yr orsedd, 1 Sam. xxiv. 21; ond yn awr, mewn achos arall, y mae efe yn gweithredu dan gyfarwyddyd Duw, fel y mae yn amlwg oddiwrth ei fod ef yn foddlon i'r wlad ar ol eu tori ymaith, adn. 14.

Adn. 7. *Ond y brenin a arbedodd Mephiboseth*] Trwy ei fod wedi cael *saith*, y rhif a ofynai y Gibeoniaid, heblaw ef; *mab Jonathan*—yr hyn a chwanegir i'w wahaniaethu ef oddiwrth y Mephiboseth a enwir yn adn. 8; *o herwydd llw yr Arglwydd*—yr hwn a dyngasai efe i Jonathan yn enw yr Arglwydd, 1 Sam. xx. 16, 17.

Adn. 8. *Ond y brenin a gymerth ddau fab Rispah*] Gordderchwraig Saul, o'r hon y cafodd efe Armoni a Mephiboseth; *a phum mab Michal*—neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'pum mab *chwaer* Michal;' ac yn unol â hyn y mae y Galdeaeg yn ei darllen, 'pum

gwympasant, ac a roddwyd i farwolaeth yn y dyddiau cyntaf o'r cynauaf, yn nechread cynauaf yr haidd.

10 ¶ A Rispah merch Aiah a gymerth sachlian, a hi a'i hestynodd ef iddi ar y graig, o ddechreu y cynauaf nes dyferu dwfr arnynt hwy o'r nefoedd, ac ni adawodd hi i ehediaid y nefoedd orphwys arnynt hwy y dydd, na bwystfil y maes liw nos.

11 A mynegwyd i Dafydd yr hyn a wnaethai Rispah merch Aiah, gordderchwraig Saul.

12 ¶ A Dafydd a aeth ac a ddyg esgyrn Saul, ac esgyrn Jonathan ei fab, oddiwrth berchenogion Jabes Gilead, y rhai a'u lladratasent hwy o heol Bethsan, yr hon y crogasai y Philistiaid hwynt ynddi, y dydd y lladdodd y Philistiaid Saul yn Gilboa.

13 Ac efe a ddyg i fyny oddiyno esgyrn Saul, ac esgyrn Jonathan ei fab; a hwy a gasglasant esgyrn y rhai a grogesid.

14 A hwy a gladdasant esgyrn Saul a Jonathan ei fab yn ngwlad Benjamin, yn Zelah, yn meddrod Cis ei dad: a hwy a wnaethant yr hyn oll a orchymynasai y brenin. A bu Duw foddlon i'r wlad ar ol hyn.

15 ¶ A bu eilwaith ryfel rhwng y Philistiaid ac Israel; a Dafydd a aeth i waered a'i weision gydag ef, ac a ymladdasant â'r Philistiaid. A diffygiodd Dafydd.

16 Ac Isbibenob, yr hwn *oedd* o feibion y cawr, (a phwys ei waewffon yn dri chan *sicl* o bres,) ac wedi ei wregysu â *chleddyf* newydd, a feddyliodd ladd Dafydd.

17 Ond Abisai mab Serfiah a'i helpiodd ef, ac a darawodd y Phil-

---

mab *Merab;*' canys hi oedd gwraig Adriel, 1 Sam. xviii. 19.

Adn. 9. *A hwy a'u crogasant hwy yn y mynydd gerbron yr Arglwydd*] I anrhydeddu ei gyfiawnder dialeddol ef am dori o honynt y cyfammod, adn. 6; *yn nechread cynauaf yr haidd*—yr hwn a ddechreuai yn Judea tuag alban eilir, neu yr 21ain o Fawrth.

Adn. 10. *A Rispah*] Yr hon oedd yn fam i ddau o honynt, adn. 8; *a gymerth sachlian*—neu 'sachlen flew' yn hytrach, o'r rhai y gwneid pebyll yn gyffredin; *a hi a'i hestynodd ef iddi ar y graig*—yn babell i drigo ynddi tra y byddai y cyrff yn grogedig yno, i gadw yr adar ysglyfaethus oddiwrthynt y dydd, a'r bwystfilod rheibus y nos; *nes dyferu dwfr arnynt hwy o'r nefoedd*—canys yn groes i'r gyfraith mewn achosion ereill, (Deut. xxi. 22, 23,) nid oedd eu celain hwy i'w symud ymaith hyd nes y rhoddai Duw wlaw ar y ddaear, yr hyn oedd i fod yn arwydd o'i foddlonrwydd ef, ac yn foddion i symud ymaith y newyn. Gan fod amser y diweddar wlaw, o flaen y cynauaf, wedi myned heibio, barna rhai i Rispah fod yno yn gwylio y cyrff hyd amser y cynar wlaw tua dechre Hydref; tra y barna ereill i Dduw, yn fuan ar ol y weithred ddyhuddol hon, wlawio arnynt cyn y tymor arferol.

Adn. 11. *A mynegwyd i Dafydd yr hyn a wnaethai Rispah*] Ac yr oedd ei gweithred garuaidd mor foddhaol gan y brenin, nes y cynhyrfodd hyny ef i roddi claddedigaeth anrhydeddus i Saul a'i feibion oll, fel y byddai hyny o ryw gysur i'r fam alarus a'r weddw drallodus.

Adn. 12. *A Dafydd a aeth*] I Jabes Gilead, yr hon oedd dros 60 milldir o Jerusalem; *ac a ddyg esgyrn Saul ac esgyrn Jonathan*—a gallwn feddwl fod esgyrn dau fab arall Saul yn eu plith, sef Abinadab a Maleisua: gwel ar 1 Sam. xxxi. 2, 12, 13.

Adn. 13. *A hwy a gasglasant esgyrn y rhai a grogesid*] Sef y saith a grybwyllwyd uchod, i'w claddu ond odid yn yr un bedd a Saul a Jonathan.

Adn. 14. *Yn Zelah*] Dinas yn llwyth Benjamin, (Jos. xviii. 28,) lle yn debygol y claddwyd Cis tad Saul. *A hwy a wnaethant yr hyn oll a orchymynasai y brenin*—gyda golwg ar esgyrn Saul a Jonathan, a'r saith uchod. Dywed yr Iuddewon i Dafydd orchymyn dwyn esgyrn Saul trwy bob un o lwythau Israel, a pheri i bawb ddyfod allan i alaru am dano ef. *A bu Duw foddlon i'r wlad ar ol hyn*—ar ol crogi meibion ac ŵyrion Saul, dyhuddwyd digofaint Duw am ladd o Saul y Gibeoniaid, yr hyn a amlygodd efe trwy roddi gwlaw a thymorau ffrwythlon, ac felly symud y farn oddiar y wlad.

Adn. 15. *A bu eilwaith ryfel rhwng y Philistiaid ac Israel*] Heblaw y rhyfeloedd a grybwyllesid eisioes; *a diffygiodd Dafydd*—gan feithder a phoethder y frwydr; a dichon fod henaint a methiant yn dyfod yn mlaen yn awr, fel nas gallai efe ddal y lludded a thrin ei arfau megys gynt.

Adn. 16. *Ac Isbibenob, yr hwn oedd o feibion y cawr*] Tybia rhai mai meibion y cawr Goliath a feddylir yma ac yn yr adnodau dylynol; ond gall y gair Hebreig *rapha*, a arferir yma, arwyddo unrhyw gawr; *a phwys ei waewffon yn dri chan sicl o bres*—neu oddeutu 78 pwys, sef hanner pwysi gwaewffon Goliath, os nad oedd gwahaniaeth rhwng y sicl bres a'r sicl haiarn, 1 Sam. xvii. 7; *ac wedi ei wregysu â chleddyf newydd*—un a wnaed yn fwriadol iddo, yn fwy ac yn drymach na chleddyf cyffredin; *a feddyliodd ladd Dafydd*—trwy fod ganddo fantais yn awr, fel y meddyliodd, oddiwrth ei ddiffygiad ef.

Adn. 17. *Ond Abisai mab Serfiah*] Nai Dafydd fab ei chwaer; *a'i helpiodd ef*—gan ei waredu o ymyl marwolaeth trwy ladd y

istiad, ac a'i lladdodd ef. Yna
gwŷr Dafydd a dyngasant wrtho ef,
gan ddywedyd, Nid âi di allan mwy-
ach gyda ni i ryfel, rhag i ti ddi-
ffoddi goleuni Israel.
18 Ac ar ol hyn fe fu eilwaith
ryfel yn Gob yn erbyn y Philistiaid:
yna Sibbechai yr Husiad a laddodd
Saph, yr hwn *oedd* o feibion y cawr.
19 A bu eto ryfel yn Gob yn er-
byn y Philistiaid: ac Elhanan mab
Jaare-oregim, y Bethlehemiad, a
darawodd *frawd* Goliath y Gethiad;
a phren ei waewffon ef *oedd* fel car-
fan gwehydd.
20 A bu eto ryfel yn Gath: ac yr
oedd gŵr corffol, a chwech o fysedd
ar bob llaw iddo, a chwech o fysedd
ar bob troed iddo, pedwar ar hug-
ain o rifedi; efe hefyd *oedd* fab i'r
cawr.
21 Ac efe a anmharchodd Israel;
a Jonathan mab Simea, brawd Da-
fydd, a'i lladdodd ef.
22 Y pedwar hyn a aned i'r cawr
yn Gath, ac a gwympasant trwy law
Dafydd, a thrwy law ei weision ef.

## PENNOD XXII.

A Dafydd a lefarodd wrth yr Ar-
glwydd eiriau y gân hon, yn y
dydd y gwaredodd yr Arglwydd ef
o law ei holl elynion, ac o law Saul.
2 Ac efe a ddywedodd, Yr Ar-
glwydd *yw* fy nghraig, a'm ham-
ddiffynfa, a'm gwaredydd i;
3 Duw fy nghraig, ynddo ef yr
ymddiriedaf: fy nharian, a chorn
fy iachawdwriaeth, fy uchel dŵr
a'm noddfa, fy achubwr; rhag trais
y'm hachubaist.
4 Galwaf ar yr Arglwydd, can-
moladwy: felly y'm cedwir rhag fy
ngelynion.
5 Canys gofidion angau a'm cylch-
ynasant; afonydd y fall a'm dy-
chrynasant i.
6 Doluriau uffern a'm hamgylch-
ynasant; maglau angau a'm rhag-
flaenasant.
7 Yn fy nghyfyngder y gelwais
ar yr Arglwydd, ac y gwaeddais ar
fy Nuw; ac efe a glybu fy llef o'i
deml, a'm gwaedd *a aeth* i'w glust-
iau ef.
8 Yna y cynhyrfodd ac y crynodd
y ddaear: seiliau y nefoedd a gy-
ffroisant ac a ymsiglasant, am iddo
ef ddigio.
9 Dyrchafodd mŵg o'i ffroenau
ef, a thân o'i enau ef a ysodd: glo
a enynasant ganddo ef.

---

cawr. *Yna gwŷr Dafydd*—wrth ystyried ei ddiffygiad a'i henaint ef, a'r perygl dirfawr ag y bu ynddo; *a dyngasant wrtho ef*—na chai efe mwyach fyned allan i'r rhyfel gyda hwy; *rhag i ti ddiffoddi goleuni Israel*—rhag i ti gael dy ladd, ac i ninau trwy hyny golli ein goleuni a'n gogoniant, yn wladol a chrefyddol. Ystyrir Dafydd yma fel *llusern*, â pha un yr arweinid holl Israel, ac y cedwid hwy rhag suddo mewn tywyllwch moesol ac ysbrydol.

Adn. 18. *Fe fu eilwaith ryfel yn Gob*] Neu *Nob*, fel y darllenir ef mewn oddeutu 40 o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi. Eithr *Gezer* y gelwir y lle yn 1 Cron. xx. 4; ac ymddengys fod Gob a Gezer yn lleoedd cymydogaethol, ac i'r frwydr gael ei hymladd ar gyffiniau y ddau le. *Yna Sibbechai yr Husiad*—un o gedyrn Dafydd, 1 Cron. xi. 29; *a laddodd Saph*—un arall o feibion Goliath, adn. 16, neu o'r Rephaimiaid, hiliogaeth meibion Anac.

Adn. 19. *Elhanan*] Un arall o gedyrn Dafydd; *a darawodd frawd Goliath*—er nad yw y gair 'brawd' yn y wreiddiol, eto dyna a feddylir, gan y ceir ef yn 1 Cron. xx. 5, lle yr adroddir yr un hanes; *a phren ei waewffon ef oedd fel carfan gwehydd*—o ran praffder: gwel ar 1 Sam. xvii. 7.

Adn. 20. *A bu eto ryfel yn Gath*] Oddiwrth yr hyn y casgla rhai i'r rhyfeloedd a grybwyllir yma gymeryd lle cyn i Dafydd ennill Gath oddiar y Philistiaid, ac felly cyn iddo heneiddio. *Ac yr oedd gŵr corffol*—un o faintioli mawr, a mab i Goliath, neu i ryw gawr arall o feibion Anac, Jos. xi. 21, 22. *A chwech o fysedd ar bob llaw iddo*—nid yw hyn yn beth anfynych. Dywed *Tavernier* am fab hynaf amherawdwr Java, yn 1648, fod ganddo chwech o fysedd ar bob llaw a throed iddo. Dywed *Maupertuis* iddo ef gyfarfod â dau deulu felly yn Berlin. Yr oedd merched *Caius Horatius* yn meddu chwech o fysedd ar bob llaw, a'r un modd y bardd *Volcatius;* a dywed *Dr. A. Clarke* iddo ef weled merch ieuanc yn yr Iwerddon yn meddu chwech o fysedd ar bob llaw a throed iddi, er nad oedd hi ond o faintioli cyffredin.

Adn. 21. *Ac efe a anmharchodd Israel*] Trwy eu herio a'u melldithio fel y gwnaethai Goliath; *a Jonathan mab Simea, brawd Dafydd*—yr hwn a elwir *Sammah* yn 1 Sam. xvi. 9, a *Simmah* yn 1 Cron. ii. 13; *a'i lladdodd ef*—er ei fod yn gawr cryf a gwrol.

Adn. 22. *Y pedwar hyn a aned i'r cawr yn Gath*] Hyny yw, a aned i ryw gawr, adn. 16; canys os caniateir fod tri o honynt yn feibion i Goliath, yr oedd y pedwarydd yn *frawd* iddo, adn. 19; *ac a gwympasant trwy law Dafydd*—hyny yw, wrth ei orchymyn ef, trwy law ei weision.

PEN. XXII. Adn. 1—51. *A Dafydd a lefarodd wrth yr Arglwydd, &c.*] Neu a ganodd er gogoniant i'r Arglwydd eiriau

10 Efe a ogwyddodd y nefoedd, ac a ddisgynodd; a thywyllwch *oedd* dan ei draed ef.

11 Marchogodd efe hefyd ar y cherub, ac a ehedodd: ïe, efe a welwyd ar adenydd y gwynt.

12 Efe a osododd y tywyllwch yn bebyll o'i amgylch; *sef* casgliad y dyfroedd, a thew-gymylau yr awyr.

13 Gan y dysgleirdeb ger ei fron ef yr enynodd y marwor tanllyd.

14 Yr Arglwydd a daranodd o'r nefoedd, a'r Goruchaf a roddes ei lef.

15 Ac efe a anfonodd *ei* saethau, ac a'u gwasgarodd hwynt; mellt, ac a'u drylliodd hwynt.

16 Gwaelodion y môr a ymddanghosodd, *a* seiliau y byd a ddynoethwyd, gan gerydd yr Arglwydd, *a* chan chwythiad anadl ei ffroenau ef.

17 Efe a anfonodd oddiuchod; cymerodd fi: tynodd fi o ddyfroedd lawer.

18 Gwaredodd fi rhag fy ngelyn cadarn, *a* rhag fy nghaseion; am eu bod yn drech na mi.

19 Achubasant fy mlaen yn nydd fy ngofid: ond yr Arglwydd oedd gynaliad i mi.

20 Efe a'm dyg i eangder: efe a'm gwaredodd i, am iddo ymhoffi ynof.

21 Yr Arglwydd a'm gwobrwyodd yn ol fy nghyfiawnder: yn ol glendid fy nwylaw y talodd efe i mi.

22 Canys mi a gedwais ffyrdd yr Arglwydd, ac ni chiliais yn annuwiol oddiwrth fy Nuw.

23 O herwydd ei holl farnedigaethau ef *oedd* ger fy mron i: ac oddiwrth ei ddeddfau ni chiliais i.

24 Bûm hefyd berffaith ger ei fron ef; ac ymgedwais rhag fy anwiredd.

25 A'r Arglwydd a'm gwobrwyodd inau yn ol fy nghyfiawnder; yn ol fy nglendid o flaen ei lygaid ef.

26 A'r trugarog y gwnai drugaredd; â'r gŵr perffaith y gwnai berffeithrwydd.

27 A'r glân y gwnai lendid; ac â'r cyndyn yr ymgyndyni.

28 Y bobl gystuddiedig a waredi: ond *y mae* dy lygaid ar y rhai uchel, i'*w* darostwng.

29 Canys ti *yw* fy nghanwyll i, O Arglwydd; a'r Arglwydd a lewyrcha fy nhywyllwch.

30 Oblegid ynot ti y rhedaf trwy fyddin: trwy fy Nuw y llamaf dros fur.

31 Duw *sydd* berffaith ei ffordd; ymadrodd yr Arglwydd *sydd* buredig: tarian *yw* efe i bawb a ymddiriedant ynddo.

32 Canys pwy *sydd* Dduw, heblaw yr Arglwydd? a phwy *sydd* graig, eithr ein Duw ni?

33 Duw *yw* fy nghadernyd *a'm* nerth; ac a rwyddhaodd fy ffordd i yn berffaith.

34 Efe sydd yn gwneuthur fy nhraed fel *traed* ewigod; ac efe sydd yn fy ngosod ar fy uchelfaoedd.

35 Efe sydd yn dysgu fy nwylaw i ryfel; fel y dryllir bwa dur *yn* fy mreichiau.

36 Rhoddaist hefyd i mi darian dy iachawdwriaeth; ac â'th fwynder y lluosogaist fi.

37 Ehengaist fy ngherddediad danaf; fel na lithrodd fy sodlau.

38 Erlidiais fy ngelynion, a dyfethais hwynt; ac ni ddychwelais nes eu difa hwynt.

39 Difeais hwynt hefyd, a thrywenais hwynt, fel na chyfodent; a hwy a syrthiasant dan fy nhraed i.

40 Canys ti a'm gwregysaist i â nerth i ryfel: y rhai a ymgyfodent i'm herbyn, a ddarostyngaist danaf.

41 Rhoddaist hefyd i mi warau fy ngelynion; fel y dyfethwn fy nghaseion.

---

Salm neu y Gân hon. Gan fod y Gân hon yr un peth mewn sylwedd, a bron mewn geiriau, a Salm xviii, nyni a oedwn ein sylwadau arni hyd nes y deuwn yno. *Yn y dydd y gwaredodd yr Arglwydd ef o law ei holl elynion*—ymddengys fod Dafydd yn arferol o ganu y Gân hon pa bryd bynag y cai efe ryw waredigaeth hynod, megys y cawsai efe yn ddiweddar o law y Philistiaid: gwel ddiwedd y bennod flaenorol. *Ac o law Saul*—yr hyn a ddengys mai nid yn awr y cyfansoddwyd hi, ond ei bod cyn hyned a dyddiau Saul. Ar ol i Dafydd ei defnyddio fel hyn ar lawer o wahanol achlysuron, ymddengys iddo ei diwygio a'i pherffeithio tua diwedd ei oes, fel y mae yn Salm xviii; ac iddo ei rhoddi i'r pencerdd, gyda'r Salmau ereill, i'w chanu yn addoliad y cysegr; a gallwn feddwl mai hyn yw y rheswm am yr ychydig wahaniaeth ag sydd rhyngddi yma ac yno. Y mae y farddoniaeth arddunawl a gynwysir yn y Gân hon yn cael ei rhyfeddu yn gyffredinol; a thra y mae rhanau o

42 Dysgwyliasant, ond nid *oedd* achubydd; *sef* am yr Arglwydd, ond nid atebodd hwynt.

43 Yna y maluriais hwynt fel llwch y ddaear; melais hwynt fel tom yr heolydd, *a* thaenais hwynt.

44 Gwaredaist fi rhag cynenau fy mhobl; cedwaist fi yn ben *ar* genhedloedd: pobl nid adnabum a'm gwasanaethant.

45 Meibion dyeithr a gymerant arnynt ymddarostwng i mi: pan glywant, gwrandawant arnaf fi.

46 Meibion dyeithr a ballant, ac a ddychrynant o'u carchardai.

47 Byw fyddo yr Arglwydd, a bendigedig *fyddo* fy nghraig; a dyrchafer Duw, craig fy iachawdwriaeth.

48 Duw sydd yn fy nial i, ac sydd yn darostwng pobloedd danaf fi,

49 Ac sydd yn fy nhywys i o blith fy ngelynion: ti hefyd a'm dyrchefaist uwchlaw y rhai a gyfodent i'm herbyn; rhag y gŵr traws y'm hachubaist i.

50 Am hyny y moliannaf di, O Arglwydd, yn mhlith y cenhedloedd, ac y canaf i'th enw.

51 *Efe sydd* dŵr iachawdwriaeth i'w frenin; ac yn gwneuthur trugaredd i'w eneiniog, i Dafydd, ac i'w had yn dragywydd.

## PENNOD XXIII.

DYMA eiriau diweddaf Dafydd. Dywedodd Dafydd mab Jesse, a dywedodd y gŵr a osodwyd yn uchel, eneiniog Duw Jacob, a pheraidd ganiedydd Israel.

2 Ysbryd yr Arglwydd a lefarodd ynof fi, a'i ymadrodd ef *oedd* ar fy nhafod.

3 Duw Israel a ddywedodd wrthyf fi, Craig Israel a ddywedodd, *Bydded* llywodraethwr ar ddynion yn gyfiawn, yn llywodraethu *mewn* ofn Duw:

4 Ac *efe a fydd* fel y bore-oleuni, pan gyfodo haul foregwaith heb gymylau: *fel* eginyn *a dyf* o'r ddaear, gan lewyrchiad yn ol gwlaw.

5 Er nad *yw* fy nhŷ i felly gyda Duw; eto cyfammod tragwyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr; canys fy holl iachawdwriaeth, a'*m* holl ddymun-

---

honi yn gymhwysiadol yn unig i Dafydd, rhaid addef fod mewn rhanau ereill o honi gyfeiriad uniongyrchiol at Grist a'i amserau.

PEN. XXIII. Adn. 1. *Dyma eiriau diweddaf Dafydd*] Neu y *cyfansoddiad barddonol* olaf a wnaeth: ond gall ei fod wedi llefaru neu ysgrifenu llawer ar ol hyn mewn *rhyddiaith*, er nad mewn *barddoniaeth*. Eithr tybia BOOTHROYD mai geiriau *proffwydol* diweddaf Dafydd a olygir; a PATRICK, mai y geiriau diweddaf a lefarodd efe trwy yr *Ysbryd Glân;* a'r TARGUM a'u deallant fel y geiriau a lefarodd Dafydd 'yn nghylch diwedd yr oes,' neu ddyddiau y MESSIA. *Dywedodd Dafydd mab Jesse*—dyma ddechre y Gân. Galwasai Saul ac ereill ef wrth yr enw hwn lawer gwaith i'w ddirmygu; ond yn awr y mae efe yn ei alw ei hun felly, i gydnabod ei iselder gwreiddiol, a'i ddyrchafiad gan Dduw. *Y gŵr a osodwyd yn uchel*—a ddyrchafwyd gan Dduw Jacob o fod yn fugail defaid, i fod yn frenin ar Israel. *Peraidd ganiedydd Israel*—awdwr y rhan fwyaf o'r Salmau peraidd at addoliad y cysegr, cyfansoddwr y tônau ar ba rai y cenid hwy, a dyfeisydd yr offerynau a chwareuid ar yr achlysur: gwel DR. GREY. Y mae 'peraidd ganiedydd Israel' wedi cael ei ystyried yn gyfiawn y caniedydd mwyaf peraidd ac efengylaidd dan yr oruchwyliaeth Gristionogol hefyd, yn mhob rhan o'r byd lle y mae crefydd a duwioldeb mewn enwogrwydd a bri.

Adn. 2. *Ysbryd yr Arglwydd a lefarodd ynof fi*] Gan hyny yr oedd *sylwedd* ei ysgrifeniadau, yn enwedig ei Salmau cysegredig, yn dyfod trwy ysbrydoliaeth ddigyfrwng yr Ysbryd Glân; *a'i ymadrodd ef oedd ar fy nhafod*—gan hyny yr oedd *geiriau* y Gân hon dan ysbrydoliaeth ddigyfrwng, yn gystal a'r *sylwedd* neu y *mater*.

Adn. 3. *Duw Israel*] Sef Duw cyfammodol Israel yn ol y cnawd, a Duw a Thad cyfammodol holl Israel ysbrydol, sef ei addolwyr gwirioneddol. *Craig Israel*—yr hwn yw nerth, diffynydd, a noddwr ei holl bobl. *Bydded llywodraethwr ar ddynion yn gyfiawn*—neu, yn fwy llythyrenol, 'Y Cyfiawn yw y llywodraethwr yn mhlith dynion;' neu 'Wrthyf fi yr addawodd Craig Israel lywodraethwr cyfiawn ar ddynolryw,' gan feddwl y MESSIA: gwel BOOTHROYD.

Adn. 4. *Ac efe*] Y llywodraethwr cyfiawn addawedig yn adn. 3; *a fydd fel y bore-oleuni*—y mae yma gyfeiriad prydferth at lewyrch adfywiol yr haul yn y bore, yn maethu ac yn cynyddu yr eginyn, yn lle ei ddeifio. *Fel eginyn a dyf o'r ddaear*—bydd effeithiau y llewyrchiad hwn, neu belydr ei ras, fel effeithiau llewyrch yr haul ar eginyn tyner ar ol cawod faethlon o wlaw, yn ei gynyddu a'i addfedu.

Adn. 5. *Er nad yw fy nhŷ i felly gyda Duw*] Er nad yw fy nhŷ neu fy nheulu i hyd yma yn ffrwythlon a chynyddol fel yr eginyn a nodwyd uchod; *eto cyfammod tragwyddol a wnaeth efe â mi*—yn rhinwedd yr hwn y daw ef felly cyn hir; *wedi ei lun-*

iad *yw*, er nad yw yn peri *iddo*
flaguro.
6 ¶ A'r anwir *fyddant* oll fel
drain wedi eu bwrw heibio: canys
mewn llaw nis cymerir hwynt.
7 Ond y gŵr a gyffyrddo â hwynt
a ddiffynir â haiarn, ac â phaladr
gwaewffon; ac â thân y llosgir
hwynt yn *eu* lle.
8 ¶ Dyma enwau y cedyrn oedd
gan Dafydd. Y Tachmoniad a eis-
teddai yn y gadair, yn benaeth y
tywysogiou (hwnw *oedd* Adino yr
Esniad) *efe a ruthrodd* yn erbyn
wyth cant, y rhai a laddodd efe ar
unwaith.
9 Ac ar ei ol ef *yr oedd* Eleazar
mab Dodo, mab Ahohi, *yn mhlith* y
tri cedyrn, gyda Dafydd, pan ddi-
fenwasant hwy y Philistiaid a ym-
gynullasent yno i ryfel, a phan aeth
gwŷr Israel ymaith.

---

*iaethu yn hollol ac yn sicr*—neu ei drefnu yn mhob peth yn gadarn a diysgog: *canys fy holl iachawdwriaeth*—y mae fy iachawdwriaeth yn ymddibynu yn hollol ar y cyfammod hwn, neu ar y 'llywodraethwr cyfiawn' a'i lluniaethodd; *a'm holl ddymuniad*—cael rhan yn mendithion y cyfammod hwn yw holl ddymuniad fy enaid wrth fyw ac wrth farw; *er nad yw yn peri iddo flaguro*—er nad yw fy nhŷ i eto mor flagurol ag y bydd pan ddaw y 'llywodraethwr cyfiawn' hwnw i deyrnasu ar y ddaear; neu, er nad yw fy nymuniad am dano yn peri i'r llywodraethwr hwnw ymddangos. Y mae rhai yn darllen yr adnod hon yn holiadol: 'Onid yw fy nhŷ i felly gyda Duw? canys cyfammod tragwyddol a wnaeth efe â mi,' &c. Cynwysiad y cyfammod hwn oedd, y byddai i ryw un o deulu Dafydd eistedd ar yr orsedd tra y byddai Israel yn genedl; ac y deuai y MESSIA, yr hwn oedd 'holl iachawdwriaeth a holl dymuniad Dafydd,' allan o'i lwynau ef o ran y cnawd: ac er nad oeddid eto wedi peri iddo flaguro neu *ymddangos*, er hyny yr oedd y cyfammod yn sicr, mai o deulu Dafydd y deuai y MESSIA i lywodraethu byth. Yr oedd llosgach Amnon, gwrthryfel Absalom, a thraws-ymgais Adoniah am y frenhiniaeth, yn bechodau atgas yn *nhŷ* neu *deulu* Dafydd, ac yn achosion digonol i beri i Dduw fwrw y frenhiniaeth allan o'i deulu ef, fel y gwnaethai o'r blaen o deulu Saul; er hyny yr oedd Dafydd yn ymgysuro na byddai felly, o herwydd y cyfammod sicr a wnaethai Duw âg ef.

Adn. 6. *A'r anwir a fyddant oll fel drain*] Nid fel yr eginyn uchod a dyfai o'r ddaear gan lewyrchiad yn ol gwlaw, adn. 4; eithr fel *drain*—yn ddiwerth a niweidiol, heb fod yn dda i ddim ond i'w bwrw heibio i'w llosgi; *canys mewn llaw nis cymerir hwynt*—nis gellir trin drain â dwylaw noethion, gan mor bigog ydynt.

Adn. 7. *Ond y gŵr a gyffyrddo â hwynt*] I'w bwrw heibio, neu eu llosgi; *a ddiffynir â haiarn*—âg offeryn haiarn i'w tori i lawr a'u bwrw heibio, rhag cael niwed oddiwrthynt; *ac â phaladr gwaewffon*—cyfeirir yma at arfau ymosodol yn erbyn y gwŷr anwir dreiniog, yn gystal ag at arfau amddiffynol; *ac â thân y llosgir hwynt yn eu lle*—yn y lle y tyfent, neu lle y bwriesid hwynt iddo ar ol eu tori. Ar ol i Dafydd ddarlunio natur a sefydlogrwydd y frenhiniaeth a sicrhaodd Duw yn ei hiliogaeth ef, yn enwedig yn y MESSIA; y mae efe yma yn darlunio, trwy gyffelybiaeth dra addas, gyflwr truenus ac andwyol holl elynion y frenhiniaeth santaidd a bendigedig hon.

Adn. 8. *Dyma enwau y cedyrn oedd gan Dafydd*] Y rhai a gynorthwyasant i ddyrchafu Dafydd i'w urddas, ac i'w gadw ynddo, trwy fod rhai o honynt o leiaf gydag ef yn barhaus yn ei holl ryfeloedd. Cawn gofrestr o honynt hefyd yn 1 Cron. xi, yn wahanol i hon mewn rhai pethau. Ond tybia Abarbinel nad yw hyn yn creu dim anhawsder, os bydd i ni sylwi eu bod yno yn cael eu rhanu yn dri dosbarth: y rhai a fuasent gydag ef bob amser; y rhai a ddaethant ato ef i Siclag, ychydig cyn ei wneuthur yn frenin ar Juda; a'r rhai a ddaethant ato i Hebron, ar ol ei wneuthur yn frenin ar holl Israel. Yr oedd yn iawn i gofrestr o'r holl rai hyn gael ei chadw. Eithr yma, yn y llyfr hwn, nid oedd yr ysgrifenydd yn bwriadu crybwyll neb ond y rhai enwocaf o'i gedyrn, y rhai oeddynt bob amser gydag ef yn ei ryfeloedd, ac er mwyn pa rai y cyfansoddodd Dafydd y gân flaenorol o fawl i Dduw. Chwaneger at hyn, fod y gofrestr hon, er yn osodedig yma, wedi ei chymeryd yn hir o flaen llawer o'r dygwyddiadau crybwylledig, fel y mae yn amlwg oddiwrth fod Asahel ac Urïas yn cael eu henwi ynddi. Dylid sylwi hefyd, mai peth cyffredin iawn oedd i un dyn gael gwahanol enwau; a chan i rai o'r cedyrn hyn farw, ac i ereill gael eu gosod yn eu lle hwynt, rhaid fod cryn wahaniaeth rhwng y gofrestr olaf a'r un gyntaf. *Y Tachmoniad a eisteddai yn y gadair*—yn nghynghorfa y rhyfel, yn absenoldeb Joab ond odid, yn benaeth ar yr holl dywysogion milwraidd ereill. *Hwnw oedd Adino yr Esniad*—tybia rhai mai *Adino* oedd ei enw priodol, a'i fod yn cael ei alw yn *Esniad* naill ai oddiwrth enw ei deulu, neu ei le genedigol. Yn 1 Cron. xi. 11, gelwir ef 'Jasobeam mab Hachmoni;' a dywed Dr. Kennicott fod yr enw *Jasobeam* yno, yn cael ei gyfieithu yma 'a eisteddai yn y gadair;' a bod y geiriau a gyfieithir yno 'a ddyrchafodd ei waewffon,' yn cael eu cyfieithu yma 'Adino yr Esniad.' *Yn erbyn wyth cant*—'tri chant' a ddywedir yn 1 Cron. xi. 11. Dichon iddo ladd 300 yn y fan ar y maes, am y rhai yn unig y sonir yno; ac i'r 500 ereill farw yn fuan o'r clwyfau a roisai efe iddynt: gwel ar adn. 18.

Adn. 9. *Ac ar ei ol ef yr oedd Eleazar*] Efe oedd y nesaf ar ol y Tachmoniad uchod, a'r ail o'r cedyrn yn y dosbarth cyntaf; *pan ddifenwasant hwy y Philistiaid*—trwy guro eu dwylaw mewn gwawd arnynt, a'u herio i ddyfod allan i ymladd â hwy; *a phan aeth*

10 Efe a gyfododd, ac a darawodd ar y Philistiaid, nes diffygio ei law ef, a glynu o'i law ef wrth y cleddyf: a'r Arglwydd a wnaeth iachawdwriaeth mawr y diwrnod hwnw; a'r bobl a ddychwelasant ar ei ol ef yn unig i anrheithio.
11 Ac ar ei ol ef *yr oedd* Sammah mab Age yr Harariad. A'r Philistiaid a ymgynullasant yn dorf; ac yr oedd yno ran o'r maes yn llawn o ffacbys: a'r bobl a ffôdd o flaen y Philistiaid.
12 Ond efe a safodd yn nghanol y rhandir, ac a'i hachubodd, ac a laddodd y Philistiaid. Felly y gwnaeth yr Arglwydd ymwared mawr.
13 A thri o'r deg penaeth ar hugain a ddisgynasant, ac a ddaethant y cynauaf at Dafydd i ogof Adulam: a thorf y Philistiaid oedd yn gwersyllu yn nyffryn Rephaim.
14 A Dafydd *oedd* yna mewn amddiffynfa; a sefyllfa y Philistiaid *ydoedd* yna yn Bethlehem.
15 A blysiodd Dafydd, a dywedodd, Pwy a'm dioda i â dwfr o bydew Bethlehem, yr hwn *sydd* wrth y porth?
16 A'r tri chedyrn a ruthrasant trwy wersyll y Philistiaid, ac a dynasant ddwfr o bydew Bethlehem, yr hwn *oedd* wrth y porth, ac a'*i* cymerasant hefyd, ac a'*i* dygasant at Dafydd: ond ni fynai efe ei yfed, eithr efe a'i diod-offrymodd ef i'r Arglwydd;
17 Ac a ddywedodd, Na ato yr Arglwydd i mi wneuthur hyn: *onid*

---

*gwŷr Israel ymaith*—wrth weled y Philistiaid yn dyfod allan ar ol eu herio, gan adael Dafydd a'i dri chedyrn i sefyll neu syrthio yn eu gwyneb.

Adn. 10. *Efe a gyfododd*] I ymladd â'r Philistiaid ei hunan, ar ol i wŷr Israel ffoi; *nes diffygio ei law ef*—wrth ddal y cleddyf yn eu herbyn hwy cyhyd; *a glynu o'i law ef wrth y cleddyf*—trwy grebachu yn ngwaed fferedig ei elynion. *A'r Arglwydd a wnaeth iachawdwriaeth fawr y diwrnod hwnw*—fel eiddo Samgar a Samson, trwy wroli Eleazar, a pheri dychryn yn ngwersyll y Philistiaid. *A'r bobl a ddychwelasant ar ei ol ef*—wrth weled y Philistiaid yn cael eu lladd wrth y cannoedd, dychwelasant i'r maes, nid i gynorthwyo Eleazar, ond *yn unig i anrheithio*—i yspeilio y lladdedigion o bob peth gwerthfawr ag oedd ganddynt o'u hamgylch.

Adn. 11. *Ac ar ei ol ef yr oedd Sammah*] Hwn oedd y trydydd o'r tri chedyrn blaenaf, ac yr oedd yn wahanol i'r ddau Sammah a grybwyllir eto, adn. 25, 33; *a'r Philistiaid a ymgynullasant yn dorf*—i gasglu ymborth iddynt eu hunain a'u hanifeiliaid, ac hefyd 'i ryfel,' 1 Cron. xi. 13; *ac yr oedd yno ran o'r maes yn llawn o ffacbys*—neu 'haidd,' fel y dywedir yn 1 Cron. xi. 13: dichon fod ffacbys mewn un ran, a haidd yn y rhan arall. *A'r bobl a ffôdd*—sef pobl Israel, fel y gwnaethent o'r blaen oddiwrth Eleazar, adn. 9.

Adn. 12. *Ond efe a safodd yn nghanol y rhandir*] Neu y maes lle yr oedd y Philistiaid wedi ymgynull yn dorf, adn. 11; *ac a'u hachubodd*—sef yr haidd a'r ffacbys; *ac a laddodd y Philistiaid*—hyny yw, lawer o honynt, gan yru y lleill ar ffo. *Felly y gwnaeth yr Arglwydd ymwared mawr*—trwy law Sammah, fel y gwnaethai o'r blaen trwy law Eleazar, adn. 10. Pa mor fawr bynag y byddo glewder yr offerynau, y mae gogoniant y fuddugoliaeth i'w roddi i Dduw: ymladdodd y rhai hyn, ond Duw roddodd yr oruchafiaeth.

Adn. 13. *A thri o'r deg penaeth ar hugain*] Y rhai oeddynt yn gadbeniaid *ar* y deg-ar-hugain. Tybia rhai mai y tri chedyrn a enwyd uchod oedd y rhai hyn; a thybia ereill, ond odid gyda mwy o sail, mai y tri a enwir eto oeddynt, sef Abisai, Benaiah, ac Asahel: gwel ar adn. 17, &c. *A ddaethant y cynauaf at Dafydd i ogof Adulam*—lle yr oedd efe yn awr yn ymnoddi rhag y Philistiaid, fel y gwnaethai o'r blaen rhag Saul, 1 Sam. xxii. 1. Tybia rhai mai y cynauaf *gwenith* a feddylir, a bod y Philistiaid wedi dyfod i'w ladrata oddiar faesydd Israel, fel y gallent newynu yr Israeliaid. *A thorf y Philistiaid oedd yn gwersyllu yn nyffryn Rephaim*—gerllaw Bethlehem. Tybia Clarke mai yr un frwydr oedd hon ag a grybwyllwyd yn pen. v. 17, &c.

Adn. 14. *A Dafydd oedd mewn amddiffynfa*] Sef yn ogof Adulam; *a sefyllfa y Philistiaid ydoedd yna*—neu y pryd hyny, *yn Bethlehem*—ddwy filldir o du y deau i ddyffryn Rephaim. Yr oedd ogof Adulam oddeutu saith milldir i'r gorllewin o Bethlehem.

Adn. 15. *Pwy a'm dioda i â dwfr o bydew Bethlehem?*] Hon oedd ddinas Dafydd; ac efe a wyddai am ragoroldeb y dwfr ag oedd yno; a chan ei fod yn y gymydogaeth, ac yn dra sychedig yn mrwdaniaeth amser y cynauaf, yr oedd yn naturiol iddo flysio llymaid o ddwfr o'r ffynnon hòno.

Adn. 16. *A'r tri chedyrn a ruthrasant trwy wersyll y Philistiaid*] Nid oedd Dafydd yn dysgwyl i neb anturio ei fywyd i gyrchu dwfr iddo ef o bydew Bethlehem, pan yn dywedyd y geiriau uchod; ond cyn gynted ag y clybu y tri chedyrn, hwy a ruthrasant yn y fan trwy wersyll y Philistiaid i geisio dwfr iddo, ac a ddychwelasant yr un ffordd, er mor beryglus ydoedd. *Ond ni fynai efe ei yfed*—rhag ymddangos o hono, wrth ymfoddhau ar y fath delerau, fel yn gosod gormod o bwys ar ddiwalliad ei flys ei hun, neu ry fach ar fywydau ei filwyr. *Eithr efe a'i diod-offrym-*

gwaed y gwŷr a aethant mewn *en-*
*bydrwydd* am eu heinioes *yw* hwn?
Am hyny ni fynai efe ei yfed. Hyn
a wnaeth y tri chedyrn hyny.
18 Ac Abisai brawd Joab, mab
Serfiah, *oedd* benaf o'r tri. Ac efe
a gyfododd ei waewffon yn erbyn
tri chant, *ac* a'*u* lladdodd *hwynt:*
ac iddo ef *yr oedd* yr enw yn mhlith
y tri.
19 Onid anrhydeddusaf *oedd efe*
o'r tri? a bu iddynt yn dywysog:
eto ni chyrhaeddodd efe y tri *cyntaf.*
20 A Benaiah mab Jehoiada, mab
gŵr grymus o Cabseel, aml ei
weithredoedd, efe a laddodd ddau o
gedyrn Moab; ac efe a aeth i waer-
ed, ac a laddodd lew mewn pydew
yn amser eira.
21 Ac efe a darawodd Aifft-ddyn,
gŵr golygus *o faint:* ac yn llaw yr
Aifftiad *yr oedd* gwaewffon; eithr
efe a ddaeth i waered ato ef â ffon,
ac a ddyg y waewffon o law yr Aifft-
iad, ac a'i lladdodd ef â'i waewffon
ei hun.
22 Hyn a wnaeth Benaiah mab
Jehoiada: ac iddo *yr oedd* yr enw
yn mhlith y tri chedyrn.
23 Anrhydeddusach *oedd* na'r
deg-ar-hugain; ond ni chyrhaedd-
odd efe y tri *cyntaf:* a Dafydd a'i
gosododd ef ar ei wŷr o gard.
24 Asahel brawd Joab *oedd* un
o'r deg-ar-hugain; Elhanan mab
Dodo y Bethlehemiad,
25 Sammah yr Harodiad, Elica
yr Harodiad,
26 Heles y Paltiad, Ira mab Icces
y Tecoiad,
27 Abïezer yr Anathothiad, Me-
bunnai yr Husathiad,

---

*odd ef i'r Arglwydd*—fel cydnabyddiad o ddaioni Duw yn arbed bywyd ei gadbeniaid mewn anturiaeth mor beryglus.

Adn. 17. *Na ato yr Arglwydd i mi wneuthur hyn*] Sef yfed y dwfr hwnw, er mor sychedig ydoedd, ac er cymaint a flysiasai am dano. *Onid gwaed y gwŷr*—nid edrychai efe arno mwyach fel dwfr, ond fel gwaed y tri chedyrn a redasant y perygl o golli eu gwaed wrth ei geisio ef iddo; a chan fod pob gwaed yn perthyn i'r Arglwydd, am hyny efe a'i hoffrymodd ef iddo ef. *Hyn a wnaeth y tri chedyrn hyny*—hwy oll a ymunasant yn yr anturiaeth beryglus hon. Ond yn awr canlyna yr hyn a wnaeth pob un ar ei ben ei hun.

Adn. 18. *Abisai—oedd benaf o'r tri*] Sef y penaf o'r ail dri chedyrn a grybwyllwyd uchod: gwel 1 Cron. xi. 19, 20. *Yn erbyn tri chant*—dywed Josephus mai 600 a laddwyd gan Abisai, yr hyn sydd yn cadarnhau y nifer o 800 yn adn. 8; oblegid pe mai 300 a fuasai, fel y dywedir yn 1 Cron. xi. 11, buasai Abisai, wrth ladd 300, yn gystal a'r penaf o'r tri cyntaf, yr hyn a wadir yn yr adnod nesaf. *Ac iddo ef yr oedd yr enw*—fel yr un mwyaf gwrol yn mhlith yr ail dri.

Adn. 19. *Onid anrhydeddusaf oedd efe o'r tri?*] Ac felly yn addas i fod yn dywysog iddynt oblegid ei ddewrder cryfach. *Eto ni chyrhaeddodd efe y tri cyntaf*—o ran dewrder a llwyddiant milwrol, sef y tri yn adn. 8, 9, 11. Lladdodd y Tachmoniad 800, adn. 8; tra na laddodd Abisai ond 300, neu o leiaf 600, adn. 18.

Adn. 20. *Benaiah mab Jehoiada*] Ni wyddom ddim am y Jehoiada hwn, tad Benaiah, ond ei fod yn *ŵr grymus o Cabseel*—dinas wrth ben deheuol y môr marw, ar derfyn eithaf rhandir Juda, Jos. xv. 21, neu yn *fab* i hwnw. *Efe*—sef Benaiah, *a laddodd ddau o gedyrn Moab*—neu 'ddau *ddyn llewaidd* o Moab,' fel y mae yn y Saesonaeg. Tybia rhai mai dau lew gwirioneddol a feddylir; ereill, mai dau gawr creulon; ereill, mai preswylwyr dwy amddiffynfa yn Moab. Ond gall y geiriau *sheney ariel Moab* fod yn arwyddo 'dau dywysog Moab,' ebai Clarke; ac felly y gelwir hwynt yn y Targum. *Ac efe a aeth i waered*—ond odid i ymguddio mewn pydew; *ac a laddodd lew*—sef llew gwirioneddol ag ydoedd yn llochesu yno, yr hwn yr oedd yn rhaid i Benaiah ei ladd, neu gael ei ladd ganddo, am nas gallai ddianc; *yn amser eira*—pryd y mae llewod ffyrnicaf o eisiau ymborth.

Adn. 21. *Ac efe a darawodd Aifft-ddyn, gŵr golygus o faint*] 'Gŵr pum cufydd o fesur,' 1 Cron. xi. 23, neu ddwy lath a hanner o hyd, ac o led a ffurfder cyfatebol yn ddiamau; *ac yn llaw yr Aifftiad yr oedd gwaewffon*—'megys carfan gwehydd,' 1 Cron. xi. 23; *eithr efe a ddaeth i waered ato ef â ffon*—heb ganddo un math ar arf ond teithffon gyffredin, â'r hon ond odid y lladdasai efe y ddau o gedyrn Moab a'r llew uchod; *ac a ddyg y waewffon o law yr Aifftiad*—ar ol ei gwympo ond odid â'i ffon ei hun; *ac a'i lladdodd ef â'i waewffon ei hun*—trwy ei brathu i'w galon. Fel hyn rhaid fod Benaiah yn ddyn dewr a grymus i'r eithaf.

Adn. 22. *Ac iddo yr oedd yr enw yn mhlith y tri chedyrn*] Yn nesaf at Abisai, o ran gwroldeb, yn mysg yr ail dri chedyrn.

Adn. 23. *Ond ni chyrhaeddodd efe y tri cyntaf*] Y rhai a enwir adn. 8, 9, 11; nac yn wir Abisai, yr hwn oedd benaf o'r ail dri, adn. 19; er ei fod yn anrhydeddusach o ran ei orchestion milwrol nag un o'r 30 a enwir adn. 24—39. *A Dafydd a'i gosododd ef ar ei wŷr o gard*—sef ar y Cerethiaid a'r Pelethiaid, (pen. viii. 18,) y rhai oeddynt warcheidwaid ei berson ef. Y Vulgate a'i cyfieitha, 'Dafydd a'i gwnaeth ef ei brif gynghorwr;' neu, fel y gellir cyfieithu yr Hebraeg, 'a'i gosododd ef wrth ei glustiau,' hyny yw, a ymddiriedodd ei gyfrinach iddo.

Adn. 24. *Asahel brawd Joab oedd un o'r deg-ar-hugain*] Neu, 'oedd *ar* y deg-ar-hug-

28 Salmon yr Ahohiad, Maharai y Netophathiad,
29 Heleb mab Baanah y Netophathiad, Ittai mab Ribai o Gibeah meibion Benjamin,
30 Benaiah y Pirathoniad, Hidai o afonydd Gaas,
31 Abi-albon yr Arbathiad, Azmafeth y Barhumiad,
32 Eliahba y Saalboniad; o feibion Jasen, Jonathan,
33 Sammah yr Harariad, Ahïam mab Sarar yr Harariad,
34 Eliphelet mab Ahasbai, mab y Maachathiad, Elïam mab Ahitophel y Giloniad,
35 Hesrai y Carmeliad, Paarai yr Arbiad,
36 Igal mab Nathan o Sobah, Bani y Gadiad,
37 Selec yr Ammoniad, Naharai y Beerothiad yn dwyn arfau Joab mab Serfiah,
38 Ira yr Ithriad, Gareb yr Ithriad,
39 Urïas yr Hethiad: dau ar bymtheg ar hugain o gwbl.

## PENNOD XXIV.

A THRACHEFN digllonedd yr Arglwydd a enynodd yn erbyn Israel; ac efe a annogodd Dafydd yn eu herbyn hwynt, i ddywedyd, Dos, cyfrif Israel a Juda.
2 Canys y brenin a ddywedodd wrth Joab tywysog y llu *oedd* ganddo ef, Dos yn awr trwy holl lwythau Israel, o Dan hyd Beerseba, a chyfrif y bobl, fel y gwypwyf rifedi y bobl.
3 A Joab a ddywedodd wrth y brenin, Yr Arglwydd dy Dduw a chwanego y bobl yn gan cymaint ag y maent, fel y gwelo llygaid fy arglwydd frenin: ond paham yr ewyllysia fy arglwydd frenin y peth hyn?
4 A gair y brenin fu drech na Joab, ac na thywysogion y llu. Joab am hyny a aeth allan, a thywysogion

---

ain,' canys y mae 30 yn cael eu henwi hebddo ef; ac heblaw hyny, ni byddai dim ond dau o'r ail dri chedyrn yn cael eu henwi yma, pe gadewid ef allan. Nid yw *Joab* yn cael ei enwi yn mhlith y chwe chedyrn uchod, nac yn mhlith y 30 isod, am ei fod ef yn dywysog y filwriaeth oll; ond rhaid ei fod yntau yn cael ei gynwys yn y rhif o 37 yn adn. 39, am na byddai y nifer, pe amgen, ddim ond 36. *Elhanan*—y cyntaf o'r deg-ar-hugain canlynol.

Adn. 25—38. *Sammah yr Harodiad*] Yn 1 Cron. xi. 27, gelwir ef *Sammoth*, trwy fod enwau dynion a lleoedd yn cael eu cynanu yn wahanol, yn ol gwahanol ieithweddau lleoedd neu oesau ereill. Chwanegir amrai enwau at y gofrestr hon yn 1 Cron. xi, sef y rhai a ddaethant i enwogrwydd ar ol ysgrifenu y bennod hon, neu rai nad oeddynt mor enwog a'r cedyrn a grybwyllir yma: gwel ar adn. 8.

Adn. 39. *Urïas yr Hethiad*] Gorphenir y gofrestr yma gydag Urïas, gŵr Bathseba, yr hwn a gafodd daliad chwerw am ei ddewrder a'i wasanaeth ffyddlon: gwel ar pen. xi. 3, &c. *Dau ar bymtheg ar hugain o gwbl*—trwy fod Joab yn cael ei gynwys yn y rhif hwn: gwel ar adn. 24.

PEN. XXIV. Adn. 1. *A thrachefn*] Ar ol yr arwyddion blaenorol o'i ddigllonedd, megys y tair blynedd o newyn am i Saul ladd y Gibeoniaid, pen. xxi; *digllonedd yr Arglwydd a enynodd yn erbyn Israel*—am eu pechodau fel cenedl, ac yn enwedig am y weithred ganlynol o eiddo Dafydd. *Ac efe a annogodd Dafydd*—gan nad oes yn y wreiddiol un enwedigaethydd o flaen y ferf, i fynegu pwy a annogodd Dafydd, byddai yn well cyfieithu y frawddeg hon, 'Ac *annogwyd* Dafydd yn eu herbyn hwynt,' &c. Yn ol ein cyfieithiad ni, arweinir y darllenydd i feddwl mai yr Arglwydd a annogodd Dafydd i gyflawni y pechod hwn o rifo y bobl: ond y mae hyny yn anmhosibl, gan nas gallasai ef fod yn *ddigllon* wrth Dafydd am eu rhifo, pe buasai wedi ei *annog* ef i wneuthur hyny. Eithr yn 1 Cron. xxi. 1, dywedir yn bendant mai '*Satan* a safodd i fyny yn erbyn Israel, ac a annogodd Dafydd i gyfrif Israel.' *I ddywedyd*—wrth Joab, adn. 2; *Dos, cyfrif Israel a Juda*—sef y gwrywaid ag oeddynt yn addas a galluog i ddwyn arfau rhyfel, adn. 9.

Adn. 2. *O Dan hyd Beerseba*] O gŵr eithaf y gogledd hyd gŵr eithaf y deau, Jos. xix. 47; *fel y gwypwyf rifedi y bobl*—a ydynt hwy yn ddigon lluosog i gario allan fy nghynlluniau arfaethedig o ymosod ar y cenhedloedd cymydogaethol. Ymddengys mai oddiar falchder, gwâg-ymffrost, a hyder mewn braich o gnawd yn fwy nag yn ffyddlondeb Duw, y parodd Dafydd i hyn gael ei wneuthur; ac yr oedd y pechodau hyn mor amlwg, fel ag y gwelwyd hwynt nid yn unig gan Dduw, ond hefyd gan Joab a holl dywysogion y llu, adn. 3, 4.

Adn. 3. *Yr Arglwydd dy Dduw a chwanego y bobl yn gan cymaint ag y maent*] Fel pe dywedasai Joab, Nid oes genyf fi, o'm rhan fy hun, ddim gwrthwynebiad i luosogrwydd dy filwyr, a dymunwn i ti cyn marw gael eu gweled yn gan lluosocach nag y maent; ond nid wyf yn canfod un rheswm i ti eu cyfrif hwynt yn awr. Yr oedd Joab a thywysogion y llu yn ofni fod rhyw ddrwg yn ngwreiddyn hyn, a mynent attal Dafydd oddiwrtho.

Adn. 4. *A gair y brenin fu drech na Joab ac na thywysogion y llu*] Fel y bu gorfod iddynt fyned allan i gyfrif y bobl, er bod hyny yn 'ffiaidd gan Joab,' 1 Cron. xxi. 6.

y llu, o ŵydd y brenin, i gyfrif pobl
Israel.
5 ¶ A hwy a aethant dros yr Ior-
ddonen, ac a wersyllasant yn Aroer,
o'r tu deau i'r ddinas *sydd* yn
nghanol dyffryn Gad, a thua Jazer.
6 Yna y daethant i Gilead, ac i
wlad Tahtim-hodsi; daethant *hefyd*
i Ddan-jaan, ac o amgylch i Sidon;
7 Daethant *hefyd* i amddiffynfa
Tyrus, ac i holl ddinasoedd yr Hef-
iaid, a'r Canaaneaid; a hwy a aeth-
ant i du deau Juda, i Beerseba.
8 Felly y cylchynasant yr holl
wlad, ac a ddaethant yn mhen naw
mis ac ugain diwrnod i Jerusalem.
9 A rhoddes Joab nifer cyfrif y
bobl at y brenin: ac Israel ydoedd
wyth gan mil o wŷr grymus yn tynu
cleddyf; a gwŷr Juda *oedd* bum can
mil o wŷr.
10 ¶ A chalon Dafydd a'i taraw-
odd ef, ar ol iddo gyfrif y bobl.
A dywedodd Dafydd wrth yr Ar-
glwydd, Pechais yn ddirfawr *yn* yr
hyn a wnaethym: ac yn awr dilea,
atolwg, O Arglwydd, anwiredd
dy was; canys ynfyd iawn y
gwnaethym.
11 A phan gyfododd Dafydd y

---

Adn. 5. *A hwy a aethant dros yr Iorddonen*] I gyfrif y ddau lwyth a hanner yn gyntaf, sef Reuben, Gad, a hanner llwyth Manasse, y rhai a breswylient o du y dwyrain i'r Iorddonen. *Dyffryn Gad*—Saes. '*afon* Gad.' Y mae y gair gwreiddiol yn arwyddo afon a dyffryn: gwel ar Jos. xiii. 9. Ond y mae yn fwy naturiol meddwl fod y ddinas yn sefyll yn nghanol *dyffryn*, yn hytrach nag yn nghanol *afon*.

Adn. 6. *I wlad Tahtim-hodsi*] 'Gwlad isel newydd ei chyfaneddu,' yw ystyr yr enw hwn, fel ei gelwir ar ymyl y ddalen; ac y mae yn debyg mai y wlad o du y dwyrain i Gilead a feddylir, yr hon a ennillasai yr Israeliaid oddiar yr Hagariaid yn amser Saul, 1 Cron. v. 10. *Daethant hefyd i Ddan-jaan*—neu i 'Ddan y *coed*,' wrth droed mynydd Libanus, yn agos i darddle yr Iorddonen, y ddinas bellaf i'r gogledd o holl ddinasoedd Israel yn ngwlad yr addewid; *ac o amgylch i Sidon*—sef i'r parthau cyfagos i Sidon, lle yr oedd Israel yn cyfaneddu. Nid oedd dim a fynent hwy â Sidon ei hun, yr hon oedd ar lan Môr-y-canoldir, yn y gorllewin, ac yn meddiant y cenhedloedd.

Adn. 7. *Daethant hefyd i amddiffynfa Tyrus*] Sef hen ddinas Tyrus, lle yr oedd Teml Hercules, yr hon oedd yn sefyll allan yn y wlad: yr oedd y ddinas newydd wedi ei hadeiladu ar graig yn y môr. *Ac i holl ddinasoedd yr Hefiaid a'r Canaaneaid*—llawer o ba rai oeddynt yn preswylio fyth mewn dinasoedd yn Nghaanan. *I Beerseba*—gan deithio a chyfrif ar hyd ochr orllewinol yr holl wlad, gyda glan Môr-y-canoldir, o Sidon i Beerseba yn nherfyn deheuol eithaf y wlad. Er nad enwir ond y llinell allanol, eto yr oeddynt hwy yn cyfrif y dinasoedd mewnol hefyd trwy yr holl wlad.

Adn. 8. *Felly y cylchynasant yr holl wlad*] Gan ddechreu yn Aroer yn y DWYRAIN, a myned oddiyno i Ddan-jaan yn y GOGLEDD, a throsodd i Sidon yn y GORLLEWIN, ac oddiyno i Beerseba yn y DEAU; *ac a ddaethant yn mhen naw mis ac ugain diwrnod i Jerusalem*—ac felly rhaid eu bod yn ddiwyd iawn, i allu gorphen y fath orchwyl mewn cyn lleied o amser. Oddiwrth 1 Cron. xxi. 6, nyni a ddysgwn na chyfrifodd Joab lwythau Lefi a Benjamin, am fod yn 'ffiaidd ganddo ef air y brenin.' Bu William y Gorchfygwr *chwe blynedd* yn cyfrif ansawdd Lloegr a Chymru, ar ol dechreu yn 1080, am yr hyn y cawn hanes yn y *Domesday Book*.

Adn. 9. *Ac Israel ydoedd wyth gan mil—a gwŷr Juda oedd bum can mil*] Yn alluog i ddwyn arfau i ryfel. Ond yn 1 Cron. xxi. 5. cawn y niferi yn amrywio yn fawr: yn ISRAEL, *un cant ar ddeg o filoedd;* ac yn JUDA, *bedwar can mil a deng mil a thriugain.* Nid oes un o'r ddau gyfrif hyn yn rhy fawr, ond nis gall y naill a'r llall fod yn gywir. Y mae amrai o'r berniaid wedi ceisio eu cysoni mewn gwahanol ffyrdd, y rhai y byddai yn rhy faith eu dyfynu yma. DR. A. CLARKE a ddywed, 'Y mae mwy o lygriadau wedi cymeryd lle yn *niferi* llyfrau hanesiol yr Hen Destament, nag mewn un ran arall o'r coflyfrau cysegredig. Ceisio eu cysoni hwynt yn mhob rhan sydd lafur ofer: gwell cyfaddef ar unwaith yr hyn nas gellir yn llwyddiannus ei wadu, er fod ysgrifenwyr gwreiddiol yr Hen Destament yn ysgrifenu dan ddylanwad yr Ysbryd Dwyfol, eto na ddywedir i ni fod yr un dylanwad yn disgyn ar holl *adysgrifenwyr* eu geiriau, fel ag i'w hollol attal rhag gwneuthur camgymeriadau. Hwy a allent gamgymeryd, a darfu iddynt gamgymeryd; ond gwasanaetha cydmhariad gofalus o'r gwahanol lyfrau hanesiol i gywiro holl wallau pwysig yr adysgrifenwyr. Gwel Draethodau Dr. Kennicott.'

Adn. 10. *A chalon Dafydd a'i tarawodd ef*] Ar ol i'w gydwybod fod yn cysgu yn dawel am oddeutu deg mis, tra y buwyd yn cyfrif y bobl, o'r diwedd hi a ddeffrôdd i'w bigo ef fel neidr, yr hyn a wnaeth iddo edifarhau yn wirioneddol gerbron yr Arglwydd. *Pechais yn ddirfawr yn yr hyn a wnaethym*—sef wrth gyfrif y bobl mewn balchder a hyder cnawdol, heb ymgynghori â Duw, na thalu hanner sicl dros bob un yn offrwm i'r Arglwydd yn ol y gyfraith, Exod. xxx. 12, 13. *Dilea, atolwg, O Arglwydd, anwiredd dy was*—o ran yr euogrwydd o hono a'r gosp am dano; *canys ynfyd iawn y gwnaethym*—y mae pob pechod yn ynfydrwydd, er fod rhai pechodau yn fwy ynfyd na'u gilydd.

Adn. 11. *A phan gyfododd Dafydd y bore*] Heb gael nemawr o orphwysdra trwy y nos, gallwn feddwl, oddiwrth frathiadau cydwybod

bore, daeth gair yr Arglwydd at
Gad y proffwyd, gweledydd Dafydd,
gan ddywedyd,
12 Dos a dywed wrth Dafydd,
Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd;
Yr ydwyf fi yn gosod tri *pheth* o'th
flaen di; dewis i ti un o honynt, a
gwnaf *hyny* i ti.
13 Felly Gad a ddaeth at Dafydd,
ac a fynegodd iddo, ac a ddywedodd
wrtho, A *fyni* ddyfod i ti saith
mlynedd o newyn yn dy wlad? neu
ffoi dri mis o flaen dy elynion, a hwy
yn dy erlid? ai ynte bod haint yn y
wlad dri diwrnod? Yn awr ym-
gynghora, ac edrych pa beth a at-
ebaf i'r hwn a'm hanfonodd i.
14 A dywedodd Dafydd wrth Gad,
Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi: bid
i mi syrthio yn awr yn llaw yr Ar-
glwydd, (canys aml *yw* ei drugar-
eddau ef,) ac na chwympwyf yn llaw
dyn.
15 Yna y rhoddes yr Arglwydd
haint yn Israel, o'r bore hyd yr am-
ser nodedig: a bu farw o'r bobl, o
Dan hyd Beerseba, ddeng mil a
thriugain o wŷr.
16 A phan estynasai yr angel ei
law *at* Jerusalem i'w dinystrio hi,
edifarhaodd ar yr Arglwydd y drwg
hwn, ac a ddywedodd wrth yr angel
oedd yn dinystrio y bobl, Digon
bellach: attal dy law. Ac angel yr
Arglwydd *oedd* wrth lawr-dyrnu
Arafnah y Jebusiad.

---

enog; *daeth gair yr Arglwydd at Gad*—yr hwn oedd broffwyd neu weledydd teuluaidd Dafydd, neu gapelwr iddo, trwy yr hwn yr ymgynghorai y brenin â Duw weithiau, mewn achosion dyrus. Y mae yn debyg nad anfonodd Dafydd ei weledydd at Dduw wrth fyned i rifo y bobl, ac am hyny y mae Duw yn ei anfon ef at Dafydd wrth fyned i'w gospi ef am hyny.

Adn. 12. *Yr ydwyf fi yn gosod tri pheth o'th flaen di*] I ddangos i Dafydd a'r byd nad peth damweiniol, nac effeithiau unrhyw achos naturiol, oedd y dialedd ag y daethai Gad yn awr i'w gyhoeddi, y mae Duw yn rhoddi iddo ei ddewis o dri drwg, un o ba rai oedd i gael ei weinyddu yn ddiatreg arno ef; canys yn ol y gyfraith, (Exod. xxx. 12,) yr oedd rhyw fath o *bla* i ddisgyn ar y bobl pan rifid hwynt heb roddi hanner sicl yn iawn am eu heinioes.

Adn. 13. *A fyni ddyfod i ti saith mlynedd o newyn yn dy wlad?*] Yn nghyfieithiad y LXX, *tair* blynedd o newyn ydyw, ac felly y mae yn 1 Cron. xxi. 12; ac y mae hyny yn cyfateb yn well i'r *tri* mis o ffoedigaeth o flaen ei elynion, a'r haint *dri* diwrnod. Gallasai adysgrifenydd yn hawdd gamgymeryd y lythyren *gimel*, TAIR, am *zain*, SAITH, gan eu bod yn dra thebyg i'w gilydd yn y wyddor Hebreig. A fyni ddyfod i ti *dair* blynedd eto o newyn yn dy achos dy hun, fel y daeth o'r blaen yn achos Saul, pen. xxi. 1? *Neu ffoi dri mis o flaen dy elynion, a hwy yn dy erlid?*—nid ymladd yn wrol â hwy am dri mis, ond gorfod *ffoi* o'u blaen am yr yspaid hwnw, a hwythau yn lladd ei bobl ef, ac yn anrheithio ei feddiannau. *Ai ynte bod haint yn dy wlad dri diwrnod?*—yr hwn a elwir 'cleddyf yr Arglwydd' yn 1 Cron. xxi. 12, i'w wahaniaethu oddiwrth gleddyf rhyfel gan ddynion. *Yn awr ymgynghora*—â'th gyfeillion, neu ystyria ynot dy hun, pa un o'r tair barn hyn a ddewisi, fel y gallwyf roddi atebiad i'r Arglwydd yr hwn a'm hanfonodd atat.

Adn. 14. *Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi*] Yn yr olwg ar bob un o'r drygau hyn. *Bid i mi syrthio yn llaw yr Arglwydd*—i gael fy nghospi trwy newyn neu haint; *ac na chwympwyf yn llaw dyn*—i gael fy erlid o flaen fy ngelynion dri mis. Wrth syrthio yn llaw yr Arglwydd, ei Dduw cyfammodol, yr hwn y mae ei drugareddau yn *aml*, efe a obeithiai gael trugaredd ganddo eto, fel y cawsai yn fynych o'r blaen; tra nas gallai ddysgwyl un drugaredd oddiar ddwylaw ei elynion gwaedlyd. Y mae y LXX yn chwanegu yma, *Felly Dafydd a ddewisodd yr haint*—ac yn hyn efe a ymddygodd yn ardderchog. Pe dewisasai efe *ryfel*, ni buasai ei ddiogelwch personol ef mewn dim perygl, canys yr oedd deddf wedi ei gwneuthur eisioes yn attal iddo ef fyned allan i'r rhyfel, pen. xxi. 17. Pe dewisasai efe *newyn*, buasai ei gyfoeth ei hun yn diogelu cynaliaeth iddo ef a'i deulu. Eithr efe a ddanghosodd fawrhydri ei feddwl wrth ddewis yr HAINT, i ddifrodiadau yr hwn yr oedd ef ei hun a'i deulu yr un mor agored a'r gwaelaf o'i ddeiliaid.

Adn. 15. *Yna y rhoddes yr Arglwydd haint yn Israel*] Trwy offerynoliaeth angel, mewn modd anadnabyddus i ni; *o'r bore hyd yr amser nodedig*—sef o'r bore y daeth Gad at Dafydd, hyd ganol y trydydd dydd, yr hwn oedd yr amser a nodwyd, adn. 13. Y mae y LXX yn ei ddarllen, 'hyd bryd ciniaw;' a'r Syriaeg a'r Arabaeg, 'hyd y chweched awr.' Y mae yn eglur i'r haint gael ei attal cyn diwedd y trydydd diwrnod, canys attaliwyd yr angel cyn iddo orphen ei waith yn Jerusalem, adn. 16. *A bu farw o'r bobl o Dan hyd Beerseba*—o'r naill derfyn i'r wlad hyd y llall, adn. 2; *ddeng mil a thriugain*—oddeutu un o bob ugain o holl nifer ei filwyr cyfrifedig. Hawdd y gallasai Duw beri i'w angel eu lladd hwynt oll; eithr 'yn ei lid efe a gofiodd drugaredd,' ac a roddes brawf amlwg mai 'aml yw ei drugareddau ef.' adn. 14.

Adn. 16. *A phan estynasai yr angel ei law at Jerusalem i'w dinystrio hi*] Ymddengys mai Jerusalem oedd y lle diweddaf y cyfrifwyd y bobl, a'r lle diweddaf ag y daeth yr haint i mewn iddo. Yr oedd yr angel yn ymddangos ar ddull dyn, â chleddyf noeth yn ei law, i argyhoeddi y bobl yn llawnach nad haint naturiol oedd hwn, ond un yn cael ei

17 A llefarodd Dafydd wrth yr
Arglwydd, pan ganfu efe yr angel
a darawsai y bobl, a dywedodd,
Wele, myfi a bechais, ac a wnaeth-
ym yn ddrygionus: ond y defaid
hyn, beth a wnaethant hwy? bydd-
ed, atolwg, dy law arnaf fi, ac ar dŷ
fy nhad.
18 ¶ A Gad a ddaeth at Dafydd
y dwthwn hwnw, ac a ddywedodd
wrtho, Dos i fyny, cyfod allor i'r
Arglwydd yn llawr-dyrnu Arafnah
y Jebusiad.
19 A Dafydd a aeth i fyny yn ol
gair Gad, fel y gorchymynasai yr
Arglwydd.
20 Ac Arafnah a edrychodd, ac a
ganfu y brenin a'i weision yn dyfod
tuag ato. Ac Arafnah a aeth allan,
ac a ostyngodd ei wyneb i lawr ger-
bron y brenin.
21 Ac Arafnah a ddywedodd, Pa-
ham y daeth fy arglwydd frenin at
ei was? A dywedodd Dafydd, I
brynu genyt ti y llawr-dyrnu, i ad-
eiladu allor i'r Arglwydd, fel yr at-
talier y pla oddiwrth y bobl.
22 A dywedodd Arafnah wrth
Dafydd, Cymered, ac offrymed fy
arglwydd frenin yr hyn *fyddo* da yn
ei olwg: wele yr ychain yn boeth-
offrwm, a'r ffustiau ac offer yr ych-
ain yn lle cynud.
23 Hyn oll a roddodd Arafnah,
*megys* brenin, i'r brenin. A dywed-
odd Arafnah wrth y brenin, Yr Ar-
glwydd dy Dduw a fyddo boddlon
i ti.
24 A dywedodd y brenin wrth
Arafnah, Nage; eithr gan brynu y
prynaf *ef* mewn pris genyt: ac nid
offrymaf i'r Arglwydd fy Nuw
boeth-offrymau rhad. Felly Dafydd
a brynodd y llawr-dyrnu a'r ychain,
er deg a deugain o siclau arian.
25 Ac yno yr adeiladodd Dafydd
allor i'r Arglwydd, ac a offrymodd
boeth-offrymau ac offrymau hedd.
A'r Arglwydd a gymododd â'r wlad,
a'r pla a attaliwyd oddiwrth Israel.

---

weinyddu arnynt trwy farn uniongyrchiol oddiwrth yr Arglwydd. *Edifarhaodd ar yr Arglwydd y drwg hwn*—hyny yw, nid aeth efe yn mlaen i ddinystrio hyd ddiwedd y trydydd dydd, fel y bygythiasai: gwel ar Gen. vi. 6, a Num. xxiii. 19. *Digon bellach*—i ateb holl ddybenion fy anfoddlonrwydd; *attal dy law*—rhag taro trigolion Jerusalem â haint, yr hyn ond odid a ddechreuasai. Mynai Duw, ar edifeirwch a gweddi Dafydd, arbed Jerusalem, am fod ei arch ef yno yn awr, a bod ei deml i gael ei hadeiladu yno ar ol hyn. *Ac angel yr Arglwydd oedd wrth lawr-dyrnu Arafnah y Jebusiad*—yn sefyll rhwng y ddaear a'r nefoedd yn ngolwg Dafydd, â'i gleddyf noeth yn ei law, 1 Cron. xxi. 16. Yr un oedd yr *Arafnah* hwn ag *Ornan.*

Adn. 17. *A llefarodd Dafydd*] Nid wrth yr angel, ond wrth yr Arglwydd yr hwn a anfonasai yr angel; *Wele, myfi a bechais*—wrth beri cyfrif y bobl. Efe a wnaethai y cyfaddefiad hwn o'r blaen, adn. 10; ond yma y mae yn cymeryd yr holl ddrwg arno ei hun. *Ond y defaid hyn*—ei ddeiliaid, y rhai a ystyriai efe mor ddiniwed a defaid; *beth a wnaethant hwy?*—beth? hwy a wnaethant lawer o bethau tra beius. Yr oeddynt wedi gwrthryfela gydag Absalom a Seba; ac wedi gwrthod defnyddio eu manteision dan lywodraeth Dafydd i ddiwygio mewn crefydd; a gallwn feddwl fod y rhan fwyaf o honynt yn ymffrostio ac yn hyderu yn eu nifer a'u nerth eu hunain i wynebu eu gelynion; ac felly yr oedd yn gyfiawn iddynt gael eu taro fel hyn, i ddangos iddynt mai gwellt yw pob cnawd, ac nad oedd eu nerth a'u lluosogrwydd o ddim lles iddynt heb Dduw. *Bydded, atolwg, dy law arnaf fi*—os oes chwaneg o farn i fod, disgyned arnaf fi, yr hwn a orfodais i'r cyfrifiad hwn o'r bobl gymeryd lle, adn. 4; *ac ar dŷ fy nhad*—ei deulu a'i berthynasau agosaf, y rhai ond odid a gymhellent Dafydd i'r pechod hwn.

Adn. 18. *A Gad a ddaeth at Dafydd y dwthwn hwnw*] Sef y *dydd* hwnw, yn ol archiad angel yr Arglwydd, 1 Cron. xxi. 18. *Cyfod allor i'r Arglwydd yn llawr-dyrnu Arafnah*—dywed y rabbiniaid mai yn y lle hwn y bu Cain ac Abel yn offrymu i'r Arglwydd; a meddylir mai yma yr aberthodd Abraham yr hwrdd yn lle ei fab; ac mai yma y safai allor y poeth-offrwm yn y deml ar ol hyn: gwel ar 2 Cron. iii. 1.

Adn. 19. *Fel y gorchymynasai yr Arglwydd*] Gan fod yr hwn a elwir yr ANGEL yn 1 Cron. xxi. 18, yn cael ei alw yma yn ARGLWYDD neu JEHOFA, ymddengys mai Angel mawr y Cyfammod, yr hwn wedi hyn a wisgodd natur dyn, oedd yr angel ag y cyfeirir ato yn adn. 16.

Adn. 20. *Ac Arafnah a edrychodd*] Pan ganfu Arafnah a'i feibion angel yr Arglwydd, dywedir (1 Cron. xxi. 20,) iddynt ymguddio, ond odid yn mysg yr ysgubau gwenith yn y llawr-dyrnu; ac yn fuan wedi hyny, pan edrychodd Arafnah allan o'i guddfa, efe a ganfu Dafydd a'i weision yn dyfod tuag ato, fel y dywedir yma. *Ac Arafnah a aeth allan*—i gyfarfod â Dafydd; *ac a ostyngodd ei wyneb i lawr*—o wir barch i'r brenin.

Adn. 21. *Paham y daeth fy arglwydd frenin at ei was?*] Nid ei geryddu am ddyfod i'r llawr-dyrnu y mae Arafnah, ond rhyfeddu ymostyngiad mawr y brenin yn dyfod at Jebusiad fel efe, un o hiliogaeth hen elynion Israel. *I brynu genyt ti y llawr-dyrnu, &c.* er fod yr Arglwydd eisioes wedi attal y pla ar edifeirwch Dafydd, eto efe a fynai i Dafydd

adeiladu allor iddo, ac offrymu arni boeth-offrymau ac offrymau hedd, i ddangos mai trwy ebyrth felly, yn gysgod o aberth mawr ei Fab, yr oedd maddeuant, heddwch, ac arbediad bywyd i'w gael.

Adn. 22. *Cymered ac offrymed fy arglwydd frenin yr hyn fyddo da yn ei olwg*] Caniatäai Arafnah yn y fan i Dafydd adeiladu allor ar ei lawr-dyrnu ef, ac offrymu i'r Arglwydd o'i bethau ef yr hyn a ewyllysiai ei galon, heb dalu dim am danynt. *Wele yr ychain yn boeth-offrwm*—y rhai oeddynt yn dyrnu yr ŷd; *a'r ffustiau ac offer yr ychain*—yn danwydd i losgi y poeth-offrwm. Wrth y 'ffustiau' hyn y deallir math ar geir âg olwynion neu roliau danneddog, y rhai a lusgid gan yr ychain ar draws yr ysgubau wrth ddyrnu. Yn ol 1 Cron. xxi. 23, y mae efe hefyd yn cynyg y *gwenith yn fwyd-offrwm*, yr hwn oedd bob amser yn canlyn y poeth-offrymau a'r offrymau hedd.

Adn. 23. *Hyn oll a roddodd Arafnah megys brenin*] Gyda haelioni nad allasai fod yn fwy pe daethai oddiwrth frenin. Ond tybia rhai fod Arafnah yn frenin y Jebusiaid cyn i Dafydd eu darostwng hwy, neu yn fab ac etifedd y brenin hwnw. Ond y mae yr ymadrodd 'megys brenin' yn eisiau yn y LXX, y Syriaeg, a'r Arabaeg, yn nghyda thri o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi, ac yn y lle cyfredol yn 1 Cron. xxi. *I'r brenin*—sef i Dafydd, yr hwn oedd yr unig frenin yn y lle. *Yr Arglwydd dy Dduw a fyddo boddlon i ti*—i'th offrwm, fel ag i symud ymaith yr haint o'r wlad. Y mae yn debyg na wyddai Arafnah na Dafydd eto fod yr Arglwydd eisioes wedi gorchymyn i'r angel attal ei law, adn. 16.

Adn. 24. *Nid offrymaf i'r Arglwydd fy Nuw boeth-offrymau rhad*] Yn briodol y sylwa Clarke, 'Yr hwn a fedd grefydd nad yw yn *costio dim iddo*, a fedd grefydd nad yw yn *werth dim*: ac ni fydd i neb werthfawrogi ordinhadau Duw, os na fydd i'r ordinhadau hyny gostio dim iddo. Pe buasai cynygiad haelfrydig Arafnah yn cael ei dderbyn, *aberth Arafnah*, ac nid eiddo *Dafydd*, a fuasai; ac nid atebasai y dyben o symud ymaith anfoddlonrwydd y Goruchaf. Dafydd a bechodd, ac nid Arafnah; ac am hyny rhaid i Dafydd offrymu aberth, ac ar ei gost ei hun hefyd.' *Felly Dafydd a brynodd y llawr-dyrnu a'r ychain er deg a deugain o siclau arian*—yr hyn, yn ol 2*s*. 6*c*. y sicl, oedd £6 5*s*. o'n harian ni. Yn 1 Cron. xxi. 25, dywedir i Dafydd roddi am y *lle* 'chwe chan sicl o *aur* wrth bwys;' yr hyn, yn ol £1 16*s*. 6*c*. y sicl, a gyrhaedda i £1,095. Dichon ei fod yn son yma am y pris a dalwyd am y llawr-dyrnu, yr ychain, a'r offer; ac yno, am yr holl dir oddiamgylch, ar yr hwn yr adeiladwyd y deml a'i chynteddau, yr hwn yn ddiau oedd yn llawer helaethach na'r llawr-dyrnu; a gallwn feddwl fod tŷ Arafnah, a rhai adeiladau ereill hefyd, yn sefyll arno.

Adn. 25. *Dafydd—a offrymodd boeth-offrymau ac offrymau hedd*] Y poeth-offrymau oeddynt mewn effaith yn weddiau ar i Dduw symud y pla; a'r offrymau hedd oeddynt gydnabyddiad o ddaioni Duw, yr hwn eisioes a roddasai i Dafydd ryw obaith am y drugaredd hon. *A'r Arglwydd a gymododd â'r wlad*—ac a roddes arwydd o hyny trwy ddanfon tân o'r nefoedd ar allor y poeth-offrwm, 1 Cron. xxi. 26; *a'r pla a attaliwyd oddiwrth Israel*—fel na bu neb mwyach farw o'r haint trwy yr holl wlad. Y mae 1 Cron. xxii, a'r saith bennod ddiweddaf o'r llyfr hwnw, yn canlyn yn briodol yma i orphen hanes Dafydd. Tybia Dr. Delany i Dafydd ysgrifenu Salm xci yn goffadwriaeth o'i waredigaeth oddiwrth yr haint hwn.

---

# LLYFR CYNTAF
# Y BRENHINOEDD.

BERNIR yn gyffredin mai *Ezra* yr offeiriad a gasglodd yr hanes a geir yn nau Lyfr y Brenhinoedd, ac iddo grynhoi ei ddefnyddiau o hen goflyfrau dilys dwy frenhiniaeth Israel a Juda. Ymddengys fod gwyr enwocaf y genedl yn cadw coflyfrau o'u helyntion gwladol a chrefyddol o oes i oes, ac i awdwr y llyfrau hyn gasglu ei faterion o blith y llyfrau hyny, a hyny dan ddwyfol ysbrydoliaeth. Y mae pob rheswm i gredu fod yr awdwr yn *offeiriad* neu *broffwyd*, trwy mai ysgrifenu hanes foesol y deml a chrefydd oedd ei brif amcan, yn hytrach na hanes wladwriaethol yr amserau hyny. Ymddengys i'r llyfrau hyn gael eu hysgrifenu yn ystod caethiwed Babilon, neu ar ol hyny, gan fod yr amgylchiad hwnw yn cael ei nodi yn niwedd yr Ail Lyfr: gwel hefyd 2 Bren. xvii. 23. Y mae y Llyfr Cyntaf hwn yn cynwys hanes 119 o flynyddau, sef o'r flwyddyn O. B. 2989 hyd O. B. 3108. Cynwysa amrai bethau tra dyddorol, megys, (1) Marwolaeth Dafydd, pen. i, ii. (2) Teyrnasiad gogoneddus Solomon, a'i waith yn adeiladu ac yn cysegru y deml, pen. iii—x. (3) Ei gwymp ysgeler, pen. xi. (4) Rhaniad y frenhiniaeth rhwng Rehoboam a Jeroboam, pen. xii—xiv. (5) Teyrnasiad Abiam ac Asa ar Juda, a Nadab a Baasa ac ereill ar Israel, pen. xv, xvi. (6) Hanes Elias, pen. xvii-xix. (7) Llwyddiant, drygioni, a marwolaeth Ahab, pen. xx—xxii.

---

## PENNOD I.

A'R brenin Dafydd *oedd* hen, *ac* a aethai mewn oedran; er iddynt ei enhuddo ef mewn dillad, eto ni chynhesai efe.

2 Am hyny ei weision a ddywed-

---

PEN. I. Adn. 1. *A'r brenin Dafydd oedd hen*] Oddeutu 70 mlwydd oed: gwel ar 2 Sam. v. 4, 5. *Er iddynt ei enhuddo ef mewn dillad, eto ni chynhesai efe*—ni chyn-

asant wrtho, Ceisier i'm harglwydd
frenin lances o forwyn; a safed hi
o flaen y brenin, a bydded yn gwneu-
thur amgeledd iddo, a gorwedded
yn dy fynwes, fel y gwresogo fy
arglwydd frenin.
3 A hwy a geisiasant lances dêg
trwy holl fro Israel; ac a gawsant
Abisag y Sunamees, ac a'i dygasant
hi at y brenin.
4 A'r llances *oedd* dêg iawn, ac
oedd yn amgeleddu y brenin, ac yn
ei wasanaethu ef: ond ni bu i'r
brenin a wnaeth â hi.
5 ¶ Ac Adoniah mab Haggith a
ymddyrchafodd, gan ddywedyd, Myfi
a fyddaf frenin: ac efe a ddarparodd
iddo gerbydau a gwŷr meirch, a
dengwr a deugain i redeg o'i flaen.
6 A'i dad nid anfoddlonasai ef yn
ei ddyddiau, gan ddywedyd, Paham
y gwnaethost fel hyn? yntau hefyd
*oedd* dêg iawn o bryd; ac efe a an-
esid wedi Absalom.
7 Ac o'i gyfrinach y gwnaeth efe
Joab mab Serfiah, ac Abiathar yr
offeiriad: a hwy a gynorthwyasant
ar ol Adoniah.
8 Ond Sadoc yr offeiriad, a
Benaiah mab Jehoiada, a Nathan y
proffwyd, a Simei, a Rei, a'r gwŷr
cedyrn *a fuasai* gyda Dafydd, nid
*oeddynt* gydag Adoniah.
9 Ac Adoniah a laddodd ddefaid,
a gwartheg, a phasgedigion, wrth
faen Zoheleth, yr hwn *sydd* wrth

---

hesai yn ei wely er yr holl ddillad a roddid arno. Yr oedd efe wedi dyoddef llawer o galedi trwy ei holl fywyd, ac wedi bod yn gwersyllu ar hyd y maesydd yn ystod ei ryfeloedd lluosog, ac wedi bod mewn aml a gwahanol flinderau ar hyd ei oes, nes yr oedd efe yn awr yn llawer hynach o ran cyfansoddiad nag a ydoedd o ran blynyddoedd. Yr oedd y gwres wedi cilio o'i waed; a'i afiechyd, yn ol Lightfoot, ydoedd y parlys. Tybia rhai i hyn gymeryd lle oddeutu blwyddyn cyn iddo farw.

Adn. 2. *Am hyny ei weision*] Sef ei feddygon, y rhai a roddasant iddo y cynghor hwn. *Ceisia i'm harglwydd frenin lances o forwyn*—yr hon y mae ei gwres naturiol yn iachus ac adfywiol, ac heb ei wanychu trwy ymddwyn plant: gwel ar Ruth iv. 16. Y mae yr un cynghor yn cael ei roddi gan Galen i iachâu anhwylderau oerion a sychion, ac hefyd gan Bacon Fynach. *A safed hi o flaen y brenin*—i weini iddo a'i amgeleddu; *a gorwedded yn dy fynwes*—bydded i ti ei phriodi. Y mae yn eglur mai hyny a feddylir, onidê ni feiddiasai ei feddygon roddi y cynghor, ac ni wnaethai Dafydd ufyddhau iddo, yn enwedig yn awr ar wely angau. Gallwn feddwl hefyd mai yr ystyriaeth ei bod hi yn wraig gyfreithlon i Dafydd a barodd i ymddygiad Adoniah, wrth chwenychu cael y fenyw hon yn wraig iddo ei hun, fod mor ysgeler yn ngolwg Solomon; canys efe a dybiai ei fod ef, wrth briodi gwraig y brenin, yn amcanu am yr orsedd.

Adn. 3. *A hwy a geisiasant lances dêg*] Nid i hudo y brenin, eithr am fod tegwch gwedd, neu wynebpryd coch a gwŷn, yn argoelio iechyd a gwres o'r fath ag oedd yn angenrheidiol yn yr achos hwn. *Ac a gawsant Abisag y Sunamees*—yr hon a ymgyflwynodd yn wirfoddol i fod yn wraig i'r brenin. *Sunem* oedd ddinas yn llwyth Issacar, Jos. xix. 18.

Adn. 4. *A'r llances oedd dêg iawn*] Yn decach o ran pryd a gwedd na'r cyffredin o ferched Israel; *yn amgeleddu y brenin*—yn gweini iddo yn siriol a ffyddlon y dydd, ac yn gorwedd yn ei fynwes ef y nos i'w gynhesu. *Ond ni bu i'r brenin a wnaeth â hi*—fel gwraig, er iddo ei phriodi, eithr hi a barhaodd fyth yn wyryf; yr hyn a grybwyllir, i arwyddo parhad a chynydd anhwyldeb y brenin.

Adn. 5. *Ac Adoniah mab Haggith*] Sef mab Dafydd o'i wraig Haggith, 2 Sam. iii. 4; *a ymddyrchafodd*—mewn awydd am y frenhiniaeth hyd yn nod cyn marw ei dad, wrth weled nad oedd argoel y codai efe o'i wely byth mwyach. *Ac efe a ddarparodd iddo gerbydau*—fel y gwnaethai Absalom o'r blaen, 2 Sam. xv. 1.

Adn. 6. *A'i dad nid anfoddlonasai ef*] Ni ofynasai ei dad iddo erioed paham y gwnaethai efe y peth hyn neu y peth arall, pan wnelai ar fai, a llawer llai y ceryddodd efe ef am ei feiau; ac yr oedd hyny yn feius iawn yn Dafydd, ac yn niweidiol iawn i Adoniah; canys effaith hyny oedd yr ymddyrchafiad hwn. *Yntau hefyd oedd dêg iawn o bryd*—megys Absalom ei hanner brawd, yr hyn oedd un achos o hoffder ei dad ynddo; *ac efe a anesid wedi Absalom*—yn nesaf ato, 2 Sam. iii. 3, 4. A chan fod Amnon ac Absalom wedi marw, ac yntau yr hynaf yn fyw, tybiai mai efe oedd i fod yn frenin, ac nid Solomon ei frawd ieuangach.

Adn. 7. *Ac o'i gyfrinach y gwnaeth efe Joab, &c.*] Efe a hysbysodd iddynt ei fwriad o gael y frenhiniaeth; *a hwy a gynorthwyasant ar ol Adoniah*—i droi y bobl i'w bleidio ef.

Adn. 8. *Ond Sadoc yr offeiriad*] Yr hwn oedd o deulu Eleazar, ac a gerid yn fwy nag Abiathar gan Dafydd; *a Benaiah*—yr hwn oedd yn dywysog ar warcheidwaid person y brenin, sef y Cerethiaid a'r Pelethiaid, 2 Sam. viii. 18; *a Nathan y proffwyd*—hen gyfaill ffyddlon Dafydd; *a Simei*—yr hwn a felldithiasai Dafydd cyn hyn, ond a oedd yn awr yn ffyddlon iddo; *a Rei*—yr un a Husai, fel y meddylir; *a'r gwŷr cedyrn*—y rhai a fuasent gyda Dafydd yn ei ryfeloedd, ac a enwir yn 2 Sam. xxiii. 24, &c.; *nid oeddynt gydag Adoniah*—yn y gwrthryfel hwn: nid oedd gan Adoniah un gobaith am eu hennill hwy o'i blaid, ac am hyny nid hysbysodd efe iddynt hwy ei gyfrinach, fel y gwnaethai i Joab ac Abiathar.

Adn. 9. *Ac Adoniah a laddodd ddefaid,*

En-rogel, ac a wahoddodd ei holl
frodyr meibion y brenin, a holl wŷr
Juda gweision y brenin.
10 Ond Nathan y proffwyd, a Be-
naiah, a'r gwŷr cedyrn, a Solomon
ei frawd, ni wahoddodd efe.
11 ¶ Am hyny y dywedodd Na-
than wrth Bathseba mam Solomon,
gan ddywedyd, Oni chlywaist ti fod
Adoniah mab Haggith yn teyrnasu,
a'n harglwydd Dafydd heb wybod
*hyny?*
12 Tyred gan hyny yn awr, atol-
wg, rhoddaf i ti gynghor, fel yr
achubech dy einioes dy hun, ac ein-
ioes Solomon dy fab.
13 Dos, a cherdda i mewn at y
brenin Dafydd, a dywed wrtho, Oni
thyngaist ti, fy arglwydd frenin,
wrth dy wasanaethwraig, gan ddy-
wedyd, Solomon dy fab di a deyrn-
asa yn ddiau ar fy ol i, ac efe a
eistedd ar fy ngorseddfainc i? pa-
ham gan hyny y mae Adoniah yn
teyrnasu?
14 Wele, tra fyddech yno eto yn
llefaru wrth y brenin, minau a
ddeuaf i mewn ar dy ol di, ac a sicr-
haf dy eiriau di.
15 ¶ A Bathseba a aeth i mewn
at y brenin i'r ystafell. A'r brenin
oedd hen iawn; ac Abisag y Suna-
mees oedd yn gwasanaethu y brenin.
16 A Bathseba a ostyngodd ei
phen, ac a ymgrymodd i'r brenin.
A'r brenin a ddywedodd, Beth *a
fyni* di?
17 Hithau a ddywedodd wrtho,
Fy arglwydd, ti a dyngaist i'r Ar-
glwydd dy Dduw wrth dy wasan-
aethyddes, *gan ddywedyd,* Solomon
dy fab a deyrnasa yn ddiau ar fy ol
i, ac efe a eistedd ar fy ngorsedd-
fainc i:
18 Ac yn awr, wele, Adoniah sydd
frenin; ac yr awr hon, fy arglwydd
frenin, nis gwyddost ti *hyn.*
19 Ac efe a laddodd wartheg, ac
*anifeiliaid* breision, a defaid lawer
iawn, ac a wahoddodd holl feibion
y brenin, ac Abiathar yr offeiriad,
a Joab tywysog y filwriaeth: ond dy
was Solomon ni wahoddodd efe.
20 Tithau, fy arglwydd frenin, *y
mae* llygaid holl Israel arnat ti, am
fynegi iddynt pwy a eistedd ar or-
seddfainc fy arglwydd y brenin ar
ei ol ef.
21 Os amgen, pan orweddo fy ar-
glwydd frenin gyda'i dadau, yna y

---

*&c.*] Gan wneuthur gwledd frenhinol ar ei goroniad. Trwy fod Abiathar yr *offeiriad* gydag ef, y mae yn debyg i'r anifeiliaid hyn gael eu haberthu, ac i'r cwmni wledda ar gig yr ebyrth; a thrwy hyny efe a gymerai arno dderbyn ei awdurdod oddiwrth Dduw. *Ac a wahoddodd ei holl frodyr*—y rhai oeddynt oll yn ieuangach nag ef, a llawer o honynt yn hŷn na Solomon, ac felly yn anfoddlon fel yntau i Solomon deyrnasu: gwel 1 Cron. iii. 1—9. *A holl wŷr Juda*—y rhai yr amcanai efe eu hennill trwy y wledd hon i'w bleidio ef.

Adn. 10. *Ni wahoddodd efe*] Am ei fod yn eiddigus o Solomon, ac am y gwyddai fod Nathan a'r lleill yn ei bleidio ef.

Adn. 11. *Oni chlywaist ti fod Adoniah mab Haggith yn teyrnasu?*] Er na wahoddwyd Nathan, eto efe a wyddai pa beth oedd ar droed; a mynegodd hyny i Bathseba, fel y byddai iddi hithau ei fynegu i'r brenin, er diddymu y cydfwriad, a sicrhau yr orsedd i Solomon ei mab.

Adn. 12. *Fel yr achubech dy einioes dy hun, ac einioes Solomon dy fab*] Y peth cyntaf a wnai Adoniah, ar ol cael ei sefydlu ar yr orsedd, fyddai ei lladd hi a'i mab, fel rhai yn cydymgais am y goron.

Adn. 13. *Oni thyngaist ti, &c.*] Nid ydym yn cael hanes mewn un man am y llw hwn; ond diamau i Dafydd dyngu wrthi ryw dro, y gwnai efe ei mab hi yn olynydd iddo, am y gwyddai fod Duw ei hun yn bwriadu hyny, 2 Sam. vii. 12. Ac ymddengys fod Nathan yn gwybod am y llw hwnw.

Adn. 14. *Minau a ddeuaf i mewn ar dy ol di*] I wely-ystafell y brenin; *ac a sicrhaf dy eiriau di*—am wrthryfel Adoniah a llw Dafydd.

Adn. 15. *A'r brenin oedd hen iawn*] Fel nas gallai ond odid weled nac adnabod pwy a ddaethai ato, nes i Abisag, yr hon oedd yn ei wasanaethu, fynegu iddo.

Adn. 16. *A Bathseba a ostyngodd ei phen*] O barch iddo fel ei gŵr a'i brenin; *ac a ymgrymodd*—i arwyddo fod ganddi ryw neges neillduol ato.

Adn. 17. *Ti a dyngaist i'r Arglwydd dy Dduw*] Y cai Solomon dy fab deyrnasu ar dy ol di, ac eistedd ar dy orseddfainc; ac nid Adoniah, na neb arall o'th feibion.

Adn. 18. *Ac yn awr, wele, Adoniah sydd frenin*] Y mae efe eisioes, yn ystod dy fywyd di, wedi ymddyrchafu i'r anrhydedd hwn! *Ac yr awr hon, fy arglwydd frenin, nis gwyddost ti hyn*—hi a ddywed hyn, rhag i'r brenin dybied ei bod hi yn ei gyhuddo ef o dori ei lw.

Adn. 19. *Ac efe a laddodd wartheg, &c.*] Gwel ar adn. 8—10.

Adn. 20. *Y mae llygaid holl Israel arnat ti*] Er fod Adoniah wedi traws-ymwthio i'r frenhiniaeth, a bod rhyw ychydig o'r bobl yn ei bleidio ef yn hyny, eto y mae holl Israel fel cenedl yn dysgwyl am i ti benodi pwy sydd i fod yn frenin ar dy ol di.

cyfrifir fi a'm mab Solomon yn
bechaduriaid.
22 ¶ Ac wele, tra yr oedd hi eto
yn ymddyddan â'r brenin, y daeth
Nathan y proffwyd hefyd i mewn.
23 A hwy a fynegasant i'r brenin,
gan ddywedyd, Wele, Nathan y
proffwyd. Ac efe a aeth i mewn o
flaen y brenin, ac a ymgrymodd i'r
brenin â'i wyneb hyd lawr.
24 A dywedodd Nathan, Fy Arglwydd
frenin, a ddywedaist ti,
Adoniah a deyrnasa ar fy ol i, ac efe
a eistedd ar fy ngorseddfainc?
25 Canys efe a aeth i waered
heddyw, ac a laddodd ychain, ac
*anifeiliaid* breision, a defaid lawer,
ac a wahoddodd holl feibion y brenin,
a thywysogion y filwriaeth, ac
Abiathar yr offeiriad; ac wele hwynt
yn bwyta ac yn yfed o'i flaen ef, ac
y maent yn dywedyd, Bydded fyw
y brenin Adoniah.
26 Ond myfi dy was, a Sadoc yr
offeiriad, a Benaiah mab Jehoiada,
a'th was Solomon, ni wahoddodd efe.
27 Ai trwy fy arglwydd frenin y
bu y peth hyn, heb ddangos o honot
i'th was, pwy a eistedd ar orseddfainc
fy arglwydd y brenin ar ei ol
ef?
28 ¶ A'r brenin Dafydd a atebodd
ac a ddywedodd, Gelwch Bathseba
ataf fi. A hi a ddaeth o flaen
y brenin, ac a safodd gerbron y
brenin.
29 A'r brenin a dyngodd, ac a
ddywedodd, *Fel y* mae yr Arglwydd
yn fyw, yr hwn a waredodd fy enaid
i allan o bob cyfyngder,
30 Yn ddiau megys y tyngais
wrthyt ti i Arglwydd Dduw Israel,
gan ddywedyd, Solomon dy fab a
deyrnasa yn ddiau ar fy ol i, ac efe
a eistedd ar fy ngorseddfainc i yn
fy lle i: felly y gwnaf y dydd hwn.
31 Yna Bathseba a ostyngodd ei
phen a'*i* hwyneb i lawr, ac a ymgrymodd
i'r brenin, ac a ddywedodd,
Bydded fy arglwydd frenin
Dafydd fyw byth.
32 ¶ A'r brenin Dafydd a ddywedodd,
Gelwch ataf fi Sadoc yr
offeiriad, a Nathan y proffwyd, a
Benaiah mab Jehoiada. A hwy a
ddaethant o flaen y brenin.

---

Adn. 21. *Os amgen*] Os na fynegai efe yn ei fywyd pwy a fyddai yn frenin ar ol ei farwolaeth; *yna y cyfrifir fi a'm mab Solomon yn bechaduriaid*—wrth hòni hawl i'r frenhiniaeth ar draws y mab hynaf. Neu, buasai eu gwaith yn dywedyd am lw Dafydd ar ol iddo farw, yn peri i Bathseba a'i mab gael eu cyfrif yn bechaduriaid celwyddog, ac yn eu gosod yn agored i gael eu cospi fel teyrnfradwyr.

Adn. 22. *Daeth Nathan y proffwyd hefyd i mewn*] I sicrhau ei geiriau hi, adn. 14.

Adn. 23. *A hwy*] Sef Abisag a Bathseba, a fynegasant i'r brenin fod Nathan yn yr ystafell. *Ac efe a aeth i mewn o flaen y brenin*—at erchwyn ei wely, lle yr ymgrymodd iddo.

Adn. 24. *A ddywedaist ti, Adoniah a deyrnasa ar fy ol i?*] Gwyddai Nathan na ddywedasai Dafydd erioed mo hyny; eithr cymerodd y ffordd hon o ofyn iddo, er dangos rhyfyg Adoniah, ac i sicrhau geiriau Bathseba ei fod ef eisioes yn eistedd ar orseddfainc ei dad.

Adn. 25. *Canys efe a aeth i waered heddyw*] O Jerusalem at y maen Zoheleth yn ymyl En-rogel; *ac a laddodd ychain*—gwel ar adn. 9; *ac wele hwynt yn bwyta ac yn yfed*—fel pe byddai yn llawenydd ganddynt dy fod di ar fin trancedigaeth; *ac y maent yn dywedyd, Bydded fyw y brenin Adoniah*—gan ei gyfarch ef eisioes fel eu brenin, a dymuno ei iechyd a'i lwyddiant.

Adn. 26. *Ond myfi dy was*] Yn nghyda Sadoc a Benaiah; *ni wahoddodd efe*—yr oedd Bathseba wedi hysbysu iddo eisioes na wahoddwyd Solomon, adn. 19; ac yma y mae Nathan yn cyflawni yr hyn oedd ddiffygiol yn ei geiriau hi.

Adn. 27. *Ai trwy fy arglwydd frenin y bu y peth hyn*] Yn ol dy fwriad a'th orchymyn di; *heb ddangos o honot i'th was*—heb fynegu dy fwriad i mi, yr hwn a fynegais i ti oddiwrth yr Arglwydd mai Solomon a deyrnasai ar dy ol di, 2 Sam. vii. 12, 13.

Adn. 28. *Gelwch Bathseba ataf fi*] Yr hon, ar ddyfodiad Nathan i'r ystafell, yn ŵylaidd a enciliasai; ac felly y gwnaeth Nathan ar ei hail ddyfodiad hithau, adn. 32.

Adn. 29. *A'r brenin a dyngodd*] A wnaeth ail lw i gadarnhau y llw o'r blaen. *Yr hwn a waredodd fy enaid i*—sef ei berson, neu ei fywyd naturiol; *allan o bob cyfyngder*—efe a gyfeiriai yn ddiamau at ei waredigaeth o balf y llew a'r arth, o law Goliath a'r Philistiaid a chenhedloedd ereill lawer gwaith, o law Saul lawer tro, ac Absalom ei fab, ac o law Simei a Seba wedi hyny.

Adn. 30. *Yn ddiau megys y tyngais wrthyt ti*] Gwel ar adn. 13; *felly y gwnaf y dydd hwn*—gosodaf Solomon heddyw i eistedd ar fy ngorseddfainc yn fy lle i.

Adn. 31. *Bydded fy arglwydd frenin Dafydd fyw byth*] Er mai cyfarchiad cyffredin i frenhinoedd oedd hwn, eto defnyddia Bathseba yr ymadrodd mewn gwir ffyddlondeb: fel pe dywedasai, Er fy mod yn ewyllysio i'th lw gael ei gadw, ac i'r hawl o olyniad gael ei sicrhau i'm mab, eto yr wyf yn mhell o sychedu am dy farwolaeth di; a byddai yn well genyf, pe byddai bosibl, i ti fyw a mwynhau dy orseddfainc am byth.

33 A'r brenin a ddywedodd wrth-
ynt, Cymerwch weision eich ar-
glwydd gyda chwi, a pherwch i So-
lomon fy mab farchogaeth ar fy
mules fy hun, a dygwch ef i waered
i Gihon.
34 Ac eneinied Sadoc yr offeiriad
a Nathan y proffwyd ef yno yn fren-
in ar Israel: ac udgenwch mewn
udgorn, a dywedwch, Bydded fyw
y brenin Solomon.
35 Deuwch chwithau i fyny ar ei
ol ef, a deued efe i fyny, ac eistedd-
ed ar fy ngorseddfa i; ac efe a
deyrnasa yn fy lle i: canys ef a or-
deiniais i fod yn flaenor ar Israel ac
ar Juda.
36 A Benaiah mab Jehoiada a at-
ebodd y brenin, ac a ddywedodd,
Amen: yr un modd y dywedo Ar-
glwydd Dduw fy arglwydd frenin.
37 Megys y bu yr Arglwydd
gyda'm harglwydd y brenin, felly
bydded gyda Solomon, a gwnaed yn
fwy ei orseddfainc ef na gorsedd-
fainc fy arglwydd y brenin Dafydd.
38 Felly Sadoc yr offeiriad, a
Nathan y proffwyd, a Benaiah mab
Jehoiada, a'r Cerethiaid, a'r Peleth-
iaid, a aethant i waered, ac a
wnaethant i Solomon farchogaeth
ar fules y brenin Dafydd, ac a aeth-
ant ag ef i Gihon.
39 A Sadoc yr offeiriad a gymer-
odd gorn o olew allan o'r babell, ac
a eneiniodd Solomon. A hwy a ud-
ganasant mewn udgorn: a'r holl
bobl a ddywedasant, Bydded fyw y
brenin Solomon.
40 A'r holl bobl a aethant i fyny
ar ei ol ef, yn canu pibellau, ac yn
llawenychu â llawenydd mawr, fel
y rhwygai y ddaear gan eu swn
hwynt.

---

Adn. 32. *Gelwch ataf fi Sadoc yr offeiriad*] Nid Abiathar, yr hwn oedd wedi ymgysylltu âg Adoniah; *a Nathan y proffwyd*—yr hwn a aethai allan o'r ystafell pan ddaethai Bathseba i mewn; *a Benaiah*—tywysog ei wŷr o gard ef, a gwas ffyddlon iddo.

Adn. 33. *Cymerwch weision eich arglwydd gyda chwi*] Ei wŷr o gard, sef y Cerethiaid a'r Pelethiaid, adn. 38; *apherwch i Solomon fy mab farchogaeth ar fy mules fy hun*—yn arwydd fod yr urddas brenhinol wedi ei drosglwyddo iddo ef, a hyny trwy fy nghydsyniad i. Dywed Maimonides fod yn drosedd angeuol i neb farchogaeth ar asyn neu ful y brenin, eistedd ar ei orsedd, neu ymaflyd yn ei deyrnwialen, heb ei ganiatâd ef. *A dygwch ef i waered i Gihon*—nant neu ffynnon fechan yn agos i Jerusalem, o du y gorllewin, yr hon a ymarllwysai i afon Cedron; yr un a Siloam, Ioan ix. 7. Dywed yr Iuddewon fod yn rhaid i'r holl frenhinoedd o dŷ Dafydd gael eu heneinio wrth ymyl ffynnon neu afon, i arwyddo parhad y frenhiniaeth. Ond y mae yn debycach i'r lle hwn gael ei ddewis am ei fod yn agos i Jerusalem, ac yn lle agored, galluog i gynwys y dorf luosog ag y gwyddai Dafydd y byddai iddi ganlyn Solomon yno. A chan fod y lle hwnw o du y gorllewin i'r ddinas, yr oedd yn mhell oddiwrth Adoniah a'i blaid, y rhai oeddynt o du y deau-ddwyrain i Jerusalem; ac am hyny gallai y bobl ymgynull yma heb ofn terfysg na thywallt gwaed.

Adn. 34. *Ac eneinied Sadoc yr offeiriad a Nathan y proffwyd ef yno yn frenin ar Israel*] Dywed yr Iuddewon fod Sadoc yn tywallt yr olew ar ei ben ef, a Nathan yn ei dynu â'i fys oddeutu ei ben ar lun coron. Nid ydym yn darllen i Abiathar eneinio Adoniah: gwnaed ef yn frenin trwy *wledd*, nid trwy *eneiniad*. Yr hwn a ddewisa Duw i fod yn frenin, efe a'i cymhwysa i'r swydd, yr hyn a arwyddid trwy yr eneiniad: gwel ar Exod. xxix. 7, a xxx. 25, &c. *Ac udgenwch mewn udgorn*—i wneyd y peth yn gyhoeddus; *a dywedwch, Bydded fyw y brenin Solomon*—danghoswch yn gyhoeddus eich cymeradwyaeth o hono, eich ffyddlondeb iddo, a dymuniad gwresog am lwyddiant a hir einioes i Solomon eich brenin newydd.

Adn. 35. *Deuwch chwithau i fyny ar ei ol ef*] Ar ol ei eneinio, ei gyhoeddi, a'i gyfarch fel brenin, yr oedd Solomon i farchogaeth ar y fules drachefn, a myned i fyny o Gihon i Jerusalem o flaen y bobl fel eu brenin; ac yr oeddynt hwythau i fyned i fyny ar ei ol ef yn un dorf orfoleddus, adn. 40. *Ac eistedded ar fy ngorseddfa*—i deyrnasu yn fy lle i; *ar Israel ac ar Juda*—sef ar yr holl genedl. Y mae efe yn enwi *Juda*, rhag i wŷr Juda, y rhai a wahoddwyd gan Adoniah i'r wledd, adn. 9, feddwl eu bod hwy yn rhydd oddiwrth lywodraeth Solomon.

Adn. 36. *Amen*] Bydded megys y dywedaist; a rhodded Jehofa, dy Dduw di, arwyddion amlwg o'i foddlonrwydd i Solomon deyrnasu, fel yr wyt ti yn foddlon iddo.

Adn. 37. *Felly bydded gyda Solomon*] I'w arwain, ei amddiffyn, a'i lwyddo yntau yn mhob dim; *a gwnaed yn fwy ei orseddfainc ef*—yn fwy llwyddiannus a diysgog. Gwyddai Benaiah y byddai Dafydd yn eithaf boddlon i ddymuniad o'r fath yma, oddiar ei serch at Solomon, a'i gariad at genedl Israel.

Adn. 38. *Felly Sadoc, &c.*] A wnaethant i Solomon fel y gorchymynasai Dafydd, adn. 33.

Adn. 39. *A Sadoc yr offeiriad a gymerodd gorn o olew allan o'r babell*] Sef yr olew santaidd, yr hwn oedd yn nghadw yn y babell gyda'r arch, Exod. xxx. 23, &c.

Adn. 40. *A'r holl bobl a aethant i fyny ar ei ol ef*] I Jerusalem, adn. 35; *yn canu pibellau*—neu chwythu mewn gwahanol offerynau cerdd; *ac yn llawenychu â llawenydd mawr*—gan neidio, dawnsio, a bloeddio, nes y

41 A chlybu Adoniah, a'i holl
wahoddedigion y rhai *oedd* gydag
ef, pan ddarfuasai iddynt fwyta.
Joab hefyd a glywodd lais yr ud-
gorn; ac a ddywedodd, Paham *y*
*mae* twrf y ddinas yn derfysgol?
42 Ac efe eto yn llefaru, wele,
daeth Jonathan mab Abiathar yr
offeiriad. A dywedodd Adoniah,
Tyred i mewn: canys gŵr grymus
*ydwyt* ti, a daioni a fynegi di.
43 A Jonathan a atebodd ac a
ddywedodd wrth Adoniah, Yn ddi-
au ein harglwydd frenin Dafydd a
osododd Solomon yn frenin.
44 A'r brenin a anfonodd gydag
ef Sadoc yr offeiriad, a Nathan y
proffwyd, a Benaiah mab Jehoiada,
a'r Cerethiaid, a'r Pelethiaid; a
hwy a barasant iddo ef farchogaeth
ar fules y brenin.
45 A Sadoc yr offeiriad a Nathan
y proffwyd a'i heneiniasant ef yn
frenin yn Gihon: a hwy a ddaeth-
ant i fyny oddiyno yn llawen; a'r
ddinas a derfysgodd. Dyna y twrf
a glywsoch chwi.
46 Ac y mae Solomon yn eistedd
ar orseddfainc y frenhiniaeth.
47 A gweision y brenin a ddaeth-
ant hefyd i fendithio ein harglwydd
frenin Dafydd, gan ddywedyd, Dy
Dduw a wnelo enw Solomon yn well
na'th enw di, ac a wnelo yn fwy ei
orseddfainc ef na'th orseddfainc di.
A'r brenin a ymgrymodd ar y gwely.
48 Fel hyn hefyd y dywedodd
y brenin; Bendigedig *fyddo* Ar-
glwydd Dduw Israel, yr hwn a
roddodd heddyw *un* i eistedd ar fy
ngorseddfainc, a'm llygaid inau yn
gweled *hyny*.
49 A'r holl wahoddedigion, y rhai
*oedd* gydag Adoniah, a ddychryn-
asant, ac a gyfodasant, ac a aethant
bob un ei ffordd.
50 ¶ Ac Adoniah oedd yn ofni
rhag Solomon; ac a gyfododd, ac a
aeth ac a ymaflodd yn nghyrn yr
allor.
51 A mynegwyd i Solomon, gan
ddywedyd, Wele, y mae Adoniah
yn ofni y brenin Solomon: canys
wele, efe a ymaflodd yn nghyrn yr

---

gellid meddwl fod eu swn yn ddigon i rwygo y ddaear.

Adn. 41. *A chlybu Adoniah*] Y bloeddio mawr a gymerai le wrth ddylyn Solomon i Jerusalem. *Joab hefyd a glywodd lais yr udgorn*—ac a gasglodd fod rhyw derfysg disymwth wedi tori allan yn y ddinas, yr hwn y dylasai ef, fel tywysog y filwriaeth, fod yno i'w ddarostwng. Neu dichon iddo feddwl fod byddin yn dyfod yn eu herbyn hwy i En-rogel, i gospi y cydfwriad presenol o osod Adoniah yn frenin cyn marw ei dad.

Adn. 42. *Daeth Jonathan mab Abiathar yr offeiriad*] Yr hwn a adewsid yn y ddinas i sylwi pa beth fyddai yn myned yn mlaen yno. *Tyred i mewn*—i ganol y gynulleidfa; *canys gŵr grymus*—neu wrol a geirwir, yr hwn ni fynegai ddim ond gwirionedd, beth bynag fyddai hwnw.

Adn. 43—47. *A Jonathan a atebodd*] A roddes ddarluniad manwl o'r modd y gosodwyd Solomon yn frenin, yn ol ewyllys a chynghor Dafydd, adn. 33, &c.

Adn. 48. *Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel*] Priodolai Dafydd osodiad Solomon i eistedd ar yr orseddfainc i ragluniaeth dirion Duw, er i'r cwbl gael ei wneyd wrth ei orchymyn ef ei hun; a bendithiai yr Arglwydd am ei gyfarwyddo a'i gynorthwyo ef i benderfynu y mater hwn cyn i dân gwrthryfel a therfysg gwbl dori allan, a chyn iddo yntau ymadael â'r byd.

Adn. 49. *A'r holl wahoddedigion*] Llawer o ba rai oeddynt filwyr dewr, megys Joab; *a ddychrynasant*—wrth glywed y pethau uchod gan Jonathan, fel na feiddient godi arfau yn erbyn Solomon; *ac a aethant bob un ei ffordd*—rhag i neb wybod iddynt hwy fod gydag Adoniah.

Adn. 50. *Ac Adoniah oedd yn ofni rhag Solomon*] Rhag y byddai iddo ei gymeryd i fyny fel teyrnfradwr, a'i roddi i farwolaeth; *ac a aeth*—i'r babell yn Gibeon, pen. iii. 4, neu hòno yn Jerusalem, 2 Sam. vi. 17, neu ynte i'r allor a gyfodasid yn llawr-dyrnu Arafnah, 2 Sam. xxiv. 25; *ac a ymaflodd yn nghyrn yr allor*—fel pe buasai yn apelio am nawdd Duw rhag cynddaredd dyn. Yr oedd yr allor, ac ymaflyd yn nghyrn yr allor, yn noddfa i ddrwgweithredwyr yn haeddu angau, a hyny o drefniad Duw, Exod. xxi. 13. Gan fod yr allor yn gysegredig, tybid na halogid hi trwy dywallt arni waed dyn, lle yr oedd gwaed yr ebyrth yn cael ei dywallt. Yr oedd Adoniah fel hyn yn meddwl attal offrymiad yr aberthau hyd nes y byddai i Solomon faddeu iddo. Cymerid y *llofrudd* yn y cyffredin oddiwrth gyrn yr allor i'w ladd; tra yr oedd yno noddfa i droseddwyr llai, o leiaf hyd oni chai y troseddwr ymbil am ei fywyd.

Adn. 51. *Tynged y brenin Solomon i mi heddyw, na ladd efe ei was*] Y mae Adoniah yma yn addef Solomon fel ei frenin, ac yntau ei hun fel ei was a'i ddeiliad ef; a chan fod yn ymwybodol o'i euogrwydd, ac o'r eiddigedd sydd gan frenhinoedd at eu cydymgeiswyr, nis gallai ymfoddloni heb i Solomon dyngu na laddai efe ef.

Adn. 52. *Os bydd efe yn ŵr da*] Yn ddeiliad ufydd a ffyddlon i lywodraeth Solomon o hyn allan, heb geisio codi terfysg na gwrthryfel yn erbyn ei frenin; *ni syrth un o'i*

allor, gan ddywedyd, Tynged y
brenin Solomon i mi heddyw, na
ladd efe ei was â'r cleddyf.
52 A dywedodd Solomon, Os bydd
efe yn ŵr da, ni syrth *un* o'i wallt
ef i lawr; ond os ceir drygioni yn-
ddo ef, efe a fydd marw.
53 A'r brenin Solomon a anfon-
odd, a hwy a'i dygasant ef oddiwrth
yr allor. Ac efe a ddaeth, ac a ym-
grymodd i'r brenin Solomon. A
dywedodd Solomon wrtho, Dos i'th
dŷ.

## PENNOD II.

YNA dyddiau Dafydd a nesasant i
farw; ac efe a orchymynodd i
Solomon ei fab, gan ddywedyd,
2 Myfi wyf yn myned ffordd yr
holl ddaear: am hyny ymnertha, a
bydd ŵr.
3 A chadw gadwraeth yr Ar-
glwydd dy Dduw, i rodio yn ei
ffyrdd ef, i gadw ei ddeddfau ef,
a'i orchymynion, a'i farnedigaeth-
au, a'i dystiolaethau, fel yr ysgrif-
enwyd yn nghyfraith Moses; fel y
llwyddych yn yr hyn oll a wnelych,
ac i ba le bynag y tröech:
4 Fel y cyflawno yr Arglwydd ei
air a lefarodd efe wrthyf, gan ddy-
wedyd, Os dy feibion a gadwant eu
ffyrdd, i rodio ger fy mron mewn
gwirionedd, â'u holl galon, ac â'u
holl enaid, ni thorir (eb efe) na
*byddo* o honot ŵr ar orseddfainc Is-
rael.
5 Tithau hefyd a wyddost yr hyn
a wnaeth Joab mab Serfiah â mi,
*a*'r hyn a wnaeth efe i ddau o dy-
wysogion lluoedd Israel, i Abner
mab Ner, ac i Amasa mab Jether, y
rhai a laddodd efe, ac a ollyngodd
waed rhyfel mewn heddwch, ac a
roddodd waed rhyfel ar ei wregys
*oedd* am ei lwynau, ac yn ei esgid-
iau *oedd* am ei draed.
6 Am hyny gwna yn ol dy ddoeth-
ineb, ac na âd i'w benllwydni ef
ddisgyn i'r bedd mewn heddwch.

---

*wallt ef i lawr*—ni chai efe ddim niwed am a aeth heibio, gymaint a cholli blewyn o wallt ei ben: *ond os ceir drygioni ynddo ef*—rhagllaw, sef unrhyw ddrygioni yn haeddu angau, ac yn enwedig os danghosai efe ryw ymgais am y frenhiniaeth eto; *efe a fydd marw*—am ei ddrygioni hwnw.

Adn. 53. *A'r brenin Solomon a anfonodd*] Am Adoniah ei frawd i'w wyddfod; *ac efe a ddaeth, ac a ymgrymodd*—mewn ffordd o barch ac ymostyngiad i Solomon fel ei frenin. *A dywedodd Solomon wrtho, Dos i'th dŷ*—yno i fyw bywyd cyffredin fel rhyw ddeiliad arall o'r llywodraeth, heb gymeryd arno unrhyw rwysg na mawredd, nac ymyraeth âg achosion y deyrnas.

PEN. II. Adn. 1. *Yna dyddiau Dafydd a nesasant i farw*] Yr hyn yr oedd ef ac ereill yn ei gasglu oddiwrth wendidau cynyddol henaint, darfodedigaeth ei natur, ac arwyddion ereill o ymddattodiad ebrwydd.

Adn. 2. *Myfi wyf yn myned ffordd yr holl ddaear*] Sef i angau, i'r bedd, ac i dragwyddoldeb. Dyma ffordd gyffredin pawb, brenhinoedd a deiliaid, cyfoethogion a thylodion, da a drwg. Rhaid i blant Duw rodio ar hyd glyn cysgod angau fel plant diafol, ond gyda hyn o wahaniaeth, fod Duw gyda hwynt, a bod ei wialen a'i ffon yn eu cysuro: gwel ar Salm xxiii. 4. *Am hyny ymnertha*—o ran dy feddwl yn ngwyneb fy ymadawiad i: *a bydd ŵr*—neu *wrol* i lywodraethu Israel, er mor ieuanc ydwyt. Meddylir nad oedd Solomon yn awr uwchlaw 18 mlwydd oed.

Adn. 3. *A chadw gadwraeth yr Arglwydd*] Neu y gorchymynion a roddes efe i ti i'w cadw, mewn pethau gwladol fel brenin, ac mewn pethau crefyddol fel addolwr y gwir Dduw. *Ei ddeddfau ef, a'i orchymynion, a'i farnedigaethau*—sef y rhai moesol, seremonïol, a gwladol. *Fel yr ysgrifenwyd yn nghyfraith Moses*—yr hon yr oedd efe yn rhwym i ysgrifenu iddo ei hun gopi o honi, fel y gallai ei ddarllen yn fynych, a llywodraethu ei bobl yn ol y gyfraith hòno, Deut. xvii. 18—20. *Fel y llwyddych*—neu 'yr ymddygot yn ddoeth,' yn yr hyn oll a wnelych, ac yn mha le bynag y byddych: gwel y darlleniad ar ymyl y ddalen.

Adn. 4. *Fel y cyflawno yr Arglwydd ei air*] Neu ei addewid o gadw hiliogaeth Dafydd ar orseddfainc Israel, ar yr ammod fod iddynt hwy ufyddhau iddo ef.

Adn. 5. *Yr hyn a wnaeth Joab mab Serfiah â mi*] Sef lladd Absalom yn groes i orchymyn Dafydd, 2 Sam. xviii. 5, 14; *a'r hyn a wnaeth efe i ddau o dywysogion*—sef Abner ac Amasa, 2 Sam. iii. 27, a xx. 10; *y rhai a laddodd efe*—â'i law ei hun; *ac a ollyngodd waed rhyfel mewn heddwch*—ymddygodd tuag atynt fel pe buasent mewn rhyfel, a hyny pan yr oeddynt dan ammodau heddwch; *ac a roddodd waed rhyfel ar ei wregys*—gwânodd hwynt pan yn cymeryd arno eu cusanu, nes yr oedd eu gwaed yn tasgu ar hyd ei wregys ef, ac yn dyferu i lawr i'w esgidiau.

Adn. 6. *Am hyny gwna yn ol dy ddoethineb*] Yr hyn mewn rheswm a chyfiawnder a welych ei fod yn addas; *ac na âd i'w benllwydni ef*—canys yr oedd Joab yn awr yn hen ŵr, wedi bod yn dywysog llu Dafydd am ddeugain mlynedd, 2 Sam. ii. 13; *ddisgyn i'r bedd mewn heddwch*—neu farw o farwolaeth naturiol. Rhaid i ni beidio edrych ar y cynghor hwn o eiddo Dafydd, ar ei wely angau, fel yn tarddu oddiar ysbryd o ddial person-

7 Ond i feibion Barsilai y Gilead-
iad y gwnai garedigrwydd, a bydd-
ant yn mysg y rhai a fwytânt *ar* dy
fwrdd di: canys felly y daethant
ataf fi pan oeddwn yn ffoi rhag Ab-
salom dy frawd di.
8 Wele hefyd Simei mab Gera, mab
Jemini, o Bahurim, gyda thi, yr
hwn a'm melldithiodd i â melldith
dost, y dydd yr aethym i Mahan-
aim: ond efe a ddaeth i waered i'r
Iorddonen i gyfarfod â mi; a mi a
dyngais i'r Arglwydd wrtho ef, gan
ddywedyd, Ni'th laddaf â'r cleddyf.
9 Ond yn awr na âd di ef heb
gospedigaeth: canys gŵr doeth *yd-
wyt* ti, a gwyddost beth a wnai iddo:
dwg dithau ei benwyni ef i waered
i'r bedd mewn gwaed.
10 Felly Dafydd a hunodd gyda'i
dadau, ac a gladdwyd yn ninas Da-
fydd.
11 A'r dyddiau y teyrnasodd Da-
fydd ar Israel *oedd* ddeugain mlyn-
edd: saith mlynedd y teyrnasodd
efe yn Hebron, a thair blynedd ar
ddeg ar hugain y teyrnasodd efe
yn Jerusalem.
12 A Solomon a eisteddodd ar
orseddfainc Dafydd ei dad; a'i fren-
hiniaeth ef a sicrhawyd yn ddir-
fawr.
13 Ac Adoniah mab Haggith a
ddaeth at Bathseba mam Solomon.
A hi a ddywedodd, Ai heddychlon
dy ddyfodiad? Yntau a ddywed-
odd, Heddychlon.
14 Ac efe a ddywedodd, *Y mae* i

---

ol, eithr fel gorchymyn i weinyddu cyfiawnder cyhoeddus, yr hwn ni oddefai amgylchiadau pethau iddo gael ei gyflawni yn gynt. Diamau fod cospedigaeth Joab yn ddyledus oddiwrth Dduw a dynion, o herwydd ei lofruddiad bradwrus a chreulon ef o Abner ac Amasa; ac am hyny y mae Dafydd yma, o gyfiawnder i'r genedl a'r deddfau dwyfol, yn gorchymyn i'w fab a'i olynydd wneuthur yr hyn, ar ol i'w orsedd gael ei chyflawn sefydlu, nas gallai efe ei wneuthur ei hun o ddiffyg awdurdod digonol, trwy fod dylanwad Joab y pryd hyny mor fawr, fel ag y buasai iddo daflu y llywodraeth i ryfel gartrefol o'r newydd, pe gweinyddasai efe ei hun gosp arno. Felly yr oedd rhesymau gwladwriaethol yn attal i'r gosp gael ei gweinyddu yn gynt, a'r un rhesymau gwladwriaethol yn gofyn iddi gael ei gweinyddu yn awr; canys yr oedd Joab y pryd hyn yn euog o wrthryfel yn erbyn Solomon, pen. i. 7; a gallasai ei orsedd yntau ddyoddef oddiwrtho ef, oni buasai iddo gael ei fwrw oddiar y ffordd.

Adn. 7. *Ond i feibion Barsilai y Gileadiad y gwnai garedigrwydd*] O herwydd caredigrwydd Barsilai i Dafydd, ac addewid Dafydd i Barsilai, 2 Sam. xvii. 27—29, a xix. 31—38. Ni ofynasai Barsilai am garedigrwydd ond i'w fab Cimham; ond myn Dafydd ei estyn i'w holl feibion ef, y rhai yr oedd eu tad yn awr ond odid wedi marw. *Byddant yn mysg y rhai a fwytânt ar dy fwrdd di*—fel y bwytasai Mephiboseth ar fwrdd Dafydd, 2 Sam. ix. 7. Y mae yn debyg fod Mephiboseth yn awr wedi marw, onidê nid annghofiasai Dafydd yntau. *Canys felly y daethant ataf fi*—i ddarparu lluniaeth i mi yn fy angen mawr, 2 Sam. xix. 32. Cofiai Dafydd hyn ar ei wely angau, a mynai i Solomon wneyd caredigrwydd â'r teulu wedi ei farw ef.

Adn. 8. *Wele hefyd Simei*] Yr hwn oedd yn awr yn bleidiwr i Solomon, pen. i. 8; ond nid oedd fawr o hyder i'w roddi ynddo ef fel cyfaill ffyddlon a chywir. *Yr hwn a'm melldithiodd i â melldith dost*—gwel ar 2 Sam. xvi. 5, &c. *Ond efe a ddaeth i waered i'r Iorddonen i gyfarfod â mi*—i erfyn am faddeuant genyf, 2 Sam. xix. 18—23; *a mi a dyngais i'r Arglwydd wrtho ef*—na laddwn i ef â'r cleddyf. Er fod y llw hwn yn rhwymedig ar Dafydd ei hun tra fyddai efe byw, eto nid oedd felly ar Solomon, yn enwedig os gwnai Simei ryw ddrwg o'r newydd; yr hyn a wnaeth efe, a bu farw, adn. 46.

Adn. 9. *Ond yn awr na âd di ef heb gospedigaeth*] Os gwna efe ryw ddrwg o'r newydd. Rhaid fod hyny yn ddealledig; canys pe buasai Dafydd yn bwriadu i Solomon ei roddi ef yn ddiatreg i farwolaeth, ni buasai rheswm na synwyr yn y geiriau dylynol, 'Canys gŵr doeth ydwyt ti, a gwyddost beth a wnai iddo;' ac ni orchymynasai efe iddo adeiladu tŷ iddo ei hun yn Jerusalem, ac aros yno, adn. 36. Y gwirionedd yw, fod Dafydd yn cynghori ei fab i gadw gwyliadwriaeth fanol ar Simei, a'i roddi ef i farwolaeth os byddai iddo eilwaith wneyd rhyw drosedd newydd yn haeddu angau. *Dwg dithau ei benwyni ef i waered i'r bedd mewn gwaed*—tor ef ymaith fel hen droseddwr a gelyn peryglus, i sicrhau dy heddwch dy hun a diogelwch dy lywodraeth.

Adn. 10. *Felly Dafydd a hunodd gyda'i dadau*] A hyny, fel y dywed yr Iuddewon, ar ddydd y pentecost, yn y flwyddyn 2990 o oed y byd, a 1014 cyn Crist; *ac a gladdwyd yn ninas Dafydd*—yn y rhan hòno o Jerusalem a elwid ar ei enw ef, am iddo ei hennill oddiar y Jebusiaid, 2 Sam. v. 7. Ymddengys fod ei feddrod ef yn adnabyddus yno yn amser yr apostolion, Act. ii. 29; a dywed Jerome ei fod i'w weled yno yn ei amser yntau; ac hyd heddyw, os gallwn goelio haneswyr diweddar.

Adn. 11. *A'r dyddiau y teyrnasodd Dafydd ar Israel oedd ddeugain mlynedd*] A chwe mis: gwel ar 2 Sam. v. 5.

Adn. 12. *A Solomon a eisteddodd ar orseddfainc Dafydd ei dad*] Sefydlwyd y frenhiniaeth iddo ef trwy gydsyniad a boddlonrwydd holl lwythau Israel.

Adn. 13. *Ac Adoniah mab Haggith*] Yr hwn a geisiodd am y frenhiniaeth cyn marw Dafydd: gwel ar pen. i. 5, &c. *Ai heddych-*

mi air â thi. Hithau a ddywedodd,
Dywed.
15 Yntau a ddywedodd, Ti a
wyddost mai eiddof fi oedd y fren-
hiniaeth, ac i holl Israel osod eu
hwynebau ar fy ngwneuthur i yn
frenin: eithr trôdd y frenhiniaeth,
ac a aeth i'm brawd: canys trwy yr
Arglwydd yr aeth hi yn eiddo ef.
16 Ond yn awr dymunaf genyt un
dymuniad; na ommedd fi. Hithau
a ddywedodd wrtho, Dywed.
17 Yntau a ddywedodd, Dywed,
atolwg, wrth y brenin Solomon
(canys ni ommedd efe dydi) am
roddi o hono ef Abisag y Sunamees
yn wraig i mi.
18 A dywedodd Bathseba, Da; mi
a ddywedaf drosot ti wrth y brenin.
19 ¶ Felly Bathseba a aeth at y
brenin Solomon, i ddywedyd wrtho
ef dros Adoniah. A'r brenin a god-
odd i'w chyfarfod hi, ac a ostyngodd
iddi, ac a eisteddodd ar ei orsedd-
fainc, ac a barodd osod gorseddfainc
i fam y brenin: a hi a eisteddodd ar
ei ddeheulaw ef.
20 Yna hi a ddywedodd, Un dy-
muniad bychan yr ydwyf fi yn ei
ddymuno genyt; na ommedd fi. A'r
brenin a ddywedodd wrthi hi, Gofyn,
fy mam: canys ni'th ommeddaf.
21 A hi a ddywedodd, Rhodder
Abisag y Sunamees yn wraig i Ad-
oniah dy frawd.
22 A'r brenin Solomon a atebodd
ac a ddywedodd wrth ei fam, Paham
y ceisi di Abisag y Sunamees i Ad-
oniah? gofyn hefyd y frenhiniaeth
iddo ef, (canys fy mrawd hŷn na mi
*ydyw* efe,) a chydag ef y mae Abi-
athar yr offeiriad, a Joab mab Ser-
fiah.
23 A'r brenin Solomon a dyngodd
i'r Arglwydd, gan ddywedyd, Fel
hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel hyn

---

*lon dy ddyfodiad?*—gan mai Bathseba a ddatguddiodd i Dafydd ei wrthryfel ef, gallai ei bod yn ofni yn awr ei fod ef yn dyfod i ddial arni am hyny.

Adn. 14. *Y mae i mi air â thi*] Yr wyf wedi dyfod atat ar neges heddychlon, neu i ofyn ffafr genyt.

Adn. 15. *Ti a wyddost mai eiddof fi oedd y frenhiniaeth*] Fel mab hynaf Dafydd; *ac i holl Israel osod eu hwynebau ar fy ngwneuthur i yn frenin*—yr oedd hyn yn anwiredd; nid oedd ond ychydig o bleidwyr gwrthryfelgar am ei wneyd ef yn frenin, tra yr oedd yr 'holl bobl' o blaid Solomon, pen. i. 40. *Eithr trôdd y frenhiniaeth*—oddiwrthyf fi; *ac a aeth i'm brawd*—a hyny trwy ragluniaeth yr Arglwydd yn gweithredu ar feddyliau Dafydd a'r bobl. Yn yr addefiad hwn efe a gymerai arno ymostwng i drefn Duw; ond y mae yn debyg nad oedd hyny ddim ond hug dros y bwriad ag oedd ganddo yn nglŷn â'i gais bresenol.

Adn. 16. *Ond yn awr dymunaf genyt un dymuniad*] Dim ond un, a hwnw yn un bychan ynddo ei hun, adn. 20; *na ommedd fi*—Heb. 'na thro ymaith fy wyneb,' sef mewn gofid a chywilydd trwy ommedd fy nymuniad.

Adn. 17. *Dywed, atolwg, wrth y brenin Solomon*] Y mae efe yn addef Solomon yn frenin i foddhau Bathseba, ac guddio ei fwriad ei hun yn well; *canys ni ommedd efe dydi*—yr hon wyt yn fam iddo, ac yn anwyl iawn ganddo. *Am roddi o hono ef Abisag y Sunamees yn wraig i mi*—yr hon a fuasai yn wraig i Dafydd. Er y gwyddai Adoniah a Bathseba fod yn annghyfreithlon i un briodi gwraig ei dad, Lef. xviii. 8, eto gallent feddwl nad oedd y briodas wedi ei chwblhau, trwy 'na bu i'r brenin a wnaeth â hi,' pen. i. 4. Tybir rhai fod Joab ac Abiathar wedi cynghori Adoniah i geisio hyn, gan gredu, os cai efe Abisag, y byddai i'r werin droi o'i blaid ef, a diorseddu Solomon, ac am hyny y trôdd Solomon mor greulon yn ei erbyn ef.

Adn. 18. *A dywedodd Bathseba, Da*] Ar ol ofni rhywbeth gwaeth yn y dechre, cymeradwyodd Bathseba y gais hon fel un gyfreithlon a da ynddi ei hun; ac addawodd wneyd ei goraf drosto ef gyda'r brenin.

Adn. 19. *A'r brenin a gododd i'w chyfarfod hi*] Ond odid oddiar ei orsedd; *ac a ostyngodd iddi*—o barch iddi fel ei anwyl fam. Yr oedd hyn yn siampl ragorol, i ddysgu i blant barchu eu rhieni, pa mor uchel bynag y gallont hwy fod wedi eu dyrchafu uwchlaw iddynt mewn cyfoeth, urddas, neu anrhydedd. *A hi a eisteddodd ar ei ddeheulaw ef*—er anrhydedd mwy iddi fel mam y brenin.

Adn. 20. *Un dymuniad bychan yr ydwyf fi yn ei ddymuno genyt*] Felly yr ystyriai hi ef, am nad oedd yn canfod bwriad Adoniah ynddo, na'r amgylchiadau cysylltedig âg ef. *Gofyn, fy mam, canys ni'th ommeddaf*—felly y dywedai efe, gan feddwl nad oedd dim yn annghyfreithlon yn ei dymuniad, nac yn niweidiol iddo ei hun nac erelll.

Adn. 21. *Rhodder Abisag y Sunamees yn wraig i Adoniah dy frawd*] Yr hwn oedd yn frawd iddo o du ei dad, a'r hwn y byddai i gariad brawdol, fel y tybiai hi, beri iddo ganiatâu ei ddymuniad yn rhwyddach.

Adn. 22. *Gofyn hefyd y frenhiniaeth iddo ef*] Canys ei amcan ef oedd cael y frenhiniaeth wrth gael Abisag. Dywed yr Iuddewon nad oedd neb i briodi gweddw brenin ond brenin; felly yr un peth oedd i Adoniah geisio y frenhiniaeth ar unwaith, a cheisio Abisag yn wraig. *Canys fy mrawd hŷn na myfi ydyw efe*—ac am hyny efe a edrycha ar y frenhiniaeth fel ei eiddo ei hun trwy enedigaeth-fraint, ac yn ol defod cenhedloedd. *A chydag ef y mae Abiathar yr offeiriad, a*

y chwanego, onid yn erbyn ei einioes y llefarodd Adoniah y gair hwn.
24 Yn awr gan hyny, *fel mai* byw
yr Arglwydd, yr hwn a'm sicrhaodd i, ac a wnaeth i mi eistedd ar orseddfainc Dafydd fy nhad, yr hwn hefyd a wnaeth i mi dŷ, megys y dywedasai efe; heddyw yn ddiau y rhoddir Adoniah i farwolaeth.
25 A'r brenin Solomon a anfonodd
gyda Benaiah mab Jehoiada; ac efe a ruthrodd arno ef, fel y bu efe farw.
26 ¶ Ac wrth Abiathar yr offeir-
iad y dywedodd y brenin, Dos i Anathoth, i'th fro dy hun; canys gŵr *yn haeddu* marwolaeth *ydwyt* ti: ond ni laddaf di y pryd hwn; o herwydd dwyn o honot arch yr Arglwydd Dduw o flaen fy nhad Dafydd, ac am dy gystuddio yn yr hyn oll y cystuddiwyd fy nhad.
27 Felly y bwriodd Solomon Abi-
athar o fod yn offeiriad i'r Arglwydd; fel y cyflawnai air yr Arglwydd, yr hwn a ddywedasai efe am dŷ Eli yn Siloh.
28 ¶ A'r chwedl a ddaeth at Joab:
canys Joab a ŵyrasai ar ol Adoniah, er na ŵyrasai efe ar ol Absalom. A ffôdd Joab i babell yr Arglwydd, ac a ymaflodd yn nghyrn yr allor.
29 A mynegwyd i'r brenin Solo-
mon, ffoi o Joab i babell yr Arglwydd; ac wele, *y mae efe* wrth yr allor. A Solomon a anfonodd Benaiah mab Jehoiada, gan ddywedyd, Dos, rhuthra arno ef.
30 A daeth Benaiah i babell yr
Arglwydd, ac a ddywedodd wrtho ef, Fel hyn y dywed y brenin, Tyred allan. Yntau a ddywedodd, Na *ddeuaf;* eithr yma y byddaf farw. A Be-

---

*Joab*—yn cyduno yn ei wrthryfel, pen. i. 7, ac yn ei gynghori yn y ddyfais hon i gyraedd y frenhiniaeth.

Adn. 23. *A'r brenin Solomon a dyngodd i'r Arglwydd*] I attal ei fam rhag eiriol dros fywyd Adoniah; *Fel hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y chwanego*—sef gosod rhyw ddrygau mawrion i ddisgyn arno, a mwy o honynt nag a allai efe enwi, os nad yn erbyn ei einioes y gwnaethai Adoniah y deisyfiad uchod trwy Bathseba.

Adn. 24. *Yn awr gan hyny, fel mai byw yr Arglwydd*] Yn adn. 23 tyngai Solomon y cai Adoniah farw, ac yma y tyngai y cai ef farw y dydd hwnw. *Yr hwn a'm sicrhaodd i*—ar orseddfainc Dafydd fy nhad; *yr hwn hefyd a wnaeth i mi dŷ*—tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at ei hiliogaeth, a bod Rehoboam eisioes wedi ei eni, pen. xiv. 21; neu gall mai at ei sefydliad ef yn nhŷ ac ar orsedd Dafydd y cyfeiria; *megys y dywedasai efe*—gwel ar 2 Sam. vii. 11—13. *Heddyw yn ddiau y rhoddir Adoniah i farwolaeth*—yr oedd ef wedi cael arbed ei fywyd o'r blaen ar yr ammod o aros yn llonydd yn ei dŷ, pen. i. 52, 53; ond yn awr, ar ol dangos tuedd at wrthryfel eilwaith, yr oedd yn gyfiawn ei dori ymaith yn y fan, fel dyn peryglus yn y wlad a'r llywodraeth.

Adn. 25. *Benaiah*] Tywysog ei wŷr o gard, pen. i. 8; *a ruthrodd arno ef*—gan ei wânu ond odid â'i gleddyf noeth, fel y bu farw yn y fan.

Adn. 26. *Ac wrth Abiathar yr offeiriad*] Yr hwn hefyd a fuasai yn blaid i Adoniah yn y gwrthryfel, pen. i. 7; *y dywedodd y brenin, Dos i Anathoth*—dinas yr offeiriaid, Jos. xxi. 18, o'r hon ond odid yr oedd efe yn enedigol, yno i fyw bywyd o neillduedd o'r archoffeiriadaeth; *canys gŵr yn haeddu marwolaeth ydwyt ti*—am wrthryfela o honot yn erbyn Duw a'r brenin wrth geisio rhoddi Adoniah ar yr orsedd. *Ond ni laddaf di y pryd hwn*—nid yw efe yn maddeu iddo yn hollol, eithr cadwa iddo ei hun yr hawl o'i gospi ef ar ol hyn, os gwelai achos. A hyn a wna efe i'w gadw mewn ofn, rhag iddo feiddio codi terfysg rhagllaw. *O herwydd dwyn o honot arch yr Arglwydd Dduw o flaen fy nhad Dafydd*—fel archoffeiriad, yn ei wahanol symudiadau. Fel hyn danghosai Solomon ei barch i'r swydd gysegredig. *Ac am dy gystuddio*—dy osod yn agored i'r holl galedi a ddyoddefodd fy nhad yn ystod ei ffoadau rhag Saul, 1 Sam. xxii. 20, &c.

Adn. 27. *Felly y bwriodd Solomon Abiathar ymaith o fod yn offeiriad*] Sef o fod yn archoffeiriad. Tybia rhai fod ganddo rywbeth i'w wneyd fel offeiriad cyffredin fyth, onidê nas gallasai fyned i Anathoth. *Fel y cyflawnai air yr Arglwydd, yr hwn a ddywedasai efe am dŷ Eli*—un o dŷ Eli oedd Abiathar; ac yn ei ddiswyddiad ef cyflawnwyd bygythiad yr Arglwydd o gymeryd yr archoffeiriadaeth o deulu Eli: gwel 1 Sam. ii. 30—36, a iii. 12—14.

Adn. 28. *A'r chwedl a ddaeth at Joab*] Fod Adoniah wedi ei ladd, ac Abiathar wedi ei ddiswyddo, yr hyn a barodd iddo yntau ofni, am ei fod wedi gŵyro ar ol Adoniah yn ei wrthryfel diweddar, pen. i. 7, er iddo barhau yn ffyddlon i Dafydd yn amser gwrthryfel Absalom. *A ffôdd Joab i babell yr Arglwydd*—i ymnoddi yno, megys y gwnaethai Adoniah: gwel ar pen. i. 50.

Adn. 29. *A Solomon a anfonodd Benaiah*] Yr hwn a ruthrasai o'r blaen ar Adoniah, adn. 25; *Dos, rhuthra arno ef*—gallwn feddwl oddiwrth yr adnodau nesaf nad oedd Solomon ar y cyntaf yn gorchymyn ei ladd ef wrth gyrn yr allor; ond pan ommeddodd Joab ddyfod oddiyno, gorchymynodd hyny yr ail waith.

Adn. 30. *Tyred allan*] Fel nad haloger y cysegr â'th waed. *Na ddeuaf; eithr yma y byddaf farw*—fel pe dywedasai, Os rhaid i mi

naiah a ddyg drachefn air at y brenin, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd Joab, ac fel hyn y'm hatebodd.

31 A dywedodd y brenin wrtho ef, Gwna fel y dywedodd efe, a rhuthra arno ef, a chladd ef; fel y tynech y gwaed gwirion a dywalltodd Joab, oddiarnaf fi, ac oddiar dŷ fy nhad i.

32 A'r Arglwydd a ddychwel ei waed ef ar ei ben ei hun: o herwydd efe a ruthrodd ar ddau ŵr cyfiawnach a gwell nag ef ei hun, ac a'u lladdodd hwynt â'r cleddyf, a Dafydd fy nhad heb wybod; *sef* Abner mab Ner, tywysog llu Israel, ac Amasa mab Jether, tywysog llu Juda.

33 A'u gwaed hwynt a ddychwel ar ben Joab, ac ar ben ei had ef yn dragywydd: ond i Dafydd, ac i'w had, ac i'w dŷ, ac i'w orseddfainc, y bydd heddwch yn dragywydd gan yr Arglwydd.

34 Felly yr aeth Benaiah mab Jehoiada i fyny, ac a ruthrodd arno, ac a'i lladdodd. Ac efe a gladdwyd yn ei dŷ ei hun yn yr anialwch.

35 A'r brenin a osododd Benaiah mab Jehoiada yn ei le ef ar y filwriaeth. A'r brenin a osododd Sadoc yr offeiriad yn lle Abiathar.

36 ¶ A'r brenin a anfonodd ac a alwodd am Simei, ac a ddywedodd wrtho, Adeilada i ti dŷ yn Jerusalem, ac aros yno, ac na ddos allan oddiyno nac yma na thraw.

37 Canys bydd y dydd yr elych allan, ac yr elych dros afon Cidron, gan wybod y cai di wybod y lleddir di yn farw: dy waed fydd ar dy ben dy hun.

38 A dywedodd Simei wrth y

---

farw, mynaf farw yma. Fe allai ei fod yn meddwl na laddai Solomon ef yno, rhag halogi yr allor; neu os gwnai, y byddai marw wrth gyrn yr allor yn rhyw fantais iddo wrth wynebu ar fyd yr ysbrydoedd.

Adn. 31. *A dywedodd y brenin*] Wrth Benaiah; *Gwna fel y dywedodd efe*—rhuthra arno wrth yr allor, a lladd ef yno; ac wedi hyny cladd ef yn yr anialwch, adn. 34. *Fel y tynech y gwaed gwirion a dywalltodd Joab*—sef gwaed Abner ac Amasa, adn. 32; *oddiarnaf fi, ac oddiar dŷ fy nhad i*—canys wrth i frenhinoedd ac ynadon esgeuluso gweinyddu y gosp hòno ar droseddwyr ag yr oedd y gyfraith ddwyfol yn ei gofyn, gallent yn gyfiawn ddysgwyl iddi syrthio ar eu penau eu hunain, am eu bod i ryw raddau yn ymddangos fel yn cymeradwyo y cyfryw drosedd.

Adn. 32. *A'r Arglwydd a ddychwel ei waed ef ar ei ben ei hun*] A wna iddo ef ei hun yn unig ddwyn cosp ei lofruddiaeth; *o herwydd efe a ruthrodd ar ddau ŵr cyfiawnach a gwell nag ef ei hun*—y rhai, er iddynt wrthryfela unwaith yn erbyn Dafydd, eto oeddynt wedi ymostwng iddo, a chael maddeuant ganddo, cyn i Joab eu lladd hwynt. Neu, nid oedd eu gwrthryfel cyhoeddus hwy mor ddrwg a gwaith Joab yn eu llofruddio yn fradychus, mewn gwaed oer, a than rith o gyfeillgarwch! Yr oeddynt yn ddynion mwy didwyll na Joab, ac yn llai creulon a gwaedlyd. *A Dafydd fy nhad heb wybod*—yr hyn a ddywedir, rhag i neb feddwl fod gan Dafydd ryw law ddirgelaidd yn lladdiad Abner ac Amasa.

Adn. 33. *A'u gwaed hwynt a ddychwel ar ben Joab*] Yr hwn a leddir yr awr hon; *ac ar ben ei had ef yn dragywydd*—cyhyd ag y bydd neb o'i hiliogaeth ef o oes i oes ar y ddaear. Felly y dywedodd Dafydd hefyd: gwel ar 2 Sam. iii. 29. *Ond i Dafydd ac i'w had, &c.*—ar ol tori ymaith y fath lofruddion a bradwyr, gellid dysgwyl heddwch a llwyddiant parhaus ar dŷ a theyrnas Dafydd a'i hiliogaeth, a hyny oddiwrth Dduw.

Adn. 34. *Felly yr aeth Benaiah—ac a'i lladdodd ef*] A hyny yn ddiamau tra yr oedd Joab yn ymaflyd yn nghyrn yr allor, adn. 30, 31. *Ac efe a gladdwyd yn ei dŷ ei hun*—sef mewn gardd neu faes cauedig gerllaw ei dŷ; *yn yr anialwch*—felly y gelwid lle mwy anghyfanedd na thref neu bentref, er fod yno dai oddiamgylch.

Adn. 35. *A'r brenin a osododd Benaiah*] Yr hwn o'r blaen oedd yn dywysog ei wŷr o gard ef; *yn ei le ef ar y filwriaeth*—yn dywysog ar yr holl filwriaeth yn lle Joab, a hyny yn wobr am y gweithredoedd uchod o gyfiawnder. *A'r brenin a osododd Sadoc yr offeiriad*—gwel ar 2 Sam. viii. 17; *yn lle Abiathar*—yn archoffeiriad yn ei le ef, yr hwn a ddiswyddwyd, adn. 26, 27. Fel hyn dychwelwyd yr archoffeiriadaeth i'w hen linell, sef i deulu ELEAZAR, ar ol bod yn nheulu ITHAMAR am lawer o flynyddau; ac fel hyn dechreuwyd cyflawni y bygythiad yn erbyn tŷ Eli, yr hwn a wnaed oddeutu 151 o flynyddau cyn hyn: gwel ar 1 Sam. ii. 30—36.

Adn. 36. *A'r brenin a anfonodd—am Simei*] Yr hwn a felldithiasai Dafydd, adn. 8, 9, ac a ydoedd yn byw yn Bahurim, 2 Sam. xvi. 5. *Adeilada i ti dŷ yn Jerusalem*—lle y byddai efe yn wastadol dan lygad y brenin, ac yn analluog i godi terfysg; *ac aros yno*—efe a gai yr holl ddinas yn garchar iddo, ac felly nid oedd ei gaethiwed yn drwm iawn.

Adn. 37. *Y dydd yr elych allan*] Nid o'i dy, ond allan o Jerusalem; *ac yr elych dros afon Cidron*—yr hon oedd ar y ffordd i Bahurim ei hen gartref ef, lle y gallai yn hawdd godi plaid yn erbyn Solomon; *lleddir di yn farw*—am dy anufydd-dod i'r gorchymyn hwn.

Adn. 38. *Da yw y gair*] Efe a gydsyniodd â'r ammod hon fel un esmwyth a rhesymol, ac

brenin, Da *yw* y gair; fel y dywedodd fy arglwydd frenin, felly y gwna dy was. A Simei a drigodd yn Jerusalem ddyddiau lawer.

39 Eithr yn mhen tair blynedd y ffôdd dau was i Simei at Achis, mab Maachah, brenin Gath. A mynegwyd i Simei, gan ddywedyd, Wele, dy weision di yn Gath.

40 A Simei a gyfododd, ac a gyfrwyodd ei asyn, ac a aeth i Gath at Achis, i geisio ei weision: ïe, Simei a aeth, ac a gyrchodd ei weision o Gath.

41 A mynegwyd i Solomon, fyned o Simei o Jerusalem i Gath, a'i ddychwelyd ef.

42 A'r brenin a anfonodd ac a alwodd am Simei, ac a ddywedodd wrtho, Oni pherais i ti dyngu i'r Arglwydd, ac *oni* thystiolaethais wrthyt, gan ddywedyd, Yn y dydd yr elych allan, ac yr elych nac yma nac acw, gan wybod gwybydd y lleddir di yn farw? a thi a ddywedaist wrthyf, Da *yw* y gair a glywais.

43 Paham gan hyny na chedwaist lw yr Arglwydd, a'r gorchymyn a orchymynais i ti?

44 A dywedodd y brenin wrth Simei, Ti a wyddost yr holl ddrygioni a ŵyr dy galon, yr hwn a wnaethost di yn erbyn Dafydd fy nhad: yr Arglwydd am hyny a ddychwelodd dy ddrygioni di ar dy ben dy hun;

45 A bendigedig *fydd* y brenin Solomon, a gorseddfainc Dafydd a sicrheir o flaen yr Arglwydd yn dragywydd.

46 Felly y gorchymynodd y brenin i Benaiah mab Jehoiada; ac efe a aeth allan, ac a ruthrodd arno ef, fel y bu efe farw. A'r frenhiniaeth a sicrhawyd yn llaw Solomon.

## PENNOD III.

A SOLOMON a ymgyfathrachodd â Pharao brenin yr Aifft, ac a briododd ferch Pharao, ac a'i dyg

---

a dyngodd i'r Arglwydd y cadwai efe hi, adn. 42. *A Simei a drigodd yn Jerusalem ddyddiau lawer*—oddeutu tair blynedd, heb fyned allan o'r ddinas, adn. 39.

Adn. 39. *Ffôdd dau was i Simei*] Y rhai oeddynt wedi blino ar galedi ei wasanaeth ef; *at Achis, mab Maachah, brenin Gath*—sonir am Achis, mab Maoch, yn frenin yn Gath yn amser Dafydd, oddeutu 47 mlynedd cyn hyn, 1 Sam. xxvii. 2; ac os yr un gŵr oedd hwn, rhaid ei fod yn hen iawn erbyn hyn,

Adn. 40. *A Simei a gyfododd*] Yn ddiystyr o'r gwaharddiad i fyned allan o Jerusalem a roddwyd iddo dair blynedd yn ol, neu gan obeithio fod y brenin wedi ei annghofio, neu na chlywai efe am ei ymadawiad; *ac a aeth i Gath*—dinas yn llwyth Dan, yn ngwlad y Philistiaid, oddeutu 27 o filldiroedd o du y gorllewin i Jerusalem; *ac a gyrchodd ei weision o Gath*—gan fod brenin Gath mewn heddwch yn awr âg Israel, a than dreth iddynt, nid oedd efe yn chwennych cadw y gweision hyn oddiwrth eu meistr, rhag y byddai i hyny gyffroi llid Israel, a'i dynu yntau i ddyryswch a helbul.

Adn. 41. *A mynegwyd i Solomon*] Fod Simei wedi troseddu y gorchymyn a roddwyd iddo, a thrwy hyny wedi fforffetio ei fywyd: gwel ar adn. 37.

Adn. 42. *Oni pherais i ti dyngu*] Nad aet allan byth o Jerusalem? *a thi a ddywedaist wrthyf, Da yw y gair*—ac felly, gan iddo ef ei hun gymeradwyo yr ammod, a thyngu y cadwai efe hi, yr oedd ei thori wedi hyny yn mwyhau y trosedd.

Adn. 43. *Paham gan hyny, &c.*] Yr oedd ef yn euog o dori llw yr Arglwydd, ac anufyddhau i orchymyn ei frenin, fel un nad ofnai Dduw ac na pharchai ddyn; ac am hyn, mewn cysylltiad â'i ddrygioni blaenorol, yr oedd ef yn haeddu marw.

Adn. 44. *Ti a wyddost yr holl ddrygioni a ŵyr dy galon*] Y modd y melldithiaist fy nhad, ac y teflaist gerig ato, o'r hyn y mae dy gydwybod dy hun yn dy gyhuddo. *Yr Arglwydd am hyny a ddychwelodd dy ddrygioni di ar dy ben dy hun*—a'th gospodd am dy ddrygioni blaenorol, trwy oddef i ti dy osod dy hun yn agored, trwy y trosedd hwn, i'r farwolaeth a haeddaist.

Adn. 45. *A bendigedig fydd y brenin Solomon*] Ar ol tori ymaith y fath wrthryfelwr a thydi; *a gorseddfainc Dafydd a sicrheir*—trwy weinyddiad y fath farn gyfiawn a hon; *o flaen yr Arglwydd yn dragywydd*—yr hwn sydd yn canfod ac yn gwobrwyo pob cyfryw weithred gyfiawn.

Adn. 46. *Felly y gorchymynodd y brenin i Benaiah*] Yr un gŵr ag a laddodd Adoniah a Joab o'r blaen, adn. 25, 34; *ac efe a aeth allan*—o ŵydd y brenin, gan gymeryd Simei gyda ef i ryw ddienyddle priodol; *ac a ruthrodd arno ef*—gan ei wânu i farwolaeth â'i gleddyf noeth. *A'r frenhiniaeth a sicrhawyd yn llaw Solomon*—trwy i'w elynion gwaethaf gael eu tori ymaith, fel nad oedd ganddo mwyach ddim gelynion oddifewn nac oddifaes. Yr oedd ei ddeiliaid ei hun yn ei garu neu ynte yn ei ofni, ac ni fynai y cenhedloedd amgylchynol ei gael ef yn elyn iddynt.

PEN. III. Adn. 1. *A Solomon a ymgyfathrachodd â Pharao brenin yr Aifft*] Fel cymydog galluog. Er mai *Pharao* y gelwid holl frenhinoedd yr Aifft, eto meddylir mai

hi i ddinas Dafydd, nes darfod iddo
adeiladu ei dŷ ei hun, a thŷ yr Ar-
glwydd, a mur Jerusalem oddiam-
gylch.
2 Eto y bobl oedd yn aberthu
mewn uchelfaoedd, o herwydd nad
adeiladasid tŷ i enw yr Arglwydd,
hyd y dyddiau hyny.
3 A Solomon a garodd yr Ar-
glwydd, gan rodio yn neddfau Da-
fydd ei dad: eto mewn uchelfaoedd
yr oedd efe yn aberthu ac yn arogl-
darthu.
4 A'r brenin a aeth i Gibeon i
aberthu yno: canys hòno *oedd* uch-
elfa fawr. Mil o boeth-offrymau a
offrymodd Solomon ar yr allor hòno.
5 ¶ Yn Gibeon yr ymddanghosodd
yr Arglwydd i Solomon mewn breu-
ddwyd liw nos: a dywedodd Duw,
Gofyn beth a roddaf i ti.
6 A dywedodd Solomon, Ti a
wnaethost â'th was Dafydd fy nhad
fawr drugaredd, megys y rhodiodd
efe o'th flaen di mewn gwirionedd,
ac mewn cyfiawnder, ac mewn un-
iondeb calon gyda thi; ïe, cedwaist
iddo y drugaredd fawr hon, a rhodd-
aist iddo fab i eistedd ar ei orsedd-
fainc, fel y *gwelir* heddyw.
7 Ac yn awr, O Arglwydd fy
Nuw, ti a wnaethost i'th was deyrn-
asu yn lle Dafydd fy nhad: a min-
au yn fachgen bychan: ni fedraf
fyned nac allan nac i mewn.
8 A'th was *sydd* yn mysg dy bobl,

---

enw priodol y brenin hwn oedd *Sesostris* neu *Vaphres.* *Ac a briododd ferch Pharao*—yr hon, fel y meddylir yn gyffredin, oedd wedi ei phroselytio i grefydd Israel: ond gwel ar pen. xi. 1, 2. Rhaid fod Solomon wedi priodi Naamah yr Ammonees cyn hyn, trwy fod Rehoboam ei mab hi wedi ei eni flwyddyn cyn i Solomon ddechreu teyrnasu: gwel ar pen. xiv. 21. *Ac a'i dyg hi i ddinas Dafydd*—i balas Dafydd yno, nes iddo orphen adeiladu ei dŷ ei hun, a'r deml, a'r mur.

Adn. 2. *Eto y bobl oedd yn aberthu mewn uchelfaoedd*—Heblaw yn Gibeon lle yr oedd y babell, ac yn Jerusalem lle yr oedd yr arch, 2 Cron. i. 3, 4. Ar ol adeiladu y deml yn Jerusalem, yr oedd yn rhaid i'r holl aberthau gael eu hoffrymu yno; a chyn ei hadeiladu, yr oedd yn rhaid i'r aberthau gael eu dwyn i ddrws pabell y cyfarfod, y lle a ddewisodd yr Arglwydd, Lef. xvii. 3—5, Deut. xii. 5—14. Ond yn awr yr oedd y bobl yn cael eu goddef i aberthu ar benau eu tai, ac ar fryniau uchel, yn ol eu mympwy eu hunain, yr hyn oedd feius yn Solomon.

Adn. 3. *A Solomon a garodd yr Arglwydd*] A'i addoliad a'i wasanaeth hefyd, er maint ei lygredigaeth; *gan rodio yn neddfau Dafydd ei dad*—sef yn neddfau Duw, y rhai a elwir yma yn 'ddeddfau Dafydd,' nid yn unig am eu bod yn cael eu cadw yn fanwl gan Dafydd, ond hefyd am fod Dafydd wedi eu gwasgu yn ddwys ar Solomon, pen. ii. 3. *Eto mewn uchelfaoedd yr oedd efe yn aberthu ac yn arogldarthu*—yr hyn oedd feius ynddo; canys ni ddylasai efe wneyd hyny ond yn Gibeon neu Jerusalem, adn. 2.

Adn. 4. *A'r brenin a aeth i Gibeon i aberthu yno*] Ac ymddengys oddiwrth yr adnodau dylynol fod hyny yn foddhaol gan yr Arglwydd; *canys hòno oedd uchelfa fawr*—nid mawr mewn maint, ond mawr mewn enwogrwydd, fel y lle a ddewisasai yr Arglwydd, a'r fan lle yr oedd hen dabernacl Moses, a'i ddodrefn oll oddieithr yr arch. *Mil o boeth-offrymau*—dywed yr Iuddewon i'r rhai hyn oll gael eu hoffrymu mewn un diwrnod. Gan fod y poeth-offrymau yn eiddo neillduol i'r Arglwydd fel aberth dros bechod, ac yn cyfeirio at aberth mawr Crist, gellir meddwl mai i ddyhuddo ei bechod ef yn aberthu ar uchelfaoedd ereill yr offrymodd Solomon y rhai hyn. Yr oedd Gibeon yn sefyll oddeutu 8 milldir i'r gogledd-orllewin o Jerusalem.

Adn. 5. *Yn Gibeon yr ymddanghosodd yr Arglwydd i Solomon mewn breuddwyd*] Nid breuddwyd naturiol oedd hwn, ond un goruwchnaturiol a dwyfol, yr hwn a gymerodd le y noson gyntaf wedi iddo aberthu, 2 Cron. i. 7. *A dywedodd Duw, Gofyn beth a roddaf i ti*—hyny yw, gofyn i mi am ryw ffafr neu drugaredd. Fel hyn, nid yn unig *gwelodd* Solomon ogoniant Duw, ond *clywodd* ef hefyd yn llefaru wrtho, a galluogwyd ef i *gydymddyddan* â'i Wneuthurwr.

Adn. 6. *A dywedodd Solomon*] Nid breuddwydio ei fod yn dywedyd yr ydoedd, eithr ei enaid ef a lefarai yn ddigyfrwng a gwirioneddol wrth Dduw, tra yr oedd ei beiriannau corfforol wedi eu cloï gan gwsg. *Ti a wnaethost â'th was Dafydd fy nhad fawr drugaredd*—trwy roddi iddo lawer o fendithion tymhorol ac ysbrydol; *megys y rhodiodd efe o'th flaen di mewn gwirionedd*—fel ag i'w alluogi i fyw yn gyfiawn ac uniawn tuag at Dduw a dynion; *ïe, cedwaist iddo y drugaredd fawr hon*—trwy ei holl oes; *a rhoddaist iddo fab i eistedd ar ei orseddfainc*—ar ei ol ef, yr hyn oedd yn drugaredd chwanegol i Dafydd ac i holl Israel.

Adn. 7. *Ti a wnaethost i'th was deyrnasu*] Cydnabyddai Solomon yn dduwiol a diolchgar, mai yr Arglwydd a'i gosodasai ef ar yr orsedd yn lle Dafydd ei dad; *a minau yn fachgen bychan*—oddeutu 18 mlwydd oed pan ddechreuodd efe deyrnasu; *ni fedraf fyned nac allan nac i mewn*—yr wyf yn rhy annoeth a dibrofiad i lywodraethu y bobl, na thrin achosion y deyrnas, yn ddyladwy.

Adn. 8. *A'th was sydd yn mysg dy bobl*] Fel brenin i'w llywodraethu; *y rhai a ddewisaist ti*—ac felly yr oedd eu bod yn bobl etholedig yr Arglwydd, ac yn bobl luosog, yn rheswm deublyg dros gael doethineb i'w llywodraethu yn iawn.

y rhai a ddewisaist ti; pobl aml, y
rhai ni rifir ac nis cyfrifir gan lu-
osogrwydd.
9 Am hyny dyro i'th was galon
ddeallus, i farnu dy bobl, i ddeall
*rhagor* rhwng da a drwg: canys
pwy a ddichon farnu dy luosog bobl
hyn?
10 A'r peth fu dda yn ngolwg yr
Arglwydd, am ofyn o Solomon y
peth hyn.
11 A Duw a ddywedodd wrtho,
O herwydd gofyn o honot y peth
hyn, ac na ofynaist i ti ddyddiau
lawer, ac na ofynaist i ti olud, ac na
cheisiaist einioes dy elynion, eithr
gofynaist i ti ddeall i wrando barn:
12 Wele, gwnaethym yn ol dy
eiriau; wele, rhoddais i ti galon
ddoeth a deallus, fel na bu dy fath
o'th flaen, ac na chyfyd dy fath ar
dy ol.
13 A rhoddais i ti hefyd yr hyn
nis gofynaist, golud, a gogoniant
hefyd; fel na byddo un o'th fath yn
mysg y brenhinoedd, dy holl ddydd-
iau di.
14 Ac os rhodi yn fy ffyrdd i, gan
gadw fy neddfau a'm gorchymyn-
ion, megys y rhodiodd Dafydd dy
dad, estynaf hefyd dy ddyddiau
di.
15 A Solomon a ddeffrôdd; ac
wele, breuddwyd *oedd.* Ac efe a
ddaeth i Jerusalem, ac a safodd o
flaen arch cyfammod yr Arglwydd,
ac a offrymodd offrymau poeth, ac
a aberthodd aberthau hedd, ac a
wnaeth wledd i'w holl weision.
16 ¶ Yna dwy wragedd o butein-

Adn. 9. *Am hyny dyro i'th was galon ddeallus i farnu dy bobl*] Nid yw efe yn gofyn am ddoethineb yn gyffredinol, er iddo gael hyny hefyd, eithr am ddoethineb mewn pethau perthynol i achosion y wladwriaeth; *i ddeall rhagor rhwng da a drwg*—rhwng achosion da a drwg, cyfiawn ac annghyfiawn, y rhai a ddygid ger ei fron ef i'w penderfynu, fel y gwelwn yn adn. 16, &c. *Canys pwy a ddichon farnu dy luosog bobl hyn*—heb gael doethineb mawr gan Dduw i hyny? Trwy eu bod yn bobl luosog, byddai ganddynt lawer o achosion i'w barnu, a rhai o honynt o angenrheidrwydd yn ddyrys iawn.

Adn. 10. *A'r peth fu dda yn ngolwg yr Arglwydd*] Am mai lles y bobl, a gogoniant Duw, oedd ei brif amcan ef yn y cwbl.

Adn. 11. *O herwydd gofyn o honot y peth hyn*] Sef 'deall i wrando barn;' *ac na ofynaist it' ddyddiau lawer*—yr hyn oedd yn naturiol i bawb ei ofyn, ac a gyfrifid yn gyffredin yn fendith fawr; *ac na ofynaist it' olud*—i gynal ei fawredd a'i rwysg brenhinol; *ac na cheisiaist einioes dy elynion*—neu allu i fuddugoliaethu arnynt a'u dyfetha.

Adn. 12. *Wele, gwnaethym yn ol dy eiriau*] Neu ei ddeisyfiad yn adn. 9; *rhoddais i ti galon ddoeth a deallus*—i wneuthur barn rhwng gŵr a gŵr, y fath ag na bu ac na bydd ei chyffelyb gan un brenin ar y ddaear, pen. iv. 29—31.

Adn. 13. *A rhoddais it' hefyd yr hyn nis gofynaist*] Neu 'rhoddaf i ti,' fel ei mynegir 2 Cron. i. 12; *golud*—trwy anrhegion a theyrnged gan y cenhedloedd o'i amgylch, a thrwy farsiandïaeth mewn gwledydd pellenig, a bendith Duw ar y cwbl; *a gogoniant hefyd*—neu anrhydedd, yr hyn oedd iddo yn benaf o herwydd ei fawr ddoethineb a'i lwyddiant cyffredinol; *fel na byddo un o'th fath yn mysg y brenhinoedd*—llai o lawer yn mysg eu deiliaid; *dy holl ddyddiau di*—trwy hyn yr arwyddir parhad ei olud a'i ogoniant dros holl ystod ei fywyd. Bu Croesus, Alexander, ac ereill, yn oludog iawn ar ol ei ddyddiau ef; ond ni bu neb mor oludog ac anrhydeddus ag ef.

Adn. 14. *Ac os rhodi yn fy ffyrdd i*] Y rhai yr wyf yn eu gorchymyn i ti yn fy ngair; *megys y rhodiodd Dafydd dy dad*—at yr hyn y cyfeiriasai Solomon, adn. 6; *estynaf hefyd dy ddyddiau di*—ar yr ammod i ti rodio yn fy ffyrdd i, gan gadw fy neddfau a'm gorchymynion. Ond ni chyflawnodd efe yr ammod hon, ac am hyny bu farw yn nghanol ei ddyddiau, fel y dywed yr Iuddewon, tua 58 mlwydd oed.

Adn. 15. *Ac wele, breuddwyd oedd*] Ar ol iddo ddeffro, efe a ddeallodd mai mewn breuddwyd yr ymddanghosodd yr Arglwydd iddo; nid breuddwyd gwâg a thwyllodrus, ond breuddwyd goruwchnaturiol a sylweddol, yn sicrhau iddo y pethau a addawyd; yr hyn a wyddai efe trwy argraff dwyfol ar ei feddwl, a thrwy y cyfnewidiad mawr a wnaed ar ei gyneddfau. *Ac efe a ddaeth i Jerusalem*—y bore hwnw, gyda'i bendefigion a'i weision; *ac a safodd o flaen arch cyfammod yr Arglwydd*—yr hon oedd yn y babell a osodasai Dafydd iddi yno, 2 Sam. vi. 17; *ac a offrymodd offrymau poeth*—i wneuthur iawn am ei bechodau ei hun a'i bobl; *ac a aberthodd aberthau hedd*—i foliannu yr Arglwydd am roddi iddo feddiant tawel o'i deyrnas, ac ymddangos iddo mewn breuddwyd, ac am yr hyn oll a wnaethai ac a addawsai efe iddo; *ac a wnaeth wledd i'w holl weision*—ond odid ar yr aberthau hedd, y rhai y gallai yr aberthwr wahodd ei gyfeillion i wledda ar ranau o honynt.

Adn. 16. *Yna dwy wragedd o buteiniaid*] Neu *dafarnwragedd;* canys y mae y gair Hebreig *zonah* neu *zonoth* yn arwyddo y ddau: gwel ar Jos. ii. 1. 'Eu bod heb briodi a ymddengys yn debygol,' ebai Benson, 'am nad oes un crybwylliad am eu gwŷr, ac am eu bod yn byw bywyd unigol yn yr un tŷ.' Ond 'pe buasent yn *buteiniaid,*' fel y sylwa Clarke,

iaid a ddaethant at y brenin, ac a
safasant ger ei fron ef.
17 A'r naill wraig a ddywedodd,
O fy arglwydd, myfi a'r wraig hon
oeddym yn trigo yn yr un tŷ; a mi
a esgorais yn tŷ gyda hi.
18 Ac ar y trydydd dydd wedi
esgor o honof fi, yr esgorodd y wr-
aig hon hefyd; ac *yr oeddym* ni yn
nghyd, heb arall yn tŷ gyda ni, ond
nyni ein dwyoedd yn tŷ.
19 A mab y wraig hon a fu farw
liw nos; o herwydd hi a orwedd-
odd arno ef.
20 A hi a gododd yn nghanol y
nos, ac a gymerodd fy mab i o'm
hymyl, tra yr ydoedd dy lawforwyn
yn cysgu, ac a'i gosododd ef yn ei
mynwes hi, a'i mab marw hi a os-
ododd hi yn fy mynwes inau.
21 A phan godais i y bore i beri
i'm mab sugno, wele, marw oedd
efe: ac wedi i mi ddal arno y bore,
wele, nid fy mab i, yr hwn a esgor-
aswn i, ydoedd efe.
22 A'r wraig arall a ddywedodd,
Nage; eithr fy mab i *yw* y byw,
a'th fab dithau *yw* y marw. A hon
a ddywedodd, Nage; eithr dy fab
di *yw* y marw, a'm mab i *yw* y byw.
Fel hyn y llefarasant o flaen y
brenin.
23 Yna y dywedodd y brenin,
Hon sydd yn dywedyd, Dyma fy
mab i *sydd* fyw, a'th fab dithau *yw*
y marw: a hon acw sydd yn dywed-
yd, Nage; eithr dy fab di *yw* y
marw, a'm mab inau *yw* y byw.
24 A dywedodd y brenin, Dyg-
wch i mi gleddyf. A hwy a ddyg-
asant gleddyf o flaen y brenin.
25 A'r brenin a ddywedodd,

---

'nid yw yn debygol y meiddiasent ymddangos o flaen Solomon, nac y cawsent blant, nac y goddefasid hwy dan deyrnasiad Dafydd. Er na chrybwyllir am eu *gwŷr*, y mae yn debygol y gallent fod y pryd hyn mewn parthau ereill, yn dylyn eu gorchwylion angenrheidiol; ac nis gellid oedi yr achos presenol hyd nes y dychwelent hwy.' *Ac a safasant ger ei fron ef*—fel y gallai y brenin, yn ol ei fawr ddoethineb, benderfynu rhyngddynt.

Adn. 17. *A'r naill wraig*] Yr hon oedd yr erlynes, a mam y plentyn byw. *Yn trigo yn yr un tŷ*—heb neb yno ond hwy ill dwy, adn. 18.

Adn. 18. *Ac ar y trydydd dydd—yr esgorodd y wraig hon hefyd*] Fel nas gellid gwahaniaethu rhwng y plant ar gyfrif eu hoed na'u rhyw, trwy mai plentyn gwryw oedd gan y ddwy; *heb arall yn tŷ gyda ni*—ac am hyny nid oedd un tyst yn yr achos gan y naill na'r llall.

Adn. 19. *A mab y wraig hon a fu farw liw nos*] Nid y noson y ganed ef, ond yn mhen mis neu fwy wedi hyny, fel y mae yn eglur oddiwrth fod y mamau mewn cyflwr priodol i ymddangos o flaen y brenin; *o herwydd hi a orweddodd arno ef*—gan ei lethu i farwolaeth yn ei meddwdod neu yn ei chwsg. Hi a gasglai hyny oddiwrth ei fod yn iach wrth ei roddi yn y gwely, neu oddiwrth ryw arwyddion a welsai ar gorff y plentyn.

Adn. 20. *A hi a gododd yn nghanol y nos*] Ar ol deall ei bod wedi mygu ei phlentyn ei hun i farwolaeth; *ac a gymerodd fy mab i o'm hymyl*—hi, a gasglai mai fel hyn y bu oddiwrth ryw arwydd trwy yr hwn yr oedd yn adnabod gwahaniaeth rhwng y ddau blentyn.

Adn. 21. *A phan godais i y bore i beri i'm mab sugno*] Gan feddwl ei fod yn fyw, fel yr oedd pan yr aethai hi i'w gwely; *wele, marw oedd efe!*—yr hyn a barodd iddi ing dybryd, fel y gallwn yn hawdd ddirnad. *Ac wedi i mi ddal arno y bore*—neu graffu yn fanylach arno ar ol i'r dydd wawrio; *wele, nid fy mab i*—deallais yn eglur mai nid fy mab i ydoedd efe, ond fod hwnw yn fyw yn ei mynwes hi. Dyma gŵyn yr erlynes, fel yr agorai hi yr achos o flaen y brenin.

Adn. 22. *A'r wraig arall*] Yr hon oedd yr amddiffynwraig, a mam y plentyn marw; *a ddywedodd, Nage*—hi a wadai yr hyn a ddywedasai y llall, ac a haerai yn ei gwyneb, o flaen y brenin, mai ei mab hi oedd yr un byw, ac mai mab y llall oedd yr un marw. Y mae yn amlwg oddiwrth adn. 26, nad oedd ganddi hi ddim serch, fel mam, tuag at y plentyn byw; ac ymddengys ei bod yn ofni gwarth am iddi orwedd ar ei phlentyn ei hun, neu gosp am fod yn achos o'i farwolaeth ef.

Adn. 23. *Yna y dywedodd y brenin*] Gan symio i fyny, fel barnwr doeth, yr hyn a haeresid o bob tu; ac efe a ailadroddai eu dywediadau, i ddangos nad ellid penderfynu dim oddiwrth haeriadau dibrawf felly, ac y byddai raid cymeryd rhyw lwybr arall i brofi pa un oedd y fam.

Adn. 24. *Dygwch i mi gleddyf*] Gallwn feddwl fod pawb yn y llys yn rhyfeddu fod Solomon yn galw am gleddyf ar y fath achos a hwn, trwy nad oeddynt eto yn deall ei ddyben ef.

Adn. 25. *Rhenwch y bachgen byw yn ddau, &c.*] Nid oedd Solomon yn ddiau yn bwriadu gwneyd hyn, yr hyn ni fuasai ddim gwell na llofruddiaeth; ond ei amcan ef oedd profi teimladau a serchiadau y ddwy wraig, fel y gallai pawb yn y llys wybod pa un oedd gwir fam y bachgen byw. Efe a wyddai y byddai yn well gan y wir fam ollwng ei gafael o'i phlentyn, yn hytrach na'i weled ef yn cael ei dori yn ddarnau o flaen ei llygaid; tra y byddai i'r llall gydsynio â hyn yn ewyllysgar, er mwyn boddhau y brenin. Tybia Abarbinel, yr esboniwr Iuddewig, y gwyddai Solomon eisioes, oddiwrth wynebpryd a dull ymadroddiad y ddwy wraig, pa un oedd mam y plentyn

Rhenwch y bachgen byw yn ddau,
a rhoddwch yr hanner i'r naill, a'r
hanner i'r llall.
26 Yna y dywedodd y wraig *bi-*
*oedd* y mab byw wrth y brenin,
(canys ei hymysgaroedd a gynhes-
asai wrth ei mab,) ac a lefarodd, O
fy arglwydd, rhoddwch iddi hi y
bachgen byw, ac na leddwch ef
ddim: ond y llall a ddywedodd, Na
fydded eiddof fi na thithau, *eithr*
rhenwch *ef.*
27 Yna yr atebodd y brenin, ac y
dywedodd, Rhoddwch y bachgen
byw iddi hi, ac na leddwch ef ddim:
dyna ei fam ef.
28 A holl Israel a glywsant y
farn a farnasai y brenin; a hwy a
ofnasant y brenin: canys gwelsant
*fod* doethineb Duw ynddo ef i wneu-
thur barn.

## PENNOD IV.

A'R brenin Solomon oedd frenin
ar holl Israel.
2 A dyma y tywysogion *oedd*
ganddo ef: Azariah mab Sadoc, yr
offeiriad;
3 Elihoreph ac Ahiah, meibion
Sisa, *oedd* ysgrifenyddion; Jehosa-
phat mab Ahilud, yn gofiadur;
4 Benaiah mab Jehoiada *oedd* ar
y llu; a Sadoc ac Abiathar, yn
offeiriaid;
5 Ac Azariah mab Nathan *oedd*

---

byw; ac mai ei amcan ef oedd rhoddi amlygrwydd sicr o hyny i bawb ereill yn y llys: felly, yn y ddirnadaeth hon yn benaf yr oedd mawredd ei ddoethineb ef yn gynwysedig. Cawn anghreifftiau tebyg i hyn yn mhlith y paganiaid. Dywed *Suetonius*, yn muchdraeth *Claudius*, pen. xv, i'r amherawdwr hwn ddatguddio fod benyw yn fam i ryw ŵr ieuanc, (yr hwn y gwrthodai hi ei gydnabod fel ei mab,) trwy orchymyn iddi ei briodi ef; ond yn hytrach na bod yn euog o ymlosgach, ddarfod iddi gyffesu y gwirionedd. Dywed *Diodorus* ddarfod i *Ariopharnes*, brenin Thrace, ar ol ei benodi i benderfynu rhwng tri gŵr ieuanc, pob un o ba rai a haerai mai efe oedd mab brenin ymadawedig y Cimmeriaid, ac felly etifedd y goron, gael allan y gwir fab trwy orchymyn i bob un ollwng saeth i gorff marw y brenin; gwnaeth dau o honynt hyny yn ddibetrus, ond gommeddodd y trydydd; ac am hyny barnodd Ariopharnes mai efe oedd gwir fab yr ymadawedig.

Adn. 26. *Yna y dywedodd y wraig bioedd y mab byw*] Ar frys, yn ddychrynedig, a chyda thaerineb mawr, am yr ofnai y lleddid ei mab yn y fan; *canys ei hymysgaroedd a gynhesasai wrth ei mab*—hi a deimlodd holl serchogrwydd a thosturi mam at ei hunig blentyn diniwed. *O fy arglwydd!*—fel hyn, yn nghanol ei chyffro a'i gwylltineb, nid anghofiodd ei moesgarwch i'r brenin; *rhoddwch iddi hi y bachgen byw*—yr oedd yn well ganddi i'r wraig arall gael y bachgen yn fyw, er ar gam, nag iddo ef gael ei ladd. Nid diffyg serch at y bachgen oedd hyn, eithr prawf o wir serch mam. *Ond y llall a ddywedodd*—gan feddwl boddhau y brenin trwy foddloni i'w ddedfryd ef; *Na fydded eiddof fi na thithau*—na rodder ef yn fyw i'r naill na'r llall o honom, ond rhodder darn i bob un. Yr oedd hyn yn brawf eglur nad oedd ganddi hi ddim serch ato, ac felly nad hi oedd ei fam ef.

Adn. 27. *Rhoddwch y bachgen byw iddi hi*] I'r erlynes, yr hon a ddeisyfodd na byddai iddo gael ei ladd, eithr ei roddi yn hytrach i'r wraig arall; *dyna ei fam ef*—fel yr oedd yn amlwg oddiwrth gynhesiad ei hymysgaroedd tuag ato, a'i deisyfiad am ei gadw yn fyw.

Adn. 28. *A holl Israel a glywsant y farn a farnasai y brenin*] Aeth y son yn ebrwydd trwy yr holl wlad am y ddyfais ddoeth uchod; *a hwy a ofnasant y brenin*—ofnent wneyd dim a'u dygai o flaen ei frawdle ef, neu parchent ef fel barnwr doeth, craff, a chyfiawn; *canys gwelsant fod doethineb Duw ynddo ef*—sef doethineb *mawr*, fel yr arwydda y gair weithiau; neu gwelsant fod Duw wedi ei gynysgaethu ef â doethineb annghyffredin a goruwchnaturiol, i roddi barn gywir yn yr achosion a ddygid ger ei fron, pa mor ddyrys ac anhawdd bynag a fyddent.

PEN. IV. Adn. 1. *Oedd frenin ar holl Israel*] O ddechre ei deyrnasiad hyd ddiwedd ei ddyddiau. Nid oedd ei dad yn frenin ond ar Judah yn unig yn y dechre; ac wedi hyny aeth rhan o'i bobl ef ar ol Isboseth, Absalom, Seba, neu Adoniah: ac nid oedd olynwyr Solomon yn frenhinoedd ar 'holl Israel,' trwy i'r frenhiniaeth gael ei rhanu yn amser Rehoboam ei fab ef.

Adn. 2. *A dyma y tywysogion oedd ganddo ef*] Y rhai oeddynt mewn swyddau uchel yn y llywodraeth dano ef. *Azariah mab Sadoc*—neu *ŵyr* Sadoc, 1 Cron. vi. 8, 9; *yr offeiriad*—hyny yw, yr ail offeiriad, yr hwn a weinyddai i Solomon yn bersonol mewn swyddau cysegredig. Ond myn rhai ei gyfieithu y *tywysog;* ac felly yr Azariah hwn oedd swyddog uwchaf y llywodraeth, yn nesaf at y brenin ei hun.

Adn. 3. *Ysgrifenyddion*] Yr oedd gan Solomon ddau, tra nad oedd gan Dafydd ddim ond un, trwy fod ganddo yn awr fwy o waith iddynt i'w wneuthur ar ol eangu ei lywodraeth. *Yn gofiadur*—yr hwn a gofrestrai achosion y deyrnas: gwel 2 Sam. xx. 24.

Adn. 4. *Benaiah—oedd ar y llu*] Yn dywysog yr holl filwriaeth yn lle Joab; *a Sadoc ac Abiathar yn offeiriaid*—sef yn archoffeiriaid yn olynol; y cyntaf oedd Abiathar, yr

ar y swyddogion: a Zabud mab
Nathan *oedd* benllywydd, *ac* yn gyf-
aill i'r brenin;
6 Ac Ahisar *oedd* benteulu; ac
Adoniram mab Abda, ar y deyrnged.
7 ¶ A chan Solomon yr ydoedd
deuddeg o swyddogion ar holl Is-
rael, y rhai a barotöent luniaeth i'r
brenin a'i dŷ: mis yn y flwyddyn
yr oedd ar bob un ddarparu.
8 Dyma eu henwau hwynt. Mab
Hur yn mynydd Ephraim.
9 Mab Decar yn Macas, ac yn
Saalbim, a Beth-semes, ac Elon-
bethanan.
10 Mab Hesed, yn Aruboth: iddo
ef *yr oedd* Sochoh, a holl dir
Hepher.
11 Mab Abinadab *oedd yn* holl
ardal Dor: Taphath merch Solo-
mon oedd yn wraig iddo ef.
12 Baana mab Ahilud *oedd yn*
Tannach, a Megido, a Bethsean oll,
yr hon *sydd* gerllaw Zartanah, is-
law Jezreel, o Bethsean hyd Abel-
mehola, hyd y tuhwnt i Jocneam.
13 Mab Geber *oedd* yn Ramoth
Gilead: iddo ef *yr oedd* trefydd
Jair mab Manasse, y rhai *sydd* yn
Gilead: eiddo ef *oedd* ardal Argob,
yr hon *sydd* yn Basan; *sef* triugain
o ddinasoedd mawrion, â chaerau,
a barau pres.
14 Ahinadab mab Ido *oedd* yn
Mahanaim.
15 Ahimaaz *oedd* yn Naphtali:
yntau a gymerodd Basmath merch
Solomon yn wraig.
16 Baanah mab Husi *oedd* yn
Aser ac yn Aloth.
17 Jehosaphat mab Purah *oedd*
yn Issachar.
18 Simei mab Elah *oedd* o fewn
Benjamin.
19 Geber mab Uri *oedd* yn ngwlad
Gilead, gwlad Sehon brenin yr Am-
oriaid, ac Og brenin Basan; a'r
unig swyddog *oedd* yn y wlad *yd-
oedd efe.*
20 ¶ Juda ac Israel *oedd* aml,
fel y tywod *sydd* gerllaw y môr o
amldra, yn bwyta ac yn yfed, ac yn
gwneuthur yn llawen.
21 A Solomon oedd yn llywodr-
aethu ar yr holl deyrnasoedd, o'r
afon hyd wlad y Philistiaid, ac hyd
derfyn yr Aifft: yr oeddynt hwy yn
dwyn anrhegion, ac yn gwasan-
aethu Solomon holl ddyddiau ei
einioes ef.

---

hwn a ddiswyddwyd; ac ar ei ol ef Sadoc, pen. ii. 27, 35.

Adn. 5. *Azariah mab Nathan*] Sef Nathan y proffwyd, yr hwn a fuasai mor offerynol i osod Solomon ar yr orsedd; *oedd ar y swyddogion*—sef ar y deuddeg a barotöent luniaeth i'r brenin a'i dŷ, adn. 7; *a Zabud mab Nathan oedd benllywydd*—neu brif gynghorwr y brenin.

Adn. 6. *Benteulu*] Neu oruchwyliwr y palas; *ar y deyrnged*—neu y dreth o wŷr, pen. v. 13, 14.

Adn. 7. *A chan Solomon yr ydoedd deuddeg o swyddogion ar holl Israel*] I gasglu lluniaeth i'r brenin a'i dŷ o bob cŵr o'r wlad. Darparai pob un am ei fis; ac felly nid oedd y gofal yn drwm iawn ar un o honynt, trwy fod ganddo unarddeg o fisoedd i barotoi erbyn ei un mis.

Adn. 8—10. *Dyma eu henwau hwynt*] Hyd ddiwedd adn. 19: ond enwau *tadau* rhai o honynt yn unig a roddir, trwy eu bod yn dra adnabyddus ac enwog yn eu dydd a'u cenhedlaeth. *Mab Hur yn mynydd Ephraim*—dyma ei randir ef, lle y casglai efe luniaeth i'r brenin yn ei fis; ac felly am y lleill.

Adn. 11. *Mab Abinadab oedd yn holl ardal Dor*] Lle yn llwyth Manasse, ar fin Môr-y-canoldir. *Taphath merch Solomon oedd yn wraig iddo ef*—ni feddai Solomon ferched mewn oedran priodasol pan osodwyd y dynion hyn yn eu swydd; ond yn mhen blynyddoedd, yr oedd y gŵr hwn ac Ahimaaz, a grybwyllir adn. 15, wedi ymddwyn mor dda yn eu swyddau, fel ag yr anrhydeddodd Solomon hwynt trwy roddi ei ferched yn wragedd iddynt; canys nid oedd yn annghyfreithlon y pryd hyny i blant brenhinoedd briodi deiliaid eu tad.

Adn. 12—19. *Baana mab Ahilud oedd yn Taanach, &c.*] Yma enwir y mab yn gystal a'r tad, ond odid am fod gan y tad amrai feibion, un o ba rai oedd y cofiadur, adn. 3. Yr ydym wedi sylwi eisioes ar y *lleoedd* a enwir yma, a hyny mewn gwahanol fanau, y rhai y gadewir i'r darllenydd eu cael allan trwy y cyfeirnodau ar ymyl ei Feibl, er gochelyd meithder. Tybia rhai fod y deuddeg swyddog hyn yn gysgod o'r deuddeg apostol, a holl weinidogion yr efengyl, yn darparu lluniaeth ysbrydol i dŷ neu eglwys Dduw.

Adn. 20. *Fel y tywod sydd gerllaw y môr o amldra*] Bendithiodd Duw hwy â ffrwythlondeb mawr yn eu teuluoedd, heb glefydau na rhyfeloedd i leihau eu nifer, ac felly cyflawnodd ei addewid i Abraham, Gen. xxii. 17. *Yn bwyta ac yn yfed*—yn cymeryd eu cyfraid o bob math o fwydydd a diodydd, mewn llawenydd a gorfoledd calon; a'r fywoliaeth fras hon a'u harweiniodd cyn hir i lwyr annghof o Dduw: gwel ar Deut. xxxii. 15. Ond y mae yr adnod hon yn eisiau yn y LXX.

Adn. 21. *A Solomon oedd yn llywodraethu ar yr holl deyrnasoedd*] Nid yn unig

22 ¶ A bwyd Solomon beunydd
oedd ddeg corus ar hugain o beill-
ied, a thriugain corus o flawd;
23 Deg o ychain pasgedig, ac
ugain o ychain porfadwy, a chant o
ddefaid, heblaw ceirw, ac iyrchod,
a buail, ac ednod breision.
24 Canys efe oedd yn llyw-
odraethu ar y tu yma i'r afon oll, o
Tiphsah hyd Azzah, ar yr holl fren-
hinoedd o'r tu yma i'r afon: ac yr
oedd iddo ef heddwch o bob parth
iddo o amgylch.
25 Ac yr oedd Juda ac Israel yn
preswylio yn ddiogel, bob un dan
ei winwydden a than ei ffigysbren,
o Dan hyd Beerseba, holl ddyddiau
Solomon.
26 Ac yr oedd gan Solomon ddeu-
gain mil o bresebau meirch i'w
gerbydau, a deuddeg mil o wŷr
meirch.
27 A'r swyddogion hyny a baro-
töent luniaeth i Solomon y brenin,
ac i bawb a ddelai i fwrdd y brenin
Solomon, pob un yn ei fis: ni ad-
awsant eisiau dim.
28 Haidd hefyd a gwellt a ddyg-
asant hwy i'r meirch, ac i'r cyflym
gamelod, i'r fan lle y byddai y
*swyddogion,* pob un ar ei ran.
29 ¶ A Duw a roddodd ddoethineb

---

ar holl Israel, adn. 1, ond hefyd ar holl deyrnasoedd y cenhedloedd o amgylch, y rhai oeddynt dan deyrnged iddo; *o'r afon*—sef afon Euphrates yn y gogledd-ddwyrain, *hyd wlad y Philistiaid*—yn y deau-orllewin, *a hyd derfyn yr Aifft*—sef hyd afon Sihor, yr hon oedd y terfyn rhwng yr Aifft a Chanaan. Yr oedd Dafydd wedi darostwng yr holl wledydd hyn, yn cynwys teyrnasoedd Syria, Damascus, Moab, ac Ammon; ac yr oedd Solomon yn mwynhau ffrwyth ei fuddugoliaethau ef, trwy deyrnasu mewn heddwch arnynt, a derbyn anrhegion a gwasanaeth ganddynt holl ddyddiau ei einioes. Fel hyn cyflawnwyd addewid Duw i Abraham, Gen. xv. 18, a phroffwydoliaeth Dafydd am ei fab Solomon, Salm lxxii. 8—11; ac yr oedd hyn yn gysgod o helaethrwydd eangach brenhiniaeth Crist.

Adn. 22. *A bwyd Solomon beunydd*] Sef bob dydd; neu fel y mae yn y Saesonaeg, 'am un diwrnod;' *oedd ddeg corus ar hugain o beillied*—dywed Esgob Cumberland fod *corus* yn cynwys yn agos i 76 o alwyni, gwinfesur; *a thriugain corus o flawd*—garwach na'r peillied, at wasanaeth gyffredin.

Adn. 23. *Deg o ychain pasgedig*] Wedi eu tewhau yn y beudy; *ac ugain o ychain porfadwy*—wedi eu pesgi ar y maes; *a chant o ddefaid*—y mae y gair *tson* a arferir yma, yn meddwl defaid neu eifr; *heblaw ceirw*—neu hyddod; *ac iyrchod*—neu eifr gwylltion; *a buail*—neu ychain gwylltion; *ac ednod breision*—sef pob math ar adar dofion a gwylltion ag oeddynt yn addas i'w bwyta ar wahanol dymhorau y flwyddyn. Dywed yr Iuddewon fod 60,000 yn bwyta ar fwrdd y brenin bob dydd: ond rhaid fod hyny yn cynwys ei wŷr o gard ef, yn gystal a'i weinidogion, a'r dyeithriaid a ymwelent âg ef, adn. 34.

Adn. 24. *Ar y tu yma i'r afon oll*] Yr ochr nesaf i Ganaan o'r Euphrates; *o Tiphsah*—yr un a Thapsarum, dinas enwog ar lan yr Euphrates yn y gogledd-ddwyrain; *hyd Azzah*—neu Gaza y Philistiaid yn y deau-orllewin: gwel ar adn. 21. *Ac yr oedd iddo ef heddwch o bob parth*—trwy fod yr holl frenhinoedd oddiamgylch naill ai yn ei barchu neu yn ei ofni ef.

Adn. 25. *Ac yr oedd Juda ac Israel yn preswylio yn ddiogel*] Heb gael dim niwed i'w personau na'u meddiannau oddiwrth neb o'u hamgylch; *bob un dan ei winwydden a than ei ffigysbren*—yn mwynhau ffrwyth ei lafur ei hun gyda chysur a diogelwch. Dan y ddau bren hyn, y rhai a feithrinid amlaf gan yr Iuddewon, y deallir yr holl ffrwyth-brenau ereill, a phob danteithfwyd. *O Dan hyd Beerseba*—parhaodd y diogelwch a'r dedwyddwch hwn i Israel oll, yn mhob cwr o'r wlad, am y deugain mlynedd ag y bu Solomon yn teyrnasu; fel nad oedd raid i neb ymgadw o fewn i'w dinasoedd *caerog* rhag ofn gelynion, eithr gallent ymdaenu dros yr holl wlad, a planu gwinllanoedd a gerddi yn y man y mynent, a mwynhau eu ffrwythydd yn dawel.

Adn. 26. *Ddeugain mil o bresebau meirch*] Yn 2 Cron. ix. 25, darllenir 'pedair mil o bresebau.' Tybia rhai fod yr ysgrifenydd yno yn rhoddi nifer yr *ystablau*, ac yma nifer y *presebau* neu y *meirch* yn yr ystablau hyny, sef deg yn mhob un. Barna ereill mai at y pedair mil o bresebau ag oedd gan Solomon yn Jerusalem y cyfeirir yn 2 Cron., ac yma at y rhai oedd ganddo yn mhob man dros yr holl wlad. Neu, gan mai *arba* yw y gair am 4, ac *arbaim* am 40, gallai yr adysgrifenydd, mewn camgymeriad, roddi y naill air yn lle y llall. Ond y mae yr oll o'r adnod hon yn eisiau yn y Syriaeg a'r Arabaeg. *A deuddeg mil o wŷr meirch*—fel gweinyddion i'w berson, ac i ardderchogi ei lywodraeth. Yr oedd amlhau *meirch* a *gwragedd* yn cael ei wahardd i frenhinoedd Israel, Deut. xvii. 16, 17; a chan i Solomon fod yn euog o'r ddau, rhaid fod ei ymddygiad yn anfoddhaol gan yr Arglwydd.

Adn. 27. *A'r swyddogion hyny*] A enwyd eisioes, adn. 7—19; *ni adawsant eisiau dim*—eithr parotöai pob un yn ei fis ddigon o luniaeth i ddyn ac anifel.

Adn. 28. *I'r fan lle y byddai y swyddogion*] Neu yn hytrach, 'i'r fan lle y byddai yr *anifeiliaid*;' canys nid oes un gair am swyddogion yn yr Hebraeg.

Adn. 29. *A Duw a roddodd ddoethineb i Solomon*] I farnu a llywodraethu Israel, mewn atebiad i'w weddi ef, pen. iii. 9; *a deall mawr iawn*—mewn pethau anianyddol, adn.

i Solomon, a deall mawr iawn, a helaethdra calon, fel y tywod *sydd* ar fin y môr.

30 A doethineb Solomon oedd fwy na doethineb holl feibion y dwyrain, ac na holl ddoethineb yr Aifft.

31 Ie, doethach oedd efe nag un dyn; nag Ethan yr Esrahiad, na Heman, na Chalcol, na Darda, meibion Mahol: a'i enw ef oedd yn mhlith yr holl genhedloedd oddiamgylch.

32 Ac efe a lefarodd dair mil o ddiarebion; a'i ganiadau oedd fil a phump.

33 Llefarodd hefyd am brenau, o'r cedrwydd *sydd* yn Libanus, hyd yr isop a dyf allan o'r pared: ac efe a lefarodd am anifeiliaid, ac am ehediaid, ac am ymlusgiaid, ac am bysgod.

34 Ac o bob pobloedd y daethpwyd i wrandaw doethineb Solomon, oddiwrth holl frenhinoedd y ddaear, y rhai a glywsent am ei ddoethineb ef.

## PENNOD V.

HIRAM *hefyd* brenin Tyrus a anfonodd ei weision at Solomon, (canys clybu eneinio o honynt hwy ef yn frenin yn lle ei dad,) canys hoff oedd gan Hiram Dafydd bob amser.

---

30—33; *a helaethdra calon, fel y tywod sydd ar fin y môr*—fel y mae y tywod ar fin y môr yn cau i mewn gorff mawr o ddwfr, felly yr oedd ei feddwl yntau yn cynwys môr o wybodaeth.

Adn. 30. *Fwy na doethineb holl feibion y dwyrain*] Sef y Caldeaid, y Persiaid, a'r Arabiaid, y rhai, yn nghyda'r Aifftiaid, oeddynt yn glodfawr am ddoethineb a gwybodaeth dros yr holl fyd, yn enwedig am seryddiaeth, dewiniaeth, a brudiaeth.

Adn. 31. *Ie, doethach oedd efe nag un dyn*] A fu, sydd, neu a ddaw, oddieithr yr Adda cyntaf a'r ail. Gall ambell un fod yn ddoeth mewn rhyw un peth, ond yr oedd Solomon yn ddoeth yn mhob peth—ysbrydol, naturiaethol, a gwladol. *Meibion Mahol*—gan fod *mahol*, neu *machol*, yn arwyddo *offeryn cerdd*, a bod crybwylliad am Ethan a Heman yn nheitl rhai o'r salmau, gall mai enwogion digon adnabyddus gynt fel *cerddorion* oedd y pedwar gŵr a grybwyllir yma; ac wrth ddywedyd fod Solomon yn rhagori arnynt hwy, y mae yn debyg mai at ei fedrusrwydd ef mewn *cerddoriaeth* y cyfeirir yma.

Adn. 32. *Ac efe a lefarodd dair mil o ddiarebion*] Neu frawddegau byrion, cynwysfawr, a defnyddiol, o'r rhai y cawn oddeutu mil yn llyfrau y Diarhebion a'r Pregethwr. Ond tybia Gill ac ereill fod y tair mil hyn yn cyfeirio at rai a '*lefarodd*' Solomon, ac nid at rai a *ysgrifenodd* efe dan ddwyfol ysbrydoliaeth, ac am hyny a gollwyd. *A'i ganiadau ef*—o'r rhai, fel y bernir, y ceir amrai yn llyfr y Salmau; ac wyth (neu ddeuddeg, yn ol Dr. Good,) yn llyfr y Caniadau. *Oedd fil a phump*—neu yn ol y LXX, 'bum mil.' Er y gallwn feddwl fod ei ganiadau a'i ddiarebion ef oll yn foesol ac addysgiadol, eto y mae yn debyg nad oedd un o honynt o ddwyfol ysbrydoliaeth, ond y rhai a drosglwyddwyd i ni yn yr ysgrythyrau santaidd.

Adn. 33. *Llefarodd hefyd am brenau*] Sef am bob math o brenau, llysiau, a phlanhigion, o ran eu natur, eu defnyddioldeb, a'u rhinweddau; *o'r cedrwydd sydd yn Libanus*—o'r coedydd mwyaf, hyd y llysiau distadlaf a dyfent allan o hen furiau. Yr oedd rhyw rinwedd meddygol ynddynt oll, yr hwn oedd adnabyddus i Solomon; a llefarai am y cyfryw er addysg i ereill. *Ac efe a lefarodd am anifeiliaid, ac am ehediaid, ac am ymlusgiaid, ac am bysgod*—mewn cyfundraith gryno o athroniaeth naturiol. Efe a wyddai am natur pob math ar blanhigion a chreaduriaid ar y ddaear, ac am holl adar yr awyr a physgod y môr; a llefarai am eu henwau, eu hansoddau, a'u defnyddioldeb, gyda'r hawsder a'r eglurder mwyaf. Dywed yr Iuddewon mai o ysgrifeniadau Solomon y cafodd *Aristotle* ei wybodaeth anianyddol, ac iddo gyhoeddi y gwaith yn ei enw ei hun. Dywedant hefyd i Solomon ysgrifenu llyfr o feddyginiaeth rhag pob math o glefydau, yr hwn a osododd efe wrth borth y deml at wasanaeth pawb; ac i Hezeciah ei symud ymaith, am fod y cleifion yn cyrchu at hwnw, yn lle gweddio ar Dduw am iachâd. Nid yw fod gweithiau Solomon heb eu rhoddi yn y Beibl, yn un prawf o anmherffeithrwydd yr ysgrythyrau santaidd; y rhai a ysgrifenwyd nid i ddysgu i ddynion athroniaeth neu phisygwriaeth, ond i'w gwneuthur hwynt yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Adn. 34. *Ac o bob pobloedd*] Sef o blith yr holl genhedloedd oddiamgylch; *y daethpwyd i wrando doethineb Solomon*—er mwyn cael rhyw addysg neu iachâd oddiwrtho; *oddiwrth holl frenhinoedd y ddaear*—y rhai a glywsent am ei ddoethineb ef gan ymdeithwyr neu farsiandwyr. Danfonai y rhai hyn eu cenadau anrhydeddusaf i edrych ai gwir oedd yr holl son am ei fawr ddoethineb ef; a gallwn feddwl eu bod hwy, ar eu dychweliad, yn barod i ddywedyd gyda brenhines Seba, na fynegesid iddynt yr hanner: gwel ar pen. x. 7.

PEN. V. Adn. 1. *Hiram hefyd brenin Tyrus, &c.*] Rhaid mai yn nechre teyrnasiad Solomon yr anfonwyd y cenadau hyn; a thybia rhai mai *mab* i gyfaill Dafydd oedd yr Hiram hwn, tra y tybia ereill mai yr *un*

2 A Solomon a anfonodd at Hir-
am, gan ddywedyd,
3 Ti a wyddost am Dafydd fy
nhad, na allai efe adeiladu tŷ i enw
yr Arglwydd ei Dduw, gan y rhy-
feloedd oedd o'i amgylch ef, nes
rhoddi o'r Arglwydd hwynt dan
wadnau ei draed ef.
4 Eithr yn awr yr Arglwydd fy
Nuw a roddodd i mi lonydd oddi-
amgylch, *fel nad oes* na gwrthwyn-
ebydd, nac ymgyfarfod niweidiol.
5 Ac wele, fi â'm bryd ar adeil-
adu tŷ i enw yr Arglwydd fy Nuw:
megys y llefarodd yr Arglwydd
wrth Dafydd fy nhad, gan ddywed-
yd, Dy fab, yr hwn a osodaf fi yn dy
le di ar dy orseddfainc di, efe a ad-
eilada dŷ i'm henw i.
6 Yn awr, gan hyny, gorchymyn
dori o honynt i mi gedrwydd o Li-
banus; a'm gweision i a fyddant
gyda'th weision di: a rhoddaf atat
gyflog dy weision, yn ol yr hyn a
ddywedych: canys ti a wyddost nad
*oes* yn ein plith ni ŵr a fedro gymynu
coed megys y Sidoniaid.
7 A bu, pan glybu Hiram eiriau
Solomon, lawenychu o hono ef yn
ddirfawr, a dywedyd, Bendigedig
*yw* yr Arglwydd heddyw, yr hwn
a roddes i Dafydd fab doeth ar y
bobl luosog yma.
8 A Hiram a anfonodd at Solo-
mon, gan ddywedyd, Gwrandewais
ar yr hyn a anfonaist ataf: mi a
wnaf dy holl ewyllys di am goed
cedrwydd, a choed ffynidwydd.
9 Fy ngweision a'*u* dygant i
waered o Libanus hyd y môr: a mi
a'u gyraf hwynt yn gludeiriau ar
hyd y môr, hyd y fan a osodych di
i mi; ac yno y dattodaf hwynt, a
chymer di *hwynt:* ond ti a wnai fy
ewyllys inau, gan roddi ymborth
i'm teulu i.

---

oeddynt. Gan fod Hiram yn gyfaill mawr i Dafydd, ac wedi adeiladu palas iddo, 2 Sam. v. 11, efe a ewyllysiai gadw yr un gyfeillach â'i fab ef, i ddoethineb yr hwn y clywsai efe yn ddiamau lawer o glod; ac efe a garai y mab, am ei fod bob amser yn hoffi y tad.

Adn. 2. *A Solomon a anfonodd at Hiram*] Dywed Josephus fod y llythyrau a anfonid gan Solomon a Hiram at eu gilydd ar gael yn ei amser ef; ac y maent i'w gweled eto yn ngwaith Eupolemus, awdwr paganaidd, yr hyn sydd yn cadarnhau gwirionedd yr hanesiaeth santaidd.

Adn. 3. *Na allai efe adeiladu tŷ i enw yr Arglwydd ei Dduw*] At ei addoliad a'i wasanaeth ef; *gan y rhyfeloedd oedd o'i amgylch ef*—y rhai oeddynt yn tynu ei ofal a'i sylw ef ffordd arall, ac yn ei anaddasu at y fath waith, 1 Cron. xxii. 8; *nes rhoddi o'r Arglwydd hwynt dan wadnau ei draed ef*—nes iddo lwyr orchfygu ei elynion neu y rhyfelwyr hyny; ac erbyn hyny yr oedd Dafydd wedi myned yn rhy hen at y fath waith.

Adn. 4. *Lonydd oddiamgylch*] Gwel ar pen. iv. 25; *fel nad oes na gwrthwynebydd*—oddiallan i'm teyrnas, *nac ymgyfarfod niweidiol*—oddifewn.

Adn. 5. *Ac wele fi â'm bryd ar adeiladu tŷ i enw yr Arglwydd fy Nuw*] Enw Duw yw Duw ei hun: a pha un bynag ai bod Hiram yn addolwr y gwir Dduw ai nad oedd, nid oedd ar Solomon gywilydd proffesu ger ei fron y Duw hwnw yn Dduw iddo ei hun, a mynegu ei fwriad o adeiladu tŷ i'w enw mawr. *Megys y llefarodd*—trwy Nathan y proffwyd: gwel ar 2 Sam. vii. 12, 13.

Adn. 6. *Yn awr, gan hyny, gorchymyn*] I'th weision dy hun, y rhai ydynt fedrus yn y fath waith; *dori o honynt i mi gedrwydd*—y rhai oeddynt yn dra phriodol at waith coed y deml, o herwydd eu cryfder, eu parhad, a'u perarogledd; *o Libanus*—pa le oedd o fewn tiriogaeth Solomon; ac am hyny nid yw efe yn gofyn i Hiram eu *rhoddi* iddo, eithr yn unig eu *tori. A'm gweision i a fyddant gyda'th weision di*—yn cydweithio â hwynt, a than gyfarwyddyd gweision Hiram, y rhai oeddynt yn fwy medrus i dori a naddu coed na phobl Israel; *a rhoddaf atat gyflog dy weision*—gymaint ag a farnai Hiram ei hun yn addas iddynt; *canys ti a wyddost*—er pan fu ei bobl ef yn adeiladu tŷ i Dafydd, 2 Sam. v. 11; *nad oes yn ein plith ni ŵr a fedro gymynu*—neu gwympo coed. Rhyfela y buasai holl wrywaid Israel hyd yn ddiweddar, ac nid oedd neb o honynt mor fedrus mewn saernïaeth a gwŷr Tyrus a Sidon. Tybia rhai fod y cynorthwy hwn o eiddo y Cenhedloedd i adeiladu teml Solomon, yn gysgod o alwad y Cenhedloedd i fod yn offerynau yn adeiladaeth teml ysbrydol Crist ar y ddaear.

Adn. 7. *Lawenychu o hono ef yn ddirfawr*] Am fod yr hen gyfeillgarwch a fuasai rhyngddo a Dafydd yn debyg o barhau rhyngddo â'i fab ef, ac am y cai efe yr anrhydedd o gynorthwyo Solomon yn ei orchwyl pwysig. *Bendigedig yw yr Arglwydd heddyw*—yr hyn a ddengys fod ganddo ef ryw wybodaeth am y gwir Dduw; a thybia rhai ei fod yn ei addoli ef, o leiaf gyda duwiau ereill, yr hyn a wnai rhai o'r brenhinoedd Cenhedlig.

Adn. 8. *A Hiram a anfonodd at Solomon*] Mewn ysgrifen, 2 Cron. ii. 11. *Mi a wnaf dy holl ewyllys di*—rhoddaf fy ngweision ar waith i gwympo cedrwydd i ti, a phob pren arall a all fod arnat ei eisiau: gwel ar 2 Cron. ii. 8.

Adn. 9. *O Libanus hyd y môr*] Neu at lan Môr-y-canoldir, lle yr oedd ei ddinas ef yn sefyll; *a mi a'u gyraf hwynt yn gludeiriau*

10 Felly yr oedd Hiram yn rhoddi
i Solomon o goed cedrwydd, ac o
goed ffynidwydd, ei holl ddymuniad.
11 A Solomon a roddodd i Hiram
ugain mil corus o wenith *yn* gynal-
iaeth i'w dŷ, ac ugain corus o olew
coeth: felly y rhoddai Solomon i
Hiram bob blwyddyn.
12 A'r Arglwydd a roddes ddoeth-
ineb i Solomon, fel y dywedasai
wrtho: a bu heddwch rhwng Hiram
a Solomon; a hwy a wnaethant
gyfammod ill dau.
13 ¶ A'r brenin Solomon a gyfod-
odd dreth o holl Israel; a'r dreth
oedd ddeng mil ar hugain o wŷr.
14 Ac efe a'u hanfonodd hwynt i
Libanus, ddeng mil yn y mis *ar*
gylch: mis y byddent yn Libanus,
*a* dau fis gartref: Ac Adoniram
*oedd* ar y dreth.
15 Ac yr oedd gan Solomon
ddeng mil a thriugain yn dwyn
beichiau, a phedwarugain mil yn
naddu cerig yn y mynydd;
16 Heblaw pen-swyddogion So-
lomon, y rhai *oedd* ar y gwaith, sef
tair mil a thri chant, yn llywodr-
aethu y bobl a weithient yn y
gwaith.
17 A'r brenin a orchymynodd
ddwyn o honynt hwy feini mawr, a
meini costus, *a* meini nadd, i syl-
faenu y tŷ.
18 Felly seiri Solomon, a seiri
Hiram, a'r Gibliaid, a naddasant,
ac a ddarparasant goed a cherig i
adeiladu y tŷ.

—wedi eu rhwymo yn nghyd, ac yn cael eu llusgo ar hyd y môr ar ol cychod, fel y gwneir yn fynych i borthladdoedd Cymru; *hyd y fan a osodych di i mi*—sef hyd Joppa, porthladd enwog yn ngwlad Israel, 2 Cron. ii. 16. Yr oedd o leiaf 20 milldir o dir i'w cludo ar hyd-ddo o fynydd Libanus i Tyrus, a thua 100 milldir o fôr o Tyrus i Joppa, ac oddeutu 30 milldir o dir o Joppa i Jerusalem, yr hyn a wna yn y cwbl oddeutu 150 o filldiroedd. *Ac yno y dattodaf hwynt*—fel y gallai gweision Solomon eu llusgo bob yn bren i Jerusalem. *Gan roddi ymborth i'm teulu i*—yn dâl am dori y coed, eu naddu, a'u cludo i Joppa. Er fod gan wŷr Tyrus a Sidon ddigon o arian fel marsiandwyr cyfoethog, eto yr oeddynt mewn angen am ŷd a lluniaeth o wledydd ereill, fel y dysgwn oddiwrth Act. xii. 20.

Adn. 10. *Ei holl ddymuniad*] Faint a fynai o goed, a'r fath a fynai.

Adn. 11. *Ugain mil corus o wenith*] Yn ol Esgob Cumberland, yr oedd y gwenith hwn yn pwyso 12,960,000 o'n pwysau ni. *Ac ugain corus o olew coeth*—y mae mesur yr olew, yn 2 Cron. ii. 10, yn 'ugain *mil* bath o olew;' a sonir yno hefyd am 'ugain mil corus o *haidd*, ac ugain mil bath o *win*,' yn chwanegol at y *gwenith* a'r *olew* a grybwyllir yma. Ond tybia rhai mai i Hiram a'i dŷ yr oedd y cwbl o'r hyn a enwir yma, a bod y pethau a enwir yn 2 Cron. yn perthyn i'r gweithwyr neu ei weision ef; ac os felly, nid oes dim anghysondeb rhwng y ddau le. *Felly y rhoddai Solomon i Hiram bob blwyddyn*—cyhyd ag y buwyd yn adeiladu y deml; neu tra y bu Hiram byw, fel y dywed yr Iuddewon.

Adn. 12. *Fel y dywedasai wrtho*] Gwel ar pen. iii. 12. *A bu heddwch rhwng Hiram a Solomon*—tra y buont hwy byw; yr hyn oedd yn fanteisiol i'r ddwy blaid, trwy fod Solomon yn cael gwasanaeth arbenig oddiar law Hiram, fel y gwelsom uchod, a Hiram yn cael ei gynaliaeth oddiwrth Solomon. *A hwy a wnaethant gyfammod ill dau*—i barhau a chadarnhau yr heddwch hwnw.

Adn. 13. *A gyfododd dreth*] Nid treth o arian, ond treth o wŷr, yn cynwys 30,000 o wŷr o holl Israel.

Adn. 14. *Deng mil yn y mis ar gylch*] Rhenid y 30,000 o wŷr yn dri dosbarth; a gyrai Solomon 10,000 o honynt i Libanus, i weithio yno am fis gyda gweision Hiram, lle yr oedd y coed yn cael eu tori; tra yr oedd y ddau ddosbarth arall, sef 20,000, yn cael aros gartref i ofalu am eu hachosion eu hunain. Felly yr oeddynt oll yn olynol yn gweithio yn Libanus un mis o bob tri, a gartref ddau fis o bob tri, yr hyn a wnai eu gwasanaeth yn dra ysgafn. *Adoniram oedd ar y dreth*—yn brif arolygwr ar y gweithwyr hyn.

Adn. 15. *Ac yr oedd gan Solomon ddeng mil a thriugain*] O 'wŷr dyeithr,' neu *broselytiaid*, y rhai a drigent yn mhlith yr Israeliaid, 2 Cron. ii. 17; *yn dwyn beichiau*—yn cludo y cerig o'r mynyddoedd lle y cloddiesid ac y naddesid hwynt, a'r coed o Joppa; *a phedwar ugain mil yn naddu cerig yn y mynydd*—yn barod i'w gosod yn yr adeilad pan ddygid hwy yno, pen. vi. 7.

Adn. 16. *Tair mil a thri chant*] Neu 'dair mil a *chwe* chant,' fel ei darllenir yma gan y LXX, ac yn 2 Cron. ii. 18. Os tybia neb yn hynod fod cynifer o filoedd o wŷr yn cael eu defnyddio wrth adeilad mor fechan a'r deml, dylent ystyried, (1) Fod y deml, a'i holl ranau, yn llawer helaethach nag y meddylir yn gyffredin. (2) Eu bod yn gweithio ar gylch, rhag cael eu llethu gan ormod llafur, adn. 14. (3) Fod y coed a'r meini a naddid ganddynt yn cael eu bwriadu ond odid at 'dŷ yr Arglwydd, tŷ Solomon, Milo, mur Jerusalem, Hasor, Megido, a Gezer,' pen. ix. 15.

Adn. 17. *A'r brenin a orchymynodd*] I'r pen-swyddogion, a hwythau i'r gweithwyr, adn. 16; *ddwyn o honynt hwy feini mawr*—fel ag i fod yn sylfaeni digon cadarn i adeilad mor helaeth; *a meini costus*—rhai wedi costio iddynt lawer o amser a llafur i'w tori o'r graig; neu feini mynor gwerthfawr, fel y myn rhai; *a meini nadd*—wedi eu hysgwario a'u caboli oll yn y modd prydferthaf. Er y byddent o'r golwg yn y sylfan, eto yr oeddynt i

## PENNOD VI.

AC yn y bedwar-ugeinfed a phedwar cant o flynyddoedd wedi dyfod meibion Israel allan o'r Aifft, yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Solomon ar Israel, yn y mis Zif, hwnw *yw* yr ail mis, y dechreuodd efe adeiladu tŷ yr Arglwydd.

2 A'r ty a adeiladodd y brenin Solomon i'r Arglwydd *oedd* driugain cufydd ei hyd, ac ugain *cufydd* ei led, a deg cufydd ar hugain ei uchder.

3 A'r porth o flaen teml y tŷ *oedd* ugain cufydd ei hyd, yn un hyd â lled y tŷ; *ac* yn ddeg cufydd ei led, o flaen y tŷ.

4 Ac efe a wnaeth i'r tŷ ffenestri, yn llydain oddifewn, ac yn gyfyng oddiallan.

5 Ac efe a adeiladodd wrth fur y tŷ ystafelloedd oddiamgylch mur y tŷ, yn nghylch y deml, a'r gafell; ac a wnaeth gelloedd o amgylch.

6 Yr ystafell isaf *oedd* bum cufydd ei lled, a'r ganol chwe chufydd ei lled, a'r drydedd yn saith gufydd ei lled: canys efe a roddasai attegion o'r tuallan i'r tŷ oddiamgylch, fel na rwymid *y trawstiau* yn mur y tŷ.

7 A'r tŷ, pan adeiladwyd ef, a adeiladwyd o gerig wedi eu cwbl naddu cyn eu dwyn yno: fel na chlybuwyd na morthwylion, na bwyill, *nac* un offeryn haiarn, yn y tŷ, wrth ei adeiladu.

---

fod oll yn feini costus a llathraidd, heb un yn ddiwerth na garw, i'r dyben i fod yn gysgod addas o Grist, sylfaen brofedig a gwerthfawr Seion: gwel ar 1 Pedr ii. 4—6, Esay xxviii. 16, a liv. 11, Dat. xxi. 19.

Adn. 18. *A'r Gibliaid*] Neu drigolion Gebal, dinas o du y dwyrain i Sidon, Jos. xiii. 5. Yn y Saesonaeg gelwir hwynt yn *ysgwarwyr cerig;* ac felly yr oeddynt o ran eu gwaith, er eu bod o Gebal o ran eu gwlad.

PEN. VI. Adn. 1. *Ac yn y bedwar-ugeinfed a phedwar cant o flynyddoedd, &c.*] A chaniatau 40 mlynedd i Moses ar ol dyfod Israel o'r Aifft, 17 i Josua, 299 i'r Barnwyr, 40 i Eli, 40 i Samuel a Saul, 40 i Dafydd, a 4 i Solomon cyn dechreu o hono adeiladu, cawn yr union gyfrif o 480 o flynyddoedd, fel y dywedir yma. Buwyd cyhyd a hyny cyn dechreu adeiladu y deml santaidd, yr hon cyn pen llai na 430 o flynyddoedd a ddyfethwyd gan Nebuchodonosor. *Yn y mis Zif*—yr ail o'r flwyddyn eglwysig, yn cyfateb i ran o'n misoedd Ebrill a Mai ni. Cyn Crist 1011 o flynyddau.

Adn. 2. *Driugain cufydd ei hyd, &c.*] Dywed rhai mai cufydd y cysegr a olygir yma, yr hwn oedd yn 21 modfedd o hyd, ac nid y cufydd cyffredin o 18 modfedd. Os felly, yr oedd hyd y deml, o'r dwyrain i'r gorllewin, rywfaint dros 36 o latheni, ei lled dros 12 llath, a'i huchder dros 18. Ond rhaid i ni ddeall hyn am y cysegr; canys nid oedd y cysegr santeiddiolaf ddim ond 20 cufydd o uchder, adn. 20, ac yr oedd y porth yn 120 o gufyddau o uchder, 2 Cron. iii. 4.

Adn. 3. *A'r porth o flaen teml y tŷ*] Yr hwn oedd yn mhen dwyreiniol y tŷ, a thrwy yr hwn yr eid i mewn iddo; *oedd ugain cufydd ei hyd*—o'r gogledd i'r deau; *ac yn ddeg cufydd ei led*—o'r dwyrain i'r gorllewin. Felly, trwy fod lled y porth i'w chwanegu at hyd y deml, yr oedd ei holl hyd yn 70 o gufyddau.

Adn. 4. *Ffenestri*] Neu agoriadau yn y mur i ollwng i mewn awel a goleuni; canys ni ddywedir fod gwydr ynddynt; *yn llydain oddifewn, ac yn gyfyng oddiallan*—fel y gwelir yn aml mewn hen gastelli ac eglwysi. Neu, fel y mae Boothroyd yn ei ddarllen, 'ffenestri ag y gellid eu hagor neu eu cau.'

Adn. 5. *Ac efe a adeiladodd wrth fur y tŷ ystafelloedd oddiamgylch*] At wasanaeth yr offeiriaid pan fyddent yn gweinyddu yn y deml, lle y cadwent eu dillad, a'r llestri cysegredig; *yn nghylch y deml a'r gafell*—sef yn nghylch y cysegr a'r cysegr santeiddiolaf, yr hwn a feddylir yma wrth y 'gafell;' *ac a wnaeth gelloedd oddiamgylch*—Heb. 'a wnaeth *asenau;*' ac wrthynt y dealla rhai *orielau*, y rhai a amgylchent yr ystafelloedd rhagddywededig, ac a oeddynt yn angenrheidiol er mynedfa iddynt.

Adn. 6. *Canys efe a roddasai attegion o'r tu allan i'r tŷ oddiamgylch*] Dywedir hyn fel rheswm paham yr oedd yr ystafelloedd yn ymledu fel yr oeddynt yn esgyn, trwy fod y mur yn culhau tuag i fyny, er gadael corbal neu obenydd yn y mur i ddal trawstiau y lloriau, yn lle eu rhoddi mewn tyllau yn y mur. Yr oedd mur y deml wedi ei adeiladu fel grisiau, pob gris neu obenydd yn gufydd o led; ac yr oedd y trawstiau a ddalient y llawr isaf yn gorphwys ar yr ris isaf, a llawr yr ail ystafell ar yr ail ris, ac felly y drydedd, yr hyn oedd yn gwneyd yr ystafelloedd yn lletach o gufydd bob un o'r isaf i'r uwchaf. Fel hyn y gwneid â mur y deml, rhag ei anmharu; ond ni ddywedir dim am y mur allanol, yr hwn oedd yn dal y pen arall i'r trawstiau.

Adn. 7. *Wedi eu cwbl naddu cyn eu dwyn yno*] Fel nad oedd gan yr adeiladwyr ddim i'w wneyd ond eu gosod ar eu gilydd, heb swn morthwylion nac un offeryn haiarn i'w glywed yn y lle. Gan fod y deml hon yn gysgod eglur o eglwys Crist ar y ddaear, yr oedd yr amgylchiad hwn yn arwyddo y dylai pob peth gael ei ddwyn yn mlaen yn yr adeilad ysbryd-

8 Drws y gell ganol *oedd* ar yst-
lys deau y tŷ; ac ar hyd grisiau
tröedig y dringid i'r ganol, ac o'r
ganol i'r drydedd.
9 Felly yr adeiladodd efe y tŷ,
ac a'i gorphenodd; ac a fyrddiodd
y tŷ â thrawstiau ac ystyllod o
gedrwydd.
10 Ac efe a adeiladodd ystafell-
oedd wrth yr holl dŷ, yn bum cuf-
ydd eu huchder: ac â choed cedr
yr oeddynt yn pwyso ar y tŷ.
11 ¶ A daeth gair yr Arglwydd
at Solomon, gan ddywedyd,
12 *Am* y tŷ yr wyt ti yn ei adeil-
adu, os rhodi di yn fy neddfau i, a
gwneuthur fy marnedigaethau, a
chadw fy holl orchymynion, gan
rodio ynddynt; yna y cyflawnaf â
thi fy ngair a lefarais wrth Dafydd
dy dad.
13 A mi a breswyliaf yn mysg
meibion Israel, ac ni adawaf fy
mhobl Israel.
14 Felly yr adeiladodd Solomon
y tŷ, ac a'i gorphenodd.
15 Ac efe a fyrddiodd barwydydd
y tŷ oddifewn âg ystyllod cedrwydd,
o lawr y tŷ hyd y llogail y byrdd-
iodd efe ef â choed oddifewn: byrdd-
iodd hefyd lawr y tŷ â phlanciau o
ffynidwydd.
16 Ac efe a adeiladodd ugain cuf-
ydd ar ystlysau y tŷ âg ystyllod
cedr, o'r llawr hyd y parwydydd:
felly yr adeiladodd iddo o fewn, *sef*
i'r gafell, i'r cysegr santeiddiolaf.
17 A'r tŷ, sef y deml o'i flaen ef,
oedd ddeugain cufydd *ei hyd.*
18 A chedrwydd y tŷ oddifewn
*oedd* wedi eu cerfio yn gnapiau, ac
yn flodau agored: y cwbl *oedd*
gedrwydd; ni welid careg.
19 A'r gafell a ddarparodd efe yn

---

ol hon heb swn cynhen, terfysg, nac ymryson; ac fel yr oedd yn gysgod o eglwys Dduw yn y nef, arwyddai nad oes un enaid i gael lle yn y deml santaidd hòno, heb iddo yn gyntaf gael ei barotoi yma i'r lle dedwydd hwnw.

Adn. 8. *Drws y gell ganol oedd ar ystlys deau y tŷ*] Yn gwynebu tua'r deau; canys pan fo dyn yn edrych tua'r dwyrain, y mae y pegwn deheuol ar y llaw ddeau iddo. *Ac ar hyd grisiau tröedig y dringid i'r ganol*—sef i'r rhes ganol o ystafelloedd; a barna rhai fod y grisiau hyn y tu allan i'r mur.

Adn. 9. *Felly yr adeiladodd efe y tŷ*] Sef y corff allanol o hono, neu y muriau; *ac a fyrddiodd y tŷ*—hyny yw, efe a osododd dô arno.

Adn. 10. *Ac efe a adeiladodd ystafelloedd wrth yr holl dŷ*] O'i amgylch, fel y gwelsom, adn. 5, 6; *yn bum cufydd eu huchder*—ac felly nid oedd y tair rhes nemawr dros 15 cufydd, neu hanner uchder y tŷ, yr hwn oedd 30 cufydd, adn. 2. Yr oedd fel hyn ddigon o le i'r ffenestri, y rhai yn debygol oeddynt uwchben yr ystafelloedd hyn, adn. 4.

Adn. 11. *A daeth gair yr Arglwydd at Solomon*] Naill ai mewn breuddwyd, fel yn Gibeon, pen. iii. 5; neu ynte trwy enau rhyw broffwyd.

Adn. 12. *Am y tŷ yr wyt ti yn ei adeiladu*] Dengys hyn mai nid yr un weledigaeth yw hon a'r un a grybwyllir pen. ix. 2, &c., fel y tybia rhai; canys ni chymerodd hòno le hyd ar ol cysegriad y deml, eithr dygwyddodd hon tra yr oedd yn cael ei hadeiladu. *Os rhodi di yn fy neddfau i, &c.*—yma y mae Duw yn amlygu yr ammodau ar ba rai y cyflawnai efe ei addewid i Dafydd; ac wrth sicrhau iddo y cyflawniad o honi ar ei ufydd-dod ef, y mae yn eglur yn awgrymu y gwrthwyneb ar ei anufydd-dod. Ni wnai ei holl drafferth ef a'i bobl i godi y deml hon eu hesgusodi hwy rhag ufyddhau i ddeddf Duw, na'u hamddiffyn rhag ei farnau ef os anufyddhäent. *Yna y cyflawnaf â thi fy ngair a lefarais wrth Dafydd dy dad*—trwy Nathan y proffwyd: gwel ar 2 Sam. vii. 12, 13.

Adn. 13. *A mi a breswyliaf yn mysg meibion Israel*] Yn y deml, fel y gwnaethym yn y babell; *ac ni adawaf fy mhobl Israel*—nid ymbellhaf oddiwrthynt yn y wlad dda a roddais iddynt.

Adn. 14. *Felly yr adeiladodd Solomon y tŷ*] Ar ol yr addewid hon gan Dduw, efe a aeth rhagddo gyda'r gwaith yn fwy calonog nag o'r blaen, nes iddo ei gwbl orphen.

Adn. 15. *Ac efe a fyrddiodd barwydydd y tŷ*] Neu a wisgodd y muriau oddifewn âg estyllod cedrwydd, o'r llawr hyd y *llogail*, sef hyd nen y tŷ; *byrddiodd hefyd lawr y tŷ â phlanciau o ffynidwydd*—y rhai oeddynt yn dewach ac yn gryfach na'r cedrwydd.

Adn. 16. *Felly yr adeiladodd iddo o fewn*] Sef o fewn y gafell, yr hon oedd y cysegr santeiddiolaf. Ymddengys oddiwrth ddiwedd yr adnod hon mai y cysegr santeiddiolaf a olygir wrth yr 'ugain cufydd ar ystlysau y tŷ' yn ei dechre hi; ac 'adeiladu' hwnw oedd ei *fyrddio* âg estyllod cedrwydd fel y byrddiwyd y deml.

Adn. 17. *A'r tŷ, sef y deml o'i flaen ef*] O flaen y cysegr santeiddiolaf, neu yn y naill ben iddo; *oedd ddeugain cufydd ei hyd*—ar ol rhoddi 20 cufydd i'r cysegr santeiddiolaf, nid oedd ond 40 cufydd ar ol; canys 60 cufydd oedd hyd y tŷ oll, adn. 2.

Adn. 18. *Wedi eu cerfio yn gnapiau*] Hirgrwn ar lun ŵyau; *ac yn flodau agored*—fel rhosynau llawn dŵf; *ni welid careg*—trwy eu bod wedi eu gorchuddio oll âg estyllod cedrwydd.

Adn. 19. *A'r gafell*] Sef y cysegr santeiddiolaf; *a ddarparodd efe yn y tŷ o fewn*

y tŷ o fewn, i osod yno arch cyf-
ammod yr Arglwydd.
20 A'r gafell yn y pen blaen *oedd*
ugain cufydd o hyd ac ugain cufydd
o led, ac ugain cufydd ei huchder:
ac efe a'i gwisgodd âg aur pur;
*felly hefyd* y gwisgodd efe yr allor
o gedrwydd.
21 Solomon *hefyd* a wisgodd y tŷ
oddifewn âg aur pur; ac a roddes
farau ar draws, wrth gadwyni aur,
o flaen y gafell, ac a'u gwisgodd âg
aur.
22 A'r holl dŷ a wisgodd efe âg
aur, nes gorphen yr holl dŷ: yr
allor hefyd oll, yr hon *oedd* wrth y
gafell, a wisgodd efe âg aur.
23 ¶ Ac efe a wnaeth yn y gafell
ddau o gerubiaid, *o* bren olewwŷdd,
*pob un yn* ddeg cufydd ei uchder.
24 A'r naill aden i'r cerub *oedd*
bum cufydd, a'r aden arall i'r cerub
*oedd* bum cufydd: deg cufydd *oedd*
o'r naill gŵr i'w adenydd ef hyd y
cŵr arall i'w adenydd ef.
25 A'r ail cerub *oedd* o ddeg cuf-
ydd: un fesur ac un agwedd *oedd* y
ddau gerub.
26 Uchder y naill gerub *oedd*
ddeg cufydd; ac felly yr *oedd* y cer-
ub arall.
27 Ac efe a osododd y cerubiaid
yn y tŷ oddifewn: ac adenydd y
cerubiaid a ymledasant, fel y cy-
ffyrddodd aden y naill â'r *naill*
bared, ac aden y cerub arall oedd
yn cyffwrdd â'r pared arall; a'u
hadenydd hwy ynghanol y tŷ oedd
yn cyffwrdd â'u gilydd.
28 Ac efe a wisgodd y cerubiaid
âg aur.
29 A holl barwydydd y tŷ o am-
gylch a gerfiodd efe â cherfiedig
luniau cerubiaid, a phalmwydd, a
blodau agored; o fewn ac oddiallan.
30 Llawr y tŷ hefyd a wisgodd efe
âg aur oddifewn ac oddiallan.
31 ¶ Ac i ddrws y gafell y
gwnaeth efe ddorau *o* goed olew-
wŷdd; capan y drws *a'r* gorsingau
*oedd* bummed ran *y pared.*
32 Ac ar y ddwy ddor *o* goed

—sef yn y pen gorllewinol iddo; *i osod yno arch cyfammod yr Arglwydd*—yr hon a wnaethai Moses er's mwy na 480 o flynyddoedd cyn hyn.

Adn. 20. *A'r gafell yn y pen blaen oedd ugain cufydd o hyd, &c.*] Yr oedd ei hyd, ei lled, a'i huchder, o'r un mesuriad. Fel hyn yr oedd yr adeilad oll o dri uchder, yn debyg i rai o'n heglwysi ni: yr oedd y porth, fel clochdy eglwys, yn 120 cufydd o uchder, 2 Cron. iii. 4; y cysegr, neu gorff yr adeilad, yn 30 cufydd, adn. 2; a'r gafell santeiddiolaf, fel canghell eglwys, yn 50 cufydd. *Ac efe a'i gwisgodd âg aur pur*—sef â llafnau o aur, yn cyraedd i 600 talent, 2 Cron. iii. 8. *Felly hefyd y gwisgodd efe yr allor*—sef allor yr arogldarth.

Adn. 21. *Ac a roddes farau ar draws wrth gadwyni aur*] Naill ai fel addurn crogedig, neu ynte fel math ar balis goreuredig i amddiffyn y wahanlen ag oedd rhwng y ddau gysegr.

Adn. 22. *A'r holl dŷ a wisgodd efe âg aur*] Nid yn unig y cysegr santeiddiolaf, ond hefyd holl gorff y deml; ac hefyd, fel y tybia rhai, yr holl ystafelloedd perthynol iddi.

Adn. 23. *Ddau o gerubiaid*] Yr oedd y rhai hyn yn wahanol i'r rhai aur a wnaed gan Moses, ac yn llawer mwy na hwy. *O bren olewwŷdd*—Heb. 'o bren *olew*,' o ba rai yr oedd amrai fathau heblaw yr olewwŷdd; megys pinwydd, cedrwydd, &c. *Pob un yn ddeg cufydd ei uchder*—neu yn agos i chwe llath. Meddylir yn gyffredin fod y cerubiaid hyn yn cael eu bwriadu i arddangos gweinyddion a chymdeithion Duw Israel, sef yr angylion santaidd; nid i gael eu haddoli eu hunain, ond i ddangos mor fawr yw Ef, yr hwn yr ydym ni yn ei addoli. Am y *cerubiaid*, gwel ar Gen. iii. 24, ac Exod. xxv. 18.

Adn. 24—26. *Deg cufydd oedd o'r naill gŵr i'w adenydd ef, &c.*] Felly yr oedd adenydd y ddau gerub yn llenwi holl led y tŷ, yr hyn oedd ugain cufydd, adn. 2.

Adn. 27. *Ac efe a osododd y cerubiaid yn y tŷ oddifewn*] Gyda'u gwynebau at y wahanlen a'r cysegr, fel ag i edrych ar yr hwn a ddeuai i mewn i'r cysegr santeiddiolaf, lle yr oedd yr arch, y drugareddfa, a'r cerubiaid ereill ar y drugareddfa. Y mae yn debyg fod y cerubiaid hyn yn sefyll ar y llawr, ac â'u hadenydd yn cysgodi y cerubiaid ereill.

Adn. 28. *Ac efe a wisgodd y cerubiaid âg aur*] Y rhai a wnaethid o bren olewwŷdd, adn. 23.

Adn. 29. *A cherfiedig luniau cerubiaid*] Fel arwyddion o bresenoldeb yr angylion santaidd, a'u hamddiffyniad o'r lle; *a phalmwydd*—yn arwyddion o'r fuddugoliaeth ar eu gelynion, yr hon y gallai Israel, wrth iawn addoli Duw yn y lle hwnw, ei dysgwyl; *o fewn ac oddiallan*—i'r wahanlen; sef yn y gafell oddifewn iddi, ac yn y cysegr oddiallan iddi.

Adn. 30. *Llawr y tŷ hefyd a wisgodd efe âg aur*] Sef â llafnau tewion o aur, yn y gafell a'r cysegr, bob tu i'r wahanlen. Yr oedd hyn yn cael ei wneuthur nid yn unig er addurn, ond hefyd i arddangos y purdeb a'r santeiddrwydd rhodiad a weddai i bawb a sangent gynteddau tŷ yr Arglwydd. Fel hyn hefyd yr arddanghosir heolydd y Jerusalem nefol, Dat. xxi. 21.

olewwŷdd y cerfiodd efe gerfiadau cerubiaid, a phalmwydd, a blodau agored, ac a'*u* gwisgodd âg aur, ac a ledodd aur ar y cerubiaid, ac ar y palmwydd.
33 Ac felly y gwnaeth efe i ddrws y deml orsingau *o* goed olewwŷdd, *y rhai oedd* bedwaredd ran *y pared.*
34 Ac yr *oedd* y ddwy ddôr *o* goed ffynidwydd: dwy ddalen blygedig *oedd* i'r naill ddôr, a dwy ddalen blygedig i'r ddôr arall.
35 Ac efe a gerfiodd gerubiaid, a phalmwydd, a blodau agored, *arnynt;* ac a'*u* gwisgodd âg aur, yr hwn a gymhwyswyd ar y cerfiad.
36 ¶ Ac efe a adeiladodd y cyntedd nesaf i mewn â thair rhes o gerig nâdd, ac â rhes o drawstiau cedrwydd.
37 ¶ Yn y bedwaredd flwyddyn y sylfaenwyd tŷ yr Arglwydd, yn mis Zif:
38 Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddeg, yn mis Bul, (dyna yr wythfed mis,) y gorphenwyd y tŷ, a'*i* holl ranau, a'*i* holl berthynasau. Felly *mewn* saith mlynedd yr adeiladodd efe ef.

## PENNOD VII.

EITHR ei dŷ ei hun a adeiladodd Solomon mewn tair blynedd ar ddeg, ac a orphenodd ei holl dŷ.
2 ¶ Efe a adeiladodd dŷ coedwig Libanus, yn gan cufydd ei hyd, ac yn ddeg cufydd a deugain ei led, ac yn ddeg cufydd ar hugain ei uchder, ar bedair rhes o golofnau cedrwydd,

---

Adn. 31. *Ac i ddrws y gafell y gwnaeth efe ddorau*] Meddylir fod y drws hwn yn gysgod o Grist, fel y drws i'r eglwys ar y ddaear, ac hefyd i'r nef, Ioan x. 9. *Bummed ran y pared*—neu bedwar cufydd.

Adn. 32. *Gerfiadau cerubiaid*] Yr un modd a pharwydydd y tŷ: gwel ar adn. 29. *Ac a ledodd aur ar y cerubiaid*—sef dalenau teneuon o aur, digon teneu ac ystwyth i'w cymhwyso yn berffaith ar y cerfiadau, adn. 35.

Adn. 33. *Ac felly y gwnaeth efe i ddrws y deml*] Trwy yr hwn yr eid i mewn o'r porth i'r cysegr cyntaf; *orsingau o goed olewwŷdd*—neu ystlys-byst o'r un defnydd a dorau y gafell, adn. 31; *bedwaredd ran y pared*—sef pum cufydd, yr hyn oedd gufydd yn lletach na gorsingau drws y gafell, adn. 31.

Adn. 34. *Dwy ddalen blygedig oedd i'r naill ddôr*] Yr oedd pob un o'r dorau hyn yn ddwy ddalen, yn cau at eu gilydd yn y canol, fel y maent yn aml yn ein hadeiladau ni; ac felly gellid agor un ddalen, neu y ddwy, wrth fyned i mewn.

Adn. 35. *Ac efe a gerfiodd gerubiaid, &c.*] Gwel ar adn. 29, 32.

Adn. 36. *Ac efe a adeiladodd y cyntedd nesaf i mewn*] Sef cyntedd yr offeiriaid, 2 Cron. iv. 9, yr hwn oedd yn wahanol i'r cyntedd mawr, lle y safai y bobl a ddeuent i aberthu a gweddio; *â thair rhes o gerig nâdd*—y naill ar y llall ond odid; *ac â rhes o drawstiau cedrwydd*—yn uwchaf ar y cyfan. Dywed rhai nad oedd y mur hwn uwchlaw tri chufydd o uchder, yr hyn oedd yn ddigon uchel i gadw y bobl allan, ac yn ddigon isel iddynt allu gweled yr offeiriaid yn offrymu eu haberthau, ac ymddyddan â hwynt dros y mur.

Adn. 37. *Yn y bedwaredd flwyddyn*] O deyrnasiad Solomon, y sylfaenwyd y deml; *yn mis Zif*—gwel ar adn. 1.

Adn. 38. *Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddeg*] O deyrnasiad Solomon, *y gorphenwyd y tŷ*—ar ol iddo gael ei ddechreu yn y bedwaredd flwyddyn. *Felly mewn saith mlynedd yr adeiladodd efe ef*—yn briodol, saith mlynedd a chwe mis; canys dechreuwyd ef yn mis *Zif*, yr hwn oedd yr ail o'r flwyddyn gysegredig; a gorphenwyd ef yn mis *Bul*, yr hwn oedd yr wythfed: ond y mae yr ysgrythyr yn gyffredin, fel y gwelsom yn fynych, yn adrodd ffeithiau mewn *rhif crwn:* gwel ar 2 Sam. v. 4. Nid rhyfedd i'r gwaith hwn gymeryd i fyny gymaint o amser i'w orphen, pan yr ystyriom y cynteddau, y celloedd, yr ystafelloedd, y cerfiadau, y goreuriadau, &c., y rhai oeddynt i'w gwneuthur gyda'r fath ofal a manylwch, yn chwanegol at gorff y deml. Os bu agos holl wŷr Asia am 220 o flynyddau yn adeiladu teml Diana yn Ephesus, ac os bu 360,000 o wŷr am 20 mlynedd yn adeiladu un o feraon yr Aifft, fel y dywed Pliny, nid rhyfedd i weision Solomon fod saith mlynedd a hanner yn adeiladu teml mor fawreddog a gogoneddus a'r un a ddarluniwyd uchod.

PEN. VII. Adn. 1. *Eithr ei dŷ ei hun a adeiladodd efe mewn tair blynedd ar ddeg*] Trwy fod ganddo ond odid lawer llai o weithwyr wrtho. Gwnaeth lawer mwy o frys i orphen tŷ yr Arglwydd nag a wnaeth i orphen ei dŷ ei hun, yr hyn a ddengys fod ei ofal ef yn fwy am ogoniant yr Arglwydd nag am ei anrhydedd ei hun. Ac ymddengys na ddechreuodd efe adeiladu ei dŷ ei hun nes iddo orphen tŷ Dduw; canys dywedir ei fod ugain mlynedd wrth y ddau, pen. ix. 10, 2 Cron. viii. 1.

Adn. 2. *Efe a adeiladodd dŷ coedwig Libanus*] Heblaw y deml, ei dŷ ei hun, a thŷ merch Pharao, adn. 8. Gelwir hwn yn 'dŷ coedwig Libanus,' nid am ddarfod ei adeiladu ar fynydd Libanus yn ngogledd eithaf y wlad; ond am iddo gael ei adeiladu o gedrwydd Libanus, neu mewn coedwig neu ar fryn cyffelyb i Libanus. Ei fod yn agos i Jerusalem, ac nid ar fynydd Libanus, a ymddengys yn amlwg pan yr ystyriom mai yno yr oedd 'gorsedd barn,' adn. 7, yr hon yr oedd yn angenrheidiol

a thrawstiau cedrwydd ar y colofnau.
3 Ac efe a dôwyd â chedrwydd
oddiarnodd ar y trawstiau *oedd* ar y
pum colofn a deugain, pymtheg *yn*
y rhes.
4 Ac *yr oedd* tair rhes o ffenestri,
goleu ar gyfer goleu, *yn* dair rhenc.
5 A'r holl ddrysau a'r gorsingau
*oedd* ysgwâr, *felly yr oedd* y ffenestri;
a goleu ar gyfer goleu, *yn* dair rhenc.
6 ¶ Hefyd efe a wnaeth borth o
golofnau, yn ddeg cufydd a deugain
ei hyd, ac yn ddeg cufydd ar hug-
ain ei led: a'r porth *oedd* o'u blaen
hwynt; a'r colofnau *ereill* a'r swm-
erau *oedd* o'u blaen hwythau.
7 ¶ Porth yr orseddfa *hefyd*, yr
hwn y barnai efe ynddo, a wnaeth
efe yn borth barn: ac efe a wisgwyd
â chedrwydd o'r naill gwr i'r llawr
hyd y llall.
8 ¶ Ac *i'w* dŷ ei hun, yr hwn y
trigai ynddo, *yr oedd* cyntedd arall
o fewn y porth o'r un fath waith.
Gwnaeth hefyd dŷ i ferch Pharao,
yr hon a briodasai Solomon, fel y
porth hwn.
9 Hyn oll *oedd* o feini costus,
wedi eu naddu wrth fesur, *a'u* lladd
â llif, oddifewn ac oddiallan, *a hyny*
o'r sylfaen hyd y llogail; ac *felly*
o'r tuallan hyd y cyntedd mawr.
10 Ac efe a sylfaenesid â meini
costus, â meini mawr, â meini o
ddeg cufydd, ac â meini o wyth
cufydd.
11 Ac oddiarnodd *yr oedd* meini
costus, (wedi eu naddu wrth fesur,)
a chedrwydd.
12 Ac *i'r* cyntedd mawr *yr oedd*
o amgylch, dair rhes o gerig nâdd,
a rhes o drawstiau cedrwydd, i
gyntedd tŷ yr Arglwydd oddifewn,
ac i borth y tŷ.
13 ¶ A'r brenin Solomon a an-
fonodd ac a gyrchodd Hiram o
Tyrus.
14 Mab gwraig weddw *oedd* hwn

---

iddi fod yn agos at ei drigle arferol ef. *Yn gan cufydd ei hyd*—yr oedd hyd a lled y tŷ hwn yn llawer mwy nag eiddo y deml: nid oedd ond rhyw nifer o offeiriaid i fyned i'r deml; eithr i hwn âi teulu Solomon, ei lyswyr a'i bendefigion, cenadau oddiwrth frenhinoedd pellenig, gweision milwraidd Solomon, a phawb a feddent ryw neges ato ef; ac yr oedd yn ofynol cael lle helaeth i'w cynwys. *Ar bedair rhes o golofnau cedrwydd*—y rhai a gynalient yr adeilad, a rhwng y rhai yr oedd rhodfeydd cyfleus.

Adn. 3. *Pymtheg yn y rhes*] Felly yn yr ail esgynfa hon nid oedd ond tair rhes o golofnau, y rhai oeddynt ddigonol er addurn i'r ail, ac er cynaliad i'r drydedd esgynfa: a gallwn gasglu oddiyma fod triugain o golofnau odditanodd, neu bymtheg yn mhob rhes o'r pedair, adn. 2.

Adn. 4. *Ac yr oedd tair rhes o ffenestri*] Sef un rhes i'r llawr, un i'r llofft gyntaf, ac un i'r ail lofft; *goleu ar gyfer goleu*—neu ffenestr ar gyfer ffenestr yn y tair rhes, bob ochr.

Adn. 5. *A'r holl ddrysau a'r gorsingau*] Neu y pyst, *oedd ysgwâr*—o'r un hyd a lled; ac yr oedd yr holl ffenestri hefyd yn ysgwâr.

Adn. 6. *Hefyd efe a wnaeth borth o golofnau*] Hyny yw, yn cael ei gynal gan amrai golofnau. Lle i harddu y fynedfa i'r tŷ oedd hwn, ac i'r gwarchawdlu a'r gweinyddion brenhinol aros neu rodio ynddo tra y byddai y brenin yn y tŷ. *A'r porth oedd o'u blaen hwynt*—sef o flaen colofnau y tŷ mawr ag a soniwyd am dano uchod.

Adn. 7. *Porth yr orseddfa hefyd*] Sef yr orseddfainc fawr o ifori, pen. x. 18; *yr hwn y barnai efe ynddo*—pan ddygid achosion i'w penderfynu ganddo; *a wisgwyd â chedrwydd o'r naill gwr i'r llawr hyd y llall*—Heb. 'o lawr hyd lawr,' sef o'r llawr isaf hyd lawr y llofft uwchben.

Adn. 8. *Ac i'w dŷ ei hun*] Yr hwn y soniwyd am dano yn adn. 1; *yr oedd cyntedd arall o fewn y porth*—sef rhwng y porth a'r tŷ, yr hwn a elwir o ganlyniad y 'cyntedd canol,' 2 Bren. xx. 4. *Gwnaeth hefyd dŷ i ferch Pharao*—allan o ddinas Dafydd, 2 Cron. viii. 11. Hwn oedd y trydydd tŷ a adeiladodd efe, heblaw y deml. Y cyntaf oedd palas Solomon, adn. 1; yr ail oedd tŷ coedwig Libanus, neu borth barn; a'r trydydd oedd yr *harem*, neu ystafelloedd y benywod, at yr hwn y cyfeirir yma.

Adn. 9. *Hyn oll oedd o feini costus*] Sef y tri thŷ uchod a'r deml; *wedi eu naddu wrth fesur*—i gyfateb yn gywir i'w gilydd; *a'u lladd â llif*—Saes. 'eu llifio â llif,' fel y gellid eu caboli yn hawddach; *oddifewn ac oddiallan*—tu fewn i'r adeiladau, lle y gwisgid hwynt â chedrwydd, yn gystal a'r tu allan; *o'r sylfaen hyd y llogail*—neu hyd y crib.

Adn. 10. *Ac efe*] Sef tŷ merch Pharao, am yr hwn y soniwyd ddiweddaf, adn. 8; *a sylfaenesid â meini costus*—yr un fath a sylfaeni y deml, pen. v. 17.

Adn. 11. *Ac oddiarnodd yr oedd meini costus*] Nid yn unig yn y sylfan, ond hefyd yn yr oruwchadeiladaeth hyd y bargod.

Adn. 12. *Ac i'r cyntedd mawr*] Perthynol i dŷ Solomon, adn. 8; *yr oedd o amgylch dair rhes o gerig nâdd*—y naill ar y llall, a rhes o drawstiau cedrwydd yn uwchaf oll, neu ynte yn orchudd i'r meini oddifewn, fel y tybia rhai; *i gyntedd tŷ yr Arglwydd*—neu, yn hytrach, *fel* i gyntedd tŷ yr Arglwydd, pen. vi. 36; *ac i borth y tŷ*—sef tŷ Solomon.

Adn. 13. *A gyrchodd Hiram o Tyrus*] Nid Hiram brenin Tyrus, ond gôf pres cywrain o'r un enw ag ef, ac o'r un lle.

Adn. 14. *Mab gwraig weddw oedd hwn o lwyth Naphtali*] Yn 2 Cron. ii. 14, dywedir mai 'gwraig o ferched *Dan*' oedd hon; ond

o lwyth Naphtali, a'i dad yn ŵr o
Tyrus: gôf pres *ydoedd efe;* a llawn
ydoedd o ddoethineb, a deall, a gwy-
bodaeth, i weithio pob gwaith o bres.
Ac efe a ddaeth at y brenin Solomon,
ac a weithiodd ei holl waith ef.
15 Ac efe a fwriodd ddwy golofn
o bres; deunaw cufydd *oedd* uchder
pob colofn; a llinyn o ddeuddeg
cufydd a amgylchai bob un o'r ddwy.
16 Ac efe a wnaeth ddau gnap o
bres tawdd, i'w rhoddi ar benau y
colofnau; pum cufydd *oedd* uchder
y naill gnap, a phum cufydd uchder
y cnap arall.
17 Efe a wnaeth rwydwaith, *a*
phlethiadau o gadwynwaith, i'r
cnapiau *oedd* ar ben y colofnau;
saith i'r naill gnap, a saith i'r cnap
arall.
18 Ac efe a wnaeth y colofnau, a
dwy res o bomgranadau o amgylch
ar y naill rwydwaith, i guddio y
cnapiau *oedd* uwchben; ac felly y
gwnaeth efe i'r cnap arall.
19 A'r cnapiau y rhai *oedd* ar y
colofnau *oedd* o waith lili, yn y porth,
yn bedwar cufydd.
20 Ac i'r cnapiau ar y ddwy go-
lofn oddiarnodd, ar gyfer y canol,
*yr oedd pomgranadau,* y rhai *oedd*
wrth y rhwydwaith; a'r pomgran-
adau *oedd* ddau cant, yn rhesi o am-
gylch, ar y cnap arall.
21 Ac efe a gyfododd y colofnau
yn mhorth y deml: ac a gyfododd
y golofn ddeau, ac a alwodd ei henw
hi Jachin; ac efe a gyfododd y go-
lofn aswy, ac a alwodd ei henw hi
Boaz.
22 Ac ar ben y colofnau *yr oedd*
gwaith lili. Felly y gorphenwyd
gwaith y colofnau.
23 ¶ Ac efe a wnaeth fôr tawdd,
yn ddeg cufydd o ymyl i ymyl: yn
grwn oddiamgylch, ac yn bum cuf-

---

yma, 'o lwyth *Naphtali.*' Gall mai brenin Tyrus, yr hwn a lefarai yn 2 Cron., a wnaeth y camgymeriad, trwy gymysgu y ddau lwyth; neu dichon ei bod hi o lwyth Naphtali o du ei *thad*, ac o lwyth Dan o du ei *mam*, fel ag y gellid ei galw ar enw y naill neu y llall. *A'i dad yn ŵr o Tyrus*—pan yn fyw; hyny yw, yno y bu efe byw a marw. *Gôf pres ydoedd efe*—ac yn medru gweithio hefyd mewn aur, arian, haiarn, cerig, coed, porffor, glâs, llian main, ac ysgarlad, 2 Cron. ii. 14; eithr ei fedrusrwydd mewn pres yn unig a grybwyllir yma, gan mai am ei waith pres y sonir.

Adn. 15. *Ac efe a fwriodd*] Hyny yw, a foldiodd neu a doddodd; *ddwy golofn o bres*—yn gau oddifewn, Jer. lii. 21; *deunaw cufydd oedd uchder pob colofn*—yn 2 Cron. iii. 15, dywedir fod y colofnau hyn yn 35 cufydd o uchder, yr hyn ond odid a gyfeiria at uchder y ddwy yn nghyd heb eu gwadnau, tra y mae uchder pob un yn cael ei roddi yma gyda'i gwadn o hanner cufydd. *A llinyn o ddeuddeg cufydd a amgylchai bob un*—hyny yw, yr oedd pob un yn 12 cufydd o amgylchedd, ac oddeutu 4 cufydd o dryfesur.

Adn. 16. *Ac efe a wnaeth ddau gnap o bres tawdd*] I fod fel coron addurnawl ar ben pob un, adn. 41; *pum cufydd oedd uchder y naill gnap*—yn 2 Bren. xxi. 17, dywedir mai *tri* chufydd oedd uchder y cnap; ond y mae yn debyg fod yr addurniadau a grybwyllir yn adn. 17 yn gynwysedig yn y pum cufydd yn yr adnod hon, tra na fesurir dim ond y cnapiau moelion yn 2 Bren.

Adn. 17. *Ac efe a wnaeth rwydwaith, a phlethiadau o gadwynwaith*] Yn addurn i'r cnapiau ar benau y colofnau.

Adn. 18. *Dwy res o bomgranadau*] Sef lluniau yr afalau peraidd hyny, y rhai oeddynt hefyd ar odre gwisg yr archoffeiriad, Exod. xxviii. 33, 34.

Adn. 19. *O waith lili*] Hyny yw, yr oedd llun y blodau hyny wedi ei weithio ar y cnapiau hyn; *yn y porth*—lle y codwyd y colofnau hyn, adn. 20; neu '*fel* yr oedd yn y porth;' *yn bedwar cufydd*—canys yr oedd hyd y cnapiau a'u haddurniadau oll yn bum cufydd.

Adn. 20. *A'r pomgranadau oedd ddau cant*] Yn ddwy res ar bob cnap, o gant yn mhob rhes, yr hyn a wnai 400 rhwng y ddau gnap, fel y dywedir yn adn. 42, a 2 Cron. iv. 13. Yn Jer. lii. 23, dywedir nad oedd ond 96 o bomgranadau ar yr ystlys, er fod yno gant o amgylch yn mhob rhes; ac felly rhaid fod pedair yn guddiedig o bob rhes, ond odid gan y mur neu yn y conglau.

Adn. 21. *Ac efe*] Sef Solomon, *a gyfododd y colofnau yn mhorth y deml*—nid i fod yn gynaliaeth i unrhyw beth, ond i fod yn arwyddocaol i'r addolwyr a gyrchent yno. *Ac a alwodd ei henw hi Jachin*—yr hyn a arwydda, EFE A GADARNHA; *Boaz*—MEWN NERTH. Felly yr oedd y colofnau hyn, trwy eu cadernid a'u diysgogrwydd, yn gysgodau o'r nerth hwnw ag oedd yn Nuw i amddiffyn a diogelu ei deml a'i bobl, os byddent hwy yn wyliadwrus i gyflawni yr ammodau a ofynid ganddo ef oddiwrthynt hwy; ac yr oedd eu henwau yn coffâu yn wastadol i'r offeiriaid a'r addolwyr a gyrchent yno, mai yn yr Arglwydd yn unig yr oeddynt i ymddiried, ac nid ynddynt eu hunain na'u seremonïau.

Adn. 22. *Gwaith lili*] Fel y crybwyllwyd adn. 19.

Adn. 23. *Ac efe a wnaeth fôr tawdd*] Sef llestr mawr o bres toddedig, yr hwn, ar gyfrif y corff mawr o ddwfr a gynwysid ynddo, a elwir yn 'fôr.' Yn y tabernacl yr oedd noe bres at wasanaeth yr offeiriaid, Exod. xxx. 18, a xxxviii. 8; ond trwy fod yr offeiriaid a'r aberthau yn amlach yn awr, gwnaeth Hiram y

ydd ei uchder; a llinyn o ddeg cufydd ar hugain a'i hamgylchai oddiamgylch.

24 A chnapiau a'i hamgylchent ef dan ei ymyl o amgylch, deg mewn cufydd oedd yn amgylchu y môr o amgylch: y cnapiau *oedd* yn ddwy res, wedi eu bwrw pan fwriwyd yntau.

25 Sefyll yr oedd ar ddeuddeg o ychain; tri oedd yn edrych tua'r gogledd, a thri yn edrych tua'r gorllewin, a thri yn edrych tua'r deau, a thri yn edrych tua'r dwyrain: a'r môr arnynt oddiarnodd, a'u penau ol hwynt oll o fewn.

26 Ei dewder hefyd *oedd* ddyrnfedd, a'i ymyl fel gwaith ymyl cwpan, *a* blodau lili: dwy fil o bathau a anai ynddo.

27 ¶ Hefyd efe a wnaeth ddeg o ystolion pres; pedwar cufydd *oedd* hyd pob ystôl, a phedwar cufydd ei lled, a thri chufydd ei huchder.

28 A dyma waith yr ystolion; ystlysau *oedd* iddynt, a'r ystlysau *oedd* rhwng y delltenau.

29 Ac ar yr ystlysau *oedd* rhwng y delltenau, *yr oedd* llewod, ychain, a cherubiaid; ac ar y dellt *yr oedd* ystôl oddiarnodd; ac odditan y llewod a'r ychain *yr oedd* cysylltiadau o waith tenau.

30 A phedair olwyn bres *oedd* i bob ystôl, a phlanciau pres; ac yn eu pedair congl *yr oedd* ysgwyddau, iddynt: dan y noe *yr oedd* ysgwyddau, wedi eu toddi ar gyfer pob cysylltiad.

31 A'i genau oddifewn y cwmpas, ac oddiarnodd, *oedd* gufydd; a'i genau hi *oedd* grwn, ar waith yr ystôl, yn gufydd a hanner: ac ar ei hymyl hi *yr oedd* cerfiadau, a'i hystlysau yn bedwar ochrog, nid yn grynion,

32 A'r pedair olwyn *oedd* dan yr ystlysau, ac echelau yr olwynion yn yr ystôl; ac uchder pob olwyn yn gufydd a hanner cufydd.

33 Gwaith yr olwynion *hefyd oedd* fel gwaith olwynion mèn; eu hechelau, a'u bothau, a'u camegau, a'u hadenydd, *oedd* oll yn doddedig.

---

ddyfrgist fawr hon wrth orchymyn Solomon. *Yn ddeg cufydd*—o dryfesur, yr hyn oedd oddeutu chwe llath; ac o 5 cufydd o ddyfnder, a 30 o amgylchedd.

Adn. 24. *A chnapiau a'i hamgylchent ef dan ei ymyl*] Ar lun ychain, 2 Cron. iv. 3; *yn ddwy res*—a chan fod pob rhes yn 30 cufydd o hyd, a bod deg o'r cnapiau hyn yn mhob cufydd, yr oedd y llestr mawr hwn yn cynwys 600 o'r lluniau hyny yn y cyfan; *wedi eu bwrw pan fwriwyd yntau*—ac felly yr oedd y cwbl yn un cyfanwaith.

Adn. 25. *Sefyll yr oedd ar ddeuddeg o ychain*] O bres cyfanwaith, yr hyn oedd yn angenrheidiol i gynal y fath bwysi dirfawr; a meddylir fod y dwfr yn cael ei ollwng trwy enau yr ychain hyn. *Tri oedd yn edrych tua'r gogledd*—a'r pegwyni ereill; ac felly yr oeddynt yn gwynebu ar bob rhan o wlad Israel, a thua phedwar parth y byd. Meddylia rhai fod y môr tawdd yn arwyddo yr iachawdwriaeth fawr a'i bendithion, a bod yr ychain yn arwyddo gweinidogion yr efengyl, yn enwedig y deuddeg apostol, y rhai a garient yr efengyl i bedwar ban byd.

Adn. 26. *Dwy fil o bathau a anai*] Neu a gynwysid ynddo. Yr oedd bath yn cynwys oddeutu 8 galwyn, ac yr oedd dwy fil o bathau yn cynwys oddeutu 444 o farilau. Ymddengys oddiwrth 2 Cron. iv. 5, y derbyniai efe *dair mil* o bathau, ond ei lenwi at yr ymyl: ond y mae yn debyg nad arferent wneyd hyny, rhag i'r gwynt ei chwythu ef drosodd; ac mai *dwy fil* oedd y mesur a gedwid ynddo yn gyffredin. Ond gan i ail lyfr y Cronicl gael ei ysgrifenu *ar ol* y caethiwed Babilonaidd, dichon mai at y bath Babilonaidd y cyfeirir yno, yr hwn a allai fod yn llai o un ran o dair na'r bath Iuddewig, fel yr oedd eu cufydd yn llai o dair modfedd, 2 Cron. iii. 3. Eithr y mae y *Targum* yn cysoni y ddau le trwy ddywedyd, 'Efe a dderbyniai 3,000 bath o sych-fesur, ac a ddaliai 2,000 o wlyb-fesur.'

Adn. 27. *Hefyd efe a wnaeth ddeg o ystolion pres*] I ddal y deng noe bres, adn. 38.

Adn. 28. *Ystlysau oedd iddynt*] Neu fath o ymylwaith o'u hamgylch, beth yn uwch na gwyneb yr ystôl, i gadw y noe yn ddiogel arni. *Delltenau*—neu golofnau syth o bres i'w sicrhau.

Adn. 29. *Yr oedd llewod, ychain, a cherubiaid*] Sef lluniau y creaduriaid hyny, nid yn unig er addurn, ond hefyd i fod yn arwyddluniau o hyfder, diwydrwydd, ac ysbrydolrwydd meddwl gweinidogion crefydd: gwel ar Dat. iv. 7.

Adn. 30. *A phedair olwyn bres oedd i bob ystôl*] Trwy y rhai y gallai yr ystolion a'r noeau gael eu symud o le i le fel y byddai achos; *a phlanciau pres*—ar hyd y rhai eu symudid.

Adn. 31. *A'i genau*] Felly y gelwir gwyneb yr ystôl, yr hwn oedd yn geuol i ddal y noe; *oddifewn y cwmpas*—sef tufewn i'r ystlys allanol, adn. 28; *oedd gufydd*—hyny oedd dyfnder y genau neu y ceuedd, yr hyn oedd yn ddigonol i gadw y noe yn ddiysgog oddifewn; *a'i genau hi oedd grwn*—oddifewn, er fod y tuallau yn bedwar-ochrog.

34 Ac *yr oedd* pedair ysgwydd
wrth bedair congl pob ystôl: o'r
ystôl *yr oedd* ei hysgwyddau hi.
35 Ac ar ben yr ystôl *yr oedd*
cwmpas o amgylch, o hanner cufydd
o uchder; ar ben yr ystôl hefyd *yr
oedd* ei hymylau a'i thaleithiau o'r
un.
36 Ac efe a gerfiodd ar ystyllod
ei hymylau hi, ac ar ei thaleithiau
hi, gerubiaid, llewod, a phalmwydd,
wrth noethder pob un, a chysyllt-
iadau oddiamgylch.
37 Fel hyn y gwnaeth efe y deg
ystôl: un doddiad, un fesur, *ac* un
agwedd, *oedd* iddynt hwy oll.
38 ¶ Gwnaeth hefyd ddeng noe
bres: deugain bath a ddaliai pob
noe; yn bedwar cufydd bob noe; *ac*
un noe ar bob un o'r deg ystôl.
39 Ac efe a osododd bum ystôl ar
ystlys ddeau y tŷ, a phump ar yr
ystlys aswy i'r tŷ: a'r môr a osododd
efe ar y tu deau i'r tŷ, tua'r dwyr-
ain, ar gyfer y deau.
40 ¶ Gwnaeth Hiram hefyd y
noeau, a'r rhawiau, a'r cawgiau: a
Hiram a orphenodd wneuthur yr holl
waith, yr hwn a wnaeth efe i'r bren-
in Solomon, *yn* nhŷ yr Arglwydd.
41 Y ddwy golofn, a'r cnapiau
coronog y rhai *oedd* ar ben y ddwy
golofn; a'r ddau rwydwaith, i gudd-
io y ddau gnap coronog *oedd* ar ben
y colofnau;
42 A phedwar cant o bomgran-
adau i'r ddau rwydwaith, dwy res o
bomgranadau i un rhwydwaith, i
guddio y ddau gnap coronog *oedd*
ar y colofnau;
43 A'r deg ystôl, a'r deg noe ar
yr ystolion;
44 Ac un môr, a deuddeg o ych-
ain dan y môr;
45 A'r crochanau, a'r rhawiau,
a'r cawgiau; a'r holl lestri a wnaeth
Hiram i'r brenin Solomon, i dŷ yr
Arglwydd, *oedd o* bres gloew.
46 Yn ngwastadedd yr Iorddon-
en y toddodd y brenin hwynt mewn
cleidir, rhwng Succoth a Sarthan.
47 A Solomon a beidiodd *â phwyso*
yr holl lestri, o herwydd eu lluos-
ogrwydd anfeidrol hwynt: ac ni
wybuwyd pwys y pres chwaith.
48 A Solomon a wnaeth yr holl

Adn. 32. *A'r pedair olwyn oedd dan yr ystlysau*] Sef dwy olwyn dan un ystlys, a dwy ar eu cyfer dan yr ystlys arall.

Adn. 33. *Fel gwaith olwynion mèn*] O ran llun eu hamrywiol ranau, ond yn unig eu bod wedi eu toddi oll yn un darn.

Adn. 34. *O'r ystôl yr oedd ei hysgwyddau hi*] Nid yn unig o'r un defnydd, ond o'r un darn, sef wedi eu toddi pan doddwyd hithau.

Adn. 35. *Ei hymylau a'i thaleithiau*] Yr un rhai ond odid ag a elwir yn ystlysau a delltenau yn adn. 28, 29.

Adn. 36. *Wrth noethder pob un*] Saes. 'yn ol *cymesur* pob un,' neu eu cyfartalwch i'w gilydd, rhai yn fwy, a rhai yn llai.

Adn. 37. *Fel hyn y gwnaeth efe y deg ystôl*] Yr oeddynt oll wedi eu bwrw i'r un fold, ac felly yr oeddynt oll o'r un llun a'r un maintioli.

Adn. 38. *Gwnaeth hefyd ddeng noe bres*] Y rhai oeddynt i sefyll ar yr ystolion crybwylledig; *deugain bath a ddaliai pob un*—yr hyn oedd yn 320 o alwyni, neu oddeutu 9 barilaid, gwel ar adn. 26; *yn bedwar cufydd*—o dryfesur, neu ddeuddeg o amgylchedd.

Adn. 39. *Ac efe a osododd bum ystôl ar ystlys ddeau y tŷ*] Yn y cyntedd lle yr oedd yr offeiriaid yn gweinyddu, ar gyfer y pump ag oeddynt ar yr ystlys aswy; *a'r môr a osododd ar y tu deau*—sef yn nghŵr deau-ddwyrain y cyntedd, lle yr oedd yr offrymau yn cael eu parotoi.

Adn. 40. *Gwnaeth Hiram hefyd y noeau*] Nid y deg a grybwyllwyd o'r blaen, fel y dywed *Jarchi*, eithr y rhai a elwir crochanau, 2 Cron. iv. 11; ond gwel isod; *a'r rhawiau*—i godi lludw allor y poeth-offrwm ond odid i'r crochanau hyny; *a'r cawgiau*—i ddal gwaed yr aberthau.

Adn. 41—45. *Y ddwy golofn, &c.*] Yr adnodau hyn a gynwysant ailadroddiad o'r pethau a wnaethai Hiram, ar y rhai y sylwasom uchod; *a'r crochanau*—yr un rhai ag a elwir *noeau*, adn. 40, fel y tybia llawer; eithr barna ereill mai llestri oeddynt i ferwi darnau o'r aberthau hedd, y rhai a renid rhwng yr offeiriaid a'r offrymwyr, ac a fwyteid gerbron yr Arglwydd.

Adn. 46. *Yn ngwastadedd yr Iorddonen y toddodd y brenin hwynt*] Lle yr oedd digonedd o glai priodol i wneuthur moldiau at y fath waith; *rhwng Succoth a Sarthan*—yr oedd Succoth yn rhandir Gad, o du y dwyrain i'r Iorddonen; a Sarthan yn rhandir Manasse, o du y gorllewin iddi. Ni ddywedir yn mha ochr i'r Iorddonen yr oedd y tawddle hwn; ond gallwn feddwl mai yr ochr orllewinol iddi, i arbed y drafferth o ddwyn y pethau trymion hyny dros yr Iorddonen ar ol eu gorphen. Yr oedd o Sarthan i Jerusalem oddeutu 45 o filldiroedd.

Adn. 47. *A Solomon a beidiodd â phwyso yr holl lestri*] Yn cynwys hefyd y colofnau, eu cnapiau, a'u haddurniadau; *o herwydd eu lluosogrwydd anfeidrol*—neu ddirfawr. Enwir amrai bethau a wnaeth efe yn 2 Cron. iv., y rhai ni enwir yma; a gallwn feddwl nad enwir y cwbl yno chwaith. Ond er fod eu lluosogrwydd yn fawr, yr oedd eu pwysau yn fwy.

ddodrefn *a berthynai* i dŷ yr Ar-
glwydd: yr allor aur, a'r bwrdd
aur, yr hwn *yr oedd* y bara gosod
arno;
49 A phum canwyllbren o'r *tu*
deau, a phump o'r *tu* aswy, o flaen
y gafell, yn aur pur; a'r blodau,
a'r llusernau, a'r gefeiliau, o aur;
50 Y phiolau *hefyd*, a'r salltring-
au, a'r cawgiau, a'r llwyau, a'r thus-
erau, o aur coeth; a bachau dorau
y tŷ, o fewn y cysegr santeiddiaf, *a*
dorau tŷ y deml, *oedd* aur.
51 Felly y gorphenwyd yr holl
waith a wnaeth y brenin Solomon i
dŷ yr Arglwydd. A Solomon a
ddyg i mewn yr hyn a gysegrasai
Dafydd ei dad; yr arian, a'r aur,
a'r dodrefn, a roddodd efe yn mhlith
trysorau tŷ yr Arglwydd.

## PENNOD VIII.

YNA Solomon a gasglodd henur-
iaid Israel, a holl benau y llwyth-
au, a thywysogion tadau meibion
Israel, at y brenin Solomon, yn
Jerusalem, i ddwyn i fyny arch cyf-
ammod yr Arglwydd o ddinas Da-
fydd, hòno *yw* Seion.
2 A holl wŷr Israel a ymgynull-
asant at y brenin Solomon, ar yr
ŵyl, yn mis Ethanim, hwnw *yw* y
seithfed mis.

---

Adn. 48. *A Solomon a wnaeth yr holl ddodrefn a berthynai i dŷ yr Arglwydd*] Y rhai a enwir isod, ac a berthynent i gysegr y tŷ, ac nid i gyntedd a phorth y tŷ, fel y gwnai y llestri pres uchod; *yr allor aur*—sef allor yr arogldarth, yr hon oedd o gedrwydd wedi ei gwisgo âg aur, pen. vi. 20; *a'r bwrdd aur*—sonir am ddeg o fyrddau yn 2 Cron. iv. 8, y rhai a elwir oll yn '*fyrddau* y bara gosod' yn 1 Cron. xxviii. 16: gwel ar Exod. xxv. 23.

Adn. 49. *A phum canwyllbren o'r tu deau*] Ar gyfer y pump o'r tu aswy, i gyfateb i nifer y byrddau. Ni wnaeth Moses ddim ond un canwyllyr yn y tabernacl, tra y mae yma ddeg; i arddangos cynydd goleuni y gwirionedd cysegredig, yn gystal ag i roddi mwy o oleuni mewn cysegr mwy. *O flaen y gafell*—neu y cysegr santeiddiolaf. Tybia yr Iuddewon fod yr hen ganwyllyr a wnaethai Moses yno yn y canol, a'r deg hyn yn ddwy res, un o bob tu iddo: gwel ar Exod. xxv. 31—38. *A'r gefeiliau*—i godi y wic o'r olew i'r llusernau.

Adn. 50. *Y phiolau*] I gadw olew i'r llusernau; *a'r salltringau*—neu y gleiniaduran, i lanhau wic neu babwyryn y llusernau; *a'r cawgiau*—i ddal dwfr y taenelliad, yn nghyda gwaed yr aberthau, yr hwn a ddygid weithiau i'r cysegr, o'r rhai yr oedd cant, 2 Cron. iv. 8; *a'r llwyau*—i godi yr olew neu y thus; *a'r thuserau*—i losgi yr arogldarth ynddynt; *a bachau dorau y tŷ*—sef dorau y cysegr a'r cysegr santeiddiolaf; *oedd aur*—dengys hyn gyfoeth mawr Solomon, a'i ddwfn dduwioldeb, yr hwn a barodd iddo beidio arbed dim cost i brydferthu tŷ Dduw, a'r oll a berthynai iddo.

Adn. 51. *A Solomon a ddyg i mewn yr hyn a gysegrasai Dafydd ei dad*] Tybia yr Iuddewon na ddefnyddiodd Solomon ddim o'r hyn a gysegrasai Dafydd, at waith ac adeilad y tŷ, ond ddarfod iddo adeiladu y tŷ yn gwbl ar ei draul ei hun; ac mai hyny oedd y rheswm paham na ddechreuodd efe ei adeiladu hyd y bedwaredd flwyddyn o'i deyrnasiad, fel y gallai gasglu digon o gyfoeth at y gwaith cyn dechreu arno. Ond y mae yn sicr iddo ddefnyddio llawer, os nid y cwbl, o'r *pres* a ddarparasai Dafydd, 1 Cron. xviii. 8; a gallwn feddwl mai hyny yw yr achos na sonir am y pres yn yr adnod hon. *Yr arian, a'r aur, a'r dodrefn*—y rhai a ddarparasai ei dad at waith y tŷ; *a roddodd efe yn mhlith trysorau tŷ yr Arglwydd*—ni ddefnyddiodd efe hwynt at waith y tŷ, nac at ei wasanaeth ei hun; eithr dyg y cwbl i drysorau tŷ yr Arglwydd, i brynu aberthau â hwynt, a dwyn traul y wasanaeth, ac i dalu am adgyweirio y tŷ, fel y byddai achos, mewn amserau dyfodol. Ni ddefnyddiodd Solomon chwaith ddim o'r pethau ag oeddynt gynt yn nhabernacl Moses, oddieithr yr arch, y drugareddfa, a'r cerubiaid ag oeddynt ar y drugareddfa, yn nghyda rhyw ychydig o bethau ereill; ond gwnaeth rai newyddion yn eu lle, y rhai oeddynt yn fwy, ac yn lluosocach, i gyfateb i faintioli mwy y deml. Yr oedd yr arch, a'r drugareddfa, a'r cerubiaid, dan y fath nôd o gysegredigrwydd tragwyddol, fel nad oedd yn briodol eu troi heibio tra y parhaai yr oruchwyliaeth Foesenaidd, er iddynt gael eu colli wedi hyny yn ninystr y deml gyntaf gan y Babiloniaid.

PEN. VIII. Adn. 1. *Yna Solomon a gasglodd holl henuriaid Israel*] Y seneddwyr, y barnwyr, a'r llywodraethwyr; *a holl benau y llwythau*—canys yr oedd i bob un o'r deuddeg llwyth dywysog llywodraethol ar ei lwyth ei hun; *a thywysogion tadau meibion Israel*—prif wŷr pob teulu mawr yn mhob llwyth; *at y brenin Solomon yn Jerusalem*—sef y rhan hòno o Jerusalem a elwid dinas Dafydd, lle yr oedd y babell a'i balas ef; *i ddwyn i fyny arch cyfammod yr Arglwydd*—i fynydd Moriah, lle yr oedd y deml, i'w gosod yn y cysegr santeiddiolaf. Er mor ardderchog oedd y deml fel adeilad, nid oedd hi ddim heb arch Duw ynddi; ac nid oedd yr ail deml ddim ar ol colli yr arch hon.

Adn. 2. *A holl wŷr Israel a ymgynullasant*] Sef y rhai a wahoddwyd uchod; a gallwn feddwl fod yn eu mysg luoedd dirfawr o'r werin, y rhai oeddynt yn awyddus i weled yr olygfa ogoneddus hon; *ar yr ŵyl*—sef gŵyl y cysegriad, i'r hon y gwahoddasai Solomon hwynt; *yn mis Ethanim*—neu Tisri, yn cyf-

3 A holl henuriaid Israel a ddaethant, a'r offeiriaid a godasant yr arch i fyny.
4 A hwy a ddygasant i fyny arch yr Arglwydd, a phabell y cyfarfod, a holl lestri y cysegr y rhai *oedd* yn y babell, a'r offeiriaid a'r Lefiaid a'u dygasant hwy i fyny.
5 A'r brenin Solomon, a holl gynulleidfa Israel, y rhai a ymgynullasai ato ef, *oedd* gydag ef o flaen yr arch, yn aberthu defaid, a gwartheg, y rhai ni rifid ac ni chyfrifid gan luosogrwydd.
6 Felly yr offeiriaid a ddygasant arch cyfammod yr Arglwydd i'w lle ei hun, i gafell y tŷ, i'r cysegr santeiddiaf, dan adenydd y cerubiaid.
7 Canys y cerubiaid oedd yn lledu *eu* hadenydd dros le yr arch; a'r cerubiaid a orchuddient yr arch, a'i barau oddiarnodd.
8 A'r barau a estynasant, fel y

---

ateb i ran o'n Medi a'n Hydref ni; *hwnw yw y seithfed mis*—o'r flwyddyn eglwysig, a'r cyntaf o'r flwyddyn wladol: gwel ar Exod. xii. 2. Dewisodd Solomon yr amser hwn er gwell cyfleusdra i'r bobl; canys yr oeddynt yn awr wedi casglu i mewn eu holl ffrwythau, ac yn myned i fyny eisioes i Jerusalem i gadw *gŵyl y pebyll.* Os gwrthddadleuir, 'Gan na orphenwyd y deml hyd yr *wythfed* mis, pen. vi. 38, pa fodd yr oedd Solomon yn gwahodd y bobl i'w chysegru hi ar y *seithfed* mis?' gellir ateb, mai y seithfed mis o'r flwyddyn *ganlynol* a olygir. Canys er fod y tŷ wedi ei orphen y flwyddyn o'r blaen, sef un mis ar ddeg cyn hyn, eto ymddengys nad oedd ei holl ddodrefn ef wedi eu gorphen gan Hiram; ac yr oedd llawer o barotoadau ereill i'w gwneuthur erbyn ei agoriad. Hefyd, yr oedd Solomon yn ewyllysio oedi yr agoriad hyd y flwyddyn ganlynol, fel y gallai ei gynal gyda mwy o rwysg, trwy fod hòno, fel y dywed yr Archesgob Usher, yn flwyddyn y nawfed JUBILI, ac yn dechreu y bedwaredd fil o oes y byd, sef y flwyddyn 3001; ac ar flwyddyn y jubili arferai lluaws mawr o bobl ymgasglu i Jerusalem o bob parth o'r deyrnas. Felly dechreuodd gŵyl y cysegriad ar yr wythfed dydd o'r seithfed mis, yr hon a barhaodd saith niwrnod, yn niwedd pa rai y dechreuodd gŵyl y pebyll, yr hon a barhaodd saith niwrnod yn rhagor: gwel adn. 65, 66, a 2 Cron. vii. 9, 10.

Adn. 3. *A'r offeiriaid a godasant yr arch*] Yn 2 Cron. v. 4, dywedir mai y *Lefiaid* a'i codasant; eithr yr *offeiriaid* a olygir yno, am fod pob offeiriad yn Lefiad, er nad oedd pob Lefiad yn offeiriad. Yr oedd yr arch wedi cael ei chario gan yr offeiriaid dair gwaith cyn hyn; sef wrth groesi yr Iorddonen, Jos. iii. 13; wrth amgylchu caerau Jericho, Jos. vi. 6; ac wrth ei dychwelyd i Jerusalem yn amser gwrthryfel Absalom, 2 Sam. xv. 29. Modd bynag, gwaith y Lefiaid oedd cario yr arch, yr hyn a wnaent bob amser oddieithr ar achosion neillduol, o'r rhai yr oedd hwn yn un. Penodwyd yr offeiriaid i'w chario hi yn awr, er mwy o anrhydedd i'r amgylchiad; ac am nad allai y Lefiaid fyned i mewn i'r cysegr, llai o lawer i'r cysegr santeiddiolaf, lle yr oedd hi i gael ei gosod; ac nis gallai yr offeiriaid eu hunain fyned i mewn i hwnw, pe gallasai yr archoffeiriad wneyd y gwaith hebddynt hwy.

Adn. 4. *A hwy a ddygasant i fyny arch yr Arglwydd*] O'r babell yn ninas Dafydd, lle y gosodwyd hi er's oddeutu 38 o flynyddau cyn hyn, 2 Sam. vi. 12—17; *a phabell y cyfarfod*—sef y tabernacl a wnaethai Moses yn yr anialwch, yr hwn oedd er's hir amser bellach yn Gibeon, 2 Cron. i. 3, oddeutu 9 milldir o Jerusalem: er y tybia rhai ei fod wedi ei symud o Gibeon i Seion ychydig cyn hyn. *A holl lestri y cysegr y rhai oedd yn y babell*—megys allor yr arogldarth, bwrdd y bara gosod, y canwyllyr aur, a phob peth a berthynai iddynt; nid i'w defnyddio mwyach fe allai, ond i'w cadw mewn rhai o ystafelloedd y deml, fel hen bethau cysegredig, rhag i ddim anmharch gael ei wneyd iddynt ar y naill law, nac addoliad gael ei dalu iddynt ar y llaw arall. Yn y deml yn awr yr oedd yr holl aberthau i gael eu hoffrymu, a gwahanol ddefodau yr addoliad cyhoeddus i gael eu cyflawni; ac yr oedd yn rhaid i bawb o hyn allan gyrchu i Jerusalem, nid i Gibeon. *A'r offeiriaid a'r Lefiaid a'u dygasant hwy i fyny*—rhai y naill beth, ac ereill beth arall: yr offeiriaid a ddygasant yr arch, fel y gwelsom; a'r Lefiaid a ddygasant y babell a'i dodrefn. Tybia rhai i'r babell a wnaethai Dafydd, yn yr hon yr oedd yr arch y pryd hyn, gael ei dwyn hefyd; ond y mae yn debycach mai ei dryllio neu ei llosgi a gafodd hòno.

Adn. 5. *Yn aberthu defaid a gwartheg*] Sef ar ol i'r arch gael ei gosod yn ei lle; canys er y gallent offrymu rhai aberthau ar y ffordd, fel y gwnaethai Dafydd, 2 Sam. vi. 13, eto nid oedd yn gyfleus nac yn briodol iddynt aberthu yn y fath le gynifer o anifeiliaid ag a wnaed y pryd hyn, adn. 62—64.

Adn. 6. *I gafell y tŷ*] Sef y cysegr santeiddiolaf; *dan adenydd y cerubiaid*—y rhai a wnaethai Solomon, pen. vi. 26, 27; canys yr oedd y cerubiaid a wnaethai Moses yn sefydlog wrth y drugareddfa a'r arch, ac felly yn cael eu gosod gyda'u gilydd dan adenydd y cerubiaid hyn.

Adn. 7. *Canys y cerubiaid oedd yn lledu eu hadenydd dros le yr arch*] O bared i bared, pen. vi. 27; *oddiarnodd*—sef uwchben yr arch, ei throsolion, a'i cherubiaid.

Adn. 8. *A'r barau a estynasant*] Hyny yw, tynasant y barau neu y trosolion allan ryw gymaint yn y naill ben i'r arch, fel y gallai yr archoffeiriad gael ei arwain ati ar ddydd y cymod, i daenellu y gwaed ac arogldarthu gerbron yr arch; heb hyn gallasai gamgymeryd y man penodol yn y tywyllwch ag oedd yno, a lle yr oedd yr arch wedi ei chuddio gan adenydd y cerubiaid mawrion, y rhai a safent

gwelid penau y barau o'r cysegr o
flaen y gafell, ond nis gwelid oddi-
allan: yno y maent hwy hyd y
dydd hwn.
9 Nid *oedd* dim yn yr arch ond y
ddwy lech faen a osodasai Moses
yno yn Horeb, lle y cyfammododd
yr Arglwydd â meibion Israel, pan
oeddynt yn dyfod o wlad yr Aifft.
10 ¶ A phan ddaeth yr offeiriaid
allan o'r cysegr, y cwmwl a lanw-
odd dŷ yr Arglwydd,
11 Fel na allai yr offeiriaid sefyll
i wasanaethu, o herwydd y cwmwl:
canys gogoniant yr Arglwydd a
lanwasai dŷ yr Arglwydd.
12 Yna y dywedodd Solomon, Yr
Arglwydd a ddywedodd y preswyl-
iai efe yn y tywyllwch.
13 Gan adeiladu yr adeiledais dŷ
yn breswylfod i ti; trigle i ti i aros
yn dragywydd ynddo.
14 A'r brenin a drôdd ei wyneb,
ac a fendithiodd holl gynulleidfa
Israel. A holl gynulleidfa Israel
oedd yn sefyll.
15 Ac efe a ddywedodd, Bendig-
edig *fyddo* Arglwydd Dduw Israel,
yr hwn a lefarodd â'i enau wrth Da-
fydd fy nhad, ac a'*i* cwblhaodd â'i
law, gan ddywedyd,
16 Er y dydd y dygais fy mhobl
Israel allan o'r Aifft, ni ddewisais
ddinas o holl lwythau Israel i ad-

---

rhyngddo ef a'r arch. *Fel y gwelid penau y barau o'r cysegr o flaen y gafell*—neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, '*yn* y cysegr *tufewn* i'r gafell;' canys nis gellid eu gweled hwy o'r cysegr arall tuallan i'r wahanlen. *Yno y maent hwy hyd y dydd hwn*—sef y dydd yr ysgrifenwyd yr hanes; ac y mae hyn yn awgrymiad ddarfod ysgrifenu llyfr cyntaf y Brenhinoedd, beth bynag am yr ail, rywbryd cyn dinystr y deml gyntaf.

Adn. 9. *Nid oedd dim yn yr arch ond y ddwy lech faen*] Sef llechau y cyfammod, ar y rhai yr ysgrifenwyd y deg gorchymyn â bys Duw. Yr oedd y crochan aur a'r manna, a gwialen Aaron, a'r thuser aur hefyd, yn y cysegr santeiddiolaf *gerbron* yr arch, ond nid *ynddi* hi: gwel ar Exod. xvi. 33, 34, Heb. ix. 4.

Adn. 10. *A phan ddaeth yr offeiriaid allan o'r cysegr*] Sef o'r cysegr santeiddiolaf, ar ol bod yn gosod yr arch yn ei lle yno; *y cwmwl*—yr arwydd arferol o bresenoldeb gogoneddus Duw, Exod. xxiv. 15, 16, Num. ix. 15; *a lanwodd dŷ yr Arglwydd*—yn arwydd o'i gymeradwyaeth rasol ef o'u gwaith, ac i genhedlu parchedig ofn ynddynt hwy ac yn mhawb wrth nesâu at Dduw.

Adn. 11. *Fel na allai yr offeiriaid sefyll i wasanaethu*] Ymddengys oddiyma fod y cwmwl wedi llenwi nid yn unig y ddau gysegr, ond hefyd y porth, a chyntedd yr offeiriaid, lle yr oeddynt hwy yn gwasanaethu. Naill ai yr oedd yn rhy dywyll i'r offeiriaid allu gweled, neu yr oeddynt wedi dychrynu yn ormodol; neu ynte torodd goleuni dysglaer a gogoneddus allan o'r cwmwl, fel nad allai eu llygaid oddef ei danbeidrwydd.

Adn. 12. *Yna y dywedodd Solomon*] Pan welodd efe yr arwydd hwn o bresenoldeb yr Arglwydd yn y tŷ, a'r offeiriaid yn dyfod allan heb allu sefyll i wasanaethu, efe a draethodd y geiriau a ganlyn i dawelu eu meddyliau a'u cysuro. *Yr Arglwydd a ddywedodd y preswyliai efe yn y tywyllwch*—gan hyny nid yw y cwmwl tywyll hwn yn arwydd o'i anfoddlonrwydd ef, ond yn hytrach y mae yn brawf o'i bresenoldeb neillduol gyda ni, a'i gymeradwyaeth o honom, a'i fod yn arddelwi y tŷ hwn fel ei gysegr ei hun, ac y bydd iddo breswylio ynddo, fel y dywedodd gyda golwg ar y tabernacl: gwel Lef. xvi. 3, Exod. xl. 34, 35, Salm xcvii. 2; gwel hefyd Deut. iv. 11, a v. 22.

Adn. 13. *Gan adeiladu yr adeiledais dŷ yn breswylfod i ti*] Ar ol i Solomon lefaru y geiriau uchod wrth yr offeiriaid, i dawelu eu hofnau hwy, y mae efe yn awr yn troi i lefaru wrth Dduw. *Trigle i ti i aros yn dragywydd ynddo*—nid pabell i'w chario o amgylch o le i le, fel un Moses; ond trigle sefydlog a pharhaus hyd ddyfodiad y Messia, a diddymiad yr oruchwyliaeth Foesenaidd.

Adn. 14. *A'r brenin a drôdd ei wyneb*] Oddiwrth y cysegr a'r drugareddfa, at yr holl gynulleidfa yn nghyntedd y tŷ, i'w bendithio hwy; *ac a fendithiodd holl gynulleidfa Israel*—yn debygol yn ol y ffurf a nodasai Duw ei hun, Num. vi. 23—26. *A holl gynulleidfa Israel oedd yn sefyll*—yn arwydd o barch i Dduw ac anrhydedd i'r brenin, ac o'u parodrwydd i dderbyn bendith Duw trwy ei weinidogaeth ef. Yr oedd Solomon yn gweithredu yn awr fel BRENIN ac ARCHOFFEIRIAD, megys y gwnaethai Moses o'r blaen, Exod. xxxix. 43, a Dafydd hefyd, 2 Sam. vi. 18.

Adn. 15. *Ac efe a ddywedodd*] Ar ol bendithio y bobl, y mae efe yn myned rhagddo i fendithio yr Arglwydd; *yr hwn a lefarodd â'i enau wrth Dafydd fy nhad*—y cai efe fab yr hwn a adeiladai dŷ i enw yr Arglwydd, 2 Sam. vii. 12, 13; *ac a'i cwblhaodd*—a gyflawnodd yr addewid hòno mewn rhan yn Solomon, ac wedi hyny yn Nghrist.

Adn. 16. *Er y dydd y dygais fy mhobl Israel allan o'r Aifft*] Hyd y dydd y llefarodd Duw y geiriau hyn wrth Dafydd trwy Nathan,(2 Sam. vii. 6—8,) yr hyn oedd yspaid o 449 o flynyddau; *ni ddewisais ddinas o holl lwythau Israel i adeiladu tŷ*—yr oedd ef wedi ei dewis yn ei feddwl ei hun er tragwyddoldeb, ond nid oedd wedi amlygu pa ddinas a ddewisasai: ond yn awr yr oedd yn amlwg mai Jerusalem oedd y ddinas hòno, fel yr adroddir yn 2 Cron. vi. 6, ac oddiwrth y gogoniant a lanwasai y deml. Yn 2 Cron. vi. 5, dywedir, 'Ac ni ddewisais ŵr i fod yn flaenor ar

eiladu tŷ, fel y byddai fy enw i yno: eithr dewisais Dafydd i fod ar fy mhobl Israel.
17 Ac yr oedd yn mryd Dafydd fy nhad adeiladu tŷ i enw Arglwydd Dduw Israel.
18 A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Dafydd fy nhad, O herwydd bod yn dy fryd di adeiladu tŷ i'm henw i, da y gwnaethost fod *hyny* yn dy galon.
19 Eto nid adeiladi di y tŷ: ond dy fab di, yr hwn a ddaw allan o'th lwynau di, efe a adeilada y tŷ i'm henw i.
20 A'r Arglwydd a gywirodd ei air a lefarodd efe; a mi a gyfodais yn lle Dafydd fy nhad, ac a eisteddais ar deyrn-gadair Israel, megys y llefarodd yr Arglwydd, ac a adeiledais dŷ i enw Arglwydd Dduw Israel.
21 A mi a osodais yno le i'r arch, yr hon *y mae* ynddi gyfammod yr Arglwydd, yr hwn a gyfammododd efe â'n tadau ni, pan ddyg efe hwynt allan o wlad yr Aifft.
22 A Solomon a safodd o flaen allor yr Arglwydd, yn ngŵydd holl gynulleidfa Israel, ac a estynodd ei ddwylaw tua'r nefoedd:
23 Ac efe a ddywedodd, O Arglwydd Dduw Israel, nid *oes* Duw fel tydi, yn y nefoedd oddiuchod, nac ar y ddaear oddi isod, yn cadw cyfammod a thrugaredd â'th weision, sydd yn rhodio ger dy fron di â'u holl galon;
24 Yr hwn a gedwaist â'th was Dafydd fy nhad yr hyn a lefaraist wrtho: traethaist hefyd â'th enau, a chwblheaist â'th law, megys heddyw *y mae.*
25 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw Israel, cadw â'th was Dafydd fy nhad yr hyn a lefaraist wrtho, gan ddywedyd, Ni thorir ymaith oddiwrthyt *na byddo* gŵr ger fy mron i yn eistedd ar deyrn-gadair Israel; os dy feibion a gadwant eu ffordd, i

---

fy mhobl Israel;' *eithr dewisais Dafydd*—fel yr oedd yn amlwg oddiwrth ei waith yn gorchymyn i Samuel ei eneinio ef, ac oddiwrth y modd y diogelodd efe ei fywyd ef rhag Saul, ac y dygodd ef i'r orsedd. Yr ystyr yw, mai JERUSALEM oedd y ddinas a ddewisodd Duw i adeiladu y deml ynddi, ac mai DAFYDD oedd y gŵr a etholasai efe i fod yn frenin ar Israel.

Adn. 17. *Ac yr oedd yn mryd Dafydd adeiladu tŷ*] Canys yr oedd efe wedi parotoi yn helaeth at hyny, 1 Cron. xxii. 2—5.

Adn. 18. *Da y gwnaethost fod hyny yn dy galon*] Yr oedd bwriad Dafydd yn dda ynddo ei hun, ac yn gymeradwy yn ngolwg yr Arglwydd, er iddo ef, ar gyfrif ei ryfeloedd gwaedlyd, attal iddo wneuthur hyny, 1 Cron. xxii. 7, 8.

Adn. 19. *Ond dy fab di*] Sef Solomon, yr hwn oedd eto heb ei eni; *efe a adeilada dŷ i'm henw i*—am y byddai efe yn ŵr llonydd, heb ddim rhyfeloedd yn amser ei deyrnasiad, 1 Cron. xxii. 9. Yr oedd yr addewid hon yn wreiddiol yn cyfeirio at Solomon a Christ: gwel ar 2 Sam. vii. 12, 13.

Adn. 20. *A'r Arglwydd a gywirodd ei air*] Trwy godi Solomon i lywodraethu Israel ac adeiladu y deml, yn lle Dafydd ei dad. Fel hyn y mae Solomon yn diweddu, megys y dechreuodd, gyda chydnabyddiad diolchgar o ddaioni Duw yn cyflawni ei addewid, adn. 15.

Adn. 21. *A mi a osodais yno le i'r arch*] Sef y cysegr santeiddiolaf, adn. 6; *yr hon y mae ynddi gyfammod yr Arglwydd*—sef dwy lech y cyfammod, adn. 9, y rhai a elwir yn GYFAMMOD, am mai ar sail y gyfraith ag oedd yn ysgrifenedig ar y llechau hyny y gwnaethai yr Arglwydd gyfammod âg Israel yn Horeb.

Adn. 22. *A Solomon a safodd o flaen allor yr Arglwydd*] Sef allor fawr y poeth-offrwm, yr hon oedd yn nghyntedd nesaf i mewn y deml; ac yma y cyfodasai efe bulpud pres mawr, yn bum cufydd ei hyd, a phum cufydd ei led, a thri chufydd ei uchder, 2 Cron. vi. 13. Yn hwn y safai efe, a'r bobl oddiamgylch iddo yn gwrandaw arno gyda'r dyfalwch mwyaf. *Ac a estynodd ei ddwylaw tua'r nefoedd*—yr hyn oedd yn arferiad gwastadol wrth weddio yn mhlith yr Iuddewon a chenhedloedd ereill; a gwnaent hyn i arwyddo eu difrifoldeb wrth weddio, ac i amlygu mai o'r nef yn unig y dysgwylient atebiad. Nyni a ddysgwn, oddiwrth adn. 54, fod Solomon yn *gostwng ar ei liniau* ar yr un pryd, i ddangos ei ddibyniad ar Dduw, a'i deimlad dwys o'i annheilyngdod ei hun.

Adn. 23. *O Arglwydd Dduw Israel*] Neu JEHOFA, Duw cyfammodol Israel; *nid oes Duw fel tydi*—yn mhlith yr angylion yn y nefoedd, nac yn mhlith brenhinoedd a barnwyr ar y ddaear, y rhai a elwir yn *dduwiau* weithiau, llai o lawer yn mhlith eilun-dduwiau y Cenhedloedd; *yn cadw cyfammod a thrugaredd*—sef y cyfammod a wnaethai efe âg Israel yn Horeb, gan roddi iddynt y trugareddau a addawodd efe y pryd hyny, ac wedi hyny; *â'th weision sydd yn rhodio ger dy fron di*—yn dy ffyrdd, ac yn ol dy air; *â'u holl galon*—yn gywir a diragrith.

Adn. 24. *Yr hwn a gedwaist â'th was Dafydd fy nhad yr hyn a lefaraist wrtho*] Am fab iddo i eistedd ar ei orsedd, ac i adeiladu tŷ i'th enw, 2 Sam. vii. 12, 13.

Adn. 25. *Cadw â'th was Dafydd fy nhad*] Y rhan arall o'th addewid, sef y cai un o'i had ef eistedd ar yr orseddfainc byth. *Os dy feibion a gadwant eu ffordd, &c.*—yma cydnabydda Solomon fod cyflawniad yr addewid o berthynas i barhad y frenhiniaeth yn nheulu

rodio ger fy mron i, megys y rhodiaist ti ger fy mron.
26 Ac yn awr, O Dduw Israel,
poed gwir, atolwg, fyddo dy air a lefaraist wrth dy was Dafydd fy nhad.
27 Ai gwir yw y preswylia Duw
ar y ddaear? wele y nefoedd, a nefoedd y nefoedd ni allant dy gynwys di; pa faint llai *y dichon* y tŷ hwn a adeiledais i?
28 Eto edrych ar weddi dy was,
ac ar ei ddeisyfiad ef, O Arglwydd fy Nuw, i wrando ar y llef a'r weddi y mae dy was yn ei gweddio heddyw ger dy fron di:
29 Fel y byddo dy lygaid yn ag-
ored tua'r tŷ yma nos a dydd, tua'r lle y dywedaist am dano, Fy enw a fydd yno: i wrando ar y weddi a weddio dy was yn y lle hwn.
30 Gwrando gan hyny ddeisyfiad
dy was, a'th bobl Israel, pan weddiant yn y lle hwn: clyw hefyd o le dy breswylfa, *sef* o'r nefoedd; a phan glywech, maddeu.
31 ¶ Os pecha gŵr yn erbyn ei
gymydog, a gofyn ganddo raith, gan ei dyngu ef, a dyfod y llw o flaen dy allor di yn y tŷ hwn:
32 Yna clyw di yn y nefoedd,
gwna hefyd, a barna dy weision,

---

Dafydd yn ymddibynu ar eu parhad hwy yn ffydd ac addoliad Duw: ac felly, yn ol cyffaddefiad Solomon ei hun, ar ol iddo ef a Rehoboam ymadael âg addoliad Duw, a dylyn eilunod, gallasai Duw yn gyfiawn gymeryd ymaith y frenhiniaeth oddiwrth eu hiliogaeth hwy.

Adn. 26. *Poed gwir, atolwg, fyddo dy air*] Y cai had Dafydd eistedd yn barhaus ar deyrngadair Israel, fel y nodwyd yn yr adnod flaenorol.

Adn. 27. *Ai gwir yw y preswylia Duw ar y ddaear?*] Neu '*gyda dyn* ar y ddaear,' fel y mae yn 2 Cron. vi. 18. A ydyw yn ddichonadwy i'r Duw mawr, santaidd, a dyrchafedig, yr anfeidrol a'r tragwyddol Jehofa, ymostwng mor isel fel ag i breswylio yn y fath le, a chyda'r fath bryfaid! Yr oedd ef wedi cael prawf o hyny yn ngwaith gogoniant yr Arglwydd yn llenwi y tŷ, adn. 10, 11; ond yma y mae efe fel yn methu credu tystiolaeth ei synwyrau ei hun. *Wele, y nefoedd, a nefoedd y nefoedd*—sef ein cyfundrefn heulog ni; a'r holl ddesebau aneirif ag sydd yn crogi uwchlaw a thuhwnt i'w gilydd yn yr eangderau diderfyn, y rhai nas gallai goleuni ei hun, yr hwn a deithia 190,000 o filldiroedd bob eiliad, neu 11,400,000 o filldiroedd bob mynyd, neu sydd yn fwy na miliwn o weithiau yn gyflymach na symudiad pelen o gyflegr, gyraedd yn dragwyddol fe allai y bellaf o honynt; ïe, a nefoedd y gogoniant ei hun, lle y mae gorsedd Duw, a'r hon yn debygol yw y fwyaf a'r ogoneddusaf o honynt oll; *ni allant dy gynwys di*—neu dy gyfyngu o'u mewn, yr hwn y mae dy natur yn anfeidrol, a'th fodaeth yn hollbresenol; *pa faint llai y dichon y tŷ hwn a adeiledais i?*—yr hwn gan hyny nad adeiladwyd fel pe buasai yn gydtesurol â'th fawredd, neu fel pe gallasai dy gynwys oll o'i fewn, eithr yn unig fel y gallem ni ynddo dy wasanaethu a'th addoli. Ond wedi hyn gwelwyd peth rhyfeddach, ac ymostyngiad mwy, na phreswyliad Duw yn y deml, a hyny oedd preswyliad tragwyddol Fab Duw mewn cnawd ar y ddaear, nid yn unig gyda dyn, ond yn wir ddyn ei hunan, ac eto ar yr un pryd yn Dduw anfeidrol!

Adn. 28. *Eto edrych ar weddi dy was, &c.*] Er nad allai y nefoedd, a nefoedd y nefoedd, ei gynwys ef, a llai o lawer y deml hòno; eto gwyddai Solomon ei fod yn preswylio mewn ail ystyr yn y deml, a deisyfai arno edrych a gwrando ar ei weddi, yr hon yr oedd efe yn ei gweddio ger ei fron ef y dydd hwnw. Ac er fod Solomon ei hun yn frenin mawr, yr oedd yn ei chyfrif yr anrhydedd mwyaf gael bod yn *was* i'r fath Fôd anfeidrol.

Adn. 29. *Fel y byddo dy lygaid yn agored tua'r tŷ yma*] I edrych yn rasol arno, ac ar y deisyfiadau a wneir ynddo, neu a gyfeirir tuag ato. *Fy enw a fydd yno*—fy mhresenoldeb, fy ngogoniant, a'm gras, i fywhau, maddeu, santeiddio, ac achub fy holl wir addolwyr: gwel ar Exod. xx. 24, Deut. xii. 5, 11, a xvi. 2, 6, a xxvi. 2.

Adn. 30. *Clyw hefyd o le dy breswylfa, sef o'r nefoedd*] Chwanegir hyn i gyfarwyddo yr addolwyr, wrth weddio ar Dduw yn y deml hon, neu wrth edrych tuag ati, i godi eu golygon uwchlaw iddi, sef i'r nefoedd, ei breswylfa briodol a neillduol ef. *A phan glywech, maddeu*—y pechodau ag y byddont yn eu cyfaddef, ac yn edifarhau am danynt.

Adn. 31. *Os pecha gŵr yn erbyn ei gymydog*] Hyny yw, os cyhuddir gŵr o wneyd cam â'i gymydog yn ei berson, ei enw, neu ei feddiannau; *a gofyn ganddo raith*—neu lw, gan ei dyngu ef, nad oedd yn euog o'r pechod a roddid yn ei erbyn, pan na byddai un tyst yn yr achos; *a dyfod y llw o flaen dy allor di yn y tŷ hwn*—sef allor y poeth-offrwm. Yr oedd tyngu o flaen yr allor, neu tua'r allor, yn apeliad uniongyrchiol at Dduw yr allor, chwiliwr y calonau, am ddieuogrwydd y cyhuddedig a dyngai; ac yn gyfaddefiad yr haeddai efe ei ddarnio fel yr aberthau ar yr allor, os oedd yn tyngu ar gam. Arferai y Cenhedloedd hefyd dyngu wrth eu hallorau, gan alw ar eu duwiau i fod yn dystion o wirionedd yr hyn a ddywedent, a'u cospi os oeddynt yn traethu anwiredd. Amcan hyn oll oedd attal y bobl rhag anudoniaeth, yr un modd a chusanu y Testament gyda ni: gwel ar Mat. v. 33—35, a xxiii. 20.

Adn. 32. *Yna clyw di yn y nefoedd*] A barna rhwng y ddwy blaid. Efe a weddia am i orsedd *gras*, mewn achosion dyrys, fod yn orsedd *barn*, oddiar yr hon y byddai i Dduw

gan ddamnio y drygionus i ddwyn ei ffordd ef ar ei ben: a chan gyfiawnhau y cyfiawn, trwy roddi iddo ef yn ol ei gyfiawnder.

33 ¶ Pan darawer dy bobl Israel o flaen y gelyn, am iddynt bechu yn dy erbyn di, os dychwelant atat ti, a chyfaddef dy enw, a gweddio, ac ymbil â thi yn y tŷ hwn;

34 Yna gwrando di yn y nefoedd, a maddeu bechod dy bobl Israel, a dychwel hwynt i'r tir a roddaist i'w tadau hwynt.

35 ¶ Pan gauer y nefoedd, fel na byddo gwlaw, o herwydd pechu o honynt i'th erbyn; os gweddiant yn y lle hwn, a chyfaddef dy enw, a dychwelyd oddiwrth eu pechod, pan gystuddiech di hwynt:

36 Yna gwrando di yn y nefoedd, a maddeu bechod dy weision, a'th bobl Israel, fel y dysgech iddynt y ffordd oreu y rhodiant ynddi, a dyro wlaw ar dy dir a roddaist i'th bobl yn etifeddiaeth.

37 ¶ Os bydd newyn yn y tir, os bydd haint, llosgfa, malldod, locustiaid, os bydd y lindys; pan warchaeo ei elyn arno ef, yn ngwlad ei ddinasoedd, pa bla bynag, pa glefyd bynag, *a fyddo;*

38 Pob gweddi, pob deisyfiad, a fyddo gan un dyn, *neu* gan dy holl bobl Israel, y rhai a wyddent bawb bla ei galon ei hun, ac a estynant eu dwylaw tua'r tŷ hwn:

39 Yna gwrando di yn y nefoedd, mangre dy breswylfod, a maddeu; gwna hefyd, a dyro i bob un yn ol ei holl ffyrdd, yr hwn yr adwaenost

---

ryddhau y dieuog a apeliai yn grediniol ati, a chospi yr euog a apeliai ati yn rhyfygus. *Gan ddamnio y drygionus*—nid damnio ei enaid, ond ei ddyfarnu neu ei gondemnio, gan ddwyn arno y gosp a haeddai ei ddrygioni, pa un bynag ai y tyngwr ai y cyhuddwr fyddai; *a chan gyfiawnhau y cyfiawn*—trwy ei amddiffyn ef, ac amlygu ei uniondeb. Amcan hyn oedd cadw y ddau rhag pechu; y naill rhag camgyhuddiad, a'r llall rhag anudoniaeth.

Adn. 33. *Pan darawer dy bobl Israel o flaen y gelyn*] Pan fyddo i genhedloedd ereill ymosod ar Israel, lladd llawer o honynt, a chaethgludo y lleill, trwy i Dduw eu rhoddi yn llaw eu gelynion fel cosp am eu pechodau yn ei erbyn ef; *os dychwelant atat ti*—mewn edifeirwch; *a chyfaddef dy enw*—mai ti yw yr unig wir Dduw, gan ymwrthod â phob duw arall; neu gan addef dy gyfiawnder yn eu cospi am eu pechodau; *a gweddio ac ymbil â thi*—am faddeuant ac ymwared; *yn y tŷ hwn*—gan y rhai a fyddont wedi dianc heb eu caethgludo; neu *tua'r* tŷ hwn gan y rhai a fyddont wedi eu caethgludo.

Adn. 34. *Yna gwrando di yn y nefoedd*] Ar eu gweddiau a'u hymbiliau; *a maddeu bechod dy bobl*—yr hwn a wnaethant fel cenedl yn dy erbyn; *a dychwel hwynt i'r tir a roddaist i'w tadau*—sef gwlad Canaan, yr hon a roddwyd i Abraham, Isaac, a Jacob. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn eu dychweliad hwy o gaethiwed Babilon.

Adn. 35. *Pan gauer y nefoedd*] Sef y nef ŵybrenol, fel na byddo gwlaw, yr hyn bob amser oedd yn gosp am bechod, ac yn achosi newyn: gwel ar Lef. xxvi. 19, 20, a Deut. xxviii. 23, 24. *Os gweddiant*—gwel ar adn. 33.

Adn. 36. *Yna gwrando di yn y nefoedd, a maddeu*] Gan roddi amlygrwydd o hyny trwy roddi gwlaw iddynt. Cyflawnwyd hyn trwy weddi Elias, pen. xviii. 42—45. *Fel y dysgech*—neu pan fyddot *wedi* dysgu iddynt trwy eu cystuddio, 2 Cron. vi. 27. *Ar dy dir a roddaist i'th bobl*—eiddo Duw oedd y tir, a'i eiddo ef oedd y bobl i'r rhai y rhoddwyd y tir yn etifeddiaeth; ac yr oedd hyny yn ddadl gref gan Solomon yn ei weddi am wlaw iddynt.

Adn. 37. *Os bydd newyn yn y tir*] Yr hwn a ddygwydda weithiau trwy achosion ereill heblaw diffyg gwlaw; *haint*—unrhyw afiechyd ymdaenawl; *llosgfa*—naill ai rhyw glefyd poeth ar ddynion, neu boethwynt yn llosgi ac yn deifio ffrwythydd y ddaear; *malldod*—math o wlith tew yn syrthio ar ŷdau a llysiau, gan eu llygru a'u dyfetha cyn iddynt addfedu; *locustiaid*—melldith dra adnabyddus yn y dwyrain, miliynau o ba rai a orchuddiant wyneb y ddaear, gan ddifa pob llysieuyn arni am filldiroedd lawer, Exod. x. 4, 5; *lindys*—neu y locust yn ei gyflwr dechreuol, yn magu yn eu gwlad hwy eu hunain; *ei elyn*—yn gwarchae arno 'mewn unrhyw un o'i ddinasoedd,' fel y mae y Syriaeg yn ei ddarllen; *pa bla bynag*—yn ymledu ar y croen oddiallan; *pa glefyd bynag*—yn effeithio ar yr ymysgaroedd a'r bywydolion oddifewn.

Adn. 38. *Pob gweddi, pob deisyfiad*] A wneir atat yn achos unrhyw un o'r drygau a grybwyllwyd; *gan un dyn*—a weddio yn unigol; *neu gan dy holl bobl*—fel cynulleidfa ymgasgledig; *y rhai a wyddant bawb bla ei galon ei hun*—ac felly rhai o honynt yn gweddio rhag y pla neu yr haint, ac ereill rhag y llosgfa neu y malldod; *ac a estynant eu dwylaw tua'r tŷ hwn*—mewn gweddi gywir, o unrhyw gŵr o'r wlad.

Adn. 39. *Yna gwrando di yn y nefoedd*] Gwel ar adn. 30; *a maddeu*—yr hyn a awgryma mai cosp am bechod yw pob un o'r drygau uchod; *gwna hefyd*—drugaredd â'r cyfryw; *a dyro i bob un yn ol ei holl ffyrdd*—yn ol ei angen hysbys i ti, yr hwn a adwaenost galonau pawb. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, 'yn ol ei edifeirwch neu ei anedifeirwch.' Fel pe dywedasai, 'Yr wyf yn gweddio gyda mwy o obaith a hyder, trwy nad wyf yn gofyn i ti waredu y rhai sydd yn annheimladwy o'u pechodau eu hun iin a'th farnau dithau;

ei galon (canys ti yn unig a adwaenost galonau holl feibion dynion),
40 Fel y'th ofnont di yr holl ddyddiau y byddont byw ar wyneb y tir a roddaist i'n tadau ni.
41 ¶ Ac am y dyeithrddyn hefyd ni *byddo* o'th bobl Israel, ond dyfod o wlad bell er mwyn dy enw;
42 (Canys clywant am dy enw mawr di, a'th law gref, a'th fraich estynedig) pan ddêl a gweddio tua'r tŷ hwn:
43 Gwrando di yn y nefoedd, mangre dy breswylfod, a gwna yn ol yr hyn oll a'r a lefo y dyeithrddyn arnat am dano: fel yr adwaeno holl bobl y ddaear dy enw di, i'th ofni di, fel *y mae* dy bobl Israel, ac y gwypont mai ar dy enw di y gelwir y tŷ hwn a adeiledais i.
44 ¶ Os â dy bobl di allan i ryfel yn erbyn y gelyn, ar hyd y ffordd yr anfonych hwynt, os gweddiant ar yr Arglwydd *tua* ffordd y ddinas a ddewisaist ti, a'r tŷ yr hwn a adeiledais i'th enw di:
45 Yna gwrando yn y nefoedd ar eu gweddi hwynt, ac ar eu deisyfiad, a gwna farn iddynt.
46 ¶ Os pechant i'th erbyn (canys nid *oes* dyn ni phecha) a digio o honot wrthynt, a'u rhoddi hwynt o flaen eu gelynion, fel y caethgludont hwynt yn gaethion i wlad y gelyn, yn mhell neu yn agos;

---

eithr y rhai hyny yn unig ag sydd wedi eu dwyn mewn gwirionedd i adnabod pla eu calonau eu hunain.'

Adn. 40. *Fel y'th ofnont di*] Fel wedi i ti yn gyntaf eu taraw hwynt, ac yna eu gwaredu hwynt mor hynod, a hyny mewn atebiad i'w gweddiau, y dysgont trwy hyny ofni dy gyfiawnder, a pharchu dy ddaioni a'th drugaredd. 'Maddeuant fel ei *hofner*,' yw maddeuant Duw, Salm cxxx. 4.

Adn. 41. *Ac am y dyeithrddyn hefyd*] O blith y Cenhedloedd, yr hwn a allai ddyfod i gyntedd y Cenhedloedd i weddio ar Dduw Israel, trwy fod wedi ei argyhoeddi o'r ffolineb a'r pechod o addoli duwiau ei wlad ei hun.

Adn. 42. *Canys clywant am dy enw mawr di*] JEHOFA, Duw Israel, Bôd mawr tragwyddol, hunan-fodol, ac annghyfnewidiol; *a'th law gref, a'th fraich estynedig*—â'r rhai y gwnaethost y fath ryfeddodau yn yr Aifft, wrth y môr coch, yn yr anialwch, ac yn ngwlad Canaan; a bydd i hyny ddwyn y rhai ystyriol o honynt i weddio tua'r tŷ hwn, fel y gallont gael ffafr Duw a ddichon roddi iddynt wir fendithion.

Adn. 43. *Gwrando di yn y nefoedd*] Gwel ar adn. 30; *a gwna yn ol yr hyn oll a'r a lefo y dyeithrddyn arnat am dano*—y mae gweddi Solomon dros y dyeithrddyn yn fwy diammodol na'i weddi dros bobl Israel, y rhai a bechent yn erbyn gwybodaeth; canys nid yw efe yn erfyn am i'r Arglwydd wneyd âg ef 'yn ol ei holl ffyrdd,' adn. 39; ond erfynia ar iddo wrando ei weddi, er pechu o hono yn ei anwybodaeth; *fel yr adwaeno holl bobl y ddaear dy enw di*—ac y cefnoger dyeithriaid i ddyfod i addoli y gwir Dduw, a'i ofni ef, fel y gwnai ei bobl Israel. Yma y gwelwn mor gywir yr oedd yr hen Iuddewon duwiol yn dymuno tröedigaeth y Cenhedloedd; tra yr oedd yr Iuddewon dirywiedig diweddar, yn nyddiau Crist a'i apostolion, o herwydd eu balchder a'u cenfigen, yn tramgwyddo wrth hyny, ac yn ei wrthwynebu.

Adn. 44. *Os â dy bobl di allan i ryfel*] Ar ol cael achos cyfiawn i fyned, trwy i'w gelynion ymosod ar rai o'u terfynau hwynt, neu eu niweidio ryw ffordd arall; *ar hyd y ffordd yr anfonych hwynt*—y mae yma dybiaeth fod Israel yn gofyn cynghor gan Dduw, neu yn cael gorchymyn oddiwrtho ef, i fyned i ryfela yn erbyn y fath elynion; ac nad oedd yn gyfreithlon iddynt ryfela o drachwant am fuddugoliaeth, neu er mwyn eangu eu tiriogaeth, a meddiannu eiddo eu cymydogion, heb i Dduw eu hanfon hwynt. *Os gweddiant ar yr Arglwydd*—canys ni ddylent ymddiried yn nerth na chyfiawnder eu harfau, eithr yn ngallu a bendith Duw, am yr hyn yr oeddynt i weddio; *tua ffordd y ddinas a ddewisaist ti*—yn orphwysfa i'th deml, ac yn breswylfa i ti dy hun; *a'r tŷ yr hwn a adeiledais i'th enw di*—canys at hwnw yr oeddynt i droi eu gwynebau wrth weddio, i broffesu eu bod yn addolwyr y gwir Dduw, ac i gadarnhau eu ffydd yn addewidion a chyfammod Duw, llechau pa gyfammod a gynwysid yno yn yr arch. Dylai gweddi gydfyned bob amser â rhyfel.

Adn. 45. *Yna gwrando yn y nefoedd ar eu gweddi hwynt*] Am lwyddiant, a buddugoliaeth ar eu gelynion; *a gwna farn iddynt*—Saes. 'amddiffyn eu hachos;' hyny yw, dangos gyfiawnder eu hachos trwy roddi iddynt fuddugoliaeth.

Adn. 46. *Os pechant i'th erbyn*] Tra yn y rhyfel hòno, trwy beidio gweddio ar yr Arglwydd; neu trwy droseddu ei gyfreithiau ef, a gwneyd yn annuwiol, ar unrhyw bryd, adn. 47; *canys nid oes dyn ni phecha*—neu *na all* bechu, os nad attelir ef gan ras dwyfol. Wrth ddeall y geiriau fel hyn, y maent yn gyson â'r cyd-destyn, ac yn gosod ystyr y wreiddiol allan yn well; ac hefyd nid ydynt yn gwrthddywedyd haeriad St. Ioan, 'Ni a wyddom nad yw y neb a aned o Dduw yn pechu:' gwel ar 1 Ioan v. 18. Nid oedd Solomon, wrth ddywedyd y geiriau hyn, yn meddwl y byddai i wendid y natur ddynol, a'i thueddrwydd i bechu, esgusodi troseddiadau gwirfoddol ac adnabyddus yn erbyn Duw, yn enwedig gwrthgiliad oddiwrtho ef a'i wasanaeth, yr hyn oedd yr achos o holl gaethglud-

47 Os dychwelant at eu calon yn
y wlad y caethgludwyd hwynt iddi,
a dychwelyd, ac erfyn arnat yn
ngwlad y rhai a'u caethgludasant,
gan ddywedyd, Pechasom, trosedd-
asom hefyd, a gwnaethom yn an-
nuwiol;
48 A dychwelyd atat ti â'u holl
galon, ac â'u holl enaid, yn ngwlad
eu gelynion a'u caethgludasant
hwynt, a gweddio arnat ti tua'u
gwlad a roddaist i'w tadau, a'r
ddinas a ddewisaist, a'r tŷ a adeil-
edais i'th enw di:
49 Yna gwrando di yn y nefoedd,
mangre dy breswylfod, eu gweddi
hwynt, a'u deisyfiad, a gwna farn
iddynt.
50 A maddeu i'th bobl a bechas-
ant i'th erbyn, a'u holl gamweddau
*yn* y rhai y troseddasant i'th erbyn,
a phâr iddynt gael trugaredd ger-
bron y rhai a'u caethgludasant, fel
y trugarhaont wrthynt hwy:
51 Canys dy bobl di a'th etifedd-
iaeth *ydynt* hwy, y rhai a ddygaist
ti allan o'r Aifft, o ganol y ffwrn
haiarn:
52 Fel y byddo dy lygaid yn ag-
ored i ddeisyfiad dy was, a deisyf-
iad dy bobl Israel, i wrando ar-
nynt hwy pa bryd bynag y galwont
arnat ti.
53 Canys ti a'u neillduaist hwynt
yn etifeddiaeth i ti o holl bobl y
ddaear, fel y llefaraist trwy law
Moses dy was, pan ddygaist ein tad-
au ni allan o'r Aifft, O Arglwydd
Dduw.
54 ¶ Ac wedi gorphen o Solomon
weddio ar yr Arglwydd yr holl
weddi a'r deisyfiad yma, efe a gy-

---

iadau yr Iuddewon. 'Ar yr adnod hon gallwn sylwi,' meddai Dr. A. Clarke, 'fod yr ail adran, fel ei cyfieithir yma, yn gwneuthur y *dybiaeth* yn yr adran gyntaf yn hollol ddirym; canys os *nad oes dyn ni phecha*, ofer yw dywedyd, 'OS *pechant.*' Ond y mae y gwrthddywediad hwn yn cael ei ddileu wrth gyfeirio at y wreiddiol, *ki yechetu lach*, yr hyn a ddylai gael ei gyfieithu, *os* BYDD *iddynt bechu i'th erbyn*, neu PE *pechent i'th erbyn; ki ein adam asher lo yecheta, canys nid oes dyn* NA ALL *bechu;* hyny yw, nid oes dyn *anmhechadwy*, neb *anffaeladwy*, neb a'r nad yw yn *agored* i droseddu. Hyn yw gwir ystyr yr ymadrodd mewn amrai ranau o'r Beibl, ac felly y darfu i'n cyfieithwyr ni ddeall y wreiddiol; canys hyd yn nod yn adn. 31 o'r bennod hon hwy a gyfieithasant *yecheta*, 'OS TROSEDDA *dyn* (felly y Saesonaeg), yr hyn yn sicr a arwydda y *gallai* ef droseddu neu *beidio;* ac fel hyn y cyfieithasant yr un gair yn Lef. v. 1, a vi. 2, 1 Sam. ii. 25, 2 Cron. vi. 22, ac mewn amrai leoedd ereill.' Ac efe a chwanega, 'Y mae y testyn hwn wedi bod yn amddiffynfa ryfeddol i bawb a gredant nad oes gwaredigaeth oddiwrth bechod yn y bywyd hwn. Nid yw y testyn yn llefaru y fath athrawiaeth; nid yw ond yn llefaru am y *posibilrwydd* i bob dyn bechu, a rhaid fod hyny yn wir am gyflwr o *brawf.*' *A digio o honot wrthynt*—am bechu felly pan nad oedd gorfod arnynt, fel ag i'w cospi am hyny trwy eu rhoddi yn llaw eu gelynion; *fel y caethgludont hwynt yn gaethion i wlad y gelyn*—fel y gwnaed â'r deg llwyth i Assyria, a llawer o'r ddau lwyth arall i Babilon.

Adn. 47. *Os dychwelant at eu calon yn y wlad y caethgludwyd hwynt iddi*] Heb. 'os dygant eu calonau yn ol,' sef oddiwrth eu heilunod a'u hoferedd; *a dychwelyd*—Saes. 'ac edifarhau;' *ac erfyn arnat*—am faddeuant a thrugaredd; *gan ddywedyd*—gan gyfaddef, oddiar deimlad gofidus o'u bai, eu bod wedi pechu, troseddu, a gwneuthur yn annuwiol.

Adn. 48. *A dychwelyd atat ti â'u holl galon, ac â'u holl enaid*] Yn y modd mwyaf gostyngedig, edifeiriol, a diragrith, gan gyflwyno eu cyrff a'u heneidiau yn gwbl i dy wasanaeth; *a gweddio, &c.*—gwel ar adn. 44.

Adn. 49. *Yna gwrando di yn y nefoedd, &c.*] Gwel ar adn. 45; *a gwna farn iddynt*—Saes. 'amddiffyn eu hachos,' neu eu hiawnderau, trwy eu gwaredu allan o'u caethiwed.

Adn. 50. *A maddeu i'th bobl*] Eu holl gamweddau, ar eu cyfaddefiad o honynt, eu hedifeirwch am danynt, a'u dychweliad oddiwrthynt; *a phâr iddynt gael trugaredd gerbron y rhai a'u caethgludasant*—gael eu trin yn drugarog tra y parhäent yn gaethweision iddynt, a chael rhyddid i ddychwelyd i'w gwlad eu hunain, adn. 34. Y mae calonau holl blant dynion yn llaw Duw, ac efe all, pan y myno, beri i'r rhai hyny dosturio wrth ei bobl, y rhai a fuont eu herlidwyr creulonaf.

Adn. 51. *Canys dy bobl di a'th etifeddiaeth ydynt hwy*] Pa fodd bynag y pechont i'th erbyn, neu y dyoddefont oddiwrth ddynion; eto cofia fyth mai dy bobl neillduol di ydynt, wedi eu derbyn i gyfammod â thi, a than dy ofal a'th nodded. *O ganol y ffwrn haiarn*—y caethiwed creulonaf a'r llafur trymaf: gwel ar Deut. iv. 20.

Adn. 52. *Fel y byddo dy lygaid yn agored*] Gwel ar adn. 29.

Adn. 53. *Canys ti a'u neillduaist hwynt yn etifeddiaeth i ti*] Dechreuaist waith o drugaredd fawr iddynt: na ddyro achlysur i'th elynion feddwl dy fod yn analluog i'w orphen, neu dy fod yn ansefydlog yn dy ffyrdd a'th fwriadau, neu yn greulon wrth dy blant dy hun. *Fel y llefaraist trwy law Moses*—gwel ar Exod. xix. 5. *O Arglwydd Dduw!*—yma y mae Solomon yn gorphen ei weddi, trwy apeliad difrifol at yr Arglwydd ei Dduw; yr hyn a ddengys ei dduwiol barch of iddo, a'i

fododd oddi gerbron allor yr Ar-
glwydd, o ostwng ar ei liniau, ac o
estyn ei ddwylaw tua'r nefoedd.
55 Ac efe a safodd, ac a fendith-
iodd holl gynulleidfa Israel â llef
uchel, gan ddywedyd,
56 Bendigedig *fyddo* yr Ar-
glwydd, yr hwn a roddes lonyddwch
i'w bobl Israel, yn ol yr hyn oll a
lefarodd efe: ni syrthiodd un gair
o'i holl addewidion da ef, y rhai a
addawodd efe trwy law Moses ei
was.
57 Yr Arglwydd ein Duw fyddo
gyda ni, fel y bu gyda'n tadau: na
wrthoded ni, ac na'n gadawed ni:
58 I ostwng ein calonau ni iddo
ef, i rodio yn ei holl ffyrdd ef, ac i
gadw ei orchymynion ef, a'i ddeddf-
au, a'i farnedigaethau, y rhai a or-
chymynodd efe i'n tadau ni.
59 A bydded fy ngeiriau hyn, y
rhai a ddeisyfais gerbron yr Ar-
glwydd, yn agos at yr Arglwydd ein
Duw ddydd a nos, i wneuthur barn
â'i was, a barn â'i bobl Israel beu-
nydd, fel y byddo yr achos:
60 Fel y gwypo holl bobl y ddaear
mai yr Arglwydd *sydd* Dduw, *ac*
nad *oes* arall.
61 Bydded gan hyny eich calon
yn berffaith gyda'r Arglwydd ein
Duw ni, i rodio yn ei ddeddfau ef,
ac i gadw ei orchymynion ef, fel
heddyw.
62 A'r brenin a holl Israel gydag
ef a aberthasant aberth gerbron yr
Arglwydd.
63 A Solomon a aberthodd aberth
hedd, yr hwn a offrymodd efe i'r
Arglwydd, *sef* dwy fil ar hugain o
wartheg, a chwech ugain mil o

---

ymddiried ynddo y gwnai efe yr hyn oll ag yr oedd efe wedi gweddio am dano.

Adn. 54. *Ac wedi gorphen o Solomon weddio ar yr Arglwydd*] Yn yr hyn, fel y tybia rhai, yr oedd efe yn gysgod o Grist yn eiriol dros y saint o flaen yr allor aur, Dat. viii. 3, 4; *efe a gyfododd oddi gerbron allor yr Arglwydd*—lle yr oedd efe wedi bod yn gostwng ar ei liniau yn y pulpud pres, ac yn estyn ei ddwylaw tua'r nefoedd, adn. 22.

Adn. 55. *Ac efe a safodd*] Ar ei draed yn y pulpud pres, fel y gallai weled yr holl bobl, a hwythau ei weled yntau, tra y byddai yn eu bendithio, fel yr adroddir yn adn. 57, 58.

Adn. 56. *Bendigedig fyddo yr Arglwydd*] Cyn dechreu bendithio y bobl, y mae Solomon yn bendithio yr Arglwydd am yr hyn a wnaethai efe iddynt hwy yn ol ei addewidion aml. *Ni syrthiodd un gair o'i holl addewidion da ef*—heb ei gyflawni. Efe a grybwylla hyn er anrhydedd tragwyddol i'r dwyfol ffyddlondeb, ac er cefnogaeth fythol i bawb a adeiladant ar yr addewidion dwyfol.

Adn. 57. *Yr Arglwydd ein Duw fyddo gyda ni*] I'n cyfarwyddo, i'n bendithio, i'n hamddiffyn, a'n llwyddo yn mhob dim; *fel y bu gyda'n tadau*—nid yn unig gydag Abraham, Isaac, a Jacob, ond hefyd gyda'u hiliogaeth hwy o'r Aifft i Ganaan; *na wrthoded ni, ac na'n gadawed ni*—gwel ar Jos. i. 5.

Adn. 58. *I ostwng ein calonau ni iddo ef*] Fel y carom, y gwasanaethom, ac yr ufyddhaom iddo ef yn mhob dim a'r a orchymynodd efe i ni.

Adn. 59. *A bydded fy ngeiriau hyn*] Sef y deisyfiadau a wnaethai efe yn ei weddi gerbron yr Arglwydd; *yn agos at yr Arglwydd ein Duw ddydd a nos*—i'w cofio a'u hystyried ganddo ef yn wastadol, fel ag i roddi atebiad grasol bob amser i'r rhai a weddiant arno ar unrhyw achos; *i wneuthur barn â'i was*—Saes. 'i amddiffyn achos ei was,' a'i hiliogaeth, at yr hyn y cyfeiriwyd yn nechre y weddi, adn. 25; *a barn â'i bobl Israel beunydd*—i barhau eu breintiau a'u hiawnderau iddynt hwythau o bryd i bryd, fel y byddo yr achos, at yr hyn y cyfeiriwyd yn y rhan olaf o'r weddi.

Adn. 60. *Fel y gwypo holl bobl y ddaear*] Trwy ei waith yn gwrando ac yn ateb gweddiau ei bobl, ac yn eu gwaredu o'u cyfyngderau; *mai yr Arglwydd sydd Dduw*—nad oes un gwir Dduw ond JEHOFA, Duw Israel. Felly amcan Solomon, wrth ofyn am atebiad i weddiau ei bobl, oedd cael holl drigolion y byd oddiwrth eu heilun-dduwiau, i addoli a gwasanaethu Duw Israel.

Adn. 61. *Bydded gan hyny eich calon yn berffaith gyda'r Arglwydd ein Duw ni*] Yn bur a diragrith yn eich cariad ato, eich addoliad o hono, a'ch ufydd-dod iddo; *fel heddyw*—fel yr oeddynt oll y dydd hwnw; canys hyd yn hyn nid oedd na'r brenin na'r bobl wedi gŵyro at eilunaddoliaeth. Y mae yn alaethus meddwl, ar ol y cynghorion hyn, mai Solomon ei hun a syrthiodd gyntaf oddiwrth ddeddfau a gorchymynion Duw: gwel ar pen. xi.

Adn. 62. *A'r brenin a holl Israel*] Trwy weinyddiad yr offeiriaid; *a aberthasant aberth*—sef poeth-offrymau ac offrymau hedd, yn gystal a bwyd-offrymau, adn. 64. Y mae yn debyg fod yr aberth wedi ei osod ar yr allor cyn i Solomon ddechreu gweddio; a chyn gynted ag y gorphenodd efe weddio, a bendithio a chynghori y bobl, disgynodd tân o'r nefoedd ar yr allor i ysu yr aberth, 2 Cron. vii. 1—3.

Adn. 63. *Dwy fil ar hugain o wartheg, a chwech ugain mil o ddefaid*] Nid oll mewn un diwrnod, ond yn y saith, neu fe allai yn y pedwar diwrnod ar ddeg a grybwyllir adn. 65. *Felly Solomon a holl feibion Israel a gysegrasant dŷ yr Arglwydd*—a ddechreuasant ei neillduo ef at waith ac addoliad Duw, trwy yr aberthau a' ymarferiadau santaidd hyn.

Adn. 64. *Y dwthwn hwnw y santeiddiodd*

ddefaid. Felly y brenin a holl feib-
ion Israel a gysegrasant dŷ yr Ar-
glwydd.
64 Y dwthwn hwnw y santeidd-
iodd y brenin ganol y cyntedd *oedd*
o flaen tŷ yr Arglwydd: canys yno
yr offrymodd efe y poeth-offrymau,
a'r bwyd-offrymau, a brasder yr off-
rymau hedd: o herwydd yr allor
bres, yr hon *oedd* gerbron yr Ar-
glwydd, *oedd* ry fychan i dderbyn y
poeth-offrymau, a'r bwyd-offrymau,
a brasder yr offrymau hedd.
65 A Solomon a gadwodd y pryd
hwnw ŵyl, a holl Israel gydag ef,
cynulleidfa fawr, o ddyfodfa Hamath
hyd afon yr Aifft, gerbron yr Ar-
glwydd ein Duw, saith o ddyddiau
a saith o ddyddiau, *sef* pedwar di-
wrnod ar ddeg.
66 A'r wythfed dydd y gollyng-
odd efe ymaith y bobl: a hwy a
fendithiasant y brenin, ac a aethant
i'w pebyll yn hyfryd ac â chalon
lawen, am yr holl ddaioni a wnaethai
yr Arglwydd i Dafydd ei was, ac i
Israel ei bobl.

## PENNOD IX.

A PHAN orphenodd Solomon ad-
eiladu tŷ yr Arglwydd, a thŷ y
brenin, a chwbl o ddymuniad Solo-
mon yr hyn a ewyllysiodd efe ei
wneuthur;
2 Yr Arglwydd a ymddangosodd
i Solomon yr ail waith, fel yr ym-
ddangosasai iddo yn Gibeon.
3 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrtho, Gwrandewais dy weddi di
a'th ddeisyfiad di, yr hwn a ddeisyf-
aist ger fy mron i: cysegrais y tŷ
yma a adeiledaist, i osod fy enw
ynddo byth; fy llygaid hefyd a'm
calon fydd yno yn wastadol.
4 Ac os rhodi di ger fy mron i,

---

*y brenin ganol y cyntedd*] Sef cyntedd yr offeiriaid, yn yr hwn yr oedd allor fawr y poeth-offrwm. Efe a gysegrodd y cyntedd, yr un modd a'r allor fawr, trwy aberthau; ond gyda hyn o wahaniaeth, ddarfod iddo gysegru hòno at wasanaeth barhaus, ond hwn yn unig at yr achos presenol, gan gael ei awdurdodi i hyny trwy yr angenrheidrwydd am dano at y wasanaeth bresenol, i'r hon nid oedd yr allor bres yn ddigonol; a thrwy gyfarwyddyd Ysbryd Duw, â'r hwn y cynysgaeddwyd Solomon yn ddiamau, gan ei fod yn broffwyd yn gystal a brenin. Yma gan hyny yr adeiladodd efe amrai allorau at wasanaeth y cysegriad, y rhai wedi hyny a dynwyd i lawr.

Adn. 65. *Cynulleidfa fawr*] Yn gynwysedig o filoedd o bobl yn ddiamau o bob llwyth yn Israel; *o ddyfodfa Hamath*—yn Syria yn y gogledd; *hyd afon yr Aifft*—y *Rhinocorura* yn y deau; *pedwar diwrnod ar ddeg*—sef saith o ddyddiau i gysegru y deml, a saith i gynal gŵyl y pebyll.

Adn. 66. *A'r wythfed dydd y gollyngodd efe ymaith y bobl*] Ar ol ymuno â hwy yn y gymanfa santaidd, yr hon a gynelid ar yr wythfed dydd. Nid yr wythfed dydd o ddydd cyntaf gŵyl y cysegriad a feddylir, ond yr wythfed o ŵyl y pebyll, a'r pymthegfed ar ol dechreu gŵyl y cysegriad, sef y 23ain o fis Ethanim, 2 Cron. vii. 10. *A hwy a fendithiasant y brenin*—diolchasant iddo am ei ofal, ei draul, a'i lafur dirfawr yn adeiladu y deml, ac yn sefydlu addoliad Duw yn eu plith, ac am ei haelioni mawr iddynt; a dymunasant bob bendith iddo mewn amser ac yn nhragwyddoldeb. *Ac a aethant i'w pebyll*—i'w dinasoedd a'u cartrefleoedd ar hyd a lled yr holl wlad, yn hyfryd a llawen eu calon am yr holl bethau a welsant, a glywsant, ac a fwynhasant yn Jerusalem yn ystod y bymthegnos a aethai heibio.

PEN. IX. Adn. 1. *A phan orphenodd Solomon adeiladu tŷ yr Arglwydd*] Yr hwn a orphenodd efe mewn saith mlynedd a hanner; *a thŷ y brenin*—yr hwn a gymerodd dair blynedd ar ddeg wedi hyny, pen. vii. 1; *a chwbl o ddymuniad Solomon*—sef tŷ coedwig Libanus, a thŷ merch Pharao; ac ond odid ei winllanoedd, ei erddi, ei berllanau, a'i lynau dwfr, Preg. ii. 4—6.

Adn. 2. *Yr ail waith*] Hyny yw, yr ail waith mewn breuddwyd neu weledigaeth, fel yr ymddangosasai iddo yn Gibeon, pen. iii. 5; canys ymddengys fod y genadwri ddwyfol a grybwyllir pen. vi. 11—13, wedi cael ei chario iddo oddiwrth Dduw gan ryw broffwyd. Ymddanghosodd yr Arglwydd iddo y tro hwn yn union ar ol cysegru y deml, a chyn iddo ddechreu ar yr adeiladau ereill; ac felly dylai yr adnod hon gael ei darllen, 'Yr Arglwydd a *ymddangosasai* i Solomon, &c.;' yr hyn a'i calonogodd ef i ddechreu ei adeiladau ereill, a'u gorphen oll yn llwyddiannus, 2 Cron. vi. 11.

Adn. 3. *Gwrandewais dy weddi di*] Yr hon a gynwysir yn y bennod flaenorol; *cysegrais y tŷ yma a adeiledaist*—trwy fy mhresenoldeb gogoneddus yn y cwmwl, a'm derbyniad o'th ebyrth, santeiddiais ef i'm gwasanaeth a'm haddoliad arbenig fy hun. Yr oedd Solomon wedi neillduo a chyflwyno y deml i'r addoliad dwyfol, ond rhagorfraint Duw ei hun oedd ei chysegru a'i santeiddio hi yn ystyr priodol y gair. *Fy llygaid hefyd*—fy rhagluniaeth wyliadwrus a grasol; *a'm calon*—fy hyfrydwch yn yr addolwyr diragrith; *fydd yno yn wastadol*—cyhyd ag y parheir yr addoliad a'r wasanaeth ddwyfol yno mewn purdeb.

Adn. 4. *Megys y rhodiodd Dafydd dy dad, mewn perffeithrwydd calon ac uniondeb*] Er i Dafydd fod yn euog o amrai bechodau, eto yr

megys y rhodiodd Dafydd dy dad, mewn perffeithrwydd calon ac uniondeb i wneuthur yn ol yr hyn oll a orchymynais i ti, *ac* os cedwi fy neddfau a'm barnedigaethau:

5 Yna mi a sicrhaf orseddfainc dy frenhiniaeth di ar Israel yn dragywydd, fel y llefarais wrth Dafydd dy dad, gan ddywedyd, Ni phalla i ti ŵr ar orseddfainc Israel.

6 Os gan ddychwelyd y dychwelwch chwi a'ch meibion oddiar fy ol i, ac heb gadw fy ngorchymynion *a*'m deddfau, y rhai a roddais o'ch blaen chwi, eithr myned a gwasanaethu duwiau dyeithr, ac ymgrymu iddynt hwy:

7 Yna y toraf Israel oddiar wyneb y tir a roddais iddynt hwy; a'r tŷ hwn a gysegrais i'm henw, a fwriaf allan o'm golwg; ac Israel fydd yn ddiareb ac yn wawd yn mysg yr holl bobloedd:

8 A'r tŷ uchel hwn, pawb a gyniweirio heibio iddo a syna wrtho, ac a chwibana; dywedant hefyd, Paham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r wlad hon, ac i'r tŷ yma?

9 A hwy a ddywedant, Am iddynt wrthod yr Arglwydd eu Duw, yr hwn a ddyg eu tadau hwynt allan o dir yr Aifft, ac ymaflyd mewn duwiau dyeithr, ac ymgrymu iddynt, a'u gwasanaethu hwynt; am hyny y dyg yr Arglwydd arnynt yr holl ddrwg hyn.

10 Ac yn mhen yr ugain mlynedd, *wedi* adeiladu o Solomon y ddau dŷ, sef tŷ yr Arglwydd a thŷ y brenin;

11 (*Am* i Hiram brenin Tyrus ddwyn i Solomon goed cedr a choed ffynidwydd, ac aur, yn ol ei holl ewyllys ef) y brenin Solomon a roddes i Hiram ugain ninas yn ngwlad Galilee.

12 A Hiram a ddaeth o Tyrus i edrych y dinasoedd a roddasai Solomon iddo ef; ac nid oeddynt wrth ei fodd ef.

13 Ac efe a ddywedodd, Pa ddinasoedd *yw* y rhai hyn a roddaist i mi, fy mrawd? Ac efe a'u galwodd hwynt Gwlad Cabul, hyd y dydd hwn.

14 A Hiram a anfonodd i'r brenin chwech ugain talent o aur.

---

oedd ef yn berffaith ac union ei galon gyda golwg ar addoliad Duw, yr hyn a olygir yma; canys ni wrthgiliodd efe un amser oddiwrth Dduw trwy eilunaddoliaeth.

Adn. 5. *Yna mi a sicrhaf orseddfainc dy frenhiniaeth di*] Ar yr ammod hon yn unig, fod i ti rodio ger fy mron i mewn perffeithrwydd calon, megys y rhodiodd Dafydd dy dad.

Adn. 6. *Os gan ddychwelyd y dychwelwch chwi a'ch meibion oddiar fy ol i*] Gan gilio o'm gwasanaeth, gadael fy allor, a gwasanaethu duwiau dyeithr.

Adn. 7. *Yna y toraf Israel oddiar wyneb y tir*] Trwy adael iddynt gael eu caethgludo o'r wlad hon i wledydd ereill; *a'r tŷ hwn a gysegrais i'm henw a fwriaf allan o'm golwg*—yr hyn a gyflawnwyd pan losgwyd y deml gan Nebuchodonosor, 2 Cron. xxxvi. 19; *ac Israel fydd yn ddiareb ac yn wawd*—crybwyllid eu hadfyd a'u trueni hwy yn ddiarebol, i osod allan unrhyw gystudd a chyfyngder dirfawr; a chydunai pawb i'w difrïo a'u gwawdio: gwel ar Deut. xxviii. 37.

Adn. 8. *A'r tŷ uchel hwn*] Sef uchel ei fri, ei enwogrwydd, a'i ogoniant; *pawb a gyniweirio heibio iddo a syna*—wrth weled ei adfeilion a'i ludw; *ac a chwibana*—mewn ffordd o ddirmyg a gwawd. *Paham y gwnaeth yr Arglwydd*—cydnabyddant mai yr Arglwydd fyddai wedi gwneyd y fath ddystryw, ac y rhaid fod rhyw achos annghyffredin yn galw am hyn oll.

Adn. 9. *A hwy a ddywedant*] Sef y cyniweirwyr, y rhai a dybir yma fel yn ateb eu gilydd; *Am iddynt wrthod yr Arglwydd eu Duw*—yr hwn a wnaethai gymaint iddynt hwy a'u tadau, a gwasanaethu duwiau dyeithr yn ei le ef! Fel hyn gellid darllen eu pechod yn eu cosp.

Adn. 10. *Ac yn mhen yr ugain mlynedd*] O'r amser ag y dechreuasai Solomon adeiladu y ddau dŷ, pen. vii. 1.

Adn. 11. *Solomon a roddes i Hiram ugain ninas yn ngwlad Galilee*] Nid am byth ond odid, eithr rhoddodd eu cynyrch hwy hyd nes y telid yr arian a fenthycasai efe at ei adeilad au. Ymddengys modd bynag naill ai na dderbyniodd Hiram hwy, neu ynte ddarfod iddo, ar ol cael ei dalu, eu hadfer hwynt i Solomon; canys dywedir yn 2 Cron. viii. 2, 'Solomon a adeiladodd y dinasoedd a *roddasai* Hiram i Solomon, ac a wnaeth i feibion Israel drigo yno.' Tybia rhai mai dinasoedd Cenhedlig a ennillesid gan Solomon oeddynt, ac am hyny fod ganddo hawl i'w rhoddi ymaith am byth, trwy nad oeddynt yn rhan o'r wlad a ranwyd wrth goelbren i'r Israeliaid yn amser Josua.

Adn. 12. *A Hiram a ddaeth o Tyrus i edrych y dinasoedd*] Y rhai oeddynt ar gyffiniau gogleddol Galilee, nid yn mhell o Tyrus; *ac nid oeddynt wrth ei fodd ef*—neu yn dâl digonol am yr aur, trwy eu bod yn ddinasoedd bychain, neu yn mhell oddiwrth y môr, neu am fod y ffyrdd a'r tir yn ddrwg a chleiog o'u hamgylch: gwel isod.

Adn. 13. *Pa ddinasoedd yw y rhai hyn a*

15 ¶A dyma swm y dreth a gododd
y brenin Solomon, i adeiladu tŷ yr
Arglwydd, a'i dŷ ei hun; a Milo, a
mur Jerusalem, Hazor, a Megido,
a Gezer.
16 Pharao brenin yr Aifft a aethai
i fyny, ac a ennillasai Gezer, ac a'i
llosgasai hi â than, ac a laddasai y
Canaaneaid oedd yn trigo yn y ddinas, ac a'i rhoddasai hi yn anrheg
i'w ferch, gwraig Solomon.
17 A Solomon a adeiladodd Gezer,
a Beth-horon isaf,
18 A Baalath, a Thadmor yn yr
anialwch, o fewn y wlad,
19 A holl ddinasoedd y trysorau
y rhai oedd gan Solomon, a dinasoedd y cerbydau, a dinasoedd y gwŷr meirch, a'r hyn *oedd* ewyllys gan Solomon ei adeiladu yn Jerusalem, ac yn Libanus, ac yn holl dir ei lywodraeth.
20 Yr holl bobl *y rhai* a adawyd
o'r Amoriaid, Hethiaid, Pereziaid,
Hefiaid, a'r Jebusiaid, y rhai nid
*oeddynt* o feibion Israel;
21 *Sef* eu meibion hwy, y rhai a
adawsid ar eu hol hwy yn y wlad, y rhai ni allodd meibion Israel eu lladd; ar y rhai hyny y cyfododd Solomon dreth ŵriogaeth hyd y dydd hwn.

---

*roddaist i mi, fy mrawd?*] Ei frawd fel cydfrenin, ac un mewn cynghrair a chyfeillach âg ef; ac wrth ei alw yn frawd pan yn bychanu ei rodd ef, danghosai nad oedd dim digofaint yn bodoli rhyngddynt. *Ac efe a'u galwodd hwynt Gwlad Cabul*—gair Phenisiaidd, meddai Josephus, yn arwyddo 'anfoddhaol;' neu gelwid hwy felly, yn ol rhai o'r rabbiniaid, am fod y tir yn 'galed, cleiog, a diffrwyth.' Gan fod llawer o drafferth yn ofynol i'w lafurio a'i ddiwyllio, nid oedd yn dra chyfaddas i wŷr Tyrus, y rhai oeddynt yn dra diog a moethus, ac yn fwy chwannog i farsiandïaeth nag i amaethyddiaeth. Sonir am *dref Cabul* yn Jos. xix. 27; ond ymddengys fod hòno yn le gwahanol i hwn: gwel y sylwadau yno. Os rhoddodd Hiram y dinasoedd hyn yn ol yn awr, diamau i Solomon roddi iddo yntau ryw gydwerth mwy boddhaol ganddo am ei aur.

Adn. 14. *A Hiram a anfonodd*] Neu a *anfonasai*, &c., fel yr adroddwyd yn adn. 11; *chwech ugain talent o aur*—yr hyn oedd yn £657,000 o'n harian ni. Enwir swm yr aur yma, i ddangos yr achos o anfoddlonrwydd Hiram i'r dinasoedd uchod, trwy nad oeddynt, yn ei dyb ef, yn dâl digonol am gymaint o aur.

Adn. 15. *A dyma swm y dreth*] Sef chwech ugain talent o aur, y rhai a gododd Solomon oddiar y wlad i dalu Hiram, ar ol iddo ef wrthod y dinasoedd uchod. Ond tybia rhai mai treth o *wŷr* a olygir yma, fel yn pen. v. 13, yr hyn oedd yn angenrheidiol i godi cynifer o adeiladau: gwel ar adn. 20, 21. *Milo*—meddylia rhai mai rhyw gwm dwfn rhwng mynydd Seion a'r hyn a elwid dinas Jebus oedd Milo, a darfod i Solomon lenwi hwn i fyny, ac adeiladu arno fath o amddiffynfa, a lle o ymgynulliad cyhoeddus i ymdrin âg achosion gwladol. Dywedir yn 2 Sam. v. 9, i Dafydd 'adeiladu oddiamgylch, o Milo ac oddimewn;' a dichon iddo ef adael adeiladaeth Milo ei hun yn anmherffaith, yr hon a orphenodd Solomon yn awr. *A mur Jerusalem*—yr hwn oedd yn waith mawr: canys yr oedd yno dri mur yn y cwbl, fel y dywed Abarbinel ac ereill: y mur mewnol, yn amgylchu tŷ Dduw a thŷ y brenin; yr ail, yn amgylchu tai y mawrion; a'r trydydd, yn amgylchu yr holl ddinas. *Hazor*—dinas yn llwyth Naphtali; *Megido*—yn llwyth Manasse; *a Gezer*—yn llwyth Ephraim. Meddylir i Solomon adgyweirio y dinasoedd hyn ar gost y wlad, a chodi rhyw adeiladau mawrion yn mhob un o honynt at wasanaeth y wlad, megys i gadw arlwyon rhyfel, &c.

Adn. 16. *Pharao—a ennillasai Gezer*] Yr oedd Josua wedi cymeryd y ddinas hon oddiar y Canaaneaid, a'i rhoddi i lwyth Ephraim, Jos. xvi. 10; ond ymddengys i'r Canaaneaid ei hail gymeryd hi, a chadw meddiant o honi hyd ddyddiau Solomon, pryd y darfu i dad-yn-nghyfraith Solomon ei hadennill hi, a'i rhoddi i Solomon yn gynysgaeth gyda'i ferch.

Adn. 17. *A Solomon a adeiladodd Gezer*] Trwy fod Pharao wedi ei llosgi hi â thân wrth ei chymeryd oddiar y Canaaneaid, adn. 16; *a Beth-horon isaf*—a'r 'uwchaf' hefyd, 2 Cron. viii. 5.

Adn. 18. *A Thadmor yn yr anialwch*] Addefir bron yn gyffredinol mai *Palmyra* glodfawr yw hon, adfeilion pa un a geir hyd heddyw, ac a roddant i ni y drychfeddwl uwchaf am fawredd ac ardderchogrwydd chwaeth Solomon. Y mae yn sefyll yn anialwch Arabia, rhwng Damascus a'r Euphrates, mewn llanerch ffrwythlon yn nghanol gwlad anial: gwel *Dawkin's and Wood's Ruins of Palmyra.*

Adn. 19. *A holl ddinasoedd y trysorau*] Lle y cadwai Solomon ŷd erbyn amseroedd o angen, neu arfau ac arlwy gogyfer â rhyfel; *a dinasoedd y cerbydau, a dinasoedd y gwŷr meirch*—o'r rhai yr oedd ganddo lawer, pen. x. 26.

Adn. 20. *Yr holl bobl y rhai a adawyd o'r Amoriaid, &c.*] Y rhai ond odid, erbyn hyn, oeddynt wedi dyfod yn broselytiaid i'r grefydd Iuddewig, fel y Gibeoniaid; neu o leiaf yr oeddynt wedi ymwrthod â'u heilunaddoliaeth.

Adn. 21. *Y rhai ni allodd meibion Israel eu lladd*] Am eu bod wedi ymgyfammodi â hwy i'w harbed, ond odid, fel y Gibeoniaid: ni allent eu lladd, heb dori y cyfammod hwnw. *Ar y rhai hyny y cyfododd Solomon dreth ŵriogaeth*—nid treth o arian, yr hon ni allent ei thalu yn eu cyflwr tylawd presenol; ond

22 Ond o feibion Israel ni wnaeth
Solomon *un* yn gaethwas: rhyfel-
wyr iddo ef *oeddynt*, a gweision
iddo, a thywysogion iddo, a chap-
teniaid iddo, a thywysogion ei ger-
bydau, a'i wŷr meirch.
23 Y rhai hyn *oedd* benaf ar y
swyddogion oedd ar waith Solomon,
pum cant a deg a deugain, oedd yn
llywodraethu y bobl oedd yn gweith-
io yn y gwaith.
24 ¶ A merch Pharao a ddaeth i
fyny o ddinas Dafydd i'w thŷ ei hun,
yr hwn a adeiladasai *Solomon* iddi
hi: yna efe a adeiladodd Milo.
25 A thair gwaith yn y flwyddyn
yr offrymai Solomon boeth-offrymau
ac offrymau hedd ar yr allor a adeil-
adasai efe i'r Arglwydd: ac efe a
arogldarthodd ar *yr allor oedd* ger-
bron yr Arglwydd. Felly efe a or-
phenodd y tŷ.
26 ¶ A'r brenin Solomon a wnaeth
longau, yn Esion-gaber, yr hon *sydd*
wrth Eloth, ar fin y môr coch, yn
ngwlad Edom.
27 A Hiram a anfonodd ei weision
yn y llongau, *y rhai oedd* longwyr
yn medru *oddiwrth* y môr, gyda
gweision Solomon.
28 A hwy a ddaethant i Ophir, ac
a ddygasant oddiyno bedwar cant ac
ugain o dalentau aur, ac a'*u* dygas-
ant at y brenin Solomon.

## PENNOD X.

A PHAN glybu brenhines Seba glod Solomon, am enw yr Ar-

---

'treth o *gaethwasanaeth*,' fel y mae yn y Saesonaeg, i wneuthur y rhan galetaf o'r gwaith cyhoeddus.

Adn. 22. *Ond o feibion Israel ni wnaeth Solomon un yn gaethwas*] Yr hyn a fuasai yn groes i'r gyfraith, Lef. xxv. 39, 40; *rhyfelwyr iddo ef oeddynt*—y rhai a gadwai efe yn fyddin wastadol hyd yn nod mewn amser o heddwch, fel y byddent yn barod os cynygiai gelynion ymosod ar y wlad; a chyfrifid hon yn swydd anrhydeddus; *a gweision iddo*—yn ei dŷ a'i lys, ac yn dal pob swydd uchel yn y llywodraeth a'r filwriaeth.

Adn. 23. *Pum cant a deg a deugain*] Yn 2 Cron. viii. 10, dywedir mai 250 oeddynt. Y mae yn debyg fod y 550 uchod yn llywodraethu ar gylch, 250 ar y tro; a bod 50 o honynt dros ben i lenwi y bwlch pan fyddai rhai o'r ddau ddosbarth hyn yn methu, gan afiechyd neu ryw achos arall: gwel ar pen. v. 14.

Adn. 24. *A merch Pharao a ddaeth i fyny, &c.*] Yn 2 Cron. viii. 11, nyni a gawn y rheswm paham nad arhosodd hi yn y tŷ lle y trigasai Dafydd, sef am ei fod yn fath ar le santaidd, lle nad oedd yn weddus iddi hi breswylio ynddo, am fod yr arch wedi bod yno.

Adn. 25. *A thair gwaith yn y flwyddyn yr offrymai Solomon*] Sef ar ŵyl y *pasc*, gŵyl y *pentecost*, a gŵyl y *pebyll*: gwel ar Exod. xxiii. 14—16. Diamau ei fod ef yn offrymu yno hefyd ar amserau nodedig ereill, heblaw y tair gwaith hyn.

Adn. 26. *A'r brenin Solomon a wnaeth longau yn Esion-gaber*] Y lle hwn oedd borthladd enwog ar fin y môr coch. Yr oedd y môr coch yn ymledu yn ddwy gainc fforchog, a holl anialwch Sinai yn gorwedd rhwng y ddwy gainc, ac Esion-gaber ar du dwyreiniol y gainc ddwyreiniol; *wrth Eloth*—yr hon oedd borthladd arall ar drwyn y gainc ddwyreiniol, o du y deau i'r môr marw. Y mae yn debyg mai yn nechre ei deyrnasiad y gwnaeth Solomon y llongau hyn, er mai yn awr y crybwyllir am danynt gyntaf.

Adn. 27. *A Hiram a anfonodd ei weision yn y llongau*] I'w hwylio hwynt ar hyd y môr, ac i ddysgu morwriaeth i weision Solomon, y rhai nad oeddynt mor gynefin â'r môr a gwŷr Tyrus.

Adn. 28. *A hwy a ddaethant i Ophir*] Nid oes neb yn awr yn gwybod yn sicr yn mha le yr oedd Ophir. 'Yr oedd yn sefyll yn rhywle tuhwnt i'r *Ganges*, ac yn ffurfio rhan o'r arfordir ag sydd yn ymestyn o *Pegu* i barth deheuol *Malaya*.'—HEWLETT. 'Y mae yn debyg ei bod yn *Sofala*, yn Affrica Ddeheuol, ar gyfer *Madagasgar*.'—HUET. 'Ymddengys ei bod yn *Armenia*, wrth ben yr Euphrates.'—CALMET. 'Yr oedd y lle hwn yn *Taprobana*,' (yr hon a elwir yn awr *Ceylon*.) —BOCHART. Y mae yn y cyfan un-ar-bymtheg o wledydd wedi eu henwi fel y fan lle y safai Ophir; ond y dyb fwyaf gyffredin yw, mai rhyw le yn yr India Ddwyreiniol a olygir: gwel ar pen. x. 11, 22. *Ac a ddygasant oddiyno bedwar cant ac ugain o dalentau aur*—yr hyn oedd yn £2,299,500 o'n harian ni. Yn 2 Cron. viii. 18, dywedir '450 talent o aur,' a gallai ei fod yn 450 cyn ei doddi neu ei buro, ac yn 420 ar ol ei buro, neu ar ol talu am ei gludo. *Ac a'u dygasant at y brenin Solomon*—i'w drysorfa ef yn Jerusalem.

PEN. X. Adn. 1. *A phan glybu brenhines Seba glod Solomon*] Ei wybodaeth o'r gwir Dduw, a'r doethineb rhagorol a roisai Duw iddo ef, a'r hyn oll a wnaethai Solomon er anrhydedd a gogoniant enw Duw. Gan fod ein Harglwydd yn ei galw hi yn *frenhines y deau*, Mat. xii. 42, y mae yn debygol, ebai Clarke, y dylai y lle hwn gael ei ysgrifenu yn *Saba*, *Azab*, neu *Azaba*, pob un o ba rai a arwydda y *deau*. Gesyd rhai Seba yn Arabia, ac ereill yn Ethiopia; ond dywed Josephus mai enw dinas yn Meroe, ynys yn y Nilus, oedd Seba, ac mai oddiyno y daeth y frenhines hon. Y mae yr Abyssiniaid bob amser, cyn ac wedi dyddiau Crist, yn haeru mai o'u gwlad hwy y daeth hi, a bod ei hiliogaeth wedi bod am hir amser yn teyrnasu yno. Tybia rhai ei bod hi o hil Abraham o Cetura, a bod

glwydd, hi a ddaeth i'w brofi ef â
chwestiynau caled.
2 A hi a ddaeth i Jerusalem â llu
mawr iawn, â chamelod yn dwyn
aroglau, ac aur lawer iawn, a meini
gwerthfawr. A hi a ddaeth at Solomon, ac a lefarodd wrtho ef yr
hyn oll oedd yn ei chalon.
3 A Solomon a fynegodd iddi hi
ei holl ofynion: nid oedd *dim* yn
guddiedig rhag y brenin, a'r na fynegodd efe iddi hi.
4 A phan welodd brenhines Seba
holl ddoethineb Solomon, a'r tŷ a
adeiladasai efe,
5 A bwyd ei fwrdd, ac eisteddiad
ei weision, a threfn ei weinidogion,
a'u dillad hwynt, a'i drulliadau ef,
a'i esgynfa ar hyd yr hon yr âi efe
i fyny i dŷ yr Arglwydd; nid oedd
mwyach ysbryd ynddi.
6 A hi a ddywedodd wrth y brenin, Gwir yw y gair a glywais yn fy
ngwlad am dy ymadroddion di, ac
am dy ddoethineb.
7 Eto ni chredais y geiriau, nes i
mi ddyfod, ac i'm llygaid weled: ac
wele, ni fynegasid i mi yr hanner;
mwy yw dy ddoethineb a'th ddaioni
na'r glod a glywais i.

---

ganddi ryw draddodiadau am grefydd Abraham heb eu colli; ac iddi glywed clod Solomon gan y morwyr a droisent i'w phorthladdoedd hi ar eu taith i Ophir: ond gwel yr adfeddyliadau yn niwedd y bennod hon. *Hi a ddaeth i'w brofi ef â chwestiynau caled*—yn debygol mewn materion naturiol, gwladol, a chrefyddol. Gellir meddwl y rhaid ei bod hi yn bur ddoeth ei hun, cyn y gallai roddi cwestiynau caled i ŵr mor fawr a Solomon. Y mae y LXX yn galw y cwestiynau hyn yn *ddychymygion*, a'r Arabaeg yn eu galw yn *ddammegion* a *dychymygion*. Gwel yr adfeddyliadau yn niwedd Barn. xiv.

Adn. 2. *A hi a ddaeth i Jerusalem â llu mawr iawn*] O'i thywysogion a'i gweision, fel gosgorddlu gweinyddawl iddi ar ei thaith; *â chamelod yn dwyn aroglau*—megys thus a myrr, &c.; *ac aur lawer iawn*—crybwyllir am aur Seba yn Salm lxxii. 15; *a meini gwerthfawr*—yn anrhegion i Solomon; *ac a lefarodd wrtho ef yr hyn oll oedd yn ei chalon*—neu yr hyn ag y bwriadai ei lefaru cyn dyfod oddicartref, sef yr holl gwestiynau caled a barotoisai hi i brofi ei wybodaeth a'i ddoethineb ef; yn nghyda phob peth arall a ddygwyddodd ddyfod i'w meddwl wrth ymddyddan âg ef.

Adn. 3. *A Solomon a fynegodd iddi hi ei holl ofynion*] Hyny yw, efe a atebodd ei holl gwestiynau caled er boddlonrwydd iddi: *nid oedd dim*—pa mor ddyrys, tywyll, ac anhawdd bynag, a'r nad eglurodd efe iddi yn y modd mwyaf goleu. Y mae traddodiad yn mhlith yr Iuddewon, ddarfod iddi osod dau flodeuyn ger ei fron ef, yn hollol yr un fath o ran llun, maint, a lliw, ond fod un yn wir flodeuyn naturiol, a'r llall yn rhith flodeuyn o waith celfyddyd. Yna gofynodd i'r brenin ddywedyd pa un oedd y gwir flodeuyn, a pha un oedd y rhith flodeuyn, heb iddo gyffwrdd â hwynt, na dyfod yn agos atynt. Ar hyn parodd Solomon i'r ffenestr gael ei hagor, a daeth gwenynen i mewn, yr hon a ddisgynodd yn y fan ar y gwir flodeuyn, gan sugno mêl o hono, ond nid aeth yn agos at y rhith flodeuyn; wrth yr hyn y mynegodd Solomon pa un oedd y gwir flodeuyn, a pha un oedd y rhith.

Adn. 4. *A phan welodd brenhines Seba holl ddoethineb Solomon*] Y fath amrywiaeth rhyfeddol o wybodaeth â pha un y cynysgaeddwyd ef; *a'r tŷ a adeiladasai efe*—ond odid ei dŷ ei hun, yn yr hwn yr oedd ei fwrdd a'i weision, adn. 5. Y mae yn debyg iddi gael golwg hefyd ar y deml, a holl adeiladau ereill y brenin, lle yr oedd profion lluosog o ddoethineb hynod.

Adn. 5. *A bwyd ei fwrdd*] Yn ei amrywiaeth a'i helaethrwydd, pen. iv. 22, 23; *ac eisteddiad ei weision*—sef ei lyswyr, wrth y bwrdd, yn ol eu gwahanol raddau; *a threfn ei weinidogion*—teuluaidd, neu y deheurwydd â'r hwn yr oeddynt yn gweini i bob un; *a'u dillad hwynt*—sef eu gosgorddwisg, yr hon oedd yn wych a chostfawr iawn: *a'i drulliadau ef*—y rhai a ddygent y gwinoedd a'r diodydd ereill i'r bwrdd mewn llestri aur, adn. 21; *a'i esgynfa*—neu y grisiau hardd a chyfleus a wnaethai efe i fyned o'i dŷ ei hun i deml yr Arglwydd. Ond y mae y LXX, y Vulgate, y Galdeaeg, y Syriaeg, yr Arabaeg, a chyfieithiadau ereill, yn lle *esgynfa*, yn darllen, 'a'i *boeth-offrymau*, y rhai a offrymai efe yn nhŷ yr Arglwydd.' *Nid oedd mwyach ysbryd ynddi*—yr oedd hi wedi ei gorchfygu gan syndod, fel nas gwyddai yn iawn pa un ai golygfa wirioneddol oedd, ynte breuddwyd; ïe, tybia Clarke iddi lewygu gan syndod; a chwanega, ddarfod iddo ef weled yr un effaith ar foneddiges, wrth iddi edrych ar baentwaith ysblenydd. Ond gellir cyfieithu y geiriau, 'Nid oedd mwyach falchder neu uchelfrydedd ynddi;' hyny yw, yr oedd hi wedi ei darostwng dan deimlad nad oedd cyfoeth ei theyrnas ei hun, a'r gwychder yn yr hwn yr oedd hi yn byw, yn haeddu ei gyffelybu i eiddo Solomon.

Adn. 6. *A hi a ddywedodd wrth y brenin*] Wedi iddi ddyfod ychydig ati ei hun o'i syndod perlewygol; *Gwir yw y gair a glywais yn fy ngwlad*—gan y morwyr a aent yno o Ganaan: gwel ar adn. 1.

Adn. 7. *Eto ni chredais y geiriau*] Hi a gredodd i raddau gartref, onidê ni ddaethai i Jerusalem; *ac wele, ni fynegasid i mi yr hanner*—sef hanner yr hyn a welsai ac a glywsai gan Solomon ei hun. Yr oedd hyn yn hynod, am fod pobl yn gyffredin, mewn achosion o'r fath, yn cael pethau yn llai o'r hanner na'u dysgwyliadau. Fel hyn y bydd gyda'r

8 Gwŷn fyd dy wŷr di, gwŷn fyd
dy weision hyn, y rhai sydd yn sefyll
yn wastadol ger dy fron di, yn clyw-
ed dy ddoethineb.
9 Bendigedig fyddo yr Arglwydd
dy Dduw, yr hwn a'th hoffodd di,
i'th roddi ar deyrn-gadair Israel:
o herwydd cariad yr Arglwydd tuag
at Israel yn dragywydd, y gosododd
efe di yn frenin, i wneuthur barn a
chyfiawnder,
10 A hi a roddes i'r brenin chwech
ugain talent o aur, a pheraroglau
lawer iawn, a meini gwerthfawr.
Ni ddaeth y fath beraroglau mwy-
ach, cyn amled a'r rhai a roddodd
brenhines Seba i'r brenin Solomon.
11 A llongau Hiram hefyd, y rhai
a gludent aur o Ophir, a ddygasant
o Ophir lawer iawn o goed almugim,
ac o feini gwerthfawr.
12 A'r brenin a wnaeth o'r coed
almugim annelau i dŷ yr Arglwydd,
ac i dŷ y brenin, a thelynau a psal-
tringau i gantorion. Ni ddaeth y
fath goed almugim, ac ni welwyd
hyd y dydd hwn.
13 A'r brenin Solomon a roddes
i frenhines Seba ei holl ddymuniad,
yr hyn a ofynodd hi, heblaw yr hyn
a roddodd Solomon iddi hi o'i fren-
hinol haelioni. Felly hi a ddych-
welodd ac a aeth i'w gwlad, hi a'i
gweision.
14 ¶ A phwys yr aur a ddeuai i
Solomon bob blwyddyn, oedd chwe
chant a thriugain a chwech o da-
lentau aur;
15 Heblaw yr *hyn a gai efe* gan y
marchnadwyr, ac o farsiandïaeth
y llysieuwyr, a chan holl frenhin-
oedd Arabia, a thywysogion y wlad.
16 ¶ A'r brenin Solomon a wnaeth
ddau gant o darianau aur dilin;

---

saint yn y nef, pan welant Iesu wyneb yn wyneb; dywedant yno na fynegwyd iddynt yr hanner o'i ardderchogrwydd a'i ras gan y rhai a'i pregethent ef ar y ddaear!

Adn. 8. *Gwŷn fyd dy wŷr di*] Neu fel y mae yn y Syriaeg, 'gwŷn fyd dy *fenywod* di;' *gwŷn fyd dy weision hyn*—y rhai, wrth weini iddo yn wastadol, a feddent gyfleusdra bob dydd i glywed ei ymadroddion doethion.

Adn. 9. *Bendigedig fyddo yr Arglwydd*] Am iddo hoffi, anrhydeddu, a dyrchafu y fath ŵr teilwng i fod yn frenin ar Israel. *O herwydd cariad yr Arglwydd tuag at Israel*—yma hi a awgryma nad er mwyn esmwythyd, pleser, neu anrhydedd Solomon ei hun yn unig, y gosododd Duw ef yn y frenhiniaeth, ond i wneuthur barn a chyfiawnder i'w bobl Israel.

Adn. 10. *A hi a roddes i'r brenin chwech ugain talent o aur*] Yn cyfateb i £657,000 o'n harian ni; *a pheraroglau lawer iawn*—gwel ar adn. 2. *Ni ddaeth y fath beraroglau*—hyny yw, y fath *amledd* o honynt ar unwaith, ac yn *rhodd*, canys gallwn feddwl fod y peraroglau a'r meini gwerthfawr yn llawer mwy eu gwerth na'r aur. Ymddengys y dylasai adn. 13 ganlyn hon; ac yna buasai hanes brenhines Seba yn darfod, a hanes cyllid Solomon yn dylyn yn ddidor.

Adn. 11. *A llongau Hiram*] Ond odid yr un rhai a llongau Solomon, pen. ix. 26, 27; canys dywedir yn 2 Cron. ix. 10, fod gweision Solomon ynddynt; *y rhai a gludent aur o Ophir*—gwel ar pen. ix. 28; *a ddygasant o Ophir lawer iawn o goed almugim*—y rhai a elwir, 2 Cron. ix. 10, yn 'goed *algummim*.' Nid yw y berniaid yn cytuno pa bren oedd hwn, ond meddylir yn gyffredin ei fod yn bren caled, hardd, a gwerthfawr iawn, ac, yn ol yr Arabaeg, o amrai liwiau.

Adn. 12. *A'r brenin a wnaeth o'r coed almugim annelau*] Neu *reiliau*, i'r deml a'i dŷ ei hun. Yn 2 Cron. ix. 11, dywedir mai *grisiau* a wnaeth efe o'r coed hyn; a gall mai rheiliau neu ganllawiau i'r grisiau a feddylir yma ac yno. *A thelynau a psaltringau*—y rhai a wnaeth efe o'r un coed, at wasanaeth y cantorion yn y deml.

Adn. 13. *A'r brenin Solomon a roddes i frenhines Seba ei holl ddymuniad*] Y mae yn debyg iddi chwennychu rhai o'r pethau cywrain a welodd hi gan Solomon, ac iddi eu *gofyn* ganddo, y rhai a roddes efe iddi yn ewyllysgar; *heblaw yr hyn a roddodd Solomon iddi o'i frenhinol haelioni*—heb iddi eu gofyn. Tybia rhai iddi chwennychu cael plentyn o frenin doeth Israel; ac y mae yr holl draddodiadau am dani yn dywedyd iddi gael mab o Solomon a elwid *Menilek*, yr hwn a ddygwyd i fyny yn y llys Israelaidd, a ddylynodd ei fam yn mrenhiniaeth Seba, ac a ddysgodd i'w ddeiliaid grefydd yr Iuddewon: gwel yr adfeddyliadau.

Adn. 14. *A phwys yr aur a ddeuai i Solomon bob blwyddyn*] O Ophir, adn. 11, ac o Tarsis, adn. 22. Er fod y fordaith hon yn cymeryd i fyny dair blynedd, eto yr oedd rhai o'r llongau yn dyfod i mewn bob blwyddyn, trwy eu bod yn cychwyn ar wahanol amserau, fel yr oedd yn dyfod i mewn bob blwyddyn, at eu gilydd, *chwe chant a thriugain a chwech o dalentau aur*—yn cyfateb i £3,646,350 o'n harian ni.

Adn. 15. *Heblaw yr hyn a gai efe gan y marchnadwyr*] Fel toll am gael dwyn eu nwyddau i'w gwerthu yn ei wlad ef; *ac o farsiandïaeth y llysieuwyr*—y rhai a ddygent hadau a llysiau peraroglaidd i'w gwerthu yno; *a chan holl frenhinoedd Arabia*—y rhai a ddygent anrhegion iddo, adn. 25, fel y gwnai y tywysogion hefyd.

Adn. 16. *Ddau gant o darianau aur dilin*] Wedi eu curo â morthwylion, ac nid eu toddi; *chwe chan siel o aur a roddodd efe yn mhob*

chwe chan *sicl* o aur a roddodd efe
yn mhob tarian:
17 A thri chant o fwcledi *o* aur
dilin; tair punt o aur a roddes efe
yn mhob bwcled. A'r brenin a'u
rhoddes hwynt yn nhŷ coedwig Li-
banus.
18 ¶ A'r brenin a wnaeth orsedd-
fainc fawr o ifori, ac a'i gwisgodd
hi âg aur o'r goreu.
19 Chwech o risiau *oedd* i'r or-
seddfainc; a phen crwn *oedd* i'r or-
seddfainc o'r tu ol iddi, a chanllaw-
iau o bob tu i'r eisteddle, a dau lew
yn sefyll yn ymyl y canllawiau.
20 A deuddeg o lewod oedd yn
sefyll yno ar y chwe gris o'r ddeutu.
Ni wnaethpwyd y fath yn un deyrnas.
21 ¶ A holl lestri yfed y brenin
Solomon *oedd o* aur; a holl lestri tŷ
coedwig Libanus *oedd* aur pur: nid
*oedd* arian *ynddynt.* Ni roddid dim
bri arno yn nyddiau Solomon.
22 O herwydd llongau Tarsis *oedd*
gan y brenin ar y môr, gyda llongau
Hiram. Unwaith yn y tair blynedd

---

*tarian*—neu werth £1,095 o'n harian ni yn mhob un. Y tarianau hyn oeddynt er mawredd a gwychder, ac i'w dwyn o flaen y brenin ar achlysuron neillduol.

Adn. 17. *A thri chant o fwcledi*] Math ar darianau aur llai na'r rhai uchod; *tair punt o aur*—neu, fel ei mynegir yn 2 Cron. ix. 16, 'tri chan sicl o aur a roddodd efe yn mhob bwcled,' sef hanner yr aur ag oedd yn y tarianau uchod. *A'r brenin a'u rhoddes hwynt yn nhŷ coedwig Libanus*—lle y cadwai efe ei drysorau gwerthfawrocaf, pen. vii. 2.

Adn. 18. *A'r brenin a wnaeth orseddfainc fawr o ifori*] Dant y cawrfil, neu yr *elephant*, yw ifori; a dywed haneswyr fod rhai o'r dannedd hyn yn pwyso 90, 125, ac hyd yn nod 330 pwys. Nid ydym yn darllen am ifori hyd oddeutu amser Solomon, yr hwn ond odid a ddyg gawrfilod o'r India Ddwyreiniol, neu a gyrchai ifori oddiyno; yr hwn, meddai Pliny, oedd yn werthfawrocach nag aur yn yr hen amseroedd. *Ac a'i gwisgodd hi âg aur*—nid i gyd, fel ag i guddio yr ifori, onidê buasai cystal ei gwneuthur hi o goed; ond yma a thraw, mewn addurnwaith cywrain. Trwy fod yr ifori yn wŷn, dichon ei fod yn arwyddo purdeb a chyfiawnder, â'r hwn y llywodraethai ac y barnai Solomon: gwel ar Dat. xx. 11.

Adn. 19. *Chwech o risiau oedd i'r orseddfainc*] O'r llawr i fyny at y droedfainc; canys yr oedd hi wedi ei chodi i'r uchder hyny, fel y gallai pawb weled y brenin, a chlywed ei farn ef. *A phen crwn oedd i'r orseddfainc o'r tu ol iddi*—yn debyg i'r cadeiriau gwellt a geir mewn rhai manau yn Nghymru; *a chanllawiau o bob tu i'r eisteddle*—i'r brenin roddi ei elinoedd arnynt, fel mewn cadair freichiau: *a dau lew yn sefyll yn ymyl y canllawiau*—un ar y ddeau a'r llall ar yr aswy i'r brenin pan eisteddai ar yr orsedd, ac wedi eu gwneuthur o aur ond odid. Yr oedd y llewod hyn nid yn unig yn addurn i'r orsedd, ond hefyd yn arwyddion o fawrhydri, gwroldeb, a phenderfyniad i wneyd cyfiawnder â phawb mewn barn; ac yr oedd hefyd yn arwyddlun o lwyth Juda, o'r hwn yr hànasai Solomon, yr hwn oedd yn gysgod o Grist: gwel ar Dat. v. 5.

Adn. 20. *A deuddeg o lewod oedd yn sefyll yno*] Llew ar bob gris o un tu, a llew ar bob gris o'r tu arall; *ni wnaethpwyd y fath yn un deyrnas*—cyn hyny, o ran llun, defnydd, a gwychder. Ond mewn amseroedd diweddarach gall fod rhai cystal a hithau; canys dywed Athenæus fod gorsedd brenhinoedd Parthia oll o aur, yn cael eu hamgylchu â phedair colofn aur, wedi eu haddurno â meini gwerthfawr; a bod brenhinoedd Persia yn eistedd mewn barn dan winwydden aur, a choedydd ereill o aur, grawnsypiau pa rai a wnaed o amrai fathau o feini gwerthfawr.

Adn. 21. *A holl lestri yfed y brenin Solomon oedd o aur*] Nid yn unig y rhai yr yfid o honynt yn ei lys ef, ond hefyd yn nhŷ coedwig Libanus, pen. vii. 2. *Ni roddid dim bri arno*—sef ar yr arian, i wneyd llestri o hono, gan mor aml oedd yr aur.

Adn. 22. *O herwydd llongau Tarsis oedd gan y brenin ar y môr*] Sef llongau yn myned i Tarsis; *gyda llongau Hiram*—y rhai a aent i Ophir. Dywedir hyn fel rheswm paham yr oedd gan Solomon gymaint o aur, trwy fod ganddo longau ereill yn ei gludo o Tarsis, yn gystal a'r rhai hyny o Ophir. *Unwaith yn y tair blynedd y deuai llongau Tarsis*—am y cymerai gymaint a hyny o amser iddynt fyned a dychwelyd. Cesglir oddiyma mai nid Tarsis yn Cilicia, hen gartref Paul, oedd hon, na'r Tarsis ag oedd yn yr Hispaen, na lle o'r un enw yn Affrica; eithr Tarsis yn mhell yn yr India Ddwyreiniol. Heblaw hyn, ni allent forio y pryd hyny mor gyflym ag yn awr, trwy eu bod yn ymgadw gyda'r lan, yn lle dylyn y cyfeiriad agosaf ar hyd y môr; ac y mae yn debyg fod cryn lawer o'r amser hwn yn cael ei dreulio i gloddio am yr aur a'r arian, i hela y cawrfilod a'r epaod, i adgyweirio y llongau, ac i gyfnewid nwyddau â'r trigolion. *Ifori*—gwel ar adn. 18; *epaod*—neu fwncïod, y fath ag a welir yn fynych mewn ffeiriau: ond i ba ddyben, nis gwyddom; *a pheunod*—aderyn mawr a hardd iawn, yr hwn a werthfawrogid oddeutu eu palasau gan fawrion Judea, fel y gwneir gan ein mawrion ninau. Ond myn Junius ac ereill mai y *parrot* neu yr *estrys* a feddylir, ac nid y *paun.*

Adn. 23. *Mewn cyfoeth a doethineb*] Yr olaf o ba rai a ofynasai efe gan Dduw, yr hwn yn rasol a addawodd chwanegu y blaenaf: gwel ar pen. iii. 9—13.

Adn. 24. *A'r holl fyd*] Neu 'holl frenhinoedd y ddaear,' fel ei mynegir 2 Cron. ix. 23; sef y rhai ag oeddynt yn y gwledydd cymydogaethol, ac a glywsent am dano; *oedd yn*

y deuai llongau Tarsis, yn dwyn
aur, ac arian, ac ifori, ac epaod, a
pheunod.
23 A'r brenin Solomon a ragorodd
ar holl frenhinoedd y ddaear, mewn
cyfoeth a doethineb.
24 ¶ A'r holl fyd oedd yn ceisio
*gweled* wyneb Solomon, i glywed ei
ddoethineb ef, a roddasai Duw yn ei
galon ef.
25 A hwy a ddygasant bob un ei
anrheg, llestri arian, a llestri aur, a
gwisgoedd, ac arfau, a pherarogl-
au, meirch, a mulod, dogn bob
blwyddyn.
26 A Solomon a gasglodd gerbyd-
au, a marchogion: ac yr oedd gan-
ddo fil a phedwar cant o gerbydau,
a deuddeg mil o farchogion; y rhai
a osododd efe ynninasoedd y cerbyd-
au, a chyda'r brenin yn Jerusalem.
27 A'r brenin a wnaeth yr arian
yn Jerusalem fel cerig, a'r cedrwydd
a wnaeth efe fel sycomorwydd yn y
doldir, o amldra.
28 ¶ A meirch a ddygid i Solomon
o'r Aifft, ac edafedd llin: marchnad-
yddion y brenin a gymerent yr ed-
afedd llin dan bris.
29 A cherbyd a ddeuai i fyny ac
a âi allan o'r Aifft am chwe chan
*sicl* o arian, a march am gant a deg
a deugain: ac fel hyn i holl frenhin-
oedd yr Hethiaid, ac i frenhinoedd
Syria, y dygent hwy *feirch* trwy eu
llaw hwynt.

---

*ceisio gweled wyneb Solomon*—neu ddyfod ato i ymddyddan âg ef, fel y daethai brenhines Seba; *i glywed ei ddoethineb ef*—yn enwedig mewn pethau naturiol a gwladol; canys ychydig a wyddai Cenhedloedd y byd am bethau ysbrydol.

Adn. 25. *A hwy a ddygasant bob un ei anrheg*] Er mwyn dangos eu parch iddo, a chael derbyniad ganddo; *llestri arian a llestri aur*—er nad oedd nemawr o fri ar arian, nac ar lestri arian, gan Solomon, adn. 21, eto dygai pob un anrheg o'r pethau gwerthfawrocaf yn ei wlad; ac, fel anrheg, nid oedd Solomon yn gwrthod dim, yr hyn a fuasai yn anfonedd-igaidd ynddo, ac yn ddirmyg ar y rhoddwr. *A gwisgoedd*—o'r math goraf a mwyaf costfawr, canys cadwai brenhinoedd a gwŷr mawrion lawer o'r rhai hyny wrth law; *ac arfau*—neu offer rhyfel; *a pheraroglau*—gwel ar adn. 2, 10; *meirch*—y rhai nad oedd yn gyfreithlon iddo eu hamlhau, Deut. xvii. 16; *a mulod*—gwel ar 2 Sam. xiii. 29; *dogn bob blwyddyn*—fel anrhegion gwirfoddol ond odid, er y gellid meddwl oddiwrth eu bod yn cael eu rhoddi yn flynyddol, mai math o dreth neu deyrnged oeddynt, pen. iv. 21.

Adn. 26. *Ac yr oedd ganddo fil a phedwar cant o gerbydau*] Ond odid cerbydau rhyfel; *a deuddeg mil o wŷr meirch*—gwel ar pen. iv. 26; *y rhai a osododd efe yn ninasoedd y cerbydau*—y rhai oedd ganddo mewn gwahanol barthau o'r wlad, pen. ix. 19; *a chyda'r brenin yn Jerusalem*—fel y byddent wrth law os byddai galw am danynt.

Adn. 27. *A'r brenin a wnaeth yr arian yn Jerusalem fel cerig*] Mor aml, ac mor ddi-fri, o herwydd y cyflawnder mawr a gai efe o hono o Tarsis a manau ereill, adn. 21, 22, 25; *a'r cedrwydd a wnaeth efe fel sycomorwydd*—mor aml a'r sycomorwydd lluosog a dyfent yn y doldiroedd cyfagos. Math ar orwireb yw y geiriau hyn, yn dynodi amledd yr arian a'r cedrwydd.

Adn. 28. *A meirch a ddygid i Solomon o'r Aifft*] Yr hyn oedd yn drosedd pendant o orchymyn Duw, Deut. xvii. 16; *ac edafedd llin*—neu *lian main* wedi ei wneuthur o'r edafedd llin, am yr hwn yr oedd yr Aifft yn enwog. Ond tybia Bochart mai *teyrnged* neu *doll* a feddylir wrth yr 'edafedd llin,' a Houbigant mai *cerbydau*. *A marchnadyddion y brenin a gymerent yr edafedd llin dan bris*—rhoddent swm penodol yn flynyddol am dano, gan sefyll eu hunain yn yr ennill neu y golled.

Adn. 29. *A cherbyd a ddeuai i fyny—o'r Aifft am chwe chan sicl o arian*] Yr hyn, yn ol 2*s*. 6*c*. y sicl, a gyrhaeddai i £75 o'n harian ni; *a march am gant a deg a deugain*—neu £18 15*s*. *Ac fel hyn i holl frenhinoedd yr Hethiaid*—y rhai hyn oeddynt weddillion yr hen genhedloedd a yrwyd allan o Ganaan gan yr Israeliaid, y rhai oeddynt yn awr wedi cynyddu yn drefedigaethau lluosog, ac a lywodraethid gan amrai frenhinoedd. Tybia rhai mai mewn parthau o Arabia y cyfaneddent y pryd hyn. *Ac i frenhinoedd Syria*—canys yr oedd gwlad Canaan yn gorwedd rhwng yr Aifft a Syria; *y dygent hwy feirch trwy eu llaw hwynt*—ni oddefid i neb werthu meirch a cherbydau yr Aifft i'r Hethiaid a'r Syriaid, ond marchnadyddion Solomon, rhag i'r cenhedloedd cymydogaethol gynyddu eu meirchfilwyr a'u cerbydau rhyfel i raddau gormodol.

ADFEDDYLIADAU.—Yn chwanegol at yr hyn a ddywedwyd eisioes am frenhines Seba, ni fydd yn anfoddhaol gan y darllenydd wybod yr hyn a ddywed MR. BRUCE am dani: gwel ei DEITHIAU, cyf. ii. dal. 395. 'Dywed yr Arabiaid mai ei henw oedd *Belkis;* a'r Abyssiniaid, *Maqueda*. Ein Hiachawdwr a'i geilw hi yn *frenhines y deau*, heb son am un enw arall, ond rhoddi ei nawdd i wirionedd y daith. Nid yw yn debygol y dywedasai efe iddi ddyfod o 'eithafoedd y ddaear,' pe buasai hi yn un o'r Arabiaid, a chanddi yn agos i 50 o raddau o gyfandir tu ol iddi.—Y mae yn ansicr pa un ai Iuddewes ai paganes oedd hi. Sabeaeth oedd crefydd y dwyrain oll, yr hon oedd yn faen tramgwydd parhaus i'r Iuddewon: ond wrth ystyried y fath nifer o'r bobl hyny a fasnachent yno o Jerusalem, a'r fath

## PENNOD XI.

OND y brenin Solomon a garodd
lawer o wragedd dyeithr (heblaw
merch Pharao) Moabeesau, Ammon-
eesau, Edomeesau, Sidoneesau, a
Hetheesau;
2 O'r cenhedloedd *am* y rhai y dy-

amser maith y bu hyny yn parhau, nid yw yn annhebygol mai Iuddewes oedd hi. Y mae ein Harglwydd yn son am dani gyda chanmoliaeth, gan ei nodi allan fel siampl i'r Iuddewon. Ac yn ei diolchgarwch hithau o flaen Solomon, hi a gyfeiria at gariad Duw tuag at had Israel yn dragywydd, adn. 9; yr hyn nid yw mewn un modd yn iaith paganes. eithr un hyddysg yn hen hanesiaeth y genedl hon. Ymddengys hefyd ei bod yn fenyw o ddysg, a'r math hwnw o ddysgeidiaeth ag oedd y pryd hyny bron yn neillduol i Palestina, nid i Ethiopia; canys ni a wyddom mai un achos o'i dyfodiad oedd i chwilio pa un a ydoedd Solomon y fath ddyn dysgedig ag y dywedid ei fod.—Y mae hanesion yr Abyssiniaid, y rhai sydd yn dra llawn ar y pen hwn, yn cymeryd tyb ganol, gan ddywedyd mai paganes oedd hi pan yn myned o Seba; ond, gan ryfeddu yn fawr wrth weithredoedd Solomon, iddi gael ei throi at Iuddewiaeth yn Jerusalem, ac ymddwyn mab iddo, yr hwn a alwodd efe *Menilek*, a'r hwn oedd eu brenin cyntaf hwy.—Y mae yr Abyssiniaid, yn Iuddewon a Christionogion, yn credu fod y bummed Salm a deugain yn broffwydoliaeth am ddyfodiad y frenhines i Jerusalem; fod merch Hiram yn myned gyda hi o Tyrus i Jerusalem; a bod y rhan ddiweddaf o honi yn cyfeirio at enedigaeth mab iddi o Solomon, yr hwn a fyddai yn frenin ar ran o'r Cenhedloedd. Wedi hyny hi a ddychwelodd i Seba gyda'i mab *Menilek;* yr hwn, ar ol ei gadw am rai blynyddau, a anfonodd hi yn ol at ei dad i gael addysg. Nid esgeulusodd Solomon ei waith; ac efe a eneiniwyd ac a goronwyd yn frenin Ethiopia yn y deml yn Jerusalem, pryd y cafodd efe yr enw DAFYDD I. Wedi hyny efe a ddychwelodd i Seba, ac a ddyg gydag ef drefedigaeth o Iuddewon, yn mhlith pa rai yr oedd amrai o ddoctoriaid cyfraith Moses, yn enwedig un o bob llwyth, i wneuthur barnwyr o honynt yn ei deyrnas; o ba rai y dywedir ac y credir fod yr *umbares*, neu y goruchel farnwyr presenol, (tri o ba rai sydd yn wastadol gyda'r brenin,) wedi disgyn. Gyda'r rhai hyn hefyd daeth Azarias, mab Sadoc yr offeiriad, gan ddwyn gydag ef adysgrif Hebreig o'r gyfraith, yr hon a roddwyd yn ei gadwraeth ef, gan ei fod yn dal y teitl o *nebret*, neu archoffeiriad; ac y mae y gofal hwn, er fod y llyfr ei hun wedi ei losgi gydag eglwys Axum yn rhyfel Adel, yn cael ei barhau, fel y dywedir, yn llinach Azarias, y rhai sydd *nebrets*, neu geidwaid eglwys Axum, y dydd heddyw. Cafodd holl Abyssinia ar hyny ei dychwelyd, a llywodraeth yr eglwys a'r wladwriaeth ei chynllunio yn ol yr hyn ag ydoedd mewn arferiad yn Jerusalem.—Yn ol gweithred ddiweddaf teyrnasiad brenhines Seba, hi a benderfynodd ddull yr olyniaeth yn ei gwlad rhagllaw. *Yn gyntaf*, hi a ordeiniodd fod i'r goron fod yn etifeddiaethol yn nheulu Solomon am byth. *Yn ail*, nad oedd i un fenyw, ar ei hol hi, allu gwisgo y goron hòno, neu fod yn frenhines; ond fod iddi ddisgyn i'r etifedd gwryw, pa mor bell bynag, yn lle i'r etifeddesau benywaidd, pa mor agos bynag; a bod i'r ddau erthygl hyn gael eu hystyried fel cyfreithiau sylfaenol y deyrnas, heb byth gael eu newid na'u diddymu. Ac, *yn olaf*, fod i etifeddion gwryw y tŷ brenhinol gael eu hanfon yn wastadol yn garcharorion i fynydd uchel, lle yr oeddynt i barhau hyd eu marwolaeth, neu hyd nes yr agorai yr olyniaeth iddynt.—Wedi gwneuthur y cyfreithiau hyn yn anniddymadwy gan ei holl hiliogaeth, bu brenhines Seba farw, ar ol hir deyrnasiad o 40 mlynedd, yn y flwyddyn 986 cyn Crist, gan osod ei mab *Menilek* ar yr orsedd, hiliogaeth pa un, fel y dysgai brudiaethau Abyssinia i ni gredu, a fuont byth wedi hyny yn teyrnasu. Cyn belled a hyn, yn wir, rhaid i ni ddwyn tystiolaeth iddynt, nad yw hon yn athrawiaeth newydd, ond ei bod wedi cael ei dal ganddynt yn ddiysgog a chyson o'u hamser boreaf; yn gyntaf, pan yn Iuddewon, ac wedi hyny mewn dyddiau diweddarach, ar ol iddynt gofleidio Cristionogaeth. Gallwn chwanegu yn mhellach, fod tystiolaeth yr holl genhedloedd cymydogaethol gyda hwy ar y pen hwn, pa un bynag ai cyfeillion ynte gelynion. Nid ydynt yn gwahaniaethu ond yn enw y frenhines, neu trwy roddi iddi ddau enw.—Gan hyny, yn awr, rhoddaf gofrestr o'u brenhinoedd, o linach Solomon, wedi disgyn oddiwrth frenhines Seba, hyd enedigaeth Crist; arwyddlun pa rai yw *llew*, a'u harwyddair, 'Y llew o hiliogaeth Solomon, ac o lwyth Juda, a orchfygodd.'

| | Hyd y teyrnasiad. | | Hyd y teyrnasiad. |
|---|---|---|---|
| Menilek | 4 | Katzina | 9 |
| Hendedya | 1 | Wazeha | 1 |
| Awida | 11 | Hazer | 2 |
| Ausyi | 3 | Kalas | 6 |
| Sawe | 31 | Solaya | 16 |
| Gesaya | 15 | Falaya | 26 |
| Katar | 15 | Aglebu | 3 |
| Mouta | 20 | Asisena | 1 |
| Bahas | 9 | Brus | 29 |
| Kawida | 2 | Mohesa | 1 |
| Kanaza | 10 | Bazen | 16 |

Y mae MR. BRUCE yn gyfiawn yn beio y daflen hon fel yn *ddiffygiol;* canys rhaid fod amrai frenhinoedd wedi cael eu colli o'r gofrestr hon. Y mae yn debyg mai dyfais ddiweddar ydyw, trwy i'r taflenau achawl gael eu colli neu eu dystrywio; ac nid rhyfedd, pan yr ystyriom y rhyfeloedd ysglyfaethus lluosog yn y rhai y bu pobl Abyssinia yn fynych yn rhwym.

PEN. XI. Adn. 1. *Ond y brenin Solomon a garodd lawer o wragedd dyeithr*] Paganaidd, eilunaddolgar, ac anllad; carodd hwynt â chariad anniwair ac annghyfreithlon; *heblaw merch Pharao*—yr hon hefyd oedd yn wraig ddyeithr ac eilunaddolgar, ar y cyntaf o leiaf, er y tybir yn gyffredin iddi wedi hyny gael ei phroselytio i'r grefydd Iuddewig.

Adn. 2. *O'r cenhedloedd am y rhai y dy-*

wedasai yr Arglwydd wrth feibion
Israel, Nac ewch i mewn atynt hwy,
ac na ddeuant hwythau i mewn at-
och chwi: diau y tröant eich ca-
lonau chwi ar ol eu duwiau hwynt.
Wrthynt hwy y glynodd Solomon
mewn cariad.
3 Ac yr oedd ganddo ef saith gant
o wragedd, yn frenhinesau; a thri
chant o ordderchwragedd: a'i wr-
agedd a droisant ei galon ef.
4 A phan heneiddiodd Solomon,
ei wragedd a droisant ei galon ef ar
ol duwiau dyeithr: ac nid oedd ei
galon ef berffaith gyda'r Arglwydd
ei Dduw, fel *y buasai* calon Dafydd
ei dad ef.
5 Canys Solomon a aeth ar ol As-
toreth duwies y Sidoniaid, ac ar ol
Milcom ffieidd-dra yr Ammoniaid.
6 A Solomon a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd; ac
ni chyflawnodd *fyned* ar ol yr Ar-
glwydd, fel Dafydd ei dad.
7 Yna Solomon a adeiladodd uch-
elfa i Cemos, ffieidd-dra Moab, yn y
bryn *sydd* ar gyfer Jerusalem; ac i
Moloch, ffieidd-dra meibion Ammon.

---

*wedasai yr Arglwydd, &c.*] Felly yr oedd Solomon yn euog o ddau bechod yn erbyn y gyfraith; un, wrth briodi lluaws o wragedd; a'r llall, wrth briodi gwragedd dyeithr, y rhai fyth a ymlynent wrth eu heilunaddoliaeth, yr hyn oedd yn hollol groes i'r gyfraith, Exod. xxxiv. 16, Deut. vii. 3, 4. *Wrthynt hwy y glynodd Solomon mewn cariad*—hyny yw, yr oedd ef yn *hoff iawn* o honynt. Yr oedd ganddo lawer o wybodaeth; ond i ba ddyben, pan na wyddai pa fodd i lywodraethu ei chwantau?

Adn. 3. *Ac yr oedd ganddo ef saith gant o wragedd yn frenhinesau*] Yn wragedd priodol iddo, fel yr oedd Sarah i Abraham; *a thri chant o ordderchwragedd*—fel yr oedd Agar a Cetura i Abraham. Y rhai olaf hyn oeddynt wragedd o'r ail radd, y rhai a gymerid yn ol arferion yr amseroedd hyny. Yr oedd gan Solomon ddwy wraig eisioes, sef merch Pharao, a mam Rehoboam, pen. iii. 1, a xiv. 21; ond yr oedd yn rhaid iddo ef gael *mil* yn ychwaneg! A oedd yn bosibl i'r fath ddyn fod yn meddu y gradd lleiaf o dduwioldeb, pan yr oedd wedi ymserchu yn annghyfreithlon fel hyn mewn cynifer o wragedd? Prin y caniatawn ni fod dyn yn ofni Duw, os bydd ganddo *ddwy* wraig; ond beth a ddywedwn ni am ddyn â chanddo *fil* o wragedd! Y mae yn debyg mai er mwyn rhagori ar holl frenhinoedd a thywysogion y ddaear mewn rhwysg a mawredd, yn un peth, y cymerodd Solomon yr holl wragedd hyn; ond ni wna hyny ei gyfiawnhau ef am droseddu gorchymyn pendant Duw. Myn rhai ei esgusodi ef trwy ddywedyd, 'Yr oedd yn arferiad yn y dwyrain i dywysogion luosogi gwragedd; ac y mae yn debyg na welodd Solomon erioed mo honynt oll.' Ond a oedd rhai o honynt nad *allasai* efe eu gweled a'u mwynhau? Ac oni ddywedir ei fod ef yn glynu wrthynt mewn *cariad?* Ac oni roddes ef y prawf mwyaf o'i *ymlyniad* wrthynt, nid yn unig trwy *oddef* eu haddoliad ffiaidd hwy yn y wlad, ond hefyd trwy adeiladu temlau i'w heilunod aflan, a chilio oddiwrth Arglwydd Dduw Israel er eu mwyn? Yr oedd Dafydd hefyd wedi lluosogi iddo ei hun wragedd, er nad mor helaeth a hyn; ac y mae yn debyg ddarfod i'w siampl ddrwg ef beri i Solomon feddwl fod hyny, os nad yn gyfreithlon, eto yn llai drwg nag a ydoedd mewn gwirionedd. Fel hyn gall un weithred ddrwg o eiddo dyn da, wneuthur mwy o niwed nag ugain o eiddo dyn drwg.

Adn. 4. *A phan heneiddiodd Solomon*] Meddylir fod Solomon yn awr wedi bod yn y frenhiniaeth am oddeutu 30 mlynedd, a'i fod oddeutu 18 mlwydd oed pan ddechreuodd deyrnasu; felly yr oedd efe y pryd hyn oddeutu 48 neu 50 mlwydd oed. Crybwyllir hyn i ddangos y dylasai efe fod wedi marweiddio yn fwy yn awr at chwantau halogedig, ac y gallesid dysgwyl y buasai i'w brofiad a'i wybodaeth beri iddo fod yn ddoethach. *Ei wragedd a droisant ei galon ef*—oddiwrth Arglwydd Dduw Israel, adn. 9; *ar ol duwiau dyeithr*—i roddi o leiaf ran o'r addoliad hwnw iddynt hwy, yr hwn a berthynai i JEHOFA. *Ac nid oedd ei galon ef berffaith gyda'r Arglwydd ei Dduw*—casgla rhai oddiwrth hyn nad oedd efe wedi cilio yn hollol oddiwrth wasanaeth yr Arglwydd, eithr ddarfod iddo gysylltu addoliad duwiau ereill gyda'i addoliad ef; *fel y buasai calon Dafydd ei dad*—yr hwn, er iddo syrthio i bechodau ysgeler, ni syrthiodd erioed i eilunaddoliaeth fel y gwnaeth Solomon ei fab, ond bu ei galon ef yn berffaith rydd oddiwrth hyny ar hyd ei oes.

Adn. 5. *Canys Solomon a aeth ar ol Astoreth duwies y Sidoniaid*] Trwy ddylanwad hudoliaethus y Sidoneesau, y rhai a briodasai efe, adn. 1. Yr oedd defodau aflan ac anllad yn cael eu cyflawni yn addoliad *Astoreth*, fel yn addoliad *Venus* yn mhlith y Groegiaid: gwel ar Barn. ii. 13. *Ac ar ol Milcom*—yr un a Moloch, adn. 7: gwel ar Lef. xviii. 21. *Ffieidd-dra yr Ammoniaid*—gelwir Milcom felly, nid am ei fod yn ffiaidd gan yr Ammoniaid, ond am ei fod yn ffiaidd gan Dduw.

Adn. 6. *A Solomon a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] Ymddengys iddo fyned mor bell mewn drygioni ag oedd ddichonadwy iddo; canys nid oes dim sydd waeth yn ngolwg yr Arglwydd nag eilunaddoliaeth, 1 Sam. xv. 23.

Adn. 7. *Yna Solomon a adeiladodd uchelfa i Cemos*] Neu *allor* ar uchelfa, yn ol arferiad y Cenhedloedd; *yn y bryn sydd ar gyfer Jerusalem*—ac felly ar gyfer y deml a adeiladasai efe i addoliad JEHOFA! Y bryn hwn oedd mynydd yr Olewwŷdd, yr hwn a elwir o herwydd hyn yn 'fynydd y llygredigaeth,' 2 Bren. xxiii. 13. *Ac i Moloch*—yr

8 Ac felly y gwnaeth efe i'w holl
wragedd dyeithr, y rhai a arogl-
darthasant ac a aberthasant i'w
duwiau.
9 ¶ A'r Arglwydd a ddigiodd
wrth Solomon, o herwydd troi ei
galon ef oddiwrth Arglwydd Dduw
Israel, yr hwn a ymddangosasai
iddo ef ddwywaith,
10 Ac a orchymynasai iddo am y
peth hyn, nad elai efe ar ol duwiau
dyeithr: ond ni chadwodd efe yr
hyn a orchymynasai yr Arglwydd.
11 Am hyny y dywedodd yr Ar-
glwydd wrth Solomon, O herwydd
bod hyn ynot ti, ac na chedwaist fy
nghyfammod a'm deddfau a orchy-
mynais i ti: gan rwygo y rhwygaf
y frenhiniaeth oddiwrthyt ti, ac a'i
rhoddaf hi i'th was di.
12 Eto yn dy ddyddiau di ni wnaf
hyn, er mwyn Dafydd dy dad: o
law dy fab di y rhwygaf hi.
13 Ond ni rwygaf yr holl frenhin-
iaeth; un llwyth a roddaf i'th fab
di, er mwyn Dafydd fy ngwas, ac er
mwyn Jerusalem yr hon a etholais.
14 ¶ A'r Arglwydd a gyfododd
wrthwynebwr i Solomon, Hadad yr
Edomiad. O had y brenin yn Edom
*yr oedd* efe.
15 Canys pan oedd Dafydd yn
Edom, *a* Joab tywysog y filwriaeth
yn myned i fyny i gladdu y lladded-
igion, wedi iddo daro pob gwryw
yn Edom;

---

un a *Milcom*, adn. 5. Gwnaeth Solomon yr allorau hyn i foddhau y Moabeesau a'r Ammoneesau, y rhai a briodasai efe, adn. 1.

Adn. 8. *Ac felly y gwnaeth efe i'w holl wragedd dyeithr*] Canys wedi iddo ddechreu ymollwng i rai o'i wragedd hyn, yr oedd yn rhaid iddo ymollwng iddynt oll, i'r dyben i'w cadw yn foddlon heb eiddigeddu wrth eu gilydd; *y rhai a arogldarthasant ac a aberthasant i'w duwiau*—ac felly yr oedd efe yn gorfod cadw llawer o offeiriaid o bob gwlad i weini wrth y gwahanol allorau hyn, yr hyn oedd yn gostus iawn iddo.

Adn. 9. *A'r Arglwydd a ddigiodd wrth Solomon*] Y mae pechod yn *bechod*, pwy bynag a'i cyflawno; ac y mae Duw mor ddigllon wrth bechod yn Solomon, ag y gall ef fod wrth bechod yn yr adyn mwyaf anfad a diras; ïe, yn fwy felly, trwy fod *amgylchiadau* yn mwyhau ei euogrwydd ef. Yr oedd Solomon yn haeddu cosp drymach am addoli Astoreth na neb o'r Sidoniaid, er iddynt hwythau wneuthur yr un weithred. Nid oedd y Sidoniaid erioed wedi adnabod y gwir Dduw; ond yr oedd Duw wedi *ymddangos iddo ef ddwy waith*—unwaith yn Gibeon, pen. iii. 5; ac eilwaith yn Jerusalem, ar ol ei weddi ef ar gysegriad y deml, pen. ix. 2.

Adn. 10. *Ac a orchymynasai iddo am y peth hyn*] Ac yr oedd hyn hefyd yn mwyhau pechod Solomon, iddo fyned ar ol duwiau dyeithr ar ol cael gorchymyn pendant i beidio gan Dduw ei hun yn bersonol, gyda bygythiad o gosp ofnadwy os torai efe y gorchymyn hwnw, pen. ix. 4—7.

Adn. 11. *Am hyny y dywedodd yr Arglwydd wrth Solomon*] Ond odid trwy ryw broffwyd a anfonodd efe ato; *gan rwygo y rhwygaf y frenhiniaeth oddiwrthyt ti*—ei rhwygo yn ddau ddarn, un o ba rai a gymerid oddiwrth ei hiliogaeth ef, adn. 12, 13; *ac a'i rhoddaf hi i'th was di*—sef Jeroboam mab Nebat, yr hwn oedd nid yn unig yn ddeiliad i Solomon, ond yn was hefyd, adn. 26, 28.

Adn. 12. *Eto yn dy ddyddiau di ni wnaf hyn*] Hyny yw, ni oddefaf iddo gael ei wneuthur; *er mwyn Dafydd dy dad*—sef er mwyn addewid Duw i Dafydd, 2 Sam. vii. 12, 13: *o law dy fab di y rhwygaf hi*—sef o law Rehoboam, fel y gwelwn iddo wneyd yn y bennod nesaf.

Adn. 13. *Ond ni rwygaf yr holl frenhiniaeth*] Eithr deg llwyth yn unig; *un llwyth a roddaf i'th fab di*—sef llwyth Benjamin, yn chwanegol at ei lwyth ei hun, sef llwyth Juda. Neu gall ei fod yn cyfeirio at un llwyth *cyfan*, sef Juda; tra yr oedd *rhan* o Benjamin yn ymlynu wrth Jeroboam. Neu yr oedd y ddau lwyth hyn mor gysylltedig â'u gilydd yn eu hetifeddiaeth, fel nad enwir hwy yma ond megys *un* llwyth. *Er mwyn Dafydd fy ngwas*—rhaid i linell y MESSIA gael ei chadw yn llwyth Juda, ac mewn llinell frenhinol, nes y deuai y *gwir* DDAFYDD. *Ac er mwyn Jerusalem*—fel yr oedd *Dafydd* yn gysgod o'r *Messia*, felly yr oedd *Jerusalem* yn gysgod o'r *wir eglwys:* gan hyny yr oedd yn rhaid cadw yr *hen* Jerusalem yn nwylaw llwyth Juda, nes y byddai i'r *gwir Ddafydd* sefydlu y Jerusalem *newydd* yn yr un wlad, ac yn yr un ddinas. A'r fath rifres o ragluniaethau a fu yn ofynol i wneyd hyn oll!

Adn. 14. *A'r Arglwydd a gyfododd wrthwynebwr i Solomon*] Er na rwygai Duw y frenhiniaeth oddiwrtho yn ei ddyddiau ef, eto efe a'i ceryddai ef â 'dyrnodiau meibion dynion,' fel y bygythiodd wneyd os troseddai efe, 2 Sam. vii. 14; hyny yw, goddefodd Duw i'r naill godi ar ol y llall i'w wrthwynebu a'i flino ef yn ei henaint. *Hadad yr Edomiad*—tywysog ieuanc o deulu brenhinol Edom, yr hwn a ffôdd i'r Aifft pan orchfygodd Dafydd y wlad hòno; ac wedi iddo gael ffafr gyda'r brenin, efe a ymsefydlodd yno, fel y gwelir isod.

Adn. 15. *Canys pan oedd Dafydd yn Edom*] Gwel ar 2 Sam. viii. 14; *a Joab tywysog y filwriaeth yn myned i fyny i gladdu y lladdedigion*—sef lladdedigion yr Edomiaid, yn gystal a'r Israeliaid, yr hyn a ystyrid yn fater o ddynoliaeth bob amser. Ond yn lle *claddu* y lladdedigion, y mae y Targum yn ei ddarllen, i '*yspeilio* y lladdedigion.' *Wedi iddo daro pob gwryw yn Edom*—yn y rhan

16 Canys chwe mis yr arhosodd
Joab yno â holl Israel, nes dyfetha
pob gwryw yn Edom.
17 Yr Hadad hwnw a ffôdd, a
gwŷr Edom a gweision ei dad gydag
ef, i fyned i'r Aifft; a Hadad yn
fachgen bychan eto.
18 A hwy a gyfodasant o Midian,
ac a ddaethant i Paran: ac a gy-
merasant wŷr gyda hwynt o Paran,
ac a ddaethant i'r Aifft, at Pharao
brenin yr Aifft; ac efe a roddes
iddo ef dŷ, ac a ddywedodd *amroddi*
bwyd iddo, ac a roddodd dir iddo.
19 A Hadad a gafodd ffafr fawr
yn ngolwg Pharao, ac efe a roddes
iddo ef yn wraig chwaer ei wraig ei
hun, chwaer Tahpenes y frenhines.
20 A chwaer Tahpenes a ymddyg
iddo ef Genubath ei fab: a Thah-
penes a'i diddyfnodd ef yn nhŷ
Pharao: a Genubath fu yn nhŷ
Pharao yn mysg meibion Pharao.
21 A phan glybu Hadad yn yr
Aifft, huno o Dafydd gyda'i dadau.
a marw o Joab tywysog y filwriaeth,
Hadad a ddywedodd wrth Pharao,
Gollwng fi, fel yr elwyf i'm gwlad
fy hun.
22 A dywedodd Pharao wrtho ef,
Ond pa beth sydd arnat ei eisiau
gyda mi, pan wyt, wele, yn ceisio
myned i'th wlad dy hun? Ac efe a
ddywedodd, Dim; eithr gan ollwng
gollwng fi.
23 ¶ A Duw a gyfododd wrthwyn-
ebwr *arall* yn ei erbyn ef, Rezon
mab Elïada, yr hwn a ffoisai oddi-
wrth Hadadezer brenin Soba ei ar-
glwydd:
24 Ac efe a gynullodd wŷr ato,
ac a aeth yn dywysog ar fyddin,

---

hòno o'r wlad, neu y rhai arfog o honynt, oddieithr Hadad, a gweision ei dad, y rhai a ffoisent i'r Aifft, adn. 17; canys ni a gawn yr Edomiaid yn genedl gref ar ol hyn.

Adn. 16. *Canys chwe mis yr arhosodd Joab yno*] Rhwng yr amser ag y bu yn rhyfela, yn claddu y lladdedigion, ac yn gosod penaethiaid ar y wlad i'w llywodraethu, 2 Sam. viii. 14.

Adn. 17. *A Hadad yn fachgen bychan eto*] Ac felly yn analluog i wneuthur nemawr heblaw ffoi. Rhaid fod Hadad yn bur ieuanc y pryd hyny, neu yn bur hen yn awr, trwy fod oddeutu 60 mlynedd rhwng yr amser ag y ffôdd efe i'r Aifft, a'r amser ag y cododd i wrthwynebu Solomon.

Adn. 18. *A hwy a gyfodasant o Midian*] Hwy yn gyntaf a aethant i Midian, ac a arosasant yno beth amser, ond odid fel y gallent anfon oddiyno i gael gwybod a noddai Pharao hwynt; *ac a ddaethant i Paran*—gwlad arall ar y ffordd o Edom i'r Aifft, lle y cyflogodd efe osgorddlu, naill ai fel arweinyddion, neu ynte i wneyd ymddanghosiad tywysogaidd gerbron Pharao, fel y cai efe well derbyniad a pharch ganddo ef a'i bobl; *ac a ddaethant i'r Aifft*—lle y mynegasant eu hamgylchiadau i Pharao, a phwy oedd y bachgen Hadad, sef un o had brenhinol Edom, yr hwn oedd yn gorfod ffoi am ei einioes rhag milwyr Israel. *Ac efe a roddes iddo ef dŷ*—iddo ef a'i weision breswylio ynddo, a bwyd hefyd am yr amser hwnw; *ac a roddodd dir iddo*—fel y gallent ei lafurio, a chodi bwyd iddynt eu hunain am yr amser dyfodol.

Adn. 19. *A Hadad a gafodd ffafr fawr yn ngolwg Pharao*] Ar gyfrif ei uchelradd brenhinol, ei brydferthwch personol, a'i hyfoesedd pendefigol; *ac efe a roddes iddo ef yn wraig chwaer ei wraig ei hun*—ac fel hyn efe a gysylltodd Hadad âg ef ei hun yn un teulu; a diamau fod Duw yn trefnu y cwbl yn ei ragluniaeth ddoeth, fel y byddai ef yn ffrewyll i gospi Solomon o herwydd ei annuwioldeb.

Adn. 20, *A Thahpenes a'i diddyfnodd ef yn nhŷ Pharao*] Yn amser priodol diddyfnu, cymerodd ei fodryb, y frenhines, y plentyn i lys Pharao, a diddyfnodd ef yno, gan fel yr oedd yn ei hoffi; a bu yno yn mysg ei gefndyr, meibion Pharao, fel pe buasai yn un o honynt.

Adn. 21. *A phan glybu Hadad yn yr Aifft huno o Dafydd*] Canys nid hir y bu y newydd am farwolaeth brenin mor glodfawr a Dafydd heb gyraedd i'r holl wledydd cymydogaethol; *a marw o Joab*—yr hwn yr oedd ei enw yn ddychryn fyth i Hadad o herwydd y difrod a wnaethai efe yn Edom, adn. 15, 16. *Gollwng fi, fel yr elwyf i'm gwlad fy hun*—i Edom, gyda bwriad ond odid i'w hadennill hi, trwy fod Dafydd a Joab yn awr wedi marw.

Adn. 22. *Ond pa beth sydd arnat ei eisiau gyda mi*] Hyny yw, pa beth yr wyt yn *ddiffygiol* o hono gyda mi, mewn ffordd o anrhydedd neu garedigrwydd, pan yr wyt am fyned oddiyma i dy wlad dy hun? *Ac efe a ddywedodd, Dim*—addefai nad oedd arno eisiau dim lle yr oedd, ond ei fod yn cael pob peth a ddymunai; ond er hyny ewyllysiai yn fawr gael myned i Edom, a chrefai yn daer am gael ei ollwng yno; ac ymddengys i Pharao o'r diwedd ei ollwng ef. Tybia rhai na fynegodd efe ei amcan i Pharao, o herwydd y berthynas a'r heddwch ag oedd yn awr rhwng Pharao a Solomon, pen. iii. 1. Tybia ereill iddo fynegu, ac i Pharao gael Edom iddo ef gan Solomon, ar yr ammod o dalu teyrnged flynyddol i Solomon; ac iddo gadw yr ammod hòno hyd oni syrthiodd Solomon i eilunaddoliaeth, pryd y dechreuodd Hadad wrthryfela yn ei erbyn ef, a gwneyd llawer o 'ddrwg' iddo, adn. 25.

Adn. 23. *A Duw a gyfododd wrthwynebwr arall yn ei erbyn ef, Rezon*] Ac felly efe a gyflawnai ei fygythiad trwy Nathan, 'Os trosedda efe, mi a'i ceryddaf â gwialen ddynol, ac â dyrnodiau meibion dynion,' 2 Sam. vii. 14; *yr hwn a ffoisai oddiwrth Hadad-*

pan laddodd Dafydd hwynt *o Sobah;*
a hwy a aethant i Damascus, ac a
drigasant ynddi, ac a deyrnasasant
yn Damascus.
25 Ac yr oedd efe yn wrthwyneb-
wr i Israel holl ddyddiau Solomon,
heblaw y drwg *a wnaeth* Hadad:
ac efe a ffieiddiodd Israel, ac a
deyrnasodd ar Syria.
26 ¶ A Jeroboam mab Nebat,
Ephratëad o Seredah (ac enw ei fam
ef *oedd* Serfah, *yr hon oedd* wraig
weddw) gwas i Solomon, a ddyrch-
afodd hefyd *ei* law yn erbyn y
brenin.
27 Ac o achos hyn y dyrchafodd
efe *ei* law yn erbyn y brenin: Solo-
mon a adeiladodd Milo, *ac* a gauodd
adwyau dinas Dafydd ei dad.
28 A'r gŵr Jeroboam *oedd* rymus
o nerth: a Solomon a ganfu y llanc
hwnw yn *medru* gwneuthur gwaith,
ac a'i gwnaeth ef yn oruchwyliwr
ar holl faich tŷ Joseph.
29 A'r pryd hwnw, a Jeroboam
yn myned allan o Jerusalem, y pro-
ffwyd Ahiah y Siloniad a'i cafodd
ef ar y ffordd, ac efe oedd wedi ei
wisgo mewn gwisg newydd, a hwynt
ill dau *oeddynt* yn unig yn y maes.
30 Ac Ahiah a ymaflodd yn y wisg
newydd *oedd* am dano ef, ac a'i
rhwygodd *yn* ddeuddeg o ddarnau.
31 Ac efe a ddywedodd wrth Je-
roboam, Cymer i ti ddeg darn:
canys fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Duw Israel, Wele fi yn rhwygo y
frenhiniaeth o law Solomon, a
rhoddaf ddeg llwyth i ti:
32 (Ond un llwyth fydd iddo ef,
er mwyn fy ngwas Dafydd, ac er
mwyn Jerusalem, y ddinas a ethol-
ais i o holl lwythau Israel)
33 Oblegid iddynt fy ngwrthod i,

---

*ezer*—pan orchfygodd Dafydd ef, 2 Sam. x. 16—18.

Adn. 24. *Ac efe a gynullodd wŷr ato*] Sef rhai o filwyr ffoedig Hadadezer ond odid, ar y rhai yr aeth efe yn dywysog; *a hwy a aethant i Damascus*—lle a gymerodd Rezon tra yr oedd Solomon yn ymdroi mewn trythyllwch; ac yno y bu efe yn teyrnasu, ac yn blino Solomon, fel y gwnai Hadad yn Edom.

Adn. 25. *Ac yr oedd efe yn wrthwynebwr i Israel holl ddyddiau Solomon*] O'r amser y syrthiodd efe i eilunaddoliaeth hyd ei farwolaeth: *heblaw y drwg a wnaeth Hadad*—tra yr oedd Hadad yn blino Solomon yn y deau, yr oedd Rezon yn ei flino ef yn dost yn y gogledd-ddwyrain. *Ac efe a ffieiddiodd Israel*—o herwydd iddynt hwy ddifrodi y Syriaid gynt, 2 Sam. x. 16, &c.; *ac a deyrnasodd ar Syria*—yr oedd Rezon yn eangu ei derfynau, er ei fod yn byw yn Damascus, adn. 24.

Adn. 26. *A Jeroboam mab Nebat*] Gŵr ieuanc o lwyth Ephraim, yr hwn a ddefnyddid gan Solomon i arolygu y diwygiadau a'r adeiladau yn *Milo;* ac efe a'i hynododd ei hun trwy ei ddiwydrwydd a'i ymddygiad da yn y fath fodd fel ag i dueddu Solomon i'w osod ef yn oruchwyliwr ar yr holl weithwyr o lwythau Ephraim a Manasse, y rhai a elwir yn *dŷ Joseph*, adn. 28. Ymddengys nad oedd Solomon ar y cyntaf yn defnyddio neb o'r Israeliaid mewn unrhyw *galedwaith;* ond bob yn ychydig efe a aeth yn fwy gormesol a dideimlad; ac wrth adeiladu Milo, efe a newidiodd ei drefn; ac yno, fel yr ymddengys, yr hauwyd hadau anfoddlonrwydd a gwrthryfelgarwch. *Ac enw ei fam ef oedd Serfah, yr hon oedd wraig weddw*—ac a gynelid ond odid ar draul Jeroboam; *gwas i Solomon*—fel arolygwr adeiladaeth Milo; *a ddyrchafodd hefyd ei law yn erbyn y brenin*—trwy gynhyrfu y bobl yn ddirgelaidd i wrthryfel, o herwydd eu beichio ond odid â threthi at yr adeiladau hyn, ac o herwydd rhoi pobl *Israel* i weithio yn y fath galedwaith.

Adn. 27. *Ac o achos hyn y dyrchafodd efe ei law*] Sef o achos y dyrchafiad a gafodd efe gan Solomon, a'r darostyngiad a wnaed âg Israel, fel y nodwyd uchod.

Adn. 28. *A'r gŵr Jeroboam oedd rymus o nerth*] O nerth corfforol, gwroldeb meddwl, a dylanwad ar ei gyd-ddynion; *yn medru gwneuthur gwaith*—yn ddeallus a diwyd yn y cyflawniad o hono; *ac a'i gwnaeth ef yn oruchwyliwr ar holl faich tŷ Joseph*—sef ar lwythau Ephraim a Manasse o hiliogaeth Joseph. Ei waith ef oedd naill ai codi y trethi o arian a roisid arnynt hwy at yr adeiladau uchod, neu arolygu y gwŷr a anfonent hwy i weithio yn y gwaith, neu ynte bob un o'r ddau.

Adn. 29. *A Jeroboam yn myned allan o Jerusalem*] Naill ai ar ryw neges berthynol i'w swydd, neu ynte i rodiana ar ol gorphen ei waith; *y proffwyd Ahiah*—sef un o ysgrifenwyr hanes teyrnasiad Solomon, 2 Cron. ix. 29; a meddylir mai trwyddo ef y llefarasai Duw o'r blaen wrth Solomon, ac yn enwedig y genadwri a grybwyllir yn y bennod hon, adn. 11—13: gwel ar pen. vi. 11. *Ac efe oedd wedi ei wisgo â gwisg newydd*—tybia rhai mai Jeroboam oedd mewn gwisg newydd; ond tybia ereill mai Ahiah, am y buasai yn sarhad iddo rwygo gwisg Jeroboam.

Adn. 30. *Ac a'i rhwygodd yn ddeuddeg o ddarnau*] Yn arwyddocaol o'r deuddeg llwyth.

Adn. 31. *Cymer i ti ddeg darn*] I arwyddo y cai efe ddeg llwyth i deyrnasu arnynt.

Adn. 32. *Ond un llwyth fydd iddo ef*] I Solomon: gwel ar adn. 13.

Adn. 33. *Oblegid iddynt fy ngwrthod i*] Sef Solomon ei hun, a llawer o bobl Israel gydag ef; *ac ymgrymu i Astoreth*—gwel ar adn. 5, 7.

Adn. 34, 35. *Ond ni chymeraf yr holl*

ac ymgrymu i Astoreth duwies y
Sidoniaid, *ac* i Cemos duw y Moab-
iaid, ac i Milcom duw meibion Am-
mon, ac na rodiasant yn fy ffyrdd i,
i wneuthur *yr hyn oedd* uniawn yn
fy ngolwg i, *ac i wneuthur* fy neddf-
au a'm barnedigaethau, fel Dafydd
ei dad.
34 Ond ni chymeraf yr holl fren-
hiniaeth o'i law ef: eithr gwnaf ef
yn dywysog holl ddyddiau ei eini-
oes, er mwyn Dafydd fy ngwas, yr
hwn a ddewisais i, yr hwn a gadw-
odd fy ngorchymynion a'm deddf-
au i:
35 Eithr cymeraf yr holl frenhin-
iaeth o law ei fab ef, a rhoddaf *o*
honi i ti ddeg llwyth.
36 Ac i'w fab ef y rhoddaf un
llwyth; fel y byddo goleuni i'm
gwas Dafydd yn wastadol ger fy
mron yn Jerusalem, y ddinas a
ddewisais i mi i osod fy enw
yno.
37 A thi a gymeraf fi, fel y teyrn-
asech yn ol yr hyn oll a ddymuno
dy galon; a thi a fyddi frenin ar
Israel.
38 Ac os gwrandewi di ar yr hyn
oll a orchymynwyf i ti, a rhodio yn
fy ffyrdd i, a gwneuthur *yr hyn sydd*
uniawn yn fy ngolwg i, i gadw fy
neddfau a'm gorchymynion, fel y
gwnaeth Dafydd fy ngwas; yna mi
a fyddaf gyda thi, ac a adeiladaf i ti
dŷ sicr, fel yr adeiledais i Dafydd,
a mi a roddaf Israel i ti.
39 A mi a gystuddiaf had Dafydd
oblegid hyn; eto nid yn dragywydd.
40 Am hyny Solomon a geisiodd
ladd Jeroboam. A Jeroboam a gy-
fododd, ac a ffôdd i'r Aifft, at Sisac
brenin yr Aifft; ac efe a fu yn yr
Aifft hyd farwolaeth Solomon.
41 ¶ A'r rhan arall o weithred-
oedd Solomon, a'r hyn oll a wnaeth
efe, a'i ddoethineb ef, onid *ydynt* hwy
yn ysgrifenedig yn llyfr gweithred-
oedd Solomon?
42 A'r dyddiau y teyrnasodd
Solomon yn Jerusalem, ar holl Is-
rael, *oedd* ddeugain mlynedd.

---

*frenhiniaeth*] Na dim o honi tra y byddai Solomon byw: gwel ar adn. 12, 13.

Adn. 36. *Fel y byddo goleuni i'm gwas Dafydd yn wastadol*] Fel y byddo i'w *hiliogaeth* ef barhau, a'r llinell frenhinol beidio diffoddi hyd oni ddelo y Messia: gwel yr un gyffelybiaeth, pen. xv. 4, a 2 Sam. xiv. 7.

Adn. 37. *A thi a gymeraf fi*] O'th sefyllfa isel bresenol, i'th osod ar orsedd Israel; *fel y teyrnasech yn ol yr hyn oll a ddymuno dy galon*—ymddengys oddiyma fod Jeroboam wedi trachwantu y frenhiniaeth, a'i fod yn chwilio am gyfle i ymaflyd yn y llywodraeth. Y mae Duw yn awr yn dywedyd wrtho, trwy Ahiah, beth a *gai* efe, a pheth *ni chai*, i'r dyben i attal iddo ymaflyd yn yr *holl* frenhiniaeth, er niwed i had ysbrydol Dafydd.

Adn. 38. *Ac os gwrandewi di ar yr hyn oll a orchymynwyf i ti*] Canys yr oedd ei lwyddiant a'i barhad yntau a'i had ar yr orsedd yn ammodol, megys eiddo Solomon, pen. vi. 12, a ix. 4—9; *yna mi a fyddaf gyda thi*—i'th amddiffyn a'th lwyddo yn mhob dim; *ac a adeiladaf i ti dŷ sicr*—ond nid un *bythol*, fel yr addawyd i Dafydd, 2 Sam. vii. 16.

Adn. 39. *A mi a gystuddiaf had Dafydd*] Trwy rwygo y rhan fwyaf o'r frenhiniaeth oddiwrthynt; *oblegid hyn*—oblegid y pechodau a grybwyllwyd adn. 33; *eto nid yn dragywydd*—daw amser pryd na bydd i had Dafydd gael eu blino gan frenhiniaeth Israel, eithr blodeuant drachefn mewn awdurdod a llwyddiant mawr; yr hyn a gyflawnwyd mewn rhan yn amser Hezecia a Josia, brenhinoedd Juda, y rhai a deyrnasasant yn ogoneddus ar ol i deulu Jeroboam gael eu diwreiddio. A diamau fod yma gyfeiriad neillduol at ddyfodiad y Messia o had Dafydd, yr hwn a osodai i fyny frenhiniaeth ysbrydol, nid yn unig ar Juda ac Israel yn nghyd, ond hefyd ar y Cenhedloedd, nes darostwng yr holl fyd dan ei baner.

Adn. 40. *Am hyny Solomon a geisiodd ladd Jeroboam*] I attal y cyflawniad o addewid Duw iddo. Pa fodd y gwybu y brenin am y peth, nid yw hysbys: fe allai iddo ddyfod allan trwy Ahiah ei hun, yr hwn ni phetrusai gyhoeddi yr hyn a draddodasai efe yn enw yr Arglwydd. Neu dichon i Jeroboam ei hun, wedi ymchwyddo wrth feddwl ei fod i esgyn i'r orsedd, fynegu y peth i rai o'i gyfeillion, y rhai a'i taenasant ar led. *A Jeroboam a gyfododd, ac a ffôdd i'r Aifft*—yr hon oedd noddfa gyffredin i ffoaduriaid yn y dyddiau hyny, fel y dysgwn oddiwrth waith Hadad yn ffoi yno o'r blaen, adn. 17; *at Sisac brenin yr Aifft*—dyma y tro cyntaf i ni gael *enw priodol* brenin Aifftaidd, trwy mai *Pharao* oedd enw cyffredin holl frenhinoedd y wlad hòno. Y mae yn debyg fod hwn yn dad i wraig Solomon, neu yn frawd iddi; a chan feddwl ei fod wedi digio wrth Solomon am gymeryd y fath nifer o wragedd heblaw ei ferch neu ei chwaer ef, gobeithiai Jeroboam gael ei ddiogelu ganddo yno. *Ac efe a fu yn yr Aifft hyd farwolaeth Solomon*—yr hyn a ddygwyddodd yn mhen llai na deng mlynedd, adn. 4, 42; neu yn mhen pedair blynedd, fel y tybia rhai.

Adn. 41. *Llyfr gweithredoedd Solomon*] Ysgrifenwyd y gweithredoedd hyn gan Nathan, Ahiah, ac Ido, 2 Cron. ix. 29; a chymerodd yr hanesydd santaidd gynifer o honynt ag a farnai efe, dan ddylanwad dwyfol ysbrydoliaeth, yn fwyaf priodol i'w gosod yn y gyfrol santaidd.

43 A Solomon a hunodd gyda'i dadau, ac a gladdwyd yn ninas Dafydd ei dad; a Rehoboam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

---

Adn. 42. *Ddeugain mlynedd*] Felly yr oedd ei deyrnasiad ef cyhyd a theyrnasiad Dafydd ei dad, er nad oedd ei oes ef cyhyd, trwy i'w bechod fyrhau ei ddyddiau. Tybir fod Solomon tua 18 mlwydd oed pan ddechreuodd deyrnasu, a'i fod tua 58 pan yn marw; yr hyn oedd oes faith pan yr ystyriom mor foethus a thrythyll y bu efe byw.

Adn. 43. *A Solomon a hunodd gyda'i dadau*] Defnyddir yr ymadrodd hwn yn ddiwahaniaeth am y da a'r drwg; ac arwydda yn unig iddynt *farw*, fel y gwnaeth eu tadau; *ac a gladdwyd yn ninas Dafydd*—lle y claddesid Dafydd, pen. ii. 10; *a Rehoboam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn oedd yn awr yn 41 mlwydd oed, ac a anesid flwyddyn cyn i'w dad esgyn i'r orsedd, pen. xiv. 21.

ADFEDDYLIADAU.—Y mae gan Dr. A. CLARKE, yn niwedd ei sylwadau ar y bennod hon, fraslun dysgedig o nodweddiad Solomon, at yr hwn y dymunwn gyfeirio y darllenydd. Wedi iddo draethu ar yr ochr *oleu* iddo,—ei dduwioldeb boreol, eangder ei fasnach, ei fedrusrwydd fel llywodraethwr, ysgrifenydd, bardd, athronydd, &c.,—efe a â rhagddo i edrych ar yr ochr *dywell* iddo. Meddai efe, 'Hyd yn hyn buom yn edrych yn unig ar yr ochr oleu i nodweddiad Solomon: rhaid i ni bellach gymeryd golwg lai boddhaol ar y dyn hynod hwn; un ag yr oedd ynddo bob peth mawr, gogoneddus, doeth, a santaidd, a phob peth bychan, gwael, ynfyd, ac annuwiol, yn goruwchreoli bob yn ail. Efe a ymadawodd â Duw ei drugareddau mewn amrywiaeth mawr o ffyrdd.

'1. Beth bynag a feddylir am y weithred mewn golygiad gwladyddol, y mae yn dra sicr iddo fyned allan o ffordd rhagluniaeth Duw, ac ymddwyn yn groes i'w gyfraith ef, wrth *ymgyfathrachu â merch Pharao.* Y mae yr ysgrifenwyr santaidd yn cyfeirio yn fynych at hyn; ac nid yw byth yn cael ei grybwyll gyda *chymeradwyaeth:* cysylltir ef yn hytrach âg amgylchiadau ag sydd yn ei osod mewn golygiad beius. Yr oedd hi yn ddiamau yn *eilunaddolwraig;* ac y mae y pwnc o'i *phroselytiaeth* yn mhell oddiwrth fod wedi ei benderfynu yn foddhaol. Yr wyf fi yn credu mai hi oedd yr offeryn cyntaf i dynu ymaith ei galon ef oddiwrth y gwir Dduw.

'2. Ei *adeiladau costfawr*, yn peri iddo gyrchu at gyfundrefn o drethiad gorthrymus, oedd wall arall yn ei gymeriad ef. Er iddo gyda sel fawr a diwydrwydd anrhydeddus, ac ar draul ddirfawr adeiladu teml i'r Arglwydd, yr hon a orphenodd efe mewn saith mlynedd, eto nid oedd y draul yma ond ychydig mewn cydmhariaeth i'r un yr aed dani gyda'i *dŷ ei hun*, yr hwn a elwid *tŷ coedwig Libanus*, lle y gwariodd efe symau anngrhedadwy, ac y treuliodd yn agos i dair blynedd ar ddeg, bron gymaint arall o amser ag a ddefnyddiwyd i adeiladu y deml yn Jerusalem. Ni chawsai hyn effaith ddrwg pe buasai efe heb fod dan orfod i osod trethoedd trymion ar ei ddeiliaid, yr hyn a barodd anfoddlonrwydd cyffredinol bron. Chwaneger at hyn, fod ganddo deulu tra chostfawr: byddai i *fil* o fenywod, rhai yn wragedd a rhai yn ordderchadon, ofyn cyfoeth dirfawr i gynal eu rhwysg a boddio eu rhysedd. Yr oedd y bobl gan hyny yn achwyn yn gyfiawn ar sefydliad ag y rhaid ei fod, er maint y cyfoeth a ddygid i'r wlad, yn atgas a gorthrymus.

'3. Efe a ddechreuodd ei deyrnasiad trwy weithred *ddrwgargoelus*, sef rhoddi Adoniah ei frawd i farwolaeth. Yr oedd hyn yn bechod yn erbyn Duw a natur, ac nis gall un ddyfais o eiddo dyn byth olchi ymaith ei euogrwydd. Os oedd callineb gwladyddol yn ei ofyn, yr hyn sydd yn dra amheus, beth oedd gan hyny i'w wneuthur â theimladau dynoliaeth, a chariad at Dduw? Ni chyfiawnheir Solomon yn hyn ar un cyfrif pa bynag.

'4 Ei *gariad annghymedrol at wragedd.* Diamau iddo ffurfio cyfathrachau priodasol â phob teyrnas a thalaeth gymydogaethol, trwy gymeryd eu *chwiorydd* a'u *merched* yn wragedd iddo, i'r nifer ofnadwy o ddim llai na *saith gant!* Gall gwladwriaethwyr ymdrechu cyfiawnhau y gweithredoedd hyn, trwy haeru eu bod yn y gwledydd dwyreiniol, yn faterion o gallineb mawr, yn hytrach nag yn brawf o oruchafiaeth nwydau afreolaidd a phenrydd. Safed hyn am a dalo; ond beth a all y fath amddiffynwyr ei ddywedyd am y *tri chant chwanegol o ordderchwragedd*, am gymeryd pa rai nis gellir dadlu y fath angenrheidrwydd? Ond hyd yn nod a chaniatau y gallai callineb gwladyddol fod yn gofyn y fath gyfathrachau lluosog, beth a ddywedwn ni am y troseddiadau gwarthus o gyfraith dra phendant Duw? Efe a ddywedasai yn y modd mwyaf difrifol ac awdurdodol na chai ei bobl ef roddi eu merched i'r cenhedloedd, na chymeryd merched y cenhedloedd yn wragedd iddynt hwythau, rhag iddynt droi eu calonau hwy oddiwrth wasanaethu yr Arglwydd. Yn ngwyneb y datganiad mwyaf pendant hwn, cymerodd Solomon wragedd o'r cenhedloedd amgylchynol mwyaf eilunaddolgar, y rhai a lwyddasant, yn ol yr hyn a ragfynegwyd, i droi ei galon ef ymaith oddiwrth Dduw!

'5. Efe a ddaeth yn *eilunaddolwr.* Efe a addolodd 'Astoreth, duwies y Sidoniaid; Milcom, ffieidd-dra yr Ammoniaid; Cemos, ffieidd-dra y Moabiaid; a Moloch, ffieidd-dra meibion Ammon.' Efe a wnaeth fwy: adeiladodd deml i bob un o'r rhai hyn, ac i holl dduwiau ei 'holl wragedd dyeithr, y rhai a arogldarthasant ac a aberthasant i'w duwiau,' adn. 5—8.

'6. Gallwn feddwl fod *goleuni Duw* erbyn hyn wedi llwyr gilio o'i feddwl ef. Efe yr hwn a adwaenai y gwir Dduw mor dda, nid oedd mwyach yn ei wasanaethu ef; neu, os ydoedd, yr oedd hyny mewn cysylltiad â'r eilunod hyny, gan ddwyn y Goruchaf felly yn gydwastad â chythreuliaid, neu ddyfeisiadau calonau aflan a dychymygion ofer. Ni ddylem ryfeddu wrth yr hanes am Samson gryf yn bradychu dirgelwch ei einioes ar liniau Dalila; neu am Hercules anorchfygol yn chwareu â'r cogail yn mysg morwynion Omphale, bren-

PENNOD XII.

YNA Rehoboam a aeth i Sichem; canys i Sichem y daethai holl Israel i'w urddo ef yn frenin.

2 A phan glybu Jeroboam mab Nebat, ac efe eto yn yr Aifft (canys efe a ffoisai o ŵydd Solomon y brenin, a Jeroboam a arosasai yn yr Aifft)

hines Lydia; pan yr ydym yn gweled mab Dafydd, yr hwn unwaith oedd anwylyd yr Arglwydd, a'r doethaf o ddynion, o gariad at ei *fil* gwragedd ac ordderchadon, yn adeiladu temlau i gythreuliaid, ac yn arogldarthu i'r rhai nad oeddynt dduwiau, heb ystyried nad yw eilun ddim yn y byd! I ba fath gyflwr annarluniadwy o ddallineb ac ynfydrwydd y rhaid fod y dyn hwn wedi cael ei ddwyn, cyn y gallai wneuthur y fath weithredoedd a'r rhai hyn! O Luciffer, mab y wawr ddydd, pa fodd y syrthiaist!

'7. Awgrymais eisioes mai *trethiad gorthrymus* Solomon a osododd sylfaen i'r anfoddlonrwydd hwnw, pa un, yn fuan ar ol ei farwolaeth ef, a barodd ysgariad rhwng Israel a Juda, ac hefyd y rhyfeloedd meithion a dinystriol hyny, y rhai a drochasant y teyrnasoedd hyn mewn gwaed: a hyn yn ddiamau oedd yr achos i ddeg rhan o ddeuddeg o'r Iuddewon fyned yn eilunaddolwyr; pa droseddd a gospwyd, yn ol cyfiawn farnau Duw, trwy y caethiwed Babilonaidd, yr hwn a barhaodd ddeng mlynedd a thriugain; a thrwy gaethgludiad deg llwyth Israel gan yr Assyriaid, y rhai sydd wedi eu colli oddiar *fap* y byd, ac na chyfrifir mwyach yn mhlith meibion dynion!

'8. Yr hyn sydd yn gwaethygu yr oll o'r hanes dra erchyll hon yw, ddarfod iddo ef barhau yn y gwrthgiliad rhyfedd hwn oddiwrth Dduw, gwirionedd, rheswm, a synwyr cyffredin, hyd ei *henaint;* neu wedi iddo *heneiddio*, gan feddwl yn ddiamau ei ddyddiau diweddaf, ddarfod i'w wragedd droi ei galon ef oddiwrth Dduw, adn. 4. Ond rhaid fod ei eilunaddoliaeth ef wedi dechreu er's llawer o flynyddoedd: efe a ymyrodd âg ef yn ei gysylltiad â thywysoges yr Aifft; yr oedd pob un o'i wragedd eilunaddolgar yn olynol yn chwanegu y tueddfryd; ac i'w gospi ef am yr eilunaddoliaeth hwn, cynhyrfodd yr Arglwydd wrthwynebwyr iddo, *Hadad* yr Edomiad, a *Rezon* fab Elïadah, yr hwn oedd yn 'wrthwynebwr i Israel holl ddyddiau Solomon,' adn. 14—25; yr hyn yn ddiau a awgryma nad pechod ei *henaint* yn unig oedd yr eilunaddoliaeth hwn, trwy fod Rezon, i'w gospi ef am dano, yn wrthwynebwr i Israel ei holl ddyddiau ef. A chan i Solomon deyrnasu am ddeugain mlynedd, gallwn dybio yn dêg i'r rhan benaf o'r amser hwnw gael ei threulio mewn ymarferion eilunaddolgar.

'9. Y mae i'r hanes erchyll hon *ddiweddiad* erchyllach fyth; canys yn yr un lle ag y mynegir i ni am ei *wrthgiliad*, mynegir i ni hefyd am ei *farwolaeth*, heb yr awgrymiad lleiaf iddo erioed edifarhau a throi at Dduw. Gwir fod yr hyn sydd ddiffygiol mewn *ffaith* yn cael ei wneyd i fyny mewn *dychymyg;* canys credir yn gryf 'iddo ef edifarhau, ac ysgrifenu *Llyfr y Pregethwr* ar ol ei dröedigaeth, yr hyn sydd yn brawf penderfynol o'i edifeirwch.' Y mae yn ddrwg genyf nas gallaf fi gadarnhau y dyb hon, i'r hon nid wyf yn cael cysgod prawf. 1. Er fod Llyfr y Pregethwr yn llefaru llawer am *wagedd* y *creaduriaid*, eto ni lefara nemawr neu ddim am *wagedd* neu *bechod eilunaddoliaeth*. 2. Nid yw yn *iaith* dyn ag ydoedd yn ymadferyd o gyflwr o'r gwrthgiliad mwyaf arswydus. A oes rhyw *gyfaddefiad* uniongyrchiol o *bechod* ynddo? A oes rhywbeth ynddo yn debyg i *gyfaddefiadau edifeiriol* ei dad, neu yn debyg i *alarnadau* Jeremia? A glywir mewn rhyw fan ynddo *ochenaid calon ddrylliedig*, neu lefain cryf a dagrau yn erbyn barn ac i erfyn am drugaredd Duw ag oedd wedi ei ddwys ddigio? A ydyw efe mewn rhyw fan yn arddangos iaith yr *edifeiriol*, neu ymadroddion cyfaddas i gyflwr ac amgylchiadau y tybiedig-edifeiriol frenin Israel hwn? Er rhagoroled ydyw yn ei ryw, a ydyw ef rywbeth yn fwy na chasgliad gwerthfawr o foesddysg brofiadol, gyda golwg ar *wagedd y creadur*, ac ynfydrwydd erlyniadau daearol a gofalon bydol? 3. Ac nid yw chwaith yn ddiamheuol mai Solomon a ysgrifenodd y llyfr hwn: y mae yn sicr ei fod mewn amrai fanau yn dwyn profion o amserau diweddarach nag eiddo Solomon. Canfyddodd ysgolheigion enwog waethygiad yn yr *arddull* ragor yr Hebraeg uwchraddol bur, gyda chymysgedd o eiriau dyeithr na fodolent yn yr iaith Hebreig yn flaenorol i'r caethiwed Babilonaidd. Ond a thybio eu bod hwy yn camgymeryd yma, yr wyf fi fyth yn haeru nad yw yn iaith enaid edifeiriol. 4. Tybiwyd, gan fod Solomon yn *gysgod* o Grist, nad yw yn debygol ei fod ef wedi ei gyfrgolli yn dragwyddol. I hyn yr wyf yn ateb, (1) Nad wyf fi yn gwybod fod Solomon yn *gysgod* o Grist. Nid yw y cyfeiriad at Can. iii. 7, a viii. 11, 12, yn un prawf yn y byd o hyny i mi. (2) Ac hyd yn nod pe buasai, ni fyddai hyny yn un prawf o'i *edifeirwch* ef, pan y mae yr ysgrythyrau yn ddystaw ar y pwnc. Yr oedd y *sarff bres* yn gysgod o Grist, Ioan iii. 14, ac yn cael ei dal mewn bri mawr am hir amser yn mhlith yr Iuddewon; ond pan y daeth yn *gymhelliad* i *eilunaddoliaeth*, galwyd hi *Nehustan*, 'oferedd pres,' tynwyd hi i lawr, a maluriwyd hi, 2 Bren. xviii. 4. Gall dynion cysgodol a phethau cysgodol gyfrgolli yn gystal ag ereill; y gwrthgysgod yn unig a bery yn ddiffael. 5. Yn olaf, ymddengys fod pob prawf iddo *farw yn ei bechodau*. Yr oedd ei droseddau wedi mwyhau yn ddirfawr: efe a adawodd yr Arglwydd, yr hwn a ymddangosasai iddo ddwywaith; ei wragedd a droisant ei galon ef yn ei henaint: ac nid oes un dystiolaeth yn yr Hen Destament na'r Newydd yn awgrymu iddo farw mewn cyflwr diogel. Y mae y bygythiad arswydus hwnw o eiddo dwyfol gyfiawnder yn sefyll yn dalgryf ar ffordd pob tyb wrthwynebol: 'Os gwrthodi yr Arglwydd, efe a'th fwrw di ymaith yn dragywydd,' 1 Cron. xxviii. 9. Darfu iddo wrthod yr Arglwydd, a'i wrthod ef yn ei

3 Hwy a anfonasant, ac a alwasant arno ef. A Jeroboam a holl gynulleidfa Israel a ddaethant, ac a ymddyddanasant â Rehoboam, gan ddywedyd,
4 Dy dad di a wnaeth ein hiau ni yn drom: ac yn awr ysgafnha *beth* o gaethiwed caled dy dad, ac o'i iau drom ef a roddodd efe arnom ni, a ni a'th wasanaethwn di.
5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch eto dridiau; yna dychwelwch ataf fi. A'r bobl a aethant ymaith.
6 ¶ A'r brenin Rehoboam a ymgynghorodd â'r henuriaid a fuasai yn sefyll ger bron Solomon ei dad ef, tra yr ydoedd efe yn fyw, ac a ddywedodd, Pa fodd yr ydych chwi yn cynghori ateb i'r bobl hyn?
7 A hwy a lefarasant wrtho ef, gan ddywedyd, Os byddi di heddyw was i'r bobl hyn, a'u gwasanaethu hwynt, a'u hateb hwynt, a llefaru wrthynt eiriau têg; yna y byddant weision i ti byth.
8 Ond efe a wrthododd gynghor yr henuriaid, yr hwn a gynghorasent iddo ef; ac efe a ymgynghorodd

---

ddyddiau *diweddaf;* ac nid oes un prawf iddo erioed ymlynu wrtho drachefn. Dywed Abul Farage, ysgrifenydd Arabaidd yn y trydydd canrif ar ddeg, i Solomon *farw yn anedifeiriol.*'

PEN. XII. Adn. 1. *Yna Rehoboam a aeth i Sichem*] I'r dyben i gael ei urddo yn frenin yn lle Solomon ei dad. Er fod gan Solomon 1002 o wragedd yn y cyfan, eto ymddengys na chafodd efe ddim ond tri o blant o honynt oll; y ddwy ferch a grybwyllwyd pen. iv. 11, 15, a'r Rehoboam hwn, yr hwn oedd ŵr ffol a diegwyddor. Ped ymgadwasai Solomon o fewn terfynau cymedrol yn ei gysylltiadau priodasol, y mae yn debyg y cawsai efe fwy o blant, a rhai o honynt ond odid yn meddu digon o synwyr cyffredin i lywodraethu yn ol rheswm a chrefydd. *Canys i Sichem y daethai holl Israel*—dinas yn llwyth Ephraim, oddeutu 30 milldir o du y gogledd i Jerusalem. Nid dewisiad Rehoboam oedd myned yno, ond gorfod ydoedd, trwy fod holl Israel wedi dewis Sichem, a myned yno, gan gymeryd arnynt fyned i'w urddo ef yn frenin; ond eu hamcan gwirioneddol hwy oedd cael achos yn ei erbyn ef, a gosod Jeroboam yn frenin, yn nghanol ei lwyth poblog a grymus ei hun, pen. xi. 26. Y mae yn debyg y gwyddent hwy am yr hyn a ddywedasai yr Arglwydd wrtho ef trwy Ahiah, pen. xi. 31, &c.; a thybient fod yn fwy diberygl trin yr achos hwn yn Sichem nag yn Jerusalem.

Adn. 2. *A phan glybu Jeroboam*] Am farwolaeth Solomon, ac am fwriad holl Israel i ymgynull yn Sichem; *ac efe eto yn yr Aifft*—i ba le y ffoisai efe rhag i Solomon ei ladd, pen. xi. 40; *a Jeroboam a arosasai*—neu, fel y mae y Lladin yn ei ddarllen, 'a *ddychwelasai* o'r Aifft.'

Adn. 3. *Hwy a anfonasant, ac a alwasant arno ef*] O'r Aifft, neu o'r fan lle yr ydoedd ar ol dychwelyd o'r Aifft. *A Jeroboam a holl gynulleidfa Israel a ddaethant*—i ymddyddan â Rehoboam yn Sichem.

Adn. 4. *Dy dad di a wnaeth ein hiau ni yn drom*] Trwy osod trethi trymion arnynt i gynal mawredd ei lys brenhinol, ei adeiladau gorwych, ei feirch a'i gerbydau lluosog, ei wragedd aml, yn nghydag eilunaddoliaeth yn chwanegol at grefydd y gwir Dduw. *Ysgafnha beth o gaethiwed caled dy dad*—ymddengys eu bod yn cwyno yma o herwydd dau beth, sef llafur caled a threth drom. Nid oedd Solomon ar y cyntaf yn defnyddio neb o'r Israeliaid mewn caledwaith, pen. ix. 22; ond ar ol iddo ef gilio oddiwrth y Duw tosturiol, ymddengys iddo wneuthur rhai o honynt yn *gaethweision,* ac felly adfywio caethiwed yr Aifft: gwel ar pen. xi. 28. *A ni a'th wasanaethwn di*—fel dy ddeiliaid ufydd a gostyngedig. Gallwn feddwl mai Jeroboam oedd yn llefaru yma dros ei frodyr.

Adn. 5. *Ewch eto dridiau*] Gofynai Rehoboam am dridiau i ystyried eu cŵyn, ac i ymgynghori â henuriaid ei dad o berthynas i ysgafnhau y trethi. Gellid meddwl ar ryw ystyr mai doethineb yn Rehoboam oedd yr oediad hwn, ond nid felly y profodd; canys yr oedd ef trwy hyny yn dangos i'r bobl nad oedd efe o hono ei hun yn ewyllysgar i gydsynio â'u cais hwynt, ac yn rhoddi amser iddynt hwythau i drefnu eu mesurau o wrthryfel yn ei erbyn ef. *A'r bobl a aethant ymaith*—i'w gwahanol letŷau yn Sichem, neu i'w cyfarfodydd eu hunain yn y ddinas.

Adn. 6. *A'r brenin Rehoboam a ymgynghorodd â'r henuriaid*] Saes. 'â'r *hen wŷr.*' Yr oedd hyn yn ddoeth iawn ynddo ef, pe gwnaethai yn ol eu cynghor hwynt; canys yr oeddynt hwy yn wŷr oedranus, ac wedi bod yn gynghorwyr i Solomon, a chael y fantais o'i ddoethineb ef, ac yn wŷr o brofiad mewn achosion gwladol.

Adn. 7. *Os byddi di heddyw was i'r bobl hyn*] Trwy ganiatau eu dymuniad, ac ymostwng iddynt am dro, hyd nes y byddot wedi ymsefydlu yn well ar yr orsedd; *a llefaru wrthynt eiriau têg*—y rhai sydd cyn hawsed i'w llefaru a geiriau sarug a chwerwon: *yna y byddant weision i ti byth*—ennilli hwynt i fod yn ddeiliaid ufydd a ffyddlon i ti tra y byddi byw, er eu bod yn awr yn ymddangos mewn gradd o wrthryfel i'th erbyn.

Adn. 8. *Ond efe a wrthododd gynghor yr henuriaid*] Gan nad oedd yn gydnaws â'i ysbryd balch ef, yr hwn ni allai feddwl am fod yn was i'w ddeiliaid ei hun, fel pe buasai arno eu hofn hwynt, neu fel pe ceisiasai ryw ffafr oddiar eu llaw hwynt; *ac efe a ymgynghorodd â'r gwŷr ieuainc*—felly y gelwir hwy mewn cydmhariaeth i'r 'hen wŷr,' adn. 6; er eu bod, fel rhai wedi cynyddu neu gyd-dyfu â Rehoboam, uwchlaw 40 mlwydd oed y pryd hyn, pen. xiv. 21; *yn sefyll ger ei fron ef*—

â'r gwŷr ieuainc a gynyddasai gydag ef, *a*'r rhai oedd yn sefyll ger ei fron ef.
9 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Beth yr ydych chwi yn ei gynghori, fel yr atebom y bobl hyn, y rhai a lefarasant wrthyf, gan ddywedyd, Ysgafnha yr iau a roddodd dy dad arnom ni?
10 A'r gwŷr ieuainc, y rhai a gynyddasai gydag ef, a lefarasant wrtho, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedi di wrth y bobl yma, y rhai a lefarasant wrthyt, gan ddywedyd, Dy dad di a drymhaodd ein hiau ni, ond ysgafnha di *hi* arnom ni; fel hyn y lleferi di wrthynt; Fy *mys* bach *fydd* breisgach na lwynau fy nhad.
11 Ac yn awr fy nhad a'ch llwythodd â iau drom, a minau a chwanegaf ar eich iau chwi: fy nhad a'ch cospodd chwi â ffrewyllau, a mi a'ch cospaf chwi âg ysgorpionau.
12 ¶ A daeth Jeroboam a'r holl bobl at Rehoboam y trydydd dydd, fel y llefarasai y brenin, gan ddywedyd, Dychwelwch ataf fi y trydydd dydd.
13 A'r brenin a atebodd y bobl yn arw, ac a wrthododd gynghor yr henuriaid, a gynghorasent hwy iddo;
14 Ac a lefarodd wrthynt hwy yn ol cynghor y gwŷr ieuainc, gan ddywedyd, Fy nhad a wnaeth eich iau chwi yn drom, a minau a chwanegaf ar eich iau chwi: fy nhad a'ch ceryddodd chwi â ffrewyllau, a minau a'ch ceryddaf chwi âg ysgorpionau.
15 Ac ni wrandawodd y brenin ar y bobl. O herwydd yr achos oedd oddiwrth yr Arglwydd, fel y cwblheid ei air ef, yr hwn a lefarasai yr Arglwydd trwy law Ahiah y Siloniad wrth Jeroboam mab Nebat.
16 ¶ A phan welodd holl Israel na wrandawai y brenin arnynt hwy, y bobl a atebasant y brenin, gan ddywedyd, Pa ran *sydd* i ni yn Dafydd? nid *oes i ni* etifeddiaeth yn mab Jesse: O Israel, *dos* i'th bebyll; edrych yn awr *ar* dy dŷ dy hun,

---

fel prif gynghorwyr ei lys ef. Yr oedd yn arferiad mewn amrai wledydd i feibion pendefigion, o'r un oedran ag etifedd y goron, gael eu cyd-ddysgu a'u dwyn i fyny gydag ef; ac yr oedd hyny yn ateb dau ddyben pwysig:—(1) Yr oedd yn cynhyrfu y tywysog i gydymgystadliad, neu i geisio rhagori mewn pob rhinwedd a gwybodaeth ar y rhai ag yr oedd efe i'w blaenori ryw ddiwrnod mewn urddas a dyrchafiad. (2) Yr oedd efe trwy hyny yn gallu cyraedd gwybodaeth gywir o dueddfryd a golygiadau y sawl ag oeddynt i fod dano ef yn swyddogion uwchaf y llywodraeth; ac o ganlyniad yr oedd yn gwybod yn well pa fodd i ymddiried ynddynt, ac i ba swyddau yr oeddynt addasaf. Nid oedd Rehoboam yn gwybod dim am yr hen gynghorwyr; ond yr oedd yn dra chyfarwydd â'r pendefigion ieuainc.

Adn. 9. *Beth yr ydych chwi yn ei gynghori, &c.*] Yr un fath ofyniad ag a roisai efe i'r henuriaid o'r blaen, adn. 6.

Adn. 10. *Fel hyn y lleferi di wrthynt*] Yn y geiriau trahaus, ysgornllyd, a bygythiol a ganlyn; *Fy mys bach fydd breisgach na lwynau fy nhad*—ac am hyny yr wyf yn gryfach, ac yn fwy galluog i'ch llethu, os ewch chwi yn mlaen yn eich ceisiadau gwrthryfelgar. Y lwynau yw prif eisteddle nerth; ac wrth ddywedyd fod ei fys bach ef yn freisgach neu dewach na lwynau neu forddwyd ei dad, efe a arwyddai fod ei allu lleiaf ef yn llawer cryfach i'w beichio a'u meistroli hwy na nerth mwyaf ei dad. Y mae y Syriaeg a'r Arabaeg yn ei ddarllen, 'fy mys bach fydd breisgach na *bawd* fy nhad.' Y mae yn debyg mai ymadrodd diarebol yw y geiriau.

Adn. 11. *Fy nhad a'ch llwythodd â iau drom*] Fel y dywedwch; *a minau a chwanegaf ar eich iau chwi*—a'i gwnaf yn drymach fyth, i gospi eich anniddigrwydd, ac i attal eich tuchanrwydd: *fy nhad a'ch cospodd chwi â ffrewyllau*—neu geryddon ysgeifn; *a mi a'ch cospaf chwi âg ysgorpionau*—â'r fath fflangellau ag a'ch poenydiant fel ysgorpionau. Dywed Isidore, Calmet, ac ereill, mai math ar fflangell â phigau heiyrn wrth ei chareiau oedd yr *ysgorpion* hon, y rhai a rwygent y croen a'r cnawd yn y modd creulonaf. Yr *ysgorpion* yn mhlith y Rhufeiniaid oedd beiriant milwrol i daflu saethau gwenwynig, y rhai a archollent ac a wenwynent eu gelynion fel colyniad ysgorpion.

Adn. 12. *Y trydydd dydd*] Gwel ar adn. 5.

Adn. 13. *A'r brenin a atebodd y bobl yn arw*] Mewn geiriau caledion a bygythion llymion; *ac a wrthododd gynghor yr henuriaid*—gwel ar adn. 7.

Adn. 14. *Ac a lefarodd wrthynt hwy yn ol cynghor y gwŷr ieuainc*] Nid yn unig o ran sylwedd, ond hefyd yn y geiriau a roesent hwy yn ei enau ef, adn. 11.

Adn. 15. *O herwydd yr achos oedd oddiwrth yr Arglwydd*] Gadawodd Duw ef iddo ei hun, heb dueddu ei galon i ddylyn cynghor henuriaid doethion ei dad. Hyn yw yr ystyr goraf a ellir ei roddi i'n cyfieithiad ni. Yr achos o'r holl aflywodraeth hwn oedd *ynfydrwydd, creulondeb*, a *gormes tra-arglwyddiaethol* Rehoboam: ac a oedd *hyn* oddiwrth yr Arglwydd? A lefara y testyn yr athrawiaeth ddrwg hon? Na wna yn ddiau. Iaith y testyn yw *sibbah*, 'Y CHWYLDROAD oedd oddi-

Dafydd. Felly Israel a aethant
i'w pebyll.
17 Ond meibion Israel, y rhai
oedd yn preswylio yn ninasoedd
Juda, Rehoboam a deyrnasodd ar-
nynt hwy.
18 A'r brenin Rehoboam a anfon-
odd Adoram, yr hwn *oedd* ar y
dreth; a holl Israel a'i llabyddias-
ant ef â meini, fel y bu efe farw.
Am hyny y brenin Rehoboam a
brysurodd i fyned i'w gerbyd, i ffoi
i Jerusalem.
19 Felly Israel a wrthryfelasant
yn erbyn tŷ Dafydd hyd y dydd hwn.
20 A phan glybu holl Israel ddy-
chwelyd o Jeroboam, hwy a anfon-
asant ac a'i galwasant ef at y gy-
nulleidfa, ac a'i gosodasant ef yn
frenin ar holl Israel: nid oedd *yn
myned* ar ol tŷ Dafydd, ond llwyth
Juda yn unig.
21 ¶ A phan ddaeth Rehoboam i
Jerusalem, efe a gasglodd holl dŷ
Juda, a llwyth Benjamin, cant a
phedwar ugain mil *o wŷr* dewisol,
cymhwys i ryfel, i ymladd yn erbyn
tŷ Israel, i ddwyn drachefn y fren-
hiniaeth i Rehoboam mab Solomon.
22 Ond gair Duw a ddaeth at
Semaiah gŵr Duw, gan ddywedyd,
23 Adrodd wrth Rehoboam mab
Solomon, brenin Juda, ac wrth holl
dŷ Juda a Benjamin, a gweddill y
bobl, gan ddywedyd,
24 Fel hyn y dywedodd yr Ar-

---

wrth yr Arglwydd.' Y mae hyn yn gyson â'r holl ddatganiadau a wnaethid o'r blaen. Cynhyrfodd Duw y bobl i gilio oddiwrth ddyn na feddai fedrusrwydd na dynoliaeth i'w llywodraethu. Nid oes un o'r hen gyfieithiadau yn deall y gair fel y gwna ein cyfieithiad ni. *Fel y cwblhaid ei air ef*—gwel ar pen. xi. 29—39.

Adn. 16. *Pa ran sydd i ni yn Dafydd?*] Sef yn hiliogaeth Dafydd. Enwent Dafydd, yn hytrach na Rehoboam, i arwyddo eu bod yn ymwrthod â holl deulu Dafydd, yr hwn nid oedd o'r deg llwyth. *Nid oes i ni etifeddiaeth yn mab Jesse*—enw o ddirmyg oedd hwn ar Dafydd a'i had: fel pe dywedasent, Nid oes gan Rehoboam achos i ymfalchïo ac ymddwyn mor ddirmygus at ei bobl; canys os edrychwn i'w ddechread yntau, y mae mor isel a chyffredin a ninau: gwel ar 2 Sam. xx. 1. *O Israel, dos i'th bebyll*—ymryddhewch oddiwrth lywodraeth Rehoboam, ac ewch adref i ystyried pwy a osodwn yn frenin arnom ni. *Edrych yn awr ar dy dŷ dy hun, Dafydd*—sef ar lwyth Juda, o ba un yr oedd Dafydd a'i hiliogaeth wedi hànu. Gwelsom o'r blaen fod Juda a Benjamin yn cael eu hystyried megys *un llwyth;* a mynai y bobl i Rehoboam edrych ar y llwyth hwnw fel ei holl frenhiniaeth o hyny allan, a gofalu na chollai efe mo hwnw hefyd trwy ei iau drom a'i ysgorpionau bygythiedig.

Adn. 17. *Ond meibion Israel, y rhai oedd yn preswylio yn ninasoedd Juda*] Sef rhai o'r holl wahanol lwythau ag oeddynt yn preswylio yn gymysg â llwyth Juda er mwyn addoliad Duw, yn nghyda'r offeiriaid a'r Lefiaid, 2 Cron. xi. 13—17; *Rehoboam a deyrnasodd arnynt hwy*—yn gystal ag ar Juda a Benjamin.

Adn. 18. *Adoram*] Neu *Adoniram*, fel y gelwir ef yma yn y Syriaeg, ac yn pen. iv. 6, a v. 14. Anfonodd Rehoboam ef naill ai i gasglu y dreth oddiar y deg llwyth gyda mwy o ormes, neu ynte i addaw ei hysgafnhau hi, pan yr oedd bellach yn rhy ddiweddar; *a holl Israel a'i llabyddiasant ef*—ar ol cael eu cynhyrfu gan ateb sarhaus y meistr, lladdasant y gwas. *Am hyny y brenin Rehoboam a brysurodd i fyned i'w gerbyd*—fel y gallai ffoi o Sichem i Jerusalem, rhag y llabyddid yntau hefyd.

Adn. 19. *Felly Israel*] Sef y deg llwyth; *a wrthryfelasant yn erbyn tŷ Dafydd*—yn erbyn pob brenin o'i hiliogaeth ef; *hyd y dydd hwn*—pryd yr ysgrifenwyd yr hanes yma, ac hyd oni chaethgludwyd hwy o'u gwlad gan frenin Assyria.

Adn. 20. *A phan glybu holl Israel ddychwelyd o Jeroboam*] O'r Aifft. Gwyddai y gwŷr penaf am ei ddychweliad ef cyn hyn, canys yr oedd ef gyda hwy yn ymddyddan â Rehoboam, adn. 4, 12; ond nis gwyddai y bobl gyffredin, yn enwedig y rhai ag oeddynt gartref ar hyd y gwahanol lwythau. *Hwy a anfonasant*—am dano ef yn ol at y gynulleidfa i Sichem, o ba le yr aethai efe adref i'w babell, adn 16; *ac a'i gosodasant ef yn frenin ar holl Israel*—ar y deg llwyth, yn ol addewid Duw iddo ef trwy Ahiah, pen. xi. 31, &c. Modd bynag, nid cyflawni cynghor Duw oedd eu hamcan hwy, eithr boddhau eu nwydau eu hunain.

Adn. 21. *A phan ddaeth Rehoboam i Jerusalem*] Yr hon oedd oddeutu 30 milldir o du y deau i Sichem; a gallwn feddwl na bu ef fawr o dro yn teithio yno yn ei gerbyd, pan yr oedd yn ffoi am ei einioes; *efe a gasglodd holl dŷ Juda a llwyth Benjamin*—sef 180,000 o ryfelwyr grymus perthynol i'r ddau lwyth hyn; *i ymladd yn erbyn tŷ Israel*—i'r dyben i adfer y frenhiniaeth o ddwylaw Jeroboam. Oni buasai i'r Arglwydd attal iddynt fyned i ryfel y pryd hyn, y mae yn debyg y llwyddasent i ddarostwng y deg llwyth, am nad oedd Jeroboam eto wedi cael amser i godi milwyr i'w amddiffyn.

Adn. 22. *Ond gair Duw a ddaeth at Semaiah*] Yr hwn oedd broffwyd enwog i Dduw yn y dyddiau hyny, ac a ysgrifenodd hanes Rehoboam, 2 Cron. xii. 15.

Adn. 23. *Adrodd wrth Rehoboam mab Solomon brenin Juda*] Yr hwn oedd bellach yn

glwydd, Nac ewch i fyny, ac nac ymleddwch yn erbyn eich brodyr meibion Israel: dychwelwch bob un i'w dŷ ei hun: canys trwyof fi y mae y peth hyn. A hwy a wrandawsant ar air yr Arglwydd, ac a ddychwelasant i fyned ymaith, yn ol gair yr Arglwydd.

25 ¶ Yna Jeroboam a adeiladodd Sichem yn mynydd Ephraim, ac a drigodd ynddi hi; ac a aeth oddiyno, ac a adeiladodd Penuel.

26 A Jeroboam a feddyliodd yn ei galon, Yn awr y dychwel y frenhiniaeth at dŷ Dafydd.

27 Os â y bobl hyn i fyny i wneuthur aberthau yn nhŷ yr Arglwydd yn Jerusalem, yna y try calon y bobl hyn at eu harglwydd Rehoboam brenin Juda, a hwy a'm lladdant i, ac a ddychwelant at Rehoboam brenin Juda.

28 Yna y brenin a ymgynghorodd, ac a wnaeth ddau lo aur, ac a ddywedodd wrthynt hwy, Gormod yw i chwi fyned i fyny i Jerusalem: wele dy dduwiau di, O Israel, y rhai a'th ddyg di i fyny o wlad yr Aifft.

29 Ac efe a osododd un yn Bethel, ac a osododd y llall yn Dan.

---

frenin *Juda* yn unig, wedi iddo golli y deg llwyth; *ac wrth holl dŷ Juda a Benjamin*—sef yr 180,000 o'i wŷr dewisol ef, cymhwys i ryfel, adn. 21; *a gweddill y bobl*—sef gweddill y llwythau ereill ag oeddynt yn preswylio yn ninasoedd Juda, adn. 17.

Adn. 24. *Nac ewch i fyny*] I Sichem, i ymladd yn erbyn y deg llwyth, y rhai oeddynt yn *frodyr* iddynt fel plant Abraham; *dychwelwch bob un i'w dŷ ei hun*—at eich teuluoedd a'ch galwedigaethau; *canys trwyof fi y mae y peth hyn*—trwy fy nghynghor a'm rhagluniaeth i yr enciliodd y deg llwyth, i gospi gwrthgiliad Solomon. *A hwy a wrandawsant ar air yr Arglwydd*—gwyddent mai proffwyd yr Arglwydd oedd Semaiah, ac mai gair yr Arglwydd oedd yn ei enau ef; ac am hyny hwy a ufyddhasant iddo, ac a droisant adref.

Adn. 25. *Yna Jeroboam a adeiladodd Sichem*] A'i hadgyweiriodd, a'i helaethodd, ac a'i cryfhaodd hi; canys yr oedd wedi ei dystrywio er's hir amser, Barn. ix. 45; *ac a adeiladodd Penuel*—lle tuhwnt i'r Iorddonen, a ddystrywesid gynt gan Gedeon, Barn. viii. 17. Efe a adgyweiriodd y lle hwn hefyd, i ddiogelu ei frenhiniaeth y tu hwnw i'r Iorddonen.

Adn. 26. *A Jeroboam a feddyliodd yn ei galon*] Wrth fyfyrio ar agwedd ei deyrnas, ac ystyried mai mewn ffrae benboeth â Rehoboam y gwnaethid ef yn frenin. *Yn awr y dychwel y frenhiniaeth at dŷ Dafydd*—efe a ofnai y byddai i'w bobl, ar ol pwyllo a dyfod atynt eu hunain, droi yn ol at eu cyfiawn frenin, os nad allai efe drefnu rhyw foddion i'w hattal. Nid ymgynghorodd efe â Duw, yr hwn a roddasai y frenhiniaeth iddo, fel y dylasai efe wneuthur; ac nid oedd yn credu yn addewidion Duw, pen. xi. 38, eithr ymddibynai ar ei gallineb cnawdol ei hun. Dywedasai Duw wrtho yr adeiladai efe *dŷ sicr* iddo, os byddai iddo ef rodio yn ei ffyrdd ef, a chadw ei orchymynion: eto nid allai efe ymddibynu ar hyn, eithr, yn ol tuedd ei natur syrthiedig, efe a geisiai sicrhau ei orsedd trwy ei ddoethineb ei hun; ac felly dygodd ddrwg mawr arno ei hun a'i bobl, a phlanodd eilunaddoliaeth yn ei deyrnas, yr hwn yn y diwedd a fu yn ddinystr iddi.

Adn. 27. *Os â y bobl hyn i fyny i wneuthur aberthau yn nhŷ yr Arglwydd yn Jerusalem*] Lle yr oedd yn rhaid i holl wrywaid Israel fyned ar y tair gŵyl flynyddol; *yna y try calon y bobl hyn at eu harglwydd Rehoboam*—wrth ganfod mawredd y deml a'r ddinas frenhinol, a chofio am weithredoedd enwog Dafydd a Solomon y rhai a gladdwyd yno. Ofnai hefyd y darbwyllid hwy i droi yn ol gan ddylanwad yr offeiriaid a phroffwydi yr Arglwydd, ac y tueddid hwy i ymostwng i Rehoboam er mwyn cael aberthu yno yn heddychol, heb gael eu cymeryd i fyny fel gwrthryfelwyr. *A hwy a'm lladdant i*—gwyddai ddarfod i'w bobl ef ladd Adoram, a cheisio lladd Rehoboam hefyd; ac os tröent hwy at Rehoboam eilwaith, nid oedd ganddo fawr o hyder mewn dynion mor waedwyllt na laddent yntau hefyd wedi iddynt droi: gwel ar adn. 18.

Adn. 28. *Yna y brenin a ymgynghorodd*] Ag ef ei hun, neu fe allai â'i brif-gynghorwyr, y rhai na feddent ddim mwy o grefydd nag yntau; *ac a wnaeth ddau lo aur*—mewn efelychiad o loi aur Aaron, ac o addoliad yr Aifft, o ba le y daethai ef yn ddiweddar. Yr oedd gan yr Aifftiaid ddwy ddelw o'r fath yn wrthddrychau eu haddoliad; sef *Apis* yn Memphis, prifddinas yr Aifft Uwchaf; a *Mnevis* yn Hierapolis, prifddinas yr Aifft Isaf. *Gormod yw i chwi fyned i fyny i Jerusalem*—o holl barthau y wlad i aberthu yno, a hyny deirgwaith yn y flwyddyn o leiaf: y mae yn ormod o drafferth, ac yn ormod o gost. *Wele dy dduwiau di, O Israel, y rhai a'th ddyg di i fyny o wlad yr Aifft*—yr un geiriau yn hollol ag a ddywedasai Aaron wrth y bobl ar ol iddo wneuthur y llo aur, Exod. xxxii. 4. Prin y gallwn feddwl ei fod ef am i'r bobl gredu mai y lloi hyn oedd y Duw Israel hwnw a'u dygasai hwynt o'r Aifft; buasai hyny yn rhy afresymol i un Israeliad yn ei iawn synwyr allu ei gredu: eithr ei feddwl oedd, fod y delwau hyn yn arddangosiadau gweledig, trwy y rhai y bwriadai efe addoli gwir Dduw Israel, heb iddynt orfod myned i Jerusalem.

Adn. 29. *Ac efe a osododd un yn Bethel*] Er cyfleusdra i'r bobl yn y rhan ddeheuol o'r wlad; *y llall yn Dan*—yn y rhan ogleddol

30 A'r peth hyn a aeth yn bech-
od: oblegid y bobl a aethant ger-
bron y naill hyd Dan.
31 Ac efe a wnaeth dŷ uchelfeydd,
ac a wnaeth offeiriaid o'r rhai gwael-
af o'r bobl, y rhai nid oedd o feib-
ion Lefi.
32 A Jeroboam a wnaeth uchel-
ŵyl yn yr wythfed mis, ar y pym-
thegfed dydd o'r mis, fel yr uchel-
ŵyl *oedd* yn Juda; ac efe a offrym-
odd ar yr allor, (felly y gwnaeth efe
yn Bethel,) gan aberthu i'r lloi a
wnaethai efe: ac efe a osododd yn
Bethel offeiriaid yr uchelfaoedd a
wnaethai efe.
33 Ac efe a offrymodd ar yr allor
a wnaethai efe yn Bethel, y pym-
thegfed dydd o'r wythfed mis, *sef*
yn y mis a ddychymygasai efe yn ei
galon ei hun; ac efe a wnaeth uchel-
ŵyl i feibion Israel: ac efe a aeth i
fyny at yr allor i arogldarthu.

## PENNOD XIII.

AC wele gŵr i Dduw a ddaeth o
Juda, trwy air yr Arglwydd, i
Bethel: a Jeroboam oedd yn sefyll
wrth yr allor i arogldarthu.
2 Ac efe a lefodd yn erbyn yr
allor, trwy air yr Arglwydd, ac a
ddywedodd, O allor, allor, fel hyn
y dywedodd yr Arglwydd; Wele,
mab a enir i dŷ Dafydd, a'i enw
Josia; ac efe a abertha arnat ti
offeiriaid yr uchelfeydd y rhai sydd
yn arogldarthu arnat ti, a hwy a
losgant esgyrn dynion arnat ti.
3 Ac efe a roddodd arwydd y

o'i deyrnas. Yr oedd *Bethel*, yn marn pawb, yn le cysegredig, ac yn 'dŷ Dduw,' trwy iddo ymddangos yno fwy nag unwaith i Jacob, Gen. xxviii. 19, a xxxv. 1; ac yr oedd *Dan* wedi bod yn le enwog ar gyfrif delw a theraphim Mica, Barn. xviii. 30, 31.

Adn. 30. *A'r peth hyn a aeth yn bechod*] Yn achlysur o'r pechod o eilunaddoliaeth.

Adn. 31. *Ac efe a wnaeth dŷ uchelfeydd*] Neu demlau ar yr uchelfeydd i'r ddau lo, un yn Dan a'r llall yn Bethel, yn y rhai yr oedd allorau i aberthu ac arogldarthu i'r lloi, yn gyffelyb i allorau y deml yn Jerusalem. *Ac a wnaeth offeiriaid o'r rhai gwaelaf o'r bobl*—ac yr oedd y rhai hyny yn ddigon da, ac yn rhy dda, i fod yn offeiriaid i *loi!* Ond gellir cyfieithu y wreiddiol, 'offeiriaid o *eithafion* y bobl,' sef rhai o bob llwyth yn ddiwahaniaeth, lle y gallai ef eu cael. Dichon fod *meibion Lefi* wedi gwrthod y wasanaeth hon, yn gystal a'r dynion *goraf* o'r llwythau ereill; neu ynte yr oedd efe yn gallu cael gwasanaeth y rhai *gwaelaf* am lai o gyflog, fel ag i gynyddu ei gyllid ei hun.

Adn. 32. *A Jeroboam a wnaeth uchel-ŵyl*] Sef gŵyl y pebyll; *yn yr wythfed mis, ar y pymthegfed dydd o'r mis*—yn ol y gyfraith, Lef. xxiii. 34, yr oedd yr ŵyl hon i'w chynal ar y pymthegfed dydd o'r *seithfed* mis; eithr cynaliodd Jeroboam hi fis yn ddiweddarach, nid am fod y cynauaf yn ddiweddarach yn y rhan hòno o'r wlad, fel y dychymygodd rhai, canys yr oedd y gyfraith wreiddiol yn rhwymo holl Israel i gyrchu o'r parthau hyny i Jerusalem erbyn y *seithfed* mis, yr hyn a ddengys fod eu cynauaf ar ben y pryd hyny. Ond y mae yn debyg iddo ef ddewis yr *wythfed* mis, (1) Rhag ymddangos yn wrthwynebol i Dduw Israel wrth gynal ei ŵyl ar yr un dydd; ac, (2) I roddi cyfle i rai o ddeiliaid Rehoboam ddyfod i'w ŵyl yntau ar ol cadw eu gŵyl eu hunain, mewn gobaith o'u hennill hwy trwy hyny i ddyfod yn ddeiliaid iddo ei hun. *Fel yr uchel-ŵyl oedd yn Juda*—i ddangos ei fod yn addoli yr un Duw, ac yn proffesu yr un grefydd, er yn gwahaniaethu mewn rhai amgylchiadau. *Ac efe a offrymodd ar yr allor*—â'i ddwylaw ei hun, fel yr ymddengys oddiwrth pen. xiii. 1, 4. Y mae yn debyg ei fod yn dal yr archoffeiriadaeth yn ei ddwylaw ei hun, tra yr oedd gwehilion y bobl yn offeiriaid dano ef.

Adn. 33. *Y mis a ddychymygasai efe yn ei galon ei hun*] Yn ol ei ewyllys a'i feddwl ei hun, yn groes i orchymyn pendant Duw, yr hwn a ordeiniasai y *seithfed* mis, Lef. xxiii. 39.

PEN. XIII. Adn. 1. *Ac wele gŵr i Dduw*] Sef rhyw broffwyd santaidd, megys Semaiah neu Joel; *a ddaeth o Juda trwy air yr Arglwydd*—trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, i draddodi bygythiad yr Arglwydd yn erbyn allor y brenin annuwiol hwn yn Bethel. *A Jeroboam oedd yn sefyll wrth yr allor i arogldarthu*—fel offeiriad, pan ddaeth y proffwyd hwn ato ef.

Adn. 2. *Ac efe a lefodd yn erbyn yr allor*] Ac o ganlyniad yn erbyn yr holl addoliad a gyflawnid yno; *O allor, allor*—enwai hon ddwywaith, i ddangos angerdd ei ysbryd ef, a mawr ddigofaint yr Arglwydd yn ei herbyn; er y tybia yr Iuddewon mai golygu y ddwy allor yr ydoedd, sef hon yn Bethel, a'r llall yn Dan. Efe a gyfeiria ei ymadrodd yn erbyn yr allor, am fod yr arwyddion a ganlyn i gael eu gwneuthur arni. *Wele, mab a enir i dŷ Dafydd, a'i enw Josia*—y mae y broffwydoliaeth hon yn fwy hynod, am ei bod yn rhagddywedyd nid yn unig o ba deulu yr hànai y mab hwn, ond beth fyddai ei enw ef, a pha beth a wnai, a hyny oddeutu 300 o flynyddau cyn ei eni! ac yn y cyflawniad o honi nyni a ganfyddwn brawf nid yn unig o ragwybodaeth Duw, ond hefyd fod y proffwyd hwn wedi ei anfon gan Dduw. *Ac efe a abertha arnat ti offeiriaid yr uchelfeydd*—yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol yn mhen oddeutu 340 mlynedd ar ol ei ragfynegu: gwel ar 2 Bren. xxiii. 15—20.

dwthwn hwnw, gan ddywedyd, Dyma yr argoel a lefarodd yr Arglwydd; Wele yr allor a rwygir, a'r lludw *sydd* arni a dywelltir.

4 A phan glybu y brenin air gŵr Duw, yr hwn a lefodd efe yn erbyn yr allor yn Bethel, yna Jeroboam a estynodd ei law oddiwrth yr allor, gan ddywedyd, Deliwch ef. A diffrwythodd ei law ef yr hon a estynasai efe yn ei erbyn ef, fel na allai efe ei thynu hi ato.

5 Yr allor hefyd a rwygodd, a'r lludw a dywalltwyd oddiar yr allor, yn ol yr argoel a roddasai gŵr Duw trwy air yr Arglwydd.

6 A'r brenin a atebodd ac a ddywedodd wrth ŵr Duw, Gweddia, atolwg, gerbron yr Arglwydd dy Dduw, ac ymbil drosof fi, fel yr adferer fy llaw i mi. A gŵr Duw a weddiodd gerbron yr Arglwydd; a llaw y brenin a adferwyd iddo ef, ac a fu fel cynt.

7 A'r brenin a ddywedodd wrth ŵr Duw, Tyred adref gyda mi, a chymer luniaeth, a mi a roddaf rodd i ti.

8 A gŵr Duw a ddywedodd wrth y brenin, Pe rhoddit i mi hanner dy dŷ, ni ddeuwn i gyda thi; ac ni fwytawn fara, ac ni yfwn ddwfr, yn y fan hon:

9 Canys fel hyn y gorchymynwyd i mi trwy air yr Arglwydd, gan ddywedyd, Na fwyta fara, ac nac ŷf ddwfr; na ddychwel chwaith ar hyd y ffordd y daethost.

10 Felly efe a aeth ymaith ar hyd ffordd arall, ac ni ddychwelodd ar hyd y ffordd y daethai ar hyddi i Bethel.

11 ¶ Ac yr oedd rhyw hen broffwyd yn trigo yn Bethel; a'i fab a

---

Adn. 3. *Ac efe a roddodd arwydd y dwthwn hwnw*] Neu a wnaeth wyrth i sicrhau iddynt wirionedd ei ragfynegiad. *Dyma yr argoel*—fy mod i yn llefaru o Dduw, ac nid o honof fy hun. *Wele yr allor a rwygir*—trwy weithrediad digyfrwng gallu Duw, heb un achos naturiol o'r fath rwygiad, mwy na phan rwygwyd llen y deml wedi hyny; *a'r lludw sydd arni a dywelltir*—trwy nad allai yr allor, ar ol ei dystrywio, ddal yr aberth na'r lludw: ac yr oedd hyn oll yn arwydd o lwyr ddilead eilunaddoliaeth, yn mhen amser, o'r wlad.

Adn. 4. *A phan glybu y brenin air gŵr Duw*] Am aberthu yr offeiriaid, llosgi eu hesgyrn, a rhwygo yr allor; *yna Jeroboam a estynodd ei law oddiwrth yr allor*—i nodi allan y gŵr ag y mynai efe i'r bobl ei ddal, ac ond odid ei ladd. *A diffrwythodd ei law ef*—aeth cyhyrau a gewynau ei fraich megys yn farw, fel nas gallai efe ei phlygu, neu dynu ei law at ei gorff, mwy na phe buasai bren. Gwnaeth Duw hyn nid yn unig i roddi prawf arall y cyflawnid ei eiriau, ond hefyd i geryddu Jeroboam am gynyg niweidio gŵr Duw, ac i gadw y proffwyd rhag sarhad pellach.

Adn. 5. *Yr allor hefyd a rwygodd*] Trwy ei chanol, oddifyny hyd i waered; *a'r lludw a dywalltwyd*—trwy nad oedd yr allor mwyach yn alluog i ddal y tân a losgai yr aberth; *yn ol yr argoel*—neu megys ag y dywedasai gŵr Duw, adn. 3.

Adn. 6. *Gweddia, atolwg, gerbron yr Arglwydd dy Dduw*] Yr hwn a'i hamlygodd ei hun yn Dduw ac yn gyfaill i ti mewn modd hynod; *ac ymbil drosof fi*—canys efe a wrendy dy weddiau di, er nad edrycha ar fy ngweddiau i, o herwydd i mi ei adael ef a'i addoliad. *A gŵr Duw a weddiodd gerbron yr Arglwydd*—efe a gydsyniodd â'i gais, i argyhoeddi Jeroboam mai nid o ddrwg-ewyllys iddo ef y tarddai yr hyn a ddywedasai efe wrtho; ac i ddangos ei fod yn dymuno ei ddiwygiad ef, nid ei ddinystr. *A llaw y brenin a adferwyd iddo ef*—danghosodd Duw y drugaredd hon iddo, (1) O herwydd ei fod yn edifarhau am y drwg a fwriadasai efe yn erbyn y proffwyd yr hyn a fu yn achos o ddiffrwythder ei law. (2) I sicrhau iddo mai oddiwrth Dduw yr oedd y dyrnod hwn. (3) I edrych a wnai y daioni hwn o eiddo Duw tuag ato ei dywys ef oddiwrth ei eilunaddoliaeth.

Adn. 7. *Tyred adref gyda mi*] Ond odid i Sichem, yr hon oedd 15 milldir yn uwch i'r gogledd na Bethel, ac oddeutu 30 milldir o Jerusalem, lle yn debygol yr oedd efe yn byw, adn. 1; *a chymer luniaeth*—i ddiwallu dy angenrheidiau; *a mi a roddaf rodd i ti*—am iachâu fy llaw. Fel hyn efe a ddymunai wobrwyo yr offeryn, ond nid yw yn son am ddiolch-offrwm i Dduw, yr hwn oedd yr achos neu yr awdwr o'r drugaredd ryfedd hon.

Adn. 8. *Pe rhoddit i mi hanner dy dŷ*] Yn wobr am weddio drosot; *ni ddeuwn i gyda thi*—i fwyta ac yfed yn Sichem; *ac ni fwytawn fara, ac ni yfwn ddwfr, yn y fan hon*—mwy nag yn Sichem, pe byddai i ti neu rywun arall gynyg hyny i mi.

Adn. 9. *Canys fel hyn y gorchymynwyd i mi, &c.*] Fel pe dywedasai, Nid oddiar unrhyw ddirmyg neu ddygasedd tuag atat ti yr wyf yn gwrthod dy ffafr, ond mewn ufydd-dod i orchymyn fy Nuw, yr hwn a waharddodd i mi gymeryd bwyd na diod genyt. *Na ddychwel chwaith ar hyd y ffordd y daethost*—ond odid rhag iddo syrthio i ddim cyfeillgarwch â neb o'r eilunaddolwyr wrth fyned heibio i'r un dynion fwy nag unwaith; neu i roddi cyfleusdra iddo i argyhoeddi eilunaddolwyr ereill wrth ddychwelyd ar hyd ffordd arall.

Adn. 10. *Felly efe a aeth ymaith*] Gan ufyddhau yn fanwl yn mhob peth i orchymyn Duw.

Adn. 11. *Ac yr oedd rhyw hen broffwyd yn trigo yn Bethel*] Trwy yr hwn yr oedd

ddaeth ac a fynegodd iddo yr holl
waith a wnelsai gŵr Duw y dydd
*hwnw* yn Bethel: a hwy a fynegasant i'w tad y geiriau a lefarasai efe
wrth y brenin.
12 A'u tad a ddywedodd wrthynt, Pa ffordd yr aeth efe? A'i feibion a welsent y ffordd yr aethai
gŵr Duw, yr hwn a ddaethai o
Juda.
13 Ac efe a ddywedodd wrth ei
feibion, Cyfrwywch i mi yr asyn.
A hwy a gyfrwyasant iddo yr asyn;
ac efe a farchogodd arno.
14 Ac efe a aeth ar ol gŵr Duw,
ac a'i cafodd ef yn eistedd dan
dderwen; ac a ddywedodd wrtho,
Ai tydi *yw* gŵr Duw yr hwn a
ddaethost o Juda? Ac efe a ddywedodd, *Ie*, myfi.
15 Yna efe a ddywedodd wrtho,
Tyred adref gyda mi, a bwyta fara.
16 Yntau a ddywedodd, Ni allaf
ddychwelyd gyda thi, na dyfod
gyda thi; ac ni fwytaf fara, ac nid
yfaf ddwfr gyda thi, yn y fan hon.
17 Canys dywedwyd wrthyf trwy
ymadrodd yr Arglwydd, Na fwyta
fara, ac nac ŷf ddwfr yno; ac na
ddychwel gan fyned trwy y ffordd
y daethost ar hyd-ddi.
18 Dywedodd yntau wrtho, Proffwyd hefyd *ydwyf* fi fel tithau; ac
angel a lefarodd wrthyf trwy air yr
Arglwydd, gan ddywedyd, Dychwel ef gyda thi i'th dŷ, fel y

---

Duw weithiau yn datguddio ei ewyllys, fel y mae yn eglur oddiwrth adn. 20, 21; a'r hwn a barchai broffwydi santaidd Duw, ac a gredai eu rhagfynegiadau. Ond er hyny y mae yn anhawdd penderfynu pa un ai dyn da ai dyn drwg oedd hwn; pa un a oedd efe yn wir broffwyd, ynte yn au-broffwyd. Tybia *Benson, Booth, Hall, Henry, Saurin, Scott, Waterland, Wogan*, ac ereill, mai DYN DRWG oedd efe, a GAU-BROFFWYD; ond barna *Le Clerc, Lightfoot*, ac ereill, mai GWIR BROFFWYD ydoedd, tra y meddylia *Clarke* ac ereill ei fod *unwaith* yn wir broffwyd, ond iddo wedi hyny *syrthio* oddiwrth Dduw. (1) Os *dyn da* ydoedd, yr oedd yn euog o amrai bethau anaddas i wir broffwyd; megys aros mewn lle eilunaddolgar, heb godi ei lef yn erbyn eilunaddoliaeth; goddef i'w feibion fyned i addoliad y llo aur, heb eu ceryddu; a dywedyd celwydd bwriadol i dwyllo gŵr Duw, adn. 18. (2) Ond os *dyn drwg* ydoedd, a *gau-broffwyd*, paham y gelwir ef yn broffwyd, yr ymgadwodd o addoliad y llo aur, y daeth gair Duw ato ac y llefarodd trwyddo, y claddodd efe ŵr Duw yn barchus, ac y dymunodd gael ei gladdu ei hun yn yr un bedd ag ef, adn. 20—32? Modd bynag, gallasai y rhinweddau hyn fod mewn *dyn drwg*, a'r ffaeleddau a nodwyd fod mewn *dyn da:* ac y mae lle i feddwl ei fod ef rywbeth yn debyg i *Balaam*, yr hwn a awdurdodwyd gan Dduw i draethu amrai wir broffwydoliaethau, tra yr oedd ei galon ar yr un pryd yn caru gwobr anghyfiawnder: gwel y sylwadau ar ddiwedd Num. xxiv. *A'i fab a ddaeth ac a fynegodd iddo*—Saes. 'ei feibion;' ac y mae hyny yn gyson â diwedd yr adnod hon. Gwelwn yma nad oedd yr hen broffwyd ei hun yn wyddfodol ar yr arogldarthiad, er fod ei feibion yno; a gall nad oeddynt hwythau yno fel eilunaddolwyr, eithr fel edrychwyr.

Adn. 12. *Pa ffordd yr aeth efe?*] Efe a ofynai hyn, fel y gallai fyned ar ei ol.

Adn. 13. *Cyfrwywch i mi yr asyn*] Fel y gallai oddiweddyd gŵr Duw, yr hwn a deithiai ar ei draed.

Adn. 14. *Ac a'i cafodd ef yn eistedd dan dderwen*] Yn ymgysgodi rhag gwres yr haul, ac yn ymorphwyso yn ei ludded, ac efe heb na bwyta nac yfed yn Bethel. *Ai tydi yw gŵr Duw yr hwn a ddaethost o Juda?*—efe a dybiai hyny oddiwrth ei oedran, a'r darluniad a roisai ei feibion o hono, a'r fantell ag yr arferai proffwydi ei gwisgo; ond gofynai fel hyn er mwyn bod yn sicrach, neu mewn ffordd o ddechreu ymddyddan âg ef.

Adn. 15. *Tyred adref gyda mi, a bwyta fara*] Y mae yn debyg nad oedd gan yr hen broffwyd un amcan drwg yn hyn, eithr parch i ŵr Duw, a dymuniad i gael ymddyddan âg ef, a mwynhau ei gyfeillach.

Adn. 16, 17. *Ni allaf ddychwelyd gyda thi, &c.*] Am fod y lle yn eilunaddolgar, ac i Dduw wahardd hyny: gwel ar adn. 8, 9. *Yn y fan hon*—felly yr oedd yr hen broffwyd wedi ei oddiweddyd ef cyn iddo fyned allan o derfynau Bethel, neu o diriogaeth Jeroboam.

Adn. 18. *Proffwyd ydwyf fi fel tithau*] Sef gwir broffwyd i'r gwir Dduw: ac fe allai mai nid yn hyn yr oedd ei gelwydd yn gynwysedig: gwel ar adn. 11. *Ac angel a lefarodd wrthyf*—fe allai nad oedd hyn chwaith yn gelwydd; a thybia Clarke fod yn debygol ddarfod i angel ymddangos iddo ar yr achlysur, sef *angel syrthiedig*, ar rith *angel y goleuni*, i'w ddefnyddio ef fel offeryn i ddwyn anfri ar ŵr Duw a'i broffwydoliaeth, i'r dyben i barhau eilunaddoliaeth yn mlaen yn y lle. *Trwy air yr Arglwydd*—yr oedd hyn yn ddiau yn *gelwydd*, am nad oedd yr Arglwydd erioed wedi gorchymyn iddo ddychwelyd i Bethel, a bwyta ac yfed yno, ond yn hytrach wedi ei wahardd, adn. 9, 17, 22; neu os ei *dwyllo* a gafodd yr hen broffwyd, yr oedd o leiaf yn *anwiredd*.

Adn. 19. *Felly efe a ddychwelodd gydag ef*] Gan feddwl, os nad allai efe fwyta gydag *eilunaddolwyr*, y gallai wneyd hyny gyda *phroffwyd yr Arglwydd*, fel y tybiai efe fod hwnw. Ond yn hyn efe a *bechodd;* canys wedi iddo gael gorchymyn pendant gan Dduw ei hun i beidio myned, dylasai ufyddhau iddo hyd nes y cawsai orchymyn pendant gan Dduw *ei hun* i fyned a bwyta, ac nid ei dder-

bwytao fara, ac yr yfo ddwfr. *Ond*
efe a ddywedodd gelwydd wrtho.
19 Felly efe a ddychwelodd gydag
ef, ac a fwytaodd fara yn ei dŷ ef,
ac a yfodd ddwfr.
20 A phan oeddynt hwy yn eist-
edd wrth y bwrdd, daeth gair yr
Arglwydd at y proffwyd a barasai
iddo ddychwelyd:
21 Ac efe a lefodd ar ŵr Duw yr
hwn a ddaethai o Juda, gan ddywed-
yd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
O herwydd i ti anufyddhau i air yr
Arglwydd, ac na chedwaist y gor-
chymyn a orchymynodd yr Ar-
glwydd dy Dduw i ti,
22 Eithr dychwelaist a bwyteaist
fara, ac yfaist ddwfr, yn y lle *am*
yr hwn y dywedodd *yr Arglwydd*
wrthyt ti, Na fwyta fara, ac nac ŷf
ddwfr; nid â dy gelan di i feddrod
dy dadau.
23 Ac wedi iddo fwyta bara, ac
wedi iddo yfed, efe a gyfrwyodd
iddo yr asyn, *sef* i'r proffwyd a bar-
asai efe iddo ddychwelyd.
24 Ac wedi iddo fyned ymaith,
llew a'i cyfarfu ef ar y ffordd, ac a'i
lladdodd ef: a bu ei gelan ef wedi
ei bwrw ar y ffordd, a'r asyn oedd
yn sefyll yn ei ymyl ef, a'r llew yn
sefyll wrth y gelan.
25 Ac wele, wŷr yn myned heib-
io, ac a ganfuant y gelan wedi ei
thaflu ar y ffordd, a'r llew yn sefyll
wrth y gelan: a hwy a ddaethant
ac a adroddasant *hyny* yn y ddinas
yr oedd yr hen broffwyd yn aros
ynddi.
26 A phan glybu y proffwyd, yr
hwn a barasai iddo ef ddychwelyd
o'r ffordd, efe a ddywedodd, Gŵr
Duw *yw* efe, yr hwn a anufyddha-
odd air yr Arglwydd: am hyny yr
Arglwydd a'i rhoddodd ef i'r llew,
yr hwn a'i drylliodd ef, ac a'i lladd-
odd ef, yn ol gair yr Arglwydd, yr
hwn a lefarodd efe wrtho ef.

---

byn ar y drydedd law trwy yr hen broffwyd, fel y gwnaethai hwnw trwy angel.

Adn. 20. *A phan oeddynt hwy yn eistedd wrth y bwrdd*] Yn bwyta ac yn yfed yn nhŷ yr hen broffwyd yn Bethel, ar ol dychwelyd ar hyd yr un ffordd ag y daethai; *daeth gair yr Arglwydd at y proffwyd a barasai iddo ddychwelyd*—yr hwn oedd nid yn unig i gyhoeddi y ddedfryd ar ŵr Duw, ond hefyd i ddatgan ei gelwydd a'i gywilydd ei hun yn y twyll a wnaethai efe iddo. Myn *Kennicott* ac ereill mai at *ŵr Duw*, y proffwyd ag y parasai y llall iddo ddychwelyd i Bethel, y daeth gair yr Arglwydd y pryd hyn; ac felly fod ei ddedfryd yn cael ei chyhoeddi gan Dduw ei hun, fel y dywed Josephus a'r Arabaeg, ac fel y goddefa yr Hebraeg ei chyfieithu. Ond goddefa y wreiddiol ei chyfieithu hefyd fel y gwnaed yn y testyn, ac y mae hyny yn fwy cyson â rhediad yr hanes.

Adn. 21. *Ac efe*] Sef yr hen broffwyd, *a lefodd ar ŵr Duw yr hwn a ddaethai o Juda*—llefodd arno yn sydyn a chyffrous ar ganol bwyta, wedi i air yr Arglwydd ddyfod ato; ac yr oedd ei gyffro yn fwy, am fod ei gelwydd ei hun yn dyfod i'r amlwg, ac am fod gŵr Duw i gael ei ladd gan lew am wrando arno. *O herwydd i ti anufyddhau i air yr Arglwydd*—trwy ddychwelyd i Bethel, a bwyta ac yfed yno. Yma y mae yr hen broffwyd yn gorfod cyfaddef ei gelwydd ei hun yn adn. 18, lle y dywedodd efe i'r Arglwydd orchymyn iddo ddychwelyd a bwyta.

Adn. 22. *Nid â dy gelan di i feddrod dy dadau*] Yr un peth a dywedyd y byddai efe farw cyn cyraedd adref, ac y cleddid ei gorff ef mewn lle dyeithr, ac nid yn meddrod ei dadau yn ngwlad Juda. Gan iddo ef fwyta ac yfed yn ngwlad eilunaddolwyr yn groes i air Duw, cai farw a'i gladdu yn ngwlad eilunaddolwyr dan farn Duw.

Adn. 23. *Efe a gyfrwyodd iddo yr asyn*] Hyny yw, yr hen broffwyd a gyfrwyodd ei asyn ei hun i ŵr Duw: ond y mae yn nodadwy nad aeth yr hen broffwyd, na neb o'i deulu, gydag ef, am fod ei gydwybod euog yn peri iddo ofni cael ei oddiweddyd gan yr un farn.

Adn. 24. *Llew a'i cyfarfu ef ar y ffordd, ac a'i lladdodd*] Yn ol rhagddywediad yr hen broffwyd, yn gosp arno am droseddu gair yr Arglwydd. Er iddo farw fel hyn dan farn dymhorol, gallwn feddwl, gyda'r Esgob Hall, fod ei enaid yn ddiogel, fel enaid Moses, yr hwn hefyd a fu farw dan farn. Yr oedd coedwig gerllaw Bethel, o'r hon y daeth y ddwy arthes a grybwyllir 2 Bren. ii. 24; ac y mae yn debyg mai o'r un goedwig y daeth y llew hwn. *A'r asyn oedd yn sefyll yn ei ymyl ef*—yn ymyl corff gŵr Duw, yn barod i'w gario yn ol i'w gladdu; *a'r llew yn sefyll wrth y gelan*—heb fwyta y corff, na lladd yr asyn. Yr oedd lladd y dyn yn beth naturiol i'r llew; ond peth goruwchnaturiol oedd iddo beidio ei fwyta ef, na niweidio yr asyn chwaith: llaw ddirgelaidd Duw oedd yn peri hyn.

Adn. 25. *Ac wele wŷr yn myned heibio*] Tua Bethel; *ac a ganfuant y gelan wedi ei thaflu ar y ffordd*—a'r llew a'r asyn yn sefyll yn llonydd yn ei hymyl, fel pe buasent yn ei gwylio rhag bwystfilod y maes; *ac a adroddasant hyny yn y ddinas*—fel peth hynod, nad oedd y llew yn bwyta ei ysglyfaeth, nac yn cynyg aflonyddwch iddynt hwythau chwaith wrth fyned heibio.

Adn. 26. *Gŵr Duw yw efe, &c.*] Deallodd yr hen broffwyd yn y fan pwy oedd efe, a chrybwyllodd ei bechod am yr hwn y lladdwyd ef; ond ni soniodd ddim am ei bechod ei

27 Ac efe a lefarodd wrth ei feib-
ion, gan ddywedyd, Cyfrwywch i
mi yr asyn. A hwy a'*i* cyfrwyasant.
28 Ac efe a aeth, ac a gafodd ei
gelan ef wedi ei thaflu ar y ffordd,
a'r asyn a'r llew yn sefyll wrth y
gelan: ac ni fwytasai y llew y gel-
an, ac ni ddrylliasai efe yr asyn.
29 A'r proffwyd a gymerth gel-
an gŵr Duw, ac a'i gosododd hi ar
yr asyn ac a'i dyg yn ei hol. A'r
hen broffwyd a ddaeth i'r ddinas, i
alaru, ac i'w gladdu ef.
30 Ac efe a osododd ei gelan ef
yn ei feddrod ei hun; a hwy a alar-
asant am dano ef, *gan ddywedyd,* O
fy mrawd!
31 Ac wedi iddo ei gladdu ef, efe
a lefarodd wrth ei feibion, gan ddy-
wedyd, Pan fyddwyf farw, cleddwch
finau hefyd yn y bedd y claddwyd
gŵr Duw ynddo; gosodwch fy es-
gyrn i wrth ei esgyrn ef.
32 Canys diamau y bydd yr hyn
a lefodd efe trwy air yr Arglwydd
yn erbyn yr allor *sydd* yn Bethel,
ac yn erbyn holl dai yn uchelfeydd
*sydd* yn ninasoedd Samaria.
33 ¶ Wedi y peth hyn ni ddy-
chwelodd Jeroboam o'i ffordd ddryg-

---

hun yn ei dwyllo i anufyddhau i air yr Arglwydd, er y gallwn feddwl fod ei gydwybod yn ei gyhuddo yn ofnadwy y pryd hyn.

Adn. 27. *Cyfrwywch i mi yr asyn*] Fel y gallai fyned i'r fan, i wybod yn sicr ai gŵr Duw ydoedd, neu ynte i'w ddwyn yn ol i'w gladdu. Felly yr oedd ganddo ddau asyn o leiaf, adn. 23.

Adn. 28. *Ac efe a aeth, ac a gafodd ei gelan ef, &c.*] Yn union fel yr adroddasai y gwŷr, adn. 25. Y mae yma amrai wyrthiau i'w gweled ar unwaith:—na ddarfu i'r asyn ffoi rhag y llew, yn ol ei anian, eithr arhosodd yno yn hyf, fel pe yn dysgwyl am gario y corff i'r beddrod; na ddarfu i'r llew fwyta ei ysglyfaeth, na dryllio yr asyn, nac ymyraeth â'r teithwyr, na niweidio yr hen broffwyd a'i asyn pan y daethant i'r lle, na chwaith fyned ymaith ar ol gorphen ei orchwyl; eithr arhosodd yn dawel yno, (1) Fel pe buasai i wylio y gelan rhag bwystfilod ac adar ysglyfaethus; (2) Yn brawf nad peth damweiniol oedd marwolaeth gŵr Duw, neu effaith gwanc naturiol y llew, ond barn gyfiawn Duw, yr hwn a gyfarwyddai y llew pa beth i'w wneyd a pha beth i beidio; ac, (3) Yn arwydd o ffafr Duw i'r proffwyd ymadawedig, yr hwn y cymerai efe y fath ofal am ei gelan, er iddo am resymau cyfiawn weled yn dda ddwyn ymaith ei einioes ef.

Adn. 29. *A'r proffwyd a gymerth gelan gŵr Duw*] At yr hwn yr anturiodd efe er fod y llew yn ei hymyl, wrth weled na fwytasai efe y gelan, na ddrylliasai efe yr asyn, ac na wnaethai niwed i'r gwŷr a aethent heibio o'r blaen; *ac a'i dyg yn ei hol*—i Bethel, i'w chladdu yno.

Adn. 30. *Ac efe a osododd ei gelan ef yn ei feddrod ei hun*] Er fod hyny yn gymaint o barch i weddillion y marw ag a allai efe ei ddangos, eto nid oedd ond iawn neu ad-daliad salw am y niwed a wnaethai efe iddo wrth ei dwyllo i'w ddinystr. *A hwy a alarasant am dano ef*—sef yr hen ŵr a'i feibion, os nid ereill hefyd; *gan ddywedyd, O fy mrawd!*—yr hon oedd ffurf arferol o alarnad mewn angladdau, Jer. xxii. 18. Yr oedd yn ofidus yn wir gweled dyn mor dda, proffwyd mor ffyddlon, ac un mor hyf yn achos Duw, yn marw fel troseddwr am *un* camwedd; tra yr oedd hen broffwyd esgeulus a chelwyddog yn cael ei arbed, a brenin annuwiol ac eilunaddolgar yn byw mewn rhwysg a rhysedd! 'Ei ffordd ef sydd yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfroedd mawrion.' Nis gallwn ni farnu dynion wrth eu dyoddefiadau, na barnu pechod bob amser wrth ei gosp; canys y mae y cnawd weithiau yn cael ei ddinystrio, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig, 1 Cor. v. 5. Os oedd hyn yn *doster* i ŵr Duw, yr oedd yn *drugaredd* i'r ddau arall, y rhai oeddynt ill dau o bosibl yn anmharod i gyfarfod â'u Barnwr. Nis gallwn gael un prawf cryfach o sicrwydd byd arall, ac o wobrwyon a chospau ynddo, na gweled y cyfiawnion yn cael eu trin mor chwerw yn y byd hwn am droseddau bychain, tra y mae y drygionus yn aml yn dianc yn ddigosp yn ngwyneb eu pechodau mawrion a lluosog. 'Canys daeth yr amser i ddechreu o'r farn o dŷ Dduw: ac os dechreu hi yn gyntaf arnom ni, beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw!' 1 Pedr iv. 17.

Adn. 31. *Cleddwch finau hefyd yn y bedd y claddwyd gŵr Duw ynddo*] Efe a gredai fod yr ymadawedig yn ŵr da a santaidd, a dymunai gael gorwedd gydag ef dan amddiffyniad y nefoedd. *Gosodwch fy esgyrn i wrth ei esgyrn ef*—credai hefyd broffwydoliaeth gŵr Duw am yr hyn a wnai Josia, adn. 2, ac yr arbedai efe ei esgyrn ef; ac os byddai ei esgyrn yntau yn gymysg â hwy, tybiai yr arbedai Josia ei esgyrn yntau hefyd: ac felly y bu, 2 Bren. xxiii. 18.

Adn. 32. *Canys diamau y bydd yr hyn a lefodd efe*] Yr hyn a allai ei gasglu oddiwrth yr arwyddion a wnaethpwyd, adn. 3—6. *Ac yn erbyn holl dai yr uchelfeydd sydd yn ninasoedd Samaria*—ymddengys oddiyma i Jeroboam adeiladu temlau ac allorau mewn manau ereill heblaw Dan a Bethel; ac i broffwyd *Bethel* fygwth mwy nag a fygythiodd proffwyd *Juda*, os na ddywedodd yr olaf fwy nag a adroddir yn adn. 2. Y mae yn sicr nad adeiladwyd dinas *Samaria*, oddiwrth yr hon y cafodd y deyrnas ei henw, hyd 50 mlynedd ar ol marwolaeth Jeroboam, pen. xvi. 24; a pha fodd gan hyny y gallai yr hen broffwyd lefaru am *Samaria*, (enw nad oedd y pryd hyny mewn bodoliaeth, er fod y dinasoedd a'u temlau yn bodoli,) oddieithr y gwnai efe hyny

ionus; ond efe a wnaeth drachefn o wehilion y bobl offeiriaid i'r uchelfeydd: y neb a fynai, efe a'i cysegrai ef, ac efe a gai fod yn offeiriad i'r uchelfeydd.
34 A'r peth hyn a aeth yn bechod i dŷ Jeroboam, i'*w* ddiwreiddio hefyd, ac i'*w* ddileu oddiar wyneb y ddaear.

## PENNOD XIV.

Y PRYD hwnw y clefychodd Abiah mab Jeroboam.
2 A Jeroboam a ddywedodd wrth ei wraig, Cyfod, atolwg, a newid dy ddillad, fel na wypont mai ti *yw* gwraig Jeroboam; a dos i Silo: wele, yno *y mae* Ahiah y proffwyd, yr hwn a ddywedodd wrthyf *y byddwn* frenin ar y bobl yma.
3 A chymer yn dy law ddeg o fara, a theisenau, a chostrelaid o fêl, a dos ato ef; efe a fynega i ti beth a dderfydd i'r bachgen.
4 A gwraig Jeroboam a wnaeth felly; ac a gyfododd ac a aeth i Silo, ac a ddaeth i dŷ Ahiah. Ond ni allai Ahiah weled; o herwydd ei lygaid ef a ballasai oblegid ei henaint.
5 ¶ A dywedodd yr Arglwydd wrth Ahiah, Wele, y mae gwraig Jeroboam yn dyfod i geisio peth genyt dros ei mab; canys claf yw efe; fel hyn ac fel hyn y dywedi wrthi hi: canys pan ddelo hi i mewn, hi a ymddyeithra.
6 A phan glybu Ahiah drwst ei

---

trwy ysbryd proffwydoliaeth, gan alw y pethau nad ydynt, fel pe byddent; megys y galwasai gŵr Duw *Josia* wrth ei enw 300 mlynedd cyn ei eni?

Adn. 33. *Wedi y peth hyn*] Sef y felldith a gyhoeddodd gŵr Duw yn erbyn ei allorau, ac wedi yr holl arwyddion a wnaed i wirio hyny, megys rhwygiad yr allor, diffrwythiad ei law, ei hadferiad trwy weddi, a marwolaeth y proffwyd am iddo ddychwelyd i fwyta ac yfed mewn lle halogedig; *ni ddychwelodd Jeroboam*—oddiwrth ei eilunaddoliaeth; *ond efe a wnaeth drachefn o wehilion y bobl offeiriaid i'r uchelfeydd*—fel yr oedd y lleill yn marw, neu ei allorau yn amlhau ar hyd y dinasoedd, adn. 32. *Y neb a fynai*—Jeroboam, neu y neb a fynai fod yn offeiriad; *efe a'i cysegrai ef*—heb ystyried dim am ei lwyth, ei gymeriad, na'i gymhwysder: gwel ar pen. xii. 31.

Adn. 34. *A'r peth hyn a aeth yn bechod i dŷ Jeroboam*] Yn achlysur i bechod, neu yn foddion i galedu ei hiliogaeth ef mewn eilunaddoliaeth; neu yn hytrach, fel y gellir ei gyfieithu, *a aeth yn gosp*—darfu i'w barhad cyndyn ef yn ei eilunaddoliaeth, ar ol y fath rybyddion, ddwyn cospedigaethau arswydus ar ei deulu, fel ag i'w hollol ddileu yn y diwedd oddiar wyneb y ddaear.

PEN. XIV. Adn. 1. *Y pryd hwnw*] Yn ebrwydd ar ol y pethau a grybwyllwyd yn y bennod flaenorol; *y clefychodd Abiah mab Jeroboam*—yr hwn a darawyd gan Dduw â rhyw glefyd angeuol fel barn am bechod ei dad, ac i fod yn rhybydd grasol i'r brenin i droi oddiwrth ei eilunaddoliaeth a'i ddrygioni.

Adn. 2. *A Jeroboam a ddywedodd wrth ei wraig*] Y frenhines, mam y bachgen; *Cyfod, atolwg, a newid dy ddillad*—sef ei dillad brenhinol, fel y gallai ymddangos fel dynes gyffredin; *a dos i Silo*—yr hon oedd 15 milldir o du y deau i Tirsah, lle yr oedd y brenin yn aros yn awr, adn. 17; *yno y mae Ahiah y proffwyd*—yr hwn y gwyddai ef ei fod yn wir broffwyd, ac y medrai ddywedyd beth a ddeuai o'r bachgen, gan iddo allu rhagddywedyd am ei osodiad ef yn frenin: gwel ar pen. xi. 29, &c. Yr oedd arno ofn anfon neb o'i ddeiliaid, rhag iddynt ddeall nad oedd ganddo ef ei hunan ddim hyder yn ei loi aur a'i offeiriaid; ac yr oedd yn rhy euog i fyned ei hun, rhag i'r proffwyd ei adnabod, a'i geryddu am ei eilunaddoliaeth; ac am hyny efe a anfonodd y frenhines, yr unig un ag y gallai hyderu ynddi.

Adn. 3. *A chymer yn dy law ddeg o fara*] Neu dorthau cyffredin; *a theisenau*—neu fara llysieuog; *a chostrelaid o fêl*—am yr arferid myned âg anrhegion o'r fath i broffwyd neu bendefig pan ddelid i ymgynghori âg ef, 1 Sam. ix. 7. Hefyd, yr oedd rhoddion cyffredin fel hyn yn ei gosod hi allan fel gwraig i dyddynwr, tra y buasai anrhegion mwy costus yn debyg o'i bradychu hi fel brenhines. *Efe a fynega i ti beth a dderfydd i'r bachgen*—pa un ai byw ai marw a wnai.

Adn. 4. *Ond ni allai Ahiah weled*] Fel ag i'w hadnabod hi, am fod ei lygaid wedi tywyllu gan henaint: ond er hyny yr oedd yn cael ei fendithio â gweledigaethau yr Arglwydd.

Adn. 5. *A dywedodd yr Arglwydd wrth Ahiah*] Naill ai trwy leferydd hyglyw, neu ynte trwy argraff dwyfol ar ei feddwl ef; *Wele y mae gwraig Jeroboam yn dyfod i geisio peth genyt dros ei mab*—er y gallai hi ymddyeithro oddiwrth y proffwyd, eto gwyddai Duw pwy oedd hi, a pha beth oedd ei neges. *Fel hyn ac fel hyn y dywedi wrthi*—sef y genadwri a gynwysir yn adn. 7—16; *canys pan ddelo hi i mewn, hi a ymddyeithra*—rhag dwyn gwarth ar loi Jeroboam wrth ymgynghori â phroffwyd Jehofa.

Adn. 6. *Tyred i mewn, gwraig Jeroboam*] Rhaid fod ei glywed ef yn ei galw wrth ei henw, ar ol ei holl drafferth i ymddyeithro, yn peri syndod a chywilydd iddi ar unwaith. *I ba beth yr wyt ti yn ymddyeithro*—gan fod Duw yn hollwybodol, ac yntau yn broffwyd i'r

thraed hi yn dyfod i'r drws, efe a
ddywedodd, Tyred i mewn, gwraig
Jeroboam; i ba beth yr wyt ti yn
ymddyeithro? canys myfi a anfon-
wyd atat ti â *newyddion* caled.
7 Dos, dywed wrth Jeroboam,
Fel hyn y dywedodd Arglwydd
Dduw Israel; Yn gymaint a darfod
i mi dy ddyrchafu di o blith y bobl,
a'th wneuthur di yn flaenor ar fy
mhobl Israel,
8 A thori ymaith y frenhiniaeth
oddiwrth dŷ Dafydd, a'i rhoddi i ti;
ac na buost ti fel fy ngwas Dafydd,
yr hwn a gadwodd fy ngorchymyn-
ion, a'r hwn a rodiodd ar fy ol i â'i
holl galon, i wneuthur yn unig *yr*
*hyn oedd* union yn fy ngolwg i,
9 Ond a wnaethost ddrwg y tuhwnt
i bawb a fu o'th flaen di; ac a aeth-
ost ac a wnaethost i ti dduwiau
dyeithr, a delwau toddedig, i'm
digio i, ac a'm teflaist i o'r tu ol
i'th gefn:
10 Am hyny, wele fi yn dwyn
drwg ar dŷ Jeroboam; a thoraf
ymaith oddiwrth Jeroboam yr hwn
a biso ar bared, y gwarchäedig a'r
gweddilledig yn Israel; a mi a fwr-
iaf allan weddillion tŷ Jeroboam,
fel y bwrir allan dom, nes ei ddarfod.
11 Y cŵn a fwyty yr hwn fyddo
farw o eiddo Jeroboam yn y ddinas;
ac adar y nefoedd a fwyty yr hwn
fyddo farw yn y maes: canys yr
Arglwydd a'*i* dywedodd.
12 Cyfod di gan hyny, dos i'th
dŷ: a phan ddelo dy draed i'r ddi-
nas, bydd marw y bachgen.
13 A holl Israel a alarant am dano
ef, ac a'i claddant ef: canys efe yn
unig o Jeroboam a ddaw i'r bedd;
o herwydd cael ynddo ef beth da-
ioni tuag at Arglwydd Dduw Israel,
yn nhŷ Jeroboam.
14 Yr Arglwydd hefyd a gyfyd
iddo frenin ar Israel, yr hwn a dŷr
ymaith dŷ Jeroboam y dwthwn

---

Duw hwnw? A oedd hi yn meddwl na ddywedai efe wrthi yr hyn a orchymynai Duw, rhag ofn Jeroboam ei gŵr hi? *Canys myfi a anfonwyd atat ti â newyddion caled*—y fath ag y bydd yn galed ac yn annymunol iawn i ti a'th ŵr eu clywed.

Adn. 7. *Dos*] Adref, a thraetha wrth Jeroboam y genadwri hon oddiwrth Arglwydd Dduw Israel. *Yn gymaint a darfod i mi dy ddyrchafu di o blith y bobl*—sef o sefyllfa isel fel gwas i Solomon, pen. xi. 26—37; *a'th wneuthur di yn flaenor ar fy mhobl Israel*—canys yr oedd Israel yn bobl i Dduw pan wnaed Jeroboam yn frenin arnynt: yr oeddynt oll mewn cyfammod âg ef, a'r rhan fwyaf o honynt yn ei addoli ef.

Adn. 8. *Ac na buost ti fel fy ngwas Dafydd*] Ni bu Dafydd erioed yn eilunaddolwr, fel yr oedd Jeroboam; ac er iddo yntau syrthio i rai pechodau, eto efe a edifarhaodd am danynt, ac a drôdd oddiwrthynt, yr hyn ni wnaethai Jeroboam.

Adn. 9. *Ond a wnaethost ddrwg y tuhwnt i bawb a fu o'th flaen di*] Nid yn unig tuhwnt i Dafydd, ond tuhwnt i Saul hefyd, yr hwn ni bu erioed yn eilunaddolwr; a thuhwnt i Solomon yn amser ei gwymp, canys ni osododd efe erioed eilunaddoliaeth yn unig grefydd sefydledig y wlad, fel y gwnaethai Jeroboam. *Ac a'm teflaist i o'r tu ol i'th gefn*—fel peth diwerth a ffiaidd yn dy olwg.

Adn. 10. *Am hyny wele fi yn dwyn drwg ar dŷ Jeroboam*] Aflwydd, barnau, a dinystr arno ef a'i hiliogaeth; *a thoraf ymaith oddiwrth Jeroboam yr hwn a biso ar bared*—hyny yw, pob *gwryw;* ac felly y dylai yr ymadrodd hwn gael ei ddarllen pa le bynag y dygwyddo; *y gwarchäedig a'r gweddilledig*—y rhai fyddont yn *warchäedig* gan eu gelynion mewn dinasoedd caerog, neu yn *weddilledig* heb eu lladd ganddynt yno, ac yn ymguddio mewn rhyw le arall; *a mi a fwriaf allan weddillion tŷ Jeroboam*—yr oedd tŷ Jeroboam mor ffiaidd gan yr Arglwydd ag ydyw dom a budreddi gan ddynion; ac efe a fwriai ei holl dŷ ef allan oddiar y ddaear, chwaithach o wlad Israel, fel y bwria dynion dom allan o'u tai; *nes ei ddarfod*—yn hollol o dir y rhai byw.

Adn. 11. *Y cŵn a fwyty yr hwn fyddo farw o eiddo Jeroboam yn y ddinas*] Oddieithr Abiah, yn yr hwn y caed peth daioni, adn. 13; *ac adar y nefoedd a fwyty yr hwn fyddo farw yn y maes*—ni chai un o'r rhai hyn ei gladdu ar ol marw, eithr gadewid hwynt ar wyneb y ddaear yn fwyd i greaduriaid ysglyfaethus.

Adn. 12. *A phan ddelo dy draed i'r ddinas*] Ar drothwy ei thŷ yn ninas Tirsah, adn. 17; *bydd marw y bachgen*—yr oedd hyn yn atebiad i'r hyn ag yr oedd hi i'w ofyn i'r proffwyd, adn. 3; a phan welai hi gyflawni hyn, gallai wybod y cyflawnid yr holl fygythion ereill.

Adn. 13. *A holl Israel a alarant am dano ef*] Am golli gŵr ieuanc mor obeithiol; *ac a'i claddant ef*—o barch i'w weddillion, anrhydedd na ddanghosir i neb arall o dŷ Jeroboam; *o herwydd cael ynddo ef beth daioni tuag at Arglwydd Dduw Israel*—sef bwriadau duwiol i ddinystrio y lloi aur a'u temlau, a pheri i'w bobl fyned i addoli i Jerusalem, os cai efe esgyn i'r orsedd ar ol ei dad; *yn nhŷ Jeroboam*—yr hyn a chwanegir er mwy o glod iddo, ei fod yn dda yn nghanol cynifer o hudoliaethau a siamplau drwg.

Adn. 14. *Yr Arglwydd hefyd a gyfyd iddo frenin ar Israel*] Sef Baasa, pen. xv. 27, &c.; *yr hwn a dŷr ymaith dŷ Jeroboam y*

hwnw: ond pa beth? ïe, yn awr.
15 Canys yr Arglwydd a dery
Israel, megys y siglir y gorsen
mewn dwfr; ac a ddiwreiddia Israel
o'r wlad dda hon a roddodd efe i'w
tadau hwynt, ac a'u gwasgar
hwynt tuhwnt i'r afon; o herwydd
gwneuthur o honynt eu llwyni, gan
annog yr Arglwydd i ddigofaint.
16 Ac efe a ddyry heibio Israel,
er mwyn pechodau Jeroboam, yr
hwn a bechodd, a'r hwn a wnaeth i
Israel bechu.
17 ¶ A gwraig Jeroboam a gyf-
ododd, ac a aeth ymaith, ac a ddaeth
i Tirsah; ac a hi yn dyfod i droth-
wy y tŷ, bu farw y bachgen.
18 A hwy a'i claddasant ef, a holl
Israel a alarasant am dano, yn ol
gair yr Arglwydd, yr hwn a lefar-
asai efe trwy law ei was Ahiah y
proffwyd.
19 A'r rhan arall o weithredoedd
Jeroboam, fel y rhyfelodd efe, ac
fel y teyrnasodd efe, wele hwynt
yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl
brenhinoedd Israel.
20 A'r dyddiau y teyrnasodd Je-
roboam *oedd* ddwy flynedd ar hug-
ain: ac efe a hunodd gyda'i dadau;
a Nadab ei fab a deyrnasodd yn ei
le ef.
21 ¶ A Rehoboam mab Solomon
a deyrnasodd yn Juda. Mab un
mlwydd a deugain *oedd* Rehoboam
pan aeth efe yn frenin, a dwy flyn-
edd ar bymtheg y teyrnasodd efe
yn Jerusalem, y ddinas a ddewisas-
ai yr Arglwydd o holl lwythau Is-
rael, i osod ei enw yno. Ac enw ei

---

*dwthwn hwnw*—yn y fan, yn nechread ei deyrnasiad, fel y gwelwn iddo wneyd, pen. xv. 29. *Ond pa beth?*—fel pe dywedasai, Ai yn mhen rhyw amser maith y cyfyd yr Arglwydd ef? nage, ond yn fuan iawn; *ïe, yn awr*—mewn cydmhariaeth: y mae y gŵr a wna hyn yn awr mewn bod, er nad mewn gallu. Meddylir i'r geiriau hyn gael eu llefaru yn niwedd oes Jeroboam; a dwy flynedd yn unig y teyrnasodd Nadab ei fab ar ei ol ef, pryd y lladdwyd ef a holl dŷ Jeroboam gan Baasa: gwel ar pen. xv. 25—29.

Adn. 15. *Canys yr Arglwydd a dery Israel*] Am gydsynio o honynt âg eilunaddoliaeth Jeroboam; *megys y siglir y gorsen mewn dwfr*—gan wynt neu rym y ffrwd. Arwydda hyn gyflwr cyfnewidiol ac ansafadwy Israel trwy ryfeloedd oddifewn ac ymosodiadau oddifaes. *Ac a ddiwreiddia Israel o'r wlad dda hon*—yr hyn a ddechreuwyd gan Tiglath-Pileser, brenin Assyria, 2 Bren. xv. 29, ac a orphenwyd gan Salmaneser, 2 Bren. xvii. 5, &c.; *ac a'u gwasgar hwynt tuhwnt i'r afon*—tuhwnt i'r Euphrates, i wlad y Mediaid; *o herwydd gwneuthur o honynt eu llwyni*—yn y rhai y gosodent eu delwau i'w haddoli.

Adn. 16. *Ac efe a ddyry heibio Israel*] Fel un yn rhoddi heibio beth diwerth yn ei olwg; *er mwyn pechodau Jeroboam*—o achos ei eilunaddoliaeth ef, a'u cydsyniad hwythau yn ei eilunaddoliaeth. Dyma ddiwedd geiriau Ahiah wrth y frenhines.

Adn. 17. *A gwraig Jeroboam a gyfododd, ac a aeth ymaith*] Ar ol clywed y 'newyddion caled' hyn oddiwrth yr Arglwydd; *ac a ddaeth i Tirsah*—lle yr oedd brenhinllys Jeroboam yn awr, a lle yr oedd eu mab yn gorwedd yn glaf. Yr oedd Tirsah yn sefyll yn rhandir Manasse, oddeutu 24 o filldiroedd yn uwch i'r gogledd na Bethel, a 9 milldir o Sichem. *Ac a hi yn dyfod i drothwy y tŷ*—a chyn iddi ei weled; *bu farw y bachgen*—yr oedd hyn yn ol gair y proffwyd, adn. 12, ac yn brawf o wirionedd pob peth arall a ddywedodd efe.

Adn. 18. *A hwy a'i claddasant ef*] Sef ei deulu; *a holl Israel a alarasant am dano*—gwel ar adn. 13.

Adn. 19. *Wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Nid llyfr canonaidd y Cronicl a feddylir, canys ni ysgrifenwyd hwnw hir amser ar ol hwn; eithr coflyfr gwladol, yn yr hwn yr ysgrifenid pob peth hynod a ddygwyddai o ddydd i ddydd, yn ol gorchymyn y brenin; o'r hwn y cymerodd yr ysgrifenydd santaidd, trwy gyfarwyddyd Ysbryd Duw, ba beth bynag ag ydoedd fwyaf defnyddiol er anrhydedd Duw ac adeiladaeth dynion.

Adn. 20. *A'r dyddiau y teyrnasodd Jeroboam oedd ddwy flynedd ar hugain*] Gan iddo ddechreu teyrnasu ar unwaith a Rehoboam brenin Juda, ac na theyrnasodd hwnw ond 17 mlynedd, rhaid ei fod wedi teyrnasu 5 mlynedd yn fwy nag ef, sef 3 blynedd ar unwaith ag Abiam, a 2 flynedd ar yr un pryd ag Asa, pen. xv. 1, 2, 9. *A Nadab ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—am ychydig dros flwyddyn, pen. xv. 25.

Adn. 21. *A Rehoboam mab Solomon a deyrnasodd yn Juda*] Ar ddau lwyth, sef Juda a Benjamin, tra yr oedd Jeroboam yn frenin ar ddeg llwyth Israel. *Mab un mlwydd a deugain oedd Rehoboam pan aeth efe yn frenin*—ac felly rhaid ei fod wedi cael ei eni flwyddyn cyn marw Dafydd, a chyn i Solomon ddechreu teyrnasu, pen. xi. 42. *Ac enw ei fam ef oedd Naamah, Ammonees*—peth rhyfedd oedd i Solomon briodi yr Ammonees hon cyn iddo wrthgilio, a pheth rhyfeddach oedd i Dafydd oddef hyny. Y mae rhai yn meddwl mai merch Sobi oedd hi, yr hwn a fu mor dirion i Dafydd yn amser gwrthryfel Absalom, 2 Sam. xvii. 27; ac iddi hi a'i thad gael eu proselytio i grefydd Israel cyn i Solomon ei phriodi hi. Modd bynag, gellir meddwl iddi droi eilwaith at ei heilunod, a bod yn

fam ef *oedd* Naamah, Ammonees.
22 A Juda a wnaeth ddrygioni yn
ngolwg yr Arglwydd; a hwy a'i
hannogasant ef i eiddigedd, rhagor
yr hyn oll a wnaethai eu tadau, yn
eu pechodau a wnaethent.
23 Canys hwy a adeiladasant idd-
ynt uchelfeydd, a delwau, a llwyni
ar bob bryn uchel, a than bob pren
gwyrddlas.
24 A gwŷr sodomaidd oedd yn y
wlad: gwnaethant *hefyd* yn ol holl
ffieidd-dra y cenhedloedd a fwrias-
ai yr Arglwydd allan o flaen meib-
ion Israel.
25 ¶ Ac yn y bummed flwyddyn
i'r brenin Rehoboam, Sisac brenin
yr Aifft a ddaeth i fyny yn erbyn
Jerusalem.
26 Ac efe a ddyg ymaith drysor-
au tŷ yr Arglwydd, a thrysorau tŷ
y brenin; efe a'i dyg hwynt ymaith
oll: dyg ymaith hefyd yr holl dar-
ianau aur a wnaethai Solomon.
27 A'r brenin Rehoboam a wnaeth
yn eu lle hwynt darianau pres, ac
a'*u* rhoddodd *hwynt* i gadw yn llaw
tywysogion y rhedegwyr, y rhai
oedd yn cadw drws tŷ y brenin.
28 A phan elai y brenin i dŷ yr
Arglwydd, rhedegwyr a'u dygent
hwy, ac a'u hadferent i ystafell y
rhedegwyr.
29 ¶ A'r rhan arall o weithred-
oedd Rehoboam, a'r hyn oll a
wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ys-
grifenedig yn llyfr cronicl brenhin-
oedd Juda?
30 A rhyfel a fu rhwng Rehobo-
am a Jeroboam yr holl ddyddiau.

---

foddion mewn rhan i lygru meddyliau ei gŵr a'i mab.

Adn. 22. *A Juda a wnaeth ddrygioni yn ngolwg yr Arglwydd*] Yr un modd a'r deg llwyth yn mrenhiniaeth Jeroboam; *a hwy a'i hannogasant ef i eiddigedd*—trwy gysylltu duwiau ereill gydag ef, fel yr annoga gwraig odinebus ei gŵr trwy dori y cyfammod priodasol.

Adn. 23. *Canys hwy a adeiladasant iddynt uchelfeydd a delwau*] Yr oedd hyn yn fwy beius yn ngwŷr Juda nag yn ngwŷr Israel, trwy eu bod wedi eu haddysgu yn well, ac yn meddu y deml a'i gwasanaeth yn eu canol, a chynghorion a siamplau da yr offeiriaid a'r Lefiaid, yn nghyda gwybodaeth o anfoddlonrwydd yr Arglwydd i wrthgiliad cywilyddus Israel, i'w rhybyddio a'u dychrynu rhag eilunaddoliaeth. *A llwyni ar bob bryn uchel*—yn ol arferiad y cenhedloedd, Deut. xii. 2, 3.

Adn. 24. *A gwŷr sodomaidd oedd yn y wlad*] Sef 'gwŷr yn nghyda gwŷr yn gwneuthur brynti,' Rhuf. i. 27. Yr oedd y pechod hwn yn fynych yn dylyn eilunaddoliaeth, pen. xv. 12, 2 Bren. xxiii. 7; ac ymddengys ei fod y pryd hyn mewn arferiad yn mhlith gwŷr Juda, y rhai a werthent eu cyrff, yn groes i natur, i gael eu camddefnyddio er anrhydedd i'w duwiau, a hyny ar draws gorchymyn pendant Duw, Deut. xxiii. 17.

Adn. 25. *Ac yn y bummed flwyddyn i'r brenin Rehoboam*] Sef yn mhen dwy flynedd wedi iddo ef a'i bobl syrthio i eilunaddoliaeth, 2 Cron. xi. 17. *Sisac brenin yr Aifft*—yr hwn yn debygol oedd yn frawd-yn-nghyfraith i Solomon; ond nid oedd efe yn perthyn i Rehoboam, trwy mai Ammonees, ac nid merch Pharao, oedd ei fam ef, adn. 21. *A ddaeth i fyny yn erbyn Jerusalem*—i'w hyspeilio hi, naill ai trwy annogaeth Jeroboam ei hen gyfaill, pen. xi. 40: neu ynte trwy gymhelliad rhagluniaeth Duw, i gospi Rehoboam am ei eilunaddoliaeth, a'i droi oddiwrth hyny.

Adn. 26. *Ac efe a ddyg ymaith drysorau tŷ yr Arglwydd*] Gwel ar pen. vii. 51; *a thrysorau tŷ y brenin*—aur, arian, perlau, gwisgoedd, a phob peth gwerthfawr ag oeddynt yn ei ystafelloedd ef, wedi eu crynhoi yno gan Solomon ei dad; *dyg hwynt ymaith oll*—i'r Aifft, heb i Rehoboam allu ei attal, trwy fod yr Arglwydd wedi ei adael ef, megys y gadawsai yntau yr Arglwydd; *dyg ymaith hefyd yr holl darianau aur*—sef pum cant o rifedi, y rhai oeddynt yn nhŷ coedwig Libanus, pen. x. 16, 17.

Adn. 27. *Darianau pres*] Yr oedd hyn yn arwydd o leihad ei ogoniant ef. Y mae pechod yn tywyllu yr aur, ac yn ei droi yn bres a phridd, Galar. iv. 1, 2. *Ac a'u rhoddodd hwynt i gadw yn llaw tywysogion y rhedegwyr*—neu ei 'wŷr o gard ef,' y rhai a redent o flaen ac ar ol y brenin fel ei warchawdlu brenhinol, pan elai efe oddicartref; ac a gadwent ei ddrws, pan fyddai efe gartref.

Adn. 28. *A phan elai y brenin i dŷ yr Arglwydd*] I addoli yno. Ymddengys oddiyma nad oedd efe wedi llwyr adaw addoliad Duw, ond ei fod yn myned weithiau o leiaf i addoli i'r deml: neu os oedd efe wedi ei lwyr adaw yn amser ei eilunaddoliaeth, yr oedd y cerydd a gawsai trwy offerynoliaeth brenin yr Aifft wedi bod yn foddion i'w ddwyn ef yn ol i wasanaeth y deml. *Y rhedegwyr a'u dygent hwy*—o'i flaen fel arwydd o fawredd brenhinol, ac i daraw ofn yn y rhai a dueddent i wrthryfel; *ac a'u hadferent i ystafell y rhedegwyr*—pan ddychwelai y brenin i'w dŷ ei hun, rhoddid y tarianau i'w cadw yn lluestty y milwyr.

Adn. 29. *Yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Canys yr oedd ganddynt hwythau gof-lyfr gwladol yn gystal a brenhinoedd Israel, adn. 19.

Adn. 30. *A rhyfel a fu rhwng Rehoboam a Jeroboam*] Canys er fod yn waharddedig i'r Iuddewon wneuthur rhyfel *ymosodol* yn erbyn eu brodyr yr Israeliaid, pen. xii. 24, eto ni

31 A Rehoboam a hunodd gyda'i
dadau, ac a gladdwyd gyda'i dadau
yn ninas Dafydd. Ac enw ei fam ef
*oedd* Naamah, Ammonees. Ac Abi-
am ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XV.

AC yn y ddeunawfed flwyddyn i'r
brenin Jeroboam mab Nebat, yr
aeth Abiam yn frenin ar Juda.
2 Tair blynedd y teyrnasodd efe
yn Jerusalem. Ac enw ei fam ef
*oedd* Maachah, merch Abisalom.
3 Ac efe a rodiodd yn holl bech-
odau ei dad, y rhai a wnaethai efe
o'i flaen ef: ac nid oedd ei galon ef
berffaith gyda'r Arglwydd ei Dduw,
fel calon Dafydd ei dad.
4 Ond er mwyn Dafydd y rhodd-
odd yr Arglwydd ei Dduw iddo ef
oleuni yn Jerusalem; i gyfodi ei
fab ef ar ei ol ef, ac i sicrhau Jeru-
salem.
5 O herwydd gwneuthur o Dda-
fydd *yr hyn oedd* union yn ngolwg
yr Arglwydd, ac na chiliodd oddi-
wrth yr hyn oll a orchymynodd efe
iddo holl ddyddiau ei einioes, ond
yn achos Urïas yr Hethiad.
6 A rhyfel a fu rhwng Rehoboam
a Jeroboam holl ddyddiau ei eini-
oes.
7 A'r rhan arall o weithredoedd
Abiam, a'r hyn oll a wnaeth efe,
onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn
llyfr cronicl brenhinoedd Juda? A
rhyfel a fu rhwng Abiam a Jero-
boam.
8 Ac Abiam a hunodd gyda'i dad-
au, a hwy a'i claddasant ef yn ninas
Dafydd. Ac Asa ei fab a deyrnas-
odd yn ei le ef.
9 ¶ Ac yn yr ugeinfed flwyddyn

---

waherddid iddynt wneyd rhyfel *amddiffynol*, pan ymosodai Jeroboam arnynt hwy; *yr holl ddyddiau*—yn ystod y ddwy flynedd ar bymtheg ag y bu Rehoboam yn teyrnasu yn Jerusalem, adn. 21.

Adn. 31. *A Rehoboam a hunodd gyda'i dadau*] Yn 58 mlwydd oed, sef yr un oed a'i dad Solomon; *ac a gladdwyd gyda'i dadau yn ninas Dafydd*—lle y claddwyd Dafydd a Solomon, pen. xi. 43; *ac enw ei fam ef oedd Naamah*—gwel ar adn. 21; *ac Abiam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn hefyd a elwir *Abia*, 2 Cron. xii. 16, a Mat. i. 7.

PEN. XV. Adn. 1. *Ac yn y ddeunawfed flwyddyn i'r brenin Jeroboam*] Ymddengys oddiyma fod Rehoboam wedi dechreu y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrnasiad pan fu farw, er mai 17 o flynyddau cyfain y teyrnasodd efe, pen. xiv. 21; canys yr oedd ef a Jeroboam yn dechreu teyrnasu ar unwaith; *yr aeth Abiam yn frenin ar Juda*—yn lle ei dad Rehoboam.

Adn. 2. *Tair blynedd y teyrnasodd efe*] Sef rhan o dair blynedd: dechreuodd yn y 18fed i Jeroboam, parhaodd dros yr oll o'r 19eg, a gorphenodd yn yr 20fed, pryd y dechreuodd Asa ei fab deyrnasu, adn. 9. *Ac enw ei fam ef oedd Maachah, merch Abisalom*—neu 'ferch Absalom,' fel y gelwir ef 2 Cron. xi. 21. Os Absalom mab Dafydd oedd hwn, rhaid mai *Tamar* a feddylir, yr hon oedd ei unig ferch ef, 2 Sam. xiv. 27; a'r hon ond odid a elwid *Maachah* hefyd, yn ol enw ei nain, mam Absalom: ond dywed Josephus mai *merch* Tamar oedd y Maachah hon, ac *ŵyres* Absalom. Yn 2 Cron. xiii. 2, gelwir hi *Michaiah*, merch Uriel o Gibeah. Nid oes fawr o wahaniaeth rhwng Maachah a Michaiah; a gall mai Uriel oedd enw ei thad hi, gŵr Tamar.

Adn. 3. *Ac efe a rodiodd yn holl bechodau ei dad*] Trwy gael siampl ddrwg gan ei dad, a chan ei fam hefyd, adn. 13; *ac nid oedd ei galon ef berffaith gyda'r Arglwydd ei Dduw*—efe a addolai y gwir Dduw yn allanol; ond nid o galon berffaith a diragrith, ac ef yn unig; canys efe a addolai eilunod hefyd. *Fel calon Dafydd ei dad*—yr hwn a addolai yr Arglwydd yn wresog a diragrith, ac ef yn unig.

Adn. 4. *Ond er mwyn Dafydd*] Am fod Abiam yn had Dafydd, er cynddrwg ydoedd; *y rhoddodd yr Arglwydd ei Dduw iddo ef oleuni*—sef mab ac olynydd iddo ar yr orsedd yn Jerusalem; *i sicrhau Jerusalem*—i ddiogelu teml ac addoliad Duw yno o oes i oes, hyd ond ddelai y MESSIA, yr hwn oedd yn Fab Dafydd o ran y cnawd, ac yn Fab Duw hefyd: gwel ar pen. xi. 13, 36.

Adn. 5. *O herwydd gwneuthur o Ddafydd yr hyn oedd union yn ngolwg yr Arglwydd*] Gyda golwg ar addoliad Duw a phethau crefyddol; ac yn wir yn mhob ymddygiad moesol yn gyffredin, fel dyn ac fel brenin; *ond yn achos Urïas yr Hethiad*—yr hyn sydd yn frycheuyn ar ei gymeriad ef hyd heddyw. Ei bechodau ereill ef gan mwyaf a darddent oddiwrth gamgymeriad mewn barn; tra yr oedd ei bechod yn achos Urïas yn tarddu oddiar fwriad gwaedlyd, yr hwn yr ymdrechai efe ei guddio trwy luaws o bechodau ereill, y rhai oeddynt yn warth i'w lywodraeth ef ac i achos gwir grefydd: gwel ar 2 Sam. xi a xii.

Adn. 6. *A rhyfel a fu rhwng Rehoboam a Jeroboam*] Neu, fel y mae 14 o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi yn ei ddarllen, 'rhwng *Abiam* a Jeroboam;' yr hon a ddarlunir 2 Cron. xiii. 3, &c. *Holl ddyddiau ei einioes*—yr un modd ag yn achos Rehoboam, pen. xiv. 30.

Adn. 7. *Onid ydynt hwy yn ysgrifenedig, &c.*] Gwel ar pen. xiv. 19, 29.

Adn. 8. *Ac Abiam a hunodd gyda'i dadau*] Ar ol bod yn teyrnasu am ran o dair blynedd, adn. 2; *a hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd*—gwel ar pen. xiv. 31.

i Jeroboam brenin Israel yr aeth
Asa yn frenin ar Juda.
10 Ac un mlynedd a deugain y
teyrnasodd efe yn Jerusalem. Ac
enw ei fam ef *oedd* Maachah, merch
Abisalom.
11 Ac Asa a wnaeth *yr hyn oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd,
fel Dafydd ei dad.
12 Ac efe a yrodd ymaith y gwŷr
sodomaidd o'r wlad, ac a fwriodd
ymaith yr holl ddelwau a wnaethai
ei dadau.
13 Ac efe a symudodd Maachah
ei fam o *fod* yn frenhines, o her-
wydd gwneuthur o honi hi ddelw
mewn llwyn; ac Asa a ddrylliodd
ei delw hi, ac a'*i* llosgodd wrth afon
Cidron.
14 Ond ni fwriwyd ymaith yr
uchelfeydd: eto calon Asa oedd
berffaith gyda'r Arglwydd ei holl
ddyddiau ef.
15 Ac efe a ddyg i mewn gysegr-
edig bethau ei dad, a'r pethau a
gysegrasai efe ei hun, i dŷ yr Ar-
glwydd, yn arian, yn aur, ac yn
llestri.
16 ¶ A rhyfel a fu rhwng Asa a
Baasa brenin Israel eu holl ddydd-
iau hwynt.
17 A Baasa brenin Israel a aeth i

---

Adn. 9. *Ac yn yr ugeinfed flwyddyn i Jeroboam*] Yr hyn oedd ddwy flynedd cyn ei farwolaeth ef, pen. xiv. 20; *yr aeth Asa yn frenin ar Juda*—yn lle Abiam ei dad.

Adn. 10. *Ac un mlynedd a deugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem*] Am ei fod yn ŵr da, ac yn frenin da, bendithiwyd ef â hir deyrnasiad, sef un flwyddyn yn hwy na Saul, Dafydd, a Solomon; *ac enw ei fam ef oedd Maachah*—neu yn hytrach ei *nain*, fel y dysgwn oddiwrth adn. 2. Gelwir hi yn *fam* iddo ef yn yr un ystyr ag y gelwir Dafydd yn *dad* iddo, adn. 11, am ei fod wedi deilliaw oddiwrthi; a dichon mai hi a'i dygodd ef i fyny.

Adn. 11. *Ac Asa a wnaeth yr hyn oedd union yn ngolwg yr Arglwydd*] Yn llywodraethiad ei deyrnas, ac yn niwygiad a sefydliad addoliad Duw; *fel Dafydd ei dad*—yr hwn a gymerodd efe yn siampl iddo yn hytrach na Solomon, Rehoboam, ac Abiam.

Adn. 12. *Ac efe a yrodd ymaith y gwŷr sodomaidd o'r wlad*] Y rhai oeddynt yn Juda er amser Rehoboam ei daid, pen. xiv. 24; sef cynifer o honynt ag y gallodd ef gael hyd iddynt, pen. xxii. 46; *ac a fwriodd ymaith yr holl ddelwau*—a wnaethid neu a oddefid gan Solomon, Rehoboam, ac Abiam.

Adn. 13. *Ac efe a symudodd Maachah ei fam*] Neu yn hytrach ei *nain*, adn. 10; *o fod yn frenhines*—tybia rhai fod rhyw ragorfreintiau ac awdurdod yn perthyn iddi o hyd fel brenhines waddolog, am fod ei fam ef, gwraig Abiam ei dad, wedi marw ond odid; ac i Asa ei symud hi o fod yn frenhines felly, o herwydd ei delwaddoliaeth. Dywed ereill y gellir darllen y geiriau, 'iddo ei symud hi *oddiwrth* y frenhines,' sef oddiwrth ei wraig ei hun, rhag iddi lygru hòno a'i phlant â'i heilunaddoliaeth. *O herwydd gwneuthur o honi hi ddelw mewn llwyn*—y mae y gair *miphletseth*, a gyfieithir yma yn 'ddelw,' yn arwyddo rhywbeth *dychrynllyd* ac *ofnadwy;* a dichon ei bod yn cael ei galw felly, am ei bod o lun ac ymddanghosiad mwy dychrynllyd na'r cyffredin. Y mae yn debyg mai rhywbeth tebyg i'r duw *Priapus* yn mhlith y Rhufeiniaid ydoedd, pa un a addolid yn benaf gan fenywod, gyda defodau aflan a ffiaidd, ac a roddid mewn gerddi i ddychrynu yr adar ymaith. *Ac Asa a ddrylliodd ei delw hi*—fel nad addolid y fath ffieiddbeth mwy; *ac a'i llosgodd wrth afon Cidron*—fel y gallai daflu ei lludw hi i'w gario ymaith gyda'r dwfr.

Adn. 14. *Ond ni fwriwyd ymaith yr uchelfeydd*] Efe a fwriodd ymaith yr uchelfeydd a wnaed i *eilunaddoliaeth*, fel y gwelwn yn 2 Cron. xiv. 3, 5; ond ni fwriodd ymaith yr uchelfeydd a wnaethid i *aberthu i'r Arglwydd* arnynt cyn adeiladu y deml; yr hyn y dylesid ei wneuthur, am nad oeddid i aberthu mwyach mewn un man ond ar yr allor bres yn nghyntedd y deml. Dichon fod arno ofn dinystrio y rhai hyn, am y tybiai eu bod yn lleoedd cysegredig o hyd, fel rhai a ddefnyddiwyd gan Dafydd, Solomon, a dynion da ereill; neu gall fod arno ofn anfoddloni y bobl trwy hyny, a chreu terfysg. *Eto calon Asa oedd berffaith*—yr oedd ef yn gywir a diragrith yn addoliad y gwir Dduw, ac yn gwneyd yr hyn oll a allai i adferu y wir grefydd a dileu eilunaddoliaeth.

Adn. 15. *Ac efe a ddyg i mewn gysegredig bethau ei dad*] Sef Abiam, yr hwn yn ei gyfyngder, pan yn myned i ymladd â Jeroboam, (2 Cron. xiii,) a addunedodd roddi llawer o bethau i dŷ yr Arglwydd; ond ni chyflawnwyd hyny ganddo, trwy iddo ond odid gael ei attal gan farwolaeth. Modd bynag, cyflawnodd Asa ei fab ei adduned ef, a dygodd i mewn hefyd y pethau a gysegrasai efe ei hun i dŷ yr Arglwydd; *yn arian, yn aur, ac yn llestri*—ond odid yr anrhaith a gafodd efe yn ei ryfel â'r Ethiopiaid, 2 Cron. xiv. 13, 14.

Adn. 16. *A rhyfel a fu rhwng Asa a Baasa brenin Israel eu holl ddyddiau hwynt*] Sef cyhyd ag y buont hwy yn cydoesi fel dau frenin, adn. 32; oblegid bu farw Baasa lawer blwyddyn o flaen Asa. Sonir am Baasa yma allan o'i iawn amser; canys bu Nadab, mab Jeroboam, yn teyrnasu ar Israel ddwy flynedd o'i flaen ef, adn. 25—27: ac fe allai mai dyben yr hanesydd yn hyn oedd rhoddi da a drwg Asa gyda'u gilydd, cyn myned yn mlaen at y rhan arall o'i hanes ef.

Adn. 17. *A Baasa—a adeiladodd Ramah*] Hyny yw, a'i hadgyweiriodd neu a'i hamddiffynodd hi; canys yr oedd o'r blaen yn ddinas

fyny yn erbyn Juda, ac a adeiladodd
Ramah; fel na adawai efe i neb fy-
ned allan na dyfod i mewn at Asa
brenin Juda.
18 Yna Asa a gymerodd yr holl
arian a'r aur a adawsid yn nhrysor-
au tŷ yr Arglwydd, a thrysorau tŷ
y brenin, ac efe a'u rhoddodd hwynt
yn llaw ei weision: a'r brenin Asa
a anfonodd at Benhadad mab Ta-
brimmon, mab Hezion, brenin Syr-
ia, yr hwn oedd yn trigo yn Damas-
cus, gan ddywedyd,
19 Cyfammod *sydd* rhyngof fi a
thi, rhwng fy nhad i a'th dad di:
wele, mi a anfonais i ti anrheg o
arian, ac aur; tyred, diddyma dy
gyfammod â Baasa brenin Israel,
fel y cilio efe oddiwrthyf fi.
20 Felly Benhadad a wrandawodd
ar y brenin Asa, ac a anfonodd dy-
wysogion y lluoedd, y rhai *oedd*
ganddo ef, yn erbyn dinasoedd Is-
rael, ac a darawodd Ijon, a Dan, ac
Abel-bethmaachah, a holl Cinner-
oth, gyda holl wlad Naphtali.
21 A phan glybu Baasa *hyny*, efe
a beidiodd ag adeiladu Ramah; ac
a drigodd yn Tirsah.
22 Yna y brenin Asa a gasglodd
holl Juda, heb lysu *neb:* a hwy a
gymerasant gerig Ramah, a'i choed,
â'r rhai yr adeiladasai Baasa; a'r
brenin Asa a adeiladodd â hwynt
Geba Benjamin a Mispeh.
23 A'r rhan arall o holl hanes Asa
a'i holl gadernid ef, a'r hyn oll a
wnaeth efe, a'r dinasoedd a adeil-
adodd efe, onid *ydynt* hwy yn ys-
grifenedig yn llyfr cronicl brenhin-
oedd Juda? eithr yn amser ei hen-
aint efe a glafychodd o'i draed.
24 Ac Asa a hunodd gyda'i dadau,
ac a gladdwyd gyda'i dadau yn ni-

---

yn llwyth Benjamin, Jos. xviii. 25; ac naill ai yn perthyn ar y cyntaf i frenhiniaeth Israel, neu wedi ei chymeryd ar ol hyny oddiar Juda. *Fel na adawai efe i neb*—fel ag i attal pob tramwyaeth rhwng ei bobl ef a phobl Juda, ac i rwystro iddynt fyned i Jerusalem i addoli, neu ymuno â thŷ Dafydd. Yr oedd Ramah yn sefyll ar derfyn y ddwy deyrnas, ac yn gyfleus i wylio ac attal symudiadau ei bobl.

Adn. 18. *Yna Asa a gymerodd yr holl arian a'r aur a adawsid*] Yr hyn a adawsid heb ei gymeryd ymaith gan Sisac brenin yr Aifft, pen. xiv. 26; neu yr hyn a ddygasai Asa yno, wedi ei gysegru gan ei dad a chanddo ei hun, adn. 15. *Ac efe a'u rhoddodd hwynt yn llaw ei weision*—i'w dwyn yn anrheg i Benhadad, brenin Syria, yr hwn oedd yn trigo yn Damascus.

Adn. 19. *Cyfammod sydd rhyngof fi a thi*] Yn niwedd teyrnasiad Solomon, yr oedd y Syriaid yn elynion iddo ef, pen. xi, 24, 25; ond ar ol iddo ef farw, ac i'r deyrnas gael ei rhanu, gwnaeth Juda ac Israel heddwch â'r Syriaid, trwy fod ganddynt ddigon i'w wneuthur yn mhenderfyniad eu materion eu hunain. *Wele, mi a anfonais i ti anrheg*—yn hyn bu Asa yn euog o dri bai mawr yn mysg amrai ereill: (1) Efe a roddodd i Benhadad bethau ag oeddynt wedi eu cysegru i Dduw, heb un angenrheidrwydd. (2) Efe a wnaeth hyny o ddiffyg ymddiried yn Nuw, yr hwn y cawsai ef yn ddiweddar y fath brawf o'i allu a'i ffyddlondeb. Ychydig cyn hyn cawsai Asa fuddugoliaeth hynod ar yr Ethiopiaid, trwy roddi ei bwys ar yr Arglwydd, 2 Cron. xiv. 13, 14; ond yn awr y mae yn ceisio help gan y Syriaid yn erbyn Israel ei frodyr! (3) A gwnaeth hyn o fwriad drwg, sef cyflogi pagan i ddiddymu ei gyfammod â brenin Israel, fel y gallai efe gael rhan o'r tir a berthynai i'r Israeliaid trwy hawl, a thrwy rodd arbenig Duw! Nid hon yn ddiamau oedd y ffordd i ganmol addoliad a gwasanaeth Jehofa i'r cenhedloedd paganaidd oddiamgylch.

Adn. 20. *Felly Benhadad a wrandawodd ar y brenin Asa*] Efe a ddiddymodd ei gyfammod â Baasa brenin Israel, er mwyn y gwobr mawr o aur ac arian a roddasai Asa iddo; *ac a darawodd Ijon a Dan, &c.*—efe a ymosododd ar barthau gogleddol teyrnas Israel, y rhai oeddynt agosaf i Damascus; tra yr oedd Baasa yn adgyweirio Ramah, yr hon oedd yn y parth deheuol.

Adn. 21. *A phan glybu Baasa hyny*] Fod Benhadad wedi diddymu ei gyfammod âg ef, ac ymosod ar barthau gogleddol ei wlad; *efe a beidiodd ag adeiladu Ramah*—yr hyn oedd amcan Asa wrth gyflogi y Syriaid i ruthro ar ei wlad ef yn y gogledd; *ac a drigodd yn Tirsah*—yr hon oedd yn awr yn ddinas frenhinol Israel, pen. xiv. 17.

Adn. 22. *Yna y brenin Asa a gasglodd holl Juda, heb lysu neb*] Yr oedd yn rhaid i bawb a allai weithio ddyfod ar yr alwad, heb esgusodi neb; *a hwy a gymerasant gerig Ramah a'i choed*—i adeiladu â hwynt *Geba* a *Mispeh*, ill dwy yn llwyth Benjamin.

Adn. 23. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar pen. xiv. 19, 29. *Eithr yn amser ei henaint*—oddeutu tair blynedd cyn iddo farw; *efe a glafychodd o'i draed*—neu a flinwyd gan y droedwst *(gout)*, fel y dywed yr Iuddewon, pryd yr ymgynghorodd efe â meddygon, yn hytrach nag â'r Arglwydd: gwel ar 2 Cron. xvi. 12, 13.

Adn. 24. *Ac Asa a hunodd gyda'i dadau*] Ac a gladdwyd mewn rhwysg mawr [illegible] un ddinas a'i dadau, ond yn ei feddrod ei [illegible] gwel ar 2 Cron. xvi. 14. *A Jehosaphat ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn oedd yn frenin duwiol a theilwng iawn: gwel pen. xxii. 41, &c.

Adn. 25. *A Nadab mab Jeroboam a dde-*

nas Dafydd ei dad: a Jehosaphat
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
25 ¶ A Nadab mab Jeroboam a
ddechreuodd deyrnasu ar Israel yn
yr ail flwyddyn i Asa brenin Juda;
ac a deyrnasodd ar Israel ddwy
flynedd.
26 Ac efe a wnaeth ddrygioni yn
ngolwg yr Arglwydd, ac a rodiodd
yn ffordd ei dad, ac yn ei bechod ef
*â'r* hwn y gwnaeth efe i Israel
bechu.
27 ¶ A Baasa mab Ahiah, o dŷ
Issacar, a gydfwriadodd yn ei er-
byn ef; a Baasa a'i tarawodd ef yn
Gibbethon *eiddo* y Philistiaid: canys
Nadab a holl Israel oedd yn gwarch-
ae ar Gibbethon.
28 A Baasa a'i lladdodd ef yn y
drydedd flwyddyn i Asa brenin
Juda, ac a deyrnasodd yn ei le ef.
29 A phan deyrnasodd, efe a dar-
awodd holl dŷ Jeroboam; ni adawodd
un *perchen* anadl i Jeroboam, nes ei
dyfetha ef, yn ol gair yr Arglwydd,
yr hwn a lefarasai efe trwy law ei
was Ahiah y Siloniad;
30 Am bechodau Jeroboam y
rhai a bechasai efe, a *thrwy* y rhai
y gwnaethai efe i Israel bechu; o
herwydd ei waith ef yn digio Ar-
glwydd Dduw Israel.
31 A'r rhan arall o hanes Nadab,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt*
yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl
brenhinoedd Israel?
32 A rhyfel a fu rhwng Asa a
Baasa brenin Israel eu holl ddydd-
iau hwynt.
33 Yn y drydedd flwyddyn i Asa
brenin Juda y teyrnasodd Baasa
mab Ahiah ar holl Israel yn Tirsah,
bedair blynedd ar hugain.
34 Ac efe a wnaeth ddrygioni yn
ngolwg yr Arglwydd, ac a rodiodd
yn ffordd Jeroboam, ac yn ei bech-
od ef *trwy* yr hwn y gwnaeth efe i
Israel bechu.

---

*chreuodd deyrnasu*] Yn union ar ol marwolaeth ei dad; *ac a deyrnasodd ar Israel ddwy flynedd*—neu ran o ddwy flynedd; canys dechreuodd deyrnasu yn yr ail flwyddyn i Asa, a lladdwyd ef yn y drydedd, adn. 28.

Adn. 26. *Ac efe a wnaeth ddrygioni*] Trwy ymdroi mewn eilunaddoliaeth, yr hyn yw y drygioni mwyaf yn ngolwg yr Arglwydd; *ac a rodiodd yn ffordd ei dad*—yn addoliad y lloi a wnaethai ei dad; *ac yn ei bechod ef*—trwy beri i'w bobl addoli y rhai hyny, ac attal iddynt fyned i Jerusalem i addoli Duw.

Adn. 27. *A Baasa mab Ahiah*] Nid Ahiah y proffwyd, ond rhyw Ahiah o lwyth Issacar, ac fe allai mai swyddog milwraidd yn myddin Nadab oedd Baasa; *a gydfwriadodd yn ei erbyn ef*—bwriadodd yntau ei hun, a chydfwriadodd âg ereill, i ladd Nadab, a chymeryd ei frenhiniaeth ef. *A Baasa a'i tarawodd ef yn Gibbethon eiddo y Philistiaid*—hon oedd ddinas yn llwyth Dan, yr hon a roddwyd i'r Lefiaid, Jos. xxi. 23, a phan yrodd Jeroboam y Lefiaid oddiyno, fel o'u dinasoedd ereill yn Israel, 2 Cron. xi. 13, 14, cymerodd y Philistiaid feddiant o honi, am ei bod ar eu terfynau hwy. *Canys Nadab a holl Israel oedd yn gwarchae ar Gibbethon*—i'w hadennill hi oddiar y Philistiaid.

Adn. 28. *A Baasa a'i lladdodd ef*] Gan adael ei gelan yn ysglyfaeth yn ddiamau i gŵn y ddinas neu i adar y nefoedd, yn ol rhagfynegiad y proffwyd, pen. xiv. 11, 13; *yn y drydedd flwyddyn i Asa brenin Juda*—ar ol bod ar yr orsedd ran o ddwy flynedd yn unig, adn. 25; *ac a deyrnasodd yn ei le ef*—felly yn lle ei grogi, efe a gafodd ei goroni am ladd Nadab.

Adn. 29. *Efe a darawodd holl dŷ Jeroboam*] Y peth cyntaf a wnaeth ar ol ei goroni oedd lladd pob un a feddai ryw hawl yn yr orsedd, fel y gallai ei mwynhau yn dawel ei hun; *ni adawodd un perchen anadl i Jeroboam*—efe a laddodd nid yn unig bob *gwryw*, yn ol bygythiad yr Arglwydd, ond hefyd bob *benyw*, fel y gellir meddwl, gan adael eu celaneddau yn fwyd i gŵn ac adar, yn ol gair Ahiah, pen. xiv. 10—14.

Adn. 30. *Am bechodau Jeroboam*] Yn gwneuthur ac yn addoli y lloi aur, ac yn gwneyd i Israel hefyd eu haddoli. Fel hyn, y ddyfais ddrygionus hòno a arferodd Jeroboam i sefydlu y frenhiniaeth yn ei deulu, a brofodd yn ddinystr iddo ef a'i deulu: gwel ar pen. xii. 26—28.

Adn. 31. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar pen. xiv. 19.

Adn. 32. *A rhyfel a fu rhwng Asa a Baasa*] Am fod Baasa yn ddyn drwg ac yn eilunaddolwr, nid oedd gan Asa ddim parch iddo, er dyfetha o hono dŷ Jeroboam; ac nid oedd gan Baasa ddim parch i Asa na Juda, nac i addoliad yr Arglwydd yn eu plith; ac felly nid oedd dim heddwch rhyngddynt tra y buont yn cyd-deyrnasu, adn. 16.

Adn. 33. *Yn y drydedd flwyddyn, &c.*] Gwel ar adn. 28.

Adn. 34. *Ac a rodiodd yn ffordd Jeroboam*] Felly nid casineb at bechod neu eilunaddoliaeth Jeroboam oedd yn peri i Baasa ddyfetha ei dŷ ef, canys yr oedd efe yn rhodio yn yr un ffordd ddrygionus ei hunan; ac nid cyflawni proffwydoliaeth Ahiah chwaith oedd amcan Baasa, ond ymgyraedd am y goron; ac yr oedd yr Arglwydd ar yr un pryd yn defnyddio Baasa fel offeryn yn ei law i ddwyn barn ar y tŷ drygionus hwnw.

## PENNOD XVI.

YNA y daeth gair yr Arglwydd
at Jehu fab Hanani yn erbyn
Baasa, gan ddywedyd,
2 O herwydd i mi dy ddyrchafu
o'r llwch, a'th wneuthur yn flaenor
ar fy mhobl Israel, a rhodio o honot
tithau yn ffordd Jeroboam, a pheri
i'm pobl Israel bechu, gan fy nigio
â'u pechodau;
3 Wele fi yn tori ymaith hiliog-
aeth Baasa, a hiliogaeth ei dŷ ef;
a mi a wnaf dy dŷ di fel tŷ Jerobo-
am mab Nebat.
4 Y cŵn a fwyty yr hwn fyddo
marw o'r eiddo Baasa yn y ddinas;
ac adar y nefoedd a fwyty yr hwn
fyddo marw o'r eiddo ef yn y maes.
5 A'r rhan arall o hanes Baasa,
a'r hyn oll a wnaeth efe, a'i gadernid
ef, onid *ydynt* yn ysgrifenedig yn
llyfr cronicl brenhinoedd Israel?
6 A Baasa a hunodd gyda'i dad-
au, ac a gladdwyd yn Tirsah; ac
Elah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
7 Hefyd trwy law Jehu mab Ha-
nani y proffwyd y bu gair yr Ar-
glwydd yn erbyn Baasa, ac yn erbyn
ei dŷ ef, o herwydd yr holl ddrygioni
a wnaeth efe yn ngolwg yr Ar-
glwydd, gan ei ddigio ef trwy waith
ei ddwylaw; gan fod fel tŷ Jerobo-
am, ac oblegid iddo ei ladd ef.
8 Yn y chweched flwyddyn ar
hugain i Asa brenin Juda y teyrn-
asodd Elah mab Baasa ar Israel yn
Tirsah, ddwy flynedd.
9 A Zimri ei was ef, tywysog ar
hanner y cerbydau, a gydfwriadodd

---

PEN. XVI. Adn. 1. *Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jehu fab Hanani*] Yr hwn oedd yn broffwyd, ac yn fab i broffwyd. Oddiwrth 2 Cron. xvi. 7—10, nyni a ddysgwn i'w dad ef gael ei garcharu am geryddu Asa, o herwydd iddo gyflogi Benhadad i'w gynorthwyo ef yn erbyn Baasa, yn lle ymbwyso ar yr Arglwydd. *Yn erbyn Baasa*—o herwydd ei ddrygioni ef, fel y gwelsom yn y bennod flaenorol.

Adn. 2. *O herwydd i mi dy ddyrchafu o'r llwch*] O deulu isel yn llwyth Issacar; *a'th wneuthur yn flaenor ar fy mhobl Israel*—os gofynir, 'Pa fodd y gellir priodoli dyrchafiad Baasa i'r orsedd i Dduw, pan y mae yn amlwg ddarfod iddo ei chyraedd hi trwy ei frad a'i greulondeb ei hun?' gellir ateb, fod trosiad y frenhiniaeth iddo ef yn beth o drefniad neu oddefiad Duw, yn ol ei ragluniaeth oruwchlywodraethol ef; er fod y modd yr ymaflodd efe ynddi yn deilliaw o'i galon ddrwg ei hun, o'i uchelgais a'i gybydd-dod, yr hyn a'i tueddodd ef i ladd Nadab. *A rhodio o honot tithau yn ffordd Jeroboam*—gan addoli yr un eilunod, a pheri i Israel hefyd wneyd hyny. Y mae cenadwri Jehu at Baasa yn lled debyg i genadwri Ahiah at Jeroboam, pen. xiv. 7—16. (1) Y mae yn adgofio iddo y pethau mawrion a wnaethai Duw iddo; (2) Yn ei gyhuddo o bechodau a chamymddygiadau erchyll; ac, (3) Yn rhagfynegu y deuai yr un dinystr arno ef a'i deulu, ag a ddygwyd trwyddo yntau ar deulu Jeroboam.

Adn. 3. *A mi a wnaf dy dŷ di fel tŷ Jeroboam*] Cyflawnwyd y bygythiad hwn yn fanwl; canys megys na theyrnasodd Nadab mab Jeroboam ond dwy flynedd, felly ni theyrnasodd Elah mab Baasa ond dwy flynedd; ac fel y lladdwyd Nadab â'r cleddyf, felly y lladdwyd Elah. Fel hyn yr oedd tebygolrwydd rhwng Jeroboam a Baasa yn eu buchedd a'u marwolaeth, ac hefyd rhwng eu meibion a'u teuluoedd hwynt.

Adn. 4. *Y cŵn a fwyty yr hwn fyddo marw o'r eiddo Baasa*] Fel y dywedwyd o'r blaen am eiddo Jeroboam, pen. xiv. 11.

Adn. 5. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar pen. xiv. 19.

Adn. 6. *A Baasa—a gladdwyd yn Tirsah*] Lle yr oedd ef yn preswylio, ac yn cadw ei lys, pen. xv. 21. Y mae yn debyg i Jeroboam a Baasa gael eu claddu fel eu gilydd; canys ar hiliogaeth y ddau yr oedd y farn uchod i ddisgyn, adn. 4. *Ac Elah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—am ran o ddwy flynedd yn unig, adn. 8.

Adn. 7. *Hefyd trwy law Jehu, &c.*] Tybia rhai fod hyn yn cael ei grybwyll eilwaith, am mai o herwydd iddo wneuthur i Israel bechu y bygythiwyd ef o'r blaen yn benaf; ond fod yma gyfeiriad at yr holl ddrygioni a wnaethai efe ei hun yn ngolwg yr Arglwydd, fel yn tynu y farn hon ar ei hiliogaeth. Barna Houbigant, Clarke, ac ereill, y dylasai yr adnod hon fod rhwng y 4edd a'r 5ed. *Ac oblegid iddo ei ladd ef*—y mae y Vulgate yn deall hyn am waith Baasa yn lladd *Jehu* y proffwyd; ond deallir ef yn fwyaf cyffredin am waith Baasa yn lladd *Nadab*. Ond paham y cospir ef am wneuthur gwaith Duw? O herwydd, (1) Er i Dduw benodi fod i deulu Jeroboam gael eu tori ymaith, eto nad awdurdododd efe Baasa i wneyd hyny. (2) Am i Baasa wneuthur hyn nid i gyflawni ewyllys Duw, ond i wasanaethu ei nwydau ei hun: gwel ar adn. 2.

Adn. 8. *Yn y chweched flwyddyn ar hugain i Asa brenin Juda*] Sef y 26ain o'i deyrnasiad ef, nid o'i oedran; *y teyrnasodd Elah mab Baasa ar Israel*—hyny yw, y dechreuodd efe deyrnasu; *ddwy flynedd*—sef rhan o ddwy, yn union yr un faint a Nadab mab Jeroboam, pen. xv. 25, 28.

Adn. 9. *A Zimri ei was ef*] Fel yr oedd Baasa yn was i Nadab, pen. xv. 27; *tywysog ar hanner y cerbydau*—tra yr oedd rhywun arall, ond odid Omri, yn dywysog ar yr hanner arall; *a gydfwriadodd yn ei erbyn ef*—mewn cynghrair â rhai o'i gyfeillion, tra yr oedd y fyddin oddicartref, adn. 15; *ac efe yn*

yn ei erbyn ef, ac efe yn yfed yn
feddw, yn Tirsah, yn nhŷ Arsa, yr
hwn *oedd* ben-teulu yn Tirsah.
10 A Zimri a aeth ac a'i tarawodd
ef, ac a'i lladdodd, yn y seithfed
flwyddyn ar hugain i Asa brenin
Juda, ac a deyrnasodd yn ei le ef.
11 ¶ A phan ddechreuodd efe
deyrnasu, ac eistedd ar ei deyrn-
gadair, efe a laddodd holl dŷ Baasa:
ni adawodd efe iddo ef *un* i biso yn
erbyn y pared, na'i geraint, na'i
gyfeillion.
12 Felly Zimri a ddinystriodd
holl dŷ Baasa, yn ol gair yr Ar-
glwydd, yr hwn a lefarodd efe yn er-
byn Baasa trwy law Jehu y proffwyd.
13 O herwydd holl bechodau Ba-
asa, a phechodau Elah ei fab ef, *trwy*
y rhai y pechasant hwy, a thrwy y
rhai y gwnaethant i Israel bechu,
gan ddigio Arglwydd Dduw Israel,
â'u gwagedd.
14 A'r rhan arall o hanes Elah,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl
brenhinoedd Israel?
15 ¶ Yn y seithfed flwyddyn ar
hugain i Asa brenin Juda y teyrn-
asodd Zimri saith niwrnod yn Tir-
sah: a'r bobl *oedd* yn gwersyllu yn
erbyn Gibbethon *eiddo* y Philistiaid.
16 A chlybu y bobl *y rhai oedd*
yn y gwersyll ddywedyd, Zimri a
gydfwriadodd, ac a laddodd y bren-
in. A holl Israel a goronasant Omri,
tywysog y llu, yn frenin y dwthwn
hwnw ar Israel, yn y gwersyll.
17 Ac Omri a aeth i fyny, a holl
Israel gydag ef, o Gibbethon: a
hwy a warchaeasant ar Tirsah.
18 A phan welodd Zimri fod y
ddinas wedi ei hennill, efe a aeth i
balas tŷ y brenin, ac a losgodd dŷ y
brenin am ei ben â thân, ac a fu
farw;
19 Am ei bechodau yn y rhai y
pechodd efe, gan wneuthur dryg-
ioni yn ngolwg yr Arglwydd, gan
rodio yn ffordd Jeroboam, ac yn ei

---

*yfed yn feddw*—ac felly yr oedd gan Zimri fwy o fantais i ladd ei feistr; *yn nhŷ Arsa*—yr hwn oedd ben-teulu y brenin yn Tirsah, neu oruchwyliwr ei dŷ ef, a cheidwad ei winoedd a'i ddiodydd.

Adn. 10. *A Zimri—a'i lladdodd*] A laddodd Elah yn ei feddwdod a'i ddiofalwch, pan nad oedd ef yn dysgwyl y fath beth; *yn y seithfed flwyddyn ar hugain i Asa*—pan nad oedd Elah wedi bod ar yr orsedd ond rhan o ddwy flynedd; *ac a deyrnasodd yn ei le ef*—fel y gwnaethai Baasa yn lle Nadab, pen. xv. 28.

Adn. 11. *A phan ddechreuodd efe deyrnasu*] Fe allai y diwrnod cyntaf, canys saith niwrnod y bu yn teyrnasu o gwbl, adn. 15; *efe a laddodd holl dŷ Baasa*—sef brodyr a cheraint Elah, i'r hwn ond odid nid oedd plant; *ni adawodd efe iddo*—un *gwryw*, fel y dylai yr ymadrodd hwn gael ei ddarllen yn mhob lle; *na'i geraint*—rhag iddynt hòni hawl i'r frenhiniaeth: *na'i gyfeillion*—rhag iddynt ddial gwaed ei deulu ef ar ben Zimri. Yn hyn efe a aeth tuhwnt i Baasa ei hun gyda thŷ Jeroboam, pen. xv. 29.

Adn. 12. *Yn ol gair yr Arglwydd*] Yn adn. 3, 4, 7. Felly ymddengys i'w cyrff gael eu gadael yn fwyd i greaduriaid ysglyfaethus ar hyd wyneb y ddaear.

Adn. 13. *O herwydd holl bechodau Baasa*] Ei eilunaddoliaeth a'i lofruddiaeth; *a phechodau Elah*—ei eilunaddoliaeth a'i feddwdod yntau; *gan ddigio Arglwydd Dduw Israel â'u gwagedd*—gelwir eilunod yn 'wagedd,' am nad ydynt ond duwiau gwâg a dychymygol, neu 'ddim yn y byd,' heb allu gwneyd na da na drwg: gwel ar 1 Cor. viii. 4.

Adn. 14. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar pen. xiv. 19.

Adn. 15. *Teyrnasodd Zimri saith niwrnod yn Tirsah*] Yn niwedd pa rai y llosgodd efe ei dŷ am ei ben, adn. 18; *a'r bobl oedd yn gwersyllu yn erbyn Gibbethon*—bu Nadab yn gwarchae ar y ddinas hon o'r blaen; ond pan laddwyd ef yno gan Baasa, y mae yn debyg i Israel roddi i fyny y gwarchae heb ennill y lle.

Adn. 16. *A chlybu y bobl*] Fod Zimri wedi lladd eu brenin yn Tirsah; *a holl Israel a goronasant Omri*—tra yr oeddynt yn gwersyllu yno o flaen Gibbethon.

Adn. 17. *Ac Omri a aeth i fyny, a holl Israel gydag ef, o Gibbethon*] Torwyd i fyny y gwarchae yn Gibbethon o'r blaen trwy ladd Nadab, a dygwyddodd yr un modd yn awr trwy ladd Elah; canys ar ol i'r bobl glywed hyny, a choroni Omri yn frenin, yr aeth ef a hwythau i fyny o Gibbethon; *ac a warchaeasant ar Tirsah*—y ddinas frenhinol, lle yr oedd Zimri yn aros.

Adn. 18. *A phan welodd Zimri fod y ddinas wedi ei hennill*] Yr hyn yr oedd yn hawdd i Omri ei wneuthur, trwy fod y rhan fwyaf o filwyr Israel gydag ef; *efe a aeth i balas tŷ y brenin*—sef ei balas ei hun, yr hwn a berthynai i frenhinoedd Israel y naill ar ol y llall; *ac a losgodd dŷ y brenin am ei ben â thân*—gan ddewis marw trwy ei ddwylaw ei hun yn hytrach na thrwy ddwylaw ei elynion, ac fel na chai Omri fwynhau y palas a'i drysorau.

Adn. 19. *Am ei bechodau*] Rhoddes Duw ef i fyny i'r cynddeiriogrwydd hwn fel barn gyfiawn am ei bechodau. Yr oedd ef yn addolwr y lloi aur, fel Jeroboam, bob amser; ac yn ystod y saith niwrnod diweddaf yr oedd wedi llofruddio llawer o ddynion, a thywallt llawer o waed gwirion yn ddiachos, adn. 11. *I beri i Israel bechu*—y mae yn debyg iddo

bechod a wnaeth efe i beri i Israel
bechu.
20 A'r rhan arall o hanes Zimri,
a'i gydfradwriaeth a gydfwriadodd
efe; onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig
yn llyfr cronicl brenhinoedd Is-
rael?
21 ¶ Yna yr ymranodd pobl Is-
rael yn ddwy ran: rhan o'r bobl
oedd ar ol Tibni mab Ginath, i'w
osod ef yn frenin, a rhan ar ol Omri.
22 A'r bobl *oedd* ar ol Omri a
orchfygodd y bobl *oedd* ar ol Tibni
mab Ginath: felly Tibni a fu farw,
ac Omri a deyrnasodd.
23 ¶ Yn yr unfed flwyddyn
ar ddeg ar hugain i Asa brenin
Juda y teyrnasodd Omri ar Israel
ddeuddeng mlynedd: yn Tirsah y
teyrnasodd efe chwe blynedd.
24 Ac efe a brynodd fynydd Sa-
maria gan Semer, er dwy dalent o
arian; ac a adeiladodd yn y myn-
ydd, ac a alwodd enw y ddinas a
adeiladasai efe, ar ol enw Semer,
arglwydd y mynydd, Samaria.
25 ¶ Ond Omri a wnaeth ddryg-
ioni yn ngŵydd yr Arglwydd, ac a
wnaeth yn waeth na'r holl rai *a fu-
asai* o'i flaen ef.
26 Canys efe a rodiodd yn holl
ffordd Jeroboam mab Nebat, ac yn
ei bechod ef, *trwy* yr hwn y gwnaeth
efe i Israel bechu, gan ddigio Ar-
glwydd Dduw Israel â'u gwagedd
hwynt.
27 A'r rhan arall o hanes Omri
yr hyn a wnaeth efe, a'i rymusder
a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ys-
grifenedig yn llyfr cronicl brenhin-
oedd Israel?
28 Ac Omri a hunodd gyda'i dad-
au, ac a gladdwyd yn Samaria, ac
Ahab ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
29 ¶ Ac Ahab mab Omri a dde-
chreuodd deyrnasu ar Israel yn y

---

aberthu i'r lloi aur yn union ar ol lladd Elah, mewn ffordd o ddiolchgarwch am gael myned yn frenin; ac felly yr oedd yn rhoddi siamplau drwg i Israel o lofruddiaeth ac eilunaddoliaeth, ac mewn effaith yn peri i Israel bechu.

Adn. 20. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar pen. xiv. 19.

Adn. 21. *Yna yr ymranodd pobl Israel yn ddwy ran*] Y werin ond odid am gael *Tibni* yn frenin, a'r milwyr am gael *Omri*, adn. 16. Ymddengys i'r ymryson hwn barhau oddeutu pum mlynedd, adn. 23; a diamau i lawer o waed gael ei dywallt bob ochr.

Adn. 22. *A'r bobl oedd ar ol Omri a orchfygodd*] Am fod corff y milwyr o'i blaid ef; *felly Tibni a fu farw*—trwy gael ei ladd ond odid wrth ryfela yn erbyn Omri; *ac Omri a deyrnasodd*—ar holl Israel am y gweddill o'r deuddeng mlynedd, adn. 23.

Adn. 23. *Yn yr unfed flwyddyn ar ddeg ar hugain i Asa*] Y dechreuodd Omri deyrnasu ei hun ar holl Israel, trwy fod Tibni wedi cael ei ladd y flwyddyn hòno; *ddeuddeng mlynedd*—nid yw y rhai hyn i'w cyfrif o'r 31ain uchod, canys efe a fu farw yn mhen ychydig gyda saith mlynedd wedi hyn, sef yn y 38ain i Asa, adn. 29. Yr oedd y deuddeng mlynedd hyn yn dechreu yn y 27ain i Asa, pryd y coronwyd ef yn frenin, adn. 15, 16. Bu yn cyd-deyrnasu â Tibni am 5 mlynedd, hyd y flwyddyn 31 uchod, pryd y bu farw Tibni; ac am y 7 mlynedd olaf o'i oes cafodd yr holl frenhiniaeth i'w law ei hun, yr hyn a wna 12 mlynedd yn y cyfan. *Yn Tirsah y teyrnasodd efe chwe blynedd*—i bá le y daethai yn union ar ol ei goroni; ac yn ystod y chwe blynedd ereill o'r deuddeg uchod, bu yn teyrnasu yn Samaria, yr hon oedd ddeuddeg milldir o du y gorllewin i Tirsah.

Adn. 24. *Ac efe a brynodd fynydd Samaria*] Sef y mynydd a alwyd wedi hyn ar yr enw hwnw; *gan Semer*—yr hwn ond odid oedd yn cartrefu yno fel arglwydd y mynydd; *er dwy dalent o arian*—yr hyn oedd yn werth £684 7*s*. 6*c*. o'n harian ni; *ac a adeiladodd yn y mynydd*—ddinas fawreddog, yr hon a alwodd efe SAMARIA, o barch i *Semer*. Ymddengys iddo adeiladu palas brenhinol yma, a dyfod iddo i fyw am y chwe blynedd olaf o'i oes; ac yma y bu farw, ac y claddwyd ef. Yr oedd y ddinas hon yn sefyll yn llwyth Ephraim, ychydig llai na hanner y ffordd o Fôr-y-canoldir at afon yr Iorddonen; a daeth yn le mor enwog yn mhen amser, fel ag i roddi enw i'r rhan ganol o Palestina, yr hon a orweddai rhwng Galilea yn ogleddol, a Judea yn ddeheuol; a thrigolion y rhan hòno o'r wlad a elwid *Samariaid*. Fel hyn yr oedd brenhinoedd Israel yn fynych yn newid eisteddle eu llywodraeth, pa un oedd ar y cyntaf yn Sichem, wedi hyny yn Tirsah, ac yn awr yn Samaria; tra yr oedd brenhinoedd Juda yn glynu o hyd yn Jerusalem, dinas Duw.

Adn. 25, 26. *Ond Omri—a wnaeth yn waeth na'r holl rai a fuasai o'i flaen ef*] Nid yn unig efe a rodiai yn 'ffordd Jeroboam,' trwy addoli y lloi; ond y mae yn debyg iddo ddwyn duwiau ereill i blith Israel, y rhai a sefydlodd ei fab Ahab wedi hyny yn eu mysg. Ac ymddengys iddo osod cyfreithiau caeth i rwymo ei bobl at eilunaddoliaeth, y rhai a elwir 'deddfau Omri,' Mica vi. 16.

Adn. 27. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar pen. xiv. 19.

Adn. 28. *Ac Omri a hunodd gyda'i dadau*] Y mae yn debyg iddo gael marw o farwolaeth naturiol, fel Jeroboam a Baasa, er cynddrwg ydoedd; *ac a gladdwyd yn Samaria*—y ddinas a adeiladasai efe i fod yn brifddinas y deyrnas, adn. 24; *ac Ahab ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn a droes allan yn waeth dyn na'i dad.

drydedd flwyddyn ar bymtheg ar
hugain i Asa brenin Juda: ac Ahab
mab Omri a deyrnasodd ar Israel
yn Samaria ddwy flynedd ar hugain.
30 Ac Ahab mab Omri a wnaeth
ddrygioni yn ngolwg yr Arglwydd
y tuhwnt i bawb o'i flaen ef.
31 Canys ysgafn oedd ganddo ef
rodio yn mhechodau Jeroboam mab
Nebat, ac efe a gymerth yn wraig
Jezebel merch Ethbaal brenin y
Sidoniaid, ac a aeth ac a wasanaeth-
odd Baal, ac a ymgrymodd iddo.
32 Ac efe a gyfododd allor i Baal
yn nhŷ Baal, yr hwn a adeiladasai
efe yn Samaria.
33 Ac Ahab a wnaeth lwyn. Ac
Ahab a wnaeth fwy i ddigio Ar-
glwydd Dduw Israel na holl fren-
hinoedd Israel a fuasai o'i flaen ef.
34 ¶ Yn ei ddyddiau ef Hiel y
Betheliad a adeiladodd Jericho: yn
Abiram ei gyntafanedig y sylfaen-
odd efe hi, ac yn Segub ei *fab* ieu-
angaf y gosododd efe ei phyrth hi, yn
ol gair yr Arglwydd, yr hwn a lef-
arasai efe trwy law Josua mab Nun.

## PENNOD XVII.

AC Elias y Thesbiad, *un* o bre-
swylwyr Gilead, a ddywedodd
wrth Ahab, *Fel mai* byw Arglwydd

---

Adn. 29. *Yn y drydedd flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Asa brenin Juda*] Yn yr un flwyddyn ag y bu farw Omri ei dad: gwel ar adn. 23. Bu Asa byw i weled llywodraeth Israel yn nwylaw saith neu wyth o wahanol frenhinoedd, y rhai a ormesent ar eu deiliaid, ac a ddyfethent eu gilydd; tra yr oedd brenhiniaeth Juda yn flodeuog yn ei law ef. Yr oedd *Jeroboam* ar yr orsedd yn nechre ei deyrnasiad ef, ac *Ahab* yn ei ddiwedd; a rhwng y ddau hyn cawn *Nadab, Baasa, Elah, Zimri, Tibni,* ac *Omri* yn llywodraethu ar Israel.

Adn. 30. *Ac Ahab mab Omri a wnaeth ddrygioni—y tuhwnt i bawb o'i flaen ef*] Trwy chwanegu eilunod ereill at y lloi aur, a phriodi Jezebel. Yr oedd y brenhinoedd blaenorol, yn y cyffredin, yn cymeryd arnynt addoli yr Arglwydd trwy y lloi aur; ond yr oedd Ahab yn addoli duwiau ereill yn unig, heb feddwl dim am Jehofa.

Adn. 31. *Canys ysgafn oedd ganddo ef rodio yn mhechodau Jeroboam*] Nid oedd addoli y lloi aur yn ddigon o eilunaddoliaeth ganddo ef, ond mynai chwanegu duwiau a phechodau ereill at hyny. Nid oedd yn ddigon ganddo droseddu yr *ail orchymyn*, wrth addoli Duw trwy gyfrwng delwau o ddyfais Jeroboam; nid oedd hyny yn ddigon o ddirmyg ar Dduw, neu yr oedd bai cyffredin felly islaw ei urddas a'i ddoethineb ef: eithr mynai hefyd droseddu y *gorchymyn cyntaf*, wrth addoli duwiau ereill 'gerbron' yr Arglwydd, sef *o'i flaen* neu yn *ei le* ef. *Ac efe a gymerth yn wraig Jezebel*—dynes warthus ar gyfrif ei heilunaddoliaeth, ei chreulondeb, a'i hanfadrwydd o bob math; *merch Ethbaal brenin y Sidoniaid*—yr hwn a elwir 'Ithobalus,' neu 'Itobalus,' gan yr ysgrifenwyr paganaidd. Y mae y gair *baal* yn enw ei thad hi, gan 'mor hoff oedd ef a'i deulu o'r duw hwnw; a merch i eilunaddolwr cenhedlig felly a gymerodd brenin Israel yn wraig, yn groes i gyfraith Duw! *Ac a aeth ac a wasanaethodd Baal*—hyny yw, âi ef a'i wraig ar y cyntaf i Sidon, i addoli Baal yno; hyd nes y cododd efe deml ac allor iddo yn Samaria.

Adn. 32. *Ac efe a gyfododd allor i Baal yn nhŷ Baal*] Adeiladodd deml i Baal yn gyntaf yn Samaria, ac yna gosododd allor a delw i Baal yn y deml hòno, fel na fyddai raid iddo ef a'i wraig fyned mwyach i Sidon i addoli y duw hwnw.

Adn. 33. *Ac Ahab a wnaeth lwyn*] Y mae *asherah*, a gyfieithir yma yn *lwyn*, yn meddwl ond odid *Astarte, Venus,* neu *Priapus,* yr hon oedd yn dduwies drythyll ac aflan i'r eithaf; ac ymddengys iddo sefydlu addoliad hon yn chwanegol at addoliad Baal.

Adn. 34. *Yn ei ddyddiau ef Hiel y Betheliad a adeiladodd Jericho*] Yr hyn a waharddasai Josua dan berygl melldith ar y neb a'i gwnelai. Adeiladodd Hiel hi naill ai yn ei anwybodaeth o felldith fygythiol Josua, neu ynte mewn dirmyg a beiddiad rhyfygus o honi, a hyny ond odid er boddhau Ahab, neu ar ei gais ef; canys crybwyllir y peth yn y fan yma fel chwanegiad at bechodau ereill Ahab. *Yn Abiram ei gyntafanedig y sylfaenodd efe hi, &c.*—y mae y geiriau hyn yn cael eu deall mewn tair ffordd: (1) I arwyddo *annybendod* y gwaith: ar ol i Hiel ddechreu ei hadeiladu ar enedigaeth ei blentyn cyntaf, ei fod yn analluog i'w gorphen hyd enedigaeth ei blentyn olaf, yspaid o 60 neu 70 mlynedd fe allai. (2) I arwyddo *barn* Duw ar yr adeiladydd: ar ol i'w fab hynaf gael ei gymeryd ymaith trwy farwolaeth ar ei sylfaeniad hi, eto ni chymerodd efe rybydd i beidio â'r gwaith, ond aeth yn mlaen, er fod ei blant yn cael eu cymeryd ymaith o un i un nes dyfod i lawr i Segus ei fab ieuangaf, yr hwn hefyd a fu farw ar ei gorpheniad hi. (3) I arwyddo *annuwioldeb* Hiel: ar ol iddo ladd neu aberthu ei fab hynaf ar sylfaeniad y ddinas, i'r dyben i foddhau ei dduwiau, ac ennill eu cynorthwy a'u ffafr hwy; ddarfod iddo aberthu ei fab ieuangaf ar ei gorpheniad hi, mewn ffordd o ddiolch-offrwm iddynt am y cynorthwy a'r ffafr a dderbyniasai. Y mae y cyfieithiad Caldeig yn bleidiol i'r trydydd golygiad, trwy ei fod yn arddangos Hiel fel yn *lladd* ei feibion. *Yn ol gair yr Arglwydd*—yr hwn a gyhoeddwyd oddeutu 550 o flynyddau cyn hyn: gwel ar Jos. vi. 26.

PEN. XVII. Adn. 1. *Ac Elias y Thesbiad, un o breswylwyr Gilead*] Dywed Calmet mai dinas tuhwnt i'r Iorddonen, yn llwyth Gad, yn ngwlad Gilead, oedd Tisbeh neu

Dduw Israel, yr hwn yr ydwyf yn
sefyll ger ei fron, ni bydd y blyn-
yddoedd hyn na gwlith na gwlaw,
ond yn ol fy ngair i.
2 A gair yr Arglwydd a ddaeth
ato ef, gan ddywedyd,
3 Dos oddiyma, a thro tua'r dwy-
rain, ac ymguddia wrth afon Cerith,
yr hon *sydd* ar gyfer yr Iorddonen.
4 Ac o'r afon yr yfi; a mi a ber-
ais i'r cigfrain dy borthi di yno.
5 Felly efe a aeth, ac a wnaeth
yn ol gair yr Arglwydd: canys efe
a aeth, ac a arosodd wrth afon Cer-

Thesbi. Yn llyfr Tobit, pen. i. 2, sonir am *Thisbe* yn llwyth Naphtali; a thybia un o'r awdwyr Iuddewig fod Elias yn cael ei alw yn *Thebsiad*, am ei fod yn ddechreuol o'r lle hwnw, ond iddo fyned i breswylio i Gilead cyn dyfod allan fel proffwyd. Y mae ei hanes yn cael ei dwyn i mewn yn bur ddisymwth, heb son dim am ei dad, na'r llwyth y perthynai iddo. Modd bynag, ymddengys mai proffwyd neillduol i *Israel* ydoedd, gan na chawn ef byth yn proffwydo yn *Juda*. Tybiodd rhai mai *angel Duw* ydoedd, wedi ymddangos am dro mewn natur dyn, i'r dyben i alw dynion yn ol i burdeb mewn athrawiaeth a moesau, oddiwrth yr hwn yr enciliasant; ac ymddengys fel pe byddai rhyw sail i'r dyb hon nid yn unig oddiwrth ei waith yn cael ei gymeryd ymaith ar amserau gan Ysbryd yr Arglwydd, neu yn diflanu, pen. xviii. 12, ond hefyd oddiwrth y modd yr ymadawodd efe â'r byd hwn, 2 Bren. ii. 11. Eto dywed Iago mai '*dyn* ydoedd, yn gorfod dyoddef fel ninau,' pen. v. 17. Tybiodd ereill, oddiwrth ei enw *Elias* neu *Elijah*, 'DUW-JEHOFA,' mai ymgnawdoliad o'r Goruchaf ydoedd: eto nis gallai ef fod y MESSIA, canys ni a'i cawn ef gyda Moses ar y mynydd ar weddnewidiad Crist. Ni bu erioed frenin mor hyf mewn pechod ag Ahab, nac erioed broffwyd mor hyf i'w geryddu a'i fygwth ef ag Elias. *A ddywedodd wrth Ahab*—tybia rhai iddo fod yn argyhoeddi Ahab o'r blaen yn aflwyddiannus; ond yn awr daeth â'r bygythiad a ganlyn ato ef yn enw yr Arglwydd. *Fel mai byw Arglwydd Dduw Israel*—yr hwn yw yr unig wir a'r bywiol Dduw, tra nad yw y duwiau ag yr wyt ti yn eu haddoli ddim ond eilunod meirw a dideimlad; *yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron*—i weddio arno, derbyn fy nghenadwri ganddo, ac i wneuthur ei air ef o bryd i bryd; *ni bydd y blynyddoedd hyn na gwlith na gwlaw*—am dair blynedd a chwe mis, Luc iv. 25, Iago v. 17; *ond yn ol fy ngair i*—nes i mi weddio ar Dduw am symud y farn, a chyhoeddi ei fod wedi gwrando arnaf. Dywed Iago iddo weddio yn gyntaf na byddai wlaw, ac yna drachefn am gael gwlaw.

Adn. 2. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ato ef*] Ar ol iddo draethu y genadwri uchod i Ahab.

Adn. 3. *Dos oddiyma*] O ddinas Samaria; *a thro tua'r dwyrain*—sef tua'r deau-ddwyrain; *ac ymguddia wrth afon Cerith*—rhag Ahab a Jezebel. Yr oedd afon Cerith yn codi yn mynyddoedd Ephraim, ac yn rhedeg i'r Iorddonen heibio i Silo.

Adn. 4. *Ac o'r afon yr yfi*] Hyd oni pharwyf i ti symud oddiyno; *a mi a berais i'r cigfrain dy borthi di yno*—neu 'mi a beraf;' hyny yw, tueddai Duw hwynt i hyny trwy reddf, yr hon a effeithiai mor gryf arnynt hwy ag a wna deddf neu orchymyn ar ddyn. Y mae llawer o wahanol farnau yn bod gyda golwg ar ystyr y gair *orebim*, yr hwn a gyfieithir yma yn *gigfrain*. Myn rhai mai *Arabiaid* a feddylir; ereill, mai *marsiandwyr*, neu *orebey;* ac ereill, mai trigolion *Orbo*, tref yn nghymydogaeth Bethsan neu Scythopolis. Y dyb olaf yw eiddo St. Jerome, yr hwn a dreuliodd rai blynyddau yn Nghaanan, fel y gallai ymbarotoi yn well i gyfieithu ac esbonio yr ysgrythyrau santaidd; ond gellid meddwl nad oes sail dda i'r dyb hon, pan yr ystyriom fod Bethsan oddeutu 35 o filldiroedd yn uwch i'r gogledd nag afon Cerith, lle yr oedd Elias y pryd hyn. Modd bynag, tra y mae pawb yn addef fod *orebim* yn arwyddo *cigfrain*, tybia y gwŷr uchod nad yw yn rhesymol meddwl y buasai Duw yn defnyddio y creaduriaid hyn i borthi ei was, am eu bod yn *aflan* yn ol y gyfraith, Lef. xi. 15. Ond dylent gofio, er fod eu cig yn aflan i'w *fwyta*, at yr hyn yn unig y cyfeiria y gyfraith uchod, nad oedd eu cyffyrddiad hwy â bwyd glân, tra y byddent yn *fyw*, yn peri un aflendid deddfol neu seremoniol ynddo. Yr oedd asynod a chamelod, yr un modd a'r cigfrain, yn greaduriaid aflan; ac eto yr oedd yr Iuddewon yn eu defnyddio hwy yn barhaus i gario eu hymborth a phethau ereill. A chyda golwg ar yr anhawsderau ereill,—megys, 'pa le y gallai cigfrain gael bara a chig?' 'oddiar fwrdd pwy y cymerent y cyfryw?' ac 'onid oeddynt yn barotach i yspeilio y proffwyd, nag i ddwyn bwyd iddo?' —digon yw dywedyd mai *gwyrth* yw y cwbl, ac nad oes dim yn rhy anhawdd i Dduw. Yn hyn mynai Duw ddangos y gall ef ddwyn oddiamgylch ei fwriadau ei hun trwy y moddion annhebycaf a gwaelaf, yn gystal a thrwy y rhai tebycaf a chryfaf; a rhoddi y fath brawf i Elias o'i ofal am dano a'i allu i ddarparu iddo, ag a barai iddo ymddiried yn ngallu a ffyddlondeb Duw yn ngwyneb yr anhawsderau mawrion ac aml hyny i'r rhai yr oedd efe yn agored: canys pa fwyaf anaddas fel offerynau yr ymddanghosai y cigfrain, mwyaf y mawrygid ei hollalluog nerth ef, yr hwn a oruwchlywodraethai eu tueddiadau naturiol hwy; a mwyaf yr annogid yntau i ymddibynu ar y nerth hwnw, yr hwn a arferid fel hyn i ofalu am dano yn ei gyfyngderau a'i beryglon mwyaf. Felly *gwyrth* feunyddiol oedd peri i'r cigfrain ei *borthi* ef fel hyn; ond pa un ai gwyrthiol ai naturiol oedd yr *ymborth*, ni ddywedir i ni. Gallasai Duw, pe mynasai, ei roddi ef i'r cigfrain o arlwyaeth Jezebel i offeiriaid a phroffwydi Baal.

Adn. 5. *Felly efe a aeth*] Gan gwbl gredu gallu a ffyddlondeb Duw i'w borthi ef yno trwy gigfrain.

ith, yr hon *sydd* ar gyfer yr Iorddonen.
6 A'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y bore, a bara a chig brydnawn: ac efe a yfai o'*r* afon.
7 Ac yn ol talm o ddyddiau y sychodd yr afon: oblegid na buasai wlaw yn y wlad.
8 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth ato ef, gan ddywedyd,
9 Cyfod, dos i Sarepta, yr hon *sydd yn perthyn* i Sidon, ac aros yno: wele, gorchymynais i wraig weddw dy borthi di yno.
10 Felly efe a gyfododd, ac a aeth i Sarepta. A phan ddaeth efe at borth y ddinas, wele wraig weddw yn casglu briw-wŷdd; ac efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, atolwg, i mi ychydig ddwfr mewn llestr, fel yr yfwyf.
11 Ac â hi yn myned i'w gyrchu, efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, atolwg, i mi damaid o fara yn dy law.
12 A hi a ddywedodd, *Fel mai* byw yr Arglwydd dy Dduw, nid oes genyf deisen, ond llonaid llaw o flawd mewn celwrn, ac ychydig olew mewn ystên: ac wele fi yn casglu dau o friw-wŷdd, i fyned i mewn, ac i barotoi hyny i mi ac i'm mab, fel y bwytaom hyny, ac y byddom feirw.
13 Ac Elias a ddywedodd wrthi, Nac ofna, dos, gwna yn ol dy air: eto gwna i mi o hyny deisen fechan yn gyntaf, a dwg i mi; a gwna i ti ac i'th fab ar ol hyny.
14 Canys fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Y blawd yn y celwrn ni threulir, a'r olew o'r ys-

---

Adn. 6. *A'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y bore, &c.*] Y mae y LXX, yn y Codex Vaticanus, a rhai o'r hen dadau, yn darllen y geiriau fel hyn: 'a'r cigfrain a ddygent iddo fara y bore, a chig brydnawn;' ond y mae yr holl gyfieithiadau ereill yn cytuno â'r testyn Hebreig.

Adn. 7. *Ac yn ol talm o ddyddiau*] Heb. 'yn niwedd y dyddiau;' hyny yw, yn mhen y *flwyddyn*, fel y meddylir yn gyffredin, ac fel yr arwydda y geiriau yn fynych; *y sychodd yr afon*—am na ddisgynasai y cynar-wlaw na'r diweddar-wlaw i'w dyfrhau hi.

Adn. 8. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ato ef*] I beri iddo fyned i Sarepta, fel y parwyd iddo o'r blaen ddyfod i'r lle hwn, adn. 2, 3.

Adn. 9. *Cyfod, dos i Sarepta*] Yr oedd Sarepta yn sefyll ar lan Môr-y-canoldir, yn ngwlad y Sidoniaid, oddeutu 95 o filldiroedd i'r gogledd-orllewin oddiwrth afon Cerith; a gallai hyn fod i brofi ei ffydd ef, a allai efe ymddiried yn yr Arglwydd, a myned trwy ganol teyrnas Ahab i wlad Jezebel ei brif elynes, lle nad oedd neb yn byw ynddo ond cenhedloedd dienwaededig ac eilunaddolwyr. *Wele, gorchymynais*—darperais neu benodais; canys nid oedd hi eto wedi derbyn y gorchymyn, fel yr ymddengys oddiwrth adn. 12; *i wraig weddw dy borthi di yno*—yr hyn oedd yn gymaint gwyrth a pheri i'r cigfrain ei borthi ef o'r blaen. Ac fe allai fod gwaith Duw yn porthi ei broffwyd, yn gyntaf trwy aderyn aflan, ac yna trwy wraig genhedlig, yr hon a farnai yr Iuddewon yn aflan, yn rhagarwydd o alwad y Cenhedloedd a gwrthodiad yr Iuddewon.

Adn. 10. *A phan ddaeth efe at borth y ddinas, wele yno wraig weddw yn casglu briw-wŷdd*] Sef priciau neu goed mân i'w llosgi. Efe a wyddai ond odid, trwy argraff dwyfol ar ei feddwl, mai hon oedd i'w borthi ef; ac am hyny gorchymynodd iddi ddechreu ar ei gwaith, trwy ddwyn dwfr a bara iddo; canys diamau ei fod ef yn sychedig ac yn newynog ar ol teithio yn agos i gan milldir trwy wres dirfawr.

Adn. 11. *Ac â hi yn myned i'w gyrchu*] I'w thŷ ei hun, yr hwn oedd yn y pen hwnw i'r ddinas; canys wrth weled ei bod yn myned i'w *thŷ*, y ceisiodd y proffwyd ganddi ddwyn bara iddo. Yr oedd hi yn foddlon i roddi iddo y peth oedd ganddi, am y deallai, ond odid oddiwrth ei fantell, mai proffwyd yr Arglwydd ydoedd, adn. 12.

Adn. 12. *Fel mai byw yr Arglwydd dy Dduw*] Er mai un o'r Cenhedloedd oedd hi, eto yr oedd yn addef Duw Israel fel y gwir Dduw, a Duw Elias hefyd. *Nid oes genyf deisen*—fel ag i allu rhoddi tamaid o fara i ti. Nid oedd ganddi ddim ond dyrnaid o flawd mewn llestr pridd, ac ychydig olew mewn potel, heb eu cymysgu a'u gwneyd yn fara eto; a daethai allan i gasglu ychydig danwydd i grasu teisen iddi ei hun a'i mab; ac wedi iddynt fwyta hyny, nid oedd ganddynt ddim i'w ddysgwyl ond *marwolaeth*, gan mor dylawd oeddynt hwy, ac mor drwm oedd y drudaniaeth a'r newyn yn mhob man.

Adn. 13. *Ac Elias a ddywedodd wrthi, Nac ofna*] Y byddi di a'th fab farw o'r newyn hwn; *dos, gwna yn ol dy air*—cymysga y blawd a'r olew, gwna deisenau o'r toes, a chrasa hwynt yn fara: *eto gwna i mi o hyny deisen fechan yn gyntaf*—efe a geisiai hyn, nid o awydd hunanol, ond i brofi ffydd ac ufydd-dod y wraig; canys trwy ei borthi ef yn gyntaf y byddai bendith iddi hi ar y gweddill.

Adn. 14. *Canys fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel*] Yr hwn y deallai y proffwyd fod ganddi hi feddyliau uchel am ei allu a'i ddaioni, adn. 12; *y blawd yn y celwrn ni threulir, a'r olew o'r ystên ni dderfydd*—er tynu o honynt bob dydd; *hyd y dydd y rhoddo yr Arglwydd wlaw ar wyneb y ddaear*—neu hyd y dydd y dygo y ddaear gnydiau toreithiog ar ol gwlaw.

tên ni dderfydd, hyd y ddydd y
rhoddo yr Arglwydd wlaw ar wyneb
y ddaear.
15 A hi a aeth, ac a wnaeth yn ol
gair Elias: a hi a fwytaodd, ac yn-
tau, a'i thylwyth, *yspaid* blwyddyn.
16 Ni ddarfu y celwrn blawd, a'r
ystên olew ni ddarfu, yn ol gair yr
Arglwydd, yr hwn a ddywedasai
efe trwy law Elias.
17 ¶ Ac wedi y pethau hyn y
clafychodd mab gwraig y tŷ, ac yr
oedd ei glefyd ef mor gryf, fel na
thrigodd anadl ynddo.
18 A hi a ddywedodd wrth Elias,
Beth *sydd* i mi *a wnelwyf* â thi, gŵr
Duw? a ddaethost ti ataf i goffâu
fy anwiredd, ac i ladd fy mab?
19 Ac efe a ddywedodd wrthi,
Moes i mi dy fab. Ac efe a'i cy-
merth ef o'i mynwes hi, ac a'i dyg
ef i fyny i ystafell yr oedd efe yn
aros ynddi, ac a'i gosododd ef ar ei
wely ei hun.
20 Ac efe a lefodd ar yr Ar-
glwydd, ac a ddywedodd, O Ar-
glwydd fy Nuw, a ddrygaist ti y
wraig weddw yr ydwyf fi yn ym-
deithio gyda hi, gan ladd ei mab
hi?
21 Ac efe a ymestynodd ar y bach-
gen dair gwaith, ac a lefodd ar yr

---

Adn. 15. *A hi a aeth, ac a wnaeth yn ol gair Elias*] Gan roddi gogoniant i Dduw Israel trwy ufyddhau i'w broffwyd ef; *a hi a fwytaodd, ac yntau, a'i thylwyth*—rhaid fod yr ymadrodd hwn yn cynwys rhai o'i pherthynasau hefyd, neu was a morwyn i weini i'r proffwyd; canys prin y gallwn feddwl y defnyddiesid y gair 'tylwyth' i osod allan ei mab yn unig; *yspaid blwyddyn*—cyn i'w mab hi glafychu. 'Llawer o ddyddiau' yw y darlleniad ar ymyl y ddalen, ac yn y Saesonaeg; a gall ei fod yn cyfeirio at yr holl amser rhwng mynediad Elias i Sarepta a diwedd y newyn: gwel ar pen. xviii. 1.

Adn. 16. *Ni ddarfu y celwrn blawd*] Neu y *celyraid* blawd, a'r *ystenaid* olew. Yr oedd y 'llonaid llaw o flawd' wedi myned yn llonaid celwrn, a'r 'ychydig olew' yn llonaid ystên, adn. 12; ac yr oedd cymaint ag a gymerid allan bob dydd at eu gwasanaeth feunyddiol, yn cael ei gyflenwi yn y fan gan hollalluog nerth Duw. Ni wnaeth blawd nac olew erioed cynyddu gymaint wrth dyfu, ag a wnai y rhai hyn wrth eu treulio. *Yn ol gair yr Arglwydd*—yn adn. 14.

Adn. 17. *Ac wedi y pethau hyn*] Wedi iddynt fod yn mwynhau daioni gwyrthiol Duw iddynt fel hyn am flwyddyn fe allai, adn 15; *clafychodd mab gwraig y tŷ*—dywed yr Iuddewon mai mam Jonah y proffwyd oedd y wraig hon, ac mai Jonah oedd y bachgen hwn ei mab hi; eithr dywed yr ysgrythyr mai Hebread o Gath-hepher, yn llwyth Zabulon, oedd efe, 2 Bren. xix. 25, Jonah i. 9; *fel na thrigodd anadl ynddo*—hyny yw, fel y bu farw.

Adn. 18. *Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, gŵr Duw?*] Fel pe dywedasai, Yn mha beth y niweidiais neu y digiais di? neu, paham y daethost i gartrefu yn fy nhŷ, os dyma y canlyniad o hyny? Y geiriau hyn a ddywedai hi yn ei byrbwylldra a'i gofid meddwl. *A ddaethost ti ataf i goffâu fy anwiredd, ac i ladd fy mab?*—y mae yn debyg y gwyddai hi mai trwy weddi Elias y daethai y sychder presenol, yn gosp ar y wlad; a thybiai mai trwy ei weddi ef y daethai clefyd ac angau i gyfarfod â'i mab hithau, i'w chospi hi am ei phechodau gynt, neu am ei diffyg sylw priod-ol o hono ef er pan ddaethai i'w thŷ. Mewn amseroedd o adfyd yr ydym yn benaf yn iawn ystyried ein cyflwr moesol: y mae cystuddiau allanol yn fynych yn peri i ni chwilio ein calonau oddifewn.

Adn. 19. *Moes i mi dy fab*] I fy mreichiau; *ac efe a'i cymerth ef o'i mynwes hi*—oddiwrth yr hyn y gallwn feddwl nad oedd efe ond plentyn pur ieuanc; *ac a'i dyg i fyny i ystafell*—lle yr arferai efe ei hun fyfyrio, gweddio, a chysgu y nos; *ac a'i gosododd ef ar ei wely ei hun*—tra y byddai ef ar ei liniau yn gweddio yn ei achos.

Adn. 20. *Ac efe a lefodd ar yr Arglwydd*] Gyda thaerineb mawr; *O Arglwydd fy Nuw!*—yn y weddi hon efe a ddadleua, (1) Ei berthynas ei hun â Duw: '*fy* Nuw.' (2) Cyflwr diamddiffyn y fam: 'gwraig *weddw*.' (3) Ei charedigrwydd i broffwyd yr Arglwydd: 'yr ydwyf fi yn *ymdeithio* gyda hi,' gan fyw ar ei bwrdd, lletya yn ei thŷ, a derbyn amgeledd oddiar ei llaw. (4) Mawredd ei thrallod: 'gan *ladd* ei mab hi,' ei hunig blentyn; yr hyn oedd nid yn unig y gofid mwyaf iddi hi, ond hefyd yn ddianrhydedd i wir grefydd yn mhlith y paganiaid oddiamgylch, fel pe buasai Jehofa naill ai yn ddiystyr o'i addolwyr ei hun, neu yn eu *drygu* pryd y dylasai eu hamddiffyn.

Adn. 21. *Ac efe a ymestynodd ar y bachgen dair gwaith*] Fel y gwnaeth Eliseus, 2 Bren. iv. 34, a St. Paul, Act. xx. 10. Meddylir iddo wneuthur hyn i'r dyben i gyfranu *gwres naturiol* i gorff y bachgen, i'w addasu i dderbyn yr ysbryd ymadawedig; a phan y collai y proffwyd trwy hyny beth o'i wres ei hun, efe a orchuddiai gorff y bachgen, ac a 'redai i fyny ac i waered,' fel y gwnaeth Eliseus wedi hyn, i ennill mwy o wres, ac a orweddai arno drachefn, a'r un modd y drydedd waith: gwel ar 2 Bren. iv. 35. Efe a arferai bob moddion naturiol yn ei allu i adfer bywyd, tra y gweddiai ar Awdwr bywyd i arferyd dylanwad gwyrthiol. Y mae moddion naturiol o fewn ein cyraedd ni; a'r rhai goruwchnaturiol a berthynant i Dduw. Dylem bob amser wneyd ein gwaith ein hunain, a gofyn i Dduw wneyd ei waith yntau. *Ac a lefodd ar yr Arglwydd*—tra yr ydoedd yn ymestyn ar

Arglwydd, ac a dywedodd, O Arglwydd fy Nuw, dychweled, atolwg, enaid y bachgen hwn iddo eilwaith.
22 A'r Arglwydd a wrandawodd ar lef Elias; ac enaid y bachgen a ddychwelodd i mewn iddo, ac efe a ddadebrodd.
23 Ac Elias a gymerodd y bachgen, ac a'i dyg ef i waered o'r ystafell i'r tŷ, ac a'i rhoddes ef i'w fam: ac Elias a ddywedodd, Gwel, byw yw dy fab.
24 ¶ A'r wraig a ddywedodd wrth Elias, Yn awr wrth hyn y gwn mai gŵr Duw *ydwyt* ti, ac *mai* gwirionedd *yw* gair yr Arglwydd yn dy enau di.

## PENNOD. XVIII.

AC *ar ol* dyddiau lawer daeth gair yr Arglwydd at Elias, yn y drydedd flwyddyn, gan ddywedyd, Dos, ymddangos i Ahab; a mi a roddaf wlaw ar wyneb y ddaear.
2 Ac Elias a aeth i ymddangos i Ahab. A'r newyn *oedd* dost yn Samaria.
3 Ac Ahab a alwodd Obadiah, yr hwn *oedd* ben-teulu *iddo:* (ac Obadiah oedd yn ofni yr Arglwydd yn fawr:
4 Canys pan ddystrywiodd Jezebel broffwydi yr Arglwydd, Obadiah a gymerodd gant o broff-

---

y bachgen, neu tra yr ydoedd yn rhedeg am ei wres rhwng pob ymestyniad; *O Arglwydd fy Nuw, dychweled, atolwg, enaid y bachgen hwn iddo eilwaith*—nid yw Elias yn gofyn am i'r bachgen gael ei adferyd o lewyg neu lesmair, ond am i'w enaid ddychwelyd iddo. Efe a wyddai fod yr enaid wedi ymadael o'r corff, a bod y bachgen wedi marw yn hollol; a gwyddai hefyd y gallai yr Arglwydd beri i'w enaid ddyfod yn ol iddo, a'i fywhau fel o'r blaen: ac y mae yn dra thebyg ei fod yn credu y gwnai yr Arglwydd hyny, yr hwn a'i cynhyrfai ef trwy ei Ysbryd i ofyn hyn ganddo.

Adn. 22. *Ac enaid y bachgen a ddychwelodd i mewn iddo*] *Al kirbo*, 'i'w *ganol* ef;' *ac efe a ddadebrodd—vaiyechi*, 'efe a ddaeth yn *fyw*.' Y mae y geiriau hyn yn brawf cryf nid yn unig fod ysbryd anfarwol ac anfateriol mewn dyn, ond hefyd y gall ac y gwna yr ysbryd hwnw fodoli ar wahan i'r corff. Arddangosir ef yma fel yn *nghanol* y bachgen, megys twyth neu *spring* yn nghanol peiriant, pa un sydd yn rhoddi bywyd neu symudiad i bob rhan, ac heb ba un y byddai i'r cwbl sefyll. Er fod *ruach* yn cael ei arferyd weithiau i ddynodi *anadl*, eto y mae *nephesh*, y gair a ddefnyddir yma, yn golygu yn gyffredin yr *ysbryd anfarwol*, fel y sylwa Clarke; a lle yr ymddengys fel yn cyfeirio at y *bywyd anifeilaidd*, efe a olyga yn unig y cyfryw fywyd anifeilaidd ag sydd yn effaith ddigyfrwng ac angenrheidiol presenoldeb yr ysbryd anfarwol. Y mae yn rhesymol meddwl ddarfod i gyfryngaeth ddwyfol beri i enaid y bachgen hwn golli pob ymwybodolrwydd o'r hyn a ddygwyddodd iddo yn myd yr ysbrydoedd.

Adn. 23. *Ac Elias a gymerodd y bachgen*] Yn ei freichiau at ei fam. *Gwel, byw yw dy fab!*—ac y mae yn debyg ei fod wedi ei adfer nid yn unig i fywyd, ond i iechyd hefyd.

Adn. 24. *A'r wraig a ddywedodd wrth Elias*] Gyda syndod, llawenydd, a diolchgarwch; *Yn awr wrth hyn y gwn mai gŵr Duw ydwyt ti*—hi a wyddai hyny o'r blaen, adn. 12, 18, a chafodd fwy o sicrwydd yn chwanegiad gwyrthiol a pharhaus y blawd a'r olew yn ol ei air ef, adn. 16; eto, wrth weled nad oedd efe yn gallu iachâu ei mab hi, nac attal ei farwolaeth, ond yn hytrach ddarfod iddo ei *ladd* ef, adn. 18, hi a ddechreuai amau hyny yn ei byrbwylldra a'i gofid: eithr yn awr, ar ol ei fywhau ef trwy weddi Elias, cafodd y sicrwydd mwyaf mai gŵr Duw oedd efe mewn gwirionedd. *Ac mai gwirionedd yw gair yr Arglwydd yn dy enau di*—gwyddai o'r blaen iddo ddywedyd y gwir am y blawd a'r olew, adn. 14; ond yn awr gwybu yn sicrach mai Duw Elias oedd y gwir Dduw, mai crefydd Elias oedd y wir grefydd, a'i fod yntau yn wir broffwyd iddo, ac y cyflawnid yn ddifeth ba beth bynag a ddywedai efe yn enw yr Arglwydd.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Ac ar ol dyddiau lawer*] Yn niwedd y 'tair blynedd a hanner' a goffeir gan ein Harglwydd a'i apostol: gwel ar Luc iv. 25, Iago v. 17. *Yn y drydedd flwyddyn*—ar ol i Elias fyned i fyw i Sarepta. Yr oedd y proffwyd wedi bod yn aros un flwyddyn wrth *afon Cerith* er pan ddechreuasai y sychder, pen. xvii. 7, ac oddeutu dwy flynedd a hanner gyda'r wraig weddw yn *Sarepta*, yr hyn a gysona â geiriau Crist ac Iago; ac yn awr, yn nghanol y drydedd flwyddyn, gorchymynir i Elias ymddangos i Ahab, i'r dyben i roddi terfyn ar yr achos o'r sychder a'r newyn.

Adn. 2. *Ac Elias a aeth i ymddangos i Ahab*] Gan ymddiried yn Nuw am ei ddiogelwch. *A'r newyn oedd drwm yn Samaria*—sef trwy holl deyrnas Samaria neu Israel; a gelwid hi felly, am mai yn ninas Samaria yr oedd llys y brenin: ac yr oedd trymder y newyn yn ei gwneuthur yn fwy peryglus i Elias ymddangos o flaen Ahab, rhag iddo yn ei gynddaredd ladd y proffwyd cyn traethu o hono ei neges.

Adn. 3. *Obadiah, yr hwn oedd ben-teulu iddo*] Yn gofalu am achosion ei deulu, ac yn cael ei barchu yn fawr gan Ahab ar gyfrif ei gallineb a'i ffyddlondeb. *Ac Obadiah oedd yn ofni yr Arglwydd yn fawr*—yr oedd ef yn ŵr pur dduwiol, ac yn addoli Jehofa yn unig. Er fod yn debygol na oddefid iddo ef fyned i fyny i Jerusalem, eto ymddengys ei

wydi, ac a'u cuddiodd hwynt bob yn
ddeg a deugain mewn ogof, ac a'u
porthodd hwynt â bara ac â dwfr)
5 Ac Ahab a ddywedodd wrth
Obadiah, Dos i'r wlad, at bob ffyn-
non ddwfr, ac at yr holl afonydd:
ysgatfydd ni a gawn laswellt, fel y
cadwom yn fyw y ceffylau a'r mulod
fel na adawom i'r holl anifeiliaid
golli.
6 Felly hwy a ranasant y wlad
rhyngddynt i'w cherdded: Ahab a
aeth y naill ffordd ei hunan, ac Ob-
adiah a aeth y ffordd arall ei hunan.
7 ¶ Ac fel yr oedd Obadiah ar y
ffordd, wele Elias yn ei gyfarfod ef:
ac efe a'i hadnabu ef, ac a syrthiodd
ar ei wyneb, ac a ddywedodd, Onid
ti *yw* fy arglwydd Elias?
8 Yntau a ddywedodd wrtho, *Ie*,
myfi: dos, dywed i'th arglwydd,
Wele Elias.
9 Dywedodd yntau, Pa bechod a
wnaethym i, pan roddit ti dy was yn
llaw Ahab i'm lladd?
10 *Fel mai* byw yr Arglwydd dy
Dduw, nid oes genedl na brenhin-
iaeth yr hon ni ddanfonodd fy ar-
glwydd iddi i'th geisio di; a phan
ddywedent, Nid *yw efe yma*, efe a
dyngai y frenhiniaeth a'r genedl na
chawsent dydi.
11 Ac yn awr, *yr wyt* ti yn dy-
wedyd, Dos, dywed i'th arglwydd,
Wele Elias.
12 A phan elwyf fi oddiwrthyt ti,
Ysbryd yr Arglwydd a'th gymer di
lle nis gwn i: a phan ddelwyf i fy-

---

fod ef ac Israeliaid ereill yn addoli Duw Israel yn ddirgel a gwirioneddol, heb blygu i'r lloi aur, nac addoli Baal chwaith. Tybia rhai o'r Iuddewon mai y proffwyd Obadiah oedd hwn; ond tybia ereill fod hwnw yn ddiweddarach.

Adn. 4. *Canys pan ddystrywiodd Jezebel broffwydi yr Arglwydd*] Rhoddid yr enw *proffwyd* nid yn unig i'r rhai a ragddywedent bethau dyfodol, ond hefyd i'r rhai hyny a ymgyflwynent i addysgu y bobl, gweddio, a moliannu Duw. Y mae yn debyg fod ysgolion o'r proffwydi hyn yn aros fyth yn Israel er dyddiau Samuel, 1 Sam. x. 10, a xix. 20; ond ymdrechai y frenhines ddystrywio yr ysgolion, a'r rhai a ddygid i fyny ynddynt, fel na fyddai neb wedi ei adael i hyfforddi y bobl yn y wir grefydd. *Obadiah a gymerodd gant o broffwydi*—ac a guddiodd eu hanner hwynt mewn un ogof, a'r hanner arall mewn ogof arall, oddiwrth greulondeb Jezebel. Er ei fod yn peryglu ei fywyd ei hun wrth fyned ar draws gorchymyn y frenhines, eto efe a wyddai na ddylai un gorchymyn dynol ddirymu gorchymyn Duw. *Ac a'u porthodd hwynt â bara ac â dwfr*—arwydda hyn holl angenrheidiau bywyd, o ba fath bynag.

Adn. 5. *Dos i'r wlad, at bob ffynnon ddwfr, ac at yr holl afonydd*] I'r tiroedd corsiog a morfaog, lle yr oedd mwyaf o obaith am laswellt ar y sychder mawr hwnw. *Fel na adawom i'r holl anifeiliaid golli*—ymddengys fod llawer o honynt wedi trengu eisioes, ac yr oedd y lleill oll mewn perygl.

Adn. 6. *Ahab a aeth y naill ffordd ei hunan*] Gan ofni ymddiried y gorchwyl i neb o'i weision, oddieithr Obadiah; rhag iddynt, os gwelent laswellt, gymeryd eu gwobrwyo gan y perchenogion am gelu y peth oddiwrth y brenin.

Adn. 7. *Ac fel yr oedd Obadiah ar y ffordd*] Yn chwilio y rhan arall o'r wlad am laswellt; *wele Elias yn ei gyfarfod ef*—ar ei daith o Sarepta tua Samaria; *ac efe a'i hadnabu ef*—adnabu Obadiah ef, ar ol ei weled ef o'r blaen yn Samaria, pan yn rhagfynegu y sychder hwn; *ac a syrthiodd ar ei wyneb*—o barch iddo fel proffwyd neillduol i'r Arglwydd. *Onid ti yw fy arglwydd Elias?*—megys y dangosasai Obadiah o'r blaen diriondeb tad at feibion y proffwydi, adn. 4; felly efe a ddangosai yn awr barch mab at y tad hwn i'r proffwydi.

Adn. 8. *Ie, myfi*] Yw Elias; *dos, a dywed i'th arglwydd*— wrth i Elias alw Ahab yn *arglwydd* Obadiah, gall ei fod yn bwriadu cerydd ysgafn i Obadiah am ei alw *ef* yn arglwydd iddo, adn. 7. Ar yr un pryd yr oedd yn dangos parch i Ahab fel brenin, er nad ofnai efe ddyfod i'w wyneb ef fel cenad Brenin y brenhinoedd.

Adn. 9. *Pa bechod a wnaethym i*] Yn erbyn Duw na thithau; *pan roddit ti dy was yn llaw Ahab i'm lladd?*—canys efe a gasglai mai marwolaeth fyddai y canlyniad o ddwyn y fath genadwri i'r brenin dan y fath amgylchiadau: gwel isod.

Adn. 10. *Nid oes genedl na brenhiniaeth*] Yn agos yma; *yr hon ni ddanfonodd fy arglwydd iddi i'th geisio di*—fel y gallai naill ai peri i ti ddwyn gwlaw, neu dy ladd; *a phan ddywedent, Nid yw efe yma*—ni choeliai efe hwynt, nes iddynt fyned ar eu llw nad oeddit yno. Gallwn feddwl i frenin Sidon hefyd dyngu nad oedd Elias yno, am i'r Arglwydd ei guddio ef o'i ŵydd.

Adn. 11. *Ac yn awr yr wyt ti yn dywedyd*] Neu yn gorchymyn i mi wneyd yr hyn a ystyrir gan y brenin yr un peth a'i *dwyllo* ef, am yr hyn y'm lleddir, adn. 12.

Adn. 12. *A phan elwyf fi oddiwrthyt ti*] I gyrchu Ahab atat; *Ysbryd yr Arglwydd a'th gymer di lle nis gwn i*—rhag i Ahab dy ddal a'th ladd. Diamau i anghreifftiau o'r fath gymeryd lle cyn hyn, fel y bu ar ol hyn, 2 Bren. ii. 16, Ezec. iii. 12, 14. *Efe a'm lladd i*—am ddywedyd celwydd bwriadol i'w dwyllo ef, neu am beidio dy ddal ar ol cyfarfod â thi. *Ond y mae dy was di yn ofni yr Arglwydd o'm mebyd*—ac felly ni ewyllysiwn i Ahab dy ladd di, na bod fy hun yn wasan-

negu i Ahab, ac yntau heb dy gael
di, efe a'm lladd i: ond y mae dy
was di yn ofni yr Arglwydd o'm
mebyd.
13 Oni fynegwyd i'm harglwydd
yr hyn a wnaethym i, pan laddodd
Jezebel broffwydi yr Arglwydd, fel
y cuddiais gan ŵr o broffwydi yr
Arglwydd, bob yn ddeng ŵr a deu-
gain mewn ogof, ac y porthais hwynt
â bara ac â dwfr?
14 Ac yn awr ti a ddywedi, Dos,
dywed i'th arglwydd, Wele Elias:
ac efe a'm lladd i.
15 A dywedodd Elias, *Fel mai*
byw Arglwydd y lluoedd, yr hwn
yr wyf yn sefyll ger ei fron, heddyw
yn ddiau yr ymddanghosaf iddo ef.
16 Yna Obadiah a aeth i gyfarfod
Ahab, ac a fynegodd iddo. Ac
Ahab a aeth i gyfarfod Elias.
17 A phan welodd Ahab Elias,
Ahab a ddywedodd wrtho, Onid ti
*yw* yr hwn sydd yn blino Israel?
18 Ac efe a ddywedodd, Ni flin-
ais i Israel; ond tydi, a thŷ dy dad:
am i chwi wrthod gorchymynion yr
Arglwydd, ac i ti rodio ar ol Baalim.
19 Yn awr gan hyny anfon, *a*
chasgl ataf holl Israel i fynydd
Carmel, a phroffwydi Baal, pedwar
cant a deg a deugain, a phroffwydi
y llwyni, pedwar cant, y rhai sydd
yn bwyta ar fwrdd Jezebel.
20 Felly Ahab a anfonodd at holl
feibion Israel, ac a gasglodd y proff-
wydi yn nghyd i fynydd Carmel.
21 Ac Elias a ddaeth at yr holl

---

aethgar i hyny trwy ymaflyd ynot a'th ddal.

Adn. 13. *Oni fynegwyd i'm harglwydd yr hyn a wnaethym i*] Gwel ar adn. 4. Nid mewn ymffrost gwâg y crybwyllai Obadiah hyn, ond i ddangos y byddai yn golled i broffwydi yr Arglwydd os lleddid ef ei hun gan Ahab, am na byddai neb wedi hyny i'w porthi hwynt. Fel pe dywedasai, Os ymddanghosi iddo, efe a'th ladd di, yr hyn a fydd yn golled i'r *byd;* ac os nad ymddanghosi, efe a'm lladd i, yr hyn a fydd yn golled i'r *proffwydi:* ac am hyny esgusoda fi rhag dwyn y genadwri hon ato.

Adn. 14. *Ac yn awr ti a ddywedi*] Gwel ar adn. 11.

Adn. 15. *Fel mai byw Arglwydd y lluoedd*] Yr hwn sydd yn llywodraethu pob creadur yn y nefoedd ac ar y ddaear; *yr hwn yr wyf yn sefyll ger ei fron*—fel ei was a'i broffwyd ef. Efe a roddai y teitl hwn i JEHOFA fel ei darian, dan nawdd a chysgod pa un yr anturiai efe ymddangos i Ahab y dydd hwnw, er mor gynddeiriog ydoedd.

Adn. 16. *Yna Obadiah a aeth i gyfarfod Ahab*] Wedi cael ei gefnogi fel hyn trwy lw difrifol Elias; *ac Ahab a aeth i gyfarfod Elias*—i'r fan lle y dywedasai Obadiah iddo ei weled ef.

Adn. 17. *Onid ti yw yr hwn sydd yn blino Israel*] Trwy attal gwlaw oddiwrthynt bellach er's mwy na thair blynedd trwy dy weddiau, ac felly beri newyn a marwolaeth yn fy nheyrnas! Y mae yn eglur oddiwrth atebiad y proffwyd, mai nid blino Israel trwy wrthwynebu crefydd Baal a olygai efe, fel y tybia rhai esbonwyr.

Adn. 18. *Ni flinais i Israel*] Nid yw y trallodion hyn i'w tadogi i mi fel yr achos o honynt, ond i ti dy hun, a thŷ dy dad; *am i chwi wrthod gorchymynion yr Arglwydd*—y rhai a waharddent i chwi gymeryd duwiau ereill ger ei fron neu 'yn ei le' ef, na cherfio na llunio delwau i'w addoli ef trwyddynt, Exod. xx. 3, 4; *ac i ti rodio ar ol Baalim*—yn chwanegol at dduwiau tŷ dy dad: gwel pen. xvi. 31, 32.

Adn. 19. *Yn awr gan hyny*] Fel y byddo i'r ddadl hon rhyngot ti a minau gael ei phenderfynu; fel y gwybydder pa un yw y gwir Dduw, a phriodol wrthddrych addoliad Israel; ac fel y byddo i'r gwir achos o'r barnau trymion hyn gael ei gantod a'i symud; *anfon*—genadau i bob cŵr o'r wlad; *a chasgl ataf holl Israel*—neu holl benaethiaid y deg llwyth, fel y gallont fod yn dystion goleu o'n holl weithrediadau. *I fynydd Carmel*—nid dinas Carmel yn llwyth Juda, 1 Sam. xxv. 2, ond mynydd Carmel ar lan Môr-y-canoldir, wrth fôr-gilfach Acre, ar gyffiniau Zabulon, Issacar, a Manase, yr hwn oedd yn dra chyfleus i'r bobl o'r holl barthau. *A phroffwydi Baal, pedwar cant a deg-a-deugain*—y rhai oeddynt yn wasgaredig ond odid ar hyd yr holl deyrnas; *a phroffwydi y llwyni, pedwar cant*—neu 450, fel y mae yn y LXX a'r Syriaeg. Meddylir yn gyffredin fod gan y brenin a'r frenhines ddau sefydliad crefyddol gwahanol; fod y brenin a'i weision, yn nghyda'r rhan fwyaf o'i ddeiliaid, yn addoli *Baal*, neu yr haul, arglwydd a meistr y byd: a bod y frenhines a'i morwynion, yn nghydag ereill, yn addoli *Asherah, Astarte*, neu *Venus*, duwiesau y Sidoniaid, yn y llwyni. *Y rhai sydd yn bwyta ar fwrdd Jezebel*—neu yn cael eu cynal gan y frenhines yn amser y newyn presenol, pryd nas gallent gael eu cynaliaeth oddiwrth offrymau y bobl. Tybia rhai ei bod hi yn porthi y ddau ddosbarth hyn o broffwydi ar y pryd.

Adn. 20. *Ac Ahab a anfonodd at holl feibion Israel*] O leiaf at holl benaethiaid a blaenoriaid y deg llwyth; *ac a gasglodd y proffwydi yn nghyd i fynydd Carmel*—sef y 450 o broffwydi *Baal*, y rhai yn unig a laddwyd, adn. 40. Y mae yn debyg na adawai Jezebel i broffwydi y *llwyni* fyned i Carmel ar orchymyn Elias, trwy fod ganddi fwy o awdurdod arnynt hwy nag ar y lleill.

Adn. 21. *Pa hyd yr ydych chwi yn cloffi rhwng dau feddwl?*] Yr oeddynt fel dynion cloffion yn cerdded yn anwastad, gan ysgogi o'r naill ochr i'r llall yn eu cerddediad, heb

bobl, ac a ddywedodd, Pa hyd yr
ydych chwi yn cloffi rhwng dau
feddwl? os yr Arglwydd *sydd*
Dduw, ewch ar ei ol ef; ond os
Baal, ewch ar ei ol yntau. A'r bobl
nid atebasant iddo air.
22 Yna y dywedodd Elias wrth y
bobl, Myfi fy hunan wyf yn fyw o
broffwydi yr Arglwydd; ond proff-
wydi Baal *ydynt* bedwar cant a deng
ŵr a deugain.
23 Rhodder gan hyny i ni ddau
fustach; a dewisant hwy iddynt un
bustach, a darniant ef, a gosodant
ar goed, ond na osodant dân *dano:*
a minau a barotoaf y bustach arall,
ac a'*i* gosodaf ar goed, ac ni roddaf
dân dano.
24 A gelwch chwi ar enw eich
duwiau, a minau a alwaf ar enw yr
Arglwydd: a'r Duw a atebo trwy
dân, bydded efe Dduw. A'r holl
bobl a atebasant ac a ddywedasant,
Da yw y peth.
25 Ac Elias a ddywedodd wrth
broffwydi Baal, Dewiswch i chwi
ûn bustach, a pharotowch ef yn
gyntaf; canys llawer *ydych* chwi:
a gelwch ar enw eich duwiau, ond
na osodwch dân *dano.*
26 A hwy a gymerasant y bustach
a roddasid iddynt, ac a'*i* parotoi-
sant, ac a alwasant ar enw Baal o'r
bore hyd hanner dydd, gan ddy-
wedyd, Baal, gwrando ni; ond nid
*oedd* llef, na neb yn ateb: a hwy

---

wneuthur 'llwybrau uniawn i'w traed,' Heb. xii. 13. Nid yn unig yr oedd rhai Israeliaid yn addoli Duw, ac ereill Baal; ond yr oedd yr un rhai weithiau yn addoli y naill, ac weithiau y llall. Ofnent Jehofa, ac am hyny ni allent ei lwyr adael ef; parchent y brenin a'r frenhines, ac am hyny cofleidient eu crefydd hwythau. Addolent y gwir Dduw, i foddhau eu cydwybod eu hunain; ac addolent dduwiau gau, i ennill ffafr y llys; ac felly nid oedd eu cerddediad yn union ar ol y naill na'r llall: yr oeddynt yn gloff. *Os yr Arglwydd sydd Dduw*—yr hyn nid oedd amheuaeth am dano yn meddwl Elias, er fod amheuaeth yn meddyliau rhai o'r bobl; *ewch ar ei ol ef*—i'w addoli ef yn unig: *ond os Baal*—yw y gwir Dduw, yr hwn a wnaeth y nefoedd a'r ddaear, ac a all beri i dân a dwfr ddisgyn o'r nef; *ewch ar ei ol yntau*—yn unig, am nas gall fod ond *un* gwir Dduw. *A'r bobl nid atebasant iddo air*—gan gywilydd, neu argyhoeddiad cydwybod. Dichon hefyd fod arnynt ofn Ahab, os dywedent yn erbyn Baal; ac ofn Elias, os dywedent yn erbyn yr Arglwydd; canys gwyddent mai trwy air Elias yr oedd y gwlaw wedi ei attal, pen. xvii. 1. Nis gallent ddywedyd gair i'w cyfiawnhau eu hunain, ac ni ddymunent ddywedyd gair i'w condemnio eu hunain; ac felly, fel dynion wedi ymddyrysu, nid atebasant air.

Adn. 22. *Myfi fy hunan wyf yn fyw*] Saes. 'wyf yn *aros* yn broffwyd i'r Arglwydd;' hyny yw, nid oedd yno un proffwyd i Dduw yn wyddfodol ond efe ei hunan, tra yr oedd yno 450 o broffwydi Baal. Neu dichon fod Jezebel wedi lladd pob gwir broffwyd yn Israel, oddieithr Elias; a'r rhai a guddiesid yn yr ogofau, nid oeddynt yn broffwydi ysbrydoledig yn ngwir ystyr y gair: gwel ar adn. 4.

Adn. 23. *Rhodder i ni gan hyny ddau fustach*] Fel y profer trwy wyrth pwy yw y gwir Dduw; *a dewisant hwy iddynt un*—yr oedd proffwydi Baal i gael dewis y goraf o'r ddau fustach, a boddlonai Elias ar y llall; *a darniant ef*—fel y gwneid âg aberthau yn gyffredin: *ond na osodant dân dano*—ac ni roddaf finau dân dan fy aberth inau, ond rhaid i'r hwn sydd Dduw ddarparu tân. Yr oedd yn ymostyngiad mawr yn Nuw ganiatau i Baal fod yn gydymgeisydd âg ef fel hyn; eithr yn y modd hwn y mynai efe gau pob genau, a pheri i bob cnawd fod yn fud ger ei fron ef hyd ddiwedd amser; ac y mae yn debyg fod Elias wedi cael awdurdod i hyn gan Dduw, onidê ni feiddiasai efe benderfynu yr achos yn y ffordd hon.

Adn. 24. *A'r Duw a atebo trwy dân*] Gan mai yr un oedd Baal ac *Apollo*, duw yr *haul*, yr oedd Elias yn rhoddi mantais fawr i broffwydi Baal wrth ofyn *tân*, ac nid *dwfr:* ac er fod y wlad mewn angen dirfawr am *ddwfr*, eto efe a wyddai fod yn rhaid cael *tân* i ysu yr aberth mewn ffordd o *iawn*, cyn y gellid symud y farn drom heibio. *Bydded efe Dduw*—caffed hwnw ei addef a'i gydnabod yn wir Dduw, a'i addoli yn unig o hyn allan. *A'r holl bobl a atebasant ac a ddywedasant, Da yw y peth*—barnasant oll yn unfryd fod hwn yn gynygiad têg a rhesymol.

Adn. 25. *Ac Elias a ddywedodd*] Ar ol cael y ddau fustach i ben y mynydd; *Dewiswch i chwi un bustach, a pharotowch ef yn gyntaf*—yr wyf yn rhoddi y flaenoriaeth i chwi, am nad wyf fi ond *un*, a'ch bod chwithau yn *llawer*. Yr oedd yn ddoethineb yn Elias beri iddynt hwy aberthu yn gyntaf; canys pe buasai iddo ef aberthu yn gyntaf, ac i Jehofa ateb trwy dân, ni wnaethai proffwydi Baal brawf o'u duwiau; ac felly aethai y bobl adref, heb wybod am wendid Baal. *Ond na osodwch dân dano*—rhaid i Baal, yn ol y cytundeb, os gall, ddwyn tân, adn. 23, 24.

Adn. 26. *Ac a alwasant ar enw Baal o'r bore hyd hanner dydd*] O *naw* o'r gloch, pryd yr offrymid yr aberth boreol, hyd *ddeuddeg*, pryd yr oedd yr haul wresocaf, ac yn debycaf i losgi y coed; *gan ddywedyd, Baal, gwrando ni*—nid yn unig er ein mwyn ni, ond er dy fwyn dy hun hefyd, rhag i'th dduwdod fyned i anmharch. *Ond nid oedd llef*—oddiwrth Baal, na thân yn disgyn yn *atebiad* i'w holl alwadau. *A hwy a lamasant ar yr*

a lamasant ar yr allor a wnelsid.
27 A bu ar hanner dydd, i Elias
eu gwatwar hwynt, a dywedyd,
Gwaeddwch â llef uchel: canys duw
*yw* efe; naill ai ymddyddan *y mae*,
neu erlid, neu ymdeithio y mae efe;
fe a allai ei fod yn cysgu, ac *mai
rhaid* ei ddeffro ef.
28 A hwy a waeddasant â llef
uchel, ac a'u torasant eu hunain yn
ol eu harfer â chyllill ac âg ellynod,
nes i'r gwaed ffrydio arnynt.
29 Ac wedi iddi fyned dros han-
ner dydd, a phroffwydo o honynt
nes offrymu yr *hwyr*-offrwm; eto
nid *oedd* llef, na neb yn ateb, nac yn
ystyried.
30 A dywedodd Elias wrth yr
holl bobl, Nesewch ataf fi. A'r
holl bobl a nesasant ato ef. Ac efe
a gyweiriodd allor yr Arglwydd, *yr
hon* a ddrylliwyd.
31 Ac Elias a gymerth ddeuddeg
o gerig, yn ol rhifedi llwythau
meibion Jacob, yr hwn y daethai
gair yr Arglwydd ato, gan ddywed-
yd, Israel fydd dy enw di.
32 Ac efe a adeiladodd â'r meini
allor yn enw yr Arglwydd: ac a
wnaeth ffos o gylch lle dau fesur o
had, o amgylch yr allor.
33 Ac efe a drefnodd y coed, ac a
ddarniodd y bustach, ac a'*i* gosod-
odd ar y coed;

---

*allor*—neu 'o amgylch' yr allor a wnelsid; hyny yw, hwy a *ddawnsiasant* o'i hamgylch, yn ol defod ynfyd eilunaddolwyr wrth aberthu a llefain ar eu duwiau.

Adn. 27. *A bu ar hanner dydd*] Ar ol iddynt fod am dair awr yn gwaeddi ac yn llamu yn ofer; *i Elias eu gwatwar hwynt*—i'r dyben i'w cywilyddio oddiwrth eu hoferedd, a'u dynoethi hwy a'u duwiau yn ngolwg y bobl fel twyllwyr. *Gwaeddwch â llef uchel, canys duw yw efe*—fel y dywedwch chwi, ac felly efe a glyw o'r diwedd. *Naill ai ymddyddan y mae*—â rhywrai ereill o'i addolwyr; neu 'fyfyrio,' fel y mae yn yr Hebraeg, yn nghylch rhywbeth arall, nes y mae yn angenrheidiol gwaeddi yn uwch, i dynu ei sylw at eich achos chwi. *Neu erlid*—ar ol ei elynion, neu 'hela' ysbleddach, fel nad oes ganddo hamdden i dalu sylw i bethau llai eu pwys. *Neu ymdeithio*—fe allai iddo fyned oddicartref am dro, a bod yn rhaid gwaeddi yn uwch, fel y gallo eich clywed oddiyno. *Fe a allai ei fod yn cysgu*—nes y mae yn angenrheidiol gwaeddi yn uwch i'r dyben i'w ddeffro ef. Y mae eilunaddolwyr Asia yn meddwl fod yn angenrheidiol i'w duwiau hwy gael cysgu a gorphwyso; a dywedant fod *Vishnoo* yn cysgu bedwar mis yn y flwyddyn. Y fath feddyliau isel yw y rhai hyn o'u cydmharu â thystiolaeth yr ysgrythyrau am y gwir Dduw! 'Wele, ni huna ac ni chwsg Ceidwad Israel;' (Salm cxxi. 4;) ond y mae ef yn llenwi pob man ar yr un waith, yn gwybod dirgelion y galon, a phob amser yn barod i wrando, ac yn alluog i ganiatau deisyfiadau ei bobl.

Adn. 28. *A hwy a waeddasant â llef uchel*] Yn ol cynghor gwatwarllyd Elias; *a hwy a'u torasant eu hunain yn ol eu harfer â chyllill*—yr hyn oedd yn waharddedig gan y gyfraith, Deut. xiv. 1. Yr oedd hyn yn arferiad nid yn unig gan yr Israeliaid eilunaddolgar, ond hefyd gan y Syriaid, y Persiaid, y Groegiaid, yr Indiaid, a'r Tyrciaid, ac yn wir gan yr holl fyd paganaidd. *Nes i'r gwaed ffrydio arnynt*—gan obeithio, os oedd gwaed y bustach a laddasent yn aneffeithiol i ennill gwrandawiad eu duw, y byddai i'w gwaed eu hunain, ar ol ei daenellu ar eu cyrff, fod yn effeithiol i dynu ei sylw ef.

Adn. 29. *Ac wedi iddi fyned dros hanner dydd*] Sef yn ystod yr holl amser rhwng hanner dydd a thri o'r gloch, pryd y byddid yn parotoi i offrymu yr offrwm hwyrol; *a phroffwydo o honynt*—sef gwaeddi, llamu, a thori eu cnawd â chyllill, ac fe allai ganu hymnau a gweddio hefyd, yr hyn yw ystyr y gair 'proffwydo' yn fynych, adn. 4; *eto nid oedd llef, na neb yn ateb*—eu gweddiau; *nac yn ystyried*—eu cwyn a'u cyflwr gresynol hwynt.

Adn. 30. *A dywedodd Elias wrth yr holl bobl*] Y rhai oeddynt wedi bod yn edrych trwy yr holl ddiwrnod ar ynfydrwydd aflwyddiannus proffwydi Baal; *Nesewch ataf fi*—i weled beth a wnai yntau, wrth alw ar yr Arglwydd. *Ac efe a gyweiriodd allor yr Arglwydd*—yr hon a adeiladwyd yno yn debygol yn amser y barnwyr, canys yr oedd hyny yn ganiataol cyn adeiladu y deml; *yr hon a ddrylliesid*—naill ai am fod yn anghyfreithlon aberthu arni mwyach, neu ynte trwy eilunaddoliaeth y deg llwyth.

Adn. 31. *Ac Elias a gymerth ddeuddeg o gerig*] Un dros bob llwyth, i arwyddo mai un frenhiniaeth ac un eglwys i Dduw a ddylasai y deuddeg llwyth fod, er i ddeg llwyth ymranu oddiwrth y lleill, a myned ar ol duwiau dyeithr. *Israel fydd dy enw di*—gwel ar Gen. xxxii. 28.

Adn. 32. *Ac efe a adeiladodd â'r meini allor*] Gan gael ei gynorthwyo ond odid gan y bobl; *yn enw yr Arglwydd*—sef trwy ei orchymyn a'i awdurdod ef; canys heb hyny buasai yn anghyfreithlon iddo wneyd yr allor hon, nac offrymu heb offeiriad, na gwneyd hyny allan o Jerusalem. *Ac a wnaeth ffos*—i ddal y dwfr a dywelltid yno o amgylch yr allor; *o gylch lle dau fesur o had*—mor llydan a sach a ddaliai ddau *seah* o had, neu oddeutu 28 pwys, neu ddigon o le, medd rhai, i hau oddeutu 4 galwyn o haidd.

Adn. 33. *Ac efe a drefnodd y coed*] I losgi y poeth-offrwm, adn. 38.

Adn. 34. *Llenwch bedwar celyrnaid o ddwfr*] Saes. 'bedair *bariliaid*,' yr hwn a all-

34 Ac a ddywedodd, Llenwch bedwar celyrnaid o ddwfr, a thywelltwch ar y poeth-offrwm, ac ar y coed. Ac efe a ddywedodd, Gwnewch eilwaith; a hwy a wnaethant eilwaith. Ac efe a ddywedodd, Gwnewch y drydedd waith; a hwy a wnaethant y drydedd waith.

35 A'r dyfroedd a aethant o amgylch yr allor, ac a lanwodd y ffos o ddwfr.

36 A phan offrymid yr *hwyr*-offrwm, Elias y proffwyd a nesaodd, ac a ddywedodd, O Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac Israel, gwybydder heddyw mai ti *sydd* Dduw yn Israel, a minau yn was i ti, ac *mai* trwy dy air di y gwnaethym i yr holl bethau hyn.

37 Gwrando fi, O Arglwydd, gwrando fi, fel y gwypo y bobl hyn mai tydi *yw* yr Arglwydd Dduw, ac *mai* ti a ddychwelodd eu calon hwy drachefn.

38 Yna tân yr Arglwydd a syrthiodd, ac a ysodd y poeth-offrwm, a'r coed, a'r cerig, a'r llwch, ac a leibiodd y dwfr *oedd* yn y ffos.

39 A'r holl bobl a welsant, ac a syrthiasant ar eu hwynebau, ac a ddywedasant, Yr Arglwydd efe *sydd* Dduw, Yr Arglwydd efe *sydd* Dduw.

40 Ac Elias a ddywedodd wrthynt hwy, Deliwch broffwydi Baal: na ddianged gŵr o honynt. A hwy a'u daliasant: ac Elias a'u dygodd hwynt i waered i afon Cison, ac a'u lladdodd hwynt yno.

41 ¶ Ac Elias a ddywedodd wrth Ahab, Dos i fyny, bwyta ac ŷf; canys *wele* drwst llawer o wlaw.

---

ent ei gael yn ebrwydd o afon Cison wrth droed y mynydd; neu, os oedd hòno wedi sychu, o'r môr ag ydoedd yr ochr arall i'r mynydd, adn. 19; *a thywelltwch ar y poeth-offrwm ac ar y coed*—hyn a orchymynai efe i wneyd y wyrth yn fwy diamheuol; canys pe buasai yno dân wedi ei gelu dan y coed, fel y gwneid weithiau dan allorau yr eilunod, buasai i'r dwfr ei ddiffodd yn anocheladwy: a dywed Josephus, (Henaf., llyfr viii. pen. 13,) i Elias wahodd y bobl i chwilio a oedd yno dân. Yn ein Beiblau Saesonig cysylltir y darn uchod gydag adn. 13. *Gwnewch eilwaith*—sef dwyn pedwar celyrnaid drachefn. *Gwnewch y drydedd waith*—yr hyn yn y cyfan oedd yn ddeuddeg celyrnaid, yn ol rhifedi y meini, a deuddeg llwyth Israel, adn. 31.

Adn. 35. *A'r dyfroedd a aethant o amgylch yr allor*] Gan ddisgyn oddiar y poeth-offrwm a'r coed, nes llenwi yr holl ffos.

Adn. 36. *A phan offrymid yr hwyr-offrwm*] Hyny yw, ar yr un awr ag yr oedd offeiriaid yr Arglwydd yn offrymu eu haberth prydnawnol yn y deml yn Jerusalem, fel y gallai efe gymysgu ei weddiau gyda'u gweddiau hwy. *O Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac Israel*—trwy hyn efe a ddanghosai ei ffydd yn hen gyfammod Duw, ac adgofiai i'r bobl eu perthynas hwythau â Duw ac â'r patrieirch. *Gwybydder heddyw mai ti sydd Dduw yn Israel*—er i'th bobl Israel fyned ar ol Baal; *a minau yn was i ti*—yn attal y gwlaw, ac yn casglu y bobl i ben Carmel fel hyn, yn ol dy orchymyn di.

Adn. 37. *Gwrando fi, O Arglwydd, gwrando fi*] Dengys hyn daerineb ysbryd y proffwyd mewn mater o gymaint pwys i ogoniant Duw a lles ysbrydol y bobl; *ac mai ti a ddychwelodd eu calon hwy drachefn*—boed iddynt deimlo cyfnewidiad mor rymus yn eu calonau, fel ag i wybod mai dy waith di ydyw, ac fel y danghosont eu bod wedi eu dwyn yn ol drachefn atat ti.

Adn. 38. *Yna tân yr Arglwydd a syrthiodd*] O'r nef yn eu gŵydd hwynt oll; *ac a ysodd y poeth-offrwm a'r coed*—ysodd y poeth-offrwm yn gyntaf, ac wedi hyny y coed, i ddangos nad y coed a ysodd y poeth-offrwm; *a'r cerig a'r llwch*—sef y pridd neu y tyweirch â pha rai, yn nghyda'r cerig, y gwneid i fyny yr allor; *ac a leibiodd y dwfr*—yr hwn, trwy weithrediad y tân, a ddyrchafodd i'r awyr yn ager neu anwedd. Cysegrwyd allorau Moses, Gideon, a Dafydd, trwy dân o'r nef yr un modd, Lef. ix. 24, Barn. vi. 21, 1 Cron. xxi. 26; ond *yswyd* yr allor hon, i arwyddo nad oedd hi i gael ei defnyddio mwyach, ond mai yn Jerusalem yr oedd yn rhaid aberthu i'r Arglwydd.

Adn. 39. *A'r holl bobl a welsant*] Y tân yn disgyn ac yn ysu y cwbl; *ac a syrthiasant ar eu gwynebau*—mewn ofn a pharch i Dduw, ac mewn cywilydd o honynt eu hunain; *ac a ddywedasant*—oddiar lwyr argyhoeddiad am yr amser hwnw; *Yr Arglwydd, efe sydd Dduw!*—neu, yn fwy llythyrenol, 'JEHOFA, efe yw y Duw! JEHOFA, efe yw y Duw!' ac nid *Baal.*

Adn. 40. *Deliwch broffwydi Baal*] Y rhai yr oedd eu bywyd wedi ei fforffetio i'r gyfraith hòno a orchymynai i bob eilunaddolwr gael ei ladd; *na ddianged gŵr o honynt*—canys rhwng eu lludded a'u harchollion yr oedd yn hawdd i dyrfa Israel eu dal hwynt oll. *Ac Elias a'u dygodd hwynt i waered i afon Cison*—fel y byddai i'w gwaed hwynt redeg gyda dwfr yr afon i'r môr, yn lle halogi tir Israel. Yr oeddynt hwy wedi pechu yn erbyn yr Arglwydd a'i bobl, ac yn erbyn llywodraeth Israel hefyd, trwy gynal eilunaddoliaeth yn y wlad, a thynu barnau Duw ar holl Israel; ac ymddengys fod Ahab erbyn hyn yn foddlon iddynt oll gael eu lladd.

Adn. 41. *Ac Elias a ddywedodd wrth Ahab, Dos i fyny*] Oddiwrth afon Cison, lle y buasai efe yn edrych ar broffwydi Baal yn cael eu lladd, i'w babell ar ben Carmel; *bwyta*

42 Felly Ahab a aeth i fyny i fwyta ac i yfed. Ac Elias a aeth i fyny i ben Carmel; ac a ymostyngodd ar y ddaear, ac a osododd ei wyneb rhwng ei liniau;

43 Ac a ddywedodd wrth ei lanc, Dos i fyny yn awr, edrych tua'r môr. Ac efe a aeth i fyny ac a edrychodd, ac a ddywedodd, Nid *oes* dim. Dywedodd yntau, Dos eto saith waith.

44 A'r seithfed waith y dywedodd efe, Wele, gwmwl bychan, fel cledr llaw gŵr yn dyrchafu o'r môr. A dywedodd yntau, Dos i fyny, dywed wrth Ahab, Rhwym *dy gerbyd*, a dos i waered, fel na'th rwystro y gwlaw.

45 Ac yn yr enyd hòno y nefoedd a dduodd gan gymylau a gwynt; a bu gwlaw mawr. Ac Ahab a farchogodd, ac a aeth i Jezreel.

46 A llaw yr Arglwydd oedd ar Elias; ac efe a wregysodd ei lwynau, ac a redodd o flaen Ahab nes ei ddyfod i Jezreel.

## PENNOD XIX.

AC Ahab a fynegodd i Jezebel yr hyn oll a wnaethai Elias; a chyda phob peth, y modd y lladdasai efe yr holl broffwydi â'r cleddyf.

2 Yna Jezebel a anfonodd genad at Elias, gan ddywedyd, Fel hyn y gwnelo y duwiau, ac fel hyn y chwanegont, oni wnaf erbyn y pryd *hwn* y fory dy einioes di fel einioes un o honynt hwy.

3 A phan welodd efe *hyny*, efe a gyfododd, ac a aeth am ei einioes, ac a ddaeth i Beerseba, yr hon *sydd* yn Juda, ac a adawodd ei lanc yno.

---

*ac yf*—yr hyn yr oedd arno ei eisiau yn ddiamau erbyn hyn, gan na chymerasai hamdden i fwyta nac yfed dim trwy y dydd, o bryder dros ei dduw a'i broffwydi; *canys wele drwst llawer o wlaw*—barna rhai fod y gwynt yn awr yn dechreu chwythu yn gryf, fel y gwna yn fynych o flaen gwlaw.

Adn. 42. *Felly Ahab a aeth i fyny i fwyta ac i yfed*] Tra yr oedd Elias yno yn *gweddio* ar yr Arglwydd; *ac a ymostyngodd ar y ddaear*—efe a benliniodd yno, gan roddi ei wyneb rhwng ei liniau, nes yr oedd ei dalcen yn cyffwrdd â'r llawr.

Adn. 43. *Ac efe a ddywedodd wrth ei lanc*] Tybia rhai mai mab y weddw o Sarepta, yr hwn a godasai efe o farw yn fyw, oedd hwn; *edrych tua'r môr*—sef Môr-y-canoldir, yr hwn y gallai efe ei weled o ben Carmel yn gorwedd o'i flaen tua'r gorllewin. *Nid oes dim*—nid oes un cwmwl yn codi, nac un arwydd am wlaw. *Dos eto saith waith*—canys yr oedd Elias, fel y gallwn feddwl, wedi cael hysbysrwydd gan Dduw, mewn atebiad i'w weddi, mai ar y *seithfed* tro yr oedd y llanc i gael yr arwydd a geisiai.

Adn. 44. *Wele gwmwl bychan fel cledr llaw gŵr*—O ran maintioli ymddangosiadol, ac fe allai o ran llun hefyd; *yn dyrchafu o'r môr*—dywed Syr J. Chardin fod ymddanghosiad cwmwl felly yn arwydd cyffredin o ystormydd mawrion yn y môr hwnw. *Rhwym dy gerbyd*—sef rhwymo y meirch wrth y cerbyd, fel y gallai frysio o ben Carmel cyn i'r gwlaw lenwi yr afonydd, a'i rwystro ar ei daith. Ond trwy nad yw y gair *cerbyd* yn y wreiddiol, fe allai mai cyfrwyo ei asyn neu ei farch yw y cwbl a feddylir.

Adn. 45. *Ac yn yr enyd hòno*] Tra yr oedd y llanc yn rhybyddio Ahab i barotoi i'w daith; *y nefoedd a dduodd gan gymylau a gwynt*—ymledodd y cwmwl bychan dros yr holl awyr gan rym y dymhestl; *a bu gwlaw mawr*—yn disgyn yn firydiau ar yr holl wlad. *Ac Ahab a farchogodd, ac a aeth i Jezreel*—yr hon oedd yn nes ato na dinas Samaria o ben Carmel, sef o fewn oddeutu 20 milldir; ac fe allai fod Jezebel yno yn aros am dano y pryd hyn.

Adn. 46. *A llaw yr Arglwydd oedd ar Elias*] Yn chwanegu ei nerth naturiol ef, ac yn ei ddiogelu rhag rhuthr y dymhestl, nes y gallodd redeg i Jezreel yn gynt nag y gallodd Ahab farchogaeth yno; *ac efe a wregysodd ei lwynau*—neu a blygodd ei ddillad llaesion o amgylch ei lwynau, fel na fyddai iddynt ei faglu wrth redeg. Fe allai fod yr ymadrodd, 'llaw yr Arglwydd oedd ar Elias,' yn arwyddo hefyd yr amddiffyniad dwyfol ag oedd o amgylch iddo wrth wneyd ei ymddanghosiad yn Jezreel yn yr un lle ag Ahab.

PEN. XIX. Adn. 1. *Ac Ahab a fynegodd i Jezebel*] Tybia Clarke nad oedd ganddo ef un bwriad drwg yn erbyn y proffwyd wrth fynegu i'r frenhines yr hyn a wnaethai Elias; ond barna Benson ac ereill mai i'w chynddeiriogi hi yn erbyn Jehofa a'i broffwyd y mynegodd efe hyn iddi: modd bynag, hyny fu y canlyniad.

Adn. 2. *Yna Jezebel a anfonodd genad at Elias*] Hi a'i rhybyddiai ef yn mlaenllaw o'i bwriad i'w ladd, o herwydd fod Duw yn ei ragluniaeth rasol a goruwchlywodraethol yn trefnu iddo ef gael cyfle i ddianc. *Fel hyn y gwnelo y duwiau*—y rhai, mewn diystyrwch o JEHOFA, a alwai hi fyth yn *dduwiau*, er iddynt fethu profi eu hunain yn gyfryw ar ben Carmel; neu, os nad oedd *Baal* yn dduw, hi a gredai o hyd fod *Astaroth* felly.

Adn. 3. *A phan welodd efe hyny*] Fod ei fywyd mewn perygl oddiwrth Jezebel, yr hon y gwyddai efe ei bod yn ddigon melldigedig i gyflawni ei bygythiad os gallai; *efe a gyfododd*—o Jezreel, ac a ffôdd am ei einioes i Beerseba, yr hon oedd daith o 86 o filldiroedd yn ddeheuol; *ac a adawodd ei lanc yno*—yn

4 ¶ Ond efe a aeth i'r anialwch
daith diwrnod, ac a ddaeth ac a
eisteddodd dan ferywen; ac a ddeis-
yfodd iddo gael marw: dywedodd
hefyd, Digon yw; yn awr Arglwydd,
cymer fy einioes: canys nid *ydwyf*
fi well na'm tadau.
5 Ac fel yr oedd efe yn gorwedd
ac yn cysgu dan ferywen, wele,
angel a gyffyrddodd âg ef, ac a ddy-
wedodd wrtho, Cyfod, bwyta.
6 Ac efe a edrychodd; ac wele,
deisen wedi ei chrasu ar farwor, a
phiolaid o ddwfr wrth ei ben ef.
Ac efe a fwytaodd ac a yfodd, ac a
gysgodd drachefn.
7 Ac angel yr Arglwydd a ddaeth
drachefn yr ail waith, ac a gy-
ffyrddodd âg ef, ac a ddywedodd,
Cyfod *a* bwyta: canys *y mae* i ti
lawer o ffordd.
8 Ac efe a gyfododd, ac a fwyta-
odd ac a yfodd; a thrwy rym y bwyd
hwnw y cerddodd efe ddeugain ni-
wrnod a deugain nos, hyd Horeb
mynydd Duw.
9 ¶ Ac yno yr aeth efe i fewn
ogof, ac a lettyodd yno. Ac wele,
air yr Arglwydd ato ef; ac efe a
ddywedodd wrtho, Beth *a wnai* di
yma, Elias?
10 Ac efe a ddywedodd, Dygais
fawr sel dros Arglwydd Dduw y
lluoedd; o herwydd i feibion Israel
wrthod dy gyfammod di, a dystryw-
io dy allorau di, a lladd dy broff-

---

Jezreel, fel y gallai fyned yn ol i Sarepta o du y gogledd.

Adn. 4. *Ond efe a aeth i'r anialwch daith diwrnod*] Neu 20 milldir o Beerseba, sef i anialwch Paran, yr hwn oedd yn gorwedd o du y deau i wlad Canaan; *ac a eisteddodd dan ferywen*—ond odid er mwyn cysgod; neu, yn ol rhai, i fod yn ddiogel rhag creaduriaid gwenwynig, y rhai na ddeuant, meddant hwy, yn agos at y pren hwnw; *ac a ddeisyfodd iddo gael marw*—yno trwy law Duw, lle na chai ei elynion wybod am ei farwolaeth; yn lle syrthio trwy law Jezebel, er gorfoledd iddi hi a'i gau-broffwydi. *Digon yw*—yr wyf wedi byw yn ddigon hir, ac nid wyf yn debyg o fod o un wasanaeth mwyach yn mhlith dy bobl Israel; *canys nid ydwyf fi well na'm tadau*—sef henafiaid Israel, y rhai a syrthiasant o'r blaen yn yr anialwch hwnw, ar eu ffordd i Ganaan. Efe a lefarai fel hyn yn debygol am fod ei ymborth wedi darfod; ond nid oedd hyn yn ganmoladwy ynddo.

Adn. 5. *Wele, angel a gyffyrddodd âg ef*] I'w ddihuno. *Cyfod, bwyta*—felly, yn lle gadael iddo farw o newyn, yn ol ei ddeisyfiad ef, gofalodd yr Arglwydd am fwyd iddo i'w nerthu i fyw.

Adn. 6. *Wele, deisen wedi ei chrasu ar farwor*] Yr oedd y marwor, y deisen, a'r dwfr, fel yr ymddengys, wedi eu darparu iddo yn wyrthiol neu oruwchnaturiol.

Adn. 7. *Ac angel yr Arglwydd a ddaeth drachefn*] I'w ddihuno ef eilwaith, ac i beri iddo fwyta yr ail arlwyaeth a ddarparesid iddo yn wyrthiol; *canys y mae i ti lawer o ffordd*—yr oedd oddeutu 130 o filldiroedd o'r fan lle yr oedd Elias yn awr i Horeb.

Adn. 8. *A thrwy rym y bwyd hwnw*] Yr hwn y dylanwadid arno yn barhaus gan yr un gallu gwyrthiol ag a'i parotoisai ar y cyntaf; *y cerddodd efe ddeugain niwrnod a deugain nos*—heb fwyta nac yfed, cysgu na blino; *hyd Horeb mynydd Duw*—lle y cawsai Moses gynt y fath gymundeb â'r Arglwydd. Gan y gallasai Elias gyraedd o'r anialwch i Horeb mewn chwech neu saith o ddyddiau ar hyd y ffordd agosaf, y mae yn debyg iddo fod yn crwydro ar hyd yr anialwch am 40 niwrnod, fel y bu Israel yn yr un lle am 40 mlynedd; er y tybia rhai fod hyn yn cynwys yr holl amser ag y bu efe yn yr anialwch, hyd ei ddychweliad drachefn i dir Israel. Gwelwn yma gynifer o ffyrdd a gymerodd Duw i gadw Elias yn fyw: (1) Efe a borthwyd gan y cigfrain; (2) Trwy gynyddiad gwyrthiol y blawd a'r olew; (3) Wedi hyny gan angel, adn. 6; (4) Ac yn awr, i ddangos nad trwy fara yn unig y bydd byw dyn, efe a gadwyd yn fyw am ddeugain niwrnod heb fwyta nac yfed! Ymprydiodd Moses hefyd am gynifer o ddyddiau yn Horeb, a Christ yn y diffaethwch.

Adn. 9. *Ac yno yr aeth efe i fewn ogof*] Fe allai yr un ogof, neu agen yn y graig, ag y gosodwyd Moses ynddi, tra yr elai gogoniant Duw heibio, Exod. xxxiii. 22. *Ac wele air yr Arglwydd ato ef*—mewn llais hyglyw a dealladwy: canys nis gallwn ni fyned i un man allan o gyraedd llygad, llaw, a gair Duw. 'I ba le yr âf oddiwrth dy Ysbryd, ac i ba le y ffoaf o'th wydd!' Salm cxxxix. 7, &c. *Beth a wnai di yma, Elias?*—math ar gerydd ysgafn; fel pe dywedasai, 'Nid yma y dylit ti fod, ond yn ngwlad Israel, i droi y bobl wrthgiliedig hyny yn ol ataf fi.' Nid Duw a'i danfonodd ef i Horeb, er dywedyd o'r angel, 'Y mae i ti lawer o ffordd,' adn. 7; eithr myned yno o hono ei hun a wnaeth efe, yn ei ofn, ei ddyryswch, a'i brofedigaeth, a Duw yn goddef iddo fyned.

Adn. 10. *Dygais fawr sel dros Arglwydd Dduw y lluoedd*] Ni fûm yn hollol ddiffygiol yn fy ngwaith, ond cyflawnais fy swydd yn selog dros dy anrhydedd, gan beryglu fy einioes; a diangais yma gan nad allwn oddef y dianrhydedd a delid ar dy enw trwy eu cyndyn eilunaddoliaeth a'u drygioni hwy. *O herwydd i feibion Israel wrthod dy gyfammod di*—yr hwn a wnaethost â hwynt yn Horeb, trwy fyned ar ol duwiau dyeithr; *a dystrywio dy allorau di*—fel na chai y rhai ni allent fyned i Jerusalem i addoli, ac a wrthodent ymgrymu i'r lloi aur na Baal, addoli yr Arglwydd wrth yr allorau hyny, mwy na myned i Jerusalem i'w addoli ef; *a lladd dy broff-*

wydi â'r cleddyf: a mi fy hunan a
adawyd: a cheisio y maent ddwyn
fy einioes inau.
11 Ac efe a ddywedodd, Dos allan,
a saf yn y mynydd gerbron yr Ar-
glwydd. Ac wele, yr Arglwydd yn
myned heibio, a gwynt mawr a chryf
yn rhwygo y mynyddoedd, ac yn
dryllio y creigiau o flaen yr Ar-
glwydd; *ond* nid *oedd* yr Arglwydd
yn y gwynt: ac ar ol y gwynt,
daeargryn; *ond* nid *oedd* yr Ar-
glwydd yn y ddaeargryn:
12 Ac ar ol y ddaeargryn, tân;
*ond* nid *oedd* yr Arglwydd yn y tân:
ac ar ol y tân, llef ddystaw fain.
13 A phan glybu Elias, efe a
oblygodd ei wyneb yn ei fantell, ac
a aeth allan, ac a safodd *wrth* ddrws
yr ogof. Ac wele, lef *yn dyfod* ato,
yr hon a ddywedodd, Beth *a wnai*
di yma, Elias?
14 Dywedodd yntau, Dygais fawr
sel dros Arglwydd Dduw y lluoedd;
o herwydd i feibion Israel wrthod dy
gyfammod di, a dystrywio dy all-
orau, a lladd dy broffwydi â'r cledd-
yf: a mi fy hunan a adawyd; a
cheisio y maent fy einioes inau i'w
dwyn hi ymaith.
15 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrtho, Dos, dychwel i'th ffordd i
anialwch Damascus: a phan ddel-
ych, eneinia Hazael yn frenin ar
Syria;
16 A Jehu mab Nimsi a eneini
di yn frenin ar Israel; ac Eliseus
mab Saphat, o Abel-meholah a en-
eini di yn broffwyd yn dy le dy
hun.

---

*wydi â'r cleddyf*—fel y gwnaeth Jezebel, pen. xviii. 4; *a mi fy hunan a adawyd*—gwel ar adn. 18, a pen. xviii. 22; *a cheisio y maent ddwyn fy einioes inau*—yr hyn a barodd i mi ffoi yma.

Adn. 11, 12. *Dos allan*] O'r ogof, *a saf yn y mynydd gerbron yr Arglwydd*—yr oedd Duw yn awr yn ymddwyn at Elias yn debyg fel yr ymddygodd efe at Moses; ac nid yw yn annhebygol fod Elias yn awr yn cael gorchymyn i sefyll yn yr un fan ag y safai Moses, pan ymddatguddiodd Duw iddo ef ar roddiad y ddeddf: gwel Exod. xix. 9, 16. *Ac wele yr Arglwydd yn myned heibio*—cyn i Elias fyned allan o'r ogof, adn. 13; hyny yw, yr oedd ef yn myned heibio yn ei *allu* mawreddog, ond nid yn ei *ras* achubol: yr oedd hwnw i gael ei ddadlenu ar ol hyn. *A gwynt mawr a chryf yn rhwygo y mynyddoedd ac yn dryllio y creigiau*—yr hwn, yn nghyda'r *daeargryn* a'r *tân*, a gynyrchid yn oruwchnaturiol gan nerth hollalluog Duw, neu trwy weinidogaeth ei angylion ef. *Ond nid oedd yr Arglwydd yn y gwynt*—yn ei bresenoldeb achubol, na chwaith yn y *ddaeargryn* na'r *tân;* oblegid y rhai hyny a ddanghosent *allu* JEHOFA yn unig, ac nid ei *bresenoldeb* achubol: yr oeddynt yn arddangosiadau o'r hyn a *allai* efe ei wneuthur, ac nid o'r hyn yr *ewyllysiai* ei wneuthur trwy foddion ereill. *Ac ar ol y tân, llef ddystaw fain*—yn neu trwy yr hon yn unig y bwriadai yr Arglwydd ddwyn yn mlaen ei waith achubol. Ni ddywedir *nad* oedd efe yn hon, fel y dywedir am y gwynt, y ddaeargryn, a'r tân; ac felly gellir meddwl ei *fod* ef yn y llef ddystaw fain. 'Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd,' Zec. iv. 6. Fe allai mai yr addysg a fwriedid i Elias yn hyn oll yw, Nad oedd efe i ryfeddu fod yr Arglwydd heb amlygu ei bresenoldeb grasol ac achubol yn ngwir ddychweliad holl Israel ato ei hun trwy ei *wyrthiau goruwchnaturiol* ar ben Carmel, y rhai a osodir allan yma trwy wynt, daeargryn, a thân; ond fod hyny i gael ei ddwyn oddiamgylch drachefn trwy *lef ddystaw fain*, sef trwy foddion moesol, megys ei bregethiad cyhoeddus ef, a'i addysgiad crefyddol o dŷ i dŷ. Y fath anrhydedd a ddyry Duw yma i bregethiad cyffredin ei weinidogion! Nid oedd y gwyrthiau a wneid yn yr oes apostolaidd yn cael eu bwriadu i achub neb: eu dyben hwy oedd tynu sylw y bobl yn unig at bregethiad yr efengyl, yr hyn, fel 'llef ddystaw fain,' oedd yn allu Duw er iachawdwriaeth. Fel hyn gallwn edrych ar yr holl ddangosiadau mawreddog hyn nid yn unig fel addysg ddelweddol i Elias, ond hefyd fel cerydd iddo am nad arosasai efe yn ngwlad Israel i orphen y gwaith o ddychwelyd y bobl, yn lle dianc i'r anialwch cyn i'r Arglwydd ddyfod allan i weithio yn achubol trwyddo ef.

Adn. 13. *A phan glybu Elias*] Y llef ddystaw fain; *efe a oblygodd ei wyneb yn ei fantell*—mewn parch ac arswyd duwiol wrth bresenoldeb mawreddog Duw, ac mewn ymostyngiad o herwydd ei waeledd a'i anmherffeithrwydd ei hun; *ac a aeth allan*—o'r ogof, i sefyll wrth ei genau hi. *Beth a wnai di yma, Elias?*—yr hyn a ddywedasai Duw wrtho o'r blaen trwy ei angel, a ddywed efe ei hunan wrtho yn awr yn ddigyfrwng.

Adn. 14. *Dywedodd yntau, Dygais fawr sel, &c.*] Yr un atebiad ag o'r blaen: gwel ar adn. 10. Cael yr atebiad hwn eilwaith oedd amcan Duw wrth roddi y gofyniad uchod drachefn, i'r dyben i roddi yr hyfforddiadau a ganlyn i Elias cyn ei anfon yn ol i wlad Israel.

Adn. 15. *Dos, dychwel i'th ffordd i anialwch Damascus*] Nid yw efe yn ewyllysio iddo fyned ar hyd ffordd lle y byddai yn debyg o gyfarfod â Jezebel, na neb arall o'i elynion. *Eneinia Hazael yn frenin ar Syria*—hyny yw, penoda neu cyhoedda ef yn frenin. Y mae yn debyg nad oedd efe i wneuthur dim ond amlygu i Eliseus, oddiwrth yr Arglwydd, y byddai Hazael yn frenin ar Syria: gwel ar 2 Bren. viii. 13.

Adn. 16. *A Jehu mab Nimsi*] Sef *ŵyr* Nimsi, 2 Bren. ix. 2; *a eneini di yn frenin ar*

17 A'r hwn a ddiango rhag cleddyf Hazael, Jehu a'i lladd ef: ac Eliseus a ladd yr hwn a ddiango rhag cleddyf Jehu.

18 A mi a adewais yn Israel saith o filoedd, y gliniau oll ni phlygasant i Baal, a phob genau a'r nis cusanodd ef.

19 ¶ Felly efe a aeth oddiyno, ac a gafodd Eliseus mab Saphat yn aredig, â deuddeg cwpl *o ychain* o'i flaen, ac efe *oedd* gyda'r deuddegfed. Ac Elias a aeth heibio iddo ef, ac a fwriodd ei fantell arno ef.

20 Ac efe a adawodd yr ychain, ac a redodd ar ol Elias, ac a ddywedodd, Atolwg, gad i mi gusanu fy nhad a'm mam, ac *yna* mi a ddeuaf ar dy ol. Ac yntau a ddywedodd wrtho, Dos, dychwel; canys beth a wnaethym i ti?

21 Ac efe a ddychwelodd oddiar ei ol ef, ac a gymerth gwpl o ychain, ac a'u lladdodd, ac âg offer yr ychain y berwodd efe eu cig hwynt, ac a'i rhoddodd i'r bobl, a hwy a fwytasant. Yna efe a gyfododd ac a aeth ar ol Elias, ac a'i gwasanaethodd ef.

## PENNOD XX.

A BENHADAD brenin Syria a gasglodd ei holl lu, a deuddeg brenin ar hugain gydag ef, a meirch, a cherbydau: ac efe a aeth i fyny,

---

*Israel*—trwy weinyddiad Eliseus, 2 Bren. ix. 3; *ac Eliseus—a eneini di yn broffwyd yn dy le dy hun*—yr hwn a osododd efe yn y swydd hòno trwy fwrw ei fantell arno, adn. 19. Bwriedid hyn oll fel rhagfynegiad mai trwy y gwŷr hyn y byddai i Dduw gospi yr Israeliaid dirywiedig, amddiffyn ei achos ei hun, a dial cweryl ei gyfammod.

Adn. 17. *A'r hwn a ddiango rhag cleddyf Hazael, Jehu a'i lladd ef*] Nid yw hyn i'w ddeall fel pe buasai cleddyf Hazael i ddifrodi o flaen cleddyf Jehu, a chleddyf Jehu o flaen cleddyf Eliseus: y meddwl yw, fod Duw wedi penodi y tri hyn i gospi yr Israeliaid gwrthgiliedig am eu heilunaddoliaeth, ac y byddai i'r naill neu y llall gyflawni ei farnau ef arnynt yn ddifeth. *Ac Eliseus a ladd*—gellir deall hyn yn *llythyrenol* am y plant a felldithiodd efe, ac a laddwyd gan eirth, 2 Bren. ii. 24; ac yn *ffugurol* am y rhai y rhagfynegai efe y byddai iddynt gael eu lladd: gwel ar Hos. vi. 5.

Adn. 18. *A mi a adewais yn Israel saith o filoedd*] Y rhai a gadwyd yn rasol rhag yr haint cyffredin, ac am hyny a gedwir hefyd rhag cleddyf y gwŷr uchod; gan hyny yr wyt ti yn camgymeryd wrth feddwl mai tydi a 'adawyd yn unig,' adn. 10. Y mae *saith* yn rhif perffeithrwydd, fel y gwelsom yn fynych; a gall ei fod yma yn arwyddo *amrai* filoedd. *Y gliniau oll ni phlygasant i Baal*—yn cynwys y lloi aur a duwiau Jezebel hefyd; *a phob genau a'r nis cusanodd ef*—ymadrodd cyffredin am *addoli:* gwel Salm ii. 12, a Hos. xiii. 2. Ond yr oedd hyn yn cael ei wneyd weithiau yn llythyrenol; a chrybwylla *Cicero* am ddelw Hercules, yr hon yr oedd ei gên a'i gwefusau wedi eu treulio yn fawr gan fynych gusanau yr addolwyr.

Adn. 19. *Felly efe a aeth oddiyno*] O Horeb i Abel-meholah, ar ei daith trwy anialwch Damascus, adn. 15, 16; *ac a gafodd Eliseus mab Saphat yn aredig*—er ei fod yn fab i ŵr cyfoethog iawn, fel yr ymddengys, yr hyn oedd yn arferiad y pryd hyny; *â deuddeg cwpl o ychain o'i flaen*—yn llusgo deuddeg aradr, meddai rhai; *ac efe oedd gyda'r deuddegfed*—unarddeg o ba rai a weithid gan weision ei dad, ac yntau gyda'r pâr diweddaf, i yru y lleill o'i flaen; a dywed yr Iuddewon fod hyny yn arwydd y byddai iddo ef reoli deuddeg llwyth Israel. *Ac Elias—a fwriodd ei fantell arno ef*—yn arwydd o'i alwad i fod yn broffwyd, adn. 16. Ymddengys fod y fantell hon wedi ei gwneyd o groen blewog, 2 Bren. i. 8.

Adn. 20. *Ac efe a adawodd yr ychain, ac a redodd ar ol Elias*] Gan gael ei gynhyrfu i hyny gan Ysbryd Duw, yr hwn a'i darbwyllodd ef i gredu ei fod, trwy y weithred uchod, wedi cael ei alw i'r swydd broffwydol, er na pharodd Elias iddo ei ganlyn ef. *Gad i mi gusanu fy nhad a'm mam*—neu ganu yn iach iddynt trwy y ddefod arferol, Ruth i. 9, 14; *ac yna mi a ddeuaf ar dy ol*—neu gyda thi, i ba le bynag yr elych. *Dos, dychwel*—i ganu yn iach iddynt; *canys beth a wnaethym i ti*—i'th attal? Fel pe dywedasai, Nid yw y swydd i'r hon y'th alwyd yn gofyn i ti ymddyeithrio yn dy galon oddiwrth dy rieni, na'u dirmygu. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, 'Nid myfi a barodd y cyfnewidiad hwn yn dy galon, ond Ysbryd Duw.'

Adn. 21. *Ac efe a ddychwelodd*] I'r maes lle y buasai yn aredig; *ac a gymerth gwpl o ychain*—adref i dŷ ei rieni; *ac a'u lladdodd*—nid yn aberth, ond yn wledd; *ac âg offer yr ychain*—yr aradr a phethau ereill a ddefnyddid ganddo yn ei waith; *y berwodd efe eu cig hwynt*—gan losgi ei offer i arwyddo ei fod yn ymadael am byth â'i alwedigaeth fydol; *ac a'i rhoddodd i'r bobl*—hyny yw, rhoddodd y cig yn wledd i'w weision y rhai a fuasent yn aredig gydag ef, ac i'w gyfeillion a'i gymydogion y rhai a ddaethant i ganu yn iach iddo. *Yna*—ar ol *ffarwelio* â hwynt a chusanu ei rieni, efe a aeth ymaith ar ol Elias; *ac a'i gwasanaethodd ef*—yn ostyngedig a ffyddlon hyd nes y cymerwyd Elias oddiwrtho i'r nef; ac yr oedd Elias yn ei wasanaethu yntau, trwy ei hyfforddi yn ei swydd newydd.

PEN. XX. Adn. 1. *A Benhadad brenin Syria a gasglodd ei holl lu*] I ryfel yn erbyn Israel. Ei amcan ef oedd helaethu y fuddugoliaeth a wnaethai Benhadad ei dad, pen. xv.

ac a warchaeodd ar Samaria, ac a
ryfelodd i'w herbyn hi.
2 Ac efe a anfonodd genadau at
Ahab brenin Israel, i'r ddinas,
3 Ac a ddywedodd wrtho, Fel
hyn y dywed Benhadad, Dy arian
a'th aur *sydd* eiddof fi; dy wragedd
hefyd, a'th feibion glanaf, *ydynt*
eiddof fi.
4 A brenin Israel a atebodd ac a
ddywedodd, Yn ol dy air di, fy ar-
glwydd frenin, myfi a'r hyn oll *sydd*
genyf *ydym* eiddot ti.
5 A'r cenadau a ddychwelasant,
ac a ddywedasant, Fel hyn yr ym-
adroddodd Benhadad, gan ddywed-
yd, Er i mi anfon atat ti, gan ddy-
wedyd, Dy arian a'th aur, a'th
wragedd, a'th feibion, a roddi di i mi:
6 Eto yn nghylch y pryd *hwn* y
fory yr anfonaf fy ngweision atat ti,
a hwy a chwiliant dy dŷ di, a thai
dy weision: a phob peth dymunol
yn dy olwg a gymerant hwy yn eu
dwylaw, ac a'*i* dygant ymaith.
7 Yna brenin Israel a alwodd holl
henuriaid y wlad, ac a ddywedodd,
Gwybyddwch, atolwg, a gwelwch
mai ceisio drygioni y mae hwn: can-
ys efe a anfonodd ataf fi am fy
ngwragedd, ac am fy meibion, ac
am fy arian, ac am fy aur; ac nis
gommeddais ef.
8 Yr holl henuriaid hefyd, a'r
holl bobl, a ddywedasant wrtho ef,
Na wrando, ac na chytuna *âg ef.*
9 Am hyny y dywedodd efe wrth
genadau Benhadad, Dywedwch i'm
harglwydd y brenin, *Am* yr hyn oll
yr anfonaist ti at dy was ar y cyntaf,
mi a'i gwnaf: ond ni allaf wneuthur
y peth hyn. A'r cenadau a aethant,
ac a ddygasant air iddo drachefn.
10 A Benhadad a anfonodd ato ef,
ac a ddywedodd, Fel hyn y gwnelo
y duwiau i mi, ac fel hyn y chwan-

---

18—20; ond bwriad Duw oedd cospi Israel am eu gwrthgiliad a'u heilunaddoliaeth. *A deuddeg brenin ar hugain gydag ef*—math ar dywysogion neu benaethiaid bychain ar wahanol ardaloedd neu ddinasoedd yn Syria, y rhai a drethid ganddo ef. *Ac a warchaeodd ar Samaria*—sef ar y ddinas frenhinol.

Adn. 2. *I'r ddinas*] Lle yr oedd Ahab a'i wŷr yn ymgadw, heb gynyg myned allan yn erbyn y Syriaid.

Adn. 3. *Dy arian a'th aur sydd eiddof fi*] Nid o gyfiawnder, ond trwy drais. Tybiai Benhadad eu bod cystal ag yn ei feddiant ef eisioes, am y meddyliai nas gallai Ahab ei wrthsefyll ef. *Dy wragedd hefyd*—felly yr oedd ganddo ef amrai wragedd heblaw Jezebel; ac yr oedd gwragedd y brenin a orchfygid yn myned bob amser yn eiddo i'r gorchfygwr. *A'th feibion glanaf*—o'r rhai yr oedd gan Ahab ddeg a thriugain, 2 Bren. x. 1.

Adn. 4. *A brenin Israel a atebodd*] I Benhadad trwy ei genadau; *Yn ol dy air di, fy arglwydd frenin*—yr wyf yn cydsynio â'th gais, i'm rhoddi fy hun a'm heiddo dan deyrnged i ti; neu fod i mi ddal meddiant o honynt mewn ymddarostyngiad i ti, ac wrth dy ewyllys.

Adn. 5, 6. *A'r cenadau a ddychwelasant*] At Ahab eilwaith gydag ail genadwri, ar ol bod yn traddodi y genadwri uchod i Benhadad. *Fel hyn yr ymadroddodd Benhadad, &c.*—fel pe dywedasai, Er i mi o'r blaen hawlio nid yn unig *lywodraeth* ar dy drysorau a'th wragedd a'th blant, fel y darfu i ti fy neall i, ond hefyd *feddiant* gwirioneddol o honynt, ar yr hyn y buaswn y pryd hyny yn boddloni: eto yn awr ni foddlonaf i wneuthur heddwch ar yr ammodau hyny; ond, yn chwanegol at dy drysorau dymunolaf di, rhaid i mi gael trysorau dy *weision* neu dy ddeiliaid hefyd; ac nid arhosaf nes i chwi eu rhoddi i fyny i mi, eithr danfonaf fy milwyr i'th ddinas erbyn y pryd hwn y fory, i'w dwyn hwynt ymaith trwy drais.

Adn. 7. *Yna brenin Israel a alwodd holl henuriaid y wlad*] Cynifer ag oeddynt yn trigiannu yn y brifddinas. *Gwelwch mai ceisio drygioni y mae hwn*—er iddo ffuantu heddwch ar ei gynygiad cyntaf, eto y mae yn amlwg, oddiwrth ei ofyniadau chwanegol, nad yw efe yn bwriadu dim llai na'n hollol ddinystr ni oll; *canys efe a anfonodd ataf fi am fy ngwragedd, &c.*—am fy eiddo personol i fy hun; *ac nis gommeddais ef*—caniateais iddo ei gais, trwy gynyg yr eiddof fi fy hun i fod dan deyrnged iddo. Gwelwn yma fod peth rhinwedd yn aros fyth yn Ahab: tra nad oedd Benhadad yn ceisio dim ond eiddo neillduol Ahab ei *hun*, efe a gydsyniai â'i gais; ond pan yr aeth efe i hawlio eiddo ei *bobl* ef hefyd, ni chaniatäai efe hyny heb eu cydsyniad hwy.

Adn. 8. *Na wrando, ac na chytuna âg ef*] Canys yr oedd yn well gan yr henuriaid a'r holl bobl beryglu eu heinioes mewn gwrthsafiad yn erbyn Benhadad, na derbyn heddwch ar y fath ammodau.

Adn. 9. *Am yr hyn oll yr anfonaist ti at dy was ar y cyntaf*] Mewn perthynas i'm trysorau, fy ngwragedd, a'm plant, adn. 3; *mi a'i gwnaf*—ni a fyddwn dan deyrnged i ti; *ond ni allaf wneuthur y peth hyn*—sef rhoddi i fyny eiddo fy neiliaid hefyd, na gollwng dy weision di i'r ddinas i'w hyspeilio, adn. 6.

Adn. 10. *Fel hyn y gwnelo y duwiau i mi*] Sef dwyn mwy na mwy o felldithion arno, os nad oedd ef yn dywedyd y gwir. *Os bydd pridd Samaria ddigon o ddyrneidiau*—bygythiai falurio Samaria yn *llwch*, ac na byddai yr holl lwch hwnw ddim ond *dyrnaid* i bob un o'i filwyr ef, gan mor luosog oeddynt.

egont, os bydd pridd Samaria ddigon o ddyrneidiau i'r holl bobl sydd i'm canlyn i.

11 A brenin Israel a atebodd ac a ddywedodd, Dywedwch *wrtho,* Nac ymffrostied yr hwn a wregyso *ei arfau,* fel yr hwn sydd yn eu dyosg.

12 A phan glywodd efe y peth hyn (ac efe yn yfed, efe a'r brenhinoedd, yn y pebyll) efe a ddywedodd wrth ei weision, Ymosodwch. A hwy a ymosodasant yn erbyn y ddinas.

13 ¶ Ac wele, rhyw broffwyd a nesaodd at Ahab brenin Israel, ac a ddywedodd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Oni welaist ti yr holl dyrfa fawr hon? wele, mi a'i rhoddaf yn dy law di heddyw, fel y gwypoch mai myfi *yw* yr Arglwydd.

14 Ac Ahab a ddywedodd, Trwy bwy? Dywedodd yntau, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Trwy wŷr ieuainc tywysogion y taleithiau. Ac efe a ddywedodd, Pwy a drefna y fyddin? Dywedodd yntau, Tydi.

15 Yna efe a gyfrifodd wŷr ieuainc tywysogion y taleithiau, ac yr oeddynt yn ddau cant *a* deuddeg ar hugain: ac ar eu hol hwynt efe a gyfrifodd yr holl bobl, cwbl o feibion Israel, yn saith mil.

16 A hwy a aethant allan ganol dydd. A Benhadad *oedd* yn yfed yn feddw yn y pebyll, efe a'r brenhinoedd, y deuddeg brenin ar hugain oedd yn ei gynorthwyo ef.

17 A gwŷr ieuainc tywysogion y taleithiau a aethant allan yn gyntaf: a Benhadad a anfonodd allan, a hwy a fynegasant iddo, gan ddywedyd, Daeth gwŷr allan o Samaria.

18 Ac efe a ddywedodd, Os am heddwch y daethant allan, deliwch hwynt yn fyw; ac os i ryfel y daethant allan, deliwch hwynt yn fyw.

19 Felly yr aethant hwy allan o'r

---

Adn. 11. *Dywedwch wrtho*] Sef wrth Benhadad ymffrostgar, y ddiareb hon: *Nac ymffrostied yr hwn a wregyso ei arfau*—i fyned i'r rhyfel; *fel yr hwn sydd yn eu dyosg*—ar ol gorchfygu ei elynion. Fel pe dywedasai, Nac ymffrostia cyn ennill y fuddugoliaeth; canys y mae damweiniau rhyfel yn ansicr.

Adn. 12. *A phan glywodd efe y peth hyn*] Fod Ahab megys yn gwawdio ei heriad ymffrostgar ef; *ac efe yn yfed*—ac yn feddw, gyda'i frenhinoedd cynghreiriol, er nad oedd eto yn hanner dydd, adn. 16; *efe a ddywedodd wrth ei weision*—am ymbarotoi i ymosod ar y ddinas. *A hwy a ymosodasant*—neu, fel y mae y Lladin yn ei ddarllen, 'a hwy a *amgylchynasant* y ddinas;' canys nid oeddynt eto wedi ymosod arni.

Adn. 13. *Ac wele rhyw broffwyd a nesaodd at Ahab*] Yn debygol un o'r rhai a guddiasai Obadiah mewn ogof, pen. xviii. 4; a thybia *Jarchi* mai Michea mab Jimlah oedd efe, pen. xxii. 8; er y barna ereill mai Elias neu Eliseus ydoedd, wedi ymddyeithro. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*—yr hwn a addawai roddi holl fyddin Benhadad yn llaw Ahab, fel y cai efe un prawf chwanegol mai JEHOFA oedd y *Duw,* ac nid Baal; ac fel y cospid hefyd falchder Benhadad.

Adn. 14. *Trwy bwy*] Y dyry yr Arglwydd y dyrfa fawr hon yn fy llaw i? *Trwy wŷr ieuainc tywysogion y taleithiau*—nid trwy hen filwyr profedig, ond trwy bendefigion ieuainc tyner a moethus, y rhai na buont erioed mewn rhyfel; fel yr ymddanghosai fod y fuddugoliaeth yn hollol trwy ragluniaeth rasol Duw, ac nid i gael ei phriodoli i ddewrder a medrusrwydd yr offerynau. *Pwy a drefna y fyddin?*—neu, fel y mae rhai yn deall y geiriau, 'pwy a ddechreua y frwydr, ai hwy ynte nyni? A ymosodwn ni arnynt hwy, neu a arhoswn ni hyd oni tharawont hwy yn gyntaf?' Ond y mae yn debycach mai yr ystyr yw, 'pwy a *arweinia* y fyddin?' *Dywedodd yntau, Tydi*—y mae y proffwyd yn peri i Ahab *ddechreu,* neu *arwain* y gwŷr ieuainc yn mlaen, (1) I'w cefnogi hwynt i ymladd yn fwy dewr yn mhresenoldeb eu brenin; ac, (2) I brofi a fyddai i Ahab ymddiried mor bell a hyny yn ffyddlondeb Jehofa ei peidio.

Adn. 15. *Yna efe a gyfrifodd wŷr ieuainc tywysogion y taleithiau*] Sef y pendefigion ieuainc a thyner, y rhai oeddynt yn 232 o nifer; *ac ar eu hol hwynt efe a gyfrifodd yr holl bobl*—pawb ag oeddynt yn ninas Samaria yn addas i ryfel; *cwbl o feibion Israel*—Saes. 'y *cwbl* o feibion Israel;' *yn saith mil*—yr un nifer a'r rhai ni phlygasent eu gliniau i Baal, pen. xix. 18; a dywed *Jarchi* mai y rhai hyny oeddynt.

Adn. 16. *A hwy a aethant allan ganol dydd*] Pryd y gwyddent fod y Syriaid yn ciniawa, os nid hefyd yn yfed i ormodedd, fel yr oedd eu brenin a'i gynghreirwyr.

Adn. 17. *A gwŷr ieuainc—a aethant allan yn gyntaf*] Yn fyddin fechan ar eu penau eu hunain, a'r saith mil ereill yn llu ar eu hol hwynt, adn. 19.

Adn. 18. *Os am heddwch y daethant allan*] I gynyg neu ddeisyf ammodau heddwch; *deliwch hwynt yn fyw*—fel y gellid deall rhywbeth trwyddynt am fwriad Ahab: *ac os i ryfel y daethant allan*—y gorchymyn oedd yr un peth, sef eu dal yn fyw, fel y gellid eu holi cyn eu caethgludo neu eu lladd. Yr oedd Benhadad yn ei feddwdod yn gorchymyn yr hyn oedd groes i holl ddeddfau rhyfel yn mhlith pob cenedl, sef *dal* y rhai a ddeuent i geisio heddwch: ac ni wnaethai Ahab felly â'r eiddo ef, adn. 2, 5, 11.

ddinas, *sef* gwŷr ieuainc tywysogion
y taleithiau, a'r llu yr hwn *oedd* ar
eu hol hwynt.
20 A hwy a laddasant bawb ei
ŵr; a'r Syriaid a ffoisant, ac Israel
a'u herlidiodd hwynt: a Benhadad
brenin Syria a ddiangodd ar farch,
gyda'r gwŷr meirch.
21 A brenin Israel a aeth allan,
ac a darawodd y meirch a'r cerbyd-
au, ac a laddodd y Syriaid â lladdfa
fawr.
22 ¶ A'r proffwyd a nesaodd at
frenin Israel, ac a ddywedodd wrtho,
Dos, ymgryfha, gwybydd hefyd, ac
edrych beth a wnelech; canys yn
mhen y flwyddyn brenin Syria a
ddaw i fyny i'th erbyn di.
23 A gweision brenin Syria a
ddywedasant wrtho ef, Duwiau y
mynyddoedd *yw* eu duwiau hwynt,
am hyny trech fuant na ni: ond ym-
laddwn â hwynt yn y gwastadedd,
a ni a'u gorthrechwn hwynt,
24 A gwna hyn; Tyn ymaith y
brenhinoedd bob un o'i le, a gosod
gapteniaid yn eu lle hwynt.
25 Rhifa hefyd i ti lu, fel y llu a
gollaist, meirch am feirch, a cher-
byd am gerbyd: a ni a ymladdwn â
hwynt yn y gwastad-tir, ac a'u gor-
threchwn hwynt. Ac efe a wran-
dawodd ar eu llais hwynt, ac a
wnaeth felly.
26 Ac yn mhen y flwyddyn Ben-
hadad a gyfrifodd y Syriaid, ac a
aeth i fyny i Aphec, i ryfela yn er-
byn Israel.
27 A meibion Israel a gyfrifwyd,
ac oeddynt oll yn bresenol, ac a
aethant i'w cyfarfod hwynt: a meib-
ion Israel a wersyllasant ar eu cyfer

---

Adn. 19. *Felly yr aethant hwy allan o'r ddinas*] I ganol gwersyll y Syriaid.

Adn. 20. *A hwy a laddasant bawb ei ŵr*] Yr hwn a ddaethai i ddal pob un o wŷr Ahab; ac felly lladdasant yn y fan 7,232 o wŷr Benhadad. *A'r Syriaid a ffoisant*—wrth weled cynifer o'u brodyr yn syrthio megys ar unwaith; *ac Israel a'u herlidiodd hwynt*—fel y byddai iddynt eu lladd hwynt oll, neu eu gyru allan o'r wlad. *A Benhadad—a ddiangodd ar farch gyda'r gwŷr meirch*—rhwng dau o honynt, meddai yr Iuddewon, fel y byddai iddynt ofalu am dano yn ei feddwdod.

Adn. 21. *A brenin Israel a aeth allan*] Yn mhellach yn ei erlyniad ar eu hol; canys diamau ei fod ef yn arwain ei fyddin o'r dechre, yn ol cyfarwyddyd y proffwyd, adn. 14; *ac a darawodd y meirch a'r cerbydau*—sef y gwŷr ag oeddynt yn marchogaeth ar y meirch ac yn y cerbydau, gan ddystrywio y meirch a'r cerbydau hefyd; neu ynte eu cymeryd yn yspail; *ac a laddodd y Syriaid â lladdfa fawr*—fel hyn y dybenodd ymffrost balch Benhadad am y tro, trwy i'r Arglwydd eu rhoddi hwynt yn llaw Ahab, adn. 13; ac fel hyn y mae Duw yn fynych yn gwneyd y naill ddyn drwg yn ffrewyll i'r llall!

Adn. 22. *A'r proffwyd a nesaodd at frenin Israel*] Sef yr un a grybwyllwyd o'r blaen, adn. 13. *Dos, ymgryfha, &c.*—ystyria beth sydd yn angenrheidiol i ti ei wneuthur mewn ffordd o barotoad i wrthsefyll bwriadau pellach y Syriaid; *canys yn mhen y flwyddyn*—yn nechre mis Ebrill, pryd y 'byddai y brenhinoedd yn myned allan i ryfel,' 2 Sam. xi. 1; *brenin Syria a ddaw i fyny i'th erbyn di*—ac felly y bu, adn. 26.

Adn. 23. *Duwiau y mynyddoedd yw eu duwiau hwynt*] Nid oedd gan y Cenhedloedd yn y cyffredin un dybiaeth am Dduw mawr nef a daear, eithr addolent dduwiau lleol; a chasglent mai un o dduwiau y mynyddoedd oedd Duw Israel, o herwydd iddynt glywed ond odid mai ar fynydd Sinai y rhoddodd efe y ddeddf i Israel, ac am y tro rhyfedd ar fynydd Carmel yn ddiweddar, a bod gan Israel allorau i Dduw ar fynyddoedd a lleoedd uchel, ac yn enwedig am fod y deml ar fynydd yn Jerusalem, a bod Samaria hefyd ar fynydd, lle y cawsent hwy eu baeddu yn ddiweddar. *Ond ymladdwn â hwynt yn y gwastadedd*—tybient nad oedd gan Dduw neu dduwiau Israel ddim awdurdod mewn lleoedd isel a gwastad, ac am hyny y byddent hwy yn sicr o'u gorthrechu hwynt yno, yn enwedig gan y cai eu meirch a'u cerbydau rhyfel fwy o fantais mewn lle gwastad. Nid oeddynt yn priodoli eu haflwydd i'w hesgeulusdra a'u meddwdod eu hunain, nac i ddewrder yr Israeliaid, ond i allu dwyfol; yr hwn yn wir oedd yn dra amlwg yn y cyfan.

Adn. 24. *Tyn ymaith y brenhinoedd bob un o'i le*] Am nad oeddynt yn ddewrion nac yn fedrus; neu tybient mai y rhai hyny a hudasant y brenin i feddwi, er na chwennychent enwi hyny wrtho ef; *a gosod gapteniaid yn eu lle hwynt*—y rhai a ymladdant yn well na'r brenhinoedd moethus hyny.

Adn. 25. *Rhifa hefyd i ti lu, fel y llu a gollaist*] Casgla fyddin o'r un nifer a'r fyddin o'r blaen, o ran rhif y gwŷr, y meirch, a'r cerbydau.

Adn. 26. *Ac yn mhen y flwyddyn*] Gwel ar adn. 22; *Benhadad a gyfrifodd y Syriaid*—neu a lanwodd ei fyddin yn ol cynghor ei weision, adn. 25; *ac a aeth i fyny i Aphec*—dinas yn llwyth Aser, (gwel ar Jos. xii. 18,) yn ngogledd eithaf y wlad, lle yr oedd gwastadedd mawr Galilea, ac o ba le y gallai y Syriaid gilio yn hawdd i'w gwlad eu hunain os byddai raid.

Adn. 27. *A meibion Israel a gyfrifwyd*] Neu a gasglwyd yn nghyd; *ac oeddynt oll yn bresenol*—heb golli cymaint ag un o'r 7,232, y rhai a ddefnyddiwyd yn y frwydr o'r blaen,

hwynt, fel dwy ddeadell fechan o
eifr; a'r Syriaid oedd yn llenwi y
wlad.
28 ¶ A gŵr i Dduw a nesaodd, ac
a lefarodd wrth frenin Israel, ac a
ddywedodd, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd; O herwydd dywedyd o'r
Syriaid, Duw y mynyddoedd *yw* yr
Arglwydd, ac nid Duw y dyffryn-
oedd *yw* efe; am hyny y rhoddaf yr
holl dyrfa fawr hon i'th law di, *a*
chwi a gewch wybod mai myfi *yw* yr
Arglwydd.
29 A hwy a wersyllasant y naill
ar gyfer y llall saith niwrnod. Ac
ar y seithfed dydd y rhyfel a aeth
yn nghyd: a meibion Israel a laddas-
ant o'r Syriaid gan mil o wŷr traed
mewn un diwrnod.
30 A'r lleill a ffoisant i Aphec,
i'r ddinas; a'r mur a syrthiodd ar
saith mil ar hugain o'r gwŷr a ad-
awsid: a Benhadad a ffôdd, ac a
ddaeth i'r ddinas o ystafell i ystafell.
31 ¶ A'i weision a ddywedasant
wrtho, Wele yn awr, clywsom am
frenhinoedd tŷ Israel, mai brenhin-
odd trugarog *ydynt* hwy: gosodwn,
atolwg, sachlian am ein llwynau,
a rhaffau am ein penau, ac awn at
frenin Israel; ond odid efe a geidw
dy einioes di.
32 Yno y gwregysasant sachlian
am eu llwynau, a rhaffau am eu
penau, ac a ddaethant at frenin Is-
rael, ac a ddywedasant, Benhadad
dy was a ddywed, Atolwg gad i mi
fyw! Dywedodd yntau, *A ydyw*
efe eto yn fyw? fy mrawd *yw*
efe.
33 A'r gwŷr oedd yn dysgwyl yn
ddyfal a *ddeuai dim* oddiwrtho ef,

---

adn. 15; *ac a aethant i'w cyfarfod hwynt*—gan gael eu cefnogi gan goffadwriaeth am eu llwyddiant blaenorol, a gobaith am help yn mhellach gan Dduw. *Fel dwy ddeadell fechan o eifr*—y 232 gwŷr ieuainc oeddynt fel un ddeadell, a'r 7,000 fel y llall, tra yr oedd y Syriaid mor luosog fel ag i lenwi y wlad.

Adn. 28. *A gŵr i Dduw*] Sef y proffwyd a anfonesid at Ahab o'r blaen, adn. 13, 22. *O herwydd dywedyd o'r Syriaid, Duw y mynyddoedd yw yr Arglwydd*—yr hyn oedd yn gabledd ar ei *hollbresenoldeb* ef, fel pe nas gallai efe fod yn y dyffrynoedd hefyd; ac ar ei *hollalluogrwydd*, fel pe nas gallai waredu ei bobl a dial ar ei elynion yn mhob rhyw fan; *am hyny rhoddaf yr holl dyrfa fawr hon i'th law di*—i'w gorchfygu a'u lladd, er anrhydedd i'm priodoliaethau fy hun yn mysg y Syriaid; *a chwi a gewch wybod*—bydd i hyny ar yr un pryd amlygu fy Nuwdod i'r Israeliaid hefyd.

Adn. 29. *A hwy a wersyllasant y naill ar gyfer y llall saith niwrnod*] Y mae yn hynod eu bod heb daro am gyhyd o amser; ond dichon fod Israel yn gwersyllu yr holl ddyddiau hyny ar ran o fynydd Libanus, yr hwn oedd gerllaw, a bod y Syriaid yn ofni ymosod arnynt yno am y rheswm a nodwyd adn. 23. *Ac ar y seithfed dydd y rhyfel a aeth yn nghyd*—trwy i feibion Israel ond odid fyned i lawr i'r gwastadedd. *A meibion Israel a laddasant o'r Syriaid*—y rhai oeddynt oll wedi eu taro gan ddychryn Duw; *gan mil o wŷr traed mewn un diwrnod*—heb i gymaint ag un o wŷr Israel gael ei glwyfo! Ac onid oedd hyn yn profi i'r Syriaid a'r Israeliaid mai JEHOFA oedd *Dduw?*

Adn. 30. *A'r lleill a ffoisant i Aphec*] Yr hon oedd ddinas gaerog ar y gwastadedd hwnw; *a'r mur a syrthiodd ar saith mil ar hugain*—gan ladd y rhan fwyaf o honynt, a chlwyfo y lleill. Fe allai i'r mur syrthio 'trwy wynt angherddol neu ddaeargryn.'—GILL. Neu 'trwy hyrdd-beiriannau yr Israeliaid.'—PATRICK. Neu 'trwy weinidogaeth angylion.'—POOLE. 'Dichon iddynt ymnoddi mewn hen dŵr neu gastell, yr hwn a syrthiodd ar eu penau.'—BOOTHROYD. Ond os gadewir y lythyren *vau* allan o'r gair a gyfieithir *mur*, fel y sylwa KENNICOTT, bydd iddo arwyddo *poethder;* ac felly yr ystyr yw, i *boethwynt* syrthio arnynt oddiwrth yr Arglwydd, yr hwn yr oedd yn angenrheidiol iddo ddyfod allan ei hun i amddiffyn ei allu a'i awdurdod i weithredu hyd yn nod yn y gwastadedd, fel 'Duw y mynyddoedd a'r dyffrynoedd,' adn. 28. *A Benhadad a ffôdd*—o'r naill ystafell i'r llall tra y bu yn y ddinas.

Adn. 31. *Mai brenhinoedd trugarog ydynt hwy*] Wrth y rhai a syrthient yn edifeiriol i'w dwylaw: *gosodwn, atolwg, sachlian am ein llwynau*—i arwyddo ein galar am ein hymosodiad diweddar ar Israel; *a rhaffau am ein penau*—neu, fel y mae yr Arabaeg, 'am ein *gyddfau*,' yn arwydd o'n cydnabyddiad ein bod yn haeddu ein crogi am yr ymgyrch diachos hwnw; *ond odid efe a geidw dy einioes di*—pan welo y fath ymostyngiad edifeiriol ger ei fron. Dywedir i chwech o ddinasyddion Calais ymddwyn yn gyffelyb wrth roddi eu dinas i fyny, yn 1346, i Edward III., brenin Lloegr: gwel yr hanes gan *Syr John Froissart.*

Adn. 32. *Benhadad dy was a ddywed, Atolwg gad i mi fyw!*] Y fath gyfnewidiad hynod, o uchder llwyddiant i ddyfnder trueni! Ychydig yn ol yr oedd Ahab yn crefu am ei fywyd ganddo ef, ar yr ammod o roddi ei drysorau, ei wragedd, a'i blant i fyny iddo. Y fath yw anwadalwch y cyfiwr hwn, fel ag y gall ffon uwchaf yr olwyn yn awr, fod yr isaf yn y man. *A ydyw efe eto yn fyw?*—canys tybiai ei fod wedi ei gladdu dan fur y ddinas, adn. 30. *Fy mrawd yw efe*—nid yn unig maddeuaf iddo fel *gelyn*, ond anrhydeddaf a charaf ef fel *brawd* anwyl. Ond yr oedd hyn yn fwy o ffolineb pechadurus yn Ahab, nag o drugaredd: gwel ar adn. 42.

ac a'*i* cipiasant ar frys: ac a ddy-
wedasant, Dy frawd Benhadad. Dy-
wedodd yntau, Ewch, dygwch ef.
Yna Benhadad a ddaeth allan ato
ef; ac efe a barodd iddo ddyfod i
fyny i'r cerbyd.
34 A *Benhadad* a ddywedodd
wrtho, Y dinasoedd a ddyg fy nhad
i oddiar dy dad di, a roddaf dra-
chefn; a chai wneuthur heolydd i ti
yn Damascus, fel y gwnaeth fy nhad
yn Samaria. A *dywedodd Ahab,* Mi
a'th ollyngaf dan yr ammod *hwn.*
Felly efe a wnaeth gyfammod âg ef,
ac a'i gollyngodd ef ymaith.
35 ¶ A rhyw ŵr o feibion y
proffwydi a ddywedodd wrth ei gy-
mydog trwy air yr Arglwydd, Taro
fi, atolwg. A'r gŵr a wrthododd ei
daro ef.
36 Dywedodd yntau wrtho, O her-
wydd na wrandewaist ar lais yr Ar-
glwydd, wele, pan elech oddiwrth-
yf, llew a'th ladd di. Ac efe a aeth
oddiwrtho ef, a llew a'i cyfarfu ef,
ac a'i lladdodd.
37 Yna efe a gafodd ŵr arall, ac
a ddywedodd, Taro fi, atolwg. A'r
gŵr a'i tarawodd ef, gan *ei* daro a'*i*
archolli.
38 Felly y proffwyd a aeth ymaith,
ac a safodd o flaen y brenin ar y
ffordd, ac a ymddyeithrodd â lludw
ar ei wyneb.
39 A phan ddaeth y brenin heibio,
efe a lefodd ar y brenin, ac a ddy-
wedodd, Dy was a aeth i ganol y
rhyfel, ac wele, gŵr a drôdd heibio,
ac a ddyg ŵr ataf fi, ac a ddywed-
odd, Cadw y gŵr hwn: os gan golli
y cyll efe, yna y bydd dy einioes di
yn lle ei einioes ef, neu ti a deli
dalent o arian.
40 A thra yr oedd dy was yn ym-
droi yma ac acw, efe a ddiangodd.
A brenin Israel a ddywedodd wrtho,
Felly *y bydd* dy farn di; ti a'*i* rhodd-
aist *ar lawr.*

---

Adn. 33. *A'r gwŷr oedd yn dysgwyl yn ddyfal a ddeuai dim oddiwrtho ef*] Rhyw air, edrychiad, neu ymddygiad, a arwyddai ddaioni ac arbediad bywyd i Benhadad; *ac a'i cipiasant ar frys*—llyncasant ar unwaith ei ddywediad, 'fy mrawd yw efe,' i wneyd defnydd o hono o blaid eu meistr; *ac a ddywedasant, Dy frawd Benhadad*—fel pe dywedasent, Ie, dy *frawd* yw efe, a'th *was* hefyd; ac y mae mewn gwir edifeirwch yn crefu am ei fywyd. *Dygwch ef*—dygwch fy anwyl frawd ataf fi; *ac efe a barodd iddo ddyfod i fyny i'r cerbyd*—i wneuthur cyfammod o heddwch.

Adn. 34. *Y dinasoedd a ddyg fy nhad i oddiar dy dad di*] Neu dy henafiaid: gwel ar pen. xv. 20; *a roddaf drachefn*—yn ol i ti. *A chai wneuthur heolydd i ti yn Damascus*—fy mhrifddinas i yn Syria; *fel y gwnaeth fy nhad yn Samaria*—dy brifddinas dithau. Yr oedd hon yn fraint a ganiateid yn fynych gan y naill genedl i'r llall, fel gwobr am ryw wasanaeth neillduol, neu arwydd o gyfeillgarwch, neu ammod heddwch; ac yn yr heolydd hyny caniateid iddynt gario yn mlaen eu masnach a'u crefydd eu hunain mewn llonyddwch, er fod eu crefydd yn wahanol i grefydd y wlad. Caniatawyd hyn i'r Venesiaid yn nhaleithiau Jerusalem yn amser Baldwin II.; i'r Genoaid yn Arcon, neu St. Jean D'Acre; ac i'r Iuddewon yn Llundain, megys yr *Old Jewry*, &c., lle yr oeddynt yn cael byw yn eu ffordd eu hunain, heb i neb eu haflonyddu. *Mi a'th ollyngaf dan yr ammod hwn*—i fyned yn fyw adref i Syria, am yr hyn y cafodd Ahab achos i edifarhau: gwel ar adn. 42, 43.

Adn. 35. *A rhyw ŵr o feibion y proffwydi*] Michea meddai yr Iuddewon, yr hwn a ddaethai at Ahab o'r blaen, adn. 28, a'r hwn yr oedd Ahab yn ei adnabod, adn 41; *a ddywedodd wrth ei gymydog*—wrth un arall o feibion y proffwydi, yr hwn a wyddai y pwysigrwydd o ufyddhau i orchymyn yr Arglwydd; *Taro fi*—am y byddai yn hawddach iddo fyned at Ahab fel milwr archolledig nag fel proffwyd. *A'r gŵr a wrthododd ei daro ef*—am y tybiai mai cais afresymol oedd hyny, er i'r Arglwydd ei orchymyn.

Adn. 36. *O herwydd na wrandewaist ar lais yr Arglwydd*] Yr hwn a orchymynodd i ti fy archolli i; *llew a'th ladd di*—ac felly y bu. Trwy y weithred arwyddocaol hon efe a fwriadai ddangos i Ahab, megys y fforffetiodd y gŵr hwn ei fywyd am wrthod taro y proffwyd, wedi i'r Arglwydd orchymyn hyny; felly ei fod yntau wedi fforffetio ei fywyd am na laddasai efe Benhadad, pan yr oedd yr Arglwydd wedi ei roddi ef yn ei law ef.

Adn. 37. *Yna efe a gafodd ŵr arall*] Ond odid un arall o feibion y proffwydi, yr hwn oedd wedi cael gwers oddiwrth annufydd-dod y llall. *A'r gŵr a'i tarawodd ef*—yn debygol ar ei wyneb, gan ei archolli a'i waedu.

Adn. 38. *Felly y proffwyd a aeth ymaith*] I gyfarfod âg Ahab; *ac a ymddyeithrodd â lludw ar ei wyneb*—fel dyn mewn cyflwr adfydus. Ond yn lle *apher*, 'lludw,' y mae Houbigant ac ereill yn darllen *aphed*, 'rhwymyn,' neu 'gadach,' oddiwrth yr hwn y tardda y gair *ephod*, rhywbeth wedi ei rwymo oddiamgylch. Y mae amrai o'r cyfieithiadau yn ei ddarlen, 'â *gorchudd* ar ei wyneb;' ac felly y deallir ef gan y doctoriaid Iuddewig.

Adn. 39. *Dy was a aeth i ganol y rhyfel, &c.*] Hyn oedd ddammeg, trwy ba un y danghosai efe i Ahab ei gyflwr ei hun, fel yr argyhoeddid ef o'i bechod a'i ynfydrwydd, fel y gwnaethai Nathan â Dafydd, 2 Sam. xii. 1, &c.

Adn. 40. *A thra yr oedd dy was yn ym-*

41 Ac efe a frysiodd, ac a dynodd
ymaith y lludw oddiar ei wyneb: a
brenin Israel a'i hadnabu ef, mai
o'r proffwydi yr *oedd* efe.
42 Ac efe a ddywedodd wrtho,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd; O
herwydd i ti ollwng ymaith o'*th* law
y gŵr a nodais i'w ddyfetha, dy
einioes di fydd yn lle ei einioes ef,
a'th bobl di yn lle ei bobl ef.
43 A brenin Israel a aeth i'w dŷ
ei hun yn drist ac yn ddigllawn,
ac a ddaeth i Samaria.

## PENNOD XXI.

A DYGWYDDODD ar ol y peth-
au hyn, fod gwinllan gan Naboth
y Jezreeliad, yr hon *oedd* yn Jezreel,
wrth balas Ahab brenin Samaria.
2 Ac Ahab a lefarodd wrth Nab-
oth gan ddywedyd, Dyro i mi dy
winllan, fel y byddo hi i mi yn ardd
lysiau, canys *y mae* hi yn agos i'm
tŷ i: a mi a roddaf i ti am dani hi
winllan well na hi; *neu,* os da fydd
genyt, rhoddaf i ti ei gwerth hi yn
arian.
3 A Naboth a ddywedodd wrth
Ahab, Na ato yr Arglwydd i mi
roddi trefdadaeth fy henafiaid i ti.
4 Ac Ahab a ddaeth i'w dŷ yn
athrist ac yn ddigllawn, o herwydd
y gair a lefarasai Naboth y Jezreel-
iad wrtho ef; canys efe a ddywed-
asai, Ni roddaf i ti drefdadaeth fy
henafiaid. Ac efe a orweddodd ar
ei wely, ac a drôdd ei wyneb ymaith,
ac ni fwytâi fara.
5 ¶ Ond Jezebel ei wraig a ddaeth
ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Pa-
ham y mae dy ysbryd *mor* athrist, ac
nad wyt yn bwyta bara?
6 Ac efe a ddywedodd wrthi, O
herwydd i mi lefaru wrth Naboth y
Jezreeliad, a dywedyd wrtho, Dyro
i mi dy winllan er arian; neu, os
myni di, rhoddaf i ti winllan am
dani. Ac efe a ddywedodd, Ni rodd-
af i ti fy ngwinllan.
7 A Jezebel ei wraig a ddy-

---

*droi yma ac acw*] Mewn diofalwch, neu yn cyflawni rhyw orchwylion ereill; *efe a ddiangodd*—sef y gŵr a roddesid yn fy nghadwraeth i dan y bygythiad y byddai i mi fy hun fforffetio fy einioes os gadawn iddo ddianc. *A brenin Israel a ddywedodd wrtho*—fel y dywedasai Dafydd wrth Nathan, 2 Sam. xii. 5. *Felly y bydd dy farn di*—neu dy farnedigaeth: ti a haeddit golli dy einioes am adael iddo ddianc. Ond ychydig a feddyliai Ahab ei fod yma yn cyhoeddi ei ddedfryd ei hun.

Adn. 41. *Ac efe a frysiodd*] I dynu ymaith y gorchudd oddiar ei wyneb, adn. 38; *a brenin Israel a'i hadnabu ef*—ar ol cael mantais i weled ei wyneb, yn gystal ag oddiwrth ei gyfarchiad canlynol.

Adn. 42. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Yr hwn a'm hanfonodd i atat yn y dull hwn; *O herwydd i ti ollwng ymaith o'th law y gŵr a nodais i'w ddyfetha*—sef Benhadad, yr hwn gyda'i bobl a gablasant Dduw, adn. 28, pa bechod oedd i'w gospi â marwolaeth, Lef. xxiv. 16; *dy einioes di fydd yn lle ei einioes ef*—yr hyn a gyflawnwyd yn mhen oddeutu tair blynedd, pryd y lladdwyd Ahab gan y Syriaid, pen. xxii. 34; *a'th bobl di yn lle ei bobl ef*—yr hyn a gyflawnwyd trwy law Hazael, 2 Bren. viii. 12, a x. 32.

Adn. 43. *A brenin Israel a aeth i'w dŷ ei hun*] Neu *tua'i* dŷ ei hun, yr hwn oedd yn Samaria; *yn drist*—o herwydd y ddedfryd angeuol hon arno ei hun a'i bobl; *ac yn ddigllawn*—wrth Michea am ei chyhoeddi, pen. xxii. 8. Nid oes air o son am Ahab yn tristau am ei bechod, nac yn ddig wrtho ei hun am ei gyflawni. Fel hyn tröwyd holl lawenydd ei fuddugoliaeth ef yn alar!

PEN. XXI. Adn. 1. *Fod gwinllan gan Naboth*] Yr hon oedd wedi disgyn iddo yn etifeddiaeth oddiwrth ei henafiaid; *wrth balas Ahab*—canys yr oedd ganddo ddau balas o leiaf; un yn Jezreel, a'r llall yn ninas Samaria.

Adn. 2. *Dyro i mi dy winllan*] Y mae cais Ahab yn ymddangos ar yr olwg gyntaf yn dêg ac anrhydeddus: (1) Yr oedd hi yn agos i balas Ahab; (2) Yr oedd arno ei heisiau yn ardd *lysiau* at wasanaeth ei deulu; neu, fe allai, yn ardd *flodau*, i ymrodio ynddi; ac, (3) Yr oedd yn foddlon i roddi gwinllan well am dani, neu ei phrynu am yr hyn a dalai.

Adn. 3. *Na ato yr Arglwydd i mi roddi trefdadaeth fy henafiaid i ti*] Yr hyn a fuasai yn groes i'r gyfraith, Lef. xxv. 23. Efe a allasai ei gwerthu hyd y jubili; ond mynai Ahab gael meddiant parhaus o honi.

Adn. 4. *Ac Ahab a ddaeth i'w dŷ yn athrist*] Am na chawsai winllan Naboth; *ac yn ddigllon*—am fod un o'i ddeiliaid ei hun wedi gwrthod cais ei frenin. *Ac efe a orweddodd ar ei wely*—yr oedd ei siomedigaeth mor fawr nes yr aeth i'w wely, gan droi ei wyneb oddiwrth bawb; *ac ni fwytâi fara*—fel plentyn anfoddog wedi sori. Er ei fod yn frenin ar ddeg rhan o ddeuddeg o holl wlad ddymunol Canaan, ac yn meddu cyfoeth y deyrnas, anrhydedd yr orsedd, a phleserau y llys wrth ei ewyllys, eto ni wnai hyn oll mohono yn ddedwydd, heb gael gwinllan Naboth!

Adn. 5. *Ond Jezebel ei wraig a ddaeth ato*] Ar ol clywed gan rai o'r gweinidogion fod rhyw dristwch dirfawr wedi meddiannu eu meistr, fel na fwytäai fel arferol.

Adn. 6. *Ac efe a ddywedodd wrthi*] Yr holl achos o'i ofid, a'r modd y bu rhyngddo a Naboth.

wedodd wrtho, Ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel? cyfod, bwyta fara, a llawenyched dy galon; myfi a roddaf i ti winllan Naboth y Jezreeliad.

8 Felly hi a ysgrifenodd lythyrau yn enw Ahab, ac a'u seliodd â'i sêl ef, ac a anfonodd y llythyrau at yr henuriaid, ac at y penaethiaid *oedd* yn ei ddinas yn trigo gyda Naboth.

9 A hi a ysgrifenodd yn y llythyrau, gan ddywedyd, Cyhoeddwch ympryd, a gosodwch Naboth uwchben y bobl.

10 Cyflewch *hefyd* ddau ŵr, o feibion y fall, gyferbyn âg ef i dystiolaethu i'w erbyn ef, gan ddywedyd, Ti a geblaist Dduw a'r brenin. Ac *yna* dygwch ef allan, a llabyddiwch ef, fel y byddo efe marw.

11 A gwŷr ei ddinas, *sef* yr henuriaid a'r penaethiaid, y rhai oedd yn trigo yn ei ddinas ef, a wnaethant yn ol yr hyn a anfonasai Jezebel atynt hwy, *ac* yn ol yr hyn oedd ysgrifenedig yn y llythyrau a anfonasai hi atynt hwy.

12 Cyhoeddasant ympryd, a chyfleasant Naboth uwchben y bobl.

13 A dau ŵr, o feibion y fall, a ddaethant, ac a eisteddasant ar ei gyfer ef: a gwŷr y fall a dystiolaethasant yn ei erbyn ef, *sef* yn erbyn Naboth, gerbron y bobl, gan ddywedyd, Naboth a gablodd Dduw a'r brenin. Yna hwy a'i dygasant ef allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant ef â meini, fel y bu efe farw.

14 Yna yr anfonasant hwy at Jezebel, gan ddywedyd, Naboth a labyddiwyd, ac a fu farw.

15 A phan glybu Jezebel labyddio Naboth, a'i farw, Jezebel a ddywedodd wrth Ahab, Cyfod, perchenoga winllan Naboth y Jezreeliad, yr hwn a wrthododd *ei* rhoddi i ti er arian; canys nid byw Naboth, eithr marw yw.

16 A phan glybu Ahab farw Naboth, Ahab a gyfododd i fyned i waered i winllan Naboth y Jezreeliad, i gymeryd meddiant ynddi.

17 A gair yr Arglwydd a ddaeth at Elias y Thesbiad, gan ddywedyd,

18 Cyfod, dos i waered i gyfarfod Ahab brenin Israel, yr hwn *sydd*

---

Adn. 7. *Ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel*] Ac eto yn cael dy ddiystyru gan dy ddeiliaid dy hun! *Myfi a roddaf i ti winllan Naboth*—nac ymflina mwyach yn ei chylch hi, eithr gad yr achos yn fy llaw i: mi a fynaf y winllan yn eiddo i ti, heb i ti orfod ei phrynu, na rhoddi un arall yn ei lle.

Adn. 8. *Felly hi a ysgrifenodd lythyrau yn enw Ahab*] Gan gymeryd arni ei fod ef yn rhy afiach i'w hysgrifenu ei hun; *ac a'u seliodd â'i sêl ef*—i roddi awdurdod brenhinol iddynt; *ac a anfonodd y llythyrau at yr henuriaid*—a'r prif swyddogion ereill yn ninas Jezreel, lle yr oedd Naboth yn byw.

Adn. 9. *Cyhoeddwch ympryd*] Fel pe buasai Naboth wedi cyflawni rhyw bechod mawr yn Jezreel, yr hwn oedd yn debyg o dynu barn Duw ar y ddinas a'r wlad, onid ymostyngid yn ddioed o'i herwydd; *a gosodwch Naboth uwchben y bobl*—i sefyll ar esgynlawr uchel yn y llys, fel y gallai pawb ei weled ef yn amser ei brawf, a chlywed beth a ddywedid o'i blaid neu yn ei erbyn.

Adn. 10. *Cyflewch hefyd ddau ŵr o feibion y fall gyferbyn âg ef*] Ar yr esgynlawr. Rhaid y gwyddai y swyddogion mai dyfais oedd hyn i gymeryd ymaith fywyd Naboth ar gam, pan yr oeddynt i osod dau adyn diwerth a drygionus fel hyn i dyngu anudon yn ei erbyn ef am wobr. *Ti a geblaist Dduw a'r brenin*—am gablu *Duw*, yr oedd efe i farw, Lef. xxiv. 16; ac am gablu y *brenin*, yr oedd ei feddiannau i gael eu fforffetio i'r brenin, yr hyn oedd amcan Jezebel. *Ac yna dygwch ef allan*—o'r ddinas, i'w labyddio i farwolaeth.

Adn. 11, 12. *A gwŷr ei ddinas—a wnaethant yn ol yr hyn a anfonasai Jezebel*] Yr hyn nid yw yn rhyfedd, pan yr ystyriom eu bod wedi bwrw ymaith ofn Duw, ac ymgaledu mewn eilunaddoliaeth, ac ymwerthu i gyflawni pob drygioni; ac y mae yn debyg na feiddient anufyddhau i orchymyn Jezebel, yr hon y gwyddent ei bod yn llywodraethu Ahab yn mhob peth, rhag iddynt hwythau gael eu lladd am wrthod lladd Naboth.

Adn. 13. *O feibion y fall*] Neu 'feibion *Belial;*' gwel ar Deut. xiii. 13; *a'i llabyddiasant ef â meini*—a'i feibion hefyd, (2 Bren. ix. 26,) fel na byddai i neb o honynt ddial gwaed eu tad, na hawlio ei etifeddiaeth ef mwyach.

Adn. 14. *Yna yr anfonasant hwy at Jezebel*] Y hon y gwyddent mai ei dyfais hi yn unig oedd ei ladd ef, ac y byddai yn dda ganddi glywed y newydd, gan fod Naboth, fel y meddylia rhai, yn un o'r 'saith mil na phlygasent eu gliniau i Baal,' pen. xix. 18.

Adn. 15. *Cyfod*] Oddiar dy wely; *perchenoga winllan Naboth*—yr hon, er iddo ef wrthod ei gwerthu i ti, sydd yn awr yn eiddot ti trwy fforffet.

Adn. 16. *Ahab a gyfododd*] I fyned i gymeryd meddiant o'r winllan, a'i dywysogion gydag ef, 2 Bren. ix. 25.

Adn. 17. *A gair yr Arglwydd a ddaeth at Elias*] Yr hwn a fuasai yn hyfforddi Eliseus ond odid yn anialwch Damascus am fwy na blwyddyn, tra y bu Ahab yn rhyfela ddwywaith â'r Syriaid: gwel ar pen. xx. 22.

Adn. 18. *Yr hwn sydd yn Samaria*] Yn

yn Samaria: wele *efe* yn ngwinllan Naboth, yr hon yr aeth efe i waered iddi i'w meddiannu.

19 A llefara wrtho ef, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, A lleddaist ti, ac a feddiennaist hefyd? Llefara hefyd wrtho ef, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Yn y fan lle y llyfodd y cŵn waed Naboth, y llyf y cŵn dy waed dithau hefyd.

20 A dywedodd Ahab wrth Elias, A gefaist ti fi, O fy ngelyn? Dywedodd yntau, Cefais: oblegid i ti ymwerthu i wneuthur yr hyn sydd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd.

21 Wele fi yn dwyn drwg arnat ti, a mi a dynaf ymaith dy hiliogaeth di, ac a doraf oddiwrth Ahab yr hwn a biso ar bared, y gwarchäedig hefyd, a'r gweddilledig yn Israel:

22 A mi a wnaf dy dŷ di fel tŷ Jeroboam mab Nebat, ac fel tŷ Baasa mab Ahiah, o herwydd y digter trwy yr hwn *y'm* digiaist, ac y gwnaethost i Israel bechu.

23 Am Jezebel hefyd y llefarodd yr Arglwydd, gan ddywedyd, Y cŵn a fwyty Jezebel wrth fur Jezreel.

24 Y cŵn a fwyty yr hwn a fyddo marw o'r eiddo Ahab yn y ddinas: a'r hwn a fyddo marw yn y maes a fwyty adar y nefoedd.

25 ¶ Diau na bu *neb* fel Ahab, yr hwn a ymwerthodd i wneuthur drwg yn ngolwg yr Arglwydd: o herwydd Jezebel ei wraig a'i hannogai ef.

26 Ac efe a wnaeth yn ffiaidd iawn, gan fyned ar ol delwau, yn ol *yr hyn* oll a wnaeth yr Amoriaid, y rhai a yrodd yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel.

27 A phan glybu Ahab y geiriau hyn, efe a rwygodd ei ddillad, ac a osododd sachlian am ei gnawd,

---

frenin ar y wlad hòno; *wele efe yn ngwinllan Naboth*—yn Jezreel; neu yn hytrach, 'efe a fydd ynddi erbyn yr âi di yno.'

Adn. 19. *A leddaist ti, ac a feddiennaist hefyd?*] Sef lladd Naboth ddiniwed; ac, yn lle edifarhau am ei drosedd, meddiannu ei winllan ef hefyd trwy drais! Y mae Duw yn gyfiawn yn priodoli gweithred Jezebel a'r Jezreeliaid i Ahab, am mai ei drachwant ef a fu yr achos o honi, ac am iddo gydsynio â hi trwy gymeryd meddiant o'r winllan. *Yn y fan lle y llyfodd y cŵn waed Naboth*—ar ol iddo gael ei dywallt ar y ddaear trwy ei labyddio; *y llyf y cŵn dy waed dithau hefyd*—yr hyn a gyflawnwyd, pen. xxii. 38. Ond gan mai yn Samaria, ac nid yn Jezreel, y llyfodd y cŵn waed Ahab, myn rhai gyfieithu y wreiddiol, 'yn yr *un modd* ag y llyfodd y cŵn waed Naboth,' &c. Neu fe allai fod y bygythiad ar y cyntaf yn golygu i hyny gymeryd lle ar Ahab yn yr *un fan;* ond trwy i Ahab ymostwng gerbron yr Arglwydd, trosglwyddwyd y gosp oddiwrtho ef ar ei fab, fel y dywedir yn adn. 29, yr hwn y bwriwyd ei gelan i randir maes Naboth y Jezreeliad, 2 Bren. ix. 25, 26.

Adn. 20. *A gefaist ti fi, O fy ngelyn?*] Felly yr oedd Ahab yn cyfrif Elias, am ei fod yn cyhoeddi bygythion arno o herwydd ei bechodau. *Cefais*—a chefais di yn awr yn fwy o bechadur nag oeddit ar ben Carmel, pan y cyfarfuasom o'r blaen; *oblegid i ti ymwerthu i wneuthur yr hyn sydd ddrwg*—gan chwanegu llofruddiaeth a lladrad at dy eilun addoliaeth a'th bechodau ereill. Yr wyt wedi hollol ymroddi i fod yn gaethwas i ddiafol, fel y mae yr hwn a'i gwerthodd ei hunan i arall yn hollol dan ei awdurdod ef.

Adn. 21. *Wele fi yn dwyn drwg arnat ti*] Hyn a ddywed yr Arglwydd wrth Ahab trwy Elias; *a mi a dynaf ymaith dy hiliogaeth di*—sef ei ddeg mab a thriugain ef, neu bob *gwryw*, 2 Bren. x. 7; *y gwarchäedig*—gwel ar pen. xiv. 10.

Adn. 22. *Fel tŷ Jeroboam*] Gwel ar pen. xv. 29; *ac fel tŷ Baasa*—sef eu lladd hwynt oll, pen. xvi. 11; *o herwydd y digter trwy yr hwn y'm digiaist*—sef ei eilunaddoliaeth, ei lofruddiaeth, a'i drais; *ac y gwnaethost i Israel bechu*—trwy eu gorfodi i eilunaddoli, a rhoddi o'u blaen siamplau o greulondeb a gorthrwm.

Adn. 23. *Y cŵn a fwyty Jezebel*] Yr hyn hefyd a gyflawnwyd, 2 Bren. ix. 36.

Adn. 24. *Yr hwn a fyddo marw o'r eiddo Ahab*] Ni chaent eu claddu, eithr eu bwyta gan gŵn ac adar: gwel ar pen. xiv. 11.

Adn. 25. *Diau na bu neb fel Ahab*] Yn mhlith holl frenhinoedd Israel a fuasent o'i flaen ef. *Jezebel ei wraig a'i hannogai ef*—enwir hyn nid i'w ddieuogi ef, ond i fwyhau ei bechod. Yr oedd ef ei hun wedi ymwerthu i wneyd drwg, a gwrandawai ar lais ei wraig i wneyd mwy fyth o ddrwg.

Adn. 26. *Yr Amoriaid*] Yn cael eu rhoddi yma am holl gyn-drigolion eilunaddolgar Canaan: gwel ar Gen. xv. 16.

Adn. 27. *A phan glybu Ahab y geiriau hyn*] Y bygythion dychrynllyd yn adn. 21—24; *efe a rwygodd ei ddillad*—yr hyn oedd arwydd cyffredin o wir alar; *ac a osododd sachlian am ei gnawd*—yn brawf o'i hunanffieiddiad; *ac a ymprydiodd*—gan gystuddio ei gorff er lles ei enaid; *ac a orweddodd mewn sachlian*—dros y nos, gan roddi y prawf llawnaf, gellid meddwl, fod ei edifeirwch yn wirioneddol; *ac a gerddodd yn araf*—'bob yn gam.'—Gill. 'Yn droednoeth.'—Cranmer; ac felly y *Galdeaeg*, y *Syriaeg*, a'r *Arabaeg*. 'Yn alarus.'—Boothroyd. 'Yn ben-isel.'—Geddes. 'Dan riddfan.'—Hou-

ac a ymprydiodd, ac a orweddodd
mewn sachlian, ac a gerddodd yn
araf.

28 A gair yr Arglwydd a ddaeth
at Elias y Thesbiad, gan ddywedyd,

29 Oni weli di fel yr ymostwng
Ahab ger fy mron? am iddo ymos-
twng ger fy mron i, ni ddygaf y
drwg yn ei ddyddiau ef; *ond* yn
nyddiau ei fab ef y dygaf y drwg
ar ei dŷ ef.

## PENNOD XXII.

A BUANT yn aros dair blynedd
heb ryfel rhwng Syria ac Israel.

2 Ac yn y drydedd flwyddyn, Je-
hosaphat brenin Juda a ddaeth i
waered at frenin Israel.

3 (A brenin Israel a ddywedodd
wrth ei weision, Oni wyddoch mai
eiddo ni *yw* Ramoth-Gilead, a'n *bod*
ni yn tewi, heb ei dwyn hi o law
Syria?)

4 Ac efe a ddywedodd wrth Je-
hosaphat, A âi di gyda mi i ryfel i
Ramoth-Gilead? A Jehosaphat a
ddywedodd wrth frenin Israel, *Yr
ydwyf* fi fel tithau, fy mhobl i fel dy
bobl dithau, fy meirch i fel dy feirch
dithau.

5 Jehosaphat hefyd a ddywedodd
wrth frenin Israel, Ymgynghora, at-
olwg, heddyw â gair yr Arglwydd.

6 Yna brenin Israel a gasglodd y
proffwydi, yn nghylch pedwar cant
o wŷr, ac a ddywedodd wrthynt, A

---

BIGANT. 'Y mae hyn oll yn profi fod edifeirwch Ahab yn un gwirioneddol; ac y mae cymeradwyad Duw o hono yn ei osod tuhwnt i amheuaeth.'—CLARKE.

Adn. 28. *A gair yr Arglwydd a ddaeth at Elias*] Wedi iddo ymadael âg Ahab, ac ar ol bod Ahab am ryw yspaid yn yr agwedd alarus uchod.

Adn. 29. *Oni weli di fel yr ymostwng Ahab ger fy mron?*] Er fe allai na pharhaodd ei ymostyngiad ef hyd ddiwedd ei oes, eto, fel y dywed yr Iuddewon, yr oedd ef yn ymostyngiad gwirioneddol, ac o ganlyniad yn foddhaol gan Dduw. *Am iddo ymostwng ger fy mron i, ni ddygaf y drwg yn ei ddyddiau ef*—ar ei wraig a'i feibion; *ond yn nyddiau ei fab ef y dygaf y drwg ar ei dŷ ef*—felly gwobrwywyd ymostyngiad Ahab âg arbediad hollol o'r gosp iddo ef tra y bu byw, ac âg oediad o'r gosp i'w dŷ ef hefyd: gwel isod.

ADFEDDYLIADAU.—Er i Ahab roddi am dano wisg allanol dyn edifeiriol, nid ydym yn ei gael ef yn dwyn unrhyw un o ffrwythau gwir edifeirwch: pa fodd gan hyny y darfu i Dduw, yr hwn sydd yn chwilio y galon, ac nas gellir ei dwyllo âg ymddanghosiad allanol, gymeryd sylw o'r fath edifeirwch, ac mewn canlyniad i hyny alw yn ol, mewn rhan o leiaf, y ddedfryd a gyhoeddasai efe yn erbyn Ahab? Dywed rhai, mewn atebiad, fod gan Dduw y fath barch i wir edifeirwch a diwygiad, nes y mae yn foddlon i wobrwyo hyd yn nod y rhith o hono. Ond nid yw yr atebiad hwn yn cydweddu yn dda â phurdeb a santeiddrwydd Duw; ac am hyny byddai yn fwy cyson i ni feddwl fod edifeirwch Ahab y pryd hyn yn un gwirioneddol, er yn anmherffaith, a'i dristwch yn un cywir, er nad o hir barhad; a phe buasai efe yn parhau yn ei benderfyniadau da, yr arbedasai Duw ef nid yn unig rhag cosp dymhorol, ond hefyd rhag y gosp dragwyddol ag ydoedd ddyledus i'w bechodau. Y mae hyn, modd bynag, yn anghraifft o anfeidrol ddaioni Duw tuag at y pechadur mwyaf, pan y mae yn ymostwng ger ei fron ef; a gallwn gasglu oddiyma, er ein mawr gysur, os darfu i edifeirwch Ahab heddychu yr Arglwydd am amser, am fod peth cywirdeb ynddo, er nad oedd ond o fyr barhad; y bydd i'r rhai a edifarhant â'u holl galon, ac a barhant yn eu hedifeirwch, dderbyn yn ddifeth, oddiwrth drugaredd Duw, faddeuant llwyr o'u holl bechodau. Gwel *Calmet* ac *Ostervald.*

PEN. XXII. Adn. 1. *A buant yn aros dair blynedd*] Ar ol gwneyd cyfammod o heddwch rhwng Ahab a Benhadad, pen. xx. 34; *heb ryfel rhwng Syria ac Israel*—y mae yn debyg fod Ramoth-Gilead, yn ol y cyfammod hwnw, i gael ei dychwelyd i Israel; ond gan na wnaed hyny, ffurfiodd Ahab gynghrair â Juda i'w chymeryd hi trwy drais.

Adn. 2. *Jehosaphat brenin Juda a ddaeth i waered at frenin Israel*] Ymweliad heddychol a chyfeillgar oedd hwn, neu o leiaf i wneyd heddwch, adn. 44; ac fe allai mai y pryd hyn y cytunwyd i fab Jehosaphat briodi merch Ahab, 2 Bren. viii. 18; yr hyn oedd yn feius iawn o du brenin Juda, pryd y gwyddai mai eilunaddolwyr hollol oedd holl dŷ Ahab, er ei fod ef ei hun wedi ymostwng gerbron yr Arglwydd, pen. xxi. 29.

Adn. 3. *A brenin Israel a ddywedodd wrth ei weision*] Sef wrth ei bendefigion a'i lyswyr, a hyny ond odid cyn i frenin Juda ddyfod ato. *Oni wyddoch mai eiddo ni yw Ramoth-Gilead*—trwy hawl gwreiddiol oddiwrth Dduw, ac hefyd yn ol y cyfammod a wnaed â Benhadad, pen. xx. 34.

Adn. 4. *A âi di gyda mi i ryfel i Ramoth-Gilead*] I'w chymeryd hi oddiar y Syriaid? *A Jehosaphat a ddywedodd*—a gydsyniodd yn y fan â chais Ahab, gan addaw y byddai ef a'i filwyr oll, yn wŷr traed a gwŷr meirch, at wasanaeth Ahab yn yr ymgyrch hwnw, fel pe buasent eiddo iddo ef ei hun.

Adn. 5. *Ymgynghora, atolwg, heddyw â gair yr Arglwydd*] Trwy ryw broffwyd, fel y gwypom feddwl Duw ar y pen hwn, a phalwyddiant a allwn ei ddysgwyl.

Adn. 6. *Yna brenin Israel a gasglodd y proffwydi, yn nghylch pedwar cant*] Y mae

âf fi yn erbyn Ramoth-Gilead i ryfel,
neu a beidiaf fi? Dywedasant hwy-
thau, Dos i fyny; canys yr Ar-
glwydd a'i dyry hi yn llaw y brenin.
7 A Jehosaphat a ddywedodd,
Onid *oes* yma *un* proffwyd i'r Ar-
glwydd mwyach, fel yr ymgyng-
horem âg ef?
8 A brenin Israel a ddywedodd
wrth Jehosaphat, *Y mae eto* un gŵr
trwy yr hwn *y gallem* ymgynghori
â'r Arglwydd: eithr cas yw genyf
fi ef; canys ni phroffwyda efe i mi
ddaioni, namyn drygioni, Michea
mab Jimlah *yw efe*. A dywedodd
Jehosaphat, Na ddyweded y brenin
felly.
9 Yna brenin Israel a alwodd ar
un *o'i* ystafellyddion, ac a ddywed-
odd, Prysura *yma* Michea mab
Jimlah.
10 A brenin Israel a Jehosaphat
brenin Juda oeddynt yn eistedd bob
un ar ei deyrn-gadair, wedi gwisgo
eu *brenhinol* wisgoedd, mewn llan-
erch *wrth* ddrws porth Samaria; a'r
holl broffwydi oedd yn proffwydo
ger eu bron hwynt.
11 A Zedeciah mab Cenaanah a
wnaeth iddo gyrn heiyrn; ac efe a
ddywedodd, Fel hyn y dywedodd
yr Arglwydd, A'r rhai hyn y corni
di y Syriaid, nes i ti eu difa
hwynt.
12 A'r holl broffwydi oedd yn
proffwydo fel hyn, gan ddywedyd,
Dos i fyny i Ramoth-Gilead, a
llwydda: canys yr Arglwydd *a'i*
dyry *hi* yn llaw y brenin.
13 A'r genad a aethai i alw Mi-
chea a lefarodd wrtho ef, gan
ddywedyd, Wele yn awr eiriau y
proffwydi yn unair yn dda i'r bren-
in: bydded, atolwg, dy air dithau
fel gair un o honynt, a dywed y
goraf.
14 A dywedodd Michea, *Fel mai*
byw yr Arglwydd, yr hyn a ddy-
wedo yr Arglwydd wrthyf, hyny a
lefaraf fi.

---

yn debyg mai *proffwydi y llwyni* oedd y rhai hyn, y rhai ni laddwyd gyda phroffwydi Baal, pen. xviii. 19, 40. *A âf fi yn erbyn Ramoth-Gilead*—a gynghorwch chwi, fel proffwydi, i mi fyned i ryfel, neu beidio? *Dos i fyny*—yn ei herbyn; *canys yr Arglwydd a'i dyry hi yn llaw y brenin*—cymerent arnynt ateb yn enw yr Arglwydd, fel y twyllid Jehosaphat, ond odid yn ol cyfarwyddyd Ahab, i feddwl yn dda am y rhyfel.

Adn. 7. *Onid oes yma un proffwyd i'r Arglwydd mwyach*] Saes. 'heblaw y rhai hyn?' Nid oedd Jehosaphat yn hollol wadu fod y rhai hyn yn broffwydi i'r Arglwydd, er fod ynddo beth amheuaeth a oeddynt hwy wedi eu dwyfol ysbrydoli â gwybodaeth sicr o bethau i ddyfod; ac am hyny efe a chwennychai wybod a oedd yno neb arall trwy yr hwn y gallent dderbyn chwaneg o foddlonrwydd.

Adn. 8. *Y mae eto un gŵr trwy yr hwn y gallem ymgynghori â'r Arglwydd*] Yr oedd amrai ar hyd y wlad, ond *un* oedd yno wrth law, sef Michea mab Jimlah. *Eithr cas yw genyf fi ef*—tybia yr Iuddewon mai hwn oedd y proffwyd a fygythiodd Ahab am ollwng Benhadad heb ei ddyfetha, pen. xx. 35—43; *canys ni phroffwyda efe i mi ddaioni, namyn drygioni*—gan iddo broffwydo drwg i Ahab y pryd hyny, ni choeliai ef y proffwydai efe dda iddo mwyach; ac yn lle ei gasâu ei hun am ei bechod, efe a gasäai y proffwyd am ei broffwydoliaeth. *Na ddyweded y brenin felly*—dy fod yn ei *gasâu;* canys dylai proffwyd yr Arglwydd gael ei wrando a'i barchu pa beth bynag a ddyweda, gan mai oddiwrth Dduw y mae ei genadwri, ac nid oddiwrtho ei hun.

Adn. 9. *Prysura yma Michea*] Gwyddai Ahab pa le yr oedd Michea; ac y mae yn debygol ei fod yn garcharor ganddo yn Samaria, o herwydd iddo broffwydo drwg iddo ef dair blynedd cyn hyn, am arbed Benhadad: gwel ar adn. 26.

Adn. 10. *Yn eistedd bob un ar ei deyrn-gadair*] Mewn rhwysg a gwychder brenhinol; *mewn llanerch wrth ddrws porth Samaria*—lle yr arferid cynal llys barn; *a'r holl broffwydi*—y pedwar cant a grybwyllwyd adn. 6; *oedd yn proffwydo ger eu bron*—yn parhau i'w hannog i fyned yn erbyn Ramoth-Gilead.

Adn. 11. *A Zedeciah mab Cenaanah*] Un o'r 400 gau-broffwydi hyny ond odid; *a wnaeth iddo gyrn heiyrn*—yn arwydd-luniau o nerth a buddugoliaeth y ddau frenin hyn. *A'r rhai hyn y corni di y Syriaid*—gan nid yn unig ennill Ramoth-Gilead o'u meddiant hwy, ond hefyd eu llwyr ddyfetha. Mewn efelychiad i arferiad gwir broffwydi yr Arglwydd y gwnai Zedeciah hyn, a chymerai yntau arno mai yr Arglwydd a orchymynodd iddo: gwel Jer. xxvii. 2, a Zec. i. 18—24.

Adn. 12. *A'r holl broffwydi*] A ddywedent yr un peth mewn geiriau, ag a ddywedasai Zedeciah trwy arwyddion.

Adn. 13. *A'r genad a aethai i alw Michea a lefarodd wrtho ef*] Ar hyd y ffordd wrth ddyfod i wyddfod Ahab. *Wele yn awr eiriau y proffwydi yn unair yn dda i'r brenin*—y maent oll yn ei annog ef i fyned yn erbyn y ddinas, ac oll yn proffwydo llwyddiant a buddugoliaeth iddo. *Bydded, atolwg, dy air dithau fel gair un*—neu 'bob un o honynt;' *a dywed y goraf*—er cysur i'r brenin, ac er daioni, a rhyddhad o garchar, i ti dy hun.

Adn. 14. *Fel mai byw yr Arglwydd*] Efe a dyngai i JEHOFA, y Duw byw, yr hwn yr

15 ¶ Felly efe a ddaeth at y bren-
in. A'r brenin a ddywedodd wrtho,
Michea, a awn ni i ryfel yn erbyn
Ramoth-Gilead, ai peidio? Dy-
wedodd yntau wrtho, Dos i fyny, a
llwydda: canys yr Arglwydd a'*i*
dyry *hi* yn llaw y brenin.
16 A'r brenin a ddywedodd wrtho,
Pa sawl gwaith y'th dynghedaf di,
na ddywedech wrthyf ond gwirion-
edd yn enw yr Arglwydd?
17 Ac efe a ddywedodd, Gwelais
holl Israel ar wasgar ar hyd y myn-
yddoedd, fel defaid ni *byddai* iddynt
fugail. A dywedodd yr Arglwydd,
Nid *oes* feistr arnynt hwy; dychwel-
ed pob un i'w dŷ ei hun mewn
heddwch.
18 A brenin Israel a ddywedodd
wrth Jehosaphat, Oni ddywedais i
wrthyt ti, na phroffwydai efe dda-
ioni i mi, eithr drygioni?
19 Ac efe a ddywedodd, Clyw
gan hyny air yr Arglwydd: Gwel-
ais yr Arglwydd yn eistedd ar ei
orseddfa, a holl lu y nefoedd yn
sefyll yn ei ymyl, ar ei law ddeau
ac ar ei law aswy.
20 A'r Arglwydd a ddywedodd,
Pwy a dwylla Ahab, fel yr elo efe
i fyny ac y syrthio yn Ramoth-
Gilead? Ac un a ddywedodd fel hyn,

---

ystyriai efe yn uwch Brenin na'r ddau ag yr oedd yn myned i sefyll ger eu bron; *yr hyn a ddywedo yr Arglwydd wrthyf*—trwy ddwyfol ysbrydoliaeth; *hyny a lefaraf fi*—pa un bynag ai da ai drwg fyddai hyny i Ahab, a pha beth bynag fyddai y canlyniad iddo ef ei hun.

Adn. 15. *Dos i fyny a llwydda; canys yr Arglwydd a'i dyry yn llaw y brenin*] Efe a atebodd yr un fath, ac yn yr un geiriau, a'r proffwydi ereill, ond ei fod ef yn llefaru gyda'r fath dôn ac agwedd fel ag i argyhoeddi Ahab mai *gwatwar* y gau-broffwydi yr ydoedd; ac am hyny y mae y brenin yn ei *dynghedu* ef, adn. 16, na ddywedai wrtho ddim ond *gwirionedd.* Yr ystyr yw, 'Y mae dy holl broffwydi yn proffwydo llwyddiant i ti, a mynit i minau lefaru fel y llefarant hwy: dos i ryfel, fel y maent yn dy gynghori di, a myn wybod ai gwirionedd eu rhagfynegiad hwy trwy dy brofiad dy hun.'

Adn. 16. *Pa sawl gwaith y'th dynghedaf di*] Nid oedd eto wedi ei dynghedu ef unwaith; ond gofynai pa sawl gwaith yr oedd yn rhaid iddo wneyd hyny; ac yn awr tynghedai ef unwaith am y cwbl, fel na fyddai raid iddo wneyd hyny mwyach. *Na ddywedech wrthyf ond gwirionedd*—yn ddiwatwariaeth, yn ol yr hyn a ddatguddiai yr Arglwydd iddo.

Adn. 17. *Ac efe a ddywedodd*] Yn y modd mwyaf difrifol a sobr, ar ol ei dynghedu i hyny; *Gwelais holl Israel ar wasgar ar hyd y mynyddoedd*—ar hyd mynyddoedd Ramoth-Gilead, lle y gwersyllent yn ol gorchymyn Ahab, neu y ffoent rhag eu gelynion; *fel defaid ni byddai iddynt fugail*—fel pobl wedi colli eu brenin. *A dywedodd yr Arglwydd*—yn y weledigaeth oruwchnaturiol a ddangosasai efe i Michea; *Nid oes feistr arnynt hwy*—trwy fod eu brenin wedi ei ladd yn y rhyfel, adn. 35; *dychweled pob un i'w dŷ ei hun*—ac felly y bu, adn. 36.

Adn. 18. *A brenin Israel a ddywedodd wrth Jehosaphat*] Ar ol deall mai rhagfynegu ei gwymp ef yn y rhyfel yr oedd Michea trwy y ddammeg uchod. *Oni ddywedais i wrthyt ti*—gwel ar adn. 8. Fel pe dywedasai, 'Yn awr ti a weli fod fy ngeiriau yn wir, a pha fodd y mae y dyn hwn yn dangos ei gasineb ataf trwy broffwydo i mi ddrygioni yn barhaus.' A gallwn feddwl iddo ei berswadio ei hun a Jehosaphat, gan na chollodd efe ei fywyd fel y rhagddywedasai Michea dair blynedd yn ol, na fyddai i'r broffwydoliaeth hon chwaith fod yn wir. Ac ymddengys fod Jehosaphat yn ddigon meddal i gredu Ahab, onidè nid aethai efe byth gydag ef i ryfel ar ol y fath broffwydoliaeth.

Adn. 19. *Ac efe a ddywedodd*] Sef Michea, ar ol iddo glywed yr hyn a draethai Ahab am dano ef wrth frenin Juda. *Clyw gan hyny air yr Arglwydd*—fel pe dywedasai, Gan dy fod yn coelio dy au-broffwydi dy hun, ac yn anghredu fy ngeiriau i, fel pe na baent ddim ond effaith fy nychymyg fy hun, neu fy nghasineb at dy berson, mi a roddaf i ti hanes eglur a gwirioneddol am yr holl achos, yn enw ac yn ngwyddfod Duw. *Gwelais yr Arglwydd yn eistedd ar ei orseddfa*—nid â'i lygaid corfforol yn ddiau, canys nis gallai ef â'r rhai hyny weled Duw; ond â llygad ei feddwl, neu yn hytrach mewn gweledigaeth arwyddocaol fel eiddo Pedr, pan y gwelodd yntau y nef yn agored, Act. x. 11, &c. Neu gallwn edrych ar y cwbl fel *dammeg* yn unig, yn gosod allan mewn iaith ffugyrol yr hyn oedd yn gorwedd yn nghroth rhagluniaeth, sef y dygwyddiadau ag oeddynt ar fyrder i gymeryd lle, yr offerynau a ddefnyddid ynddynt, a'r goddefiad o du Dduw i'r offerynau hyny weithredu. Ni chwennychai Michea ddywedyd o flaen y brenin llidiog hwn, 'Y mae dy broffwydi oll yn gelwyddog, ac yn cael eu cynhyrfu i hyny gan ddiafol, tad y celwydd;' ond y mae efe yn arddangos y cwbl yn oleu trwy y ddammeg hon, ac yn dywedyd yr un gwirioneddau mewn iaith yr un mor rymus, ond yn llai tramgwyddus. *A holl lu y nefoedd yn sefyll yn ei ymyl*—sef yr angylion da ar ei law *ddeau;* ac ymddengys fod yno angylion drwg ar ei law *aswy;* canys nis gallwn feddwl fod angel *da* yn myned yn ysbryd celwyddog yn ngenau proffwydi Ahab, adn. 22.

Adn. 20. *A'r Arglwydd a ddywedodd*] Wrth y llu ag oedd yn sefyll yn ei ymyl; *Pwy a dwylla Ahab, fel yr elo efe i fyny ac y syrthio yn Ramoth-Gilead?*—fel y byddo iddo ef, yr hwn a oddefodd yn bechadurus i

ac arall oedd yn dywedyd fel hyn.
21 Ac ysbryd a ddaeth allan, ac
a safodd gerbron yr Arglwydd, ac
a ddywedodd, Myfi a'i twyllaf ef.
A dywedodd yr Arglwydd wrtho,
Pa fodd?
22 Dywedodd yntau, Mi a âf allan,
ac a fyddaf yn ysbryd celwyddog
yn ngenau ei holl broffwydi ef. Ac
efe a ddywedodd, Twylli a gorch-
fygi *ef:* dos ymaith, a gwna felly.
23 Ac yn awr wele, yr Arglwydd
a roddodd ysbryd celwyddog yn
ngenau dy holl broffwydi hyn; a'r
Arglwydd a lefarodd ddrwg am
danat ti.
24 Ond Zedeciah mab Cenaanah
a nesaodd, ac a darawodd Michea
dan *ei* gern, ac a ddywedodd, Pa
ffordd yr aeth ysbryd yr Arglwydd
oddiwrthyf fi i ymddyddan â thydi?
25 A Michea a ddywedodd, Wele,
ti a gai weled y dwthwn hwnw, pan
elych di o ystafell i ystafell i ym-
guddio.
26 A brenin Israel a ddywedodd,
Cymer Michea, a dwg ef yn ei ol
at Amon tywysog y ddinas, ac at
Joas mab y brenin;
27 A dywed, Fel hyn y dywed y
brenin; Rhowch hwn yn y carchar-
dy, a bwydwch ef â bara cystudd
ac â dwfr blinder, nes i mi ddyfod
mewn heddwch.
28 A dywedodd Michea, Os gan
ddychwelyd y dychweli di mewn
heddwch, ni lefarodd yr Arglwydd
ynof fi. Dywedodd hefyd, Gwran-
dewch *hyn* yr holl bobl.
29 Felly brenin Israel a Jehos-

---

Benhadad ddianc, gael ei gospi gan Benhadad. Nis gallwn feddwl fod yr Arglwydd yn ymgynghori fel hyn mewn gwirionedd â'r angylion da na drwg; ond felly y danghosid y peth yn ddammegol i'r proffwyd, ac felly y danghosai yntau i Ahab.

Adn. 21. *Ac ysbryd a ddaeth allan*] Sef ysbryd drwg; *ac a safodd gerbron yr Arglwydd*—fel Satan yn amser Job, pen. i, 6, a ii. 1. *Myfi a'i twyllaf ef*—i'w ddinystr ei hun, megys y twyllais ef o'r blaen i bechod.

Adn. 22. *Mi a âf allan, ac a fyddaf yn ysbryd celwyddog yn ngenau ei holl broffwydi ef*] I'w hannog hwynt i ddywedyd wrtho y llwyddai efe i orchfygu y Syriaid, pryd na wna. *Dos ymaith, a gwna felly*—sef twyllo a gorchfygu Ahab felly. *Goddefiad* yw hyn o du Dduw, yn hytrach na *gorchymyn;* ac yr oedd y mynegiad o hyn i Ahab i'w ystyried yn drugaredd iddo. Fel pe dywedasai Michea, 'Y mae Duw wedi *caniatau* i ysbryd celwyddog ddylanwadu ar dy holl broffwydi; ac y mae efe yn awr, trwy fy ngenau i, yn dy rybyddio o hyny, fel na byddo i ti fyned a syrthio yn Ramoth-Gilead.' 'Ni chafodd dyn erioed,' fel y sylwa Clarke, 'ei rybyddio mor fanwl a thêg: cafodd gynghorion gan *Dduw y gwirionedd,* a chynghorion gan *ysbryd celwyddog:* efe yn gyndyn a ymwrthododd â'r *cyntaf,* ac a ddylynodd yr *olaf.* Danghoswyd iddo trwy y ddammeg hon pa fodd yr oedd pob peth yn myned yn mlaen, a bod y cwbl dan lywodraeth a chyfarwyddyd Duw; a bod yn bosibl iddo ef fyth wneuthur y Duw hwnw yn gyfaill iddo, yr hwn trwy ei droseddau parhaus a wnaethai efe yn elyn iddo: ond ni wnai efe; am hyny yr oedd ei waed ar ei *ben ei hun.*'

Adn. 23. *Ac yn awr wele, yr Arglwydd a roddodd ysbryd celwyddog*] Neu, fel y mae yn amlwg oddiwrth yr adnod flaenorol, a *oddefodd* i ddiafol fod yn ysbryd celwyddog yn eu genau hwy, trwy addaw buddugoliaeth i Ahab ar y Syriaid; *a'r Arglwydd a lefarodd ddrwg am danat ti*—y bydd i ti syrthio os âi i fyny i Ramoth-Gilead. Ac onid oedd hyn yn rhybydd graslawn iddo ef beidio myned yno?

Adn. 24. *Ond Zedeciah*] Yn debygol penaeth y gau-broffwydi, yr hwn oedd yn ffafr y brenin yn fawr, adn. 11; *a darawodd Michea dan ei gern*—mewn digofaint ato, am iddo ddywedyd mai celwyddwyr dan ddylanwad diafol oedd ef a'i gyd-broffwydi. *Pa ffordd yr aeth ysbryd yr Arglwydd oddiwrthyf fi*—cymerai arno fod ysbryd yr Arglwydd ganddo ef, ac mai trwy yr ysbryd hwnw y proffwydasai efe yn adn. 11; a pha fodd y gallai yr un ysbryd fyned i Michea, a pheri iddo ef broffwydo pethau hollol wahanol?

Adn. 25. *A Michea a ddywedodd*] Yn dawel a digyffro, er ei daro mor frwnt dan ei gern; *Wele, ti a gai weled y dwthwn hwnw*—sef y dydd y lleddid Ahab, ac y collai Israel y frwydr; *pan elych di o ystafell i ystafell i ymguddio*—naill ai rhag y Syriaid, neu ynte rhag pobl Israel, y rhai a lidient wrtho am annog Ahab i ryfel i gael eu baeddu.

Adn. 26. *Cymer Michea, a dwg ef yn ei ol*] Sef i'r carchardy, lle yr ymddengys ei fod o'r blaen er's mwy na thair blynedd, adn. 9; *at Amon*—yr hwn oedd brif-ynad dan y brenin yn Samaria; *ac at Joas*—yr hwn oedd i ofalu am y teyrn-garcharorion tra y byddai Ahab ei dad yn y rhyfel.

Adn. 27. *Rhowch hwn yn y carchardy*] Mewn dyfn-gell dywyllach nag o'r blaen; *a bwydwch ef â bara cystudd, ac â dwfr blinder*—â lluniaeth wael a phrin, yn unig ddigon i'w gynal yn fyw i ddyoddef ei gosp, ac i'm gweled inau yn dyfod yn ol yn fuddugoliaethus o'r rhyfel.

Adn. 28. *Os gan ddychwelyd y dychweli di mewn heddwch*] Yn fuddugol o'r rhyfel yn erbyn y Syriaid; *ni lefarodd yr Arglwydd ynof fi*—gwaradwydder a chosper fi fel gau-broffwyd. *Gwrandewch hyn yr holl bobl*—efe a alwai ar yr holl bobl i gymeryd sylw o'i

aphat brenin Juda a aethant i fyny
i Ramoth-Gilead.
30 A brenin Israel a ddywedodd
wrth Jehosaphat, Mi a newidiaf fy
nillad, ac a âf i'r rhyfel; ond gwisg
di dy ddillad *dy hun*. A brenin Is-
rael a newidiodd ei *ddillad*, ac a
aeth i'r rhyfel.
31 A brenin Syria a orchymyn-
asai i dywysogion y cerbydau *oedd*
ganddo (*sef* deuddeg ar hugain) gan
ddywedyd, Nac ymleddwch â bych-
an nac â mawr ond â brenin Israel
yn unig.
32 A phan welodd tywysogion y
cerbydau Jehosaphat, hwy a ddy-
wedasant, Diau brenin Israel *yw*
efe. A hwy a droisant i ymladd
yn ei erbyn ef: a Jehosaphat a
waeddodd.
33 A phan welodd tywysogion y
cerbydau nad brenin Israel oedd
efe, hwy a ddychwelasant oddiar
ei ol ef.
34 A *rhyw* ŵr a dynodd mewn
bwa ar ei amcan, ac a darawodd
frenin Israel rhwng cysylltiadau y
llurig: am hyny efe a ddywedodd
wrth ei gerbydwr, Tro dy law, a
dwg fi allan o'r fyddin; canys fe
a'm clwyfwyd i.
35 A'r rhyfel a gryfhaodd y
dwthwn hwnw: a'r brenin a gynel-
id i fyny yn ei gerbyd yn erbyn y
Syriaid; ac efe a fu farw gyda'r
hwyr: a gwaed yr archoll a ffryd-
iodd i ganol y cerbyd.
36 Ac fe aeth cyhoeddiad trwy y
gwersyll yn nghylch machludiad
yr haul, gan ddywedyd, *Eled* pob
un i'w ddinas, a phob un i'w wlad
ei hun.
37 ¶ Felly y bu farw y brenin,
ac y daeth efe i Samaria; a hwy

---

eiriau, fel y gallent fod yn dystion o'i blaid neu yn ei erbyn ar ol hyn.

Adn. 29. *Felly brenin Israel a Jehosaphat brenin Juda*] Y mae yn rhyfedd i frenin Juda fyned i'r rhyfel gydag Ahab, ar ol clywed geiriau Michea: ond efe a dybiai fod y rhyfel yn gyfreithlon, i adferu hawliau brenin Israel; ac yr oedd wedi addaw myned, adn. 4, ac ni ewyllysiai dynu ei air yn ol; ac nid oedd Michea wedi proffwydo dim drwg yn ei erbyn ef, ond yn erbyn Ahab yn unig; a chymerodd ei berswadio ond odid fod tystiolaeth unol y proffwydi ereill yn debycach o fod yn wir. *A aethant i fyny i Ramoth-Gilead*— yr hon oedd dros yr Iorddonen, oddeutu 43 o filldiroedd yn ddwyreiniol o Samaria.

Adn. 30. *Mi a newidiaf fy nillad*] Brenhinol, ac a ymwisgaf fel un o'r milwyr cyffredin; *ond gwisg di dy ddillad dy hun*—sef dy ddillad brenhinol; neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'fy nillad i.' Fel hyn, tra yr oedd Ahab yn cymeryd arno anrhydeddu brenin Juda â llywodraeth dros yr holl fyddin, ei amcan oedd achub ei fywyd ei hun ar draul bywyd Jehosaphat, gan y casglai y Syriaid oddiwrth ei wisg mai Ahab oedd efe: a rhaid fod Jehosaphat yn ddyn meddal iawn cyn y gwnaethai gydsynio â'r fath beth.

Adn. 31. *Nac ymleddwch â bychan nac â mawr, ond â brenin Israel yn unig*] Fel y byddai i'r rhyfel derfynu yn gynt. Dichon nad oedd Benhadad yn meddwl ei ladd ef, ond yn unig ei gymeryd yn garcharor, fel y gallai roddi yr un driniaeth anrhydeddus iddo ef ag a gawsai yntau o'r blaen gan Ahab, pen. xx. 34. Neu yr oedd Duw yn amcanu yn hyn gyflawni ei fygythiad ei hun, o roddi einioes Ahab yn lle einioes Benhadad, pen. xx. 42.

Adn. 32. *A phan welodd tywysogion y cerbydau Jehosaphat*] Wedi ymwisgo mewn dillad brenhinol, casglasant yn naturiol mai Ahab oedd efe; *a hwy a droisant i ymladd yn ei erbyn ef*—yn ol gorchymyn Benhadad; *a Jehosaphat a waeddodd*—naill ai ar y tywysogion, i fynegu iddynt nad efe oedd Ahab, neu ynte ar yr Arglwydd, yr hwn 'a'i cynorthwyodd ef, ac a'u gyrodd hwynt oddiwrtho,' 2 Cron. xviii. 31.

Adn. 33. *Nad brenin Israel oedd efe*] Yr hyn a allent yn hawdd ei wybod oddiwrth ei leferydd, neu oddiwrth ei ffurf a'i wedd; *hwy a ddychwelasant oddiar ei ol ef*—i ddylyn y rhyfel yn erbyn corff y fyddin.

Adn. 34. *A rhyw ŵr a dynodd mewn bwa ar ei amcan*] Gan daflu ei saeth ar antur i ganol byddin Israel; neu, gan anelu neu amcanu yn fwriadol am ei galon ef; *ac a darawodd frenin Israel rhwng cysylltiadau y llurig*—trwy i law anweledig gyfarwyddo y saeth angeuol at ffynnonell ei fywyd ef. *Tro dy law*—sef y llaw a ddaliai yr awenau, i droi y meirch a'r cerbyd allan o'r fyddin; *canys fe a'm clwyfwyd i*—gan saeth y gelyn.

Adn. 35. *A'r rhyfel a gryfhaodd*] Oedd yn myned yn boethach-boethach o bob tu; *a'r brenin a gynelid i fyny yn ei gerbyd yn erbyn y Syriaid*—ymddengys iddo droi yn ol cyn hir i'r rhyfel, rhag i'r Syriaid wybod ei fod wedi cael niwed, ac hefyd i wroli ei bobl ei hun yn eu herbyn hwy. *Ac efe a fu farw gyda'r hwyr*—o'r archoll a gawsai yn y bore, trwy i'w holl waed ef ffrydio o'r archoll i ganol y cerbyd.

Adn. 36. *Ac fe aeth cyhoeddiad trwy y gwersyll*] Naill ai ar ddymuniad Ahab wrth farw, neu yn ol gorchymyn Jehosaphat yn union wedi iddo farw. *Eled pob un i'w ddinas*—a'i wlad ei hun; yr hyn oedd yn gyflawniad o broffwydoliaeth Michea, adn. 17. Y mae yn debyg fod y Syriaid hefyd yn foddlon i dori y rhyfel i fyny, ar ol lladd eu prif elyn.

Adn. 37. *A hwy a gladdasant y brenin yn*

a gladdasant y brenin yn Samaria.
38 A golchwyd ei gerbyd ef yn llyn Samaria; a'r cŵn a lyfasant ei waed ef: yr arfau hefyd a olchwyd; yn ol gair yr Arglwydd, yr hwn a lefarasai efe.
39 A'r rhan arall o hanesion Ahab, a'r hyn oll a wnaeth efe, a'r tŷ ifori a adeiladodd efe, a'r holl ddinasoedd a adeiladodd efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?
40 Felly Ahab a hunodd gyda'i dadau; ac Ahaziah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
41 ¶ A Jehosaphat mab Asa a aeth yn frenin ar Juda yn y bedwaredd flwyddyn i Ahab brenin Israel.
42 Jehosaphat *oedd* fab pymtheng mlwydd ar hugain pan aeth efe yn frenin; a phum mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem. Ac enw ei fam ef *oedd* Azubah, merch Silhi.
43 Ac efe a rodiodd yn holl ffordd Asa ei dad, ni wyrodd efe oddiwrthi hi, gan wneuthur *yr hyn oedd* uniawn yn ngolwg yr Arglwydd. Er hyny ni thynwyd ymaith yr uchelfeydd; y bobl oedd eto yn offrymu ac yn arogl-darthu yn yr uchelfeydd.
44 A Jehosaphat a heddychodd â brenin Israel.
45 A'r rhan arall o hanes Jehosaphat, a'i rymusdra a wnaeth efe, a'r modd y rhyfelodd efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?
46 A'r rhan arall o'r sodomiaid a'r a adawyd yn nyddiau Asa ei dad ef, efe a'u dileodd o'r wlad.
47 Yna nid *oedd* brenin yn Edom: *ond* rhaglaw *oedd* yn *lle* brenin.
48 Jehosaphat a wnaeth longau môr i fyned i Ophir am aur: ond nid aethant; canys y llongau a ddrylliodd yn Esion-gaber.
49 Yna y dywedodd Ahaziah mab

---

*Samaria*] Lle y claddesid ei dad ef Omri, pen. xvi. 28.

Adn. 38. *A'r cŵn a lyfasant ei waed ef*] Wrth ei olchi ymaith o'r cerbyd; *yr arfau hefyd a olchwyd*—sef yr arfogaeth ag oedd am dano pan ei harchollwyd; *yn ol gair yr Arglwydd*—trwy enau Elias, pen. xxi. 19. Y mae y LXX yn cyfieithu yr adnod hon yn hynod: 'A'r cŵn a'r moch a lyfasant ei waed ef, a'r puteiniaid a ymolchasant yn ei waed, yn ol gair yr Arglwydd.'

Adn. 39. *A'r rhan arall o hanesion Ahab*] Fel brenin, eilunaddolwr, ac adeiladydd; *a'r tŷ ifori a adeiladodd efe*—yn Samaria, yr hwn oedd wedi ei fritho neu ei addurno âg ifori, o leiaf oddifewn; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?*—gwel ar pen. xiv. 19.

Adn. 40. *Ahaziah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*] Yn debygol yr hynaf o'i ddeng mab a thriugain: gwel ar adn. 51—53.

Adn. 41. *Yn y bedwaredd flwyddyn i Ahab*] Ac felly bu Jehosaphat yn cyd-deyrnasu âg ef 18 mlynedd.

Adn. 42. *A phum mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe*] Felly yr oedd Jehosaphat yn 60 mlwydd oed pan y bu farw.

Adn. 43. *Ac efe a rodiodd yn holl ffordd Asa ei dad*] O ran ei ymarweddiad duwiol, ei addoliad crefyddol, a'i lywodraethiad gwladol. *Er hyny ni thynwyd ymaith yr uchelfeydd*—tynodd ymaith uchelfeydd yr eilunod, 2 Cron. xvii. 6; ond ni thynodd ymaith yr uchelfeydd lle yr aberthid i'r Arglwydd: *y bobl oedd eto yn offrymu ac yn arogl-darthu*—i'r Arglwydd yn y lleoedd hyny, fel y gwnaent cyn adeiladu y deml. Yr oedd y bobl yn hoff iawn o'r lleoedd hyny ar gyfrif eu henafiaeth, ac nid oedd yn hawdd i frenhinoedd duwiol eu dryllio hwynt heb anfoddloni y bobl: gwel ar pen. xv. 14.

Adn. 44. *A Jehosaphat a heddychodd â brenin Israel*] Ag Ahab yn gyntaf, ac wedi hyny â'i fab ef. Nodir hyn fel bai yn Jehosaphat, a phrofodd yn dra niweidiol iddo ef a'i hiliogaeth, 2 Cron. xix. 2.

Adn. 45. *A'r rhan arall o hanes Jehosaphat*] Pethau na chofleir yn yr ysgrythyrau; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?*—canys yr oedd ganddynt hwythau goflyfr gwladol yn gystal a brenhinoedd Israel: gwel ar pen. xiv. 19, 29.

Adn. 46. *A'r rhan arall o'r sodomiaid*] Gwel ar pen. xiv. 24, a xv. 12. Yr oedd Asa, tad Jehosaphat, wedi gyru ymaith gynifer ag a allai o'r rhai hyn; a llwyr ddileodd ei fab y gweddill o honynt.

Adn. 47. *Yna nid oedd brenin yn Edom*] Er amser Dafydd, 2 Sam. viii. 14; *ond rhaglaw oedd yn lle brenin*—dan frenhinoedd Juda, hyd amser Jehoram, 2 Cron. xxi. 8.

Adn. 48. *A Jehosaphat a wnaeth longau môr*] Yn debygol yn Esion-gaber, yn ngwlad Edom, 2 Cron. xx. 36; a dangos hyny oedd dyben y crybwylliad am Edom yn yr adnod flaenorol. *I fyned i Ophir am aur*—fel y gwnaethai Solomon yn ei amser ef: gwel ar pen. ix. 26, 28. *Ond nid aethant*—trwy iddynt gael eu dryllio yn erbyn y creigiau gan wynt ystormus ar eu cychwyniad o Esion-gaber, yn gosp oddiwrth yr Arglwydd am iddo ymgyfeillachu âg Ahaziah, 2 Cron. xxi. 37.

Adn. 49. *Yna y dywedodd Ahaziah*] Ond odid ar ol dryllio y llongau cyntaf, ac adeiladu o hono rai ereill yn eu lle. *Eled fy*

Ahab wrth Jehosaphat, Eled fy
ngweision i gyda'th weision di yn y
llongau: ond ni fynai Jehosaphat.
50 ¶ A Jehosaphat a hunodd
gyda'i dadau, ac a gladdwyd gyda'i
dadau yn ninas Dafydd ei dad; a
Jehoram ei fab a deyrnasodd yn ei
le ef.
51 ¶ Ahaziah mab Ahab a aeth
yn frenin ar Israel yn Samaria, yn
y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg
i Jehosaphat brenin Juda; ac a
deyrnasodd ar Israel ddwy flynedd.
52 Ac efe a wnaeth ddrwg yn
ngolwg yr Arglwydd, ac a rodiodd
yn ffordd ei dad, ac yn ffordd ei fam,
ac yn ffordd Jeroboam mab Nebat,
yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
53 Canys efe a wasanaethodd
Baal, ac a ymgrymodd iddo, ac a
ddigiodd Arglwydd Dduw Israel,
yn ol yr hyn oll a wnaethai ei dad.

---

*ngweision i gyda'th weision di yn y llongau*—sef morwyr neu farsiandwyr brenin Israel, gyda morwyr a marsiandwyr brenin Juda. *Ond ni fynai Jehosaphat*—rhag i farn Duw ddisgyn ar y llongau newyddion, fel y gwnaeth ar y lleill. Ond y mae rhai yn cyfieithu yr adran hon, *A Jehosaphat a ganiataodd iddo.* Os yw y darlleniad hwn yn gywir, ni adeiladodd Jehosaphat ail longau; ac yn gosp am y caniatad hwn y drylliwyd y rhai uchod, sef yr unig rai a adeiladwyd ganddo.

Adn. 50. *A Jehosaphat a hunodd gyda'i dadau*] Neu yr un modd a'i dadau, ac a gladdwyd yn yr un lle: gwel ar pen. ii. 10, a xiv. 31. *A Jehoram ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—y mae dau gyfieithiad Saesonig yn terfynu y llyfr gyda'r adnod hon.

Adn. 51. *Ahaziah mab Ahab—a deyrnasodd ar Israel ddwy flynedd*] Neu ran o ddwy flynedd; canys daeth Joram ei frawd i'r orsedd yn y 18fed flwyddyn i Jehosaphat, 2 Bren. iii. 1.

Adn. 52. *Ac efe a wnaeth ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] A'r drwg hwnw, fel y dywedir yma, oedd *rhodio yn ffordd ei dad*—sef addoli Baal, fel Ahab; *ac yn ffordd ei fam*—addoli Astaroth, neu dduwiau y Sidoniaid, fel Jezebel; *ac yn ffordd Jeroboam*—yr hwn a addolai y lloi aur, ac a wnai i Israel hefyd eu haddoli hwynt.

Adn. 53. *Canys efe a wasanaethodd Baal*] Crybwyllir hyn i fwyhau ei ddrygioni, trwy ei fod yn glynu yn addoliad duw ag ydoedd wedi bod yn ddinystr i'w dad, ac wedi cael ei ddwyn dan dragwyddol warth, yn ngŵydd ei dad, ar ben Carmel, pen. xviii. *Yn ol yr hyn oll a wnaethai ei dad*—gwel ar pen. xvi. 30—33.

---

# AIL LYFR
# Y BRENHINOEDD.

Y MAE y llyfr hwn yn barhad o'r hanes a ddechreuwyd yn y llyfr blaenorol am ddwy frenhiniaeth Juda ac Israel; a chynwysa hanes helyntion 308 o flynyddau, sef o amser gwrthryfel Moab yn O. B. 3108, hyd ddinystr brenhiniaeth Juda, O. B. 3416, neu C. C. 588. Cawn yma hanes gweithrediadau hynod Elias ac Eliseus; duwiol deyrnasiad Jehosaphat, Hezecia, a Josia; drygioni brenhinoedd ereill Juda ac Israel, a digofaint Duw ar y ddwy deyrnas o'r herwydd; dygiad deg llwyth Israel yn gaeth i Assyria; a chaethgludiad yr Iuddewon i Babilon. Gwel y rhagymadrodd i Lyfr Cyntaf y Brenhinoedd.

---

## PENNOD I.

YNA Moab a wrthryfelodd yn
erbyn Israel, wedi marwolaeth
Ahab.
2 Ac Ahaziah a syrthiodd trwy
ddellt o'i lofft, yr hon *oedd* yn Samaria,
ac a glefychodd: ac efe a
anfonodd genadau, ac a ddywed-

---

PEN. I. Adn. 1. *Yna Moab a wrthryfelodd yn erbyn Israel*] Gan wrthod talu teyrnged iddynt ar ol marw Ahab, fel y gwnaent hyd hyny er pan ddarostyngwyd hwynt gan Dafydd, 2 Sam. viii. 2.

Adn. 2. *Ac Ahaziah a syrthiodd trwy ddellt o'i lofft*] Naill ai trwy nen ei dŷ, yr hwn oedd wastad, i lawr i'w lofft; neu o lofft uwch i un islaw; neu ynte trwy y canllawiau dellt ag oeddynt o amgylch nen ei dŷ, i lawr i'r ddaear. *Ac a glefychodd*—yr oedd wedi ei ysigo a'i ddolurio gymaint yn y codwm, fel ag i ddwyn clefyd arno a derfynodd yn ei farwolaeth, adn. 17. *Ymofynwch â Baal-zebub duw Ecron*—y mae yr enw *Baal-zebub* yn arwyddo *duw y gwybed;* a gelwid ef felly am y tybid ei fod yn gwaredu pobl Ecron, sef y Philistiaid, oddiwrth y cacwn, y locustiaid, a'r gwybed, y rhai a flinent y parthau hyny. Dywed Lightfoot i'r Iuddewon wedi hyny newid ei enw yn *Baal-zebul*, sef 'duw y domen,' i roddi mwy o ddirmyg arno. Yn

odd wrthynt, Ewch, ac ymofynwch
â Baal-zebub duw Ecron, a fyddaf
fi byw o'r clefyd hwn.
3 Ac angel yr Arglwydd a ddy-
wedodd wrth Elias y Thesbiad,
Cyfod, dos i fyny i gyfarfod â chen-
adau brenin Samaria, a dywed wrth-
ynt, Ai am nad *oedd* Duw yn Israel,
yr ydych chwi yn myned i ymofyn
â Baal-zebub duw Ecron?
4 Ac am hyny fel hyn y dy-
wed yr Arglwydd; Ni ddisgyni
o'r gwely y dringaist arno, eithr
gan farw y byddi farw. Ac Elias a
aeth ymaith.
5 ¶ A phan ddychwelodd y cen-
adau ato ef, efe a ddywedodd wrth-
ynt, Paham y dychwelasoch chwi?
6 A hwy a ddywedasant wrtho,
Gŵr a ddaeth i fyny i'n cyfarfod ni,
ac a ddywedodd wrthym ni, Ewch,
dychwelwch at y brenin a'ch anfon-
odd, a llefarwch wrtho, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd; Ai am nad
*oes* Duw yn Israel, yr ydwyt ti yn
anfon i ymofyn â Baal-zebub duw
Ecron? o herwydd hyny ni ddisgyni
o'r gwely y dringaist arno, eithr
gan farw y byddi farw.
7 Ac efe a ddywedodd wrthynt,
Pa ddull *oedd* ar y gŵr a ddaeth i
fyny i'ch cyfarfod chwi, ac a lefar-
odd wrthych yr ymadroddion yma?
8 A hwy a ddywedasant wrtho,
Gŵr blewog *oedd efe*, wedi ymwr-
egysu hefyd â gwregys croen am ei
lwynau. Dywedodd yntau, Elias y
Thesbiad *oedd* efe.
9 Yna efe a anfonodd ato ef
dywysog ar ddeg-a-deugain, yn
nghyda'i ddeg-a-deugain: ac efe a
aeth i fyny ato ef; (ac wele ef yn
eistedd ar ben bryn;) ac a lefar-
odd wrtho, Ti ŵr Duw, y brenin a
lefarodd, Tyred i waered.
10 Ac Elias a atebodd ac a ddy-
wedodd wrth dywysog y deg-a-deu-
gain, Os gŵr Duw *ydwyf* fi, disgyn-
ed tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th
ddeg-a-deugain. A thân a ddis-

---

amser ein Harglwydd defnyddid y gair fel enw ar benaeth y cythreuliaid: gwel ar Mat. x. 25. *A fyddaf fi byw o'r clefyd hwn?*—nid gofyn pa beth a wnai er ei iachad yr ydoedd; ond, a ddeuai ef trwy ei glefyd heb golli ei fywyd, yr hyn ni allai neb ond Duw Israel ei fynegu.

Adn. 3. *Ai am nad oedd Duw yn Israel, &c.*] Yr oedd brenin Israel, wrth ymofyn â Baal-zebub duw Ecron, yn dianrhydeddu Duw Israel yn fawr iawn, fel pe buasai yn hollol wadu ei fod, neu yn barnu fod Baal-zebub yn fwy gwybodus nag ef; ac yr oedd yn cefnogi eilunaddoliaeth y cenhedloedd trwy ymofyn â'u duw hwy.

Adn. 4. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Y gwir Dduw, yn llaw yr hwn yn unig y mae einioes ac angau; *Ni ddisgyni o'r gwely y dringaist arno*—yn fyw; *eithr gan farw y byddi farw*—yn sicr o'r clefyd hwn; ac felly y bu, adn. 17.

Adn. 5. *Paham y dychwelasoch chwi*] Mor fuan? Yr oedd o Samaria i Ecron yn agos i 40 milldir; ac efe a wyddai nad allasent fyned yno, ac yn ol, mewn cyn lleied o amser.

Adn. 6. *Gŵr a ddaeth i fyny i'n cyfarfod ni*] Ac a'n hanfonodd yn ol gyda'r genadwri hon. Er nas gwyddent ei enw, eto gwyddent mai proffwyd yr Arglwydd ydoedd, oddiwrth ei leferydd awdurdodol yn enw yr Arglwydd, a'i wybodaeth o'u neges hwynt cyn iddynt ei thraethu; ac felly tueddwyd hwynt i ufyddhau iddo ef trwy droi yn ol, yn hytrach na myned yn mlaen i Ecron mewn ufydd-dod i'r brenin.

Adn. 7. *Pa ddull oedd ar y gŵr*] O ran gwisg a gwedd?

Adn. 8. *Gŵr blewog oedd efe*] Ei wallt yn llaes, a'i farf yn hir, a'i fantell o flew camel neu o groen gafr; *wedi ymŵregysu hefyd â gwregys croen am ei lwynau*—i rwymo gòdre ei laes-wisg am ei ganol wrth deithio. Fel hyn hefyd yr ymwisgai Ioan Fedyddiwr, fel y gallai o ran ei ymddanghosiad allanol gynrychioli Elias, yn ysbryd a nerth pa un y daeth efe, Mat. iii. 4. *Elias y Thesbiad oedd efe*—gwybu y brenin mai Elias ydoedd, o herwydd iddo ei weled yn y wisg hòno cyn hyn yn nhŷ Ahab.

Adn. 9. *Yna efe a anfonodd ato ef dywysog ar ddeg-a-deugain*] Neu gadben ar gynifer a hyny o filwyr; *yn nghyda'i ddeg-a-deugain*—sef yr holl filwyr ag oeddynt dan ei awdurdod uniongyrchiol ef. Diamau mai bwriad y brenin oedd ei gyrchu ef trwy drais i'w wyddfod, neu ei ladd os na ddeuai. Yr oedd efe mor bell o wneuthur defnydd da o'r rhybydd trugarog a roddwyd iddo yn nghylch ei farwolaeth, nes yr ymgynddeiriogodd yn erbyn y proffwyd am ei roddi. *Ac wele ef yn eistedd ar ben bryn*—yn agos i Samaria, ar y ffordd i Ecron. *Ti ŵr Duw, &c.*—efe a orchymynai yn awdurdodol, yn enw y brenin, iddo ddyfod i waered gyda hwy i Samaria. Ond mor anghyson oedd hyn oll! Os *gŵr Duw*, neu wir broffwyd JEHOFA, oedd Elias, pa fodd y meiddiai efe ei erlid ef? Neu os meddyliai mai *dyn cyffredin* ydoedd, pa angen oedd am gynifer o filwyr i'w ddal ef?

Adn. 10. *Os gŵr Duw ydwyf fi*] Gallwn gasglu oddiyma mai mewn gwawd y galwasai y tywysog ef yn *ŵr Duw* yn yr adnod flaenorol. Fel pe dywedasai Elias, Ti a gai wybod er dy wae, trwy farn ofnadwy, mai gŵr Duw ydwyf fi mewn gwirionedd. *Disgyned tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th ddeg-a-deugain*—darfu i rai feio y proffwyd am ddwyn tân o'r

gynodd o'r nefoedd, ac a'i hysodd
ef a'i ddeg-a-deugain.
11 A'*r brenin* a anfonodd eilwaith
ato efe dywysog arall ar ddeg-a-deu-
gain, â'i ddeg-a-deugain: ac efe
a atebodd ac a ddywedodd, O ŵr
Duw, fel hyn y dywedodd y brenin,
Tyred i waered yn ebrwydd.
12 Ac Elias a atebodd ac a ddy-
wedodd wrthynt hwy, Os gŵr Duw
*ydwyf* fi, disgyned tân o'r nefoedd,
ac ysed di a'th ddeg-a-deugain. A
thân Duw a ddisgynodd o'r nefoedd,
ac a'i hysodd ef a'i ddeg-a-deugain.
13 ¶ A'*r brenin* a anfonodd eto y
trydydd tywysog ar ddeg-a-deu-
gain, â'i ddeg-a-deugain: a'r tryd-
ydd tywysog ar ddeg-a-deugain a
aeth i fyny, ac a ddaeth ac a ym-
grymodd ar ei liniau gerbron Elias,
ac a ymbiliodd âg ef, ac a lefarodd
wrtho, O ŵr Duw, atolwg, bydded
fy einioes i, ac einioes dy ddeg gwas
a deugain hyn, yn werthfawr yn dy
olwg di.
14 Wele, disgynodd tân o'r nef-
oedd, ac a ysodd y ddau dywysog
cyntaf ar ddeg-a-deugain, a'u deg-
a-deugain: am hyny yn awr bydd-
ed fy einioes i yn werthfawr yn dy
olwg di.
15 Ac angel yr Arglwydd a lef-
arodd wrth Elias, Dos i waered
gydag ef, nac ofna ef. Ac efe a
gyfododd, ac a aeth i waered gydag
ef at y brenin.
16 Ac efe a ddywedodd wrtho,
Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd,
O herwydd i ti anfon cenadau i ym-
ofyn â Baal-zebub duw Ecron; (ai
am nad *oes* Duw yn Israel i ymofyn
â'i air?) am hyny ni ddisgyni o'r
gwely y dringaist arno, eithr gan
farw y byddi farw.

---

nefoedd i ddyfetha y gwŷr hyn. Ond yr oeddynt yn annghofio nas gallai Elias o hono ei hun wneuthur hyny mwy na hwythau. Duw yn unig a allai beri i'r tân hwn ddisgyn; a chan ei fod ef yn *gyfiawn* ac yn *dda*, ni wnaethai efe hyny heb fod *achos digonol* i gyfiawnhau y weithred. Gwnaeth Duw hyn, nid i foddio Elias, ond i ddangos ei *allu* a'i *gyfiawnder* ei hun; canys nis gallai un deisyfiad o eiddo Elias beri i Dduw wneyd yr hyn a fuasai yn annghyfiawn a drwg ynddo ei hun. Nid oedd gan Elias, o'i ran ei hun, ddim i'w wneyd yn yr achos: Duw a'i harweiniai ef i *ddatgan* yn unig yr hyn ag yr oedd efe ei hun wedi penderfynu ei wneuthur. Fel pe dywedasai, 'Cyn wired a fy mod i yn ŵr Duw, *tân a* DDISGYN *o'r nefoedd, ac a'th* YSA *di a'th ddeg-a-deugain.*' Hyn yw ystyr llythyrenol y wreiddiol, fel y sylwa Clarke; ac felly ni a welwn mai *mynegol* yn unig yw y geiriau, ac nid *erfyniol.* Hefyd, yr oedd y dynion hyn wedi cefnu ar Dduw Israel, a throi yn eilunaddolwyr rhyfygus; ac yr oeddynt wedi fforffetio eu bywyd trwy hyny, yn gystal a thrwy fwriadu rhoddi gŵr Duw i farwolaeth mewn ufydd-dod i orchymyn eu brenin. *A thân a ddisgynodd o'r nefoedd, ac a'i hysodd ef a'i ddeg-a-deugain*—nid oedd y tân a ysodd y poeth-offrwm ar fynydd Carmel, 1 Bren. xviii. 38, wedi ateb y dyben o'u hargyhoeddi hwynt yn barhaus mai yr Arglwydd oedd Dduw, a bod Elias yn wir broffwyd iddo; ac am hyny cawsant chwaneg o dân i brofi yr un gwirionedd, yr hwn a'u hysodd hwy eu hunain.

Adn. 11. *A'r brenin a anfonodd eilwaith ato ef*] Dywysog a byddin gyffelyb i'r lleill. *O ŵr Duw*—dywedai hyn dan rith gwatwarllyd o barch ac ymostyngiad fel y gwnaethai y llall, a chospwyd yntau a'i wŷr yr un modd. *Tyred i waered yn ebrwydd*—yr oedd y tywysog hwn yn ymddangos yn fwy haerllug na'r cyntaf: gorchymynai iddo ddyfod yn *ebrwydd*, heb oedi dan berygl ei fywyd.

Adn. 12. *Os gŵr Duw ydwyf fi, disgyned tân, &c.*] Hyny yw, 'tân a *ddisgyn* o'r nefoedd, ac a'th *ysa* di,' &c.: gwel ar adn. 10. *A thân Duw a ddisgynodd*—i ddangos i'r brenin wirionedd y bygythiad y byddai efe farw, yn gystal ag i'w argyhoeddi mai yr Arglwydd oedd Dduw.

Adn. 13. *A'r brenin a anfonodd eto y trydydd tywysog*] A pha mor anfoddlon bynag oedd ef a'i wŷr i fyned, yr oedd yn *rhaid* iddynt ufyddhau. *Ac a ymgrymodd ar ei liniau gerbron Elias*—mewn parch iddo ef, ac ofn barnedigaethau Duw; *ac a ymbiliodd âg ef*—nid am iddo fyned gyda hwy at y brenin i Samaria, ond am arbediad i'w fywyd ei hun a bywyd ei bobl.

Adn. 14. *Wele, disgynodd tân, &c.*] Gwyddai hwn pa beth a ddygwyddasai i'r lleill, a gallwn feddwl ei fod yn priodoli eu dinystr i'w hyfdra a'u haerllugrwydd eu hunain, yr hyn a barodd iddo ef nesâu at y proffwyd mewn modd mwy gostyngedig. *Am hyny yn awr bydded fy einioes i yn werthfawr yn dy olwg di*—bydded i ti ei harbed, fel yr arbeda gŵr beth a fyddo yn werthfawr yn ei olwg: ac felly y gwnaed. Nid oes dim i'w ennill trwy ymgyndynu â Duw: os mynwn ni lwyddo gydag ef, rhaid i ni *ymostwng* ger ei fron, ac *ymbil* arno.

Adn. 15. *Ac angel yr Arglwydd a lefarodd wrth Elias*] Tra yr oedd y trydydd tywysog hwn a'i bobl yn ymbil ar eu gliniau ger ei fron ef. *Dos i waered gydag ef*—at y brenin i Samaria; *nac ofna ef*—sef y brenin. Yr oedd Elias wedi cyhoeddi ei farwolaeth ef ar y cyntaf, ac wedi dyfetha cant a dau o'i bobl trwy dân o'r nefoedd; ac am hyny yr oedd yn naturiol iddo ei ofni ef yn awr, oni

17 ¶ Felly efe a fu farw, yn ol gair yr Arglwydd yr hwn a lefarasai Elias: a Jehoram a deyrnasodd yn ei le ef, yn yr ail flwyddyn i Jehoram mab Jehosaphat brenin Juda; am nad oedd mab iddo ef.
18 A'r rhan arall o hanes Ahaziah y rhai a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?

## PENNOD II.

A PHAN oedd yr Arglwydd ar gymeryd i fyny Elias mewn corwynt i'r nefoedd, aeth Elias ac Eliseus allan o Gilgal.
2 Ac Elias a ddywedodd wrth Eliseus, Aros, atolwg, yma: canys yr Arglwydd a'm hanfonodd i Bethel. Ac Eliseus a ddywedodd, *Fel mai* byw yr Arglwydd, ac *mai* byw dy enaid dithau, nid ymadawaf â thi. Felly hwy a aethant i waered i Bethel.
3 A meibion y proffwydi y rhai *oedd* yn Bethel, a ddaethant allan at Eliseus, ac a ddywedasant wrtho, A wyddost ti mai heddyw y mae yr Arglwydd yn dwyn dy feistr oddiarnat ti? Dywedodd yntau, Mi a wn *hyny* hefyd, tewch chwi â son.
4 Ac Elias a ddywedodd wrtho, Aros yma, atolwg, Eliseus; canys yr Arglwydd a'm hanfonodd i Jericho. Dywedodd yntau, *Fel mai* byw yr Arglwydd, ac *mai* byw dy enaid dithau, nid ymadawaf â thi. Felly hwy a ddaethant i Jericho.
5 A meibion y proffwydi, y rhai

---

buasai iddo fel hyn gael awgrymiad o amddiffyniad dwyfol.

Adn. 16. *Ac efe a ddywedodd wrtho*] Yn eofn yn ei wyneb, yn enw a thrwy awdurdod JEHOFA. *O herwydd i ti anfon cenadau i ymofyn â Baal-zebub duw Ecron*—ac felly daflu dirmyg ar JEHOFA, Duw Israel; *am hyny ni ddisgyni o'r gwely*—gwel ar adn. 4.

Adn. 17. *Felly efe a fu farw*] Ond odid yr awr hòno, yn union ar ol i Elias fyned allan o'i ystafell. *A Jehoram a deyrnasodd yn ei le ef*—sef ei frawd, ail fab Ahab, am nad oedd mab gan Ahaziah. *Yn yr ail flwyddyn i Jehoram mab Jehosaphat brenin Juda*—i ochel dyryswch, dylai y darllenydd sylwi fod yma grybwylliad am DDAU *Jehoram*, sef mab Ahab brenin Israel, yr hwn a ddylynodd Ahaziah ei frawd, ac a elwir hefyd *Jorām;* a mab Jehosaphat brenin Juda. Wrth gydmharu pen. iii. 1 â pen. viii. 16, ymddengys fod cryn wahaniaeth yn yr amseryddiaeth, yr hyn a barodd i Houbigant feddwl fod gwallau wedi ymlusgo i'r testyn. Ond i'w cysoni, tybia rhai mai yr ail flwyddyn i Jehoram mab Jehosaphat gyd-deyrnasu â'i dad a olygir, ac nid yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad ef ar ol marw ei dad. Bu Jehosaphat byw rai blynyddau ar ol i Jehoram mab Ahab ddechreu teyrnasu; gan hyny tybir iddo osod ei fab yn frenin gydag ef ei hun tuag 8 neu 9 mlynedd cyn ei farw, sef pryd yr aeth efe gydag Ahab i'r rhyfel yn Ramoth-Gilead, rhag y byddai iddo gael ei ladd yno, 1 Bren. xxii: ac yn yr ail flwyddyn o'r cyd-deyrnasiad hwnw yr aeth Jehoram neu Joram mab Ahab yn frenin ar Israel, fel y dywedir yma; sef yn y 18fed flwyddyn o deyrnasiad Jehosaphat, fel y dywedir pen. iii. 1.

Adn. 18. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

PEN. II. Adn. 1. *A phan oedd yr Arglwydd ar gymeryd i fyny Elias*] Ymddengys fod Duw wedi amlygu ei fwriad hwn nid yn unig i Elias ei hun, ond hefyd i Eliseus, ac mewn rhan i ysgolion y proffwydi yn Bethel a Jericho, fel ag yr oeddynt oll yn dysgwyl am y wyrth hynod, adn. 2, 5; *aeth Elias ac Eliseus allan o Gilgal*—yr hon oedd yn agos i'r Iorddonen: gwel ar Jos. iv. 19.

Adn. 2. *Aros, atolwg, yma*] Efe a chwenychai hyn, naill ai, (1) Fel y gallai, wrth fod ar ei ben ei hun, ymbarotoi yn well erbyn ei symudiad; neu, (2) O gydymdeimlad âg Eliseus, rhag i'r olwg ar ei symudiad ef beri gormod o alar iddo; neu, (3) I brofi ei serch, ac i awchu ei ddymuniad am fyned gydag ef, fel ag i fod yn dyst o'r fath symudiad gogoneddus. *Yr Arglwydd a'm hanfonodd i Bethel*—i roddi rhyw addysgiadau a chysur i ysgol y proffwydi yno am y tro olaf cyn ymadael. *Fel mai byw yr Arglwydd, &c.*—efe a dyngai yn ddifrifol i'r Duw byw, ac i fywyd anfarwol Elias, nad ymadawai âg ef hyd y diwedd. *Felly hwy a aethant i waered i Bethel*—yr hon oedd yn agos i 20 milldir o Gilgal.

Adn. 3. *A meibion y proffwydi*] Neu eu hysgolorion, y rhai a ddygid i fyny at wasanaeth y wir grefydd yn Bethel. *A wyddost ti mai heddyw*—hyny yw, yn ebrwydd, rai o'r dyddiau hyn. *Mi a wn hyny hefyd, tewch chwi â son*—efe a ddywedai fel hyn, naill ai am nad oedd yn hoffi clywed son am ymadawiad ei feistr; neu ynte rhag, os âi y son am hyny allan, y byddai i ormod o bobl ymgasglu o amgylch Elias.

Adn. 4. *Aros yma*] Yn Bethel: gwel ar adn. 2. *Felly hwy a ddaethant i Jericho*—oddeutu 17 o filldiroedd o Bethel, yn agos i Gilgal.

Adn. 5. *A meibion y proffwydi, y rhai oedd yn Jericho, &c.*] Gwel ar adn 3.

Adn. 6. *Aros yma*] Yn Jericho; *canys yr Arglwydd a'm hanfonodd i'r Iorddonen*—i fyned dros yr Iorddonen. *Fel mai byw*—gwel ar adn. 2. *A hwy a aethant ill dau rhagddynt*—tua'r Iorddonen.

*oedd* yn Jericho, a ddaethant at
Eliseus, ac a ddywedasant wrtho,
A wyddost ti mai heddyw y mae yr
Arglwydd yn dwyn dy feistr oddi-
arnat ti? Yntau a ddywedodd, Mi
a wn *hyny* hefyd, tewch chwi â son.
6 Ac Elias a ddywedodd wrtho,
Aros yma, atolwg; canys yr Ar-
glwydd a'm hanfonodd i'r Iorddon-
en. Dywedodd yntau, *Fel mai* byw
yr Arglwydd, ac *mai* byw dy enaid
dithau, nid ymadawaf â thi. A hwy
a aethant ill dau rhagddynt.
7 A dengwr a deugain o feibion
y proffwydi a aethant, ac a safasant
ar gyfer o bell: a hwy ill dau a
safasant wrth yr Iorddonen.
8 Ac Elias a gymerth ei fantell,
ac a'*i* plygodd yn nghyd, ac a dar-
awodd y dyfroedd, a hwy a ymwa-
hanasant yma ac acw, fel yr aethant
hwy trwyodd ill dau ar *dir* sych.
9 Ac wedi iddynt fyned drosodd,
Elias a ddywedodd wrth Eliseus,
Gofyn y peth a wnelwyf i ti, cyn fy
nghymeryd oddiwrthyt. A dywed-
odd Eliseus, Bydded gan hyny, at-
olwg, ddau parth o'th ysbryd di
arnaf fi.
10 Dywedodd yntau, Gofynaist
beth anhawdd: os gweli fi *wrth fy*
nghymeryd oddiwrthyt, fe fydd i ti
felly; ac onidê, ni bydd.
11 Ac fel yr oeddynt hwy yn
myned dan rodio ac ymddyddan,
wele gerbyd tanllyd, a meirch tan-
llyd, a hwy a'u gwahanasant hwynt
ill dau. Ac Elias a ddyrchafodd
mewn corwynt i'r nefoedd.
12 Ac Eliseus oedd yn gweled, ac
efe a lefodd, Fy nhad, fy nhad!
cerbyd Israel, a'i farchogion! Ac

---

Adn. 7. *A dengwr a deugain o feibion y proffwydi a aethant*] O Jericho ar ol Elias ac Eliseus; *ac a safasant ar gyfer o bell*—gan obeithio cael gweled Elias yn esgyn i'r nef: *a hwy ill dau a safasant wrth yr Iorddonen*—ar ol gwahardd ond odid i'r lleill nesâu ati.

Adn. 8. *Ac Elias a gymerth ei fantell*] Neu ei 'groen dafad,' yn ol y LXX, pa un a wisgai efe dros ei ddillad ereill: gwel ar pen. i. 8. *Ac a darawodd y dyfroedd*—â'i fantell blygedig, yn debyg i'r modd y tarawsai Moses y môr coch â'i wialen. *A hwy a ymwahanasant yma ac acw*—rhedodd rhan o'r dyfroedd yn ol ar eu llaw aswy, tra y rhedai y rhan arall i lawr ar y llaw ddeau, fel ag y cawsant hwy ill dau fyned trwyodd ar dir sych! Ymddengys iddynt groesi yn yr un fan ag y daethai yr Israeliaid trwyodd i Ganaan yn amser Josua. Afon angau yw yr Iorddonen ag y rhaid i ninau ei chroesi wrth fyned i'r Ganaan nefol; a thrwy farwolaeth ac adgyfodiad Crist, agorwyd ffordd rydd i'r credinwyr fyned ar hyd'ddi yn ddiogel i'r ochr draw.

Adn. 9. *Gofyn y peth a wnelwyf i ti, cyn fy nghymeryd oddiwrthyt*] Canys efe a wyddai nas gallai wneyd dim erddo ar ol myned ymaith: Crist yw yr unig Gyfryngwr ac Eiriolwr yn y nef. *Bydded gan hyny, atolwg, ddau parth o'th ysbryd di arnaf fi*—gymaint arall ag a dderbynia y lleill o feibion y proffwydi ar dy ddeisyfiad di. Efe a gyfeiria, fel y meddylir, at ddeuparth y cyntafanedig, Deut. xxi. 17; gan ei ystyried ei hun fel y cyntafanedig, neu unig fab ysbrydol Elias. Ond er mai cymaint arall ag un o'r proffwydi ereill a olygai efe, eto gellir meddwl, oddiwrth ei hanes, iddo gael cymaint arall o ddoniau Ysbryd Duw ag a gawsai Elias ei hun.

Adn. 10. *Gofynaist beth anhawdd*] Peth nad yw Duw yn ei roddi ond yn anfynych, ac i ychydig bersonau. *Os gweli fi wrth fy nghymeryd oddiwrthyt*—bydd hyny yn arwydd y cai di ddau parth o'm hysbryd i; *ac onidê*—os na weli fi yn ymadael, rhaid i ti foddloni ar y dawn sydd genyt eisioes. Enwodd Elias yr arwydd hwn trwy gyfarwyddyd Ysbryd Duw, fel y byddai i Eliseus ddysgwyl a gweddio yn daerach am y drugaredd hon o hyn hyd hyny.

Adn. 11. *Ac fel yr oeddynt hwy yn myned dan rodio*] Tua'r dwyrain oddiwrth lan yr Iorddonen; *ac ymddyddan*—am ddoniau chwanegol yr Ysbryd, y rhai a geisiasai Eliseus; neu am lawenydd y nef, yr hwn yr oedd Elias ar fyned i'w fwynhau; neu yn nghylch agwedd isel crefydd yn y dyddiau hyny yn ngwlad Israel; *wele gerbyd tanllyd, a meirch tanllyd*—sef cwmwl dysglaer ac ysblenydd ar ffurf cerbyd a meirch, neu angylion yn ymddangos ar rith cerbyd a meirch tanllyd; *a hwy a'u gwahanasant hwy ill dau*—a aethant rhyngddynt fel yr oeddynt yn rhodio ar y ffordd, gan ymgau o'r cerbyd am Elias. *Ac Elias a ddyrchafodd mewn corwynt i'r nefoedd*—yr hwn a gipiodd y meirch a'r cerbyd, yn nghydag Elias ynddo, i'r awyr, ac oddiyno i'r drydedd nef. Gan na ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw, cafodd yr hyn oedd farwol yn Elias ei lyncu gan fywyd ar y ffordd; neu newidiwyd ei gorff anianol ef mewn moment yn gorff ysbrydol, yr un modd ag y newidir y rhai a geir yn fyw ar y ddaear ar ddyfodiad Crist yn y dydd diweddaf: gwel ar 1 Cor. xv. 50—52.

Adn. 12. *Ac Eliseus oedd yn gweled* Yr hyn oedd arwydd iddo ef y cai efe ddau parth o ysbryd Elias, adn. 9, 10. *Ac efe a lefodd, Fy nhad, fy nhad!*—galarai am dano fel plentyn amddifad yn galaru am ei dad. *Cerbyd Israel, a'i farchogion!*—yr hwn, trwy dy siampl, dy gynghorion, a'th weddiau llwyddiannus gerbron Duw, a wnaethost fwy er amddiffyn Israel na'u holl gerbydau a'u marchogion hwy. Y mae cyfeiriad yn yr ymadrodd at y cerbyd a'r meirch tanllyd a welsai Eliseus, adn. 11. *Ac efe a ymaflodd yn ei ddillad,*

nis gwelodd ef mwyach: ac efe a
ymaflodd yn ei ddillad, ac a'u
rhwygodd yn ddeuddarn.
13 Ac efe a gododd i fyny fantell
Elias a syrthiasai oddiwrtho ef; ac
a ddychwelodd, ac a safodd wrth
fin yr Iorddonen.
14 Ac efe a gymerth fantell Elias
a syrthiasai oddiwrtho ef, ac a dar-
awodd y dyfroedd, ac a ddywedodd,
Pa le *y mae* Arglwydd Dduw Elias?
Ac wedi iddo yntau daraw y dyfr-
oedd, hwy a wahanwyd yma ac
acw. Ac Eliseus a aeth drosodd.
15 A phan welodd meibion y
proffwydi ef, y rhai *oedd* yn Jericho
ar *ei* gyfer, hwy a ddywedasant,
Gorphwysodd ysbryd Elias ar Eli-
seus. A hwy a ddaethant i'w gyfar-
fod ef, ac a ymgrymasant hyd lawr
iddo.
16 A hwy a ddywedasant wrtho,
Wele yn awr, y mae gyda'th weis-
ion ddeg-a-deugain o wŷr cryfion;
elont yn awr, ni a atolygwn, a cheis-
iant dy feistr: rhag i ysbryd yr Ar-
glwydd ei ddwyn ef, a'i fwrw ar
ryw fynydd, neu mewn rhyw ddy-
ffryn. Dywedodd yntau, Na an-
fonwch.
17 Eto buant daer arno, nes cy-
wilyddio *o hono*, ac efe a ddywed-
odd, Anfonwch. A hwy a anfonas-
ant ddengwr a deugain, y rhai
a'i ceisiasant ef dridiau, ond nis
cawsant.
18 A hwy a ddychwelasant ato
ef, ac efe oedd yn aros yn Jericho;
ac efe a ddywedodd wrthynt hwy,
Oni ddywedais i wrthych, Nac
ewch?
19 A gwŷr y ddinas a ddywedas-

---

*ac a'u rhwygodd yn ddeuddarn*—yn arwydd o'i alar am golli tad mor dyner a da.

Adn. 13. *Ac efe a gododd i fyny fantell Elias*] A'r hon y galwesid ef gan Elias i'r swydd broffwydol, 1 Bren. xix. 19, ac â'r hon y gwahanasai efe ddyfroedd yr Iorddonen, adn. 8; *a syrthiasai oddiwrtho ef*—canys yr oedd Elias yn awr wedi myned i wlad lle nad oedd ei heisiau i'w addurno ef, ei ddiogelu rhag y tywydd, nac i oblygu ei wyneb ynddi. Trefnodd Duw iddi syrthio, er cysur i Eliseus, ac er cadarnhad i'w ffydd ef, ac i fod yn wystl iddo o orphwysiad ysbryd Elias arno.

Adn. 14. *Ac efe a gymerth fantell Elias*] Ac a'i plygodd ond odid fel y gwnaethai Elias, adn. 8; *ac a darawodd y dyfroedd*—y mae y *Vulgate*, a rhai ailunau o'r LXX, yn chwanegu yma, 'ond ni wahanasant;' yr hyn, os yw y darlleniad hwn yn gywir, a barodd iddo waeddi, *Pa le y mae Arglwydd Dduw Elias?*—canys efe a welai na allai mantell Elias, ar yr hon ond odid yr ymddibynasai efe yn ormodol, wneyd dim heb Dduw Elias. *Ac wedi iddo yntau daraw y dyfroedd*—yr ail waith, yn ol y cyfieithiadau uchod, gan ymddibynu yn awr yn fwy ar yr Arglwydd; *hwy a wahanwyd yma ac acw*—fel y gwnaethant o'r blaen gan Elias, adn. 8. *Ac Eliseus a aeth drosodd*—i wlad Canaan. Fel hyn gwyrth olaf Elias oedd y gyntaf i Eliseus, a dechreuodd y dysgybl lle y dybenodd yr athraw, gan ymaflyd yn yr un gwaith bendigedig o dystiolaethu dros Dduw yn erbyn eilunod ac eilunaddolwyr.

Adn. 15. *Gorphwysodd ysbryd Elias ar Eliseus*] Yr oedd hyn yn gasgliad naturiol, wrth ei weled ef yn gwisgo ei fantell, ac yn cyflawni yr un wyrth. *A hwy a ddaethant i'w gyfarfod ef*—o'r fan lle y buont yn sefyll er pan aethai Elias oddiwrthynt, adn. 7; *ac a ymgrymasant hyd lawr iddo*—yn arwydd o'u parch a'u hymostyngiad iddo fel olynydd Elias.

Adn. 16. *Y mae gyda'th weision ddeg-a-deugain o wŷr cryfion*] Hyny yw, yr oeddynt hwy eu hunain o'r nifer hwnw, adn. 7, yn ddynion ieuainc a chryfion, galluog i deithio yn mhell, ac am hir amser, os byddai raid: *elont yn awr, ni a atolygwn, a cheisiant dy feistr*—nid oeddynt wedi derbyn ond rhyw ddatguddiad anmherffaith o fwriad Duw gyda golwg ar Elias; canys ymddengys eu bod yn meddwl y gallai fod Ysbryd yr Arglwydd wedi ei gymeryd ef i fyny, a'i fwrw yn fyw neu yn farw ar ryw fynydd, neu mewn rhyw ddyffryn, yn mhell oddiyno; (gwel ar 1 Bren. xviii. 12;) ac os yn *fyw*, hwy a ewyllysient gael hyd iddo, fel y gallent weini i'w angenrheidiau; ac os yn *farw*, fel y gallent gladdu ei gorff yn anrhydeddus. *Dywedodd yntau, Na anfonwch*—canys efe a wyddai nad oedd wiw iddynt fyned i chwilio am dano, trwy ei fod wedi ei gymeryd i'r nef gorff ac enaid.

Adn. 17. *Eto buant daer arno, nes cywilyddio o hono*] Ommedd iddynt yn hwy, rhag iddynt feddwl fod hyny yn deilliaw oddiwrth ddifaterwch am ei feistr, neu awydd am ei swydd, neu o ddirmyg arnynt hwy. *A hwy a anfonasant ddengwr a deugain*—rhai un ffordd, a'r lleill ffyrdd ereill, ar hyd y gwahanol fynyddoedd a'r dyffrynoedd o bob tu i'r Iorddonen; *y rhai a'i ceisiasant ef dridiau*—ond yn aflwyddiannus.

Adn. 18. *A hwy a ddychwelasant ato ef*] I Jericho, lle yr oeddynt hwy yn byw, adn. 5, a lle yr oedd yntau yn aros am danynt. *Oni ddywedais i wrthych, Nac ewch*—am nad oedd efe i'w gael mewn un man ar y ddaear? Ond bu yr ymchwiliad hwn yn foddion i sicrhau iddynt hwy, ac i holl Israel trwyddynt hwy, fod Elias wedi ei symud gorff ac enaid i'r nefoedd; yr hyn oedd yn brawf i bawb o wiredd byd arall, ac yn gysgod o esgyniad Crist i agor teyrnas nef i bawb a gredant: a byddent hwythau ar ol hyn yn fwy parod i ymostwng i awdurdod Eliseus, a'i gydnabod ef fel eu tad ysbrydol.

ant wrth Eliseus, Wele, atolwg,
ansawdd y ddinas, da *yw*, fel *y mae*
fy arglwydd yn gweled: ond y dyfr-
oedd *sydd* ddrwg, a'r tir yn ddi-
ffaith.
20 Ac efe a ddywedodd, Dygwch
i mi phiol newydd, a dodwch ynddi
halen. A hwy a'*i* dygasant ato
ef.
21 Ac efe a aeth at ffynnonell y
dyfroedd, ac a fwriodd yr halen yno,
ac a ddywedodd, Fel hyn y dywed-
odd yr Arglwydd, Mi a iacheais y
dyfroedd hyn; ni bydd oddiyno
farwolaeth mwyach, na diffrwyth-
dra.
22 Felly yr iachawyd y dyfroedd
hyd y dydd hwn, yn ol gair Eliseus
yr hwn a ddywedasai efe.
23 Ac efe a aeth i fyny oddiyno i
Bethel: ac fel yr oedd efe yn myned
i fyny ar hyd y ffordd, plant bych-
ain a ddaeth allan o'r ddinas, ac a'i
gwatwarasant ef, ac a ddywedasant
wrtho ef, Dos i fyny moelyn, dos i
fyny moelyn!
24 Ac efe a drôdd yn ei ol, ac a
edrychodd arnynt, ac a'u melldith-
iodd yn enw yr Arglwydd. A dwy
arth a ddaeth allan o'r goedwig, ac
a ddrylliodd o honynt ddau blentyn
a deugain.

---

Adn. 19. *A gwŷr y ddinas*] Sef trigolion Jericho, *a ddywedasant wrth Eliseus*—wrth weled ei fod ef yn broffwyd, ac yn gallu gwneuthur gwyrthiau. *Wele, atolwg, ansawdd y ddinas, da yw*—o ran ei hadeiladau têg, a'i sefyllfa gyfleus ar wastadedd eang, fel yr oedd Eliseus yn gweled: *ond y dyfroedd sydd ddrwg, a'r tir yn ddiffaith*—dywedir fod y dyfroedd afiach yno yn peri i'r coed a ddyfrheid ganddynt fwrw eu ffrwythau yn anaddfed, ac i'r anifeiliaid a yfent o honynt erthylu, ac hyd yn nod y gwragedd beichiogion yr un modd. Pa un ai peth naturiol oedd hyn, yn tarddu oddiar ryw fettel yn y ddaear, ai ynte goruwchnaturiol, fel rhan o felldith Duw am ail adeiladu y ddinas, (gwel ar 1 Bren. xvi. 34,) ni ddywedir; ond y mae yn sicr mai peth goruwchnaturiol a gwyrthiol oedd iachâu y dyfroedd, fel y gwelwn isod. Y mae yn debyg mai rhan o'r tir oedd yn ddiffaith neu ddiffrwyth felly, lle y rhedai y dyfroedd hyn.

Adn. 20. *Dygwch i mi phiol newydd*] Efe a ofynai am phiol *newydd*, rhag i neb feddwl mai trwy rinwedd rhywbeth a fuasai ynddi o'r blaen yr iachawyd y dyfroedd; a rhag fod ynddi ryw halogrwydd deddfol, yr hyn a allai ddigio Duw, ac felly attal y wyrth; *a dodwch ynddi halen*—yr hyn yr oeddynt hwy eu hunain i'w wneuthur, fel na thybiai neb ei fod ef wedi cymysgu rhywbeth arall am ei ben ef. Ac yr oedd y wyrth trwy hyn yn fwy amlwg, gan fod tuedd mewn halen i chwerwi y dwfr, a diffrwytho y tir, fel y sylwa Jarchi.

Adn. 21. *Ac efe a aeth at ffynnonell y dyfroedd*] Lle yr oeddynt yn tarddu allan o'r ddaear; *ac a fwriodd yr halen yno*—fel arwydd o allu Duw, yr hwn yn unig oedd i iachâu y dyfroedd. *Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mi a iacheais y dyfroedd hyn*—hyny yw, Duw a'u hiachaodd, nid Eliseus; ac iddo ef y mynai y proffwyd briodoli y wyrth, fel y byddai iddynt roddi y gogoniant iddo ef. *Ni bydd oddiyno farwolaeth mwyach*—ddim erthyliad, neu farwolaeth yn y groth; *na diffrwythdra*—yn y prenau: gwel ar adn. 19. Er fod hen felldith Josua yn aros ar Jericho, a bod hòno wedi ei hadnewyddu pan ail adeiladwyd hi yn ddiweddar, Jos. vi. 26, 1 Bren. xvi. 34; eto, er mwyn ysgol y proffwydi ag ydoedd yno yn awr, tynodd Duw y rhan hon o'r felldith ymaith.

Adn. 22. *Felly yr iachawyd y dyfroedd hyd y dydd hwn*] Pe mai effaith naturiol yr halen oedd yr iachâd, darfuasai yn ebrwydd o angenrheidrwydd, gan nad allai yr halen hwnw effeithio ond ar y dwfr ag ydoedd yn tarddu y pryd hyny o'r ffynnonell. Eithr hwy a barhausant yn iach hyd y dydd yr ysgrifenwyd yr hanes yma, ac yn mlaen hyd amser Josephus, fel y tystia efe; a sicrha ymdeithwyr diweddar eu bod yn parhau yn iach hyd heddyw.

Adn. 23. *Ac efe a aeth i fyny oddiyno i Bethel*] I ysgol arall y proffwydi, i fynegu iddynt hwythau am symudiad Elias, a'i osodiad yntau yn y swydd yn ei le ef; ac i'w cysuro, eu trefnu, a'u cyfarwyddo, fel y gwelai achos. *Plant bychain a ddaeth allan o'r ddinas*—y mae y geiriau gwreiddiol, *nearim ketannim*, yn arwyddo 'gwŷr ieuainc,' yn gystal a 'phlant bychain;' a chymhwysir yr ymadrodd at Isaac pan yn 25 mlwydd oed o leiaf, at Joseph pan yn 30, ac at Rehoboam pan yn 40: gwel Gen. xxii. 5, 12, a xli. 12, 2 Cron. xiii. 7. *Ac a'i gwatwarasant ef*—oddiar ddiystyrwch o'r wir grefydd, a sel benboeth dros yr eilunaddoliaeth a wrthwynebid ganddo ef. *Dos i fyny moelyn, dos i fyny moelyn!*—nid myned i fyny i *Bethel* a feddylient; canys nid oedd eilunaddolwyr y ddinas hòno, rhieni annuwiol y plant drygionus hyn, am weled proffwyd Duw yn eu mysg; ond myned i fyny i'r *nef*, yr un modd ag yr aethai Elias, fel y caid llonydd ganddo yntau hefyd: ac fel hyn yr oeddynt yn gwatwar symudiad Elias i'r nef, yn gystal ag yn gwatwar Eliseus a'i *ben-moelni*. Fel pe dywedasent, 'Dos dithau i fyny ar ei ol ef, canys yr wyt yn ddigon hen, fel y mae dy ben-moelni yn dangos.'

Adn. 24. *Ac efe a drôdd yn ei ol*] A drôdd ei wyneb atynt, gan edrych arnynt â golwg lem, geryddol; *ac a'u melldithiodd yn enw yr Arglwydd*—hyny yw, cyhoeddodd y disgynai melldith yr Arglwydd arnynt, nid mewn tymher ddrwg, ac ysbryd dial am iddynt ei watwar ef; ond dan gynhyrfiad Ysbryd Duw, am iddynt wawdio gwyrth JEHOFA. Y mae

25 Ac efe a aeth oddiyno i fynydd
Carmel, ac oddiyno efe a ddychwel-
odd i Samaria.

## PENNOD III.

A JEHORAM mab Ahab a aeth yn
frenin ar Israel yn Samaria, yn
y ddeunawfed flwyddyn i Jehosaphat
brenin Juda, ac a deyrnasodd ddeu-
ddeng mlynedd.
2 Ac efe a wnaeth ddrwg yn
ngolwg yr Arglwydd, ond nid fel ei
dad nac fel ei fam: canys efe a fwr-
iodd ymaith ddelw Baal, yr hon a
wnelsai ei dad.
3 Eto efe a lynodd wrth bechodau
Jeroboam mab Nebat, yr hwn a
wnaeth i Israel bechu: ni chiliodd
efe oddiwrthynt hwy.
4 ¶ A Mesa brenin Moab oedd
berchen defaid, ac a dalai i frenin
Israel gan mil o ŵyn, a chan mil o
hyrddod gwlanog.
5 Ond wedi marw Ahab, brenin
Moab a wrthryfelodd yn erbyn bren-
in Israel.
6 ¶ A'r brenin Jehoram a aeth
allan y pryd hwnw o Samaria, ac a
gyfrifodd holl Israel.
7 Efe a aeth *hefyd* ac a anfonodd
at Jehosaphat brenin Juda, gan ddy-
wedyd, Brenin Moab a wrthryfelodd
i'm herbyn i: a ddeui di gyda mi i
ryfel yn erbyn Moab? Dywedodd
yntau, Mi âf i fyny; myfi *a fyddaf*
fel tithau, fy mhobl i fel dy bobl
dithau, fy meirch i fel dy feirch
dithau.
8 Ac efe a ddywedodd, Pa ffordd
yr âwn ni i fyny? Dywedodd yntau,
Fordd anialwch Edom.

---

tri ystyr i'r gair *melldithio* yn yr ysgrythyr: (1) Arwydda *osod* melldith; ac yn yr ystyr yma y dywedir i Dduw felldithio y ddaear ar ol y cwymp. (2) Arwydda *ewyllysio* melldith; ac yn yr ystyr yma y dywedir i Simei felldithio Dafydd. (3) Arwydda *gyhoeddi* neu *ragfynegu* melldith neu gosp; ac yn yr ystyr yma y dywedir i Eliseus felldithio y plant hyn. Dywedir iddo eu melldithio hwynt *yn enw yr Arglwydd*. Yn awr, *llefaru* yn enw yr Arglwydd, yw traethu yr hyn a orchymynodd efe; *proffwydo* yn enw yr Arglwydd, yw rhagfynegu yr hyn a ddatguddiodd efe; a *melldithio* yn enw yr Arglwydd, yw datgan y felldith ag yr oedd efe yn penderfynu ei gweinyddu, a'r hon yr awdurdododd efe y proffwyd i'w chyhoeddi. *A dwy arth a ddaeth allan o'r goedwig*—Saes. 'dwy *arthes*,' fel pe buasent wedi colli eu cenawon, ac felly yn fwy ffyrnig a chreulon. Nis gallwn feddwl, gyda rhai, mai dychwelyd o'r *goedwig* o ddyfetha y cenawon yr oedd y plant, ac i'r ddwy arthes eu lladd am hyny; canys dywedir yma mai o'r *ddinas* y daethent, adn. 23: felly barn uniongyrchiol oddiwrth Dduw oedd hyn, ac nid dygwyddiad damweiniol. *Ac a ddrylliodd o honynt ddau blentyn a deugain*—yn gosp ofnadwy ar gynifer o blant, ac ar eu rhieni hefyd am na ddysgasent well pethau iddynt. Tybia rhai eu bod oll yn perthyn i ryw ysgol eilunaddolgar yn Bethel, ac i'w hathraw eu hanfon allan i watwar y proffwyd.

Adn. 25. *Ac efe a aeth oddiyno i fynydd Carmel*] Lle y buasai Elias gyda phroffwydi Baal; *ac oddiyno efe a ddychwelodd i Samaria*—prifddinas brenhiniaeth Israel, i dystiolaethu yn erbyn eilunaddoliaeth y lle hwnw, ac i geisio ennill y bobl yn ol at addoliad JEHOFA.

PEN. III. Adn. 1. *A Jehoram mab Ahab*] Neu *Joram*, fel y gelwir ef pen. viii. 16; *yn y ddeunawfed flwyddyn*—gwel ar pen. i. 17.

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] Trwy lynu wrth eilunaddoliaeth a phechodau ereill; *ond nid fel ei dad nac fel ei fam*—nid oedd efe yn llawn cyn waethed ag Ahab a Jezebel, trwy iddo fwrw ymaith ddelw Baal, yr hon a addolent hwy.

Adn. 3. *Eto efe a lynodd wrth bechodau Jeroboam*] Trwy addoli y lloi aur fel rhai yn cynrychioli JEHOFA: gwel ar 1 Bren. xii. 27—33.

Adn. 4. *A Mesa brenin Moab oedd berchen defaid*] Canys yr oedd cyfoeth brenhinoedd a'u deiliaid, yn yr hen amseroedd, yn gynwysedig i gryn raddau mewn amledd o anifeiliaid. *Ac a dalai i frenin Israel*—fel treth neu deyrnged flynyddol, er pan ddarostyngwyd Moab ac Edom gan Dafydd, 2 Sam. viii. 2—14. Ond er pan aeth Juda ac Israel yn ddwy frenhiniaeth, talai yr Edomiaid deyrnged i Juda, a'r Moabiaid i Israel. *Gan mil o ŵyn*—neu 'gan mil o *ychain breision*,' fel y mae y Galdeaeg a'r Arabaeg yn ei ddarllen; *a chan mil o hyrddod*—neu ddefaid gwlanog.

Adn. 5. *Ond wedi marw Ahab*] Ac i Israel gael eu gorchfygu gan y Syriaid, 1 Bren. xxii. 36; *brenin Moab a wrthryfelodd yn erbyn brenin Israel*—sef yn erbyn Ahaziah, gan wrthod talu treth iddo, pen. i. 1; ac ni allodd Ahaziah, gan ei glefyd, fyned i'w ddarostwng ef.

Adn. 6. *A'r brenin Jehoram*] Yr hwn a gafodd orsedd Israel ar ol ei frawd Ahaziah; *a aeth allan y pryd hwnw*—i barotoi i ryfel yn erbyn y Moabiaid.

Adn. 7. *Efe a aeth hefyd ac a anfonodd at Jehosaphat brenin Juda*] I ofyn ei gymhorth ef yn erbyn Moab, fel y gofynasai ei dad ei gymhorth ef o'r blaen yn erbyn y Syriaid. *Mi âf i fyny*—efe a gydsyniodd yn y fan, am fod y rhyfel hon yn gyfiawn ynddi ei hun, ac i gospi y Moabiaid am ymosod ar ei wlad ef cyn hyn, 2 Cron. xx. 21. *Myfi a fyddaf fel*

9 Felly yr aeth brenin Israel, a
brenin Juda, a brenin Edom; ac a
aethant o amgylch ar eu taith saith
niwrnod: ac nid oedd dwfr i'r fydd-
in, nac i'r anifeiliaid *oedd* yn eu
canlyn hwynt.
10 A brenin Israel a ddywedodd,
Gwae *fi*, o herwydd i'r Arglwydd
alw y tri brenin hyn yn nghyd i'w
rhoddi yn llaw Moab.
11 A Jehosaphat a ddywedodd,
Onid *oes* yma broffwyd i'r Arglwydd,
fel yr ymofynom ni â'r Arglwydd
trwyddo ef? Ac un o weision brenin
Israel a atebodd ac a ddywedodd, *Y*
*mae* yma Eliseus mab Saphat, yr
hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylaw
Elias.
12 A Jehosaphat a ddywedodd, Y
mae gair yr Arglwydd gydag ef.
Felly brenin Israel, a Jehosaphat,
a brenin Edom, a aethant i waered
ato ef.
13 Ac Eliseus a ddywedodd wrth
frenin Israel, Beth *sydd* i mi a *wnel-*
*wyf* â thi? dos at broffwydi dy dad,
ac at broffwydi dy fam. A brenin Is-
rael a ddywedodd wrtho, Nage:
canys yr Arglwydd a alwodd y tri
brenin hyn yn nghyd i'w rhoddi yn
llaw Moab.
14 Ac Eliseus a ddywedodd, *Fel*
*mai* byw Arglwydd y lluoedd, yr
hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron,
oni bae fy mod i yn perchi wyneb
Jehosaphat brenin Juda, nid ed-
rychaswn i arnat ti, ac ni'th welswn.
15 Ond yn awr dygwch i mi
gerddor. A phan ganodd y cerdd-
or, daeth llaw yr Arglwydd arno ef.

---

*tithau*—yr un modd ag y dywedasai efe wrth Ahab: gwel ar 1 Bren. xxii. 4.

Adn. 8. *Ffordd anialwch Edom*] Yr hon a ddewisai Jehosaphat, er ei bod yn mhellach, am y dysgwyliai i frenin Edom ymuno â hwynt, fel y cawn iddo wneuthur: ac yn wir yr oedd efe yn rhwym i hyny, gan ei fod dan deyrnged i frenin Juda.

Adn. 9. *Brenin Edom*] Yn briodol, nid oedd hwn ddim ond *rhaglaw* ar Edom, dan frenin Juda, 1 Bren. xxii. 47; ac felly yr oedd yn rhaid iddo fyned gyda'r ddau frenin arall i'w cynorthwyo hwy. *Aethant o amgylch ar eu taith saith niwrnod*—sef o amgylch pen deheuol y môr marw, i ymyl gwlad Moab, yr hon oedd gyferbyn â rhandir Juda yr ochr ddwyreiniol i'r môr hwnw. *Ac nid oedd dwfr i'r fyddin*—yn y wlad boeth ac anial hòno, yr hyn oedd yn drallod dirfawr.

Adn. 10. *Gwae fi!*] Dechreuai Jehoram gwyno o flaen un o'r lleill, am mai yn ei achos ef yr oedd y ddau frenin arall wedi dyfod allan; *o herwydd i'r Arglwydd alw y tri brenin hyn yn nghyd*—sef efe ei hun, a'r ddau arall; *i'w rhoddi yn llaw Moab*—efe a gydnabyddai law yr Arglwydd yn y peth, ond mewn ysbryd grwgnachlyd, heb gydnabod un o'i bechodau ei hun fel yr achos, na gweddio am faddeuant o honynt.

Adn. 11. *Onid oes yma broffwyd i'r Arglwydd?*] Dylasai brenin Juda ofyn hyn yn y dechre, cyn cynghori i fyned ar hyd y ffordd anial hòno; ond gwell hwyr na hwyrach. *Y mae yma Eliseus*—meddylir fod y proffwyd wedi cael cyfarwyddyd dwyfol i fyned gyda'r fyddin y tro hwn, er nas gwyddai ef ei hun i ba beth ond odid hyd yn awr. *Yr hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylaw Elias*—yr un peth a dywedyd, 'yr hwn oedd *was* i Elias,' am yr arferai y gweision dywallt dwfr ar ddwylaw eu meistriaid ar ol eu prydiau bwyd, i'w golchi ar ol bod yn bwyta â'u bysedd. Y mae hyn yn arferiad yn y dwyrain hyd heddyw.

Adn. 12. *Y mae gair yr Arglwydd gydag ef*] Hyny yw, y mae efe yn wir broffwyd, yr hwn a all ein cynorthwyo yn ein cyfyngder presenol.

Adn. 13. *Beth sydd i mi a wnelwyf â thi*] A thithau yn eilunaddolwr? *Dos at broffwydi dy dad*—sef proffwydi Baal; *ac at broffwydi dy fam*—sef proffwydi y llwyni, 1 Bren. xviii. 19. Gwawdiaith oedd hyn, a cherydd i frenin Israel am ei eilunaddoliaeth. *A brenin Israel a ddywedodd wrtho, Nage*—y mae yr Arabaeg yn chwanegu yma, 'yr wyf yn atolwg i ti, na sonia am ein troseddau, ond bydd dirion tuag atom.' *Canys yr Arglwydd a alwodd y tri brenin hyn yn nghyd*—ac nid Baal nac Astaroth; ac am hyny â phroffwyd yr Arglwydd yn unig y dymunai efe ymgynghori.

Adn. 14. *Ac Eliseus a ddywedodd*] Gan dyngu yn ddifrifol i'r Arglwydd, megys y gwnaethai Elias, 1 Bren. xvii. 1. *Oni bae fy mod i yn perchi wyneb Jehosaphat*—yr hwn sydd yn ddyn da, ac yn addolwr y gwir Dduw yn unig; *nid edrychaswn i arnat ti*—yr hwn wyt eilunaddolwr, i roddi cynghor i ti.

Adn. 15. *Ond yn awr dygwch i mi gerddor*] Un yn medru chwareu â'r delyn, neu ryw offeryn cerdd arall; ond odid un o'r Lefiaid, cerddorion y deml, yr hwn oedd yno gyda byddin brenin Juda. Y mae yn amlwg fod ysbryd Eliseus wedi cynhyrfu yn fawr gan eiddigedd santaidd wrth weled brenin annuwiol Israel, ac am hyny galwai am gerddor i lonyddu y cynhwrf hwnw yn ei ysbryd. Am effeithiau cerddoriaeth, gwel ar 1 Sam. xvi. 16. Y mae yn angenrheidiol i'r meddwl fod yn *dawel*, a'r nwydau oll yn *ddigyffro*, mewn trefn i ddyn fod yn addas wrthddrych ymweliadau dwyfol. *A phan ganodd y cerddor*—ryw beroriaeth fwyn a pheraidd, yn cael ei dylyn ond odid â geiriau emynawl o fawl i Dduw; *daeth llaw yr Arglwydd arno ef*—disgynodd ysbryd proffwydoliaeth arno fel rhodd neillduol o law JEHOFA.

16 Ac efe a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd; Gwna y dyffryn hwn yn llawn ffosydd.
17 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ni welwch wynt, ac ni welwch wlaw; eto y dyffryn hwn a lenwir o ddwfr, fel yr yfoch chwi, a'ch anifeiliaid, a'ch ysgribliaid.
18 A pheth ysgafn yw hyn yn ngolwg yr Arglwydd: efe a ddyry Moab yn eich llaw chwi hefyd.
19 A chwi a darewch bob dinas gaerog, a phob dinas ddetholedig; a phob pren têg a fwriwch chwi i lawr; yr holl ffynnonau dyfroedd hefyd a gauwch chwi, a phob darn o dir da a ddifwynwch chwi â cherig.
20 ¶ A'r bore pan offrymwyd y bwyd-offrwm, wele, ddyfroedd yn dyfod o ffordd Edom: a'r wlad a lanwyd o ddyfroedd.
21 A phan glybu yr holl Moabiaid fod y brenhinoedd hyny wedi dyfod i fyny i ymladd yn eu herbyn hwynt, y galwyd yn nghyd bawb a'r a allai wisgo arfau, ac uchod, a hwy a safasant ar y terfyn.
22 A hwy a gyfodasant yn fore, a'r haul a gyfodasai ar y dyfroedd; a'r Moabiaid a ganfuant ar *eu* cyfer y dyfroedd yn goch fel gwaed:
23 A hwy a ddywedasant, Gwaed *yw* hwn: gan ddyfetha y dyfethwyd y brenhinoedd, a hwy a darawsant bawb eu gilydd: am hyny yn awr at yr anrhaith, Moab.
24 A phan ddaethant at wersyll Israel, yr Israeliaid a gyfodasant, ac a darawsant y Moabiaid, fel y ffoisant o'u blaen hwynt: a hwy a aethant rhagddynt, gan daro y Moabiaid yn *eu* gwlad *eu hun*.

---

Adn. 16. *Ac efe a ddywedodd*] Wrth frenin Israel, yn ol gorchymyn yr Arglwydd ar y pryd; *Gwna y dyffryn hwn yn llawn ffosydd*—i ddal dwfr at wasanaeth dyn ac anifel.

Adn. 17. *Ni welwch wynt*] Yn ei effeithiau yn casglu tarth; *ac ni welwch wlaw*—wedi ei achosi gan darth neu egerau dyfriol: *eto y dyffryn hwn a lenwir o ddwfr*—naill ai yn tarddu i fyny o'r ddaear, neu wedi ei greu yn fwriadol at yr angen presenol; canys nid yw Duw i gael ei gyfyngu at ail achosion.

Adn. 18. *A pheth ysgafn yw hyn yn ngolwg yr Arglwydd*] Nid yw ond ffafr fechan mewn cydmhariaeth i'r hyn ag y mae yn ei fwriadu i chwi er mwyn Jehosaphat; *efe a ddyry Moab yn eich llaw chwi hefyd*—yn lle i chwi gael eich rhoddi yn eu llaw hwynt, fel yr ofnech, adn. 10, 13, rhoddir hwynt yn eich llaw chwi, yr hyn ni ofynasoch am dano.

Adn. 19. *A chwi a darewch bob dinas gaerog*] Yr hyn a arwyddai y byddai eu buddugoliaeth ar y Moabiaid yn sicr a chyflredinol; *a phob pren têg a fwriwch chwi i lawr*—sef pob pren ag y gallo eich gelynion wneyd defnydd o hono er amddiffyniad. Yr oedd y gyfraith yn gwahardd iddynt ddyfetha y prenau ymborth neu ffrwythau; er y tybia rhai fod hyny yn cael ei orchymyn yma, i gospi y Moabiaid yn drymach: gwel ar Deut. xx. 19, 20. *Yr holl ffynnonau dyfroedd hefyd a gauwch chwi*—yr hyn yn y gwledydd poethion a ddarostyngai y gelyn yn gynt na dim. *A phob darn o dir da a ddifwynwch chwi*—trwy i bob un o honoch fwrw cerig iddo i'w ddyfetha.

Adn. 20. *A'r bore pan offrymwyd y bwyd-offrwm*] Yr hwn a barotoid yn wastadol gyda'r aberth boreol a hwyrol, Exod. xxix. 38—41, ac a ddylynid yn ddiamau â gweddiau pobl Dduw. Ar yr awr hòno cymysgai Eliseus a byddin Juda eu gweddiau gyda gweddiau y duwiolion yn y deml; a dewisodd Duw wneyd y wyrth hon ar awr yr offrwm boreol yn Jerusalem, fel trwy hyny y penderfynid y ddadl rhwng gwŷr Israel a gwŷr Juda yn nghylch y *lle* a'r *dull* o addoli, ac y ceid tystiolaeth gyhoeddus o'r nef o blaid yr Iuddewon, ac yn erbyn yr Israeliaid. *Wele, ddyfroedd yn dyfod o ffordd Edom*—tu ol iddynt, nes llenwi yr holl ddyffryn. Yr oedd hyn yn hollol wyrthiol: canys nid oedd yno na gwynt na gwlaw, nac un moddion naturiol arall, i gynyrchu y dyfroedd.

Adn. 21. *Galwyd yn nghyd bawb a'r a allai wisgo arfau*] Pob un ag oedd mewn oedran i wisgo arfau, ac o'r oedran hwnw i fyny, hyd y gallent gan henaint; *a hwy a safasant ar y terfyn*—rhwng gwlad Moab a gwlad Edom, i wylied symudiadau eu gelynion.

Adn. 22. *A hwy a gyfodasant yn fore*] Dranoeth; *a'r haul a gyfodasai ar y dyfroedd*—tywynai yr haul, ar ei godiad, yn ddysgleirgoch ar y dyfroedd, nes yr oeddynt yn ymddangos trwy y niwl boreol yn goch fel gwaed: ac yr oeddynt yn barotach i gasglu mai *gwaed* ydoedd, gan y gwyddent na bu yno wlaw i beri dwfr ar wyneb y dyffryn.

Adn. 23. *Gan ddyfetha y dyfethwyd y brenhinoedd*] A'u byddinoedd yn nghyd. Yr oeddynt yn meddwl eu bod wedi syrthio i annhrefn yn nhywyllwch y nos, a lladd bawb eu gilydd, fel y gwnaethai y Midianiaid gynt, Barn. vii. 22, a'r Philistiaid yn ddiweddar, 1 Sam. xiv. 20. *Yn awr at yr anhraith, Moab*—gan feddwl nad oedd ganddynt ddim i'w wneyd bellach ond yspeilio y lladdedigion, heb neb i'w gwrthsefyll.

Adn. 24. *A phan ddaethant at wersyll Israel*] Nid yn drefnus fel milwyr i ryfel, ond yn ddidrefn a chymysglyd, pob un am y cyntaf at yr anrhaith; *yr Israeliaid a gyfodasant, ac a darawsant y Moabiaid*—gan ladd llawer, a gyru y lleill ar ffo; *a hwy a aethant rhagddynt*—gan erlid y Moabiaid i'w gwlad eu hun, lle y dystrywiasant y dinas-

25 A hwy a ddystrywiasant y dinasoedd, ac *i* bob darn o dir da y bwriasant bawb ei gareg, ac a'i llanwasant; a phob ffynnon ddwfr a gauasant hwy, a phob pren da a gwympasant hwy i lawr: yn unig yn Cir-haraseth y gadawsant ei cherig; eto y rhai oedd yn taflu a'*i* hamgylchynasant, ac a'i tarawsant hi.

26 ¶ A phan welodd brenin Moab fod y rhyfelwyr yn drech nag ef, efe a gymerth saith gant o wŷr gydag ef yn tynu cleddyf, i ruthro ar frenin Edom: ond nis gallasant hwy.

27 Yna efe a gymerodd ei fab cyntafanedig ef, yr hwn oedd i deyrnasu yn ei le ef, ac a'i hoffrymodd ef yn boeth-offrwm ar y mur. A bu llid mawr yn erbyn Israel: a hwy a aethant ymaith oddiwrtho ef, ac a ddychwelasant i'*w* gwlad *eu hun.*

## PENNOD IV.

A RHYW wraig o wragedd meibion y proffwydi a lefodd ar Eliseus, gan ddywedyd, Dy was fy ngŵr a fu farw; a thi a wyddost fod dy was yn ofni yr Arglwydd: a'r echwynwr a ddaeth i gymeryd fy nau fab i *i fod* yn gaethion iddo.

2 Ac Eliseus a ddywedodd wrthi, Beth a wnaf fi i ti? mynega i mi, beth sydd genyt ti yn *dy* dŷ? Dywedodd hithau, Nid *oes* dim gan dy law-forwyn yn tŷ, ond ystenaid o olew.

3 Ac efe a ddywedodd, Dos, cais i ti lestri oddiallan gan dy holl gy-

---

oedd, y maesydd, y ffynnonau, a'r coedydd, fel yr awgrymwyd iddynt, adn. 19.

Adn. 25. *Yn unig yn Cir-haraseth y gadawsant ei cherig*] Hon oedd ddinas frenhinol Moab, i'r hon yr ymgynullodd y ffoedigion: muriau ac adeiladau hon yn unig a adawyd i sefyll, tra yr oedd yr holl ddinasoedd ereill yn garneddau. *Eto y rhai oedd yn taflu a'i hamgylchynasant*—sef y rhai a dafient gerig mawrion o beiriannau yn erbyn y muriau; *ac a'i tarawsant hi*—tarawsant ei chaerau nes eu dryllio, gan ladd hefyd y milwyr ar y muriau.

Adn. 26. *A phan welodd brenin Moab fod y rhyfelwyr yn drech nag ef*] Ac nad oedd ganddo obaith am allu cadw y ddinas; *efe a gymerth saith gant o wŷr gydag ef*—â'u cleddyfau noethion yn eu dwylaw; *i ruthro ar frenin Edom*—efe a dybiai mai ei fyddin ef oedd y wanaf, a meddyliodd ruthro arno ef a'i blaid, mewn gobaith o allu dianc trwyddynt; ond methodd.

Adn. 27. *Yna efe a gymerodd ei fab cyntafanedig—ac a'i hoffrymodd yn boeth-offrwm ar y mur*] I heddychu ac ennill ffafr ei dduw Cemos. Arferai y paganiaid aberthu dynion, ac hyd yn nod eu plant eu hunain, i droi ymaith ryw drallodion gwladol mawrion, fel y tystia Eusebius, Lactantius, Cesar, ac ereill; a dywed Burder fod yr arferiad barbaraidd hwn yn ffynu yn mhlith yr Ethiopiaid, y Phenisiaid, y Scythiaid, yr Aifftiaid, y Chineaid, y Persiaid, yr Indiaid, y Gwalwyson, y Groegiaid, y Rhufeiniaid, y Gothiaid, a'r Prydeiniaid. *A bu llid mawr yn erbyn Israel*—y mae y frawddeg hon yn cael ei deall yn wahanol: (1) Llidiodd yr Arglwydd wrth Israel am yru pethau i'r fath eithafion. (2) Yr oedd y cenhedloedd oddiamgylch yn eu ffieiddio o'r herwydd. (3) Yr oedd brenin Moab mor lidiog wrthynt, nes y penderfynodd ddal allan yn eu herbyn hyd y diwedd. (4) Bu llid mawr yn mhlith Israel o'r achos. (5) Bu gofid neu edifeirwch mawr ar Israel o herwydd yr aberthiad creulon hwn, fel y buasai yn dda ganddynt pe na chariasent y rhyfel mor bell, fel ag i ddiweddu yn y fath weithred ofnadwy. *A hwy a aethant ymaith oddiwrtho ef*—rhag iddo aberthu chwaneg o ddynion i'w dduwiau; *ac a ddychwelasant i'w gwlad eu hun*—bob un o'r tair byddin, gan osod terfyn ar y rhyfel yn y modd hwnw.

PEN. IV. Adn. 1. *A rhyw wraig*] Hon, yn ol y Galdeaeg, Jarchi, a'r rabbiniaid, oedd wraig Obadiah; tra y tybia ereill mai gwraig i un o'r proffwydi a guddiasai efe yn yr ogof oedd hi, 1 Bren. xviii. 4. *O wragedd meibion y proffwydi*—neu *ddysgyblion* y proffwydi; canys yr oedd yn gyfreithlon i'r proffwydi gael gwragedd, yn gystal a'r offeiriaid a'r Lefiaid. *Dy was fy ngŵr a fu farw*—y mae yn debyg fod ei gŵr hi yn adnabyddus i Eliseus, canys hi a'i cyfarcha ef fel un a wyddai fod ei gŵr yn ofni yr Arglwydd. *A'r echwynwr a ddaeth*—hwn, meddai yr Iuddewon, oedd Jehoram mab Ahab, yr hwn a roddes fenthyg arian i Obadiah i borthi proffwydi yr Arglwydd, yn lle eu cynal ar draul Ahab. *I gymeryd fy nau fab i, i fod yn gaethion iddo*—yn ei wasanaeth ei hun, neu i'w gwerthu i arall. Er fod hyn yn oddefol mewn rhai amgylchiadau, (gwel ar Mat. xviii. 25,) eto nid oedd gan yr echwynwr hwn ddim tosturi at dylodi y wraig weddw, na pharch i dduwioldeb ei gŵr.

Adn. 2. *Beth a wnaf i ti*] I'th gynorthwyo, gan fy mod fy hun yn dylawd? *Beth sydd genyt ti yn dy dŷ*—ag y gelli ei hebgor, a'i droi yn arian, i dalu dyled dy ŵr? *Nid oes dim*—o werth, neu ag y gallaf ei hebgor, *ond ystenaid o olew*—â'r hwn ond odid y gwneid bara, neu yr hwn a fwyteid gyda bara, 1 Bren. xvii. 12. Ond tybia rhai mai *enaint* wedi ei gadw ganddi erbyn dydd ei chladdedigaeth ydoedd: gwel ar Mat. xxvi. 8—12.

mydogion, *sef* llestri gweigion, nid
ychydig.
4 A phan ddelych i mewn, cau y
drws arnat, ac ar dy feibion, a thy-
wallt i'r holl lestri hyny; a dod
heibio yr hwn *a fyddo* llawn.
5 Felly hi a aeth oddiwrtho ef, ac
a gauodd y drws arni, ac ar ei meib-
ion: a hwynt-hwy a ddygasant *y
llestri* ati hi; a hithau a dywalltodd.
6 Ac wedi llenwi y llestri, hi a
ddywedodd wrth ei mab, Dwg i mi
eto lestr. Dywedodd yntau wrthi,
Nid *oes* mwyach *un* llestr. A'r olew
a beidiodd.
7 Yna hi a ddaeth ac a fynegodd
i ŵr Duw. Dywedodd yntau, Dos,
gwerth yr olew, a thâl dy ddyled;
a bydd di fyw, ti a'th feibion, ar y
rhan arall.
8 ¶ A bu *ar ryw* ddiwrnod i Eli-
seus dramwyo i Sunem; ac yno yr
*oedd* gwraig oludog, yr hon a'i cy-
mhellodd ef i fwyta bara. A chynif-
er gwaith ag y tramwyai efe heibio,
efe a droai yno i fwyta bara.
9 A hi a ddywedodd wrth ei gŵr,
Wele yn awr, mi a wn mai gŵr
santaidd i Dduw *ydyw* hwn, sydd
yn cyniwair heibio i ni yn wastadol.
10 Gwnawn, atolwg, ystafell fech-
an ar y mur; a gosodwn iddo yno
wely, a bwrdd, ac ystôl, a chanwyll-
bren: fel y tro efe yno, pan ddelo
efe atom ni.
11 Ac ar ddydd-gwaith efe a
ddaeth yno, ac a drôdd i'r ystafell,
ac a orphwysodd yno.
12 Ac efe a ddywedodd wrth Ge-
hazi ei was, Galw ar y Sunamees
hon. Yntau a alwodd arni hi: hi-
thau a safodd ger ei fron ef.

---

Adn. 3. *Cais i ti lestri oddiallan*] Canys nid oedd ganddi gymaint a llestri *gweigion* yn ei thŷ.

Adn. 4. *Cau y drws arnat, ac ar dy feibion*] Fel na byddai i neb ddyfod i mewn i'w haflonyddu tra y byddai y wyrth yn cael ei chyflawni; a rhag i'r plant redeg allan i fostio am y fath gyflenwad gwyrthiol wrth eu cymydogion; ac fel y caent hamdden i addoli a moliannu Duw am ei radlonrwydd hynod. *A thywallt i'r holl lestri hyny*—o'r ystên yn yr hon y mae yr olew genyt; *a dod heibio yr hwn a fyddo llawn*—yr hyn a wnai un o'i meibion, tra y byddai y llall yn estyn iddi lestr gwâg.

Adn. 5. *Felly hi a aeth oddiwrtho ef*] I fenthyca llestri gweigion gan ei chymydogion.

Adn. 6. *Dwg i mi eto lestr*] Canys yr oedd y bachgen yn sefyll mewn syndod ar ol i'r holl lestri gael eu llenwi. *Nid oes mwyach un llestr*—trwy fod yr olaf o'r rhai a fenthycodd hi wedi ei lenwi. *A'r olew a beidiodd*—a beidiodd â chynyddu yn wyrthiol, a beidiodd â rhedeg allan. Tra yr oedd yno lestr i'w lenwi, yr oedd yr olew yn cynyddu yn barhaus; a phan nad oedd un llestr i'w dderbyn, y pryd hyny yn unig y peidiodd ef â rhedeg. Yr oedd hwn yn arwyddlun da o ras Duw. Lle y mae calon wâg a hiraethlon, yno y mae ffynnonell orlifol o ras ac iachawdwriaeth. Os cawn ni mewn rhyw le, neu ar ryw bryd, fod yr olew grasol yn peidio dylifo, hyny sydd am nad oes yno lestri gweigion, ddim eneidiau yn newynu ac yn sychedu am gyfiawnder. O'n tu ni y mae y prinder, nid o du Dduw: ein ffydd ni sydd yn pallu, nid ei ras ef.

'Mae'r iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.'

Adn. 7. *Dos, gwerth yr olew*] Diamau fod yr olew gwyrthiol hwn, fel y gwin yn Cana Galilea, o'r fath *oraf*, fel yr oedd yn hawdd iddi ei werthu, a chael pris da am dano: *a thâl dy ddyled*—yr oedd hi i dalu ei dyled gyfiawn â rhan o'r arian, ac i fyw gyda'i meibion ar y rhan arall.

Adn. 8. *I Eliseus dramwyo i Sunem*] Dinas yn llwyth Issacar, yn agos i Endor; *ac yno yr oedd gwraig oludog*—yr hon oedd hefyd, yn ol y Syriaeg a'r Galdeaeg, yn 'ofni pechu,' ac yn 'wir dduwiol.' Dywed *Rab. Eliezer* ei bod yn chwaer i Abisag y Sunamees, yr hon a roddwyd i gynhesu Dafydd yn ei henaint, 1 Bren. i. 3; ond nis gall hyny fod yn wir, trwy fod 120 mlynedd er pan fu Dafydd farw. *Hon a'i cymhellodd ef i fwyta bara*—hyny yw, a fu daer wrtho am droi i mewn i gael lluniaeth wrth fyned heibio; ac felly y gwnai efe bob amser.

Adn. 9. *Mi a wn mai gŵr santaidd i Dduw ydyw hwn*] Sef proffwyd enwog i'r Goruchaf; *sydd yn cyniwair heibio i ni yn wastadol*—ar ei ffordd o'r naill ysgol y proffwydi i'r llall.

Adn. 10. *Gwnawn, atolwg, ystafell fechan ar y mur*] Sef y tu allan i fur eu tŷ, fel y gallai droi i mewn iddi i orphwys, myfyrio, a gweddio, a bod allan o swn a dadwrdd y teulu. Yr oedd *gwely*, *bwrdd*, *ystôl*, a *chanwyllyr*, yn bob peth ag ydoedd yn angenrheidiol er ei gysur yn y fath le, dan y fath amgylchiadau; ac y mae yn debyg ei fod yn cael ymborth yn y tŷ, ar yr un bwrdd a'r gŵr a'r wraig.

Adn. 11. *Ac ar ddydd-gwaith efe a ddaeth yno*] Sef rhyw ddydd o'r wythnos, canys nid arferai yr Iuddewon deithio ar y sabbath, oddieithr i addoli; *ac a drôdd i'r ystafell*—y tro cyntaf ond odid ar ol ei hadeiladu; *ac a orphwysodd yno*—dros nos, efe a'i was.

Adn. 12. *Ac efe a ddywedodd wrth Gehazi ei was*] Yr hwn a deithiai gydag ef fel gweinydd iddo. Dyma y tro cyntaf i ni glywed am y gŵr hwn; a phwy ydoedd nis gwyddom.

13 Dywedodd hefyd wrtho, Dywed yn awr wrthi hi, Wele, ti a ofelaist trosom ni â'r holl ofal yma; beth *sydd i'w* wneuthur erot ti? a oes *a fynych* di ei ddywedyd wrth y brenin, neu wrth dywysog y llu? Hithau a ddywedodd, Yn nghanol fy mhobl yr ydwyf fi yn trigo.
14 Ac efe a ddywedodd, Beth gan hyny *sydd* i'w wneuthur erddi hi? A Gehazi a ddywedodd, Yn ddiau nid *oes* iddi fab, a'i gŵr *sydd* hen.
15 Ac efe a ddywedodd, Galw hi. Ac efe a'i galwodd hi; a hi a safodd yn y drws.
16 Ac efe a ddywedodd, Yn nghylch y pryd hwn wrth amser bywioliaeth, ti a gofleidi fab. Hithau a ddywedodd, Nage, fy arglwydd, gŵr Duw, na ddywed gelwydd i'th law-forwyn.
17 A'r wraig a feichiogodd; ac a ddyg fab y pryd hwnw, yn ol amser bywioliaeth yr hyn a lefarasai Eliseus wrthi hi.
18 ¶ A'r bachgen a gynyddodd, ac a aeth ddydd-gwaith allan at ei dad at y medelwyr.
19 Ac efe a ddywedodd wrth ei dad, Fy mhen, fy mhen! Dywedodd yntau wrth lanc, Dwg ef at ei fam.
20 Ac efe a'i cymerth, ac a'i dyg ef at ei fam. Ac efe a eisteddodd ar ei gliniau hi hyd hanner dydd, ac a fu farw.
21 A hi a aeth i fyny, ac a'i gosododd ef i orwedd ar wely gŵr Duw, ac a gauodd *y drws* arno, ac a aeth allan.
22 A hi a alwodd ar ei gŵr, ac a ddywedodd, Anfon, atolwg, gyda mi un o'r llanciau, ac un o'r asenod:

---

*Galw ar y Sunamees hon*—o'i thŷ ei hun i ddrws ystafell y proffwyd. *Hithau a safodd ger ei fron*—ac ar ol gwrthod y cynygion a wnaed iddi gan Eliseus trwy law ei was, adn. 13, ymddengys iddi ddychwelyd i'w thŷ.

Adn. 13. *Dywedodd hefyd wrtho*] Y genadwri gyntaf a gafodd y gwas oedd i'w galw hi at ddrws yr ystafell; ac wedi iddi ddyfod, y mae efe yn cael ail genadwri. *Dywed yn awr wrthi hi*—oddiwrthyf fi. *Beth sydd i'w wneuthur erot ti*—am dy holl garedigrwydd yn gofalu fel hyn ar ein cyfer? *A oes a fynech di ei ddywedyd wrth y brenin*—fel y byddo i'th ŵr gael rhyw swydd anrhydeddus dan y llywodraeth? *neu wrth dywysog y llu*—am swydd iddo yn y fyddin? *Yn nghanol fy mhobl yr ydwyf fi yn trigo*—fel pe dywedasai, 'Y mae genyf ddigon o bethau da y byd hwn, ac yr wyf yn cael fy amgylchynu gan fy ngheraint a'm cyfeillion, ac yn ddedwydd iawn yn y fan lle y gosododd rhagluniaeth Duw fi, fel nad oes arnaf eisiau newid fy sefyllfa.' Ymddengys fod Eliseus mewn bri mawr gan y brenin a'i dywysog ar ol y fuddugoliaeth a gawsant hwy yn ddiweddar yn ol gair Eliseus, pen. iii. 15—25.

Adn. 14. *Ac efe a ddywedodd*] Wrth Gehazi, ar ol i'r wraig rinweddol hon ddychwelyd i'w thŷ; *Beth gan hyny sydd i'w wneuthur erddi hi?*—gan ei bod wedi gwrthod y ffafr a gynygiwyd iddi, a allwn ni wneuthur rhyw ad-daliad arall iddi am ei charedigrwydd? *A Gehazi a ddywedodd, Yn ddiau nid oes iddi fab*—i feddiannu eu hetifeddiaeth ar eu hol, ac i gadw i fyny enw y teulu, yr hyn a ystyrid yn beth anffodus iawn yn Israel; *a'i gŵr sydd hen*—ac am hyny yr oedd yn fwy annhebyg iddi gael mab o hono.

Adn. 15. *Galw hi*] Yr ail waith, i roddi addewid o fab iddi yn ol awgrymiad Gehazi. *A hi a safodd yn y drws*—neu allan wrth y drws, yr un modd a'r tro o'r blaen, adn. 12.

Adn. 16. *Ac efe a ddywedodd*] Gan ei chyfarch hi ei hun y tro hwn, ac nid trwy enau ei was, fel yn adn. 13. *Yn nghylch y pryd hwn wrth amser bywioliaeth*—hyny yw, yn mhen tua naw mis; gwel ar Gen. xviii. 10; *ti a gofleidi fab*—hyny yw, hi a esgorai ar fab byw, yr hwn y cai hi ei fagu ar ei mynwes, a'i gofleidio fel y gwna pob mam. *Nage, fy arglwydd, gŵr Duw*—hi a'i cyfarchai ef yn y modd mwyaf parchus, gan mor fawr y dymunai i'w eiriau fod yn wir; *na ddywed gelwydd i'th law-forwyn*—trwy beri iddi obeithio am beth na ddeuai byth i ben. Nis gallai gredu gan lawenydd.

Adn. 17. *A'r wraig a feichiogodd*] Ac felly cadarnhawyd gwirionedd yr addewid. Fel hyn adeiladodd Duw dŷ iddi hi, yn wobr am ei charedigrwydd yn adeiladu ystafell i'w broffwyd ef,

Adn. 18. *A'r bachgen a gynyddodd*] Mewn oedran a maintioli, trwy ei fod yn awr, fel y meddylir, oddeutu 6 mlwydd oed; *ac a aeth ddydd gwaith allan at ei dad*—yr hwn oedd ar y maes yn edrych ar ol y medelwyr.

Adn. 19. *Fy mhen, fy mhen!*] Y mae yn debyg ei fod wedi ei daro gan *wres yr haul*, yr hyn yn fuan a allai beri marwolaeth i blentyn mor ieuanc yn y wlad boeth hòno. Modd bynag, yr oedd llaw rhagluniaeth yn y cystudd hwn, fel y cai y proffwyd achlysur i wneuthur gwyrth ryfeddol er amlygu gogoniant Duw, yn debyg i'r hyn a wnaethai Elias ar fab y wraig weddw o Sarepta, 1 Bren. xvii. 21, &c. *Dwg ef at ei fam*—fel y byddai iddi hi arferu rhyw foddion i esmwythâu y cur yn ei ben, os gallai.

Adn. 20. *Ac efe a eisteddodd ar ei gliniau hi*] Gan fyned yn fwy poenus yn barhaus hyd hanner dydd, pryd y bu farw.

Adn. 21. *A hi a aeth i fyny*] I ystafell y proffwyd; *ac a'i gosododd ef i orwedd ar wely gŵr Duw*—nid oddiar dybiaeth ofergoelus fod rhinwedd yn ei wely ef i adferu bywyd y plentyn, ond fel y byddai ef yn barod

canys mi a redaf hyd at ŵr Duw, ac
a ddychwelaf.
23 Dywedodd yntau, Paham yr
âi di ato ef heddyw? nid *yw* hi na
newydd-loer, na sabbath. Hithau
a ddywedodd, Pob peth yn dda.
24 Yna hi a gyfrwyodd yr asen;
ac a ddywedodd wrth ei llanc, Gyr,
a dos rhagot: nac aros am danaf fi
i farchogaeth, onid archwyf i ti.
25 Felly hi a aeth, ac a ddaeth at
ŵr Duw i fynydd Carmel. A phan
welodd gŵr Duw hi o bell, efe a
ddywedodd wrth Gehazi ei was,
Wele y Sunamees hòno.
26 Rhed yn awr, atolwg, i'w
chyfarfod, a dywed wrthi hi, *A wyt*
ti yn iach? *a ydyw* dy ŵr yn iach?
*a ydyw* y bachgen yn iach? Dy-
wedodd hithau, Iach.
27 A phan ddaeth hi at ŵr Duw
i'r mynydd, hi a ymaflodd yn ei
draed ef: a Gehazi a nesaodd i'w
gwthio hi ymaith. A gŵr Duw a
ddywedodd, Gâd hi yn llonydd:
canys ei henaid *sydd* ofidus ynddi;
a'r Arglwydd a'i celodd oddiwrthyf
fi, ac nis mynegodd i mi.
28 Yna hi a ddywedodd, A ddy-
munais i fab gan yr Arglwydd? oni
ddywedais, Na thwylla fi?
29 Yna efe a ddywedodd wrth

---

yno erbyn y deuai gŵr Duw i mewn; *ac a gauodd y drws arno ef*—fel na chai neb fyned i mewn i weled fod y plentyn wedi marw; *ac a aeth allan*—i'r maes at ei gŵr.

Adn. 22. *Anfon, atolwg, gyda mi un o'r llanciau*] Ag oeddynt ar y maes yn medi; *ac un o'r asenod*—ag oeddynt yno yn cywain yr ysgubau ond odid; *a mi a redaf hyd at ŵr Duw, ac a ddychwelaf*—hyny yw, a ddychwelai yn *ebrwydd.* Ni ddywedodd fod y plentyn wedi marw, rhag gofidio ei gŵr, ac am y credai yr adferid ef i fywyd. Diamau iddi glywed am yr hyn a wnaethai Elias i fab y wraig weddw o Sarepta, a gwyddai fod ysbryd Elias yn gorphwys ar Eliseus; ac yr oedd yn hyderus y byddai i'r hwn a gawsai y rhodd hon iddi gan Dduw, allu ei adfer ef yn ol iddi. 'O wraig, mawr yw dy ffydd!' a thrwy y ffydd hon, 'gwragedd a dderbyniodd eu meirw trwy adgyfodiad,' Heb. xi. 35.

Adn. 23. *Paham yr âi di ato ef heddyw*] Gan nad oedd yn ddydd cyntaf o'r mis, nac yn seithfed dydd o'r wythnos? Ymddengys oddiyma fod y proffwydi yn arferol o addysgu y bobl yn gyhoeddus ar y dyddiau hyny, a bod llawer yn cyrchu atynt i gael hyfforddiadau mewn crefydd a phethau ereill. *Pob peth yn dda*—ni fydd fy mynediad yn boenus iddo ef, nac yn niweidiol i minau; neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, '*Heddwch*'—bydd dawel, gad i mi fyned.

Adn. 24. *Gyr, a dos rhagot*] Yr oedd yn arferiad yn y dwyrain i'r gwas gerdded gydag asyn ei feistr, a'i yru neu ei symbylu yn mlaen: ac y mae yn debyg mai felly yr oedd yma; canys nid ymddengys iddo ef gyraedd at y proffwyd o'i blaen hi. *Nac aros am danaf fi i farchogaeth*—hyny yw, fel y gellir meddwl, 'na âd i mi ei symbylu ef yn mlaen, eithr gyr di ef nes y parwyf i ti beidio.' Ond tybia rhai fod ganddynt bawb ei asyn.

Adn. 25. *Felly hi a aeth—at ŵr Duw i fynydd Carmel*] Yr hwn oedd oddeutu 15 milldir o Sunem. *A phan welodd gŵr Duw hi o bell*—yn dringo ato i ben y mynydd; *efe a ddywedodd wrth Gehazi ei was*—yr hwn oedd yn ei ddylyn ef yn ei holl deithiau; *Wele y Sunamees hòno*—yr hon a arferai eu derbyn hwy mor lleteugar pan yr aent trwy ddinas Sunem.

Adn. 26. *Rhed yn awr, atolwg, i'w chyfarfod*] O barch iddi, ac i wybod yr achos o'i dyfodiad. *A wyt ti yn iach? &c.*—a oedd rhyw glefyd neu ddamwain wedi dygwydd iddi hi, i'w gŵr, neu i'w bachgen; neu ynte a oedd pob un yn iach, diogel, a chysurus? *Dywedodd hithau, Iach*—neu, fel yr arwydda y wreiddiol, *pob peth yn dda;* canys *da* yw pob peth a wna Duw. Neu, os yw yn fwy dewisol ein cyfieithiad ni, yr oedd hi a'i gŵr yn *iach*, a gallai ddywedyd fod y bachgen hefyd yn iach; canys nid oedd y corff marw yn teimlo clefyd mwyach, a gwyddai fod ei enaid yn berffaith iach; canys nid oedd yr athrawiaeth o ddamnedigaeth babanod wedi gwarthruddo crefydd 'Duw y cariad' yn yr amseroedd boreol hyny.

Adn. 27. *Hi a ymaflodd yn ei draed ef*] Ond odid gan eu cusanu, yr hyn oedd yn arferiad yn mhlith yr Iuddewon wrth dalu gwarogaeth neu wneuthur deisyfiad, Mat. xxviii. 9, Luc vii. 38. *Gehazi a nesaodd i'w gwthio hi ymaith*—am ei bod yn cymeryd gormod o hyfdra gyda'r proffwyd, meddai rhai; neu ynte, fel y gallwn feddwl, am y gwyddai nad oedd ei feistr yn gofyn y fath ymostyngiad gan wraig mor barchus, ac un a ddangosasai gymaint o garedigrwydd iddynt. *Gâd hi yn llonydd*—paid â'i chodi, canys y mae yr agwedd hon yn arwydd o ryw ofid anarferol ynddi; *a'r Arglwydd a'i celodd oddiwrthyf fi*—ni ddanghosodd i mi yr achos o'i gofid. Yma gwelwn fod gallu y proffwydi i *ragwybod* a *gwneyd gwyrthiau* yn tarddu nid oddiar ryw rinwedd mewnol parhaus ynddynt eu hunain, ond oddiar ddylanwad digyfrwng Ysbryd Duw ar y pryd, yr hwn a roddai ac a attaliai efe yn ol fel y gwelai ei anfeidrol ddoethineb fod yn oraf.

Adn. 28. *Yna hi a ddywedodd, A ddymunais i fab gan yr Arglwydd?*] Fel pe dywedasai, Ni roddwyd y mab hwn i mi ar fy nymuniad annghymedrol fy hun, am yr hwn y gallaswn yn awr gael fy ngheryddu yn gyfiawn fel hyn trwy ei golli. *Oni ddywedais*—pan y soniaist ti wrthyf gyntaf am dano, *Na thwylla fi*—â gobaith am beth na ddaw byth i ben? Felly buasai yn well i mi fod heb ei gael, na'i golli mor fuan ar ol ei gael.

Adn. 29. *Yna efe a ddywedodd wrth Ge-*

Gehazi, Gwregysa dy lwynau, a
chymer fy ffon yn dy law, a dos
ymaith: o chyfarfyddi â neb, na
chyfarch iddo; ac o chyfarch neb
di, nac ateb ef: a gosod fy ffon i ar
wyneb y bachgen.
30 A mam y bachgen a ddywed-
odd, *Fel mai* byw yr Arglwydd, ac
*mai* byw dy enaid di, nid ymadawaf
fi â thi. Ac efe a gyfododd, ac a
aeth ar ei hol hi.
31 A Gehazi a gerddodd o'u blaen
hwynt, ac a osododd y ffon ar wyneb
y bachgen: ond nid *oedd* na llefer-
ydd, na chlywed. Am hyny efe a
ddychwelodd i'w gyfarfod ef; ac a
fynegodd iddo, gan ddywedyd, Ni
ddeffrodd y bachgen.
32 A phan ddaeth Eliseus i mewn
i'r tŷ, wele y bachgen wedi marw,
yn gorwedd ar ei wely ef.
33 Felly efe a ddaeth i mewn, ac
a gauodd y drws arnynt ill dau, ac
a weddiodd ar yr Arglwydd.
34 Ac efe a aeth i fyny, ac a or-
weddodd ar y bachgen, ac a osododd
ei enau ar ei enau yntau, a'i lygaid
ar ei lygaid ef, a'i ddwylaw ar ei
ddwylaw ef, ac efe a ymestynodd
arno ef; a chynhesodd cnawd y
bachgen.
35 Ac efe a ddychwelodd, ac a
rodiodd yn tŷ i fyny ac i waered;
ac a aeth i fyny, ac a ymestynodd
arno ef: a'r bachgen a disiodd hyd
yn seithwaith, a'r bachgen a agor-
odd ei lygaid.
36 Ac efe a alwodd ar Gehazi, ac
a ddywedodd, Galw y Sunamees
hon. Ac efe a alwodd arni hi. A
hi a ddaeth ato ef. Dywedodd
yntau, Cymer dy fab.

---

*hazi, Gwregysa dy lwynau*] Sef codi godre ei wisg laes o amgylch ei lwynau, fel y gallai gerdded yn fwy dirwystr; *a chymer fy ffon yn dy law*—i'th gynorthwyo ar dy daith, ac i'r dyben a enwir eto. *O chyfarfyddi â neb, na chyfarch iddo*—canys yr oedd cynifer o ddefodau ffurfiol mewn cyfarchiadau yn y wlad hòno ag a fuasent yn rhwystr mawr iddo yn ei daith; ac efe a chwennychai i'r wyrth gael ei gwneuthur ar frys, cyn i neb wybod am farwolaeth y plentyn. *A gosod fy ffon i ar wyneb y bachgen*—tra y byddaf fi yma yn gweddio am i'r Arglwydd ei adfer ef.

Adn. 30. *Nid ymadawaf â thi*] Hyd oni ddeui di dy hun gyda mi; canys nid oedd ganddi hyder mawr yn Gehazi, ac nid oedd ei ffydd mor gryf fel ag i gredu y gallai y proffwyd ei hun wneyd gwyrth mor fawr heb ei fod yn y lle. *Ac efe a gyfododd, ac a aeth ar ei hol hi*—neu gyda hi, wedi ei orchfygu gan ei thaerineb hi, ac oddiar ystyriaeth o'i mawr garedigrwydd iddo.

Adn. 31. *A Gehazi a gerddodd o'u blaen hwynt*] Heb wybod fod ei feistr yn dyfod ar ei ol; *ac a osododd y ffon ar wyneb y bachgen*—fel y gorchymynwyd iddo, adn. 29: *ond nid oedd lleferydd, na chlywed*—ymddengys i Gehazi ddywedyd rhywbeth wrth y bachgen wrth osod y ffon ar ei wyneb ef; ond ni lefarodd y marw, ac ni chlywodd ei lais; yr hyn oedd yn brawf na lwyddodd y weithred i adferu bywyd iddo, trwy nad oedd y proffwyd yn gweddio gartref am hyny fel y bwriadai.

Adn. 32. *Wele y bachgen wedi marw*] Hyny yw, yr oedd yn parhau yn farw, yr un modd a chyn i Gehazi fyned ato; *yn gorwedd ar ei wely ef*—lle y gosodwyd ef gan ei fam, adn. 21.

Adn. 33. *Ac efe a gauodd y drws arnynt ill dau*] Arno ei hun a'r bachgen marw, fel na fyddai i neb ei aflonyddu ef yn ei weddiau, nac yn ei weithrediadau a grybwyllir isod; *ac a weddiodd ar yr Arglwydd*—trwy ddylanwad yr hwn yn unig y gobeithiai efe ei adferu ef i fywyd, neu ei fendith ar y defnyddiad o bob moddion naturiol.

Adn. 34. *Ac efe a aeth i fyny*] Ar y gwely; *ac a orweddodd ar y bachgen*—gan ymdrechu trosglwyddo peth o'i wres naturiol ei hun i'w gorff ef, fel y gwnaethai Elias â mab y weddw yn Sarepta, 1 Bren. xvii. 21; *ac a osododd ei enau ar ei enau yntau*—gan anadlu yn gryf i'w enau, i effeithio ar ei ysgyfaint; *a'i lygaid ar ei lygaid ef*—yr hyn a ddygwyddai yn naturiol wrth osod ei enau ar ei enau ef; *a'i ddwylaw ar ei ddwylaw ef*—efe a arferai bob moddion naturiol yn ei allu i adferu bywyd, tra y gweddiai ar Awdwr bywyd i arferyd dylanwad gwyrthiol. *A chynhesodd cnawd y bachgen*—trwy fendith Duw ar y moddion hyny.

Adn. 35. *Ac efe a ddychwelodd*] Neu a ddisgynodd oddiar y gwely; *ac a rodiodd yn y tŷ i fyny ac i waered*—hyny yw, efe a redai yn ol ac yn mlaen ar hyd yr ystafell i ennill gwres chwanegol; *ac a aeth i fyny*—ar y gwely, *ac a ymestynodd arno ef*—eilwaith, ac eilwaith, i gyfleu iddo y gwres chwanegol a ennillai efe wrth redeg felly yn ol ac yn mlaen ar hyd yr ystafell: gwel ar 1 Bren. xvii. 21. *A'r bachgen a disiodd hyd yn seithwaith*—trwy yr hyn y rhyddhawyd ei ben ef oddiwrth y gorlif a fu yn achos o'i farwolaeth. Gŵyr y rhan fwyaf o ddynion, yn gystal a naturiaethwyr a meddygon, fod tisian yn foddion effeithiol iawn i ryddhau y pen: gwel Pliny, *Hist. Nat.* lib. xxviii. cap. 6. *A'r bachgen a agorodd ei lygaid*—yr hyn oedd yn arwydd sicr fod Duw wedi adferu nid yn unig ei fywyd, ond ei enaid hefyd: gwel ar 1 Bren. xvii. 22.

Adn. 36. *Ac efe a alwodd ar Gehazi*] Yr hwn oedd y tu allan i ddrws yr ystafell, adn. 33, a'r hwn hefyd a alwodd ar y Sunamees yn ol gorchymyn Eliseus. *A hi a ddaeth ato ef*

37 A hi a aeth i mewn, ac a syrth-
iodd wrth ei draed ef, ac a ymgrym-
odd hyd lawr, ac a gymerodd ei
mab, ac a aeth allan.
38 ¶ Ac Eliseus a ddychwelodd
i Gilgal. Ac *yr oedd* newyn yn y
wlad; a meibion y proffwydi *oedd*
yn eistedd ger ei fron ef; ac efe a
ddywedodd wrth ei was, Trefna y
crochan mawr, a berw gawl i feib-
ion y proffwydi.
39 Ac un a aeth allan i'r maes i
gasglu bresych, ac a gafodd win-
wydden wyllt, ac a gasglodd o honi
fresych gwylltion lonaid ei wisg, ac
a ddaeth ac a'*u* briwodd yn y croch-
an cawl: canys nid adwaenent
*hwynt.*
40 Yna y tywalltasant i'r gwŷr i
fwyta. A phan fwytasant o'r cawl,
hwy a waeddasant, ac a ddywedas-
ant, O ŵr Duw, *y mae* angau yn y
crochan: ac ni allent *ei* fwyta.
41 Ond efe a ddywedodd, Dygwch
flawd. Ac efe a'*i* bwriodd yn y
crochan: dywedodd hefyd, Tywallt
i'r bobl, fel y bwytaont. Ac nid
oedd dim niwed yn y crochan.
42 ¶ A daeth gŵr o Baal-salisa,
ac a ddyg i ŵr Duw o fara blaen-
ffrwyth, ugain torth haidd, a thwys-
enau o ŷd newydd yn ei gibau. Ac
efe a ddywedodd, Dod i'r bobl, fel
y bwytaont.
43 A'i weinidog ef a ddywedodd,
I ba beth y rhoddaf hyn gerbron
cànwr? Dywedodd yntau, Dyro i'r
bobl, fel y bwytaont: canys fel hyn
y dywedodd yr Arglwydd; Hwy a
fwytant, a bydd gweddill.

—sef at Gehazi, yr hwn a barodd iddi fyned i'r ystafell i geisio ei mab.

Adn. 37. *A hi a aeth i mewn*] At Eliseus, yn ol gorchymyn Gehazi; *ac a syrthiodd wrth ei draed ef*—gyda'r parch mwyaf iddo ef, a'r diolchgarwch gwresocaf i Dduw am adferu ei mab trwy ei offerynoliaeth ef; *ac a gymerodd ei mab*—yn fyw oddiar y gwely; *ac a aeth allan*—mewn llawenydd a gorfoledd mawr, gan gyhoeddi i'r holl deulu yr hyn a wnaethai Duw erddi.

Adn. 38. *Ac Eliseus a ddychwelodd i Gilgal*] Lle y buasai efe amrai weithiau o'r blaen, cyn ac wedi symudiad Elias. *Ac yr oedd newyn yn y wlad*—meddylir mai am y newyn hwn y sonir pen. viii. 1. *A meibion y proffwydi oedd yn eistedd ger ei fron ef*—i wrando ei ddoethineb, ac i gael eu haddysgu yn y gyfraith, fel y gallent hwythau addysgu ereill. *Trefna y crochan mawr, a berw gawl i feibion y proffwydi*—y rhai oeddynt yn gant o rifedi, adn. 43. Ymddengys fod yr holl ysgolorion hyn yn bwyta ar yr un bwrdd.

Adn. 39. *Ac un*] O'r colegwyr yn debygol; *a aeth allan i'r maes i gasglu bresych*—Saes. *llysiau*, i wneyd y cawl; *ac a gafodd winwydden wyllt*—meddylir yn gyffredin mai y *coloquintida* oedd hon, yr hon y mae ei dail yn lled debyg i ddail y winwydden, ond mor chwerw nes cael yr enw 'bustl yr holl ddaear.' Y mae *afal chwerw* yn tyfu ar y planhigyn hwn, pa rai a ddefnyddir gan feddygon fel carthai cryf; ond os cymerir llawer o hono, y mae yn wenwyn angeuol. *Lonaid ei wisg*—o'r dail a'r afalau ond odid, y rhai a dorodd efe yn fân i'w berwi yn y cawl, fel y gwneir â llysiau gerddi. *Canys nid adwaenent hwynt*—am nad oeddynt yn efrydu *llysieuaeth* yn y coleg hwnw.

Adn. 40. *Yna y tywalltasant*] Y cawl i gwpanau neu bicynau, fel y gallai y gwŷr ei fwyta; *a phan fwytasant*—pan ddechreuasant fwyta, profasant fod ei flas yn chwerw iawn, a theimlent ryw gnofeydd rhyfedd yn eu hymysgaroedd. *O ŵr Duw, y mae angau yn y crochan!*—sef rhyw beth gwenwynig a fyddai yn *angau* iddynt hwy os bwytäent y cawl. *Ac ni allent ei fwyta*—gan mor chwerw ydoedd, a rhag ofn marw.

Adn. 41. *Dygwch flawd*] Yr hwn oedd i fod yn arwydd yn unig o *allu Duw*, fel yr halen yn nyfroedd Jericho, pen. ii. 21. *Ac efe a'i bwriodd yn y crochan*—am ben y cawl; ac ymddengys i'r cawl a godesid i'r cwpanau gael ei dywallt yn ol hefyd. *Ac nid oedd dim niwed yn y crochan*—yr oedd y chwerwder wedi ei bereiddio, a'r hyn oedd wenwyn angeuol wedi ei droi yn faeth iachusol!

Adn. 42. *A daeth gŵr o Baal-salisa*] Dinas yn llwyth Ephraim; *ac a ddyg i ŵr Duw o fara blaenffrwyth*—yn union ar ol y pasc, pryd yr oedd y cynauaf haidd yn dechreu, Lef. xxiii. 10; *ugain torth haidd*—yn offrwm prydlon i'r proffwyd yn amser y newyn hwn; *a thwysenau o ŷd newydd*—yn offrwm i Dduw, Lef. xxiii. 14; *yn ei gibau*—yn dwysenau heb eu dyrnu, neu yn rawn irion heb eu crasu. Ond tybia Dr. Hammond fod y *cibau* hyn yn meddwl sach neu ysgrepan, yn yr hon y cariai efe hwynt. I'r offeiriaid yn Jerusalem y dylasent fyned; ond ni oddefai llywodraeth Israel i neb o ddeiliaid y deyrnas hono eu dwyn i Jerusalem: a thybiai y gŵr hwn y byddai yn dda gan Eliseus eu cael yn amser y newyn. *Dod i'r bobl, fel y bwytaont*—sef i feibion y proffwydi.

Adn. 43. *I ba beth y rhoddaf hyn gerbron cànwr?*] Yn debyg fel y dywedodd Andreas wrth yr Iesu, pan oedd efe ar fedr porthi mwy o ddynion â llai o fwyd, Ioan vi. 9: 'Beth yw hyny rhwng cynifer?' *Dywedodd yntau, Dyro i'r bobl*—gwna fel yr wyf fi yn gorchymyn i ti, heb wrthddadlu. *Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd*—yr hwn a amlygodd iddo ef y pryd hyny, trwy ysbryd proffwydoliaeth, y byddai yno fwy na digon i'r holl ysgolorion.

44 Felly efe a'*i* rhoddodd ger eu bron hwynt: a hwy a fwytasant, ac a weddillasant, yn ol gair yr Arglwydd.

## PENNOD V.

A NAAMAN, tywysog llu brenin Syria, oedd ŵr mawr yn ngolwg ei arglwydd, ac yn anrhydeddus; canys trwyddo ef y rhoddasai yr Arglwydd ymwared i Syria: ac yr oedd efe yn ŵr cadarn nerthol, *ond yr oedd* yn wahanglwyfus.

2 A'r Syriaid a aethant allan yn finteioedd, ac a gaethgludasent o wlad Israel lances fechan; a hòno oedd yn gwasanaethu gwraig Naaman.

3 A hi a ddywedodd wrth ei meistres, O na *byddai* fy arglwydd o flaen y proffwyd *sydd* yn Samaria: canys efe a'i hiachâai ef o'i wahanglwyf.

4 Ac *un* a aeth ac a fynegodd i'w arglwydd, gan ddywedyd, Fel hyn ac fel hyn y dywedodd y llances o wlad Israel.

5 A brenin Syria a ddywedodd, Dos, cerdda, a mi a anfonaf lythyr at frenin Israel. Ac efe a aeth ymaith, ac a ddyg gydag ef ddeg talent o arian, a chwe mil o aur, a deg pâr o ddillad.

6 Ac efe a ddyg y llythyr at frenin Israel, gan ddywedyd, Yn awr pan ddel y llythyr hwn atat ti, wele, anfonais atat ti Naaman fy ngwas,

---

Adn. 44. *A hwy a fwytasant*] Hyd ddigonedd; *ac a weddillasant*—trwy fod yno yn y diwedd fwy o fara ond odid nag yn y dechre. Yr oedd y wyrth hon yn debyg i wyrthiau Crist amrai weithiau, ond fod nifer y bobl yn fwy, a'r ymborth yn llai, bob amser ganddo ef.

PEN. V. Adn. 1. *A Naaman, tywysog llu brenin Syria*] Sef tywysog milwraidd byddin Benhadad; *oedd ŵr mawr yn ngolwg ei arglwydd*—ar gyfrif ei fedrusrwydd mewn rhyfel, a'i fawr nerth corfforol; *canys trwyddo ef y rhoddodd yr Arglwydd ymwared i Syria*—felly, pan gai y cenhedloedd fuddugoliaeth ar Israel, oddiwrth yr Arglwydd yr oedd hyny, yn gosp am bechodau ei bobl ei hun. Dywed yr Iuddewon mai Naaman a dynodd mewn bwa ar ei amcan, ac a laddodd Ahab, 1 Bren. xxii. 34. *Ac yr oedd efe yn ŵr cadarn nerthol*—Arabaeg, 'yn gawr, ac yn gryf iawn.' *Ond yr oedd yn wahanglwyfus*—yr hyn oedd yn ddarostyngiad mawr ar ei holl anrhydedd. Y mae Duw yn fynych, yn nhrefn ei ragluniaeth, yn goddef i ddiffygion mawrion gydfyned âg enwogrwydd hynod, fel y cuddier balchder oddiwrth ddyn. Yr oedd y gwahanglwyf yn bla dychrynllyd, ac anfeddyginiaethol trwy foddion dynol: gwel ar Lef. xiii. 2. Hefyd yr oedd yn ddolur cyffredin iawn yn Syria, er nad oedd yn cau y dyoddefydd oddiwrth gymdeithas dynion yno, lle nad oedd y gyfraith Iuddewig mewn grym.

Adn. 2. *A'r Syriaid a aethant allan yn finteioedd*] I yspeilio y cenhedloedd cymydogaethol o ba beth bynag a allent ei gael, yn ol arferiad yr amseroedd hyny; *ac a gaethgludasant o wlad Israel lances fechan*—yr oedd bechgyn a merched ieuainc yn mhlith eu hyspail yn fynych, y rhai a werthent yn gaethion yn Syria; *a hòno oedd yn gwasanaethu gwraig Naaman*—wedi ei phrynu ganddi o'u llaw hwynt.

Adn. 3. *A hi a ddywedodd wrth ei meistres*] Wrth ei chlywed ryw dro yn cwyno oblegid gwahanglwyf anfeddyginiaethol ei gŵr; *O na byddai fy arglwydd o flaen y proffwyd sydd yn Samaria*—sef yn ninas Samaria, lle yr oedd Eliseus yn cartrefu yn fynych; *canys efe a'i hiachâai ef o'i wahanglwyf*—yr oedd hi wedi clywed am wyrthiau hynod Eliseus, proffwyd JEHOFA, cyn ei chaethgludo o'i gwlad; ac nid amheuai ei allu a'i barodrwydd ef i iachâu ei meistr, ond iddo fyned ato. Dylai plant gael eu haddysgu yn ngweithredoedd rhyfedd Duw, fel y gallont son am danynt, yn mha le bynag y byddont, er lles i ereill. Ie, gall gweinidogion, fel y forwynig fechan hon, fod yn fendith i'r teuluoedd lle y byddont, wrth adrodd yr hyn a wyddant hwy am ogoniant Duw ac anrhydedd ei weision.

Adn. 4. *Ac un a aeth*] Neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'a *hi* a aeth, ac a fynegodd i'w harglwydd;' hyny yw, *gwraig* Naaman a fynegodd i'w *gŵr*. Ond y mae y *Vulgate*, *Boothroyd*, *Patrick*, ac ereill, yn ei ddeall am *Naaman* ei hun yn ei fynegu i'w arglwydd *frenin:* gwel adn. 5. Yr oedd y llances fechan hon wedi ymddwyn bob amser mor dda, nes yr oedd ei geiriau yn cael eu coelio, a'u coelio i'r fath raddau nes seilio arnynt genadaeth oddiwrth frenin Syria at frenin Israel!

Adn. 5. *A brenin Syria a ddywedodd*] Wrth Naaman, am iddo fyned i Samaria yn ddioedi; *a mi a anfonaf lythyr at frenin Israel*—fel y byddo iddo ef ddylanwadu ar y proffwyd i'th iachâu. *Ac efe a ddyg gydag ef ddeg talent o arian*—i dalu ei draul ar y ffordd, ac i wneyd anrhegion ond odid i'r brenin a'r proffwyd; *a chwe mil o aur*—neu, fel y mae yn yr Arabaeg, 'chwe mil o *siclau* aur;' *a deg pâr o ddillad*—i'w rhoddi yn anrheg i'r proffwyd, &c. Yr oedd y 10 talent o arian, yn ol £342 3*s.* 9*c.* yr un, yn cyraedd i £3,421 17*s.* 6*c.* o'n harian ni; a'r 6,000 sicl aur, yn ol £1 16*s.* 6*c.* yr un, yn cyraedd i £10,950; yr hyn a wnai yn y cyfan, heblaw y deg pâr o ddillad, £14,371 17*s.* 6*c.* o'n harian ni! Dengys hyn fod Naaman yn

fel yr iachâit ef o'i wahanglwyf.
7 A phan ddarllenodd brenin Israel y llythyr, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ddywedodd, Ai Duw *ydwyf* fi, i farwhau, ac i fywhau, pan anfonai efe ataf fi i iachâu gŵr o'i wahanglwyf? gwybyddwch gan hyny, atolwg, a gwelwch mai ceisio achos y mae efe i'm herbyn i.
8 ¶ A phan glybu Eliseus gŵr Duw rwygo o frenin Israel ei ddillad, efe a anfonodd at y brenin, gan ddywedyd, Paham y rhwygaist dy ddillad? deued yn awr ataf fi, ac efe a gaiff wybod fod proffwyd yn Israel.
9 Yna Naaman a ddaeth â'i feirch, ac â'i gerbydau, ac a safodd *wrth* ddrws tŷ Eliseus.
10 Ac Eliseus a anfonodd ato ef genad, gan ddywedyd, Dos ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen; a'th gnawd a ddychwel i ti, a thithau a lanheir.
11 Ond Naaman a ddigiodd, ac a aeth ymaith; ac a ddywedodd, Wele, mi a feddyliais ynof fy hun, gan ddyfod y deuai efe allan, ac y safai efe, ac y galwai ar enw yr Arglwydd ei Dduw, ac y gosodai ei law ar y fan, ac yr iachäai y gwahanglwyfus.
12 Onid gwell Abana a Pharpar, afonydd Damascus, na holl ddyfroedd Israel? oni allaf ymolchi ynddynt hwy, ac ymlanhau? Felly efe a drôdd, ac a aeth ymaith mewn digter.

---

gyfoethog iawn, os nad o drysorfa brenin Syria y danfonwyd hwynt.

Adn. 6. *Yn awr pan ddel y llythyr hwn atat ti*] Brenin Syria oedd yn dywedyd hyn yn ei lythyr, ac nid Naaman wrth ei gyflwyno ef; *wele, anfonais atat ti Naaman fy ngwas*—dygiedydd y llythyr hwn; *fel yr iachâit ef o'i wahanglwyf*—neu, 'fel trwy dy orchymyn di y byddo i Eliseus ei iachâu ef;' canys dywedir yn fynych fod brenhinoedd yn gwneyd y peth ag y gorchymynant ei wneuthur. Modd bynag, ni ddeallodd brenin Israel ef yn y goleuni hwn.

Adn. 7. *Efe a rwygodd ei ddillad*] Yn arwydd o'i *ofid* wrth feddwl nad oedd hyn ddim ond esgus i dynu cweryl âg ef; neu ynte rhwygodd ei ddillad o herwydd y *cabledd* ag y tybiai fod y llythyr yn ei gynwys, wrth geisio ganddo ef wneyd yr hyn nad allai neb ond Duw ei wneuthur. *Ai Duw ydwyf fi, i farwhau ac i fywhau?*—a ydyw brenin Syria yn meddwl fod genyf fi awdurdod ar angau ac einioes, yr hyn nad yw yn perthyn i neb ond i'r Duw hollalluog yn unig? Yr oedd y paganiaid eu hunain yn ystyried y gwahanglwyf yn anfeddyginiaethol gan bawb ond eu duwiau: gwel ar Exod. iv. 6, 7, Lef. xiii. 2, &c., a Num. xii. 10—12. *Gwelwch mai ceisio achos y mae efe i'm herbyn i*— Saes. 'ceisio *cweryl*,' wrth ofyn genyf wneuthur yr hyn nis gallaf, ac yna fyned i ryfel yn fy erbyn am beidio ei wneuthur.

Adn. 8. *Paham y rhwygaist dy ddillad?*] Gofynai Eliseus paham, nid am nas gwyddai, ond i ddangos nad oedd dim gwir achos iddo wneyd hyny. *Deued yn awr ataf fi*—am iachâd o'i wahanglwyf; *ac efe a gaiff wybod fod proffwyd yn Israel*—un a allai wneyd gwyrthiau yn enw yr Arglwydd. Nid er ei anrhydedd ei hun y ceisiai Eliseus gan Naaman ddyfod ato, ond er anrhydedd Duw a'i bobl.

Adn. 9. *Yna Naaman a ddaeth â'i feirch, ac â'i gerbydau*] Gyda gosgorddlu lluosog, ac mewn rhwysg a gwychder mawr, fel tywysog penaf brenin Syria; *ac a safodd wrth ddrws tŷ Eliseus*—yn ninas frenhinol Samaria.

Adn. 10. *Ac Eliseus a anfonodd ato ef genad*] Trwy hyn efe a ddanghosai ei ddiystyrwch o bob mawredd a gwychder dynol, er mwyn darostwng balchder a rhwysgfawredd Naaman. *Dos, ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen*—efe a ddywedai hyn i brofi ei ffydd a'i ufydd-dod ef, ac er amlygu hollalluog nerth Duw, yr hwn a allai iachâu y fath ddolur trwy foddion mor annhebygol; canys dywed naturiaethwyr fod y cymhwysiad o ddwfr oer yn niweidiol i'r gwahanglwyf. Modd bynag, yr oedd yr hwn a lanheid dan y gyfraith i olchi ei gnawd mewn dwfr: gwel Lef. xiv. 7—9. *A'th gnawd a ddychwel i ti*—yr hwn oedd wedi ei ysu a'i fwyta ymaith gan y gwahanglwyf.

Adn. 11. *Ond Naaman a ddigiodd*] Gan feddwl ei fod yn cael ei ddiystyru gan y proffwyd. *Wele, mi a feddyliais ynof fy hun*—a pha beth a feddyliodd efe? Clywch ei eiriau: (1) *Y deuai efe allan*—ei hunan, ac nid anfon ei was ataf fi, yr hwn wyf dywysog o Syria. (2) *Ac y safai efe*—ger fy mron yn ostyngedig, fel dyn o isel radd o flaen un o'i uwchraddolion. (3) *Ac y galwai ar enw yr Arglwydd ei Dduw*—ac felly y byddai iddo ef a'i Dduw fy anrhydeddu i. (4) *Ac y gosodai ei law ar y fan*—heb yr hyn yr oedd yn afresymol, fel y tybiai ef, iddo ddysgwyl iachâd. (5) *Ac yr iachäai y gwahanglwyfus*—yn lle fy ngwawdio a'm diystyru fel hyn!

Adn. 12. *Onid gwell Abana a Pharpar*] Dwy afon enwog a redent tua Damascus o fynydd Hermon, yn ol Bochart; *na holl ddyfroedd Israel?*—canys nid oedd efe yn ystyried mai Duw Israel oedd i'w lanhau ef, ac nid dyfroedd Israel. *Onid allaf ymolchi ynddynt hwy, ac ymlanhau*—heb ddyfod yr holl ffordd yma, os oes rhyw rinwedd mewn dwfr? Yr oedd y dyn hwn yn ddrych cywir o bob pechadur balch a deddfol, yr hwn a dybia ei ffordd ei hun yn well na ffordd Duw i gyraedd iachâd i'w enaid. *Felly efe a drôdd*

13 A'i weision a nesasant, ac a
lefarasant wrtho, ac a ddywedasant,
Fy nhad, *pe* dywedasai y proffwyd
beth mawr wrthyt ti onis gwnelsit?
pa faint mwy, gan iddo ddywedyd
wrthyt, Ymolch, a bydd lân?
14 Ac yna efe a aeth i waered, ac
a ymdrochodd saith waith yn yr
Iorddonen, yn ol gair gŵr Duw: a'i
gnawd a ddychwelodd fel cnawd
dyn bach, ac efe a lanhawyd.
15 Ac efe a ddychwelodd at ŵr
Duw, efe a'i holl fintai, ac a ddaeth
ac a safodd ger ei fron ef; ac a
ddywedodd, Wele, yn awr y gwn
nad *oes* Duw trwy yr holl ddaear,
ond yn Israel: am hyny cymer yn
awr, atolwg, rodd gan dy was.
16 Ond efe a ddywedodd, *Fel mai*
byw yr Arglwydd, yr hwn yr ydwyf
yn sefyll ger ei fron, ni chymeraf.
Ac efe a gymhellodd arno *ei* chy-
meryd; eto efe a'*i* gwrthododd.
17 A Naaman a ddywedodd, Oni
roddir yn awr i'th was lwyth cwpl
o fulod o ddaear? canys ni offryma
dy was mwyach boeth-offrwm nac
aberth i dduwiau ereill, ond i'r Ar-
glwydd.
18 Yn y peth hyn yr Arglwydd a
faddeuo i'th was; pan elo fy ar-
glwydd i dŷ Rimmon i addoli yno,
a phwyso ar fy llaw i, a *phan* ym-
grymwyf finau yn nhŷ Rimmon;
pan ymgrymwyf yn nhŷ Rimmon,
maddeued yr Arglwydd i'th was
yn y peth hyn.
19 Ac efe a ddywedodd wrtho,

—mewn digter, gan benderfynu myned adref i Damascus heb ymolchi yn yr Iorddonen.

Adn. 13. *Fy nhad*] Enw o anrhydedd yn y wlad hòno, fel *fy arglwydd* yn y wlad hon; *pe dywedasai y proffwyd beth mawr wrthyt ti*—rhywbeth anhawdd ei wneyd, neu boenus i'w ddyoddef, megys agor dy gnawd gan lawfeddyg, neu gymhwyso rhyw eli poeth i losgi dy glwyfau, neu gymeryd rhyw gyfferi chwerwon a chostfawr am hir amser; *onis gwnelsit*—a hyny gyda'r parodrwydd mwyaf? *Pa faint mwy*—parod y dylit fod i wneyd prawf o'r cynghor hwn, yr hwn sydd mor hawdd, mor rad, ac i'w gyflawni mewn cyn lleied o amser?

Adn. 14. *Ac yna efe a aeth i waered*] Wedi ei argyhoeddi gan rym ymresymiad ei was; *ac a ymdrochodd saith waith yn yr Iorddonen*—megys y gorchymynasai gŵr Duw iddo; *a'i gnawd a ddychwelodd fel cnawd dyn bach*—yn ystwyth, iraidd, a llawn, heb gen na chrach; *ac efe a lanhawyd*—oddiwrth ei wahanglwyf, a hyny mor berffaith a phe na buasai erioed yn afiach!

Adn. 15. *Ac efe a ddychwelodd at ŵr Duw*] I ddinas Samaria, yr hon oedd oddeutu 25 o filldiroedd oddiwrth yr Iorddonen, i ddiolch iddo ef am ei gynghor, ac i Dduw Israel am ei iachâd. *Wele, yn awr y gwn nad oes Duw trwy yr holl ddaear ond yn Israel*—yr wyf wedi fy llwyr argyhoeddi trwy y weithred hon, mai Duw Israel yw yr unig wir Dduw, ac nad yw holl dduwiau y cenhedloedd ddim ond eilunod meirwon. *Am hyny cymer yn awr, atolwg, rodd gan dy was*—o'r aur, yr arian, a'r dillad, adn. 5. Efe a ddymunai anrhydeddu Duw, trwy wobrwyo ei was ef.

Adn. 16. *Fel mai byw yr Arglwydd, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xvii. 1; *ni chymeraf*—nid am fod derbyn anrheg yn beth annghyfreithlon yr oedd ef yn ei gwrthod; ond i ddangos nad ganddo ef y cawsai efe ei iachâd, ond gan Dduw; ac i brofi mai gogoniant Duw, nid ei elw ei hun, a olygai efe wrth roddi y cynghor.

*Ac efe a gymhellodd arno*—yn y modd taeraf, gan fel yr oedd yn gwerthfawrogi ei iachâd; *eto efe a'i gwrthododd*—a hyny yn fwy oblegid ei lw.

Adn. 17. *Oni roddir yn awr i'th was lwyth cwpl o fulod o ddaear*] I wneyd allor bridd i JEHOFA yn Syria, o bridd daear Israel? gwel ar Exod. xx. 24. Ychydig o'r blaen tybiai fod afonydd Damascus yn well na holl ddyfroedd Israel; ond yn awr yr oedd wedi newid ei feddwl, nid yn unig am ddyfroedd Israel, ond am ddaear Israel hefyd; canys meddyliai fod rhyw santeiddrwydd hyd yn nod yn mhridd daear Israel i wneyd o hono allor i Dduw Israel. Barna yr awdwyr Iuddewig ei fod am gael pridd o'r fan lle y safai Eliseus y pryd hyny, gan feddwl fod rhyw santeiddrwydd ynddo oddiwrth wadnau traed y proffwyd. *Canys ni offryma dy was mwyach boeth-offrwm nac aberth i dduwiau ereill*—ac ni ddefnyddiai chwaith yr hen allorau; ac am hyny mynai gael allor newydd i offrymu i JEHOFA yn unig. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw: 'Oni roddir yn awr i'th was,' sef i *Gehazi*, 'lwyth cwpl o fulod o *ddaear*,' sef o'r *aur* a'r *arian* a ddygasai efe gydag ef, y rhai a gyfrifai efe megys *daear* neu *bridd* mewn cydmhariaeth i'r iachâd a dderbyniasai. Dywed Aristotle 'nad yw aur ac arian ddim ond math ar *ddaear* yn unig;' a Habaccuc a'u geilw y *clai tew*, pen. ii. 6. Gan fod y meistr wedi gwrthod yr anrheg, yr oedd yn naturiol i Naaman ewyllysio rhoddi rhywbeth i'r gwas. Yr oedd yr holl aur a'r arian a ddygasai y tywysog gydag ef yn pwyso dros 1,374 o bwysau, ac felly yn ddigon o lwyth i lawer o asynod. Ond y dyb gyntaf yw y fwyaf naturiol.

Adn. 18. *Yn y peth hyn yr Arglwydd a faddeuo i'th was, &c.*] Yn ol ein cyfieithiad ni gellir meddwl fod Naaman, fel y Pabyddion, yn ceisio anwes *(indulgence)* i bechu, neu faddeuant yn mlaenllaw am yr hyn ag y bwriadai efe ei gyflawni yn nhŷ yr eilun; hyny yw, pan elai brenin Syria yn mraich

Dos mewn heddwch. Ac efe a aeth
oddiwrtho ef encyd o ffordd.
20 ¶ Ond Gehazi, gwas Eliseus
gŵr Duw, a ddywedodd, Wele, fy
meistr a arbedodd Naaman y Syriad
hwn, heb gymeryd o'i law ef yr hyn
a ddygasai efe: *fel mai* byw yr Ar-
glwydd, mi a redaf ar ei ol ef, ac a
gymeraf ryw beth ganddo ef.
21 Felly Gehazi a ganlynodd ar ol
Naaman. A phan welodd Naaman
*ef* yn rhedeg ar ei ol, efe a ddis-
gynodd oddiar y cerbyd i'w gyfar-
fod ef, ac a ddywedodd, *A yw* pob
peth yn dda?
22 Dywedodd yntau, *Y mae* pob
peth yn dda, Fy meistr a'm hanfon-
odd i, gan ddywedyd, Wele, yr awr
hon dau lanc o fynydd Ephraim, o
feibion y proffwydi, a ddaeth ataf
fi: dyro *yn awr* iddynt hwy dalent
o arian, a dau bâr o ddillad.
23 A Naaman a ddywedodd, Bydd
foddlon, cymer ddwy dalent. Ac efe
a fu daer arno ef; ac a rwymodd
ddwy dalent o arian mewn dwy gôd,
a deubar o ddillad; ac efe a'u
rhoddodd at ddau o'i weision, i'*w*
dwyn o'i flaen ef.
24 A phan ddaeth efe i'r bwlch,
efe a'*u* cymerth o'u llaw hwynt, ac
a'*u* rhoddodd i gadw yn tŷ; ac a
ollyngodd ymaith y gwŷr, a hwy a
aethant ymaith.
25 Ond efe a aeth i mewn, ac a saf-
odd o flaen ei feistr. AcEliseus a ddy-
wedodd wrtho ef, O ba le *y daeth-
ost ti,* Gehazi? Dywedodd yntau,
Nid aeth dy was *nac* yma na thraw.
26 Ac efe a ddywedodd wrtho,

---

Naaman i dŷ Rimmon i addoli, a phan ymgrymai Naaman yno gyda'r brenin i'r duw hwnw, efe a ddymunai i'r Arglwydd faddeu hyny iddo! Ond nid hyn yw ystyr y geiriau; canys y mae efe newydd ddatgan, yn niwedd yr adnod flaenorol, nad âi efe byth mwyach i addoli i'r fath le, ac nad addolai efe neb o hyny allan ond JEHOFA. Gellir cyfieithu y wreiddiol yn gyfreithlon, a dylid ei chyfieithu meddai y dysgedigion, yn yr *amser gorphenol*, fel hyn: 'Yn y peth hyn yr Arglwydd a faddeuo i'th was, sef pan AETH fy arglwydd i dŷ Rimmon i addoli yno, a phwyso ar fy llaw i, DDARFOD i minau hefyd ymgrymu yn nhŷ Rimmon: am fy ymgrymiad yn nhŷ Rimmon, maddeued yr Arglwydd i'th was.' Cymeradwyir y darlleniad hwn gan amrai ddysgedigion, megys *Benson, Clarendon, Clarke, Coke, Dodd, Gill, Lightfoot, Locke, Luther, Sutcliffe, &c.* Eilun Syriaidd oedd *Rimmon;* a thybia rhai ei fod yr un a *Remphan*, Act. vii. 43.

Adn. 19. *Dos mewn heddwch*] Sef mewn heddwch cydwybod, gan gredu y maddeuai yr Arglwydd iddo ei bechod a aethai heibio; canys prin y gallwn feddwl fod y proffwyd yn rhoddi annogaeth iddo i fyned i ymgrymu i dŷ Rimmon. *Ac efe a aeth oddiwrtho ef encyd o ffordd*—tua milldir, meddai yr Iuddewon, cyn i Gehazi ei oddiweddyd.

Adn. 20. *Ond Gehazi, gwas Eliseus—a ddywedodd*] Ynddo ei hun, wrth weled Naaman yn myned â'i drysorau ymaith, heb i'w feistr gymeryd dim ganddo. *Wele, fy meistr a arbedodd Naaman*—a arbedodd ei fywyd, trwy ei iachâu o'i wahanglwyf; ac a arbedodd ei drysorau, trwy ommedd cymeryd rhodd ganddo. *Fel mai byw yr Arglwydd, mi a redaf ar ei ol ef*—er y gwyddai ei fod ar weithred ddrwg, eto efe a dyngai yn annuwiol y gwnai efe hi!

Adn. 21. *A phan welodd Naaman ef yn rhedeg ar ei ol*] Yr hwn a adnabu efe o bell, ar ol ei weled o'r blaen yn gweini i Eliseus; *efe a ddisgynodd oddiar y cerbyd*—i anrhydeddu y meistr yn y gwas. *A yw pob peth yn dda?*—canys efe a ofnai fod rhai o'i weision wedi gwneyd rhywbeth nad oedd iawn.

Adn. 22. *Y mae pob peth yn dda*] *Shallom*, 'heddwch!' na frawycha. *Fy meistr a'm hanfonodd i, &c.*—hyn oll oedd gelwydd wedi ei ddyfeisio ganddo ef, i'r dyben i gael arian a dillad iddo ei hun.

Adn. 23. *Cymer ddwy dalent*] Sef talent a phâr o ddillad i bob un o'r ddau lanc. *Ac efe a fu daer arno ef*—gallwn feddwl fod Gehazi yn cymeryd arno fod yn anfoddlon i gymeryd *dwy* dalent, ar ol gofyn am *un* yn unig fel cais ei feistr. *Ac a rwymodd ddwy dalent o arian mewn dwy gôd*—sef talent a phâr o ddillad yn mhob un; *ac efe a'u rhoddodd at ddau o'i weision*—i'w dwyn i'r proffwyd, yn lle beichio ei was, trwy fod ganddo filldir o ffordd i'w cario, adn. 19.

Adn. 24. *A phan ddaeth efe i'r bwlch*] *Ophel*, sef rhyw le dirgel a thywyll, o olwg pawb; *efe a'u cymerth o'u llaw hwynt*—gan ollwng gweision Naaman i fyned ar ol eu meistr cyn i neb eu gweled; *ac a'u rhoddodd i gadw yn tŷ*—sef yn nhŷ ei feistr yn ddiarwybod iddo, fel y tybiai efe; neu mewn rhyw dŷ ar y ffordd. Fel hyn yr oedd ganddo yn y codau swm cyfartal i £684 7*s.* 6*c.* o'n harian ni, heblaw dau bâr o ddillad costfawr.

Adn. 25. *Ond efe a aeth i mewn*] I dŷ ei feistr, ar ol cuddio ei ysbleddach; *ac a safodd o flaen ei feistr*—i weini iddo fel arferol. *O ba le y daethost ti, Gehazi?*—canys yr oedd ef wedi bod ymaith am oddeutu awr, fel y gallwn feddwl. *Nid aeth dy was nac yma na thraw*—oddiwrth y tŷ. Yr oedd hyn'yn gelwydd arall; a rhaid fod ariangarwch a chybydd-dod wedi tywyllu a chaledu ei gydwybod ef, pan y meiddiai ddywedyd felly wrth y proffwyd!

Adn. 26. *Onid aeth fy nghalon gyda thi*] Onid oeddwn i gyda thi o ran fy meddwl, neu mewn ysbryd proffwydoliaeth, *pan drôdd y*

Onid aeth fy nghalon *gyda thi*, pan drôdd y gŵr oddiar ei gerbyd i'th gyfarfod di? *a ydoedd hi* amser i gymeryd arian, ac i gymeryd gwisgoedd, ac olewwydd-lanau, a gwinllanau, a defaid, a gwartheg, a gweision, a morwynion?

27 Am hyny gwahanglwyf Naaman a lŷn wrthyt ti, ac wrth dy had yn dragywydd. Ac efe a aeth ymaith o'i ŵydd ef yn wahanglwyfus *cyn wŷned* a'r eira.

## PENNOD. VI.

A MEIBION y proffwydi a ddywedasant wrth Eliseus, Wele yn awr, y lle yr hwn yr ydym ni yn trigo ynddo ger dy fron di, sydd ry gyfyng i ni.
2 Awn yn awr hyd yr Iorddonen, fel y cymerom oddiyno bawb ei drawst, ac y gwnelom i ni yno le i gyfaneddu ynddo. Dywedodd yntau, Ewch.
3 Ac un a ddywedodd, Bydd foddlon, atolwg, a thyred gyda'th weision. Dywedodd yntau, Mi a ddeuaf.
4 Felly efe a aeth gyda hwynt. A hwy a ddaethant at yr Iorddonen, ac a dorasant goed.
5 A phan oedd un yn bwrw i lawr drawst, ei fwyell ef a syrthiodd i'r

---

*gŵr oddiar ei gerbyd i'th gyfarfod di*—ac y dywedaist gelwydd wrtho? Yr wyf yn gwybod y cwbl a gymerodd le rhyngoch, fel pe buaswn yno yn gorfforol. *A ydoedd hi amser i gymeryd arian, ac i gymeryd gwisgoedd*—y pryd hyny, yn ebrwydd ar ol i mi eu gwrthod gan y gŵr? *Ac olewwydd-lanau, &c.*—y rhai y bwriadai Gehazi eu prynu â'r arian hyn, i osod i fyny sefydliad teuluaidd gorwych. Y mae y proffwyd yn enwi y defaid, y gwartheg, a'r gweinidogion, i'r dyben i ddangos iddo ei fod yn meddu gwybodaeth gywir nid yn unig o'i weithredoedd allanol ef, ond hefyd o'i fwriadau mwyaf dirgelaidd.

Adn. 27. *Am hyny gwahanglwyf Naaman a lŷn wrthyt ti*] Yn gystal a'i arian a'i dillad; *ac wrth dy had yn dragywydd*—tra y byddo hiliogaeth i ti ar y ddaear. *Ac efe a aeth ymaith o'i ŵydd ef yn wahanglwyfus cyn wŷned a'r eira*—wedi ei daro â'r pla mor gynted ag y cyhoeddwyd y felldith! Y mae yn debyg iddo gael yr arian a'r dillad iddo ei hun; ond costiasant iddo ei iechyd a'i fywyd, os nid ei enaid hefyd.

ADFEDDYLIADAU.—I. Gallwn weled yn y bennod hon law *rhagluniaeth* dyner Duw yn amlwg. (1) Goddefwyd i fintai o yspeilwyr anrheithio gwlad Israel. (2) Caethgludasant oddiyno lances fechan, ond odid unig obaith tŷ ei thad. (3) Gwerthwyd hi yn gaethforwyn i deulu Naaman y gwahanglwyfus. (4) Hi a gyhoeddodd yno y gwir Dduw a'i broffwyd. (5) Aeth Naaman, gan goelio ei thystiolaeth hi, i Samaria. (6) Yn ganlynol i hyny iachawyd ef o'i wahanglwyf, dychwelwyd ef oddiwrth ei eilunaddoliaeth, a gallwn feddwl iddo ef a'i holl deulu gredu i gadwedigaeth eu heneidiau. Fel hyn, yr hyn a fu yn *ofid* am fyr amser i rieni y llances, a drôdd allan yn *fendith* barhaus i Naaman a'i deulu, ac yn *ogoniant mynegol* i Dduw. A gallwn feddwl i'r llances ei hun gael ei gwobrwyo yn helaeth am hyn, a'i dychwelyd i'w rhieni; neu ynte ddarfod i'w rhieni, er ei mwyn hi, gael gwneyd eu colled i fyny rywfodd. Gwelwn yma y budd o roddi addysg grefyddol yn fore i blant: gwel ar adn. 3. II. Gallwn weled hefyd, yn nghosp Gehazi, *ddrygedd trachwant.* Ni fydd i neb, pan yr ystyriont ei bechod, feddwl fod ei gosp yn ormodol: canys (1) Yr oedd yn euog o *gybydd-dod*, yr hyn sydd eilunaddoliaeth, Col. iii. 5. (2) *Balchder*, trwy yr hwn y mynai fod yn ŵr mawr, adn. 26. (3) *Celwydd*, yn gyntaf wrth Naaman, ac wedi hyny wrth ei feistr ei hun, adn. 22, 25. (4) *Halogiad* o enw yr Arglwydd, adn. 20. (5) *Dianrhydeddu* ei feistr, trwy ei arddangos ef fel yn gofyn eilwaith yr hyn y tyngasai na dderbyniai. (6) *Lladrad*, trwy gadw iddo ei hun yr arian a'r dillad a roddesid i'w feistr. (7) *Annuwioldeb* dirfawr, pan y meiddiai wneyd hyn oll fel gwas gŵr Duw, ac megys pe na buasai Duw yn gweled ei drosedd, neu ynte yn ddifater am dano, neu yn analluog i'w gospi! Ond os gofynir, 'Ai nid oedd yn greulondeb estyn ei gosp ef i'w hiliogaeth ddiniwed?' gellir ateb, nad yw yn debygol ddarfod i neb o blant Gehazi, y rhai a anesid cyn hyn, os oedd ganddo blant, gael eu taro felly; a chyda golwg ar y rhai a genhedlid ar ol hyn, yr oedd eu gwahanglwyf hwy yn ganlyniad naturiol i'w cenhedliad gan dad gwahanglwyfus.

PEN. VI. Adn. 1. *A meibion y proffwydi*] Sef y dysgyblion perthynol i'r ysgol ag ydoedd yn Gilgal yn debygol, yr hon oedd o fewn oddeutu 4 milldir i'r Iorddonen; *a ddywedasant wrth Eliseus*—yr hwn oedd brif arolygwr yr ysgol hòno; *y lle yr hwn yr ydym ni yn trigo ynddo*—sef yr adeilad yn mha un yr oeddynt yn byw ac yn efrydu; *sydd ry gyfyng i ni*—trwy fod doethineb a thirondeb Eliseus wedi ennill chwanegiad mawr yn ddiweddar at rif yr ysgolorion. Dywed yr Iuddewon fod presenoldeb Gehazi yno yn rhwystr i gynydd yr ysgol; ond yn awr, ar ol i Eliseus ei droi ef o'i wasanaeth, iddi luosogi yn ddirfawr.

Adn. 2. *Awn yn awr hyd yr Iorddonen*] Ar lanau yr hon yr oedd amrai goed poplys, gwern, &c., yn tyfu; *fel y cymerom oddiyno bawb ei drawst*—i wneuthur tŷ coed helaeth yno i'r ysgolorion.

Adn. 3. *A thyred gyda ni*] Nid i weithio, ond i'w harolygu a'u cyfarwyddo hwy.

Adn. 4. *Felly efe a aeth gyda hwynt*] Gan ragweled ond odid y cai efe gyfle i wneuthur gwyrth yno er gogoniant i Dduw.

dwfr. Ac efe a waeddodd, ac a
ddywedodd, Och fi, fy meistr; canys
benthyg oedd!
6 A gŵr Duw a ddywedodd, Pa
le y syrthiodd? Yntau a ddangos-
odd iddo y fan. Ac efe a dorodd
bren, ac a'*i* taflodd yno; a'r haiarn
a nofiodd.
7 Ac efe a ddywedodd, Cymer i
fyny i ti. Ac efe a estynodd ei law,
ac a'i cymerodd.
8 ¶ A brenin Syria oedd yn rhy-
fela yn erbyn Israel; ac efe a ym-
gynghorodd â'i weision, gan ddy-
wedyd, Yn y lle a'r lle *y bydd* fy
ngwersyllfa.
9 A gŵr Duw a anfonodd at fren-
in Israel, gan ddywedyd, Ymgadw
rhag myned i'r lle a'r lle: canys
yno y disgynodd y Syriaid.
10 A brenin Israel a anfonodd i'r
lle *am* yr hwn y dywedasai gŵr Duw
wrtho, ac y rhybyddiasai ef, ac a
ymgadwodd yno, nid unwaith, ac
nid dwywaith.
11 A chalon brenin Syria a gy-
thryblwyd herwydd y peth hyn; ac
efe a alwodd ar ei weision, ac a
ddywedodd wrthynt, Oni fynegwch
i mi pwy o honom ni *sydd* gyda
brenin Israel?
12 Ac un o'i weision ef a ddywed-
odd, Nid *oes* neb, fy arglwydd fren-
in: ond Eliseus y proffwyd, yr hwn
sydd yn Israel, a fynega i frenin
Israel y geiriau a lefari di yn nghan-
ol dy ystafell wely.
13 ¶ Ac efe a ddywedodd, Ewch,
ac edrychwch pa le *y mae* efe, fel yr
anfonwyf i'w gyrchu ef. A myneg-
wyd iddo, gan ddywedyd, Wele, yn
Dothan *y mae efe.*
14 Am hyny efe a anfonodd yno
feirch a cherbydau, a llu mawr: a
hwy a ddaethant liw nos, ac a am-
gylchynasant y ddinas.

---

Adn. 5. *Ei fwyell ef a syrthiodd i'r dwfr*] Sef '*pen* ei fwyell,' fel y mae yn y Saesonaeg; neu yr '*haiarn*,' fel y mae yn y wreiddiol; tra yr oedd y goes fyth yn ei law. *Och fi, fy meistr, canys benthyg oedd!*—ac felly yr oedd ei ofid yn fwy na phe buasai yn eiddo iddo ef ei hun; ac y mae *Jarchi* yn dywedyd iddo chwanegu, 'Ac nid oes genyf fodd i dalu am dani!'

Adn. 6. *Ac efe a dorodd bren, ac a'i taflodd yno*] I dynu sylw yr edrychwyr at y wyrth; *a'r haiarn a nofiodd*—a gododd o'r gwaelod i wyneb y dwfr, lle yr arhosodd nes ei dynu allan. Gwnaed hyn trwy allu Duw yn unig, ac nid trwy ddim rhinwedd ag ydoedd yn y pren, neu allu ag oedd yn y proffwyd o hono ei hun.

Adn. 7. *Cymer i fyny i ti*] Canys yr oedd yr haiarn wedi syrthio i ddwfr dwfn yn agos i'r lan, ac felly nofiai o fewn cyraedd iddo.

Adn. 8. *A brenin Syria oedd yn rhyfela yn erbyn Israel*] Y mae yn debyg i hyn ddygwydd yn mhen amrai flynyddau ar ol i Naaman gael ei iachâu, ac ond odid ar ol iddo ef farw, neu gael ei droi o'i le am wrthod addoli Rimmon; canys nid yw yn debyg yr arweiniasai efe fyddin yn erbyn Israel. *Yn y lle a'r lle y bydd fy ngwersyllfa*—rhyw le dirgel i gynllwyn ynddo, a manteisiol i ymosod ar fyddin Israel.

Adn. 9. *A gŵr Duw a anfonodd at frenin Israel*] I'w rybyddio ef rhag myned heibio y lle hwnw, am fod y Syriaid eisioes yn cynllwyn iddo yno, neu ar fedr myned yno; o'r hyn y cawsai Eliseus ddatguddiad trwy ysbryd proffwydoliaeth.

Adn. 10. *A brenin Israel a anfonodd i'r lle*] Naill ai yspiwyr i edrych a oeddynt yno, neu ynte filwyr i'w hattal rhag myned yno; *ac a ymgadwodd yno*—Saes. 'a'i hachubodd ei hun,' trwy y cyfryw foddion; *nid unwaith, ac nid dwywaith*—hyny yw, amrai weithiau, rhag syrthio yn nwylaw y Syriaid yn ddiarwybod mewn lleoedd o'r fath.

Adn. 11. *Pwy o honom ni sydd gyda brenin Israel*] Mewn cyngbrair dirgel âg ef, i fradychu fy nghynghorau a'm bwriadau iddo ef?

Adn. 12. *Nid oes neb, fy arglwydd frenin*] O honom ni yn cario chwedlau iddo; *ond Eliseus y proffwyd*—gallai hwnw fynegu i frenin Israel ei holl symudiadau dirgelaf ef, ac hyd yn nod ei eiriau a'i feddyliau yn nghanol ystafell ei wely. Ymddengys fod Naaman ac ereill wedi taenu clod y proffwyd yn Syria, nes yr oedd ei wyrthiau hynod yn adnabyddus i raddau yn y llys.

Adn. 13. *Ewch, ac edrychwch pa le y mae efe*] Yn aros yn awr; *fel yr anfonwyf i'w gyrchu ef*—yn fyw neu yn farw. O ddyn ynfyd! A oedd efe yn credu fod Eliseus yn datguddio ei fwriadau dirgelaidd ef i frenin Israel, ai nid oedd? Os nad oedd, paham y mae efe yn llidiog wrth y proffwyd? Ond os oedd, a allai ef fod mor wan a meddwl nad allai yr hwn a hysbysai ei fwriadau ef yn erbyn brenin Israel, wybod hefyd am ei fwriadau ef yn ei erbyn ei hun? Ac os oedd gan y proffwyd ddigon o ddylanwad yn y nef i'w datguddio, ai nid oedd ganddo hefyd ddigon o ddylanwad yno i'w diddymu neu eu siomi? Fel hyn, y rhai a ymrysonant yn erbyn Duw, ei bobl, a'i weision, ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur. *Wele, yn Dothan y mae efe*—dinas yn llwyth Manasse, oddeutu 12 milldir i'r gogledd-ddwyrain o Samaria.

Adn. 14. *Am hyny efe a anfonodd yno feirch, a cherbydau, a llu mawr*] Yr hyn oedd yn llawer gormod i gymeryd un dyn diarfog, ond yn llawer rhy fach i ymladd â'i

15 A phan gododd gweinidog gŵr
Duw yn fore, a myned allan, wele,
lu yn amgylchynu y ddinas, â
meirch ac â cherbydau. A'i was a
ddywedodd wrtho, Aha, fy meistr,
pa fodd y gwnawn?
16 Ac efe a ddywedodd, Nac ofna:
canys amlach *yw* y rhai *sydd* gyda
ni na'r rhai *sydd* gyda hwynt.
17 Ac Eliseus a weddiodd, ac a
ddywedodd, O Arglwydd, agor, at-
olwg, ei lygaid ef, fel y gwelo. A'r
Arglwydd a agorodd lygaid y llanc;
ac efe a edrychodd: ac wele y myn-
ydd yn llawn meirch a cherbydau
tanllyd o amgylch Eliseus.
18 A phan ddaethant i waered ato
ef, Eliseus a weddiodd ar yr Ar-
glwydd, ac a ddywedodd, Taro, at-
olwg, y genedl hon â dallineb. Ac
efe a'u tarawodd hwy â dallineb yn
ol gair Eliseus.
19 ¶ Ac Eliseus a ddywedodd
wrthynt, Nid hon *yw* y ffordd, ac
nid hon *yw* y ddinas: deuwch ar fy
ol i, a mi a'ch dygaf chwi at y gŵr
yr ydych chwi yn ei geisio. Ond efe
a'u harweiniodd hwynt i Samaria.
20 A phan ddaethant hwy i Sa-
maria, Eliseus a ddywedodd, O Ar-
glwydd, agor lygaid y rhai hyn, fel
y gwelont. A'r Arglwydd a agor-
odd eu llygaid hwynt; a hwy a
welsant: ac wele, yn nghanol Sa-
maria *yr oeddynt.*
21 A brenin Israel a ddywedodd
wrth Eliseus, pan welodd efe hwynt,
Gan daro a darawaf *hwynt*, fy nhad?
22 Dywedodd yntau, Na tharo: a
darewit ti y rhai a gaethiwaist â'th
gleddyf, ac â'th fwa dy hun? gosod
fara a dwfr ger eu bron hwynt, fel
y bwytaont ac yr yfont, ac yr elont
at eu harglwydd.

---

Dduw ef! *A hwy a ddaethant liw nos*—tra yr oedd pawb o'r dinaswyr yn cysgu; *ac a amgylchynasant y ddinas*—fel nad allai y proffwyd ddianc allan o honi heb iddynt hwy ei ddal ef.

Adn. 15. *Aha, fy meistr, pa fodd y gwnawn?*] Tybiodd y gwas ei fod ef a'i feistr, a'r ddinas oll, wedi darfod am danynt, trwy nad oedd milwyr yno i amddiffyn y ddinas, na modd chwaith i ddianc o honi. Gwas newydd oedd hwn yn lle Gehazi, yr hwn ni welsai lawer o weithredoedd rhyfedd ei feistr, yr hyn a barai i'w ofnau fod yn fwy.

Adn. 16. *Ac efe a ddywedodd, Nac ofna*] Fel hyn y mae dyn da yn ewyllysio bod yn ddigyffro ei hun, a pheri i bawb o'i amgylch fod yn ddigyffro hefyd. *Canys amlach yw y rhai sydd gyda ni*—i'n hamddiffyn; *na'r rhai sydd gyda hwynt*—i'n dyfetha. Y mae yr angylion yn annhraethol fwy lluosog, a Duw yn anfeidrol fwy galluog.

Adn. 17. *O Arglwydd, agor, atolwg, ei lygaid ef*] Yr oedd llygaid ei *gorff* yn agored, ac â hwynt efe a welai ei berygl: ond agor lygaid ei *feddwl*, llygaid ei *ffydd*, fel y gwelo y gwarchawdlu o angylion ag sydd o'n hamgylch i'n hamddiffyn. *Ac wele y mynydd yn llawn meirch a cherbydau tanllyd*—neu angylion yn ymrithio yn yr agweddau hyny, pen. ii. 11; *o amgylch Eliseus*—o amgylch y ddinas, ac felly o amgylch Eliseus yr hwn oedd o'i mewn hi. Yr oeddynt yno o'r blaen, ac yn cael eu canfod gan y proffwyd; ond yn awr y gwelodd y gwas hwynt.

Adn. 18. *A phan ddaethant i waered ato ef*] Sef pan ddaeth y Syriaid i'r ddinas i ddal Eliseus; *Taro, atolwg, y genedl hon â dallineb*—nid â hollol ddallineb, canys felly nis gallent weled i'w ganlyn ef; ond yn benaf â dallineb meddwl, fel ag i'w dyrysu a'u syfrdanu, a'u hanalluogi i adnabod Eliseus, na'r ffordd a gerddent, mwy na phe buasent wedi meddwi.

Adn. 19. *Nid hon yw y ffordd, ac nid hon yw y ddinas*] I ddal ynddi y gŵr a geisiwch. Pe dywedasai efe, 'Nid hon yw y ffordd i *Dothan*, ac nid hon yw dinas *Dothan*,' a hyny mewn atebiad i'w gofyniad hwy, buasai yn euog o anwiredd: ond nid oeddynt hwy wedi gofyn dim o'r fath. Rhaid addef ei fod ef yn arferyd peth ystryw; ond yr oedd hyny bob amser yn oddefol mewn rhyfel, neu lle yr amcenid am fywyd dyn. *Deuwch ar fy ol i, a mi a'ch dygaf chwi at y gŵr yr ydych chwi yn ei geisio*—ac efe a wnaeth hyny: arweiniodd hwynt i Samaria, a danghosodd ei hun yn llawn iddynt yn y ddinas hono.

Adn. 20. *O Arglwydd, agor lygaid y rhai hyn*] Symud eu dallineb syfrdanol, fel y gwelont ac yr adnabyddont bethau yn eglur. *A'r Arglwydd a agorodd eu llygaid hwynt*—mewn atebiad i weddi Eliseus, megys y tarawsai efe hwynt o'r blaen â dallineb mewn atebiad i'w weddi ef. Y fath ddylanwad oedd gan y dyn hwn yn y nefoedd! *Ac wele, yn nghanol Samaria yr oeddynt!*—a'i phyrth ond odid wedi eu cau arnynt, a miloedd o filwyr arfog Israel yn eu hamgylchynu yn barod i'w dyfetha. Gallwn feddwl i Eliseus anfon ei was o'i flaen at frenin Samaria, i fynegu iddo eu bod yn dyfod, a than ba amgylchiadau.

Adn. 21. *Gan daro a darawaf hwynt?*] A roddaf fi orchymyn i'm milwyr ruthro arnynt â'u cleddyfau, a'u lladd? *Fy nhad*—enw o anrhydedd: gwel ar pen. v. 13.

Adn. 22. *Na tharo*] Y mae lladd carcharorion yn beth croes i ddeddfau dynoliaeth a hynawsedd, hyd yn nod pe buasit ti wedi eu caethiwo hwynt â'th gleddyf a'th fwa dy hun, yr hyn a allasai fod yn rhyw reswm dros eu dyfetha; ond byddai yn llawer mwy beius ladd y rhai hyn mewn gwaed oer, y rhai y

23 Ac efe a arlwyodd iddynt hwy arlwy fawr: a hwy a fwytasant ac a yfasant; ac efe a'u gollyngodd hwynt ymaith, a hwy a aethant at eu harglwydd. Felly byddinoedd Syria ni chwanegasant ddyfod mwyach i wlad Israel.

24 ¶ Ac wedi hyn Benhadad brenin Syria a gynullodd ei holl lu, ac a aeth i fyny, ac a warchaeodd ar Samaria.

25 Ac yr oedd newyn mawr yn Samaria*:* ac wele, yr oeddynt hwy yn gwarchae arni hi, nes bod pen asyn er pedwar ugain *sicl* o arian, a phedwaredd *ran* cab o dom colomenod er pum *sicl* o arian.

26 Ac fel yr oedd brenin Israel yn myned heibio ar y mur, gwraig a lefodd arno ef, gan ddywedyd, Achub, fy arglwydd frenin.

27 Dywedodd yntau, Oni achub yr Arglwydd dydi, pa fodd yr achubaf fi di? Ai o'r ysgubor, neu o'r gwinwryf?

28 A'r brenin a ddywedodd wrthi hi, Beth *a ddarfu* i ti? Hithau a ddywedodd, Y wraig hon a ddywedodd wrthyf, Dyro dy fab, fel y bwytaom ef heddyw; a'm mab inau a fwytawn ni y fory.

29 Felly ni a ferwasom fy mab i, ac a'i bwytasom ef: a mi a ddywedais wrthi hithau y diwrnod arall, Dyro dithau dy fab, fel y bwytaom ef; ond hi a guddiodd ei mab.

---

darfu i ragluniaeth Duw, nid dy arfau di, eu rhoddi yn dy ddwylaw. *Gosod fara a dwfr ger eu bron hwynt*—dyro iddynt fwyd a diod, i'w hadfywio a'u cryfhau i'w taith; *at eu harglwydd*—at frenin Syria, i adrodd iddo pa fodd y bu arnynt yn ngwlad Israel, pan y tarawyd hwynt oll â dallineb, a'r caredigrwydd a gawsant gan frenin Israel trwy eiriolaeth y proffwyd.

Adn. 23. *Ac efe a arlwyodd iddynt hwy arlwy fawr*] Deilwng o hono ei hun fel brenin Israel; *ac efe a'u gollyngodd hwynt ymaith*—ond odid wedi eu diarfogi, o leiaf wedi lladd eu gelyniaeth trwy y caredigrwydd a ddanghoswyd iddynt. *Felly byddinoedd Syria ni chwanegasant ddyfod mwyach i wlad Israel*—yn finteioedd yspeilgar fel o'r blaen; neu ni ddaethant mwyach i gymeryd Eliseus yn garcharor: gwel ar adn. 24.

Adn. 24. *Ac wedi hyn*] Pa bryd wedi hyn ni ddywedir: fe allai yn mhen blynyddau, ar ol iddynt annghofio y tiriondeb a gawsant yn Samaria, yr hwn am amser a'u diarfogasai hwynt yn hollol o'u gelyniaeth yn erbyn Israel. *Benhadad brenin Syria a gynullodd ei holl lu*—wrth weled na allai wneyd fawr o niwed iddynt trwy finteioedd bychain, yn rhuthro arnynt yma a thraw, cynullodd ei holl lu y tro hwn, i edrych beth a allai ef ei wneuthur trwy ymosodiad cyhoeddus a chyffredinol arnynt yn ninas Samaria.

Adn. 25. *Ac yr oedd newyn mawr yn Samaria*] Yn y wlad yn gyffredinol, pen. iv. 38, a viii. 1; ac yn enwedig yn ninas Samaria, trwy y gwarchaead hwn. *Nes bod pen asyn*—ar yr hwn nid oedd fawr o fwyd, ac yr oedd hwnw yn waharddedig yn y gyfraith, Lef. xi. 26; *er pedwar ugain sicl o arian*—yr hyn, yn ol 2*s.* 6*c.* y sicl, oedd £10. Ond gan nad yw y gair *sicl* yn y wreiddiol, tybia rhai mai *hanner sicl* a feddylir, ac ereill *chwarter sicl.* Ond dichon mai rhyw *lestr mesur* a olygir wrth y *pen asyn*, a bod llonaid hwnw o *ŷd* yn cael ei werthu am 80 darn o arian. *A phedwaredd ran cab*—yr oedd *cab*, meddai yr Iuddewon, yn cynwys llonaid 24 plisgyn ŵy, neu oddeutu 3 pheint, ac yr oedd y bedwaredd ran rywfaint o dan beint. *O dom colomenod*—addefir yn gyffredinol mai math ar bys neu ffâ oedd y rhai hyn, y rhai a elwid felly naill ai am eu bod yn debyg i dom colomenod o ran llun a lliw, neu yn cael eu bwyta gan golomenod. Y mae yn Cairo a Damascus ystordai o'r grawn yma, yr hwn a grasir ac a fwyteir hyd heddyw. Yr Arabiaid a'i galwant yn 'dom colomenod;' ac y mae yn fwyd lled gyffredin a rhad yn y dwyrain. *Er pum sicl o arian*—neu 12*s.* 6*c.*

Adn. 26. *Ac fel yr oedd brenin Israel yn myned heibio ar y mur*] I wylio symudiadau y gelynion, ac i edrych a oedd ei filwyr ei hun yn gwneyd eu dyledswydd; *gwraig a lefodd arno*—sef un o wragedd Samaria; *Achub, fy arglwydd frenin!*—achub fy mywyd, trwy beri i mi gael cyfiawnder.

Adn. 27. *Oni achub yr Arglwydd dydi, pa fodd yr achubaf fi di?*] A allaf fi roi ŷd neu win i ti, y rhai y mae arnaf eu heisiau fy hunan? Os na achub yr Arglwydd dydi, ni allaf fi. Neu gellir deall ei eiriau fel iaith nwydwyllt neu anobeithiol: 'Ni achub yr Arglwydd dydi, ac nis gallaf finau.'

Adn. 28. *Beth a ddarfu i ti?*] Efe a ail feddyliodd am ei chwyn hi, a hyny gyda mwy o dosturi. A oes rhyw beth neillduol yn gwasgu arnat ti, yn fwy na'th gymydogion? *Y wraig hon a ddywedodd wrthyf*—gan gyfeirio at ei pherson neu at ei thŷ; *Dyro dy fab, fel y bwytaom ef heddyw*—rhwng dy deulu di a'm teulu inau; *a'm mab inau a fwytawn ni y fory*—ryw ddiwrnod ar ol hyny, pan fyddent wedi bwyta yr oll o'r cyntaf. Yr oedd hyn wedi ei fygwth yn gosp am eu heilunaddoliaeth: gwel ar Deut. xxviii. 56, 57.

Adn. 29. *Felly ni a ferwasom fy mab i, ac a'i bwytasom ef*] Rhyngom, yn ol y cytundeb; *ond hi a guddiodd ei mab*—nid o dosturi ato, meddai yr Iuddewon, ond fel y gallai ei gael ef oll iddi ei hun; a dywedant ei fod ef eisioes wedi marw o newyn.

Adn. 30. *Efe a rwygodd ei ddillad*] Gan

30 ¶ A phan glybu y brenin eiriau y wraig, efe a rwygodd ei ddillad, ac a aeth heibio ar y mur; a'r bobl a edrychodd, ac wele, sachlian *oedd* am ei gnawd ef oddifewn.
31 Ac efe a ddywedodd, Fel hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y chwanego, os saif pen Eliseus mab Saphat arno ef heddyw.
32 Ond Eliseus oedd yn eistedd yn ei dŷ, a'r henuriaid yn eistedd gydag ef. A'r *brenin* a anfonodd ŵr o'i flaen: ond cyn dyfod y genad ato ef, efe a ddywedodd wrth yr henuriaid, A welwch chwi fel yr anfonodd mab y llofrudd hwn i gymeryd ymaith fy mhen i? Edrychwch pan ddel y genad i mewn, cauwch y drws, a deliwch ef wrth y drws: onid *yw* trwst traed ei arglwydd ar ei ol ef?
33 Ac efe eto yn ymddyddan â hwynt, wele y genad yn dyfod i mewn ato ef: ac efe a ddywedodd, Wele y drwg hwn *sydd* oddiwrth yr Arglwydd; paham y dysgwyliaf wrth yr Arglwydd mwy?

## PENNOD VII.

YNA Eliseus a ddywedodd, Gwrandewch air yr Arglwydd: Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Yn nghylch y pryd *hyn* y fory *y gwerthir* sat o beillied er sicl, a dau sat o haidd er sicl, yn mhorth Samaria.

---

syndod gofidus wrth eiriau y wraig, ac wrth feddwl am y caledi dirfawr ag yr oedd ei bobl wedi dyfod iddo trwy y newyn; *ac wele, sachlian oedd am ei gnawd ef oddifewn*—yn arwydd o ymostyngiad a galar am y newyn. Wedi iddo rwygo ei ddillad, gwelai y bobl y sachlian dan ei ddillad trwy y rhwygiadau, yr hon ni welid o'r blaen.

Adn. 31. *Fel hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y chwanego*] Gwnaeth y brenin lw ofnadwy yn ei gynddeiriogrwydd, gan ddymuno i fwy na mwy o ryw ddrygau dychrynllyd syrthio arno, os na *laddai* efe Eliseus y dydd hwnw! Yr oedd efe yn meddwl naill ai mai Eliseus a ddygasai y newyn hwn ar y wlad trwy ei weddiau, fel y gwnaethai Elias o'r blaen yn amser ei dad, 1 Bren. xvii. 1; neu ynte y gallai efe ei symud trwy fyned â'r achos at yr Arglwydd, ond nad oedd yn gwneyd hyny: neu yr oedd yn ddig wrtho am iddo ei attal ef rhag lladd y Syriaid o'r blaen, adn. 22. Nid oedd ef yn ystyried mai ei bechodau mawrion ac amrywiol ei hun, megys ei ymlyniad cyndyn wrth addoliad y lloi, pen. iii. 3, a'i oddefiad o buteindra a hudoliaeth Jezebel ei fam, pen. ix. 22, oedd y gwir achos o'r holl adfyd yma.

Adn. 32. *Ond Eliseus oedd yn eistedd yn ei dŷ*] Naill ai yn ei dŷ ei hun yn Samaria, neu yn ei lety yn nhŷ rhywun arall yno, fel yn Sunem, pen. iv. 10; *a'r henuriaid yn eistedd gydag ef*—naill ai henuriaid y ddinas, neu ynte feibion y proffwydi, neu ryw ddynion da ereill, y rhai a ddeuent ato ef am ei gynghorion a'i weddiau yn eu blinfyd o achos y newyn. *A'r brenin a anfonodd ŵr o'i flaen*—i dori pen y proffwyd, yn ol ei fygythiad, adn. 31. *Ond cyn dyfod y genad ato ef, efe a ddywedodd*—trwy ysbryd proffwydoliaeth, yr hwn a ddisgynodd arno ar y pryd; *A welwch chwi fel yr anfonodd mab y llofrudd hwn i gymeryd ymaith fy mhen i?*—sef Jehoram, mab Ahab, yr hwn a gydsyniodd â Jezebel ei wraig i lofruddio proffwydi yr Arglwydd, ac i labyddio Naboth, 1 Bren. xviii. 4, a xxi. 1, &c. *Pan ddel y genad i mewn*—trwy y porth at y drws; *cauwch y drws, a deliwch ef wrth y drws*—i attal iddo ddyfod i mewn i'r ystafell, i'm lladd i cyn y delo y brenin yn mlaen. *Onid yw trwst traed ei arglwydd ar ei ol ef?*—fel pe dywedasai, Ni raid i chwi ei ddal ef yn hir, canys y mae y brenin bron wrth ei sodlau. Y mae yn debyg mai amcan y brenin wrth ei ddylyn oedd, naill ai tynu ei orchymyn byrbwyll a gwaedlyd yn ol, neu ynte ymresymu â'r proffwyd mewn trefn i gael gwaredigaeth: ond tybia rhai mai i weled tori ei ben ef y daethai.

Adn. 33. *Ac efe eto yn ymddyddan â hwynt*] Tra yr oedd Eliseus yn dywedyd felly wrth yr henuriaid; *wele y genad yn dyfod i mewn ato ef*—sef at y drws, lle y daliwyd ef hyd nes y daeth y brenin yn mlaen. *Ac efe a ddywedodd*—'a'r brenin o'i ol ef a ddywedodd.'—*Cyf. Lladin Castrelio.* Nis gall y rhai hyn fod yn eiriau y *genad* waedlyd, canys nid oedd efe yn dysgwyl wrth yr Arglwydd; nac yn eiriau *Eliseus*, canys yr oedd efe yn dysgwyl yn obeithiol wrtho, fel y mae yn amlwg oddiwrth y bennod nesaf: ac ymddengys oddiwrth pen. vii. 2, fod y brenin erbyn hyn wedi cyraedd yno. *Wele y drwg hwn*—y newyn dychrynllyd yma, pryd y mae y mamau yn gorfod bwyta plant eu hymysgaroedd; *sydd oddiwrth yr Arglwydd*—yr hwn nid ymddengys ei fod am ei symud hyd nes y byddom oll yn gelaneddau. *Paham y dysgwyliaf wrth yr Arglwydd mwy?*—ti a orchymynaist i mi ddysgwyl am ymwared oddiwrth yr Arglwydd; a gwnaethym hyny ddigon o hyd i weled mai gwaith ofer ydyw. Felly iaith anobeithiol brenin annuwiol Israel oedd hon; a chawn eiriau gwahanol gan Eliseus yn union ar ol hyn.

PEN. VII. Adn. 1. *Yna Eliseus a ddywedodd*] Wrth y brenin a'i gymdeithion, mewn atebiad i'r geiriau uchod; *Gwrandewch air yr Arglwydd*—a chredwch ef: ac ymddengys i'r brenin ei hun ei gredu i raddau, ac arbed bywyd Eliseus i edrych a ddeuai ei broffwydoliaeth ef i ben. *Yn*

2 Yna y tywysog yr oedd y brenin
yn pwyso ar ei law a atebodd ŵr
Duw, ac a ddywedodd, Wele, *pe*
gwnai yr Arglwydd ffenestri yn y
nefoedd, a fyddai y peth hyn? Dy-
wedodd yntau, Wele, ti a'*i* gweli â'th
lygaid, ond ni fwytai o hono.
3 ¶ Ac yr oedd pedwar gŵr gwa-
hanglwyfus wrth ddrws y porth, a
hwy a ddywedasant wrth eu gilydd,
Paham yr ydym ni yn aros yma nes
ein meirw?
4 Os dywedwn ni, Awn i mewn
i'r ddinas, newyn *sydd* yn y ddinas,
a ni a fyddwn feirw yno; ac os trig-
wn yma, ni a fyddwn feirw hefyd.
Am hyny deuwch yn awr, ac awn i
wersyll y Syriaid: o chadwant ni yn
fyw, byw fyddwn; ac os lladdant ni,
byddwn feirw.
5 A hwy a gyfodasant ar doriad
dydd i fyned i wersyll y Syriaid.
A phan ddaethant at gŵr eithaf
gwersyll y Syriaid, wele, nid *oedd*
neb yno.
6 Canys yr Arglwydd a barasai i
wersyll y Syriaid glywed trwst cer-
bydau, a thrwst meirch, trwst llu
mawr: a hwy a ddywedasant wrth
eu gilydd, Wele brenin Israel a gyf-
logodd i'n herbyn ni frenhinoedd yr
Hethiaid, a brenhinoedd yr Aifft,
i ddyfod arnom ni.
7 Am hyny hwy a gyfodasant, ac
a ffoisant, ar lasiad dydd, ac a
adawsant eu pebyll, a'u meirch, a'u
hasynod, *sef* y gweddill fel *yr yd-
oedd*, ac a ffoisant am eu heinioes.
8 A phan ddaeth y rhai gwahan-
glwyfus hyn hyd gŵr eithaf y gwer-
syll, hwy a aethant i un babell, ac a
fwytasant, ac a yfasant, ac a gymer-

---

*nghylch y pryd hyn y fory y gwerthir sat o beillied er sicl*—sef oddeutu dwy alwyn a hanner o beillied gwenith am 2*s*. 6*c*.; *a dau sat o haidd er sicl*—neu gymaint arall o flawd haidd am yr un bris; *yn mhorth Samaria*—lle y cynelid eu marchnad yn gyffredin, neu o leiaf y tro hwn.

Adn. 2. *Yna y tywysog yr oedd y brenin yn pwyso ar ei law*] Neu yn rhodio wrth ei fraich; a'r swyddog uwchaf yn y deyrnas yn gyffredin a gai yr anrhydedd hwn, pen. v. 18; *a ddywedodd*—mewn annghrediniaeth diystyrllyd o eiriau y proffwyd, ac ond odid o allu Duw; *Wele, pe gwnai yr Arglwydd ffenestri yn y nefoedd*—a gwlawio oddiyno wenith a haidd, fel y gwlawiodd efe y manna gynt; *a fyddai y peth hyn?*—a fyddai yn bosibl iddo gymeryd lle? Wrth ystyried mor gyffredinol oedd y newyn, a bod y fath fyddin luosog o Syriaid arfog yn amgylchynu y ddinas, nis gallai ef ddirnad fod yn ddichonadwy i'r fath beth gymeryd lle mor fuan; a thybiai nad oedd hyn ddim ond twyll o eiddo y proffwyd, er mwyn dianc rhag cael tori ei ben: gwel ar pen. vi. 32. *Wele, ti a'i gweli â'th lygaid*—fod y peth nid yn unig yn bosibl, ond wedi cymeryd lle yn wirioneddol; *ond ni fwytâi o hono*—yr hyn oedd yn rhagfynegiad o'i farwolaeth ef fel cosp gyfiawn am ei annghrediniaeth diystyrllyd, trwy yr hyn y mynai efe arddangos Duw a'i broffwyd fel yn gelwyddog! Yr un modd cafodd yr Israeliaid grwgnachlyd weled Canaan, ond nis gallent fyned i mewn o herwydd annghrediniaeth. Ddarllenydd, gwylia rhag mai fel hyn y bydd gyda thi!

Adn. 3. *Ac yr oedd pedwar gŵr gwahanglwyfus wrth ddrws y porth*] Y rhai a gedwid allan o'r ddinas a'r gwersyll yn ol y gyfraith, Lef. xiii. 46. Dywed *Jarchi* ac ereill mai Gehazi a'i dri mab oeddynt. *Paham yr ydym ni yn aros yma nes ein meirw?*—canys nid oedd neb yn tramwy trwy y porth i estyn tamaid iddynt yn eu newyn.

Adn. 4. *Awn i wersyll y Syriaid*] I'n rhoddi ein hunain yn eu dwylaw hwy, beth bynag fyddo y canlyniad: *o chadwant ni yn fyw*—trwy roddi bwyd i ni, ni a gawn ein bywyd felly; *ac os lladdant ni*—ni waeth i ni farw trwy eu dwylaw hwy ar unwaith, na thrwy y newyn yn raddol.

Adn. 5. *A hwy a gyfodasant ar doriad dydd*] Saes. *twilight*, 'rhwng dau oleu;' a gellir meddwl oddiwrth adn 9, 12, mai y *cyfnos*, neu derfyn y dydd, ydoedd. *A phan ddaethant at gŵr eithaf gwersyll y Syriaid*—sef y cŵr nesaf atynt hwy, ac at Samaria; canys yr oedd y fyddin yn gwarchae ar y ddinas encyd oddiwrthi; *wele, nid oedd neb yno*—trwy eu bod oll wedi ffoi am eu bywyd, fel y gwelwn isod.

Adn. 6. *Canys yr Arglwydd a barasai i wersyll y Syriaid glywed trwst cerbydau, &c.*] Fel pe buasai byddin fawr o wŷr meirch a cherbydau rhyfel yn dyfod ar eu gwarthaf i gynorthwyo y Samariaid. Dichon mai trwy offerynoliaeth angylion y parwyd hyn, y rhai a effeithient ar yr awyr i beri swn fel trwst cerbydau a meirch, neu ynte a ddylanwadent ar glustiau y Syriaid nes peri iddynt feddwl eu bod yn clywed trwst felly.

Adn. 7. *Am hyny hwy a gyfodasant ac a ffoisant*] Gan adael eu pebyll, a phob peth ag oedd ynddynt, ar ol; *ar lasiad dydd*—Saes. *twilight*, yn y *cyfnos*, cyn iddi gwbl dywyllu: gwel ar adn. 5. Yr oedd eu dychryn mor fawr fel na chymerasant amser i gyfrwyo eu meirch a'u hasynod, gyda'r rhai y gallasent ffoi yn gyflymach; neu yr oedd eu dyryswch gymaint, fel na feddyliasant am danynt, mwy nag am eu haur a'u harian, eu bwydydd a'u gwisgoedd.

Adn. 8. *Hwy a aethant i un babell*] Sef y nesaf atynt ar eu ffordd oddiwrth y ddinas; *ac a fwytasant ac a yfasant*—o'r pethau a gawsant yn y babell hòno, am eu bod yn newynog iawn; *ac a gymerasant oddiyno arian, ac*

asant oddiyno arian, ac aur, a
gwisgoedd, ac a aethant, ac a'*i*
cuddiasant, ac a ddychwelasant; ac
a aethant i babell arall, ac a gymer-
asant oddiyno, ac a aethant, ac a'*i*
cuddiasant.
9 Yna y dywedodd y naill wrth y
llall, Nid ydym ni yn gwneuthur yn
iawn; y dydd hwn *sydd* ddydd lla-
wen-chwedl, ac yr ydym ni yn tewi
â son; os arhoswn ni hyd oleuni y
bore, rhyw ddrwg a ddygwydd i ni:
deuwch gan hyny yn awr, ac awn
fel y mynegom i dŷ y brenin.
10 Felly hwy a ddaethant, ac a
waeddasant ar borthor y ddinas; a
hwy a fynegasant iddynt, gan ddy-
wedyd, Daethom i wersyll y Syriaid,
ac wele nid *oedd* yno neb, na llais
dyn, ond y meirch yn rhwym, a'r
asynod yn rhwym, a'r pebyll megys
*yr oeddynt o'r blaen.*
11 Ac efe a alwodd ar y porthor-
ion; a hwy a'*i* mynegasant i dŷ y
brenin oddifewn.
12 ¶ A'r brenin a gyfododd liw
nos, ac a ddywedodd wrth ei weis-
ion, Mynegaf yn awr i chwi yr hyn
a wnaeth y Syriaid i ni. Gwyddent
mai newynog *oeddym* ni; am hyny
yr aethant ymaith o'r gwersyll i
ymguddio yn y maes, gan ddywed-
yd, Pan ddelont hwy allan o'r ddi-
nas, ni a'u daliwn hwynt yn fyw, ac
a awn i mewn i'r ddinas.
13 Ac un o'i weision a atebodd ac
a ddywedodd, Cymer yn awr bump
o'r meirch a adawyd, y rhai a ad-
awyd yn y ddinas, (wele, *y maent*
hwy fel holl luaws Israel, y rhai a
ddarfuant) ac anfonwn, ac edrychwn.
14 Felly hwy a gymerasant feirch
dau gerbyd: a'r brenin a anfonodd
ar ol gwersyll y Syriaid, gan ddy-
wedyd, Ewch, ac edrychwch.
15 A hwy a aethant ar eu hol
hwynt hyd yr Iorddonen, ac wele
yr holl ffordd ydoedd yn llawn o
ddillad a llestri, y rhai a fwriasai y
Syriaid ymaith wrth frysio: a'r

---

*aur, a gwisgoedd*—a'r un modd o amrai bebyll ereill; *ac a'u cuddiasant*—yn y ddaear tua phorth Samaria, fel y byddent at eu gwasanaeth ar ol hyn.

Adn. 9. *Yna y dywedodd y naill wrth y llall*] Wrth ystyried yr eisiau oedd yn y ddinas, a'r cyflawnder oedd gerllaw iddi; *Nid ydym ni yn gwneuthur yn iawn*—â'n brodyr Israelaidd, y rhai y dylem dosturio wrthynt a'u cynorthwyo; nac â ni ein hunain, y rhai a allwn ddyoddef am hyn, naill ai oddiwrth y Syriaid, neu ynte oddiwrth frenin Israel a'i bobl. *Y dydd hwn sydd ddydd llawen-chwedl*—i drigolion Samaria, pe caent glywed yr hyn a ddygwyddodd; *ac yr ydym ni yn tewi â son*—heb fynegu iddynt fod eu gelynion wedi dianc am eu heinioes, gan adael y fath lawnder o luniaeth ar eu hol. *Os arhoswn ni hyd oleuni y bore*—heb fynegu y newydd da hwn i drigolion newynog ac ofnus Samaria. Felly ymddengys mai yn y *cyfnos* yr aethant hwy i wersyll y Syriaid, ac nid yn y *bore:* gwel ar adn. 5, 7. *Rhyw ddrwg a ddygwydd i ni*—naill ai trwy ddychweliad y Syriaid arnynt, i'w lladd; neu ynte oddiwrth frenin Israel, yr hwn a'u cospai hwynt am gelu y peth oddiwrtho ef. *Awn, fel y mynegom i dŷ y brenin*—y newydd da hwn o lawenydd mawr.

Adn. 10. *Felly hwy a ddaethant*] Mor agos at y porth ag y beiddient gan eu gwahanglwyf; *ac a waeddasant ar borthor y ddinas*—gan fynegu iddo yr hyn a ddygwyddodd yn ngwersyll y Syriaid.

Adn. 11. *Ac efe*] Sef porthor y ddinas, a fynegodd eiriau y gwahangleifion i borthorion llys y brenin, y rhai a ddygasant y newydd at y brenin ei hun.

Adn. 12. *A'r brenin a gyfododd liw nos*] Yn debygol o'i wely; yr hyn sydd brawf arall mai y *cyfnos* a olygir yn adn. 5, 7. *Mynegaf yn awr i chwi yr hyn a wnaeth y Syriaid i ni*—efe a goeliodd dystiolaeth y gwahangleifion; ond meddyliai mai dichell y Syriaid oedd encilio fel hyn, i ddenu y Samariaid allan o'r ddinas; canys gallwn feddwl nad oedd neb yn y ddinas wedi clywed y trwst a ddychrynasai y Syriaid, adn. 6.

Adn. 13. *Cymer yn awr bump o'r meirch a adawyd*] Yn fyw yn y ddinas, heb eu lladd gan y newyn: *wele y maent hwy fel holl luaws Israel*—llawer o honynt eisioes wedi trengu, yn ddyn ac anifel, a'r gweddill yn sicr o'u canlyn os na ddaw rhyw waredigaeth ebrwydd: *ac anfonwn*—wŷr gyda'r meirch hyn, i edrych pa un ai ymguddio yn ddichellgar y mae y Syriaid, ynte wedi ffoi yn hollol. Ymddengys mai hyn yw synwyr yr adnod dywell hon. Nid yw yr ail adroddiad a gynwysir ynddi i'w gael yn y LXX na'r Syriaeg, ac y mae yn eisiau mewn mwy na deugain o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi; gan hyny y mae yn debyg mai chwanegiad ydyw wedi ymlusgo i'r testyn gwreiddiol trwy ddiofalwch rhyw adysgrifenydd.

Adn. 14. *Felly hwy a gymerasant feirch dau gerbyd*] Saes. 'ddau farch cerbyd.' Yr oeddid ar y cyntaf yn meddwl cymeryd pump; ond erbyn eu chwilio, gall mai dau yn unig oedd yn alluog i'r daith. Neu os anfonwyd dau gerbyd, y mae yn debyg iddynt roddi dau farch i lusgo pob un, a'r pummed ond odid dan farchogwr i'w dylyn.

Adn. 15. *A hwy a aethant ar eu hol hwynt hyd yr Iorddonen*] Yr hyn oedd oddeutu 25 milldir o ffordd; *ac wele yr holl*

cenadau a ddychwelasant ac a fynegasant i'r brenin.
16 A'r bobl a aethant allan, ac a
anrheithiasant wersyll y Syriaid:
a bu sat o beillied er sicl, a dau sat
o haidd er sicl, yn ol gair yr Arglwydd.
17 ¶ A'r brenin a osododd y ty-
wysog yr oedd efe yn pwyso ar ei
law *i wylied* ar y porth: a'r bobl a'i
mathrasant ef yn y porth, ac efe fu
farw, megys y llefarasai gŵr Duw,
yr hwn a ddywedasai *hyny* pan
ddaeth y brenin i waered ato ef.
18 A bu megys y llefarasai gŵr
Duw wrth y brenin, gan ddywedyd,
Dau sat o haidd er sicl, a sat o
beillied er sicl, fydd y pryd *hwn* y
fory yn mhorth Samaria.
19 A'r tywysog a atebasai ŵr
Duw, ac a ddywedasai, Wele, *pe*
gwnai yr Arglwydd ffenestri yn y
nefoedd, a fyddai y peth hyn? Dywedodd yntau, Wele ti a'i gweli â'th
lygaid, ond ni fwytâi o hono.
20 Ac felly y bu iddo ef: canys y
bobl a'i sathrasant ef yn y porth, ac
efe a fu farw.

## PENNOD VIII.

YNA Eliseus a lefarodd wrth y wraig y bywhasai efe ei mab, gan ddywedyd, Cyfod, a dos di a'th

---

*ffordd ydoedd yn llawn o ddillad a llestri*—y rhai a fwriasai y Syriaid ymaith yn eu braw a'u ffrwst, fel y gallent ffoi yn fwy dirwystr. *A'r cenadau a ddychwelasant ac a fynegasant i'r brenin*—nad oedd y Syriaid yn ymguddio yn ddichellgar yn y gymydogaeth, a'u bod hwy wedi gweled eu hôl yn croesi yr Iorddonen i fyned adref i'w gwlad eu hunain.

Adn. 16. *A'r bobl—a anrheithiasant wersyll y Syriaid*] O'r holl drysorau, yn enwedig yr ymborth, o'r hwn yr oedd yno lawnder mawr; *a bu sat o beillied er sicl, &c.*—yn ol gair yr Arglwydd trwy enau Eliseus, adn. 1.

Adn. 17. *A'r brenin a osododd y tywysog*] Yr hwn a annghredasai air Eliseus, adn. 2; *i wylied ar y porth*—i gadw trefn ar y bobl newynog a ddeuent yno i brynu ymborth; *a'r bobl a'i mathrasant ef yn y porth*—nid yn fwriadol efallai, ond wrth ymwthio yn mlaen yn eu hawydd a'u brys; *ac efe a fu farw*—yno dan eu traed hwy, megys y rhagfynegasai Eliseus, adn. 2.

Adn. 18—20. *A bu megys y llefarasai gŵr Duw, &c.*] Ail adroddir gwerthiad a phris y gwenith a'r haidd, a marwolaeth y tywysog cyn cael bwyta o honynt, er iddo eu gweled, i'r dyben i ddangos mor fanwl y cyflawnodd Duw ei air trwy enau ei broffwyd! Rhaid fod hyn wedi dyrchafu anrhydedd Duw, a bri ei broffwyd ef, yn ngolwg holl Israel; tra yr oedd ar yr un pryd yn brawf ofnadwy o ddigofaint cyfiawn JEHOFA yn erbyn y rhai a ddirmygent yn annghrediniol ei allu, ei ragluniaeth, a'i addewid ef!

ADFEDDYLIADAU.—Sylwa *Dr. Lightfoot*, fod llawer o ddygwyddiadau yn cael eu crybwyll rhwng y flwyddyn *gyntaf* a'r *olaf* i Jehoram mab Jehosaphat, y rhai na osodir i lawr yn eu *blwyddyn briodol*, ond a gymerasant le mewn un o'r blynyddau hyny; megys yr hanesion a gynwysir yn pen. iv—vii. o'r llyfr hwn, ac yn 2 Cron. xxi. 6—19. Gellir eu cyfrif fel hyn: (1) Yn y flwyddyn *gyntaf* i Jehoram y mae Eliseus yn amlhau olew y wraig weddw, yn lletya yn Sunem, ac yn addaw mab i'w letywraig, pen. iv. Yr oedd y *saith mlynedd o newyn* wedi dechreu y pryd hyny, ac efe a rybyddia y Sunamees o'i barhad. (2) Yr *ail* flwyddyn ei phlentyn yn cael ei eni yn ngwlad y Philistiaid, pen. viii. 2; ac Eliseus yn trigianu gyda dysgyblion y proffwydi yn Gilgal, yn iachâu y cawl gwenwynig, yn porthi cànwr âg ugain torth haidd, ac yn iachâu Naaman o'i wahanglwyf. (3) Y *drydedd* flwyddyn yn peri i'r haiarn nofio, yn taro y Syriaid â dallineb, ac yn eu hanfon yn ol at eu harglwydd. (4) Y *bedwaredd* flwyddyn Jehosaphat yn marw, ac Edom yn gwrthryfela, gan ysgwyd ymaith yr iau a osodwyd arnynt gan Dafydd; a Libna hefyd yn gwrthryfela, pen. viii. 22. (5) Y *bummed* flwyddyn Benhadad yn gwarchae ar Samaria; ac ar ol iddi gael bron ei dyfetha gan y newyn, yn cael ei gwaredu ar unwaith trwy gyfryngiad gwyrthiol Duw, yn ol rhagfynegiad Eliseus, pen. vii. (6) Y *chweched* flwyddyn y Philistiaid a'r Arabiaid yn gorthrymu Jehoram brenin Juda, ac yn caethgludo ei wragedd a'i blant, 2 Cron. xxi. 16, 17. (7) Y *seithfed* flwyddyn Jehoram yn cael ei daro â chlefyd trwm, nes i'w ymysgaroedd fyned allan, 2 Cron. xxi. 18, 19. Ac yn yr un flwyddyn y mae y *saith mlynedd o newyn yn diweddu* oddeutu amser y cynauaf; ac yn y cynauaf hwnw y mae mab y Sunamees yn marw, ac yn cael ei adfer i fywyd gan Eliseus, er fod hanes ei enedigaeth a'i farwolaeth yn cael eu hadrodd yn nghyd, pen. iv. Yn fuan wedi hyn y mae y Sunamees yn myned at y brenin i erfyn am adferiad o'i thir, yr hwn a adawsai hi yn amser y newyn, pryd yr aethai i ymdaith i wlad y Philistiaid, pen. viii. Yn yr un flwyddyn y mae Eliseus yn Damascus; Benhadad yn clafychu; Hazael yn ei fygu ef â gwrthban gwlyb, ac yn teyrnasu yn ei le. Cymerodd yr holl bethau hyn le, fel y tybia Dr. Lightfoot, rhwng 3110 a 3117 O. B. —Gwel ei *Waith*, cyf. i. dal. 88. Y mae pethau fel hyn yn gwneyd yr *amseryddiaeth* yn dra anhawdd, fel y cawn weled isod.

PEN. VIII. Adn. 1. *Yna Eliseus a lefarodd*] Gan fod hyn yn adroddiad o beth a gymerodd le yn mhell cyn hyn, dylesid ei gyfieithu, 'Ac Eliseus a *lefarasai*.' Felly hefyd adn. 2: 'A'r wraig a *gyfodasai*, ac a *wnaeth*-

dylwyth, ac ymdeithia lle y gellych
ymdeithio: canys yr Arglwydd a
alwodd am newyn, a *hwnw* a ddaw
ar y wlad saith mlynedd.
2 A'r wraig a gyfododd, ac a
wnaeth yn ol gair gŵr Duw: a hi a
aeth, hi a'i thylwyth, ac a ymdeith-
iodd yn ngwlad y Philistiaid saith
mlynedd.
3 Ac yn mhen y saith mlynedd,
y wraig a ddychwelodd o wlad y
Philistiaid: a hi a aeth i waeddi ar
y brenin am ei thŷ, ac am ei thir.
4 A'r brenin oedd yn ymddyddan
â Gehazi gwas gŵr Duw, gan ddy-
wedyd, Adrodd i mi, atolwg, yr holl
bethau mawr a wnaeth Eliseus.
5 Ac fel yr oedd efe yn mynegu
i'r brenin y modd y bywhasai efe y
marw, yna wele y wraig y bywhas-
ai efe ei mab yn gwaeddi ar y bren-
in am ei thŷ, ac am ei thir. A Ge-
hazi a ddywedodd, Fy arglwydd
frenin, dyma y wraig, a dyma ei
mab yr hwn y darfu i Eliseus ei
fywhau.
6 A'r brenin a ofynodd i'r wraig;
a hithau a fynegodd iddo ef. A'r
brenin a roddodd iddi ryw ystafell-
ydd, gan ddywedyd, Dod drachefn
yr hyn oll *oedd* eiddo hi, a holl
gnwd y maes, o'r dydd y gadawodd
hi y wlad hyd y pryd hwn.
7 ¶ A daeth Eliseus i Damascus:
a Benhadad brenin Syria oedd glaf;
a mynegwyd iddo ef, gan ddywed-
yd, Daeth gŵr Duw yma.
8 A'r brenin a ddywedodd wrth

---

*ai,'* &c. Meddylir i'r hyn a grybwyllir yn y ddwy adnod flaenaf ddygwydd bump neu chwe blynedd cyn yr hyn a nodir yn adn 3: gwel yr adfeddyliadau yn niwedd pen. vii. *Wrth y wraig y bywhasai efe ei mab*—ar ol hyny; canys tybia rhai iddo ei chynghori i fyned i wlad y Philistiaid cyn i'r plentyn gael ei eni. *Ymdeithia lle y gellych*—lle y byddai hi a'i thylwyth debycaf i gael ymborth yn amser y newyn; *canys yr Arglwydd a alwodd am newyn*—yn gosp ar Israel am eu heilunaddoliaeth parhaus; *saith mlynedd*—cyhyd arall a'r newyn yn amser Elias ac Ahab, 1 Bren. xviii. 1. Gofalai y proffwyd fel hyn am y Sunamees hon, oblegid ei charedigrwydd yn adeiladu ystafell iddo ef, pen. iv. 10.

Adn. 2. *Ac a ymdeithiodd yn ngwlad y Philistiaid*] Yr hon oedd yn rhydd oddiwrth y newyn, er ei bod ar gyffiniau Israel; ac y mae hyny yn profi mai barn uniongyrchiol Duw oedd y trallod hwn. Fe allai fod y newyn wedi ymdaenu mewn rhan dros Juda hefyd, onidê aethai y wraig dduwiol hon i ymdaith yno.

Adn. 3. *Ac yn mhen y saith mlynedd*] Sef ar ol i'r newyn fyned heibio; *hi a aeth i waeddi ar y brenin am ei thŷ, ac am ei thir*—y rhai, ar ol iddi hi eu gadael, a feddiannwyd ond odid gan rai o'i pherthynasau, neu gan swyddogion y brenin fel dirwy i'r goron, am iddi fyned o'i gwlad i blith gelynion heb ganiatâd y brenin.

Adn. 4. *A'r brenin oedd yn ymddyddan â Gehazi, gwas gŵr Duw*] Yr hwn a fuasai yn ei wasanaeth ef cyn ei daro â'r gwahanglwyf; ac a ydoedd ond odid yn un o'r pedwar, pen. vii. 3. Nid oedd y gyfraith yn gwahardd ymddyddan â'r gwahangleifion, ond yn unig cyffwrdd â hwy, neu gyd-drigo. Ymddyddanodd gwas Eliseus â Naaman, pen. v. 10, a'n Harglwydd ei hun â deg o honynt, Luc xvii. 14. Ond tybia rhai i'r hyn a adroddir yma gymeryd lle cyn iachâu Naaman, a chyn clafychu Gehazi, yr hyn a adroddir yn pen. v. Modd bynag, y mae yn eglur oddiwrth yr adnod nesaf fod mab y Sunamees wedi ei fywhau cyn hyn, a hyny tra yr oedd Gehazi yn ngwasanaeth Eliseus, pen. iv. 36; ac felly nis gall tyb Lightfoot fod yn gywir, ddarfod taro Gehazi â'r gwahanglwyf yn yr *ail* flwyddyn o'r newyn, ac i'r plentyn gael ei fywhau yn y *seithfed:* gwel yr adfeddyliadau yn niwedd pen. vii. Heblaw hyn, yr oedd y wraig mewn meddiant o'i thyddyn pan fu farw y plentyn, yr hyn a ddengys mai cyn myned i ymdaith i Philistia y bywhawyd ef: gan hyny gellir meddwl fod y bachgen oddeutu 12 mlwydd oed pryd y daeth ei fam ef i ddywedyd ei chŵyn wrth y brenin. *Adrodd i mi, atolwg, yr holl bethau mawr a wnaeth Eliseus*—pan yr oeddit ti yn was iddo; sef y gwyrthiau hynod a gyflawnwyd ganddo.

Adn. 5. *Ac fel yr oedd efe yn mynegu i'r brenin y modd y bywhasai efe y marw*] Sef mab y Sunamees, pen. iv. 34, 35; *yna wele y wraig*—sef mam y bachgen a fywhasid, am yr hwn yr oedd Gehazi yn son; *yn gwaeddi ar y brenin am ei thŷ, ac am ei thir*—gwel ar adn. 3. Trefnodd rhagluniaeth iddi ddyfod gyda'i mab i grefu am ei heiddo, ar y mynyd hwnw ag yr oedd efe yn clywed y fath adroddiad hynod am danynt, yr hyn a effeithiodd yn dda ar feddwl y brenin.

Adn. 6. *A'r brenin a ofynodd i'r wraig*] Ai gwir oedd yr hanes; *a hithau a fynegodd iddo ef*—a gadarnhaodd adroddiad Gehazi. *A'r brenin a roddodd iddi ryw ystafellydd*—a benododd un o swyddogion ei lys i adfer iddi nid yn unig ei thŷ a'i thir, ond hefyd bob peth a adawsai hi yn ei thŷ, yn nghyda gwerth holl gnwd ei thir o'r dydd y gadawsai hi y wlad hyd y dydd hwnw.

Adn. 7. *A daeth Eliseus i Damascus*] Fe allai i ymweled â Naaman, ac i'w gadarnhau ef yn y wir grefydd; *a Benhadad brenin Syria oedd glaf*—canys ni all anrhydedd, cyfoeth, na mawredd, gadw dynion rhag clefydon; ïe, y mae palasau a gorseddau mor agored i saethau angau a bwth y cardotyn.

Adn. 8. *A'r brenin a ddywedodd wrth*

Hazael, Cymer anrheg yn dy law, a
dos i gyfarfod â gŵr Duw; ac ym-
ofyn â'r Arglwydd trwyddo ef, gan
ddywedyd, A fyddaf fi byw o'r clef-
yd hwn?
9 Felly Hazael a aeth i'w gyfar-
fod ef, ac a gymerth anrheg yn ei
law, a phob peth *a'r a oedd* dda o
Damascus, *sef* llwyth deugain o
gamelod; ac a ddaeth, ac a safodd
o'i flaen ef, ac a ddywedodd, Ben-
hadad brenin Syria dy fab a'm
hanfonodd atat, gan ddywedyd, A
fyddaf fi byw o'r clefyd hwn?
10 Ac Eliseus a ddywedodd
wrtho, Dos, a dywed wrtho, Diau y
gelli fyw; eto yr Arglwydd a
ddanghosodd i mi y bydd efe marw
yn ddiau.
11 Ac efe a osododd ei wyneb,
ac a ddaliodd sylw arno, nes cy-
wilyddio o hono ef: a gŵr Duw a
ŵylodd.
12 A Hazael a ddywedodd, Pa-
ham y mae fy arglwydd yn ŵylo?
Dywedodd yntau, Am fy mod yn
gwybod y drwg a wnai di i feibion
Israel: eu hamddiffynfaoedd hwynt
a losgi di â thân, a'u gwŷr ieuainc a
leddi â'r cleddyf, a'u plant a bwyi,
a'u gwragedd beichiogion a rwygi.
13 A Hazael a ddywedodd, Pa
beth! ai ci *yw* dy was, fel y gwnelai
efe y mawr beth hyn? Ac Eliseus
a ddywedodd, Yr Arglwydd a
ddanghosodd i mi *y byddi* di yn
frenin ar Syria.
14 Felly efe a aeth ymaith oddi-
wrth Eliseus, ac a ddaeth at ei ar-
glwydd; yr hwn a ddywedodd
wrtho, Beth a ddywedodd Eliseus
wrthyt ti? Ac efe a atebodd, Efe
a ddywedodd wrthyf y byddit ti
byw yn ddiau.
15 A thranoeth efe a gymerth
wrthban, ac a'i gwlychodd mewn

---

*Hazael*] Yr hwn oedd yn awr yn debygol yn dywysog ei lu ef yn lle Naaman, yr hwn a droisid o'i swydd am iddo ymwrthod âg eilunaddoliaeth y Syriaid. *Dos i gyfarfod â gŵr Duw, ac ymofyn â'r Arglwydd trwyddo ef*—yn ei iechyd efe a ymgrymai yn nhŷ Rimmon, pen. v. 18; ond yn ei glefyd efe a ymofynai â Duw Israel. Gwelsom yn ddiweddar frenin Israel yn ymofyn yn ei afiechyd â duw Ecron, fel pe na buasai Duw yn Israel, pen. i. 3; ond yn awr dyma frenin paganaidd, mewn amgylchiad cyffelyb, yn rhoddi yr anrhydedd hwnw i JEHOFA, yr hwn a ommeddid iddo gan ei bobl ei hun! *A fyddaf fi byw o'r clefyd hwn?*—yr hyn y gwyddai nad allai neb ei fynegu ond Duw Israel.

Adn. 9. *Felly Hazael—a gymerth anrheg yn ei law*] Sef llwyth deugain o gamelod o bob peth a'r a oedd dda yn Damascus. Dywed yr Iuddewon mai bwydydd a ffrwythydd o bob math oedd yr anrheg hon, ac nid aur ac arian a dillad, am i Eliseus wrthod pethau felly gan Naaman o'r blaen; a gallwn feddwl, oddiwrth ddystawrwydd yr ysgrythyr, i Eliseus dderbyn y rhai hyn, i ddiwallu y tylodion yn Israel, ac ysgolion y proffwydi yn eu hisel amgylchiadau.

Adn. 10. *Dos, a dywed wrtho, Diau y gelli fyw*] O ran y clefyd hwn, yr hwn nid yw angeuol ynddo ei hun. *Eto yr Arglwydd a ddanghosodd i mi y bydd efe marw yn ddiau*—nid o'i afiechyd presenol, ond o ryw achos arall.

Adn. 11. *Ac efe a osododd ei wyneb*] Hyny yw, edrychodd Eliseus yn graff a manwl am hir amser yn llygad Hazael, fel pe buasai yn darllen ei galon ef; *nes cywilyddio o hono*—gan ofni fod gŵr Duw yn gwybod ei amcanion gwaedlyd ef tuag at y brenin. *A gŵr Duw a ŵylodd*—wrth feddwl am y creulondeb a wnai Hazael i Israel ar ol hyn!

Adn. 12. *Paham y mae fy arglwydd yn ŵylo?*] Gan feddwl ond odid nad oedd achos iddo ŵylo am farwolaeth Benhadad, yr hwn oedd yn elyn gwastadol i Israel. *Dywedodd yntau*—nad am yr achos hwnw, ond mai am achos arall yr oedd efe yn ŵylo; *am fy mod yn gwybod y drwg a wnai di i feibion Israel*—yr hyn a ragwelai efe trwy ysbryd proffwydoliaeth. *Eu hamddiffynfaoedd hwynt a losgi di â thân*—yr hyn a gyflawnwyd, pen. x. 32, 33, a xiii. 3, 7; *a'u gwŷr ieuainc a leddi â'r cleddyf*—mewn rhyfel, neu wedi eu dal yn garcharorion; *a'u plant a bwyi*—yn erbyn y muriau, a phalmant yr heolydd, Salm cxxxvii. 8, 9; *a'u gwragedd beichiogion a rwygi*—yr hyn a arferid weithiau mewn rhyfel, Amos i. 13.

Adn. 13. *Pa beth! ai ci yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr beth hyn?*] Er fod yr ymadrodd hwn weithiau yn meddwl un gwael a diwerth, megys yn 2 Sam. iii. 8; eto y mae bryd arall yn meddwl dyn creulon, barbaraidd, a chiaidd, fel yn Salm xxii. 16, 20, a lix. 6; ac ymddengys mai yn yr ystyr olaf hwn y dylid ei ddeall ef yma. A wyt ti yn meddwl mai dyn ciaidd yw dy was, i rwygo, llarpio, a chnoi? *Yr Arglwydd a ddanghosodd i mi y byddi di yn frenin ar Syria*—ac felly mewn gallu *ciaidd* i wneyd y gweithredoedd creulon hyn.

Adn. 14. *Felly efe a aeth ymaith oddiwrth Eliseus*] Yn llawn bwriad i brysuro marwolaeth ei arglwydd frenin, fel ag i gael yr orsedd ar ei ol ef. *Beth a ddywedodd Eliseus wrthyt ti*—o berthynas i'r clefyd hwn? *Y byddit ti byw yn ddiau*—yr oedd hyn yn anwiredd bwriadol. 'Diau y *gelli* fyw,' oedd atebiad y proffwyd; ac ar yr un pryd dywedodd, 'y byddai efe *marw yn ddiau*,' adn. 10. Dy-

dwfr, ac a'*i* lledodd ar ei wyneb ef,
fel y bu efe farw : a Hazael a deyrn-
asodd yn ei le ef.
16 ¶ Ac yn y bummed flwydd-
yn i Joram mab Ahab frenin Israel,
a Jehosaphat yn frenin yn Juda, y
dechreuodd Jehoram mab Jehosa-
phat brenin Juda deyrnasu.
17 Mab deuddeng mlwydd ar
hugain oedd efe pan ddechreuodd
deyrnasu ; ac wyth mlynedd y teyrn-
asodd efe yn Jerusalem.
18 Ac efe a rodiodd yn ffordd
brenhinoedd Israel, fel y gwnai tŷ
Ahab : canys merch Ahab oedd yn
wraig iddo : felly efe a wnaeth yr
hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Ar-
glwydd.
19 Ond ni fynai yr Arglwydd ddy-
fetha Juda, er mwyn Dafydd ei
was ; megys yr addawsai efe, y
rhoddai iddo oleuni, *ac* i'w feibion
yn dragywydd.
20 ¶ Yn ei ddyddiau ef y gwrth-
ryfelodd Edom odditan law Juda,
ac y gosodasant frenin arnynt eu
hunain.
21 A Joram a aeth drosodd i Sair,
a'r holl gerbydau gydag ef ; ac efe
a gyfododd liw nos, ac a darawodd
yr Edomiaid oedd yn ei amgylchu
ef, a thywysogion y cerbydau : a'r
bobl a ffôdd i'w pebyll.
22 Er hyny Edom a wrthryfelodd
odditan law Juda hyd y dydd hwn :
yna y gwrthryfelodd Libna y pryd
hyny.
23 A'r rhan arall o hanes Joram,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cron-
icl brenhinoedd Juda ?
24 A Joram a hunodd gyda'i dad-

---

wedodd Hazael yn groes i'r proffwyd yn y peth cyntaf, a chelodd yr ail beth yn gwbl, er cael cyfleusdra i gyflawni ei fwriad llofruddiog dranoeth.

Adn. 15. *Ac a'i lledodd ar ei wyneb ef*] Fel pe buasai am oeri ei wres dirfawr ef ; neu gwnaeth hyny pan yr oedd y brenin yn cysgu ; *fel y bu efe farw*—trwy iddo felly attal ei anadl ef, a rhwystro iddo waeddi : ac nid oedd dim ôl trais i'w ganfod arno, mwy na phe buasai wedi marw yn naturiol. *A Hazael a deyrnasodd yn ei le ef*—trwy ei fod mewn bri mawr gan y bobl a'r milwyr, heb neb yn drwgdybio iddo ladd ei feistr, i'r hwn nid oedd mab i'w ddylyn i'r orsedd.

Adn. 16. *Ac yn y bummed flwyddyn i Joram mab Ahab*] Gwel ar pen. i. 17, a iii. 1 ; *y dechreuodd Jehoram mab Jehosaphat brenin Juda deyrnasu*—tybia rhai fod tri dechreuad i deyrnasiad Jehoram mab Jehosaphat : y cyntaf, pan aeth ei dad gydag Ahab i ryfel â'r Syriaid yn Ramoth-Gilead, yr hwn a gymerodd y llywodraeth drachefn ar ol iddo ddychwelyd ; yr ail, pan aeth ei dad gyda Joram mab Ahab i ryfel â'r Moabiaid, at yr hwn ond odid y cyfeirir yma ; a'r trydydd, pan fu farw ei dad, yn mhen oddeutu dwy flynedd ar ol hyn.

Adn. 17. *Mab deuddeng mlwydd ar hugain oedd efe pan ddechreuodd deyrnasu*] Yr ail waith a nodwyd uchod ; *ac wyth mlynedd y teyrnasodd efe yn Jerusalem*—dwy flynedd ar unwaith a'i dad, fel ei raglaw ef ; a chwe blynedd ei hun, ar ol i'w dad farw.

Adn. 18. *Ac efe a rodiodd yn ffordd brenhinoedd Israel*] Mewn eilunaddoliaeth fel hwy, er mai brenin *Juda* ydoedd ; *canys merch Ahab oedd yn wraig iddo*—gan yr hon yr hudwyd ef oddiwrth grefydd ei dad a'i daid duwiol. Y briodas annghydmharus hon, er fe allai yn cael ei bwriadu fel moddion i uno y ddwy deyrnas dan un pen, a nodir fel yr achos o ddrygioni ysgeler ei hiliogaeth ef, ac o'r holl drallodion chwerwon a syrthiasant arnynt hwy.

Adn. 19. *Ond ni fynai yr Arglwydd ddyfetha Juda*] Er fod brenin a llwyth Juda yn haeddu hyny yn awr ; *er mwyn Dafydd ei was*—gwel ar 1 Bren. xi. 13, 36 ; *y rhoddai iddo oleuni*—neu un o'i *hiliogaeth* ef i eistedd ar yr orsedd hyd oni ddeuai y MESSIA.

Adn. 20. *Yn ei ddyddiau ef y gwrthryfelodd Edom*] Ar ol bod dan deyrnged i Juda am 150 o flynyddau, byth er pan ddarostyngasai Dafydd hwynt, 2 Sam. viii. 14 ; *ac y gosodasant frenin arnynt eu hunain*—yn lle rhaglawiaid dan frenhinoedd Juda. Fel hyn y cyflawnwyd proffwydoliaeth Isaac, yr hon a draethodd efe oddeutu 900 o flynyddau cyn hyn : gwel ar Gen. xxvii. 40.

Adn. 21. *A Joram*] Sef mab Jehosaphat, yr hwn a elwir *Jehoram*, adn. 16, ac nid Joram mab Ahab ; *a aeth drosodd i Sair*—dinas yn Edom, neu ar ei chyffiniau hi ; *ac a darawodd yr Edomiaid oedd yn ei amgylchu ef*—â lladdfa fawr ; *a'r bobl a ffôdd i'w pebyll*—sef cynifer o'r Edomiaid a'r a allent ddianc. Ond tybia Clarke mai am bobl Juda y dywedir hyn.

Adn. 22. *Er hyny Edom a wrthryfelodd odditan law Juda*] Er iddynt gael eu gorchfygu y tro hwn, eto hwy a ymysgydwasant yn hollol odditan iau Juda, a pharhausant dan y brenin a osodasant arnynt eu hunain. *Yna y gwrthryfelodd Libna*—dinas offeiriadol yn llwyth Juda. Gwrthryfelodd gwŷr Libna yn ei erbyn ar yr un pryd, o herwydd iddo ef ymwrthod âg Arglwydd Dduw ei dadau : gwel ar 2 Cron. xxi. 10, 11.

Adn. 23. *Yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 24. *A Joram a hunodd gyda'i dadau*] Gwel ar 1 Bren. xi. 43 ; *ac Ahaziah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn a alwyd ar enw ei ewythr brawd ei fam, 1 Bren. xxii. 40.

au, ac a gladdwyd gyda'i dadau yn
ninas Dafydd; ac Ahaziah ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
25 ¶ Yn y ddeuddegfed flwyddyn
i Joram mab Ahab frenin Israel yr
aeth Ahaziah mab Jehoram brenin
Juda yn frenin.
26 Mab dwy flwydd ar hugain
*oedd* Ahaziah pan aeth efe yn fren-
in; ac un flwyddyn y teyrnasodd
efe yn Jerusalem: ac enw ei fam
ef *oedd* Athaliah, merch Omri bren-
in Israel.
27 Ac efe a rodiodd yn ffordd tŷ
Ahab, ac a wnaeth yr hyn oedd
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, fel
tŷ Ahab: canys daw tŷ Ahab *yd-
oedd* efe.
28 ¶ Ac efe a aeth gyda Joram
mab Ahab i ryfel yn erbyn Hazael
brenin Syria i Ramoth-Gilead; a'r
Syriaid a darawsant Joram.
29 A Joram y brenin a ddychwel-
odd i Jezreel i ymiachâu o'r briw-
iau a roisai y Syriaid iddo ef yn
Ramah wrth ymladd o hono ef yn
erbyn Hazael brenin Syria: ac
Ahaziah mab Jehoram brenin Juda
a aeth i waered i ymweled â Joram
mab Ahab yn Jezreel; canys claf
ydoedd.

## PENNOD IX.

AC Eliseus y proffwyd a alwodd
un o feibion y proffwydi, ac a
ddywedodd wrtho, Gwregysa dy
lwynau, a chymer y phiolaid olew
hon yn dy law, a dos i Ramoth-
Gilead.
2 A phan ddelych yno, edrych
yno am Jehu mab Jehosaphat, mab
Nimsi; a dos i mewn, a phâr iddo
godi o fysg ei frodyr, a dwg ef i
ystafell ddirgel:
3 Yna cymer y phiolaid olew, a
thywallt ar ei ben ef, a dywed, Fel
hyn y dywedodd yr Arglwydd; Mi
a'th eneiniais di yn frenin ar Israel:
yna agor y drws, a ffo, ac nac aros.
4 Felly y llanc, *sef* llanc y proff-
wyd, a aeth i Ramoth-Gilead.
5 A phan ddaeth efe, wele ty-
wysogion y llu *oedd* yn eistedd: ac

---

Adn. 25. *Yn y ddeuddegfed flwyddyn i Joram, &c.*] Yn adn. 16, 17, dywedir mai yn y bummed flwyddyn i Joram yr aeth tad yr Ahaziah hwn yn frenin, ac iddo deyrnasu wyth mlynedd; felly rhaid fod rhanau o flynyddoedd yn cael eu cyfrif yn flynyddoedd cyfain, pe amgen buasai hyn yn y drydedd flwyddyn ar ddeg i Joram.

Adn. 26. *Mab dwy flwydd ar hugain oedd Ahaziah pan aeth efe yn frenin*] Gan mai 40 mlwydd oedd ei dad pan fu farw, rhaid fod Ahaziah wedi ei eni pryd yr oedd ei dad yn 18 mlwydd oed: gwel ar 2 Cron. xxii. 2. *Ac un flwyddyn y teyrnasodd efe*—cyn ei ladd gan wŷr Jehu, pen. ix. 27. *Ac enw ei fam ef oedd Athaliah merch Omri*—sef *ŵyres* Omri; canys dywedir yn adn. 18, mai merch *Ahab* mab Omri oedd hi. Peth cyffredin yw i ŵyres gŵr gael ei galw yn ferch iddo.

Adn. 27. *Ac efe a rodiodd yn ffordd tŷ Ahab*] Gan addoli y lloi aur a Baal hefyd; *canys daw tŷ Ahab ydoedd efe*—neu ddisgynydd o'r tŷ eilunaddolgar hwnw, trwy fod ei fam yn ferch i Ahab.

Adn. 28. *Ac efe a aeth gyda Joram*] Sef gyda'i ewythr brawd ei fam; *i ryfel yn erbyn Hazael*—yr hwn a aethai yn frenin ar Syria ar ol lladd ei feistr, adn. 15; *a'r Syriaid a darawsant Joram*—fel y tarawsent Ahab ei dad yn yr un lle, 1 Bren. xxii. 34.

Adn. 29. *A Joram y brenin a ddychwelodd i Jezreel*] Dinas frenhinol yn llwyth Issacar, o du y gorllewin i'r Iorddonen; *i ymiachâu o'r briwiau a roisai y Syriaid iddo ef yn Ramah*—yr un a Ramoth-Gilead, adn. 28. *Ac Ahaziah mab Jehoram brenin Juda*—a aeth i waered i Jezreel rywbryd wedi hyny, i ymweled â'i ewythr archolledig; *canys claf ydoedd*—yr oedd ei glwyfau ond odid wedi ei daflu ef i fath ar dwymyn.

PEN. IX. Adn. 1. *Un o feibion y proffwydi*] Dywed yr Iuddewon mai y proffwyd *Jona* oedd hwn. *Gwregysa dy lwynau*—fel y gallai deithio yn gyflymach, am fod y brys mwyaf yn ofynol; *a dos i Ramoth-Gilead*—lle yr oedd Jehu ond odid yn brif dywysog ar y fyddin a adewsid yno, tra yr oedd brenhinoedd Israel a Juda yn Jezreel.

Adn. 2. *Edrych yno am Jehu*] Yr hwn y gorchymynasai Duw i Elias ei eneinio; ond oedwyd hyny hyd yn awr, o herwydd ymostyngiad Ahab: gwel ar 1 Bren. xix. 16, a xxi. 29. *A phâr iddo godi o fysg ei frodyr*—sef ei frodyr milwraidd, neu dywysogion ereill y llu, adn. 5; *a dwg ef i ystafell ddirgel*—fel na rwystrai neb iddo ei eneinio ef.

Adn. 3. *A dywed, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd*] Nid hyn oedd yr holl genadwri ag yr oedd efe i'w thraethu: gwel y rhan arall yn adn. 7—10. *Mi a'th eneiniais di yn frenin ar Israel*—ac felly yr oedd Jehu i edrych ar yr eneiniad hwn fel pe buasai yn cael ei wneuthur gan JEHOFA ei hun. *Yna agor y drws, a ffo*—rhag iddynt edrych arnat fel yn euog o deyrnfradwriaeth, a'th ladd.

Adn. 4. *Felly y llanc*] Sef Jona neu un o ysgolorion y proffwydi, adn. 1.

Adn. 5. *Wele tywysogion y llu oedd yn eistedd*] Naill ai yn ciniawa gyda'u gilydd, neu yn cydymgynghori ar eu hachosion milwraidd. *Y mae i mi air â thi, O dywysog*—yr

efe a ddywedodd, Y mae i mi air â thi, O dywysog! A dywedodd Jehu, A pha un o honom ni oll? Dywedodd yntau, A thydi, O dywysog!

6 Ac efe a gyfododd, ac a aeth i mewn i'r tŷ: ac yntau a dywalltodd yr olew ar ei ben ef, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel; Myfi a'th eneiniais di yn frenin ar bobl yr Arglwydd, *sef* ar Israel.

7 A thi a darewi dŷ Ahab dy arglwydd; fel y dialwyf fi waed fy ngweision y proffwydi, a gwaed holl weision yr Arglwydd, ar law Jezebel.

8 Canys holl dŷ Ahab a ddyfethir: a mi a doraf ymaith oddiwrth Ahab yr hwn a biso ar bared, y gwarchäedig hefyd, a'r hwn a adawyd yn Israel.

9 A mi a wnaf dŷ Ahab fel tŷ Jeroboam mab Nebat, ac fel tŷ Baasa mab Ahiah.

10 A'r cŵn a fwytânt Jezebel yn rhandir Jezreel, ac ni *bydd* a'*i* claddo *hi*. Ac efe a agorodd y drws, ac a ffôdd.

11 ¶ A Jehu a aeth allan at weision ei arglwydd, a dywedwyd wrtho ef, A *yw* pob peth yn dda? paham y daeth yr ynfyd hwn atat ti? Dywedodd yntau wrthynt, Chwi a adwaenoch y gŵr, a'i ymadroddion.

12 Dywedasant hwythau, Celwydd! mynega yn awr i ni. Dywedodd yntau, Fel hyn ac fel hyn y llefarodd wrthyf, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mi a'th eneiniais di yn frenin ar Israel.

13 A hwy a frysiasant, ac a gymerasant bob un ei wisg, ac a'*i* gosodasant dano ef ar ben uwchaf

---

wyf wedi cael fy anfon atat ar neges cyfrinachol pwysig. *A pha un o honom ni oll?*—ymddengys nad oedd Jehu erioed wedi dychymygu y cai ef fod yn frenin; er i rai feddwl fod Eliseus wedi ei eneinio ef o'r blaen yn ddirgelaidd, gydag awgrymiad nad oedd efe i weithredu hyd nes y cai gyfarwyddyd pellach, fel yr eneiniasai Samuel Dafydd yn hir cyn iddo yntau fyned i'r orsedd.

Adn. 6. *Ac efe a gyfododd*] O fysg ei frodyr milwraidd; *ac a aeth i mewn i'r tŷ*—i ryw ystafell arall yn y tŷ: *ac yntau a dywalltodd yr olew ar ei ben ef*—trwy yr hyn y rhoddwyd iddo hawl dwyfol i'r frenhiniaeth; *ar bobl yr Arglwydd*—canys yr oedd Israel o hyd yn bobl Dduw trwy hawl a phroffes, er eu bod yn addoli duwiau ereill gydag ef.

Adn. 7. *A thi a darewi dŷ Ahab dy arglwydd*] Canys yr oedd Jehu wedi bod yn ddeiliad ac yn dywysog i Ahab, megys yr oedd yn awr i'w fab ef, adn. 25; *fel y dialwyf fi waed fy ngweision—ar law Jezebel*—yr oedd Jezebel, gwraig Ahab, wedi peri lladd proffwydi yr Arglwydd, a llabyddio Naboth un o weision yr Arglwydd, yn nghydag amrai ereill yn debygol; ac am hyny yr oedd Duw yn awr yn myned i ddial gwaed y rhai hyny arni hi a'i mab Joram, ac ar holl dŷ Ahab, trwy law Jehu.

Adn. 8. *A mi a doraf ymaith oddiwrth Ahab*] Bob gwryw; *y gwarchäedig*—gwel ar 1 Bren. xiv. 10.

Adn. 9. *A mi a wnaf dŷ Ahab fel tŷ Jeroboam*] Sef dyfetha ei holl deulu ef; *ac fel tŷ Baasa*—gwel ar 1 Bren. xv. 29, a xvi. 11. Er mai Jehu oedd yr offeryn, eto yr Arglwydd oedd y gweithredydd: '*Mi* a wnaf,' &c.

Adn. 10. *A'r cŵn a fwytânt Jezebel*] Gwel ar adn. 33—37; *ac ni bydd a'i claddo hi*—hyny yw, a ofalai am ei chladdu, nes i'r brenin orchymyn hyny. *Ac efe a agorodd y drws*—ar ol gorphen traethu y genadwri uchod; *ac a ffôdd*—yn ol gorchymyn ei feistr, adn. 3.

Adn. 11. *A yw pob peth yn dda?*] Ofnent fod y llanc wedi dwyn rhyw newydd drwg iddo, neu rywbeth o bwys mawr, gan iddo ddyfod a dychwelyd gyda'r fath frys a dirgeledd. *Paham y daeth yr ynfyd hwn atat ti?*—gwyddent mai proffwyd ydoedd oddiwrth ei wisg, ei ymddygiad, a'i leferydd; a chyfrifai y milwyr halogedig hyn broffwydi yr Arglwydd yn *ynfydion*, am eu bod yn dirmygu cyfoeth ac anrhydedd bydol, y rhai y mae doethion y byd hwn yn eu chwennychu gymaint; ac hefyd am eu bod yn ymroddi i fywyd o dduwioldeb. *Chwi a adwaenoch y gŵr*—mai un ynfyd ydyw; *a'i ymadroddion*—mai rhyw ffolineb dibwys a draethodd, yr hwn nad yw yn werth ei ail adrodd. Efe a ddywedai fel hyn i gael llonydd ganddynt.

Adn. 12. *Dywedasant hwythau, Celwydd!*] Fel pe dywedasant, Rhaid fod rhywbeth o bwys wedi cael ei fynegu i ti, pan y daeth proffwyd atat mor bell oddicartref. *Dywedodd yntau*—efe a adroddodd y cwbl a ddywedwyd wrtho am dŷ Ahab, a mynegodd hefyd ei fod wedi cael ei eneinio yn frenin yn lle Joram.

Adn. 13. *A hwy a frysiasant*] O wir foddlonrwydd iddo ef fod yn frenin, gan ddysgwyl rhyw ddyrchafiad mwy iddynt eu hunain; *ac a gymerasant bob un ei wisg, ac a'i gosodasant dano ef*—yr hon oedd ddefod ddwyreiniol trwy ba un yr addefent ef yn *frenin*, gan arwyddo eu bod yn eu gosod eu hunain a'r deyrnas dan ei awdurdod ef; a thrwy yr un ddefod y cydnabyddai y dyrfa Iesu Grist yn *frenin Israel*, Mat. xxi. 8. *Ar ben uwchaf y grisiau*—mewn rhyw le uchel, lle y gellid ei weled a'i gydnabod gan yr holl filwyr. Dywed y rabbiniaid ac ereill mai ar ben *deial* y

y grisiau, ac a ganasant mewn udgorn, ac a ddywedasant, Jehu sydd frenin.
14 A Jehu mab Jehosaphat mab
Nimsi a gydfwriadodd yn erbyn
Joram: (a Joram oedd yn cadw Ramoth-Gilead, efe a holl Israel, rhag
Hazael brenin Syria:
15 Ond Joram y brenin a ddychwelasai i ymiachâu i Jezreel, o'r
archollion *á*'r rhai yr archollasai y
Syriaid ef wrth ymladd o hono yn
erbyn Hazael brenin Syria.) A dywedodd Jehu, Os mynwch chwi nac
eled *un* diangol o'r ddinas i fyned i
fynegu i Jezreel.
16 Felly Jehu a farchogodd mewn
cerbyd, ac a aeth i Jezreel (canys
Joram oedd yn gorwedd yno.) Ac
Ahaziah brenin Juda a ddaethai i
waered i ymweled â Joram.
17 A gwyliwr oedd ar y tŵr yn
Jezreel, ac a ganfu fintai Jehu pan
oedd efe yn dyfod, ac a ddywedodd,
Yr ydwyf yn gweled mintai. A Joram a ddywedodd, Cymer ŵr march,
ac anfon i'w cyfarfod hwynt, a dyweded, *Ai* heddwch?
18 A gŵr march a aeth i'w gyfarfod ef, ac a ddywedodd, Fel hyn
y dywed y brenin, *A oes* heddwch?
A dywedodd Jehu, Beth *sydd* i ti *a
ofynych* am heddwch? tro yn fy ol
i. A'r gwyliwr a fynegodd, gan
ddywedyd, Y genad a ddaeth hyd
atynt hwy, ond nid yw efe yn dychwelyd.
19 Yna efe a anfonodd yr ail gŵr
march, ac efe a ddaeth hyd atynt
hwy, ac a ddywedodd, Fel hyn y
dywedodd y brenin, *A oes* heddwch?
A dywedodd Jehu, Beth *sydd* i ti *a
ofynych* am heddwch? tro yn fy
ol i.
20 A'r gwyliwr a fynegodd, gan
ddywedyd, Efe a ddaeth hyd atynt
hwy, ond nid yw efe yn dychwelyd: a'r gyriad *sydd* fel gyriad Jehu
mab Nimsi; canys y mae efe yn
gyru yn ynfyd,
21 A Joram a ddywedodd,
Rhwym *y cerbyd*. Yntau a rwym-

---

gwnaed hyn, yr hon oedd yn sefyll mewn lle cyhoeddus, â grisiau yn arwain i'w phen. *Ac a ganasant mewn udgorn*—i alw y milwyr a'r dinaswyr yn nghyd, fel y cyhoeddid iddynt mai *Jehu oedd frenin*. Diamau fod yr Arglwydd yn gweithredu ar eu meddyliau i'w tueddu i dderbyn Jehu, er cyflawni ei amcanion ei hun; pe amgen gallasai fod yn beryglus iddo ef fyw yn eu mysg, ar ol cyhoeddi ei fod wedi ei eneinio yn frenin.

Adn. 14. *A Jehu—a gydfwriadodd yn erbyn Joram*] A luniodd gyda'r tywysogion ereill pa fodd y dyfethent ef. *A Joram oedd yn cadw Ramoth-Gilead*—oedd yn cadw byddin gref yno i wylio symudiadau Hazael brenin Syria, tra yr oedd Joram ei hun wedi myned dros yr Iorddonen i Jezreel, i ymiachâu o'i archollion: felly yr oedd y fyddin hon yn awr yn barod at wasanaeth Jehu.

Adn. 15. *Os mynwch chwi*] Yn ddiragrith, i mi fod yn frenin; *nac eled un diangol o'r ddinas i fyned i fynegu i Jezreel*—fel y gallai Jehu ddisgyn ar Joram yn ddiarwybod iddo, cyn iddo allu ffoi, na darparu i'w amddiffyn ei hun.

Adn. 16. *Felly Jehu a farchogodd mewn cerbyd*] Mewn rhwysg a mawredd brenhinol, a'r holl fyddin yn ei ddylyn; *ac a aeth i Jezreel*—yr hon oedd oddeutu 42 o filldiroedd o Ramoth-Gilead; *a Joram oedd yn gorwedd yno*—yn glaf o'i archollion, ac yr oedd Ahaziah brenin Juda yn dygwydd bod yno gydag ef ar y pryd.

Adn. 17. *A gwyliwr oedd yn sefyll ar y tŵr*] Yr hyn oedd yn arferiad gwastadol, lle bynag y byddai y brenin, rhag i'w elynion syrthio arno yn ddiarwybod. *Yr ydwyf yn gweled mintai*—o wŷr arfog yn dyfod tua Jezreel. *Ai heddwch?*—efe a ofnai fod y Syriaid wedi gorchfygu ei filwyr ef yn Ramoth-Gilead, ac yn dyfod yn awr i'w ladd yntau; neu tybiai fod ei bobl ei hun, yn ol siampl Libna, yn myned i wrthryfela yn erbyn eu brenin, yr hyn yr oedd ei gydwybod euog yn peri iddo ei ofni.

Adn. 18. *A dywedodd Jehu, Beth sydd i ti a ofynych am heddwch?*] Nid i ti, ond i'r hwn a'th anfonodd, y rhoddaf fi atebiad. *Tro yn fy ol i*—ymuna â fy milwyr i, os ewyllysi fod yn ddiogel. *A'r gwyliwr a fynegodd*—i'r brenin iddo ef weled y gŵr march yn myned hyd at y fintai, ond nad oedd yn ei weled ef yn dychwelyd.

Adn. 19. *Yna efe a anfonodd yr ail gŵr march*] Neu genad arall fel y cyntaf, yr hwn a gafodd yr un driniaeth.

Adn. 20. *A'r gyriad*] Heb. 'y cerddediad milwraidd,' *sydd fel gyriad Jehu mab Nimsi*—sef mab Jehosaphat, ac *ŵyr* Nimsi, adn. 14; *canys y mae efe yn gyru yn ynfyd*—Saes. 'yn wyllt,' neu ar ffrwst mawr, fel pe buasai am gyflawni ei amcan ar Joram cyn iddo gael amser i ffoi, nac i'w amddiffyn ei hun. Ond dywed y *Targum* a *Josephus* mai 'yn *araf*,' neu 'mewn *trefn reolaidd*,' yw yr ystyr, fel pe buasai efe yn dysgwyl i Joram ddyfod allan o'r ddinas i'w gyfarfod ef; ac y mae hyny yn debycach, pan yr ystyriom fod y naill genad ar ol y llall yn myned allan i'w gyfarfod ef, ac wedi hyny y ddau frenin.

Adn. 21. *A Joram a ddywedodd, Rhwym y cerbyd*] Sef gosod y meirch wrth ei gerbyd

odd ei gerbyd ef. A Joram brenin
Israel a aeth allan, ac Ahaziah
brenin Juda, pob un yn ei gerbyd,
a hwy a aethant yn erbyn Jehu, a
chyfarfuant âg ef yn rhandir Naboth
y Jezreeliad.
22 A phan welodd Joram Jehu,
efe a ddywedodd, *A oes* heddwch,
Jehu? Dywedodd yntau, Pa hedd-
wch tra *fyddo* puteindra Jezebel dy
fam di, a'i hudoliaeth, *mor* aml?
23 A Joram a drôdd ei law, ac a
ffôdd, ac a ddywedodd wrth Ahaz-
iah, *Y mae* bradwriaeth, O Ahaziah!
24 A Jehu a gymerth fwa yn ei
law, ac a darawodd Joram rhwng
ei ysgwyddau, fel yr aeth y saeth
trwy ei galon ef, ac efe a syrthiodd
yn ei gerbyd.
25 A *Jehu* a ddywododd wrth
Bidcar ei dywysog, Cymer, bwrw
ef i randir maes Naboth y Jezreel-
iad: canys cofia pan oeddym ni, mi
a thi, yn marchogaeth yn nghyd
ein dau ar ol Ahab ei dad ef, roddi
o'r Arglwydd arno ef y baich hwn.
26 Diau, meddai yr Arglwydd,
gwaed Naboth, a gwaed ei feibion,
a welais i neithiwr, a mi a dalaf i ti
yn y rhandir hon, medd yr Ar-
glwydd. Gan hyny cymer *a* bwrw
ef yn awr yn y rhandir hon, yn ol
gair yr Arglwydd.
27 Ond pan welodd Ahaziah bren-
in Juda *hyny*, efe a ffôdd ar hyd
ffordd tŷ yr ardd. A Jehu a ymlid-
iodd ar ei ol ef, ac a ddywedodd,
Tarewch hwn hefyd yn ei gerbyd.
*A hwy a'i tarawsant ef* yn rhiw
Gur, yr hon *sydd* wrth Ibleam; ac
efe a ffôdd i Megido, ac a fu farw
yno.

---

ef, a meirch ereill wrth gerbyd Ahaziah brenin Juda. *A hwy a aethant yn erbyn Jehu*—neu 'i'w gyfarfod ef,' nid yn elyniaethus, ond i gael gwybod yr achos o'i ddyfodiad ef i Jezreel; *yn rhandir Naboth*—yr hwn a fuasai yn eiddo i Naboth, a lle y llabyddiwyd ef â meini.

Adn. 22. *A oes heddwch, Jehu?*] A oedd pob peth yn dda yn Ramoth-Gilead? neu a oedd efe ei hun yn dyfod gyda meddwl heddychol, ynte mewn ffordd o wrthryfel? *Pa heddwch*—a elli di ei ddysgwyl gartref neu oddicartref; *tra fyddo puteindra Jezebel dy fam di*—gelwir eilunaddoliaeth Israel, pobl gyfammodol Duw, yn fynych yn *odineb;* ac eilunaddoliaeth Jezebel, un o'r Cenhedloedd, yn *buteindra;* a bernir ei bod hi hefyd yn euog o buteindra *corfforol*, yn ol defodau aflan yr eilunaddolwyr, neu o leiaf yn pleidio hyny mewn ereill. *A'i hudoliaeth mor aml*—i ddenu Israel i eilunaddoliaeth ffiaidd y Cenhedloedd. Yr oedd Joram yn goddef hyn oll yn ei fam, ac felly pa heddwch a allai ef ei ddysgwyl mwyach?

Adn. 23. *A Joram a drôdd ei law*] A ymaflodd yn awenau y meirch i droi ei gerbyd yn ol. *Y mae bradwriaeth, O Ahaziah!*—y mae Jehu yn elyn i ni, ac y mae yn bryd i ni ddianc am ein heinioes.

Adn. 24. *A Jehu a gymerth fwa yn ei law*] Saes. 'a dynodd fwa â'i holl nerth;' *ac a darawodd Joram rhwng ei ysgwyddau*—nes yr aeth y saeth trwy ei gefn i'w galon, fel ag y syrthiodd yn farw yn ei gerbyd.

Adn. 25. *A Jehu a ddywedodd wrth Bidcar ei dywysog*] Yr hwn oedd yn dal yr un swydd yn awr dano ef, ag a ddaliai yntau gynt dan Joram. *Bwrw ef i randir maes Naboth*—fel y cyflawner ynddo ef y felldith a gyhoeddwyd yn erbyn ei dad a'i hiliogaeth, 1 Bren. xxi. 19, &c. *Roddi o'r Arglwydd arno ef y baich hwn*—iddo ei fygwth ef â'r gosp hon. Pan aeth Ahab i winllan Naboth i'w meddiannu, yr oedd Jehu a Bidcar yno gydag ef, yn clywed bygythiad yr Arglwydd trwy enau Elias; a gallai Bidcar gofio hyny yn awr, yn gystal ag yr oedd Jehu yn ei gofio.

Adn. 26. *Gwaed Naboth, a gwaed ei feibion, a welais i neithiwr*] Felly ymddengys mai dranoeth wedi llofruddiaeth Naboth yr aethai Ahab i feddiannu ei winllan ef. Adroddir yma fwy nag a geir yn 1 Bren. xxi. 19; ond diamau i Elias ddywedyd yr holl eiriau hyn yn nghlyw Jehu a Bidcar, oddiwrth ba rai y dysgwn i *feibion* Naboth gael eu llabyddio ar unwaith a'u tad, fel na byddai i neb o honynt ddial gwaed eu tad, na hòni hawl i'r etifeddiaeth. *A mi a dalaf i ti yn y rhandir hon*—felly y lle a drawsfeddiannodd Ahab yn ei falchder a'i ryfyg, ar draul tywallt gwaed gwirion, a ddaeth yn awr yn orweddfa i gorff annghladdedig ei fab, yr hwn a adawyd yn ddrych i'r byd, ac yn ysglyfaeth i gŵn ac adar, megys y rhagfynegwyd, 1 Bren. xxi. 19. Fel hyn 'adwaenir yr Arglwydd wrth y farn a wna.' Yr oedd y mab yn cyfiawn haeddu y gosp ddyledus i'w dad, am ei fod yn cymeradwyo gweithred ei dad trwy barhau i feddiannu gwinllan Naboth, heb wneuthur ad-daliad am y camwri.

Adn. 27. *Ond pan welodd Ahaziah*] I Joram gael ei ladd gan Jehu; *efe a ffôdd ar hyd ffordd tŷ yr ardd*—i lechu yn Samaria, 2 Cron. xxii. 9; o ba le y ffôdd efe drachefn i Gur, yn llwyth Manasse. *A Jehu a ymlidiodd ar ei ol ef*—nid yn ebrwydd, eithr yn mhen diwrnod neu ddau ar ol iddo fyned i Jezreel, a lladd Jezebel. *A hwy a'i tarawsant ef yn rhiw Gur*—tra yr ydoedd yn ffoi yn ei gerbyd oddiyno drachefn tua Megido; *ac a fu farw yno*—yn Megido, o'r archoll a gawsai efe yn *rhiw Gur*, oddeutu chwe milldir oddiyno. Yr oedd Ahaziah yn ŵyr i Ahab a Jezebel o'u merch Athaliah, ac hefyd yn eilunaddolwr; ac am hyny yr oedd yntau i

28 A'i weision a'i dygasant ef
mewn cerbyd i Jerusalem, ac a'i
claddasant ef yn ei feddrod gyda'i
dadau, yn ninas Dafydd.
29 Ac yn yr unfed flwyddyn ar
ddeg i Joram mab Ahab yr aethai
Ahaziah yn frenin ar Juda.
30 ¶ A phan ddaeth Jehu i Jez-
reel, Jezebel a glybu *hyny,* ac a
golurodd ei hwyneb, ac a wisgodd
yn wych am ei phen, ac a edrych-
odd trwy ffenestr.
31 A phan oedd Jehu yn dyfod i
mewn i'r porth, hi a ddywedodd, *A
fu* heddwch i Zimri, yr hwn a ladd-
odd ei feistr?
32 Ac efe a ddyrchafodd ei wyneb
at y ffenestr, ac a ddywedodd, Pwy
*sydd* gyda mi, pwy? A dau *neu*
dri o'r ystafellyddion a edrychasant
arno ef.
33 Yntau a ddywedodd, Teflwch
hi i lawr. A hwy a'i taflasant hi i
lawr; a thaenellwyd *peth* o'i gwaed
hi ar y pared, ac ar y meirch; ac
efe a'i mathrodd hi.
34 A phan ddaeth efe i mewn,
efe a fwytaodd ac a yfodd, ac a

---

gael ei ddyfetha gan Jehu, fel pawb ereill o dŷ Ahab.

Adn. 28. *A'i weision a'i dygasant ef mewn cerbyd i Jerusalem*] Ar ol ei ddwyn yn gyntaf at Jehu i Jezreel, 2 Cron. xxii. 9; *ac a'i claddasant ef*—o barch i Jehosaphat dduwiol ei daid. Lladdwyd ef o achos Ahab, ei daid o du ei fam; a chladdwyd ef gyda'i dadau yn Jerusalem, o achos Jehosaphat, ei daid o du ei dad.

Adn. 29. *Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddeg i Joram, &c.*] Yn pen. viii. 25, dywedir i Ahaziah fyned yn frenin ar Juda yn y 12fed flwyddyn i Joram mab Ahab. Y mae yn debyg iddo ddechreu cyd-deyrnasu â'i dad afiach yn nechre yr 11eg, fel y dywedir yma; a theyrnasu ei hunan, wedi i'w dad farw, tua diwedd y 12fed i Joram, fel y dywedir yno; canys bu ei dad yn glaf oddeutu dwy flynedd, 2 Cron. xxi. 19.

Adn. 30. *A phan ddaeth Jehu i Jezreel*] Yn ebrwydd ar ol lladd Joram; *Jezebel a glybu hyny, ac a golurodd ei hwyneb*—bastarddair yw *colur* oddiwrth y Saesonig, *colour.* Yr Hebraeg yw, 'hi a *liwiodd* ei *llygaid;*' a'r alleirydd Caldeaidd a'i heglura, 'hi a liwiodd ei llygaid â *stibium* neu *antimony,*' math ar liw dû; sef yr aeliau neu yr amrantau ond odid. Yr oedd y benywod yn lliwio eu llygaid, eu talcenau, a'u gwynebau, yn fynych yn yr hen amseroedd, er chwanegu eu harddwch fel y tybient hwy; ac y mae hyny yn arferiad hyd heddyw mewn amrai barthau o'r dwyrain: gwel Jer. iv. 30, Ezec. xxiii. 40. *Ac a wisgodd yn wych am ei phen*—hi a ymdrechai i wella yr olwg arni ei hun trwy liwio ei chroen yn ddû, ac addurno ei phen âg ysnodenau amryliw, ac â pherlau. Yn lle myned i alarwisg ar ol ei mab, hi a ymdrwsiai yn y modd mwyaf coegaidd a balch, fel y byddai i'r olwg arni daraw Jehu a'i wŷr â pharchedig ofn rhag ei niweidio hi, neu fel y gallai farw, os byddai raid, mewn rhwysg fel brenhines waddolog. Ond tybia *Jarchi* mai ei hamcan oedd hudo Jehu i'w chymeryd hi yn *wraig* iddo, yn hytrach na'i lladd. *Ac a edrychodd trwy ffenestr*—fel y gallai Jehu ei chanfod hi, ac fel y gallai hithau ei gyfarch ef yn y geiriau a ganlyn.

Adn. 31. *A fu heddwch i Zimri, yr hwn a laddodd ei feistr?*] Naddo; ac ni bydd heddwch yn hir i tithau, am wneyd yr un peth: gwel ar 1 Bren. xvi. 9—20. Ond y mae *Jarchi* yn alleirio ei hymadrodd fel hyn: 'Os lleddaist ti dy feistr, nid yw hyny beth newydd; canys darfu i Zimri hefyd ladd Elah:' ac efe a ystyria y geiriau hyn yn cael eu bwriadu i'w *gymodi* ef, yn hytrach na'i *gythruddo.*

Adn. 32. *Ac efe a ddyrchafodd ei wyneb at y ffenestr*] I edrych pwy a lefarai y geiriau hyn; *ac a ddywedodd*—wedi iddo adnabod Jezebel; *Pwy sydd gyda mi, pwy*—yn y tŷ hwn, i ddial ar y wraig drahaus a balch hon? *A dau neu dri o'r ystafellyddion*—Saes. 'o'r *eunuchiaid,*' y rhai a weinyddent i bendefigesau fel ystafellyddion; *a edrychasant arno ef*—gan arwyddo trwy eu hedrychiad eu bod yn barod i wneyd unrhyw beth a geisiai Jehu ganddynt, mewn gobaith o gael eu harbed neu eu gwobrwyo am hyny.

Adn. 33. *Teflwch hi i lawr*] Trwy y ffenestr. *A hwy a'i taflasant hi i lawr*—yr oedd hi wedi gorchymyn i Naboth gael ei labyddio, ac yn awr llabyddiwyd hi ei hunan; canys yr oedd dwy ffordd o labyddio yn mhlith yr Iuddewon, naill ai trwy daflu cerig at y cyhuddedigion, neu trwy eu taflu hwy i lawr o uchelfa: gwel ar Lef. xxiv. 23. *A thaenellwyd peth o'i gwaed hi ar y pared*—tasgodd peth o'i gwaed, ar ei disgyniad, ar fur y tŷ ar y naill law, ac ar y meirch ar y llaw arall; *ac efe a'i mathrodd hi*—â'i draed ei hun, neu dan draed y meirch.

Adn. 34. *A phan ddaeth efe i mewn*] I'r tŷ brenhinol, lle yr oedd Jezebel ychydig fynydau o'r blaen; *efe a fwytaodd ac a yfodd*—i adfywio ei natur ar ol taith o 42 o filldiroedd, adn. 16; *ac a ddywedodd*—wrth ei filwyr ond odid; *Edrychwch am y wraig felldigedig hòno*—yr hon oedd wedi bod yn felldith i wlad Israel er pan ddaethai i fyw yno, trwy ei chreulondeb a'i heilunaddoliaeth; *a chleddwch hi, canys merch brenin ydyw hi*—ni ddywed efe, '*gwraig* brenin ydyw hi,' rhag iddo ymddangos fel yn parchu tŷ drygionus Ahab, yr hwn a ddiofrydasai Duw i warth a dystryw. Yr oedd Jezebel yn ddiau o deulu uchel iawn: yr oedd hi yn *ferch* i frenin y Sidoniaid; yn *wraig* i Ahab, brenin Israel; yn *fam* i Joram, brenin Israel; yn *fam-yn-nghyfraith* i Joram, brenin Juda; ac yn *nain* i Ahaziah, brenin Juda. Wrth i Jehu orch-

ddywedodd, Edrychwch am y *wraig*
felldigedig hòno, a chleddwch hi;
canys merch brenin *ydyw* hi.
35 A hwy a aethant i'w chladdu
hi; ond ni chawsant o honi onid y
benglog, a'r traed, a chledrau y
dwylaw.
36 Am hyny hwy a ddychwelas-
ant, ac a fynegasant iddo ef. Dy-
wedodd yntau, Dyna air yr Ar-
glwydd, yr hwn a lefarodd efe trwy
ei wasanaethwr Elias y Thesbiad,
gan ddywedyd, Yn rhandir Jezreel
y bwyty y cŵn gnawd Jezebel:
37 A chelain Jezebel a fydd fel
tomen ar wyneb y maes, yn rhandir
Jezreel; fel na ellir dywedyd, Dyma
Jezebel.

## PENNOD X.

AC i Ahab *yr oedd* deg mab a thri-
ugain yn Samaria. A Jehu a
ysgrifenodd lythyrau, ac a anfon-
odd i Samaria, at dywysogion Jez-
reel, *ac* at yr henuriaid, ac at dad-
maethod Ahab, gan ddywedyd,
2 Ac yn awr pan ddel y llythyr
hwn atoch chwi, canys gyda chwi
*y mae* meibion eich arglwydd, a
chenych chwi *y mae* cerbydau, a
meirch, a dinasoedd caerog, ac
arfau:
3 Yna edrychwch yr hwn sydd
oreu, ac yn gymhwysaf o feibion
eich arglwydd, a gosodwch *ef* ar
deyrn-gadair ei dad, ac ymleddwch
dros dŷ eich arglwydd.
4 A hwy a ofnasant yn ddirfawr,
ac a ddywedasant, Wele, dau fren-
in ni safasant o'i flaen ef: pa fodd
gan hyny y safwn ni?
5 Am hyny yr anfonodd yr hwn
*oedd* ar y tŷ, a'r hwn *oedd* ar y ddinas,
a'r henuriaid, a'r tadmaethod, at
Jehu, gan ddywedyd, Dy weision

---

ymyn *claddu* Jezebel, ymddengys ei fod yn annghofio rhagfynegiad y proffwyd, a'r gorchymyn a roddwyd yn adn. 10. Ond er iddo ef ei annghofio, ni wnaeth Duw: tra yr oedd ef yn bwyta ac yn yfed, bwytaodd y cŵn ei chnawd hi, fel nad oedd dim yn aros ond y benglog noeth, (canys yr oedd y wyneb lliwiedig wedi myned,) yn nghyda'r traed a'r dwylaw! Ni ddarfu i'r cŵn newynog dalu dim parch i'w huchel waedoliaeth: nid oedd merch brenin ddim mwy yn eu golwg hwy na merch cardotyn. Y mae yn debyg i rai o'r edrychwyr ei hyspeilio hi o'i dillad a'i thlysau, gan ei gadael yn noeth yn ei gwaed, ac yn agored i'r cŵn, lluoedd o ba rai a ddaethant o'r ddinas, trwy drefniad rhagluniaeth ddwyfol, gyda mwy o wanc na chyffredin, onidê nis gallasent fwyta ei holl gnawd hi mewn cyn lleied amser.

Adn. 35. *Ond ni chawsant o honi onid y benglog, a'r traed, a chledrau y dwylaw*] Ni fwytaodd y cŵn y rhanau hyn, meddai *Jarchi* a *Kimchi*, am ei bod hi yn arferol o ddawnsio fel ci, ar ei dwylaw a'i thraed, gan droi ei phen yma a thraw gydag edrychiad anllad.

Adn. 36. *Dyma air yr Arglwydd, &c.*] Dyma gyflawniad o air yr Arglwydd, yr hwn a lefarodd efe wrth Ahab, am Jezebel, trwy enau Elias, 1 Bren. xxi. 23, 24; yr hwn yr oedd efe o'r blaen naill ai wedi ei annghofio, neu heb ei ystyried.

Adn. 37. *A chelain Jezebel a fydd fel tomen ar wyneb y maes*] Ni cheir y geiriau hyn yn 1 Bren. xxi. 23, eithr chwanegir hwynt yma gan Jehu mewn ffordd o helaethiad eglurhaol. *Fel na ellir dywedyd, Dyma Jezebel!* —ni ellid ei hadnabod hi; neu ni fyddai bedd iddi lle y gorweddai, na chofgolofn o honi i gyfeirio ati.

PEN. X. Adn. 1. *Ac i Ahab yr oedd deg mab a thriugain*] Tybia rhai fod ei *wyrion* hefyd yn cael eu cynwys yma dan yr enw *meibion*, fel y dygwydda yn fynych yn yr ysgrythyrau; ond trwy fod ganddo amryw wragedd, gallai fod ganddo 70 o feibion. Yr oedd yr Israeliaid, er pan fuont yn yr Aifft, yn dra ffrwythlon. Yr oedd gan *Rehoboam* 38 o feibion; *Abdon*, 40; *Zola*, 30; a *Gideon*, 71. Dywed Plutarch fod gan *Artaxerxes*, brenin Persia, 115 o feibion o'i 360 gordderchwraig, a 3 o'i frenhines; a dywed Stewart fod gan *Muley Abdallah*, amherawdwr Morocco yn 1720, o'i bedair gwraig a'i filoedd gordderchadon, yn ystod ei hir deyrnasiad, 700 o feibion! *A Jehu a ysgrifenodd lythyrau—at dywysogion Jezreel*—neu fel y mae y LXX yn ei ddarllen, ac fel yr ymddengys oddiwrth yr adnodau dylynol, 'at dywysogion *Samaria*:' gwel adn. 6. *Ac at yr henuriaid*—sef yr ynadon a'r seneddwyr yn Samaria. *Ac at dadmaethod Ahab*—Saes. 'tadmaethod *plant* Ahab,' y rhai oeddynt yn eu meithrin ac yn eu dwyn i fyny.

Adn. 2. *Canys gyda chwi y mae meibion eich arglwydd*] Sef meibion Ahab; *a chenych chwi y mae cerbydau, &c.*—dichon eu bod ar y cyntaf yn meddwl gwneyd gwrthsafiad yn erbyn Jehu, a gosod i fyny un o feibion Ahab yn frenin yn lle Joram.

Adn. 3. *Ac ymleddwch dros dŷ eich arglwydd*] I gadw yr orsedd yn nheulu Ahab. Nid oedd Jehu yn chwennych iddynt wneyd hyn; eithr eu herio yn watwarllyd yr ydoedd, i wneyd hyny os beiddient; canys yr oedd y rhan fwyaf o'r tywysogion a'r milwyr gydag ef.

Adn. 4. *Wele, dau frenin ni safasant o'i flaen ef*] Sef Joram brenin Israel, ac Ahaziah

di *ydym* ni, a'r hyn oll a ddywedych di wrthym, a wnawn ni; ni wnawn ni neb yn frenin: gwna *yr hyn a fyddo* da yn dy olwg.

6 Yna efe a ysgrifenodd yr ail lythyr atynt hwy, gan ddywedyd, Os eiddof fi *fyddwch,* ac *os* ar fy llais i y gwrandewch, cymerwch benau y gwŷr, meibion eich arglwydd, a deuwch ataf fi y pryd hwn y fory i Jezreel. A meibion y brenin, *sef* deng nyn a thriugain, *oedd* gyda phenaethiaid y ddinas, y rhai oedd yn eu meithrin hwynt.

7 A phan ddaeth y llythyr atynt, hwy a gymerasant feibion y brenin, ac a laddasant ddeng nyn a thriugain, ac a osodasant eu penau hwynt mewn basgedau, ac a'*u* danfonasant ato ef i Jezreel.

8 A chenad a ddaeth ac a fynegodd iddo ef, gan ddywedyd, Hwy a ddygasant benau meibion y brenin. Dywedodd yntau, Gosodwch hwynt yn ddau bentwr wrth ddrws y porth hyd y bore.

9 A'r bore efe a aeth allan, ac a safodd, ac a ddywedodd wrth yr holl bobl, Cyfiawn *ydych* chwi: wele myfi a gydfwriedais yn erbyn fy arglwydd, ac a'i lleddais ef: ond pwy a laddodd yr holl rai hyn?

10 Gwybyddwch yn awr na syrth *dim* o air yr Arglwydd i'r ddaear, yr hwn a lefarodd yr Arglwydd am dŷ Ahab: canys gwnaeth yr Arglwydd yr hyn a lefarodd efe trwy law Elias ei was.

11 Felly Jehu a darawodd holl weddillion tŷ Ahab yn Jezreel, a'i holl benaethiaid ef, a'i gyfneseifiaid ef, a'i offeiriaid, fel na adawyd un yn ngweddill.

12 Ac efe a gyfododd, ac a aeth

---

brenin Juda, y rhai a laddwyd ganddo ychydig cyn hyn.

Adn. 5. *Am hyny yr anfonodd yr hwn oedd ar y tŷ*] Yn gofalu am yr oll yn mhalas brenhinol Samaria; *a'r hwn oedd ar y ddinas*—yn faer neu brif lywodraethwr yno; *a'r henuriaid a'r tadmaethod*—gwel ar adn. 1; *at Jehu, gan ddywedyd*—yr oeddynt oll yn barod i ymostwng i Jehu yn ddiammodau, a thyngu llw o ffyddlondeb iddo ef fel eu brenin, ac ufyddhau i'w holl orchymynion ef, o ba natur bynag y byddent.

Adn. 6. *Os eiddof fi fyddwch*] Fel fy neiliaid ffyddlon; *ac os ar fy llais i y gwrandewch*—yn mhob peth a ddywedwyf wrthych; *cymerwch benau y gwŷr*—danghoswch eich ffyddlondeb i mi trwy dori ymaith benau holl feibion Ahab! Trwy eu bod yn cael eu galw yn *wŷr*, y mae yn debyg fod y rhan fwyaf o honynt wedi tyfu i fyny, ac yn cerdded yn llwybrau annuwiol eu tad. *A deuwch ataf fi y pryd hwn y fory i Jezreel*—felly yr oedd y llythyrau yn cael eu hysgrifenu yn Jezreel, ac nid yn cael eu hanfon yno, adn. 1. Gan fod 20 milldir o Jezreel i Samaria, ac 20 ereill yn ol, nid oedd gadddynt ond ychydig o amser i ladd 70 o wŷr, pan yr oeddynt i ddangos eu penau yn Jezreel erbyn y pryd hyny dranoeth.

Adn. 7. *A phan ddaeth y llythyr atynt*] Yn cynwys y gorchymyn gwaedlyd hwnw oddiwrth Jehu; *hwy a gymerasant feibion y brenin*—y rhai oeddynt oll yn eu tai yn barod, a than eu meithriniaeth hwy; *ac a laddasant ddeg nyn a thriugain*—sef holl feibion Ahab; *ac a osodasant eu penau hwynt mewn basgedau*—i'w hanfon yn anrheg i Jehu ar ddechre ei deyrnasiad, ac yn ernes o'u hymostyngiad hwythau iddo ef.

Adn. 8. *Gosodwch hwynt yn ddau bentwr wrth ddrws y porth*—sef pentwr o bob tu i'r porth, lle yr oedd barn yn cael ei gweinyddu, i arwyddo fod hon yn weithred o gyfiawn farn Duw; a lle yr oedd mynych dramwyo, fel y gallai pawb weled nad oedd un o feibion Ahab wedi ei adael i gymeryd yr orsedd, ac mai ofer fyddai i neb geisio gwrthsefyll gallu ac awdurdod Jehu.

Adn. 9. *Ac a ddywedodd wrth yr holl bobl*] Y rhai oeddynt wedi ymdyru yno i edrych ar yr olygfa alaethus; *Cyfiawn ydych chwi*—trigolion Jezreel, heb fod genych ddim llaw yn y weithred hon o dori penau meibion Ahab. Ond tybia rhai mai gwawdiaith yw y geiriau hyn. *Wele myfi a gydfwriedais yn erbyn fy arglwydd*—sef yn erbyn Joram; *ac a'i lleddais ef*—am yr hyn y mae y rhan fwyaf o honoch yn fy meio: *ond pwy a laddodd yr holl rai hyn?*—fel pe dywedasai, Os ydych yn fy meio i am ladd un o feibion Ahab, gwelwch beth a wnaeth eich penaethiaid chwi i 70 o'i feibion ef, y rhai a ymddiriedwyd dan eu gofal hwynt!

Adn. 10. *Gwybyddwch yn awr, &c.*] Fel pe dywedasai, Y gwirionedd yw, nid wyf fi na hwythau i'n beio; canys nid gwaith dyn yw hyn, ond gwaith Duw, yn llaw yr hwn yr oeddym ni yn offerynau. *Canys gwnaeth yr Arglwydd yr hyn a lefarodd efe*—yn 1 Bren. xxi. 21, &c.

Adn. 11. *Felly Jehu a darawodd holl weddillion tŷ Ahab yn Jezreel*] Sef ei holl berthynasau ef yn y ddinas hòno; *a'i holl benaethiaid*—yn cynwys ond odid y rhai a dorasent benau ei feibion ef, y rhai a wysiwyd i Jezreel, adn. 6; *a'i gyfneseifiaid*—neu ei gymdeithion mynwesol, y rhai a fuont yn gydgyfranogion âg ef yn ei eilunaddoliaeth a'i ddrygioni; *a'i offeiriaid*—y rhai a'i gwasanaethasant ef yn addoliad Baal, ac a'i cadarnhasant yn yr unrhyw; *fel na adawyd un yn ngweddill*—yn Jezreel: yr oedd ereill yn Samaria, y rhai a laddodd efe ar ol hyn, adn. 17, 19.

Adn. 12. *Ac a ddaeth i Samaria*] I ddy-

ymaith hefyd, ac a ddaeth i Samar-
ia. *Ac* fel *yr oedd efe wrth* dŷ cneifio
y bugeiliaid ar y ffordd,
13 Jehu a gyfarfu â brodyr Ahaz-
iah brenin Juda, ac a ddywedodd,
Pwy *ydych* chwi? Dywedasant
hwythau, Brodyr Ahaziah *ydym* ni;
a ni a ddaethom i waered i gyfarch
gwell i feibion y brenin, ac i feibion
y frenhines.
14 Ac efe a ddywedodd, Deliwch
hwynt yn fyw. A hwy a'u dalias-
ant hwy yn fyw, ac a'u lladdasant
hwy wrth bydew y tŷ cneifio, *sef*
dau ŵr a deugain, ac ni adawodd
efe ŵr o honynt.
15 A phan aethai efe oddiyno,
efe a gyfarfu â Jehonadab mab
Rechab yn cyfarfod âg ef, ac a gyf-
archodd well iddo, ac a ddywedodd
wrtho, A yw dy galon di yn uniawn,
fel *y mae* fy nghalon i gyda'th
galon di? A dywedodd Jehonad-
ab, Ydyw. Od ydyw *(ebai efe)*,
moes dy law. Rhoddodd yntau ei
law, ac efe a barodd iddo ddyfod i
fyny ato i'r cerbyd.
16 Ac efe a ddywedodd, Tyred
gyda mi, a gwel fy sel i tuag at yr
Arglwydd. Felly hwy a wnaethant
iddo farchogaeth yn ei gerbyd ef.
17 A phan ddaeth efe i Samaria,
efe a darawodd yr holl rai a adawsid
i Ahab yn Samaria, nes iddo ei
ddinystrio ef, yn ol gair yr Ar-
glwydd, yr hwn a lefarasai efe wrth
Elias.
18 ¶ A Jehu a gynullodd yr holl
bobl yn nghyd, ac a ddywedodd
wrthynt, Ahab a wasanaethodd Ba-
al ychydig, *ond* Jehu a'i gwasan-
aetha ef lawer.
19 Ac yn awr gelwch ataf fi holl
broffwydi Baal, ei holl weision, a'i
holl offeiriaid ef, na fydded un yn
eisiau; canys aberth mawr *sydd*
genyf i Baal: pwy bynag a fyddo
yn eisiau, ni bydd efe byw. Ond

---

fetha pawb a berthynai i Ahab yno, fel y gwnaethai yn Jezreel. *Dŷ cneifio y bugeiliaid*—lle yr arferai y bugeiliaid gneifio eu defaid, yn agos i Samaria.

Adn. 13. *Jehu a gyfarfu â brodyr Ahaziah*] Neu *feibion* ei frodyr ef; canys yr oedd ei holl frodyr ef wedi eu lladd gan yr Arabiaid cyn iddo ef fyned yn frenin, 2 Cron. xxii. 1, 8. *Pwy ydych chwi?*—y mae yn debyg y gwyddai efe pwy oeddynt oddiwrth eu gwisgoedd a'u rhwysg brenhinol, er ei fod yn gofyn fel hyn. *Brodyr Ahaziah ydym ni*—sef meibion ei frodyr ef, ac ŵyrion Ahab, pen. viii. 18; *a ni a ddaethom i gyfarch gwell i feibion y brenin, ac i feibion y frenhines*—sef i deulu Ahab a Jezebel; canys nid oeddynt wedi clywed eto am yr hyn a wnaed i dŷ Ahab, na bod Jehu yn frenin.

Adn. 14. *Ac a'u lladdasant wrth bydew y tŷ cneifio*] Lle yr arferid golchi y defaid cyn eu cneifio; *sef dau ŵr a deugain*—y rhai oeddynt oll o deulu Ahab o du eu mam; ac am hyny, rhag iddynt mewn rhyw ffordd neu gilydd ddial arno ef am ddyfetha Joram, Ahaziah, Jezebel, a'u hiliogaeth, y rhai yr oeddynt yn myned i ymweled â hwy, efe a orchymynodd iddynt oll gael eu lladd, gan olygu trwy hyny gyflawni y bygythiad yn 1 Bren. xxi. 21, &c.

Adn. 15. *Efe a gyfarfu â Jehonadab*] Un o'r Ceniaid, 1 Cron. ii. 55, a gŵr o gallineb a duwioldeb mawr, fel yr ymddengys oddiwrth Jer. xxxv. 6, &c., a thad y Rechabiaid; *ac a gyfarchodd well iddo*—ymddengys fod Jehonadab mewn bri mawr gyda'r bobl ar gyfrif ei rinweddau a'i dduwioldeb, ac mai hyn mewn rhan a barodd i Jehu garu ei gyfeillach ef. *A yw dy galon di yn uniawn, fel y mae fy nghalon i gyda'th galon di?*—a wyt ti yn fy ngharu i mor ddidwyll a gwresog ag yr wyf fi yn dy garu di? ac a wyt ti yn cymeradwyo fy ngwaith i o ddiwygio Israel, a dinystrio addoliad Baal, fel yr wyf fi yn cymeradwyo dy sefydliadau di? *A dywedodd Jehonadab, Ydyw*—yr wyf yn caru gweled diwygiad yn nghrefydd y wlad, ac yr wyf yn gyfaill i'r neb a geisio ddwyn hyny oddiamgylch. *Od ydyw, ebai efe, moes dy law*—fel arwydd o gyfeillgarwch a ffyddlondeb; neu, fel y tybia rhai, i'w gynorthwyo i fyny i'r cerbyd.

Adn. 16. *Tyred gyda mi*] Wrth gymeryd Jehonadab gydag ef yn ei gerbyd, yr hwn oedd yn ŵr mor anrhydeddus yn Israel, bwriadai Jehu ennill gair da iddo ei hun; canys dywedai pawb, 'Rhaid fod Jehu yn gwneyd yn iawn, am fod Jehonadab gydag ef, ac yn cymeradwyo ei weithredoedd.' *A gwel fy sel i tuag at yr Arglwydd*—er amddiffyn ei anrhydedd ef, a chyflawni ei orchymynion.

Adn. 17. *Efe a darawodd yr holl rai a adawsid i Ahab yn Samaria*] Sef ei holl deulu, ei berthynasau, a'i swyddogion. Efe a wnaeth hyn oll dan yr esgus o sel dros Dduw, ac i gyflawni proffwydoliaeth Elias; ond ei brif amcan ef oedd sicrhau y frenhiniaeth iddo ei hun a'i hiliogaeth.

Adn. 18. *Ahab a wasanaethodd Baal ychydig, ond Jehu a'i gwasanaetha ef lawer*] Efe a gymerai arno mai nid â Baal yr oedd ef yn cweryla, ond â theulu Ahab; ac y byddai iddo ef wasanaethu Baal yn llawer ffyddlonach nag y gwasanaethodd Ahab ef erioed. Eithr nid oedd hyn ddim ond *dichell* i gael addolwyr Baal yn nghyd, fel y gallai efe eu dyfetha.

Adn. 19. *Ac yn awr gelwch ataf fi holl broffwydi Baal*] Y rhai a weddient arno, ac a ganent fawl iddo; *ei holl weision*—y rhai a gynorthwyent oddeutu ei deml ef fel y Lefiaid

Jehu a wnaeth *hyn* mewn cyfrwys-
dra, fel y dyfethai efe addolwyr
Baal.
20 A Jehu a ddywedodd, Cy-
hoeddwch gymanfa santaidd i Baal.
A hwy a'*i* cyhoeddasant.
21 A Jehu a anfonodd trwy holl
Israel: a holl addolwyr Baal a
ddaethant, ac nid oedd un yn eisiau
a'r ni ddaethai: a hwy a ddaethant
i dŷ Baal, a llanwyd tŷ Baal o ben-
bwy-gilydd.
22 Ac efe a ddywedodd wrth yr
hwn *oedd geidwad* ar y gwisgoedd,
Dwg allan wisgoedd i holl addol-
wyr Baal. Ac efe a ddyg wisg-
oedd iddynt.
23 A Jehu a aeth i mewn, a Je-
honadab mab Rechab, i dŷ Baal, ac
a ddywedodd wrth addolwyr Baal,
Chwiliwch ac edrychwch, rhag bod
yma gyda chwi *neb* o weision yr Ar-
glwydd, ond addolwyr Baal yn unig.
24 A phan ddaethant i mewn i
wneuthur aberthau, a phoeth-off-
rymau, Jehu a osododd iddo allan
bedwar ugeinwr, ac a ddywedodd,
*Os* dianc yr un o'r dynion a ddygais
i'ch dwylaw chwi, einioes yr hwn *y*
*diango ganddo fydd* am ei einioes ef.
25 A phan orphenodd efe wneuth-
ur y poeth-offrwm, Jehu a ddywed-
odd wrth y swyddogion a'r tywys-
ogion, Ewch i mewn, lleddwch
hwynt, na ddeled neb allan. Felly
hwy a'u tarawsant hwy â min y
cleddyf: a'r swyddogion a'r tywys-
ogion a'*u* taflasant *hwy* allan, ac a
aethant i ddinas tŷ Baal.
26 A hwy a ddygasant allan

---

yn Jerusalem, neu ynte ei holl addolwyr ef; *a'i holl offeiriaid*—y rhai a aberthent iddo; *canys aberth mawr sydd genyf i Baal*—sef aberthau a phoeth-offrymau, adn. 24. *Pwy bynag a fyddo yn eisiau, ni bydd efe byw*—efe a fforffetia ei fywyd yn gyfiawn, o herwydd ei ddiffyg sel dros ogoniant ei dduw. *Ond Jehu a wnaeth hyn mewn cyfrwysdra*—fel y gallai ef gael holl addolwyr Baal yn nghyd i'w dyfetha!

Adn. 20. *Cyhoeddwch gymanfa santaidd i Baal*] Cyffelyb i un o ŵyliau a chymanfaoedd santaidd yr Iuddewon, ar yr hon ni chaent wneuthur dim gwaith.

Adn. 21. *Nid oedd un yn eisiau a'r ni ddaethai*] Gan mor gaeth oedd y gorchymyn, yr hwn a awdurdodid â bygythiad o farwolaeth, adn. 19; *a llanwyd tŷ Baal o ben-bwy-gilydd*—fe allai nad oedd addolwyr Baal mor luosog yn awr ag yn amser Ahab, trwy eu bod wedi eu lleihau i raddau trwy weinidogaeth Elias, Eliseus, a'r proffwydi ereill, a thrwy esgeulusiad Joram o'r addoliad hwnw; ac heblaw hyny, yr oedd y deml hon yn Samaria yn un helaeth iawn, nes yr oedd, fel y meddylir, yn gallu cynwys holl addolwyr Baal y pryd hyny yn Israel.

Adn. 22. *Dwg allan wisgoedd i holl addolwyr Baal*] Sef i'r offeiriaid a'r swyddogion ereill ond odid, y rhai a ddefnyddient wisgoedd yn addoliad Baal, yn gyffelyb i'r offeiriaid yn ngwasanaeth JEHOFA; canys nid oedd yr addolwyr cyffredin yn ymwisgo felly wrth addoli Baal na JEHOFA. Os felly, rhaid mai dyben y gwisgoedd oedd, nid i wahaniaethu rhwng addolwyr Baal ac ereill, ond i barotoi yr offeiriaid at eu gwaith.

Adn. 23. *A Jehu a aeth i mewn*] I roddi y gorchymyn a ganlyn i'r swyddogion; *a Jehonadab mab Rechab*—yr hwn yn ddiamau a wyddai yn mlaenllaw beth oedd bwriad y brenin. *Chwiliwch ac edrychwch, rhag bod yma gyda chwi neb o weision yr Arglwydd*—gan awgrymu y byddai i'w presenoldeb hwy ddigio Baal, a halogi ei addoliad ef. Eithr ei wir fwriad ef oedd, na byddai i neb ond addolwyr Baal gael eu lladd; ac am hyny parai iddynt chwilio rhag bod un Israeliad, o gywreinrwydd, neu oddiar ryw ddyben arall, wedi dyfod i mewn i'r deml; a'i droi allan, os caent ef yno.

Adn. 24. *Jehu a osododd iddo allan bedwar ugeinwr*] O'i filwyr ei hun, y rhai a safent y tu allan i'r deml, wrth y drysau a'r ffenestri. *Os dianc yr un o'r dynion a ddygais i'ch dwylaw chwi*—sef addolwyr Baal, y rhai oeddynt yn awr oll i mewn yn gwneuthur aberthau a phoeth-offrymau; *einioes yr hwn y diango ganddo*—neu einioes yr hwn a adawo iddo ddianc; *fydd am ei einioes ef*—lleddir y gwyliwr diofal yn lle yr hwn a ddiangodd.

Adn. 25. *A phan orphenodd efe*] Sef archoffeiriad Baal, *wneuthur y poeth-offrwm*—gadawodd Jehu iddynt fyned yn mlaen cyn belled a hyny, fel, wrth ruthro arnynt yn y weithred o eilunaddoliaeth, y byddai i'w cosp ymddangos yn fwy cyfiawn a rhesymol. *Jehu a ddywedodd wrth y swyddogion a'r tywysogion*—sef ereill o'i brif filwyr, y rhai oeddynt yn barod i ruthro i mewn i'r deml, tra yr oedd y pedwar ugeinwr uchod fyth yn gwylio oddiallan. *Felly hwy a'u tarawsant hwy â min y cleddyf*—ac wedi hyny taflasant eu celaneddau allan o'r deml; *ac a aethant i ddinas tŷ Baal*—i ryw adeiladau ereill perthynol i'r deml, y rhai a elwid yn *ddinas*, am eu bod yn lluosog a helaeth. Canys fel yr oedd amrai ystafelloedd wedi eu hadeiladu o amgylch y deml yn Jerusalem, at wasanaeth yr offeiriaid a'r Lefiaid; felly yn ddiamau yr oedd oddeutu y deml hon, yn y rhai y gallai fod amrai o is-weinidogion Baal, y rhai yr un modd a laddwyd ganddynt y pryd hyn. Ond tybia Boothroyd, Clarke, a Dathe, mai *cysegr santeiddiolaf* teml Baal oedd y *ddinas* hon.

Adn. 26. *Ddelwau tŷ Baal*] Sef rhyw luniau bychain o'r ddelw fawr, y rhai a ddaliai yr

ddelwau tŷ Baal, ac a'u llosgasant
hwy.
27 A hwy a ddistrywiasant ddelw
Baal, ac a ddinystriasant dŷ Baal,
ac a'i gwnaethant ef yn domdy
hyd heddyw.
28 Felly y dileodd Jehu Baal
allan o Israel.
29 ¶ Eto pechodau Jeroboam
mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Is-
rael bechu, ni thrôdd Jehu oddi-
wrthynt hwy, *sef oddiwrth* y lloi
aur *oedd* yn Bethel, a'r rhai *oedd*
yn Dan.
30 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrth Jehu, O herwydd it' wneuth-
ur yn dda, gan wneuthur *yr hyn oedd*
uniawn yn fy ngolwg i, yn ol yr hyn
oll a'r *a oedd* yn fy nghalon i y
gwnaethost i dŷ Ahab, meibion y
bedwaredd genhedlaeth i ti a eist-
eddant ar orseddfainc Israel.
31 Ond nid edrychodd Jehu
am rodio yn nghyfraith Arglwydd
Dduw Israel â'i holl galon: *canys*
ni thrôdd efe oddiwrth bechodau
Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Israel
bechu.
32 ¶ Yn y dyddiau hyny y de-
chreuodd yr Arglwydd dori cyrau
Israel: a Hazael a'u tarawodd
hwynt yn holl derfynau Israel;
33 O'r Iorddonen *tua* chodiad
haul, *sef* holl wlad Gilead, y Gad-
iaid, a'r Reubeniaid, a'r Manassiaid,
*o* Aroer, (yr hon *sydd* wrth afon
Arnon,) Gilead a Basan hefyd.
34 ¶ A'r rhan arall o hanes Jehu,
a'r hyn oll a'r a wnaeth efe, a'i holl
gadernid ef; onid *ydynt* hwy yn ys-
grifenedig yn llyfr cronicl brenhin-
oedd Israel?
35 A Jehu a hunodd gyda'i dad-
au, a chladdwyd ef yn Samaria,
a Joachaz ei fab a deyrnasodd
yn ei le ef.

---

addolwyr yn eu dwylaw wrth ymgrymu i Baal; neu ddelwau i dduwiau ereill, y rhai a godwyd yno o barch i Jezebel, yr hon a addolai dduwiau y Sidoniaid: gwel ar 1 Bren. xviii. 19. *Ac a'u llosgasant hwy*—trwy eu bod ond odid wedi eu cerfio o bren.

Adn. 27. *A hwy a ddistrywiasant ddelw Baal*] Sef y ddelw fawr, o flaen yr hon yr addolent yn y deml; *ac a ddinystriasant dŷ Baal*—gan ei dynu i lawr, a'i wneyd yn domen neu ysgothdy; yr hyn oedd y dirmyg mwyaf a ellid ei ddangos i'r deml a'i gwasanaeth eilunaddolgar.

Adn. 28. *Felly y dileodd Jehu Baal allan o Israel*] Am dymhor o leiaf; er iddynt hwy wedi hyn, yn enwedig tŷ Juda, dalu addoliad iddo: gwel pen. xxi. 3, 2 Cron. xxviii. 2, Jer. ii. 8, Hos. ii. 8, Zeph. i. 4.

Adn. 29. *Ni thrôdd Jehu oddiwrthynt hwy*] Er iddo droi oddiwrth bechodau Ahab, ni thrôdd oddiwrth bechodau Jeroboam: ymadawodd â Baal, ond glynodd wrth y lloi aur. Y mae yn wir mai addoli Baal oedd y drwg mwyaf yn ngolwg Duw, ond yr oedd addoli y lloi yn ddrwg mawr: ac y mae gwir grefydd yn cynwys tröedigaeth nid yn unig oddiwrth y pechod mwyaf, ond oddiwrth bob pechod; nid yn unig oddiwrth au-dduwiau, ond hefyd oddiwrth au-ddulliau o addoli y gwir Dduw. *Y lloi aur oedd yn Bethel, a'r rhai oedd yn Dan*—addolai Jehu y rhai hyn, gan dybied ei fod yn addoli yr Arglwydd trwyddynt hwy; ac i'r dyben i gadw pobl Israel rhag myned i Jerusalem i addoli: gwel ar 1 Bren. xii. 27—29.

Adn. 30. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Jehu*] Yn debygol trwy ryw broffwyd; a thybia yr Iuddewon mai trwy y proffwyd Jona. *O herwydd it' wneuthur yn dda*—sef dyfetha tŷ Ahab, a dileu addoliad Baal o Israel, yr hyn oedd yn waith da ynddo ei hun, ac uniawn yn ngolwg yr Arglwydd, er y gallai nad oedd Jehu yn ei wneyd oddiar egwyddor dda, ac nad oedd pob peth yn dda yn y dull o'i wneyd; *meibion y bedwaredd genhedlaeth i ti a eisteddant ar orseddfainc Israel*—sef Joachaz, Joas, Jeroboam, a Zacharia; ac felly parhaodd y frenhiniaeth yn ei deulu ef yn hwy nag mewn un teulu arall yn Israel, sef am oddeutu can mlynedd. Ond hyn oedd yr holl wobr a gafodd Jehu yn y byd hwn a'r nesaf, fel y mae lle i ofni, am ei 'sel tuag at yr Arglwydd,' adn. 16.

Adn. 31. *Ond nid edrychodd Jehu am rodio yn nghyfraith Arglwydd Dduw Israel â'i holl galon*] Nid amcanodd erioed at hyny o ran ei ymarweddiad moesol, am nad oedd yn gydweddol â'i duedd ef. Efe a ddiddymodd addoliad Baal, ond ni chadwodd i fyny addoliad Duw; a'r hyn a wnai efe yn ol cyfraith yr Arglwydd yn awr ac eilwaith, nid oedd oddiar iawn egwyddor, nac o galon bur a diragrith. *Canys ni thrôdd efe oddiwrth bechodau Jeroboam*—sef addoliad y lloi aur, adn. 29.

Adn. 32. *Yn y dyddiau hyny*] Dan deyrnasiad Jehu, *y dechreuodd yr Arglwydd dori cyrau Israel*—trwy oddef i Hazael eu taraw hwynt, a chyflawni y creulonderau a ragfynegwyd gan Eliseus, pen. viii. 12.

Adn. 33. *O'r Iorddonen tua chodiad haul*] Sef o du y dwyrain i'r Iorddonen, lle yr oedd y ddau lwyth a hanner yn trigiannu.

Adn. 34. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 35. *A Jehu a hunodd gyda'i dadau*] Neu fel ei dadau; *a chladdwyd ef yn Samaria*—lle y claddesid Omri ac Ahab o'i flaen, 1 Bren. xxii. 37; *a Joachaz ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—i ddechreu cyflawni addewid Duw i'w hiliogaeth ef, adn. 30.

36 A'r dyddiau y teyrnasodd Jehu
ar Israel yn Samaria *oedd* wyth
mlynedd ar hugain.

## PENNOD XI.

A PHAN welodd Athaliah mam
Ahaziah farw o'i mab, hi a gyf-
ododd, ac a ddyfethodd yr holl had
brenhinol.
2 Ond Joseba merch y brenin
Joram, chwaer Ahaziah, a gymerth
Joas fab Ahaziah, ac a'i lladrata-
odd ef o fysg meibion y brenin *y
rhai* a laddwyd: a hwy a'i cuddias-
ant ef a'i fammaeth yn ystafell y
gwelyau, rhag Athaliah, fel na
laddwyd ef.
3 Ac efe a fu gyda hi yn nghudd
*yn* nhŷ yr Arglwydd chwe blynedd:
ac Athaliah oedd yn teyrnasu ar y
wlad.
4 Ac yn y seithfed flwyddyn yr
anfonodd Jehoiada, ac y cymerth
dywysogion y cannoedd, *a*'r capten-
iaid, a'r swyddogion, ac a'u dyg
hwynt i mewn ato i dŷ yr Arglwydd,
ac a wnaeth â hwynt gyfammod, ac
a wnaeth iddynt dyngu yn nhŷ yr
Arglwydd, ac a ddanghosodd iddynt
fab y brenin.
5 Ac efe a orchymynodd iddynt,
gan ddywedyd, Dyma y peth a
wnewch chwi; Trydedd ran o hon-
och sydd yn dyfod i mewn *ar* y sab-

---

Adn. 36. *Wyth mlynedd ar hugain*] Yr hyn oedd yn hwy na theyrnasiad neb o frenhinoedd Israel o'i flaen ef: ac eto nid oes genym hanes am ddim ond dechread ei deyrnasiad ef.

PEN. XI. Adn. 1. *A phan welodd Athaliah mam Ahaziah farw o'i mab*] Trwy ddwylaw gwŷr Jehu, pen. ix. 27. Y wraig hon oedd ferch Ahab, a gwraig Joram brenin Juda, a mam Ahaziah. *Hi a gyfododd, ac a ddyfethodd yr holl had brenhinol*—pawb o hiliogaeth Dafydd a'r na ddyfethwyd gan Jehu, (pen. x. 14,) oddieithr un, yr hwn a grybwyllir adn. 2. Cymhellid hi i wneuthur hyn gan lawer o ystyriaethau: (1) Gan *gynddaredd* wrth weled teulu Ahab wedi eu dyfetha, yr hyn a barodd iddi benderfynu y cai teulu Dafydd hefyd eu dyfetha. (2) Gan ei *sel* dros addoliad Baal, yr hwn y bwriadai hi ei sefydlu, a'r hwn y gwyddai fod tŷ Dafydd yn elynion gwreiddiol iddo. (3) Gan *drachwant* am yr orsedd, fel y cai hi deyrnasu ei hun, heb neb i'w gwrthwynebu. (4) Mewn *hunan-amddiffyniad*, fel y gallai hi, ar ol esgyn i'r orsedd, ei diogelu ei hun rhag cynddaredd Jehu, yr hwn y gwyddai ei fod yn penderfynu dyfetha holl ganghenau tŷ Ahab, o'r hwn yr oedd hi yn un. Tybia rhai i Ahaziah ei gosod hi ar yr orsedd tra y byddai ef yn rhyfela â'r Syriaid; a dichon mai plant Joram o wraig arall oedd y rhai a laddodd hi. Dyma ffrwyth yr ieuo annghydmharus a wnaeth Jehosaphat, trwy briodi ei fab â merch Ahab eilunaddolgar! Fel hyn, trwy ei difrod hi a'r difrodiadau o'r blaen, buwyd bron a dyfetha yr had brenhinol yn llwyr o dŷ Dafydd, o ba un yr oedd y MESSIA i ddyfod!

Adn. 2. *Ond Joseba, merch y brenin Joram*] O wraig arall, ac nid o Athaliah; *chwaer Ahaziah*—sef hanner chwaer, o'r un tad, ond nid o'r un fam. Yr oedd Joseba yn wraig i Jehoiada yr archoffeiriad, 2 Cron. xxii. 11; ac nid yw yn debyg y goddefasai Athaliah i'w merch briodi archoffeiriad y gwir Dduw, nac y cymerasai yntau ferch y fath wraig eilunaddolgar. *A gymerth Joas fab Ahaziah*—o blith y lladdedigion, trwy nad oedd yn gwbl farw; neu ynte a'i lladratasai ef ymaith yn ddirgelaidd cyn i'r gyflafan gymeryd lle. *A hwy a'i cuddiasant ef a'i fammaeth yn ystafell y gwelyau*—yr hon oedd yn nhŷ yr Arglwydd, adn. 3; sef un o ystafelloedd y deml, yr hon oedd at wasanaeth yr offeiriaid a'r Lefiaid yn unig.

Adn. 3. *Ac efe a fu gyda hi yn nghudd yn nhŷ yr Arglwydd chwe blynedd*] Felly nid oedd efe ond blwydd oed pan ei cuddiwyd, adn. 21. Yr oedd ei nain yn meddwl ei fod ef wedi ei ladd ond odid; neu os tybiai ei fod ef yn fyw, hi a wyddai nad oedd ganddi lawer i'w ofni oddiwrth faban egwan. *Ac Athaliah oedd yn teyrnasu ar y wlad*—yn mrenhiniaeth Juda. Yn ol canonau yr Iuddewon, ni chai benyw deyrnasu, na bod mewn unrhyw swydd lywodraethol arall; ac y mae yn rhyfedd i wŷr Juda oddef y fenyw ddrygionus hon i deyrnasu arnynt am chwe blynedd.

Adn. 4. *Ac yn y seithfed flwyddyn yr anfonodd Jehoiada*] Sef yr archoffeiriad, yr hwn oedd yn ŵr i fodryb Joas chwaer ei dad; *ac y cymerth dywysogion y cannoedd, a'r capteniaid, a'r swyddogion*—y mae y rhai hyn yn cynwys holl swyddogion dosbarthiadau y Lefiaid, y rhai oeddynt yn neillduol dan awdurdod yr archoffeiriad; ac hefyd, fel y meddylir, rai o'r tywysogion gwladol, y rhai a elwir yn 'benau cenedl Israel,' 2 Cron. xxiii. 2; *ac a wnaeth â hwynt gyfammod*—i'w gynorthwyo ef i ddiwygio y wlad oddiwrth gamreolaeth Athaliah, ac i osod etifedd y goron ar yr orsedd; *ac a ddanghosodd iddynt fab y brenin*—yr hwn y tybid yn gyffredin ei fod wedi ei ladd oddeutu chwe blynedd cyn hyny.

Adn. 5. *Trydedd ran o honoch sydd yn dyfod i mewn ar y sabbath*] Yr oedd Dafydd wedi rhanu yr offeiriaid a'r Lefiaid yn bedwar dosbarth ar hugain, pob dosbarth i wasanaethu yn y deml am wythnos, gan ddechreu ar y sabbath; a chan fod tua mil yn mhob dosbarth, a bod y rhai a elent allan yn aros yno gyda'r rhai a ddeuent i mewn hyd ddiwedd y sabbath hwnw, meddylir fod y 'drydedd ran' yn cynwys o leiaf 666. *A gadwant wyliad-*

bath, a gadwant wyliadwriaeth tŷ y
brenin.
6 A thrydedd ran *fydd* yn mhorth
Sur; a thrydedd ran yn y porth o'r
tu ol i'r swyddogion: felly y ced-
wch wyliadwriaeth y tŷ rhag ei dori.
7 A deuparth o honoch oll sydd
yn myned allan ar y sabbath, a
gadwant wyliadwriaeth tŷ yr Ar-
glwydd, yn nghylch y brenin.
8 A chwi a amgylchynwch y
brenin o bob parth, pob un â'i arf-
au yn ei law; a'r hwn a ddelo i'r
rhesau, lladder ef: a byddwch
gyda'r brenin pan elo efe allan, a
phan ddelo efe i mewn.
9 A thywysogion y cannoedd a
wnaethant yn ol yr hyn oll a orch-
ymynasai Jehoiada yr offeiriad, a
chymerasant bawb eu gwŷr y rhai
oedd yn dyfod i mewn *ar* y sab-
bath, gyda'r rhai oedd yn myned
allan *ar* y sabbath; ac a ddaethant
at Jehoiada yr offeiriad.
10 A'r offeiriad a roddodd i dywys-
ogion y cannoedd waewffyn a thar-
ianau y brenin Dafydd, y rhai *oedd*
yn nhŷ yr Arglwydd.
11 A'r swyddogion a safasant bob
un â'i arfau yn ei law, o'r tu deau
i'r tŷ, hyd y tu aswy i'r tŷ, wrth yr
allor a'r tŷ, amgylch-ogylch y
brenin.
12 Ac efe a ddyg allan fab y
brenin, ac a roddodd y goron arno
ef, a'r dystiolaeth; a hwy a'i hurdd-
asant ef yn frenin, ac a'i heneinias-
ant ef; curasant hefyd eu dwylaw,
a dywedasant, Byw fyddo y brenin.
13 A phan glybu Athaliah drwst
y bobl yn rhedeg, hi a ddaeth i
mewn at y bobl i dŷ yr Arglwydd.
14 A phan edrychodd hi, wele, y
brenin oedd yn sefyll wrth y golofn
yn ol yr arfer, a'r tywysogion a'r
udgyrn yn ymyl y brenin, a holl
bobl y wlad yn llawen, ac yn canu
mewn udgyrn. Ac Athaliah a rwyg-
odd ei dillad, ac a waeddodd, Brad-
wriaeth, bradwriaeth!

---

*wriaeth tŷ y brenin*—sef y palas lle yr oedd Athaliah yn cartrefu, rhag i neb oddiyno ddyfod i'w haflonyddu hwynt.

Adn. 6. *A thrydedd ran fydd yn mhorth Sur*] O du y dwyrain i'r deml, yr hwn a elwir 'porth y sylfaen,' 2 Cron. xxiii. 5, am mai yno, meddai yr Iuddewon, y dechreuwyd sylfaenu y deml; *a thrydedd ran yn y porth o'r tu ol i'r swyddogion*—yn yr ochr ddeheuol i'r deml: *felly y cedwch wyliadwriaeth y tŷ*—rhag i filwyr Athaliah syrthio arnynt, tra y byddent yn coroni Joas.

Adn. 7. *A deuparth o honoch oll*] Sef y rhan ag oedd wrth y porth dwyreiniol, a'r rhan ag oedd wrth y porth deheuol, adn. 6, yn cynwys y dosbarth a aent allan, a'r rhai a ddeuent i mewn; *a gadwant wyliadwriaeth tŷ yr Arglwydd*—tra yr oedd y drydedd ran yn gwylio palas y frenhines, adn. 5.

Adn. 8. *A chwi a amgylchynwch y brenin o bob parth*] Fel dau hanner cylch yn cyffwrdd â'u gilydd yn y penau; *pob un â'i arfau yn ei law*—y rhai a barotoisid gan Dafydd, adn. 10. *A'r hwn a ddelo i'r rhesau*—pob dyn dyeithr a ddelo atoch i edrych pa beth fydd yn myned yn mlaen; *lladder ef*—fel yspiwr bradwrus: *a byddwch gyda'r brenin*—i'w wylio a'i amddiffyn ef yn ei holl symudiadau.

Adn. 9. *A thywysogion y cannoedd*] Yn nghyda'r capteniaid a'r swyddogion hefyd yn ddiamau; *a wnaethant yn ol yr hyn oll a orchymynasai Jehoiada*—ymrestrasant yn dair byddin, i wylio y pyrth, y tŷ, a'r brenin.

Adn. 10. *Waewffyn a tharianau*] Sef arfau ymosodol ac amddiffynol, y rhai a gymerasai y brenin Dafydd mewn rhyfeloedd oddiar ei elynion, ac a gysegrasai efe at wasanaeth y deml pan adeiledid hi, i'w hamddiffyn â hwynt os byddai achos: gwel 2 Sam. viii. 11, 12. Yr oeddynt oll wedi dyfod i'r deml heb ddim arfau ganddynt, i attal pob drwgdybiaeth.

Adn. 11. *O'r tu deau i'r tŷ, hyd y tu aswy i'r tŷ*] O amgylch-ogylch y tŷ a'r brenin; *wrth yr allor*—sef allor y poeth-offrwm, yr hon oedd yn y cyntedd, lle ond odid y coronwyd y brenin.

Adn. 12. *Ac efe a ddyg allan fab y brenin*] O'r ystafell lle y buasai efe yn guddiedig am chwe blynedd, adn. 3; *ac a roddodd y goron arno ef*—yr hon a gedwid yn y deml dan ofal yr archoffeiriad; *a'r dystiolaeth*—sef llyfr y gyfraith, yr hwn a roddodd efe yn llaw y brenin i adgofio iddo ei ddyledswydd: gwel ar Deut. xvii. 18, 19. Rhoddir Beibl yr un modd yn llaw brenhinoedd Lloegr wrth eu coroni. *A hwy a'i hurddasant ef yn frenin*—trwy ei eneinio, rhoddi y goron ar ei ben, a llyfr y dystiolaeth yn ei law: *curasant hefyd eu dwylaw*—mewn gorfoledd am ei fod wedi ei urddo; *a dywedasant, Byw fyddo y brenin*—bydded fyw yn hir, ac yn llwyddiannus yn ei deyrnasiad.

Adn. 13. *A phan glybu Athaliah drwst y bobl yn rhedeg*] Neu yn neidio, yn bloeddio, ac yn canu mewn udgyrn; *hi a ddaeth i mewn*—i gyntedd y deml, lle y goddefwyd iddi hi, fel brenhines, ddyfod, er fod hyny yn groes i'r gorchymyn cyffredinol, adn. 8.

Adn. 14. *Y brenin oedd yn sefyll wrth y golofn yn ol yr arfer*] Wrth urddo brenhinoedd. Meddylir yn gyffredin fod yr orsedd frenhinol wedi ei chodi yn agos i un o'r colofnau a ddarluniwyd 1 Bren. vii. 15, 21; er y tybia rhai mai pulpud pres Solomon a feddylir wrth y *golofn* hon, 2 Cron. vi. 13. *Ac Athaliah a rwygodd ei dillad*—mewn gofid a galar

15 A Jehoiada yr offeiriad a orchymynodd i dywysogion y cannoedd, y rhai oedd wedi eu gosod ar y llu, ac a ddywedodd wrthynt, Dygwch hi o'r tu allan i'r rhesau; a'r hwn a ddelo ar ei hol hi, lladder ef â'r cleddyf: canys dywedasai yr offeiriad, Na ladder hi yn nhŷ yr Arglwydd.

16 A hwy a osodasant ddwylaw arni hi, a hi a aeth ar hyd y ffordd feirch i dŷ y brenin, ac yno y lladdwyd hi.

17 ¶ A Jehoiada a wnaeth gyfammod rhwng yr Arglwydd a'r brenin a'r bobl, i fod o honynt yn bobl i'r Arglwydd; a rhwng y brenin a'r bobl.

18 A holl bobl y wlad a aethant i dŷ Baal, ac a'i dinystriasant ef a'i allorau, ei ddelwau hefyd a ddrylliasant hwy yn chwilfriw, lladdasant hefyd Mattan offeiriad Baal o flaen yr allorau. A'r offeiriad a osododd oruchwylwyr ar dŷ yr Arglwydd.

19 Efe a gymerth hefyd dywysogion y cannoedd, a'r capteniaid, a'r swyddogion, a holl bobl y wlad, a hwy a ddygasant i waered y brenin o dŷ yr Arglwydd, ac a ddaethant ar hyd ffordd porth y swyddogion, i dŷ y brenin: ac efe a eisteddodd ar orseddfa y brenhinoedd.

20 A holl bobl y wlad a lawenychasant, a'r ddinas a lonyddodd: a hwy a laddasant Athaliah â'r cleddyf *wrth* dŷ y brenin.

21 Mab saith mlwydd *oedd* Joas pan aeth efe yn frenin.

## PENNOD XII.

YN y seithfed flwyddyn i Jehu y dechreuodd Joas deyrnasu, a

---

wrth weled y fath olygfa; *ac a waeddodd, Bradwriaeth, bradwriaeth!* — neu amcan gwaedlyd yn ei herbyn hi.

Adn. 15. *Dygwch hi o'r tu allan i'r rhesau*] Trwy y rhai y goddefwyd iddi ymwthio i mewn; *a'r hwn a ddelo ar ei hol hi*—i'w phleidio neu geisio ei hamddiffyn, lladder ef yn y fan. *Na ladder hi yn nhŷ yr Arglwydd*—yn nghyntedd y deml, rhag ei halogi â'i gwaed hi.

Adn. 16. *A hwy a osodasant ddwylaw arni*] I'w chymeryd hi ymaith o gyntedd y deml; *a hi a aeth ar hyd y ffordd feirch*—ar hyd y ffordd yr âi y meirch a'r cerbydau at y palas brenhinol; *ac yno y lladdwyd hi*—allan ar y ffordd, cyn ei myned i'r tŷ, adn. 20. Os claddwyd hi, cafodd hyny fel gwraig i frenin Juda, ac nid fel merch Ahab: eithr tybia rhai i'w chorff gael ei daflu i afon Cedron.

Adn. 17. *A Jehoiada a wnaeth gyfammod*] Yr oedd hwn yn ddeublyg: (1) *Rhwng yr Arglwydd a'r brenin a'r bobl*—gan sicrhau iddynt y byddai yr Arglwydd yn Dduw ac yn blaid i'r brenin a'i bobl, cyhyd ag y byddent hwy yn bobl iddo ef, ac yn ffyddlon yn ei wasanaeth; yr hyn oedd adnewyddiad o hen gyfammod Duw âg Israel yn Horeb, Exod. xix. 5, 6. (2) *A rhwng y brenin a'r bobl*—y byddai iddo ef eu llywodraethu hwy yn dêg a chyfiawn, yn ol cyfraith yr Arglwydd; ac y byddai iddynt hwythau ei wasanaethu ef yn ufydd a ffyddlon, gan amddiffyn ei berson a'i orsedd.

Adn. 18. *A holl bobl y wlad a aethant i dŷ Baal*] Dechreuasant yn ebrwydd gyflawni eu cyfammod, trwy ddinystrio tŷ Baal, ei allorau, a'i ddelwau, y rhai a osodwyd i fyny gan Athaliah yn Juda, megys y gwnaethai Jezebel ei mam hi yn Israel; er y tybia rhai fod teml Baal yn aros yno er dyddiau Solomon, 1 Bren. xi. Nid rhyfedd i Jehoiada ddechreu ei ddiwygiad trwy y weithred hon, gan i 'feibion Athaliah, y wraig ddrygionus hòno, *rwygo tŷ Dduw;* a holl gysegredig bethau tŷ yr Arglwydd a roisant hwy i *Baalim*,' 2 Cron. xxiv. 7. *Lladdasant hefyd Mattan, offeiriad Baal, o flaen yr allorau*—lle yr oedd efe yn aberthu i Baal fe allai, neu wedi ffoi yno am ddiogelwch; er y tybia rhai iddynt ei ddwyn ef yno, fel aberth addas i'w dduw. *A'r offeiriad a osododd oruchwylwyr ar dŷ yr Arglwydd*—sef offeiriaid i aberthu yno, Lefiaid i foliannu, porthorion a gwyliedyddion i wylied y deml, &c.; yr hyn oedd wedi ei esgeuluso yn fawr, os nid ei attal yn hollol, yn ystod y chwe blynedd ag y bu Athaliah eilunaddolgar ar yr orsedd.

Adn. 19. *A hwy a ddygasant i waered y brenin*] O gyntedd y deml lle y coronwyd ef; *i dŷ y brenin*—lle y buasai Athaliah a brenhinoedd Juda yn cartrefu: *ac efe a eisteddodd ar orseddfa y brenhinoedd*—ond odid yr un a wnaethai Solomon o ifori, 1 Bren. x. 18—20. Ymddengys mai hyn oedd y ddefod olaf yn ei urddiad ef.

Adn. 20. *A holl bobl y wlad a lawenychasant*] Am y waredigaeth a gawsent oddiwrth ormes Athaliah, ac am osod brenin o had Dafydd unwaith eto ar yr orsedd, o'r hwn yr oedd y MESSIA i hànu. Dywed Josephus iddynt gadw gŵyl o lawenydd am lawer o ddyddiau. *A'r ddinas a lonyddodd*—mewn boddlonrwydd a thawelwch cyffredinol, fel na ddarfu i neb o bleidwyr gwresocaf y frenhines gynyg aflonyddu y brenin newydd.

Adn. 21. *Mab saith mlwydd oedd Joas pan aeth efe yn frenin*] Gan ei fod mor ieuanc, yr oedd yn dra anaddas i'r fath swydd bwysig; ond yr oedd efe dan gyfarwyddyd cynghorwr mor ragorol, nes yr oedd pob peth yn cael ei ddwyn yn mlaen yn dda tra y bu Jehoiada byw, a'r genedl yn llwyddiannus a dedwydd. Eithr wedi i'r dyn da hwnw farw, efe a hudwyd gan rai o'i dywysogion i eilunaddoliaeth,

deugain mlynedd y teyrnasodd efe yn Jerusalem. Ac enw ei fam ef *oedd* Zibiah o Beerseba.
2 A Joas a wnaeth *yr hyn oedd* union yn ngolwg yr Arglwydd ei holl ddyddiau, *yn* y rhai y dysgodd Jehoiada yr offeiriad ef.
3 Er hyny ni thynasid ymaith yr uchelfeydd: y bobl oedd eto yn offrymu ac yn arogldarthu yn yr uchelfeydd.
4 A Joas a ddywedodd wrth yr offeiriaid, Holl arian y pethau cysegredig a ddyger i mewn i dŷ yr Arglwydd, arian y gŵr a gyniweirio, arian gwerth eneidiau pob un, *a'r* holl arian a glywo neb ar ei galon eu dwyn i mewn i dŷ yr Arglwydd.
5 Cymered yr offeiriaid *hyny* iddynt, pawb gan ei gydnabod, a chyweiriant adwyau y tŷ, pa le bynag y caffer adwy ynddo.
6 Ond yn y drydedd flwyddyn ar hugain i'r brenin Joas, nid adgyweiriasai yr offeiriaid agenau y tŷ.
7 Yna y brenin Joas a alwodd am Jehoiada yr offeiriad, a'r offeiriaid *ereill*, ac a ddywedodd wrthynt, Paham nad ydych chwi yn cyweirio agenau y tŷ? yn awr gan hyny na dderbyniwch arian gan eich cydnabod, ond rhoddwch hwy at *gyweirio* adwyau y tŷ.
8 A'r offeiriaid a gydsyniasant na dderbynient arian gan y bobl, ac na chyweirient agenau y tŷ.
9 Eithr Jehoiada yr offeiriad a gymerth gist, ac a dyllodd dwll yn ei chaead, ac a'i gosododd hi o'r tu deau i'r allor, ffordd y delai un i mewn i dŷ yr Arglwydd: a'r offeir-

---

yr hyn a gostiodd iddo ei fywyd: gwel ar 2 Cron. xxiv. 17, &c.

PEN. XII. Adn. 1. *Yn y seithfed flwyddyn i Jehu*] Felly dechreuodd Jehu deyrnasu y flwyddyn y ganed Joas; *a deugain mlynedd y teyrnasodd efe*—yr un hyd a Dafydd a Solomon ei henafiaid; *ac enw ei fam ef oedd Zibiah*—yr hon yr ymddengys iddi farw yn fuan ar ol geni Joas, gan mai ei fodryb oedd yn gofalu am dano ef, pen. xi. 2.

Adn. 2. *A Joas a wnaeth yr hyn oedd union yn ngolwg yr Arglwydd*] Mewn addoli y gwir Dduw, a llywodraethu ei bobl yn ol cyfraith yr Arglwydd; *ei holl ddyddiau*—hyny yw, tra y bu Jehoiada byw i'w addysgu ef; ond wedi marw yr archoffeiriad da hwnw, efe a drôdd yn eilunaddolwr, ac a fu farw yn druenus, 2 Cron. xxiv. 2, 17, &c.

Adn. 3. *Er hyny ni thynasid ymaith yr uchelfeydd*] Y rhai a wnaethid i aberthu ac arogldarthu i'r Arglwydd arnynt cyn adeiladu y deml: gwel ar 1 Bren. xv. 14. Ni fedrodd neb o'r brenhinoedd ddiddymu yr allorau hyn hyd Hezeciah, (pen. xviii. 4, 22,) naill ai o ddifaterwch am wneyd hyny, neu rhag ofn y bobl. Ond tybia rhai mai yr uchelfeydd a wnaed yn amser Rehoboam oedd y rhai hyn, 1 Bren. xiv. 23.

Adn. 4. *A Joas a ddywedodd wrth yr offeiriaid*] Yr oedd y deml nid yn unig yn dŷ i'r Arglwydd, ond wedi bod yn noddfa iddo ef yn ei fabandod am chwe blynedd; ac am hyny meddyliodd Joas o hono ei hun am ei hadgyweirio, yn enwedig gan ei bod wedi adfeilio yn fawr, ac hefyd wedi ei hyspeilio, yn ystod teyrnasiad Athaliah a'i mab. *Holl arian y pethau cysegredig*—sef pris yr anifeiliaid cyntafanedig fe allai, y rhai a gysegrid i'r Arglwydd, ond nad oeddynt yn addas i'w haberthu, Exod. xiii. 2. *Arian y gŵr a gyniweirio*—pob arian a roddai dyeithriaid at wasanaeth y deml, pan gyniweirient i Jerusalem. *Arian gwerth eneidiau pob un*—y rhai a roddai pob un dros ugain mlwydd oed, ac a elwir yn 'iawn am ei einioes,' Exod. xxx. 12—16. *A'r holl arian a glywo neb ar ei galon*—eu rhoddi yn addunedau, neu offrymau gwirfodd.

Adn. 5. *Cymered yr offeiriaid hyny iddynt*] Nid yn eiddo iddynt eu hunain, ond i'w gofal, tuag at dalu am adgyweirio y deml. *Pawb gan ei gydnabod*—trwy holl ddinasoedd Juda, lle yr oeddynt i gasglu rhan o'r arian uchod, a'u dwyn i Jerusalem, 2 Cron. xxiv. 5.

Adn. 6. *Ond yn y drydedd flwyddyn ar hugain i'r brenin Joas*] Sef yn mhen amrai flynyddau ar ol iddo roddi y gorchymyn uchod i'r offeiriaid; *nid adgyweiriasai yr offeiriaid agenau y ty*—yr hyn oedd yn dra beius ynddynt, ac yn dangos eu difaterwch mawr am deml a gwasanaeth yr Arglwydd.

Adn. 7. *Paham nad ydych chwi yn cyweirio agenau y tŷ*] A'r arian a dderbyniasoch bob un gan ei gydnabod, yn eich gwahanol ddinasoedd, trwy yr holl flynyddau hyn? Gan fod cyllidion yr offeiriaid wedi lleihau yn fawr trwy enciliad y deg llwyth ac achosion ereill, y mae yn debyg eu bod yn cadw cyfraniadau y bobl at eu cynaliaeth eu hunain. *Yn awr gan hyny na dderbyniwch arian gan eich cydnabod*—mwyach, dan yr esgus o gasglu at adgyweirio y deml; a rhoddwch i fyny y rhai a gasglasoch, fel y defnyddier hwynt i'w dyben priodol dan ofal rhai ereill.

Adn. 8. *A'r offeiriaid a gydsyniasant*] I ymryddhau oddiwrth y ddau orchwyl, sef casglu yr arian, a gofalu am adgyweirio y deml.

Adn. 9. *Eithr Jehoiada yr offeiriad a gymerth gist*] Wrth orchymyn y brenin, 2 Cron. xxiv. 8; *ac a dyllodd dwll yn ei chaead*—fel y gallai y bobl ollwng eu cyfraniadau i mewn eu hunain, heb fodd i neb eu cymeryd oddiyno yn lladradaidd: *ac a'i gosododd hi o'r tu deau i'r allor*—yr ochr hono i'r deml, yn 'mhorth tŷ yr Arglwydd *oddiallan*,'

iaid, y rhai oedd yn cadw y drws, a roddent yno yr holl arian a ddygid i mewn i dŷ yr Arglwydd.

10 A phan welent *fod* llawer o arian yn y gist, deuai ysgrifenydd y brenin, a'r archoffeiriad, i fyny, ac a roent mewn codau, ac a gyfrifent yr arian a gawsid yn nhŷ yr Arglwydd.

11 A hwy a roddasant yr arian, wedi eu cyfrif, yn nwylaw gweithwyr y gwaith, goruchwylwyr tŷ yr Arglwydd: a hwy a'i talasant i'r seiri pren, ac i'r adeiladwyr oedd yn gweithio tŷ yr Arglwydd.

12 Ac i'r seiri meini, ac i'r naddwyr cerig, ac i brynu coed a cherig nadd, i gyweirio adwyau tŷ yr Arglwydd, ac am yr hyn oll a aethai allan i adgyweirio y tŷ.

13 Eto ni wnaed yn nhŷ yr Arglwydd gwpanau arian, saltringau, cawgiau, udgyrn, na llestri aur, na llestri arian, o'r arian a ddygasid i mewn i dŷ yr Arglwydd.

14 Eithr hwy a'i rhoddasant i weithwyr y gwaith; ac a gyweiriasant â hwynt dŷ yr Arglwydd.

15 Ac ni cheisiasant gyfrif gan y dynion y rhoddasant hwy yr arian yn eu dwylaw i'w rhoddi i weithwyr y gwaith; canys yr oeddynt hwy yn gwneuthur yn ffyddlon.

16 Yr arian *dros* gamwedd, a'r arian *dros* bechodau, ni ddygpwyd i mewn i dŷ yr Arglwydd: eiddo yr offeiriaid oeddynt hwy.

17 ¶ Yna Hazael, brenin Syria, a aeth i fyny, ac a ymladdodd yn erbyn Gath, ac a'i hennillodd hi: a Hazael a osododd ei wyneb i fyned i fyny yn erbyn Jerusalem.

18 A Joas, brenin Juda, a gymerth yr holl bethau cysegredig a gysegrasai Jehosaphat, a Jehoram, ac Ahaziah, ei dadau ef, brenhinoedd Juda, a'i gysegredig bethau ef ei hun, a'r holl aur a gafwyd yn nhrysorau tŷ yr Arglwydd, a thŷ y brenin, ac a'u hanfonodd at Hazael brenin Syria, ac efe a ymadawodd oddiwrth Jerusalem.

---

fel y gallai y bobl wrth ddyfod i mewn fwrw eu harian iddi: *a'r offeiriaid, y rhai oedd yn cadw y drws, a roddent yno*—o law y bobl, neu a ddanghosent i'r bobl y gist, fel y gallent roddi eu harian ynddi eu hunain.

Adn. 10. *A phan welent fod llawer o arian yn y gist*] Yr hyn a allent ei gasglu oddiwrth nifer y rhoddwyr a phwysi y gist; *deuai ysgrifenydd y brenin, a'r archoffeiriad*—neu 'swyddog yr archoffeiriad,' 2 Cron. xxiv. 11. Felly yr oedd yno swyddog gwladol a swyddog eglwysig yn cyd-edrych ar ol trysorfa yr adgyweiriad. *Ac a roent mewn codau*—y rhai ond odid a selient i fyny, ar ol cyfrif iddynt yr arian o'r gist; a dywedir yn 2 Cron. eu bod yn gwaghau y gist fel hyn o ddydd i ddydd.

Adn. 11, 12. *A hwy a roddasant yr arian, wedi eu cyfrif, yn nwylaw gweithwyr y gwaith*] Sef yn nwylaw meistri y gwaith, fel y gallent dalu cyflogau y gweithwyr bob nos, neu ar ben pob tymhor, ac hefyd dalu am y defnyddiau.

Adn. 13, 14. *Eto ni wnaed yn nhŷ yr Arglwydd gwpanau arian, &c.*] Yn lle y rhai a ddygasai meibion Athaliah ymaith, i'w rhoddi yn nheml Baal, 2 Cron. xxiv. 7; hyny yw, ni ddefnyddiwyd dim o'r cyfraniadau hyn i wneuthur llestri felly, nes iddynt yn gyntaf dalu cyflogau y gweithwyr, a thalu am yr holl ddefnyddiau at gyweirio y tŷ; ac wedi hyny gwnaed â'r gweddill y llestri hyn, 2 Cron. xxiv. 14.

Adn. 15. *Ac ni cheisiasant gyfrif gan y dynion*] Yr oeddynt yn hyderu gymaint yn ngonestrwydd y meistri neu oruchwylwyr y gwaith, fel nad edrychasant pa faint o arian a wariwyd ganddynt yn gyflogau, &c.; *canys yr oeddynt hwy yn gwneuthur yn ffyddlon*—yr hyn a wyddai ysgrifenydd y brenin a swyddog yr archoffeiriad trwy hir brofiad. Y fath siampl ddylynwiw yw hon i rai yn trin unrhyw gyllid cyffredin!

Adn. 16. *Yr arian dros gamwedd, a'r arian dros bechodau*] Y rhai a anfonai dynion o bell i'r offeiriaid, i brynu aberthau dros gamwedd a phechodau, a'u haberthu dros ac yn enw y dynion hyny fel pe buasent yn bresenol: byddai peth o'r arian hyny yn weddill gan yr offeiriaid yn gyffredin, dros ben yr hyn a roddent am yr aberthau. *Ni ddygpwyd i mewn i dŷ yr Arglwydd*—ni roddid y gweddill hwnw yn y gist at adgyweirio y deml; *eiddo yr offeiriaid oeddynt*—at eu cynaliaeth hwy a'u teuluoedd. Fe allai fod y *camwedd*, yn yr adnod hon, yn cyfeirio at bechod a wnaed trwy amryfusedd neu anwybodaeth; a'r *pechodau*, at droseddiadau gwirfoddol, neu yn erbyn goleuni: neu dichon fod y cyntaf yn arwyddo pechod yn erbyn *dyn*, a'r olaf bechodau uniongyrchiol yn erbyn *Duw:* gwel Lef. v. 15—19.

Adn. 17. *Yna Hazael—a ymladdodd yn erbyn Gath*] Yr hon a gymerasai Dafydd oddiar y Philistiaid, ac a fu yn eiddo i frenhinoedd Juda hyd y pryd hyn: gwel 2 Sam. viii. 1, a 1 Cron. xviii. 1. *A Hazael a osododd ei wyneb i fyned i fyny yn erbyn Jerusalem*—hefyd, wedi ei galonogi trwy ennill Gath mor hawdd.

Adn. 18. *A Joas brenin Juda a gymerth yr holl bethau cysegredig*] A gyflwynwyd gan y brenhinoedd o'i flaen ef at wasanaeth tŷ yr Arglwydd, ac a gedwid yn nhrysorfeydd y deml, yn nghyda'r holl aur yn ei dŷ ei hun;

19 ¶ A'r rhan arall o hanes Joas,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl
brenhinoedd Juda?
20 A'i weision ef a gyfodasant, ac
a gydfwriadasant fradwriaeth; ac
a laddasant Joas *yn* nhŷ Milo, wrth
ddyfod i waered i Sila.
21 A Jozachar mab Simeath, a
Jozabad mab Somer, ei weision ef,
a'i tarawsant ef, ac efe a fu farw; a
hwy a'i claddasant ef gyda'i dadau
yn ninas Dafydd; ac Amasiah ei
fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XIII.

YN y drydedd flwyddyn ar hugain
i Joas fab Ahaziah brenin Juda,
y teyrnasodd Joachaz mab Jehu ar
Israel yn Samaria, *a* dwy flynedd
ar bymtheg *y teyrnasodd efe.*
2 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, ac
a rodiodd ar ol pechodau Jeroboam
mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Is-
rael bechu: ni thrôdd oddiwrthynt
hwy.
3 A digofaint yr Arglwydd a lid-
iodd yn erbyn Israel; ac efe a'u
rhoddodd hwynt yn llaw Hazael
brenin Syria, ac yn llaw Benhadad
mab Hazael, *eu* holl ddyddiau *hwynt.*
4 A Joachaz a erfyniodd ar yr
Arglwydd, a gwrandawodd yr Ar-
glwydd arno ef; o herwydd iddo
ganfod gorthrymder Israel, canys
brenin Syria a'u gorthrymai hwynt.
5 (A'r Arglwydd a roddodd ach-
ubwr i Israel, fel yr aethant oddi-
tan law y Syriaid: a meibion Israel
a drigiasant yn eu pebyll fel cynt.
6 Eto ni throisant hwy oddiwrth

---

*ac a'u hanfonodd at Hazael*—i'w wobrwyo ef am beidio ymosod ar Jerusalem. Fel hyn efe a brynodd heddwch yn rhy ddrud, yr hwn ni pharhaodd ond am dymor byr yn unig; canys y flwyddyn ganlynol dychwelodd y Syriaid i ail ymosod arno: gwel ar 2 Cron. xxiv. 23. Dylasai Joas ymladd â'i elyn yn lle ei wobrwyo ef; ac yr oedd yspeilio tŷ yr Arglwydd i wneyd hyny yn annuwioldeb o'r fath waethaf! Ond hyn oedd effaith ei wrthgiliad ef oddiwrth yr Arglwydd ar ol marw Jehoiada, yr hyn a gostiodd iddo ei fywyd.

Adn. 19. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 20. *A'i weision ef*] Y ddau a enwir yn adn. 21; *a gydfwriadasant fradwriaeth*—nid i gael yr orsedd oddiwrtho ef, ond i ddial gwaed Zechariah, yr hwn a'i ceryddasai ef am ei eilunaddoliaeth, ac a labyddiwyd am hyny, 2 Cron. xxiv. 20, 21. *Ac a laddasant Joas yn nhŷ Milo*—yn yr amddiffynfa frenhinol hòno ag ydoedd rhwng hen ddinas Jerusalem a dinas Dafydd, i ba le y ffoisai efe i ymguddio: gwel ar 1 Bren. ix. 15. *Wrth ddyfod i waered i Sila*—Sila oedd enw y ffordd ag ydoedd yn arwain i'r amddiffynfa uchod, lle y clwyfwyd ef gan y Syriaid; ac wedi iddo fyned i orwedd yn archolledig ar ei wely yn Milo, lladdwyd ef yno gan ei weision, 2 Cron. xxiv. 25.

Adn. 21. *A hwy a'i claddasant ef gyda'i dadau yn ninas Dafydd*] Yn yr un ddinas, ond nid yn yr un bedd, fel y dysgwn oddiwrth 2 Cron. xxiv. 25; a thrwy hyny danghosid anfoddlonrwydd iddo am ladd Zechariah. *Ac Amasiah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—gwel ar pen. xiv. 1, &c.

PEN. XIII. Adn. 1. *Yn y drydedd flwyddyn ar hugain i Joas*] Brenin Juda, y dechreuodd Joachaz mab Jehu deyrnasu ar Israel; *a dwy flynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe*—pedair blynedd ar ddeg ei hunan, a'r tair olaf ar unwaith a Joas ei fab: gwel ar adn. 10. Gan fod Joachaz bob amser mewn rhyfel â'r Syriaid, ac o hyd mewn perygl o gael ei ladd, efe a osododd ei fab i gyd-deyrnasu âg ef yn ystod y tair blynedd olaf o'i fywyd, fel y byddai gan Israel frenin parod os lleddid ef. Y mae hyn yn cysoni yr amseryddiaeth âg adn. 10. Gan i Joas brenin Juda deyrnasu 40 mlynedd, pen. xii. 1, ac i Joachaz deyrnasu 17 mlynedd ar ol y 23ain uchod i Joas, rhaid fod y ddau frenin hyn wedi marw oddeutu yr un amser.

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] Trwy lynu, fel holl frenhinoedd Israel o'i flaen ef, wrth addoliad y lloi aur: gwel ar pen. x. 29.

Adn. 3. *A digofaint yr Arglwydd a lidiodd yn erbyn Israel*] Am eu bod oll yn cyduno â'u brenin i'w ddigio ef trwy eu heilunaddoliaeth gwastadol; *ac efe a'u rhoddodd hwynt yn llaw Hazael*—yn ol rhagfynegiad Eliseus, pen. viii. 12; *eu holl ddyddiau hwynt*—sef holl ddyddiau Hazael a Benhadad; neu, yn hytrach, holl ddyddiau Joachaz, yn y rhai y bu yn teyrnasu ei hunan, adn. 22.

Adn. 4. *A Joachaz a erfyniodd ar yr Arglwydd*] Gan wybod nad allai y lloi aur, gwrthddrychau cyffredin ei addoliad, ei waredu ef; *a gwrandawodd yr Arglwydd arno ef*—am fod yn hoff ganddo drugarhau; *o herwydd iddo ganfod gorthrymder Israel*—y modd y llosgid eu hamddiffynfeydd â thân, y lleddid eu gwŷr ieuainc â'r cleddyf, y pwyid eu plant yn erbyn y meini, ac y rhwygid eu gwragedd beichiogion! pen. viii. 12.

Adn. 5. *A'r Arglwydd a roddodd achubwr i Israel*] Sef Joas mab Joachaz, adn. 25; *a meibion Israel a drigiasant yn eu pebyll fel cynt*—mewn heddwch a diogelwch: nid yn unig yn eu dinasoedd caerog, ond hefyd yn eu pebyll yn y maes.

Adn. 6. *Eto ni throisant hwy oddiwrth bechodau tŷ Jeroboam*] Er eu holl orthrym-

bechodau tŷ Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Israel bechu, *eithr* rhodiasant ynddynt hwy: a'r llwyn hefyd a safai yn Samaria.)

7 Ac ni adawodd efe i Joachaz *o'r* bobl, ond deg-a-deugain o wŷr meirch, a deg cerbyd, a deng mil o wŷr traed: o herwydd brenin Syria a'i dinystriasai hwynt, ac a'u gwnaethai hwynt fel llwch wrth ddyrnu.

8 A'r rhan arall o hanes Joachaz, a'r hyn oll a wnaeth efe, a'i gadernid, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?

9 A Joachaz a hunodd gyda'i dadau, a chladdasant ef yn Samaria, a Joas ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

10 ¶ Yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Joas brenin Juda, y teyrnasodd Joas mab Joachaz ar Israel yn Samaria: un mlynedd ar bymtheg *y teyrnasodd efe.*

11 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: ni thrôdd efe oddiwrth holl bechodau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu; *eithr* efe a rodiodd ynddynt.

12 A'r rhan arall o hanes Joas, a'r hyn oll a wnaeth efe, a'i gadernid, *trwy* yr hwn yr ymladdodd efe âg Amasiah brenin Juda, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?

13 A Joas a hunodd gyda'i dadau, a Jeroboam a eisteddodd ar ei deyrn-gadair ef: a Joas a gladdwyd yn Samaria gyda brenhinoedd Israel.

14 ¶ Ac yr oedd Eliseus yn glaf o'r clefyd y bu efe farw o hono, a Joas brenin Israel a ddaeth i waered ato ef, ac a ŵylodd ar ei wyneb ef, ac a ddywedodd, O fy nhad, fy nhad! cerbyd Israel, a'i farchogion!

15 Ac Eliseus a ddywedodd wrtho

---

der gan y Syriaid, ac er eu gwaredu o hono gan yr Arglwydd, yr oeddynt fyth yn glynu yn addoliad y lloi aur, yr hyn oedd yn brawf o galedrwydd calon ac anniolchgarwch dirfawr! *A'r llwyn hefyd a safai yn Samaria*—yr oeddynt nid yn unig yn addoli y lloi aur, ond hefyd Astarte, Asteroth, neu Venus: gwel ar 1 Bren. xvi. 33.

Adn. 7. *Ac ni adawodd efe*] Sef brenin Syria, yr hwn a orthrymai Israel mor drwm. Y mae yr adnod hon yn cysylltu âg adn. 4, trwy fod adn. 5, 6, mewn cromfachau. *O'r bobl*—sef o fyddin Israel, er iddo ladd llawer o'r plant a'r mamau hefyd. *Fel llwch wrth ddyrnu*—efe a'u drylliodd ac a'u malodd yn llwch, fel y dryllir grawn weithiau wrth ddyrnu. Arferodd Hazael y creulondeb mwyaf tuag atynt, yn ol gair Eliseus, pen. viii. 12.

Adn. 8. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 9. *A Joachaz a hunodd gyda'i dadau*] A fu farw fel ei dadau; *a chladdasant ef yn Samaria*—lle y cleddid pawb o frenhinoedd Israel; *a Joas ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn oedd yr ail o'r bedwaredd genhedlaeth a addawyd pen. x. 30.

Adn. 10. *Yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Joas brenin Juda*] Dyma pryd y dechreuodd Joas brenin Israel gyd-deyrnasu â Joachaz ei dad, yr hwn oedd wedi bod ar yr orsedd 14 o flynyddoedd cyn hyn, ac a fu yn frenin 17 o flynyddoedd yn y cwbl, adn. 1. *Un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe*—nid wedi marw ei dad, ond o'r amser ag y dechreuodd efe gyd-deyrnasu â'i dad.

Adn. 11. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Fel Joachaz ei dad: gwel ar adn. 2.

Adn. 12. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 13. *A Joas a hunodd gyda'i dadau*] Gwel ar adn. 9.

Adn. 14. *Ac yr oedd Eliseus yn glaf o'r clefyd y bu efe farw o hono*] Canys nid oedd y proffwydi yn byw byth, nac yn rhydd oddiwrth glefydau mwy na dynion ereill. Er i Elias gael myned i'r nef heb farw, eto ni chafodd Eliseus y fraint hòno, eithr efe a fu farw. Meddylir i hyn gymeryd lle yn y 10fed flwyddyn i Joas, ac felly rhaid fod Eliseus wedi bod yn proffwydo am oddeutu 65 o flynyddau yn y cwbl. Yr oedd yn drugaredd fawr i Israel, ac yn enwedig i feibion y proffwydi, iddo ef barhau mor hir yn llosgi ac yn goleuo. Yn ystod yr oll o'r rhan ddiweddaf o'i oes, er pan eneiniwyd Jehu, yr hyn oedd 45 o flynyddau cyn i Joas ddechreu teyrnasu, nid ydym yn cael crybwylliad am dano ef na'i weithredoedd, nes y cawn ef yma ar ei wely angau; ond diamau iddo ef barhau yn ffyddlon yn ei waith hyd y diwedd. *A Joas brenin Israel a ddaeth i waered ato ef*—o'i balas brenhinol i dŷ y proffwyd; *ac a ŵylodd ar ei wyneb ef*—oddiar yr ystyriaeth y byddai ei farwolaeth ef yn golled fawr i'r holl wlad; *ac a ddywedodd*—yr un geiriau ag a ddywedasai Eliseus ei hun ar ymadawiad Elias, y rhai yr ymddengys eu bod wedi dyfod yn ddiareb ar farwolaeth dyn da byth wedi hyny. *O fy nhad, fy nhad! cerbyd Israel, a'i farchogion!*—yr hwn wyt yn well i Israel, trwy dy weddiau a'th gynghorion, na llawer o gerbydau a marchogion rhyfel: gwel ar pen. ii. 12.

Adn. 15. *Cymer fwa a saethau*] I arddangos ei ryfeloedd ef â'r Syriaid, a'i fuddugoliaeth arnynt. Yr oedd y cyfryw gan filwyr Joas, y rhai a ddaethent gydag ef yn warchawdlu iddo.

ef, Cymer fwa a saethau. A efe a gymerth fwa a saethau.

16 Ac efe a ddywedodd wrth frenin Israel, Dod dy law ar y bwa. Ac efe a roddodd ei law: ac Eliseus a osododd ei ddwylaw ar ddwylaw y brenin.

17 Ac efe a ddywedodd, Agor y ffenestr tua'r dwyrain. Yntau a'*i* hagorodd. Yna y dywedodd Eliseus, Saetha. Ac efe a saethodd. Dywedodd yntau, Saeth ymwared yr Arglwydd, a saeth ymwared rhag Syria; a thi a darewi y Syriaid yn Aphec, nes *eu* difa *hwynt.*

18 Hefyd efe a ddywedodd, Cymer y saethau. Ac efe a'*u* cymerodd. Ac efe a ddywedodd wrth frenin Israel, Taro y ddaear. Ac efe a darawodd dair gwaith, ac a beidiodd.

19 A gŵr Duw a ddigiodd wrtho ef, ac a ddywedodd, *Dylesit* daro bump neu chwech o weithiau, yna y tarawsit Syria nes *ei* difa: ac yn awr tair gwaith y tarewi Syria.

20 ¶ Ac Eliseus a fu farw, a hwy a'i claddasant ef. A minteioedd o'r Moabiaid a ddaethant i'r wlad y flwyddyn hòno.

21 A phan oeddynt hwy yn claddu gŵr, wele, hwy a ganfuant dorf, ac a fwriasant y gŵr i feddrod Eliseus. A phan aeth y gŵr i lawr a chyffwrdd âg esgyrn Eliseus, efe a ddadebrodd, ac a gyfododd ar ei draed.

22 ¶ A Hazael brenin Syria a orthrymodd Israel holl ddyddiau Joachaz.

23 A'r Arglwydd a drugarhaodd wrthynt hwy, ac a dosturiodd wrth-

---

Adn. 16. *Dod dy law ar y bwa*] Ei law aswy ar ganol y bwa, dros y rhigol lle y gorweddai y saeth, tra yr oedd ei law ddeau ar y llinyn wrth fôn y saeth, fel yr arferai wneyd wrth saethu. *Ac Eliseus a osododd ei ddwylaw ar ddwylaw y brenin*—i arwyddo, er mai Joas oedd i dynu y bwa yn y rhyfel, eto mai yr Arglwydd, yr hwn a gynrychiolid gan y proffwyd, oedd i beri y fuddugoliaeth.

Adn. 17. *Agor y ffenestr tua'r dwyrain*] Sef tua'r wlad tuhwnt i'r Iorddonen, yr hon a gymerasai y Syriaid oddiar Israel, pen. x. 33. *Saetha*—yn ol yr hen arferiad o daflu saeth neu waewffon i wlad cyn dechreu ymosod arni: gwel *Just.* llyfr ii., a *Virg. Æneid,* llyfr ix. llin. 51. *Saeth ymwared yr Arglwydd*—neu arwydd o'r ymwared a ddyry yr Arglwydd i ti o law y Syriaid. *A thi a darewi y Syriaid yn Aphec*—lle yr ymwersyllent yn erbyn Israel. Ond myn rhai ei ddarllen, '*fel* yn Aphec:' gwel 1 Bren. xx. 26, &c.

Adn. 18. *Cymer y saethau*] Sef rhai ereill ag oeddynt yn y cawell. *Taro y ddaear*—â saeth oddiar y bwa. Fel yr oedd yr arwydd blaenaf yn arddangos ei fuddugoliaeth, felly yr oedd yr ail arwydd hwn yn arddangos nifer ei fuddugoliaethau. *Ac efe a darawodd dair gwaith*—y mae yn debyg i'r proffwyd beri iddo saethu tua'r ddaear amrai weithiau, fel arwydd o amrai fuddugoliaethau; ac mewn ufydd-dod iddo efe a wnaeth hyny dair gwaith yn olynol; *ac a beidiodd*—am ei fod yn meddwl fod hyny yn ddigon, neu am y tybiai fod peth fel hyn yn chware rhy isel a phlentynaidd iddo ef fel brenin.

Adn. 19. *A gŵr Duw a ddigiodd wrtho ef*] Am iddo naill ai dirmygu yr arwydd, neu ynte feddwl fod yn anmhosibl iddo luosogi ei fuddugoliaethau ar fyddin mor rymus ag eiddo y Syriaid. *Dylesit daro bump neu chwech o weithiau*—i arwyddo y cawsit bump neu chwech o fuddugoliaethau ar y Syriaid, yr hyn a fuasai yn eu dyfetha yn hollol; *ac yn awr tair gwaith y tarewi Syria*—ac felly yr gwnaeth, adn. 25. Tybia rhai mai o'r Arglwydd y bu na tharawodd Joas ond tair gwaith, am mai tair buddugoliaeth a fwriadai efe iddo; ac na ddigiodd Duw wrtho, er i Eliseus wneuthur.

Adn. 20. *Ac Eliseus a fu farw*] Yn fuan ar ol i Joas fyned oddiwrtho; *a hwy a'i claddasant ef*—ond odid yn Samaria; er y tybia rhai mai yn mynydd Carmel, neu yn meddrod ei dadau tuhwnt i'r Iorddonen, 1 Bren. xix. 19. *A minteioedd y Moabiaid a ddaethant i'r wlad*—i'w hanrheithio hi, *y flwyddyn hòno*—yn fuan ar ol claddu Eliseus.

Adn. 21. *Ac fel yr oeddynt hwy yn claddu gŵr*] Fel yr oedd rhai o Israel yn myned â rhyw ŵr i'w gladdu, a chyn eu dyfod i'r fan lle y bwriadent ei gladdu; *wele, hwy a ganfuant dorf*—o'r Moabiaid uchod yn dyfod i yspeilio y wlad; *ac a fwriasant y gŵr i feddrod Eliseus*—yr hwn oedd yn dygwydd bod yn y fan lle yr oeddynt pan y gwelsant y Moabiaid: symudasant ryw gareg, neu agorasant ryw ddrws, i ollwng y corff i lawr at gorff y proffwyd, fel ag i allu dianc rhag y Moabiaid. *A phan aeth y gŵr i lawr, a chyffwrdd âg esgyrn Eliseus*—hyny yw, cyn gynted ag y cyffyrddodd corff y gŵr â chorff y proffwyd; *efe a ddadebrodd*—adfywiodd y gŵr, cododd ar ei draed yn ngwaelod y bedd, a cherddodd allan yn ddiamau; canys nid oeddid yn claddu mewn eirch yn y wlad hòno, eithr mewn amdo yn unig. Effeithiwyd y wyrth hon, nid gan esgyrn y proffwyd, ond gan allu Duw, yr hwn a ewyllysiai trwy hyn, (1) Anrhydeddu y proffwyd santaidd hwnw; (2) Selio a chadarnhau ei athrawiaeth a'i broffwydoliaethau ef; ac, (3) Gadarnhau ffydd Joas a'r Israeliaid yn yr addewidion a roddasai efe iddynt o lwyddiant yn erbyn y Syriaid.

Adn. 22. *Holl ddyddiau Joachaz*] Sef yr holl ddyddiau ag y bu ef yn teyrnasu ei hunan cyn gosod ei fab i gyd-deyrnasu âg ef, adn. 3.

ynt hwy, ac a drôdd atynt hwy, er
mwyn ei gyfammod âg Abraham,
Isaac, a Jaçob, ac ni fynai eu di-
nystrio hwynt, ac ni fwriodd efe
hwynt allan o'i olwg hyd yn hyn.
24 Felly Hazael brenin Syria a
fu farw; a Benhadad ei fab a deyrn-
asodd yn ei le ef.
25 A Joas mab Joachaz a ennill-
odd yn eu hol o law Benhadad mab
Hazael, y dinasoedd a ddygasai efe
o law Joachaz ei dad ef mewn rhy-
fel: Joas a'i tarawodd ef dair
gwaith, ac a ddyg adref ddinasoedd
Israel.

## PENNOD XIV.

YN yr ail flwyddyn i Joas mab Jo-
achaz brenin Israel y teyrnasodd
Amasiah mab Joas brenin Juda.
2 Mab pum mlwydd ar hugain
oedd efe pan aeth yn frenin, a naw
mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe
yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd*
Joadan o Jerusalem.
3 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd, eto
nid fel Dafydd ei dad; *ond* efe a
wnaeth yn ol yr hyn oll a wnaethai
Joas ei dad ef.
4 Er hyny ni thynwyd ymaith yr
uchelfeydd: y bobl oedd eto yn
aberthu ac yn arogldarthu yn yr
uchelfeydd.
5 A phan sicrhawyd ei deyrnas
yn ei law ef, efe a laddodd ei weis-
ion y rhai a laddasent y brenin ei
dad ef.
6 Ond ni laddodd efe feibion y
lleiddiaid; fel y mae yn ysgrifen-
edig yn llyfr cyfraith Moses, yn yr
hon y gorchymynasai yr Arglwydd,
gan ddywedyd, Na ladder y tadau

---

Adn. 23. *A'r Arglwydd a drugarhaodd wrthynt hwy*] Er eu bod yn ymlynu wrth addoliad y lloi aur; *ac a dosturiodd wrthynt*—wrth weled eu hadfyd a'u caledi; *ac a drôdd atynt*—i'w gwaredu; *er mwyn ei gyfammod*—â'u tadau, yr hwn, er ei wneuthur lawer o oesoedd yn ol, a'i dori yn barhaus gan eu hiliogaeth, eto a gòfid yn drugarog gan Dduw o hyd er daioni iddynt; *ac ni fynai eu dinystrio hwynt*—o herwydd ei gyfammod â'u tadau, a'i hoffder i drugarhau; *ac ni fwriodd efe hwynt allan o'i olwg*—o wlad Canaan, i'r hon yr oedd presenoldeb neillduol Duw, a'i addoliad edmygol ef, yn awr yn gyfyngedig; *hyd yn hyn*—er iddynt wedi hyny gael eu caethgludo allan o honi am eu pechodau cildyn.

Adn. 24. *Felly Hazael brenin Syria a fu farw*] Ar ol ei holl greulondeb tuag at Israel; *a Benhadad ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—Benhadad oedd enw y brenin a laddwyd gan Hazael; ac y mae yn debyg iddo roddi yr enw hwn ar ei fab cyn ei ladd ef, o barch i'w frenin.

Adn. 25. *A Joas mab Joachaz a ennillodd yn eu hol o law Benhadad*] Y dinasoedd hyny tuhwnt i'r Iorddonen, y rhai a gymerasai ei dad ef oddiar y ddau lwyth a hanner, pen. x. 33. *Joas a'i tarawodd ef dair gwaith*—yn ol rhagfynegiad Eliseus, adn. 19. Er nad oes genym hanes am y brwydrau hyn, eto y mae yn eglur i'r Syriaid gael eu gorchfygu, trwy i Joas ennill dinasoedd Israel o'u llaw hwynt.

PEN. XIV. Adn. 1. *Yn yr ail flwyddyn i Joas*] Gan i dad Joas brenin Israel farw tua'r un amser â thad Amasiah brenin Juda, rhaid fod hyn yn cyfeirio at yr ail flwyddyn o gydlywodraeth... deyrnasiad Joas â'i dad: gwel ar pen. xiii. 1, 10.

Adn. 2. *Naw mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem*] Sef 14 o flynyddoedd ar unwaith â Joas brenin Israel, a 15 mlynedd ar ei ol ef, fel y dywedir yn adn. 17; *ac enw ei fam ef oedd Joadan o Jerusalem*—yr hon a elwir Jehoadan, 2 Cron. xxv. 1.

Adn. 3. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union yn ngolwg yr Arglwydd*] Yn nechre ei deyrnasiad; *eto nid fel Dafydd ei dad*—nid yn yr un ysbryd o ffydd a dyhewyd, na chyda'r un cywirdeb, penderfyniad, a pharhad: *ond efe a wnaeth yn ol yr hyn oll a wnaethai Joas ei dad*—yr hwn am amser a wasanaethodd Dduw yn iawn, ac wedi hyny a syrthiodd i eilunaddoliaeth; ac felly y gwnaeth Amasiah: gwel ar 2 Cron. xxiv. 18, a xxv. 14.

Adn. 4. *Er hyny ni thynwyd ymaith yr uchelfeydd*] Gwel ar pen. xii. 3.

Adn. 5. *A phan sicrhawyd ei deyrnas yn ei law ef*] Wedi iddo ennill serch y bobl trwy eu llywodraethu yn dda, a thyngu o bawb ffyddlondeb iddo ef; *efe a laddodd ei weision*—cyhuddodd hwynt o lofruddio Joas ei dad, profwyd hwynt yn euog mewn llys barn, a rhoddwyd hwynt i farwolaeth yn ol eu haeddiant. Ymddengys fod y dynion drygionus hyny, *Jozachar* a *Jozabad*, mewn swyddau yn y llys, ac yn meddu cryn lawer o ddylanwad, fel ag y buasai yn beryglus i Amasiah eu cospi hwynt yn gynt, yn enwedig drwy fod ei dad ef wedi myned yn ffiaidd yn ngolwg y bobl ar gyfrif ei eilunaddoliaeth, a'i lofruddiad o offeiriad a phroffwyd yr Arglwydd: gwel ar 2 Cron. xxiv. 21—26.

Adn. 6. *Ond ni laddodd efe feibion y lleiddiaid*] Yr hyn oedd yn brawf o'i dynerwch ef, a'i ofal manwl i ddylyn cyfiawnder, a chadw cyfraith Dduw, er y gallai ofni y buasai i'r rhai hyn rywbryd ddial gwaed eu tadau ar ei ben ef; *fel y mae yn ysgrifenedig*—gwel ar Deut. xxiv. 16.

Adn. 7. *Ac efe a darawodd o'r Edomiaid*] Gwel y rhyfel hon yn cael ei hadrodd yn

dros y meibion, ac na ladder y meib-
ion dros y tadau; ond lladder pob
un am ei bechod ei hun.
7 Efe a darawodd o'r Edomiaid,
yn nyffryn yr halen, ddeng mil, ac
a ennillodd y graig mewn rhyfel,
ac a alwodd ei henw Joctheel, hyd
y dydd hwn.
8 ¶ Yna Amasiah a anfonodd gen-
adau at Joas mab Joachaz, mab
Jehu brenin Israel, gan ddywedyd,
Tyred, gwelwn wyneb ein gilydd.
9 A Joas brenin Israel a anfonodd
at Amasiah brenin Juda, gan ddy-
wedyd, Yr ysgellyn yn Libanus a
anfonodd at y gedrwydden yn Li-
banus, gan ddywedyd, Dyro dy
ferch i'm mab i yn wraig. A bwyst-
fil y maes yr hwn *oedd* yn Libanus
a dramwyodd ac a sathrodd yr ys-
gellyn.
10 Gan daro y tarewaist yr
Edomiaid, am hyny dy galon a'th
falchïodd: ymffrostia, ac eistedd yn
dy dŷ: canys i ba beth yr ymyri
i'th ddrwg dy hun, fel y syrthit ti,
a Juda gyda thi?
11 Ond ni wrandawai Amasiah.
Am hyny Joas brenin Israel a aeth
i fyny, a hwy a welsant wynebau eu
gilydd, efe ac Amasiah brenin Juda,
yn Bethsemes, yr hon *sydd* yn Juda.
12 A Juda a darawyd o flaen Is-
rael; a hwy a ffoisant bawb i'w
pebyll.
13 A Joas brenin Israel a ddal-

---

fanylach yn 2 Cron. xxv. 5—13; *yn nyffryn yr halen*—yn ngwlad Edom; *ddeng mil*—y rhai a laddodd efe, heblaw deng mil ereill a ddaliwyd ganddo yn fyw, ac a fwriwyd i lawr o ben y graig; *ac a ennillodd y graig*—Saes. *Selah*, prifddinas yr Edomiaid yn Arabia Garegog; *ac a alwodd ei henw Joctheel*—yr hyn a arwydda 'ufydd-dod i Dduw,' mewn cyfeiriad at ei ufydd-dod ef i orchymyn Duw fe allai, yr hwn a barodd iddo droi byddin Israel yn ol, (2 Cron. xxv. 7—10,) ac i gydnabod mai am yr ufydd-dod hwnw y rhoisai Duw y fuddugoliaeth hon iddo ef.

Adn. 8. *Yna Amasiah a anfonodd genadau at Joas*] I'w herio ef i ryfel. Wedi i Amasiah droi byddin Israel adref, fel y sylwyd uchod, hwy a ddigiasant yn ddirfawr, rhuthrasant ar ddinasoedd Juda, lladdasant dair mil o'r trigolion, ac ysglyfaethasant anrhaith fawr, 2 Cron. xxv. 13; ac wedi i Amasiah ddychwelyd o ladd yr Edomiaid, ac yn chwyddedig o herwydd ei lwyddiant, efe a anfonodd her i Joas ymladd âg ef, fel y cai efe gyfle i ddial y sarhad a wnaethai milwyr Joas yn ninasoedd Juda. *Tyred, gwelwn wyneb ein gilydd*—nid mewn heddwch, ond i ymladd; nid hwy ill dau yn unig, ond eu milwyr o bob tu ar faes y gwaed.

Adn. 9. *A Joas brenin Israel a anfonodd at Amasiah brenin Juda*] Ond odid gyda chenadau Amasiah, ar eu dychweliad oddiwrth Joas at eu meistr. *Yr ysgellyn yn Libanus a anfonodd at y gedrwydden yn Libanus*—yn y genadwri ddammegol hon cydmharai Joas Amasiah i *ysgellyn* gwael, er ei ddirmygu, ac i ddangos nad oedd efe yn ei ofni mwy na draenen; a chydmharai ei hun i *gedrwydden* fawr, gref, a brigog; ac arwyddai nad oedd Amasiah, o'i gydmharu âg ef, ddim mwy nag ysgellyn o'i gydmharu â chedrwydden. *Dyro dy ferch i'm mab i yn wraig*—fel pe dywedasai, Pe buasit yn gofyn am heddwch a chyfeillgarwch â mi, dirmygaswn di fel un gymaint islaw i mi ag yw ysgellyn islaw cedrwydden; a pha faint mwy felly yn awr, pan yr wyt yn danfon her i ymladd yn y fath fodd balch a chwyddedig! *A bwystfil y maes—a sathrodd yr ysgellyn*—a thyna ddiwedd ar yr ysgellyn uchelfrydig, ac ar ei gynygiad o ymgyfathrachu â'r gedrwydden. Y meddwl yw, y gorchfygai Joas Amasiah a'i fyddin, cyn hawdded ag y sathrai bwystfil y maes ysgellyn gwan. Ond tybia rhai mai ystyr y geiriau, 'Dyro fy ferch i'm mab i yn wraig,' yw, *Boed i ni fyned yn nghyd i ymladd;* ond ei fod yn gosod y gwaith gwaedlyd a dinystriol hwnw allan mewn iaith foesgar neu esmwyth, fel y gwnaethai Amasiah yn adn. 8, ac Abner yn 2 Sam. ii. 14: neu boed i'th deyrnas di a'm teyrnas inau gael eu huno dan un brenin, fel yr oeddynt ar y cyntaf; a bydded i ni benderfynu, trwy ryfel benodedig, pa un ai ti ynte fi fydd y brenin hwnw.

Adn. 10. *Gan daro y tarewaist yr Edomiaid*] Corff o wŷr egwan, anfedrus, a diarfog; *am hyny dy galon a'th falchïodd*—gan feddwl y medri gario y cwbl o'th flaen, neu ddarostwng holl fyddinoedd cryfion Israel yr un mor hawdd. *Ymffrostia, ac eistedd yn dy dŷ*—ymorfoledda yn dy fuddugoliaeth ar yr Edomiaid gartref yn mhlith dy gyfeillion, yn lle herio ereill i ymladd â thi: *canys i ba beth yr ymyri i'th ddrwg dy hun*—fel ag i golli dy fywyd dy hun, a bywyd dy filwyr hefyd? Fel hyn yr oedd atebiad Joas yn llawn mor drahaus a chenadwri Amasiah, ac yn ddirmyg o'r mwyaf ar dŷ Dafydd a theyrnas Juda.

Adn. 11. *Ond ni wrandawai Amasiah*] 'Canys oddiwrth Dduw yr oedd hyny,' i'w gospi ef am ei eilunaddoliaeth gwarthus, 2 Cron. xxv. 14, 20. *Am hyny Joas brenin Israel a aeth i fyny*—i wlad ei elynion, sef i Bethsemes yn llwyth Juda, i'w gwahaniaethu oddiwrth leoedd o'r un enw yn Issacar a Naphtali; *a hwy a welsant wynebau eu gilydd*—ar faes y gwaed, yn ol yr heriad yn adn. 8.

Adn. 12. *A Juda a darawyd o flaen Israel*] Dywed Josephus iddynt gael eu taro â dychryn yn y fan, nes y ffoisant bawb i'w cartref cyn iddynt ddechreu ymladd, gan adael eu brenin ar ol i drugaredd ei elynion. Y mae yn debyg nad oeddynt yn foddlon i'r achos o'r

iodd Amasiah brenin Juda, mab Joas, mab Ahaziah, yn Bethsemes, ac a ddaeth i Jerusalem, ac a dorodd i lawr fur Jerusalem, o borth Ephraim hyd borth y gongl, bedwar can cufydd.

14 Ac efe a gymerth yr holl aur a'r arian, a'r holl lestri a'r a gafwyd yn nhŷ yr Arglwydd, ac yn nhrysorau tŷ y brenin, a gwystlon, ac a ddychwelodd i Samaria.

15 ¶ A'r rhan arall o hanes Joas, yr hyn a wnaeth efe, a'i gadernid, ac fel yr ymladdodd efe âg Amasiah brenin Juda, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?

16 A Joas a hunodd gyda'i dadau, ac a gladdwyd yn Samaria gyda brenhinoedd Israel; a Jeroboam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

17 ¶ Ac Amasiah mab Joas brenin Juda a fu fyw ar ol marwolaeth Joas mab Joachaz brenin Israel bymtheg mlynedd.

18 A'r rhan arall o hanes Amasiah, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?

19 Ond hwy a frad-fwriadasant yn ei erbyn ef yn Jerusalem; ac efe a ffôdd i Lachis: eto hwy a anfonasant ar ei ol ef i Lachis, ac a'i lladdasant ef ynô.

20 A hwy a'i dygasant ef ar feirch, ac efe a gladdwyd yn Jerusalem gyda'i dadau, yn ninas Dafydd.

21 ¶ A holl bobl Juda a gymerasant Azariah, (ac yntau yn fab un mlwydd ar bymtheg,) ac a'i hurddasant ef yn frenin yn lle Amasiah ei dad.

22 Efe a adeiladodd Elath, ac a'i rhoddodd hi drachefn i Juda, ar

---

cweryl, a'u bod wedi digaloni o herwydd eilunaddoliaeth eu brenin, ac iddynt gael eu taro gan Dduw âg ysbryd ofn.

Adn. 13. *A Joas brenin Israel a ddaliodd Amasiah*] Yn garcharor rhyfel; ond ni laddwyd ef y pryd hyn, canys dywedir iddo oroesi Joas bymtheg mlynedd, adn. 17; *ac a ddaeth i Jerusalem*—ac Amasiah gydag ef, 2 Cron. xxv. 23; *ac a dorodd i lawr fur Jerusalem*—er gwanychu y ddinas, fel na allai y trigolion eu hamddiffyn eu hunain ynddi; *bedwar can cufydd*—neu oddeutu 200 o latheni. Dywed Josephus i Joas farchogaeth yn ei gerbyd i'r ddinas trwy y bwlch hwn, mewn ffordd o fuddugoliaeth.

Adn. 14. *Ac efe a gymerth yr holl aur, &c.*] Efe a yspeiliodd Jerusalem, ac a ddygodd ymaith bob peth gwerthfawr o dŷ yr Arglwydd, ac o drysorau tŷ y brenin; *a gwystlon*—meddylir i Amasiah roddi rhai o'i bendefigion, neu rywrai o'i deulu ei hun, yn wystlon am ei ryddid, neu i fechnïo na chodai efe mwyach i aflonyddu brenin Israel; *ac a ddychwelodd i Samaria*—heb geisio meddiannu teyrnas Juda, yr hon y tybiai nas gallai ei chadw yn ei feddiant, trwy fod ganddo gymaint i'w wneyd â'r Syriaid, ei elynion parhaus; a diamau fod Duw yn tueddu ei galon ef i hyny, fel y gallai gyflawni ei addewid i Dafydd a'i dŷ.

Adn. 15. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 16. *A Joas a hunodd gyda'i dadau*] Gwel ar pen. xiii. 9; *a Jeroboam ei fab*—yr hwn oedd y trydydd o'r pedair cenhedlaeth addawedig i eistedd ar orseddfainc Israel, pen. x. 30.

Adn. 17. *Bymtheg mlynedd*] Gwel ar adn. 2.

Adn. 18. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 19. *Ond hwy a frad-fwriadasant yn ei erbyn ef yn Jerusalem*] Sef rhieni y plant a roddasai Amasiah yn wystlon i Joas brenin Israel fe allai: gwel ar adn. 14. Yr oedd hyn, yn nghyda'i falchder, a'i faeddiad gan Joas, ac yn enwedig ei eilunaddoliaeth, (2 Cron. xxv. 14,) wedi ei wneuthur ef yn dra anmhoblogaidd yn Jerusalem; fel ag yr oedd, am y rhan fwyaf o'r pymtheng mlynedd diweddaf o'i oes, yn cael ei gasâu a'i ofidio yn barhaus gan ei ddeiliaid ei hun. *Ac efe a ffôdd i Lachis*—dinas yn llwyth Juda, ar gyffiniau gwlad y Philistiaid, oddeutu 22 o filldiroedd yn ddeau-orllewinol o Jerusalem; *ac a'i lladdasant ef yno*—yn ddiatreg ar ol iddo ffoi yno, fel y mae yn naturiol meddwl; er y tybia rhai iddo fyw yno am 12 mlynedd ar ol ffoi o Jerusalem.

Adn. 20. *A hwy a'i dygasant ef ar feirch*] Sef 'gyda meirch,' neu mewn elor-gerbyd a lusgid gan feirch; *ac efe a gladdwyd yn Jerusalem*—canys nid oedd cynddaredd ei wrthwynebwyr yn ymestyn tuhwnt i'w farwolaeth ef, nac yn gwahardd iddo gladdedigaeth gyda'i henafiaid.

Adn. 21. *A holl bobl Juda a gymerasant Azariah*] I ddangos fod eu hymlyniad hwy wrth dŷ Dafydd o hyd, ac nad oedd eu cweryl hwy ond yn erbyn Amasiah yn unig, am ei ddrwg personol ef. Gelwir Azariah yn Uzziah yn pen. xv. 13, 30, 32, 34, a 2 Cron. xxvi. 1. Y mae y ddau enw yn meddwl bron yr un peth: *Azariah*—'cymhorth yr Arglwydd;' *Uzziah*—'nerth yr Arglwydd.' *Ac a'i hurddasant ef yn frenin*—ond dylid sylwi na wnaed hyn hyd ddeuddeng mlynedd ar ol marwolaeth ei dad. Bu Amasiah farw yn y 15fed flwyddyn i Jeroboam, fel y gwelwn wrth gydmharu adn. 23 gyda'r adnodau blaenorol; eithr ni ddechreuodd Azariah deyrnasu hyd y 27ain i Jeroboam, pen. xv. 1; canys nid oedd efe ond 4 blwydd oed ar farwolaeth ei dad: felly bu llywodraeth Juda yn nwylaw rhaglawiaid am ddeuddeng mlynedd, nes y daeth

ol huno o'r brenin gyda'i dadau.
23 ¶ Yn y bymthegfed flwyddyn
i Amasiah mab Joas brenin Juda
y teyrnasodd Jeroboam mab Joas
brenin Israel yn Samaria; un mlyn-
edd a deugain *y teyrnasodd efe.*
24 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: ni
chiliodd efe oddiwrth holl bechod-
au Jeroboam mab Nebat, yr hwn a
wnaeth i Israel bechu.
25 Efe a ddyg adref derfyn Is-
rael o'r lle yr eir i mewn i Hamath
hyd fôr y rhos, yn ol gair Arglwydd
Dduw Israel, yr hwn a lefarasai efe
trwy law ei was Jonah mab Amittai
y proffwyd, yr hwn *oedd* o Gath-
Hepher.
26 Canys yr Arglwydd a welodd
gystudd Israel yn flin iawn: canys
nid *oedd neb* gwarchäedig, na *neb*
wedi ei adael, na chynorthwydd i
Israel.
27 Ac ni lefarasai yr Arglwydd
y dileai efe enw Israel odditan y
nefoedd: ond efe a'u gwaredodd
hwynt trwy law Jeroboam mab Joas.
28 ¶ A'r rhan arall o hanes Je-
roboam, a'r hyn oll a'r a wnaeth
efe, a'i gadernid ef, y modd y rhy-
felodd efe, a'r modd y dyg efe adref
Damascus a Hamath, i Juda yn Is-
rael, onid *ydynt* hwy yn ysgrifen-
edig yn llyfr cronicl brenhinoedd
Israel?
29 A Jeroboam a hunodd gyda'i
dadau, *sef* gyda brenhinoedd Israel;
a Zachariah ei fab a deyrnasodd yn
ei le ef.

## PENNOD XV.

YN y seithfed flwyddyn ar hugain i
Jeroboam brenin Israel, y teyrn-
asodd Azariah mab Amasiah brenin
Juda.
2 Mab un mlwydd ar bymtheg
ydoedd efe pan ddechreuodd deyrn-

---

efe yn 16 mlwydd oed, fel y dywedir yma.

Adn. 22. *Efe a adeiladodd Elath*] Neu a'i hadgyweiriodd; canys yr oedd wedi ei hadeiladu o'r blaen, Deut. ii. 8; *ac a'i rhoddodd hi drachefn i Juda*—oddiwrth ba un y gwrthdroasai gyda'r rhan arall o Edom, yn mha wlad y gorweddai, ar fin y môr coch, 1 Bren. ix. 26; *ar ol huno o'r brenin*—Amasiah. Yr ystyr yw, na ddarfu i Amasiah orphen gorchfygu Edom, ond gadawodd ran o'r gwaith i Azariah ei gwblhau.

Adn. 23. *Yn y bymthegfed flwyddyn i Amasiah, &c.*] Felly bu Jeroboam brenin Israel yn cyd-deyrnasu âg Amasiah brenin Juda oddeutu 14 o flynyddoedd, adn. 2.

Adn. 24. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Sef glynu yn addoliad y lloi aur, y rhai a wnaethai Jeroboam y cyntaf: gwel ar 1 Bren. xii. 28, &c.

Adn. 25. *Ac efe a ddyg adref derfyn Israel*] Neu a adferodd y dinasoedd hyny a ddygesid oddiar Israel gan y Syriaid o du y dwyrain i'r Iorddonen; *o'r lle yr eir i mewn i Hamath*—yn nherfyn gogleddol gwlad Canaan; *hyd fôr y rhos*—neu y môr marw, yn nherfyn deheuol gwlad Canaan; *yn ol gair Arglwydd Dduw Israel*—yn nghylch buddugoliaethau Jeroboam, yr hwn a draethodd efe trwy y proffwyd Jonah, awdwr y llyfr ag sydd ar ei enw ef; *yr hwn oedd o Gath-Hepher*—yn llwyth Zabulon, yn ngwlad Galilea. Haerai yr Iuddewon 'na chododd un proffwyd o Galilea;' ond dyma brawf i'r gwrthwyneb: gwel ar Ioan vii. 52. Modd bynag, nid yw y broffwydoliaeth hon am lwyddiant a buddugoliaeth Jeroboam wedi ei choffâu ar ddalenau yr ysgrythyrau santaidd.

Adn. 26. *Canys yr Arglwydd a welodd gystudd Israel yn flin iawn*] Gan orthrymder y Syriaid ac ereill; *canys nid oedd neb gwarchäedig, na neb wedi ei adael*—ond yr oedd y trigolion wedi eu gwasgaru, a'u dinasoedd a'u gwlad o du y dwyrain i'r Iorddonen wedi eu cwbl anrheithio, heb neb i'w cynorthwyo.

Adn. 27. *Ac ni lefarasai yr Arglwydd y dileai efe enw Israel odditan y nefoedd*] Nid oedd efe wedi traethu y bygythiad hwnw eto, fel y gwnaeth efe ar ol hyn trwy broffwydi ereill, Hos. i. 4—9. *Ond efe a'u gwaredodd hwynt trwy law Jeroboam*—yr hwn, er cynddrwg ydoedd, a fu yn offeryn yn llaw Duw i adennill eu terfynau iddynt.

Adn. 28. *A'r rhan arall o hanes Jeroboam*] Pethau nad ydynt ysgrifenedig yn yr ysgrythyrau santaidd; *a'r modd y dyg efe adref Damascus a Hamath*—y rhai a ennillwyd oddiar y Syriaid gan Dafydd a Solomon, ac a ddygwyd drachefn oddiar Israel neu Juda gan y Syriaid, ond a ennillwyd yn ol eilwaith gan Jeroboam; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig*—mewn llawn hanes; *yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?*—gwel ar 1 Bren. xiv. 19. Yn ol y Saesonaeg, a rhai Beiblau Cymreig, yr oedd Damascus a Hamath yn perthyn i *Juda* ar ol y fuddugoliaeth gyntaf gan Dafydd a Solomon; ond ar ol buddugoliaeth Jeroboam, rhoddwyd hwynt i *Israel.*

Adn. 29. *A Jeroboam a hunodd gyda'i dadau*] A fu farw fel ei dadau o'i flaen; *a Zachariah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—am chwe mis yn unig. Efe oedd yr olaf o hiliogaeth Jehu i'r rhai yr addawyd yr orsedd: gwel pen. x. 30.

PEN. XV. Adn. 1, 2. *Yn y seithfed flwyddyn ar hugain, &c.*] Gwel ar pen. xiv. 21.

asu, a deuddeng mlynedd a deugain
y teyrnasodd efe yn Jerusalem; ac
enw ei fam *oedd* Jecholiah o Jeru-
salem.
3 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnelsai Amasiah ei
dad ef;
4 Ond na thynwyd ymaith yr uch-
elfeydd: y bobl oedd eto yn aberthu
ac yn arogldarthu yn yr uchelfeydd.
5 ¶ A'r Arglwydd a darawodd y
brenin, fel y bu efe wahanglwyfus
hyd ddydd ei farwolaeth, ac y trig-
odd mewn tŷ o'r neilldu: a Jotham
mab y brenin *oedd* ar y tŷ yn barnu
pobl y wlad.
6 A'r rhan arall o hanes Azariah,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cron-
icl brenhinoedd Juda?
7 Ac Azariah a hunodd gyda'i
dadau, a chladdasant ef gyda'i dad-
au yn ninas Dafydd; a Jotham ei
fab a deyrnasodd yn ei le ef.
8 ¶ Yn y drydedd flwyddyn ar
bymtheg ar hugain i Azariah bren-
in Juda, y teyrnasodd Zachariah
mab Jeroboam ar Israel yn Samar-
ia chwe mis.
9 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd,
megys y gwnaethai ei dadau: ni
thrôdd efe oddiwrth bechodau Je-
roboam mab Nebat, yr hwn a
wnaeth i Israel bechu.
10 A Salum mab Jabes a frad-
fwriadodd yn ei erbyn ef, ac a'i
tarawodd ef gerbron y bobl, ac a'i
lladdodd ef, ac a deyrnasodd yn ei
le ef.
11 A'r rhan arall o hanes Zachar-
iah, wele, *y mae* yn ysgrifenedig yn
llyfr cronicl brenhinoedd Israel.
12 Dyma air yr Arglwydd, yr hwn
a lefarasai efe wrth Jehu, gan ddy-
wedyd, Meibion y bedwaredd gen-
hedlaeth i ti a eisteddant ar orsedd-
fa Israel. Ac felly y bu.
13 ¶ Salum mab Jabes a dde-
chreuodd deyrnasu yn y bedwaredd
flwyddyn ar bymtheg ar hugain i
Uzziah, brenin Juda, a mis cyfan y
teyrnasodd efe yn Samaria.

---

Adn. 3, 4. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union, &c.*] Gwel ar pen. xiv. 3, 4.

Adn. 5. *A'r Arglwydd a darawodd y brenin*] A'r gwahanglwyf, yn gosp am ei bechod; gwel ar 2 Cron. xxvi. 16—21; *trigodd mewn tŷ o'r neilldu*—yn ol cyfraith Brenin y brenhinoedd, (Lef. xiii. 46,) yr hon sydd yn rhwymo brenhinoedd yn gystal a'u deiliaid; *a Jotham mab y brenin oedd ar y tŷ*—yr oedd ef yn byw yn y palas, ac yn trin holl achosion y llys a'r deyrnas, gan lywodraethu yn enw ei dad, fel ei raglaw ef, hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn ond odid oedd bedair blynedd, adn. 30.

Adn. 6. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 7. *A chladdasant ef gyda'i dadau*] Nid yn meddrod y brenhinoedd, am ei fod yn wahanglwyfus; ond yn yr un maes a hwythau: gwel ar 2 Cron. xxvi. 23.

Adn. 8. *Yn y drydedd flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Azariah*] Yr hyn oedd yn mhen oddeutu 24 o flynyddau ar ol marw Jeroboam, fel yr ymddengys wrth gydmharu yr adnodau blaenorol; *y teyrnasodd Zachariah mab Jeroboam ar Israel yn Samaria chwe mis*—yr oedd yn rhaid iddo gael teyrnasu am ryw hyd, i gyflawni addewid Duw i Jehu, pen. x. 30; ond paham y bu efe cyhyd ar ol marwolaeth ei dad cyn dechreu teyrnasu, nid yw yn eglur: fe allai ei fod ef yn rhy ieuanc pan fu farw ei dad, a bod anfoddlonrwydd gan y bobl iddo ar ryw gyfrif arall wedi hyny.

Adn. 9. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Trwy ymlynu mewn eilunaddoliaeth fel holl frenhinoedd Israel o'i flaen: gwel ar pen. x. 29.

Adn. 10. *A Salum mab Jabes*] Sef un o'i brif dywysogion, yr hwn a wnaethai efe yn gyfaill mynwesol iddo, meddai yr Iuddewon; *a fradfwriadodd yn ei erbyn ef*—i'r dyben i gael y deyrnas yn ei le ef; *ac a'i tarawodd ef gerbron y bobl*—yn gyhoeddus yn eu gwydd hwynt. Dichon eu bod oll yn gwybod mai Zachariah oedd yr olaf o dŷ Jehu i etifeddu yr orsedd, adn. 12; a chan i'r bobl sefyll yn hir yn erbyn iddo esgyn i'r orsedd, yr oedd yn dda ganddynt i Salum ei meddiannu hi yn ei le ef, hyd yn nod trwy foddion annghyfreithlon.

Adn. 11. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 12. *Dyma air yr Arglwydd*] Dyma gyflawniad o hono yn nheyrnasiad Zachariah, yr hwn oedd yn gorphen y bedwaredd genhedlaeth o hiliogaeth Jehu, i'r rhai yr addawyd y caent eistedd ar orseddfainc Israel, pen. x. 30. Er i Jehu gael gorchymyn gan Dduw i ddyfetha tŷ Ahab; eto, gan iddo ef wneyd hyny i foddhau ei uchelgais ei hun, yn fwy nag mewn ufydd-dod i Dduw, neu er gogoniant iddo, ac mewn ffordd o greulondeb ag ydoedd dra chroes i'r natur ddwyfol, darfu i Dduw, cyn gynted ag y cyflawnodd efe ei addewid i Jehu, dori ymaith ei deulu ef, a dial y gwaed hwnw trwy law Salum, yn ol ei fygythiad trwy y proffwyd: 'Ar fyrder y dialaf waed Jezreel ar dŷ Jehu, ac y gwnaf i frenhiniaeth tŷ Israel ddarfod,' Hos. i. 4.

Adn. 13. *A mis cyfan y teyrnasodd efe*] Canys anfynych y parha y llywodraeth hono yn hir, yr hon a sylfaenwyd mewn gwaed a thwyll.

Adn. 14. *Canys Menahem*] I ddial ar

14 Canys Menahem mab Gadi a aeth i fyny o Tirsah, ac a ddaeth i Samaria, ac a darawodd Salum mab Jabes yn Samaria, ac a'i lladdodd ef, ac a deyrnasodd yn ei le ef.
15 A'r rhan arall o hanes Salum, a'i fradwriaeth ef yr hon a fradfwriadodd efe, wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel.
16 ¶ Yna Menahem a darawodd Tiphsah, a'r rhai oll *oedd* ynddi, a'i therfynau, o Tirsah: o herwydd nad agorasant *iddo ef*, am hyny y tarawodd efe *hi; a*'i holl wragedd beichiogion a rwygodd efe.
17 Yn y bedwaredd flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Azariah brenin Juda y teyrnasodd Menahem mab Gadi ar Israel, *a* deng mlynedd *y teyrnasodd efe* yn Samaria.
18 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: ni thrôdd efe yn ei holl ddyddiau oddiwrth bechodau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
19 *A* Pul brenin Assyria a ddaeth yn erbyn y wlad; a Menahem a roddodd i Pul fil o dalentau arian, fel y byddai ei law gydag ef, i sicrhau y frenhiniaeth yn ei law ef.
20 A Menahem a gododd yr arian ar Israel, *sef* ar yr holl rai cedyrn o allu, ar bob un ddeg sicl a deugain o arian, i'w rhoddi i frenin Assyria; felly brenin Assyria a ddychwelodd, ac nid arosodd yno yn y wlad.
21 ¶ A'r rhan arall o hanes Menahem, a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel?
22 A Menahem a hunodd gyda'i dadau; a Phecahiah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
23 ¶ Yn y ddegfed flwyddyn a deugain i Azariah brenin Juda, y teyrnasodd Pecahiah mab Menahem ar Israel yn Samaria, *a* dwy flynedd *y teyrnasodd efe.*
24 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: ni thrôdd efe oddiwrth bechodau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
25 A Pecah mab Remaliah ei dy-

---

Salum am ladd Zachariah, neu wedi ei gynhyrfu a'i wroli gan ei siampl ef, a darawodd Salum megys y tarawsai yntau ei feistr, ac a deyrnasodd yn ei le ef. *Tirsah*—gwel ar 1 Bren. xiv. 17.

Adn. 15. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 16. *Yna Menahem a darawodd Tiphsah*] Dinas yn agos i'r Euphrates fel y meddylir, i'r hon yr aethai efe o Tirsah yn Nghanaan; *o herwydd nad agorasant iddo ef*—byrth eu dinas, gan ei gydnabod ef fel brenin gorchfygol; *a'i holl wragedd beichiogion a rwygodd efe*—fel y gallai trwy y siampl hon o greulondeb ddychrynu y dinasoedd ereill i ufydd-dod iddo!

Adn. 17. *Deng mlynedd y teyrnasodd efe*] Yr hyn oedd yn yspaid tra hir i ŵr mor waedlyd.

Adn. 18. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Efe a chwanegodd addoliad y lloi aur at ei greulonderau gwaedlyd, nes yr oedd brenhiniaeth Israel yn suddo yn ddyfnach yn barhaus mewn pob anfoesoldeb a drygioni byth ar ol marwolaeth Eliseus, ac yn addfedu yn gyflym i ddinystr.

Adn. 19. *A Pul brenin Assyria*] Dyma y tro cyntaf i ni glywed am deyrnas Assyria ar ol dyddiau Nimrod, Gen. x. 11. Tybia Prideaux mai y *Pul* hwn oedd tad *Sardanapalus*, ac mai efe oedd brenin Ninefe, prifddinas Assyria, pan yr aeth Jonah i bregethu yno. *A ddaeth yn erbyn y wlad*—sef gwlad Israel. *A Menahem a roddodd i Pul fil o dalentau arian*—yr hyn, yn ol £342 3*s.* 9*c.* yr un, a gyraedd i £342,187 10*s.* o'n harian ni; *fel y byddai ei law gydag ef*—sef ei allu a'i ddylanwad. Efe a roddodd y swm hwn iddo nid yn unig am droi ymaith fyddin Assyria rhag ymosod arno, ond hefyd i brynu ei gynorthwy ef yn erbyn pawb o'i ddeiliaid ei hun a allent ymgodi yn ei erbyn i ddwyn y frenhiniaeth o'i law ef.

Adn. 20. *Sef ar yr holl rai cedyrn o allu*] Sef ar y cyfoethogion yn unig, heb godi dim oddiar y tylodion, trwy yr hyn y bwriadai efe eu hennill i'w bleidio; *ar bob un ddeg sicl a deugain o arian*—yr hyn, yn ol 2*s.* 6*c.* yr un, a wna £6 5*s.* o'n harian ni. *Felly brenin Assyria a ddychwelodd*—i'w wlad ei hun, ar ol cael yr arian uchod, heb ofalu dim am Menahem, pa un a gai efe gadw ei orsedd ai peidio.

Adn. 21. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 22, 23. *A Menahem a hunodd gyda'i dadau*] A fu farw fel ei dadau, o angau naturiol ond odid, ar ol bod yn y frenhiniaeth ychydig dros ddeng mlynedd; *a Phecahiah a deyrnasodd yn ei le ef*—am ddwy flynedd yn unig.

Adn. 24. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Gwel ar adn. 18.

Adn. 25. *A Pecah—a'i tarawodd ef yn Samaria*] A darawodd Pecahiah y brenin pryd yr oedd efe yn gwledda yn ei lys, meddai Josephus; *gydag Argob ac Arieh*—sef dau o dywysogion y brenin, y rhai a laddwyd yn y llys gydag ef; *a chydag ef ddengwr a deugain o feibion y Gileadiaid*—y rhai ond odid

wysog ef a fradfwriadodd yn ei erbyn ef, ac a'i tarawodd ef yn Samaria, yn llys y brenin, gydag Argob ac Arieh, a chydag ef ddeng ŵr a deugain o feibion y Gileadiaid: ac efe a'i lladdodd ef, ac a deyrnasodd yn ei le ef.
26 A'r rhan arall o hanes Pecahiah, a'r hyn oll a wnaeth efe, wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel.
27 ¶ Yn y ddeuddegfed flwyddyn a deugain i Azariah brenin Juda, y teyrnasodd Pecah mab Remaliah ar Israel yn Samaria, *ac* ugain mlynedd *y teyrnasodd efe.*
28 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd: ni thrôdd efe oddiwrth bechodau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
29 Yn nyddiau Pecah brenin Israel y daeth Tiglath-pileser brenin Assyria, ac a ennillodd Ijon, ac Abel-bethmaachah, a Janoah, Cedes hefyd, a Hasor, a Gilead, a Galilee, holl wlad Naphtali, ac a'u caethgludodd hwynt i Assyria.
30 A Hosea mab Elah a fradfwriadodd fradwriaeth yn erbyn Pecah mab Remaliah, ac a'i tarawodd ef, ac a'i lladdodd, ac a deyrnasodd yn ei le ef, yn yr ugeinfed flwyddyn i Jotham mab Uzziah.
31 A'r rhan arall o hanes Pecah, a'r hyn oll a wnaeth efe, wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Israel.
32 ¶ Yn yr ail flwyddyn i Pecah mab Remaliah brenin Israel, y dechreuodd Jotham mab Uzziah brenin Juda deyrnasu.
33 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe pan dechreuodd deyrnasu, ac un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Jerusa, merch Sadoc.
34 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* union yn ngolwg yr Arglwydd: yn ol yr hyn oll a'r a wnelsai Uzziah ei dad.
35 ¶ Er hyny ni thynwyd ymaith

---

oeddynt warchawdlu Pecahiah, ac a laddwyd ar yr un pryd âg ef. Ond tybia rhai mai pleidwyr Pecah oedd y 52 gwŷr hyn, y rhai a'i cynorthwyent ef i ladd Pecahiah.

Adn. 26. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 27. *Yn y ddeuddegfed flwyddyn a deugain i Azariah*] Yr hon oedd y flwyddyn olaf o'i deyrnasiad ef, adn. 2; *y teyrnasodd Pecah*—yr hwn oedd y pummed brenin yn Israel yn ystod teyrnasiad Azariah brenin Juda; *ac ugain mlynedd y teyrnasodd efe*—cyn i'w weithredoedd gwaedlyd ddychwelyd ar ei ben ei hun.

Adn. 28. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Nid yn unig ar ei fynediad i'r orsedd trwy drais a llofruddiaeth, ond hefyd yn ystod ei holl deyrnasiad eilunaddolgar: gwel ar adn. 18.

Adn. 29. *Yn nyddiau Pecah—y daeth Tiglath-pileser brenin Assyria*] Yr hwn y tybia rhai ei fod yn fab i *Sardanapalus*, ac yn ŵyr i *Pul*, adn. 19; tra y dywed ereill ei fod yr un ag *Arbacus*, yr hwn hefyd a elwid *Thilgamus* a *Ninus*. *Ac a'u caethgludodd hwynt i Assyria*—fel hyn collodd Pecah ran fawr o'i deyrnas. Ond dylid sylwi na ddyfethwyd brenhiniaeth y deg llwyth ar unwaith. Yr ymosodiad cyntaf o eiddo yr Assyriaid ar eu gwlad a wnaed gan *Pul*, yr hwn a gymerodd ymaith lawer o'u cyfoeth, ac a gaethgludodd yn debygol rai o'r bobl a drigent o du y dwyrain i'r Iorddonen. Yr ail a wnaed gan y *Tiglath-pileser* hwn, yr hwn a gaethgludodd drigolion y parthau gorllewinol, yn nghyda'r Reubeniaid, y Gadiaid, a hanner llwyth Manasse, 1 Cron. v. 26. Y trydydd a'r olaf a wnaed gan *Salmaneser*, yr hwn a gymerodd Samaria, ac a gaethgludodd y gweddill o'r Israeliaid, pen. xvii. 1—23.

Adn. 30. *A Hosea mab Elah a fradfwriadodd fradwriaeth yn erbyn Pecah*] Megys y gwnaethai yntau yn erbyn Pecahiah, adn. 25; *yn yr ugeinfed flwyddyn i Jotham*—hyny yw, yn yr ugeinfed flwyddyn ar ol dechre teyrnasiad Jotham, yr hwn ni theyrnasodd ond 16 mlynedd, adn. 33; neu, yr hyn sydd yr un peth, yn y bedwaredd flwyddyn i Ahaz mab Jotham. Ond tybia rhai mai yr 20fed flwyddyn er pan wnaed ef yn rhaglaw dan ei dad a feddylir, adn. 5.

Adn. 31. *Llyfr cronicl brenhinoedd Israel*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19.

Adn. 32. *Yn yr ail flwyddyn i Pecah*] Sef yn nechre yr ail; gwel ar pen. xvi. 1; *y dechreuodd Jotham mab Uzziah*—neu fab *Azariah*, canys yr oedd iddo ddau enw: gwel ar pen. xiv. 21.

Adn. 33. *Un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe*] Yn briodol ei hunan, heb son am y blynyddoedd y bu yn rhaglaw i'w dad: gwel ar adn. 30.

Adn. 34. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union yn ngolwg yr Arglwydd*] Dywed Josephus ei fod yn dduwiol tuag at Dduw, ac yn gyfiawn tuag at ddynion, ac yn ofalus am les y cyffredin; *yn ol yr hyn oll a'r a wnelsai Uzziah ei dad*—yn dda: ac efe a ragorai ar ei dad, trwy na ryfygodd fyned i arogldarthu i'r deml, fel y gwnaethai ei dad, (2 Cron. xxvii. 2,) am yr hyn y tarawyd ef â'r gwahanglwyf.

Adn. 35. *Er hyny ni thynwyd ymaith yr uchelfeydd*] Gwel ar pen. xii. 3. *Efe a adeiladodd y porth uchaf*—sef porth dwyreiniol

yr uchelfeydd; y bobl oedd eto yn
aberthu ac yn arogldarthu yn yr
uchelfeydd. Efe a adeiladodd y
porth uchaf i dŷ yr Arglwydd.
36 ¶ A'r rhan arall o hanes Jo-
tham, a'r hyn oll a wnaeth efe, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
cronicl brenhinoedd Juda?
37 Yn y dyddiau hyny y dechreu-
odd yr Arglwydd anfon yn erbyn
Juda, Resin brenin Syria, a Phecah
mab Remaliah
38 A Jotham a hunodd gyda'i
dadau, ac a gladdwyd gyda'i dadau
yn ninas Dafydd ei dad, ac Ahaz ei
fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XVI.

YN y ddwyfed flwyddyn ar bym-
theg i Pecah mab Remaliah y
dechreuodd Ahaz mab Jotham bren-
in Juda deyrnasu.
2 Mab ugain mlwydd *oedd* Ahaz
pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac
un mlynedd ar bymtheg y teyrnas-
odd efe yn Jerusalem, ac ni wnaeth
efe *yr hyn oedd* union yn ngolwg yr
Arglwydd ei Dduw, fel Dafydd ei
dad:
3 Eithr rhodiodd yn ffordd bren-
hinoedd Israel, ac a dynodd ei fab
trwy y tân, yn ol ffieidd-dra y cen-
hedloedd a fwriasai yr Arglwydd
allan o flaen meibion Israel.
4 Ac efe a aberthodd ac a arogl-
darthodd yn yr uchelfeydd, ac ar y
bryniau, a than bob pren gwyrdd-
las.
5 ¶ Yna y daeth Resin brenin
Syria, a Phecah mab Remaliah
brenin Israel, i fyny i Jerusalem i
ryfel: a hwy a warcheaasant ar
Ahaz; ond ni allasant hwy *ei* orch-
fygu *ef*.
6 Yn yr amser hwnw Resin bren-
in Syria a ddyg drachefn Elath at
Syria, ac a yrodd yr Iuddewon o
Elath: a'r Syriaid a ddaethant i
Elath, ac a breswyliasant yno hyd y
dydd hwn.
7 Yna Ahaz a anfonodd genadau

---

cyntedd y deml, yr hwn oedd yn arwain i dŷ y brenin, 2 Cron. xxiii. 20. Os nad allodd efe dynu i lawr uchelfeydd pechod, eto efe a adgyweiriodd ac a brydferthodd borth uchaf tŷ yr Arglwydd; a chymerodd dwyfol ysbrydoliaeth sylw o'r weithred hòno, i arddangos ei barch ef i Dduw a'i dŷ.

Adn. 36. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29; a cheir hanes dra helaeth am ei weithredoedd ef hefyd yn 2 Cron. xxvii.

Adn. 37. *Yn y dyddiau hyny y dechreuodd yr Arglwydd anfon yn erbyn Juda*] I'w cospi hwynt am eu pechodau ffiaidd, fel yr adroddir yn y bennod nesaf; *Resin brenin Syria*—yr hwn y meddylir ei fod yn un o hiliogaeth Hazael, pen. xiii. 24; *a Pecah*—brenin Israel, adn. 27, &c. Fel hyn y mae dynion annuwiol yn cael eu defnyddio yn fynych fel gwialen yn llaw Duw i ddwyn oddiamgylch ei farnau cyfiawn ei hun, er eu bod hwy fel offerynau yn annghyfiawn yn eu bwriadau a'u dybenion.

Adn. 38. *A Jotham a hunodd gyda'i dadau*] Yn nghanol ei ddyddiau, yn 41 mlwydd oed, adn. 33. Yr oedd ei fywyd ef yn fendith ry fawr i gael ei pharhau yn hir i'r fath bobl annheilwng; ac yr oedd ei farwolaeth yn farn arnynt, pan yr ystyriom gymeriad *Ahaz*, ei fab a'i olynydd.

PEN. XVI. Adn. 1. *Yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg i Pecah*] Tua'i diwedd hi: gwel ar pen. xv. 32, 33. Gan i Jotham ddechreu teyrnasu yn yr ail flwyddyn i Pecah, a pharhau i deyrnasu am un mlynedd ar bymtheg, rhaid mai yn y 18fed flwyddyn i *Pecah* brenin Israel y dechreuodd *Ahaz* brenin Juda deyrnasu. Ond trwy fod *rhanau* o flynyddoedd yn cael eu cyfrif yn flynyddoedd *cyfain* yn fynych yn yr ysgrythyrau, y mae yn hawdd cysoni yr hyn a ymddengys ar un olwg yn annghyson yn yr amseryddiaeth ysgrythyrol.

Adn. 2. *Mab ugain mlwydd oedd Ahaz*] Gwel ar pen. xviii. 2. *Ac ni wnaeth efe yr hyn oedd union yn ngolwg yr Arglwydd*—ond efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg, fel y gwelwn yn yr adnodau dylynol. *Fel Dafydd ei dad*—neu ei henafiaid, o linell yr hwn y deilliasai.

Adn. 3. *Eithr rhodiodd yn ffordd brenhinoedd Israel*] Mewn eilunaddoliaeth fel hwy. Yr oedd Israel yn cael eu cadw oddiwrth Juda trwy addoliad y lloi aur; ac yn awr dyma Ahaz a'i deyrnas fel pe byddent yn myned drosodd atynt hwy, trwy addoli yr un gau-dduwiau! *Ac a dynodd ei fab trwy y tân*—fel ag i'w *losgi* yn boeth-offrwm, 2 Cron. xxviii. 3, yn ol arferiad y cenhedloedd: gwel ar Lef. xviii. 21, a xx. 2, 14. Nid oedd yn ddigon gan Ahaz ddylyn eilunaddoliaeth brenhinoedd Israel, ond efe a chwanegodd at hyny eilunaddoliaeth a chreulonderau y cenhedloedd hefyd.

Adn. 4. *Ac efe a aberthodd ac a arogldarthodd*] I dduwiau dyeithr, 2 Cron. xxviii. 25. *A than bob pren gwyrddlas*—gwel ar Deut. xii. 2, a 1 Bren. xiv. 23.

Adn. 5. *Ond ni allasant hwy ei orchfygu ef*] Am fod Duw wedi addaw amddiffyn Jerusalem a thŷ Dafydd hyd oni ddeuai y Messia: gwel ar Esay vii. 1—9.

Adn. 6. *Resin brenin Syria a ddyg dra-*

at Tiglath-pileser brenin Assyria,
gan ddywedyd, Dy was di a'th fab
di *ydwyf* fi: tyred i fyny, a gwared
fi o law brenin Syria, ac o law bren-
in Israel, y rhai sydd yn cyfodi yn
fy erbyn i.
8 Ac Ahaz a gymerth yr arian a'r
aur a gafwyd yn nhŷ yr Arglwydd,
ac yn nhrysorau tŷ y brenin, ac a'u
hanfonodd yn anrheg i frenin As-
syria.
9 A brenin Assyria a wrandaw-
odd arno ef; a brenin Assyria a
ddaeth i fyny i Damascus, ac a'i
hennillodd hi, ac a gaethgludodd ei
*thrigolion* i Cir, ac a laddodd Resin.
10 ¶ A'r brenin Ahaz a aeth i
Damascus i gyfarfod Tiglath-pileser
brenin Assyria, ac a welodd allor
*oedd* yn Damascus: a'r brenin Ahaz
a anfonodd at Uriah yr offeiriad
agwedd yr allor a'i phortread, yn
ol ei holl wneuthuriad.
11 Ac Uriah yr offeiriad a adeil-
adodd allor yn ol yr hyn oll a anfon-
asai y brenin Ahaz o Damascus:
felly y gwnaeth Uriah yr offeiriad,
erbyn dyfod y brenin Ahaz o Da-
mascus.
12 A phan ddaeth y brenin o Da-
mascus, y brenin a ganfu yr allor:
a'r brenin a nesaodd at yr allor, ac
a offrymodd arni hi.
13 Ac efe a losgodd ei boeth-off-
rwm, a'i fwyd-offrwm, ac a dywallt-
odd ei ddiod-offrwm, ac a daenell-
odd waed ei offrymau hedd ar yr
allor.
14 A'r allor bres, yr hon *oedd* ger
bron yr Arglwydd, a dynodd efe
ymaith o dalcen y tŷ, oddirhwng
yr allor a thŷ yr Arglwydd, ac a'i
rhoddodd hi o du gogledd yr allor.
15 A'r brenin Ahaz a orchymyn-
odd i Uriah yr offeiriad, gan ddy-
wedyd, Llosg ar yr allor fawr y

---

*chefn Elath*] Oddiar wŷr Juda: gwel ar pen. xiv. 22. *Ac a yrodd yr Iuddewon*—dyma y lle cyntaf i had Abraham gael eu galw yn *Iuddewon* yn yr ysgrythyrau; yn fwy llythyrenol *Judaon*, neu wŷr *Juda*, i'w gwahaniaethu oddiwrth y deg llwyth, neu ddeiliaid brenhinoedd *Israel.* Modd bynag, y mae yn awr yn enw cyffredinol ar holl had Abraham.

Adn. 7. *Yna Ahaz a anfonodd genadau at Tiglath-pileser*] Wedi iddo wrthod yr Arglwydd, nis gallai gydag unrhyw hyder ofyn cymhorth gan Dduw Israel, ac am hyny efe a gyfeiriodd at frenin Assyria. *Dy was di a'th fab di ydwyf fi*—myfi a'th wasanaethaf di fel gwas ei feistr, neu fab ei dad, os deui i fyny i'm gwaredu i; *o law brenin Syria, ac o law brenin Israel*—y rhai, er eu bod yn awr wedi myned oddiwrth Jerusalem, y casglai efe yn naturiol y dychwelent drachefn i'w flino ef.

Adn. 8. *Ac Ahaz a gymerth yr arian a'r aur*] Yr oedd y rhai hyn wedi cael eu rhoddi yn y deml yn ddiweddar gan Uzziah a Jotham ond odid, ar ol i Joas brenin Juda a Joas brenin Israel eu hyspeilio o'r blaen: gwel pen. xii. 18, a xiv. 14. *Ac a'u hanfonodd yn anrheg i frenin Assyria*—er mwyn cael ei gymhorth ef yn erbyn y ddau frenin uchod. Pe buasai Ahaz yn ymostwng gerbron Duw, ac yn ceisio ei ffafr ef, gallasai gael ei waredu ar ammodau esmwythach, a chadw ei arian a'i aur, heb yspeilio chwaith deml yr Arglwydd.

Adn. 9. *A brenin Assyria a wrandawodd arno ef*] Er mwyn yr anrheg uchod; *ac a ddaeth i fyny Damascus*—prifddinas Syria; *ac a gaethgludodd ei thrigolion i Cir*—nid 'Cir Moab,' Esay xv. 1; ond rhan o Media Uwchaf, yn perthyn y pryd hyny i frenin Assyria; *ac a laddodd Resin*—brenin Syria, adn. 5. Yr oedd hyn oll wedi ei ragfynegu, Amos i. 5.

Adn. 10. *A'r brenin Ahaz a aeth i Damascus*] I lon-gyfarch Tiglath-pileser o herwydd y fuddugoliaeth uchod, yr hon oedd daith o 137 o filldiroedd o Jerusalem; *ac a welodd allor oedd yn Damascus*—mewn un o demlau eilunod Syria, lle y bu efe yn aberthu. *Ahaz a anfonodd at Uriah yr offeiriad agwedd yr allor a'i phortread*—fel y byddai iddo ef wneyd allor o'r un fath a hi yn lle allor Solomon. Nid oedd ganddo ddigon o amynedd i aros hyd nes y dychwelai efe ei hun i Jerusalem, eithr anfonodd genad o'i flaen, fel y gallai Uriah ei gwneyd hi yn barod erbyn y deuai efe adref.

Adn. 11. *Ac Uriah yr offeiriad a adeiladodd allor*] Efe a ufyddhaodd i orchymyn y brenin yn groes i'w gydwybod ei hun, ac yn groes i orchymyn pendant y Duw mawr, i'r hwn yr oedd ef a'i frenin ill dau yn ddeiliaid.

Adn. 12. *A'r brenin a nesaodd at yr allor*] A wnaethai Uriah iddo; *ac a offrymodd arni hi*—boeth-offrwm, nid i Dduw Israel, ond i dduwiau y Syriaid, mewn gobaith y byddai iddynt hwy ei gynorthwyo ef, 2 Cron. xxviii. 23—25. Y fath ffolineb dall oedd iddo addoli y duwiau hyny, a dysgwyl cynorthwy ganddynt hwy, y rhai na fedrasant gadw eu gwlad eu hunain, ychydig ddyddiau yn ol, o law brenin Assyria! Tybia rhai iddo aberthu ac offrymu â'i ddwylaw ei hun; ond y mae yn debycach mai trwy offeiriaid y gwnaeth efe hyny: gwel adn. 15.

Adn. 13. *Ac efe a losgodd ei boeth-offrwm, &c.*] Canys yr oedd y cenhedloedd, ac Ahaz mewn efelychiad iddynt, yn offrymu yr un offrymau i'w duwiau gau, ag a wnai yr Israeliaid i'r gwir Dduw.

Adn. 14. *A'r allor bres*] Yr hon a wnaethai Solomon, 2 Cron. iv. 1; *a dynodd efe ymaith, &c.*—ymddengys fod Uriah wedi gosod

poeth-offrwm boreol, a'r bwyd-offrwm prydnawnol, poeth-offrwm y brenin hefyd, a'i fwyd-offrwm ef, a phoeth-offrwm holl bobl y wlad, a'u bwyd-offrwm hwynt, a'u diod-ydd-offrwm hwynt; a holl waed y poeth-offrwm, a holl waed yr aberth, a daenelli di arni hi: a bydded yr allor bres i mi i ymofyn.
16 Ac Uriah yr offeiriad a wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymynasai y brenin Ahaz.
17 ¶ A'r brenin Ahaz a dorodd ddaliadau yr ystolion, ac a dynodd ymaith y noe oddiarnynt hwy, ac a ddisgynodd y môr oddiar yr ychain pres *oedd* tano, ac a'i rhoddodd ar balmant cerig.
18 A gorchudd y sabbath yr hwn a adeiladasant hwy yn tŷ, a dyfodfa y brenin oddiallan, a drôdd efe *oddiwrth* dŷ yr Arglwydd, o achos brenin Assyria.
19 ¶ A'r rhan arall o hanes Ahaz yr hyn a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?
20 Ac Ahaz a hunodd gyda'i dadau, ac a gladdwyd gyda'i dadau yn ninas Dafydd, a Hezeciah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XVII.

YN y ddeuddegfed flwyddyn i Ahaz brenin Juda, y teyrnasodd Hosea mab Elah yn Samaria ar Israel, naw mlynedd y *teyrnasodd efe.*
2 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*

---

allor Ahaz tu ol i allor Solomon, sef rhwng hòno a phorth dwyreiniol cyntedd yr offeiriaid; ond pan welodd Ahaz hi yno, casglodd fod hyny yn anmharch i'w allor ef, a mynodd symud allor yr Arglwydd i ochr ogleddol y cyntedd, a dodi ei allor ei hun yn ei lle hi. Yr oedd hyn yn fwy o ddirmyg ar y wir grefydd na dim a ddanghoswyd hyd yn hyn gan y gwaethaf o'r brenhinoedd.

Adn. 15. *A'r brenin Ahaz a orchymynodd i Uriah, &c.*] Fod i'r holl aberthau a'r offrymau, o ba fath bynag, a thros bwy bynag, gael eu hoffrymu yn wastadol ar yr allor hon, pa un a eilw efe yn *allor fawr*, am ei bod ond odid yn llawer mwy nag allor Duw. Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at yr aberthau a offrymid i'r gwir Dduw, gwasanaeth yr hwn nid oedd efe, meddant, wedi ei lwyr adael, er ei fod yn achlysurol yn addoli eilunod gydag ef. *A bydded yr allor bres i mi i ymofyn*—'i mi fy hun yn unig i ymofyn â'r Arglwydd wrthi,' meddai rhai; ond tybia ereill mai yr ystyr yw, 'mi a ystyriaf ar ol hyn pa ddefnydd a wneir o honi, a rhoddaf orchymyn yn ol hyny.'

Adn. 16. *Ac Uriah yr offeiriad a wnaeth, &c.*] Efe a symudodd yr allorau fel y gorchymynodd y brenin, ac a aberthodd ar yr allor newydd yn unig, a hyny yn ddiamau i foddhau y brenin, ac mewn dysgwyliad am gael rhyw ddyrchafiad ganddo.

Adn. 17. *A'r brenin Ahaz a dorodd ddaliadau yr ystolion, &c.*] Ond odid fel y gallai efe eu troi hwynt yn arian, naill ai trwy eu toddi yn ddarnau cylch-redol, neu ynte trwy eu gwerthu fel yr oeddynt. Am yr ystolion, y noe, a'r ychain pres, gwel ar 1 Bren. vii. 23—51.

Adn. 18. *A gorchudd y sabbath*] Yn debygol rhyw sedd uchel ac anrhydeddus wedi ei hamgau â mŵd uwchben, neu ei thoi â llafnau o fettel gwerthfawr, ar yr hon yr eisteddai y brenin a'i deulu yn ystod yr addoliad sabbathol; *a dyfodfa y brenin oddiallan*—y llwybr neillduol ar hyd yr hwn yr arferid myned o'r palas i'r deml, yr hwn a wnaed er cyfleusdra i'r teulu brenhinol; *a drôdd efe oddiwrth dŷ yr Arglwydd*—a gauwyd i fyny, neu a dynwyd i lawr; *o achos brenin Assyria*—yr hwn a ddysgwylid i dalu ymweliad âg ef. Mynai Ahaz i hwnw, pan y deuai, gasglu ei fod ef wedi llwyr ymwrthod âg addoliad Jehofa, ac ymroddi yn hollol i addoli duwiau y cenhedloedd.

Adn. 19. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 20. *Ac Ahaz a hunodd gyda'i dadau*] A fu farw fel ei dadau, yn 36 mlwydd oed; *ac a gladdwyd gyda'i dadau yn ninas Dafydd*—ond nid yn yr un beddrod â hwy, 2 Cron. xxviii. 27, yr hyn yn ddiau a fwriedid fel nôd o ddiraddiad ar gyfrif ei annuwioldeb; *a Hezeciah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn a drôdd allan yn gymaint cyfaill i'r deml ag a fuasai ei dad o elyn iddi.

PEN. XVII. Adn. 1. *Yn y ddeuddegfed flwyddyn i Ahaz brenin Juda, y teyrnasodd Hosea*] Efe a drawsfeddianodd y llywodraeth yn y bedwaredd flwyddyn i Ahaz; ond ni arddelwyd ef yn frenin gan y rhan fwyaf o'r bobl, neu ni sefydlwyd ef yn ei frenhiniaeth, hyd y ddeuddegfed flwyddyn i Ahaz: gwel ar pen. xv. 30. *Naw mlynedd y teyrnasodd efe*—ar ol cael meddiant heddychol o'i frenhiniaeth; canys yn y cwbl efe a deyrnasodd 17 o flynyddoedd, 12 ar unwaith âg Ahaz, a 6 ar unwaith â Hezeciah.

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Pa un bynag ai ei fod yn eilunaddolwr ai peidio, yr oedd ef yn ddyn drwg ac annuwiol mewn pethau ereill, fel y profa ei fradwriaeth yn erbyn Pecah, a'i lofruddiaeth o hono, i gael teyrnasu yn ei le ef, pen. xv. 30. *Eto nid fel brenhinoedd Israel*—nid oedd efe cyn waethed a'r rhai hyny, er cynddrwg oedd; canys nid oedd efe yn addoli Baal, fel y gwnai llawer o'i flaen, nac yn gorfodi y bobl i addoli y lloi aur; un o ba rai, yr hwn oedd yn Dan, a ddystrywiwyd neu a ddygwyd ymaith,

ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, eto
nid fel brenhinoedd Israel y rhai a
fuasai o'i flaen ef.
3 ¶ A Salmaneser brenin Assyria a
ddaeth i fyny yn ei erbyn ef, a Hosea
a aeth yn was iddo ef, ac a ddyg
iddo anrhegion.
4 A brenin Assyria a gafodd frad-
wriaeth yn Hosea: canys efe a ddan-
fonasai genadau at So brenin yr
Aifft, ac ni ddanfonasai anrheg i
frenin Assyria, fel *y byddai efe ar-
ferol* bob blwyddyn: am hyny bren-
in Assyria a gauodd arno ef, ac a'i
rhwymodd ef mewn carchardy.
5 Yna brenin Assyria a aeth i
fyny trwy yr holl wlad, ac a aeth i
fyny i Samaria, ac a warchaeodd
arni hi dair blynedd.
6 Yn y nawfed flwyddyn i Hosea,
yr ennillodd brenin Assyria Sa-
maria, ac y caethgludodd efe Israel
i Assyria, ac a'u cyfleodd hwynt yn
Halah ac yn Habor, *wrth* afon Go-
zan, ac *yn* ninasoedd y Mediaid.
7 Felly y bu, am i feibion Israel
bechu yn erbyn yr Arglwydd eu
Duw, yr hwn a'u dygasai hwynt i
fyny o wlad yr Aifft, odditan law
Pharao brenin yr Aifft, ac am
iddynt ofni duwiau dyeithr,
8 A rhodio yn neddfau y cen-

meddai yr Iuddewon, cyn ei amser ef; ac efe a ganiatäai i'w ddeiliaid fyned i Jerusalem i addoli yr Arglwydd, os mynent.

Adn. 3. *A Salmaneser brenin Assyria a ddaeth i fyny yn ei erbyn ef*] Naill ai am ei fod yn gommedd talu teyrnged iddo yn ol ei addewid, neu ynte i'w osod dan deyrnged iddo. Tybia rhai mai *Tiglath-pileser* oedd hwn; ac ereill, mai ei fab neu ei olynydd; tra yr haera yr Iuddewon mai *Senacherib* ydoedd. Peth cyffredin iawn yn y dwyrain oedd i un dyn gael amrai enwau. Yn Hos. x. 14, gelwir ef *Salman;* ac yn Tobit i. 2, *Gnemessar. A Hosea a aeth yn was iddo ef*—a aeth dan deyrnged flynyddol iddo; *ac a ddyg iddo anrhegion*—am ymadael y tro hwnw. Fel hyn daeth dinystr Israel yn mlaen yn raddol. Buont am beth amser yn talu treth i frenin Assyria, cyn cael eu caethgludo ganddo; a phe buasai y farn leiaf yn llwyddo i'w darostwng a'u diwygio, y mae yn debyg yr arbedasid y fwyaf.

Adn. 4. *A brenin Assyria a gafodd fradwriaeth yn Hosea*] A ddeallodd ei fod yn amcanu gwrthryfela yn ei erbyn ef, i ysgwyd ymaith ei iau ef oddiarno; *canys efe a ddanfonasai genadau at So brenin yr Aifft*—i geisio gan hwnw ddyfod i'w gynorthwyo ef yn erbyn Salmaneser. *Am hyny brenin Assyria a gauodd arno ef*—a warchaeodd ar Samaria dair blynedd, adn. 5; *ac a'i rhwymodd ef mewn carchardy*—yn niwedd y tair blynedd hyny, ar ol cymeryd y ddinas. Ond tybia rhai i Hosea gael ei ddal a'i garcharu cyn dechreu y gwarchae.

Adn. 5. *Ac a warchaeodd arni hi dair blynedd*] Rhaid fod dinas Samaria wedi ei hamgaeru yn dda, a'i chyflenwi âg ymborth, cyn y gallasai ddal allan cyhyd: ond diamau i'r trigolion ddyoddef llawer yn y cyfamser.

Adn. 6. *Yn y nawfed flwyddyn i Hosea*] Yr hon oedd yr olaf iddo ef deyrnasu, adn. 1; *y caethgludodd efe Israel i Assyria*—nid yn unig trigolion Samaria, ond, fel y dywed Josephus, yr oll o'r deg llwyth; ac fel hyn y llwyr derfynodd brenhiniaeth Israel, ar ol parhau am oddeutu 254 o flynyddau, neu 263 yn ol rhai. Wrth ddarllen am eu mynediad hwy i Ganaan dan '*Hosea* mab Nun,' (Num. xiii. 16,) pwy a feddyliasai am eu caethgludiad o honi dan '*Hosea* mab Elah?' (adn. 1.) Yr un modd, lawer o flynyddoedd wedi hyn, darfu i ogoniant Rhufain dan *Augustus,* suddo i'r dim dan *Augustulus. Ac a'u cyfleodd hwynt yn Hallah*—sef 'Calchena,' Ptolemy, yn ngogledd Assyria; *ac yn Habor*—sef 'Chaboras,' Ptolemy, mynydd rhwng Media ac Assyria; *ac yn ninasoedd y Mediaid*—y rhai oeddynt y pryd hyny yn meddiant brenin Assyria. Y manau ag y cludwyd yr Israeliaid anffortunus iddynt, neu lle y mae eu holynwyr yn awr yn trigianu, a roddasant godiad i aneirif ddychymygion, traethodau, dadleuon, &c. Myn rhai eu bod i'w cael ar ororau *Guinea;* ereill, yn *America.* Dywed rhai mai y llwythau *Indiaidd* ydynt; ac ereill, mai yr *Afghaniaid.* Yn wir y mae yr haneswyr Persiaidd enwocaf yn dywedyd fod yr *Afghaniaid* wedi disgyn oddiwrth yr *Iuddewon;* ac y mae ganddynt draddodiadau yn eu plith eu hunain i'r un effaith; a dywedir fod eu teuluoedd yn cael eu gwahaniaethu trwy enwau y llwythau Iuddewig. 'Wrth ystyried pob peth,' ebai Clarke, 'yr wyf fi yn meddwl ei bod yn llawer tebycach mai hiliogaeth yr Iuddewon a gaethgludwyd gan frenhinoedd Assyria yw yr *Afghaniaid.*' Y mae rhai yn meddwl i ryw nifer o honynt ddychwelyd i'w gwlad yn mhen amser ar ol eu caethgludiad, neu gael eu gadael heb eu caethgludo, a'u bod yn preswylio yn Galilea yn amser ein Hiachawdwr; a thybia ereill eu bod ar wasgar yn mhlith y cenhedloedd yn amser yr apostolion, at y rhai yr ysgrifenai Iago a Phedr. Modd bynag, nid oes dim sicrwydd i neb o honynt ddychwelyd, na sail gref i gasglu eu bod yn aros fyth yn gorff gwahanedig o bobl mewn un ran o'r byd: gwel ar Act. xxiv. 7, Iago i. 1, a 1 Pedr i. 1.

Adn. 7. *Felly y bu, am i feibion Israel bechu yn erbyn yr Arglwydd eu Duw*] Trwy eu heilunaddoliaeth, a'u hanufydd-dod i'w orchymynion ef, yr hwn a wnaethai gymaint iddynt hwy a'u tadau. Nid oedd yr Assyriaid ddim ond offerynau yn y caethgludiad hwn, Duw oedd y prif weithredydd, yr hwn a fwriai Israel allan o'i olwg o herwydd eu heilunaddoliaeth, adn. 18.

hedloedd, y rhai a fwriasai yr Ar-
glwydd allan o flaen meibion Israel,
ac *yn y deddfau* a wnaethai bren-
hinoedd Israel.
9 A meibion Israel a wnaethant
yn ddirgel bethau nid *oedd* union yn
erbyn yr Arglwydd eu Duw, ac a
adeiladasant iddynt uchelfeydd yn
eu holl ddinasoedd, o dŵr y gwylwyr
hyd y ddinas gaerog.
10 Gosodasant hefyd iddynt
ddelwau a llwyni ar bob bryn uchel,
a than bob pren îrlas:
11 Ac a arogldarthasant yno yn
yr holl uchelfeydd, fel y cenhedl-
oedd y rhai a gaethgludasai yr Ar-
glwydd o'u blaen hwynt; a gwnaeth-
ant bethau drygionus i ddigio yr
Arglwydd.
12 A hwy a wasanaethasant ei-
lunod, *am* y rhai y dywedasai yr
Arglwydd wrthynt, Na wnewch y
peth hyn.
13 Er i'r Arglwydd dystiolaethu
yn erbyn Israel, ac yn erbyn Juda,
trwy law yr holl broffwydi, *a* phob
gweledydd, gan ddywedyd, Dy-
chwelwch o'ch ffyrdd drygionus, a
chedwch fy ngorchymynion, *a*'m
deddfau, yn ol yr holl gyfraith a
orchymynais i'ch tadau, a'r hon a
anfonais atoch trwy law fy ngweis-
ion y proffwydi.
14 Eto ni wrandawsant, eithr ca-
ledasant eu gwarau fel gwarau eu
tadau, y rhai ni chredasant yn yr
Arglwydd eu Duw.
15 A hwy a ddirmygasant ei
ddeddfau ef, a'i gyfammod yr hwn
a wnaethai efe â'u tadau hwynt, a'i
dystiolaethau ef y rhai a dystiolaeth-
odd efe i'w herbyn; a rhodiasant ar
ol oferedd, ac a aethant yn ofer:
*aethant* hefyd ar ol y cenhedloedd y
rhai *oedd* o'u hamgylch, *am* y rhai
y gorchymynasai yr Arglwydd idd-
ynt, na wnelent fel hwynt.
16 A hwy a adawsant holl or-
chymynion yr Arglwydd eu Duw,
ac a wnaethant iddynt ddelwau
tawdd, *nid amgen* dau lo: gwnaeth-
ant hefyd lwyn, ac ymgrymasant i
holl lu y nefoedd, a gwasanaethas-
ant Baal.

---

Adn. 8. *A rhodio yn neddfau y cenhedloedd*] Sef yn ffyrdd, arferion, a defodau eilunaddolgar yr hen Ganaaneaid; *y rhai a fwriasai yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel*—o wlad Canaan: ac felly gallasent hwythau ddysgwyl yr un tâl, am wneuthur o honynt yr un gwaith. *Ac yn y deddfau a wnaethai brenhinoedd Israel*—y rhai a orchymynent addoliad y lloi aur, ac a waharddent fyned i Jerusalem i addoli y gwir Dduw. Nid cospi y deiliaid am i'w brenhinoedd wneyd y deddfau hyn yr oedd Duw, ond am iddynt hwy eu hunain ufyddhau iddynt, gan ymhyfrydu ynddynt.

Adn. 9. *A meibion Israel a wnaethant yn ddirgel*] Bethau ag yr oedd arnynt gywilydd eu harddel yn y goleuni; megys yr arferion ffiaidd a gyflawnid yn addoliad rhai o'u duwiau; *ac a adeiladasant iddynt uchelfeydd*—neu demlau i'w heilunod; *o dŵr y gwylwyr*—yn y wlad, lle nad oedd neb ond bugeiliaid yn aros, neu rai yn gwylied symudiadau eu gelynion; *hyd y ddinas gaerog*—hyny yw, yr oedd eu heilunaddoliaeth ffiaidd wedi dyfod yn beth cyffredinol mewn tref a gwlad.

Adn. 10. *A llwyni*] At addoliad ffiaidd Astaroth a Venus: gwel ar 1 Bren. xiv. 23, a xviii. 19.

Adn. 11. *Fel y cenhedloedd*] Gwel ar adn. 8.

Adn. 12. *A hwy a wasanaethasant eilunod*] Mewn dirmyg ar Dduw a'i awdurdod, ac yn groes i'w orchymyn: gwel ar Exod. xx. 3—5.

Adn. 13. *Trwy law yr holl broffwydi*] I'r rhai yr eglurodd efe ei ewyllys, a thrwy y rhai y cyhoeddodd efe hi, gan ddwyn tystiolaeth o'r nef i'w hathrawiaeth trwy wyrthiau rhyfedd a gogoneddus. Dywed Abarbinel fod un neu chwaneg o broffwydi dan deyrnasiad pob brenin yn Israel a Juda, y rhai a'u cymhellent hwy a'u deiliaid i droi oddiwrth eu pechodau at addoliad a gwasanaeth y gwir a'r bywiol Dduw.

Adn. 14. *Eithr caledasant eu gwarau*] Cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth ŷch ystyfnig, yr hwn ni ddarostwng ei war i'r iau; *fel gwarau eu tadau*—yn yr anialwch. Darfu i annghrediniaeth y tadau eu hattal hwy rhag dyfod i Ganaan, ac annghrediniaeth y plant eu troi hwythau allan o Ganaan.

Adn. 15. *Rhodiasant ar ol oferedd*] Sef ar ol eilunod, y rhai sydd bethau ofer i ymddiried ynddynt am gynorthwy; *ac a aethant yn ofer*—mor ofer a diddim a'r eilunod a addolent: *aethant hefyd ar ol y cenhedloedd*—y rhai a addolent *Baccus*, duw y gwin, gan ymroddi i annghymedroldeb; a addolent *Venus*, duwies cariad, gan ymroddi i anniweirdeb; ac a addolent *Mars*, duw rhyfel, gan ymroddi i dywallt gwaed.

Adn. 16. *A hwy a adawsant holl orchymynion yr Arglwydd*] O anufydd-dod i rai o orchymynion Duw, hwy a syrthiasant bob yn ychydig i hollol wrthgiliad oddiwrth yr oll o honynt; *ac a wnaethant iddynt ddelwau tawdd*—sef y ddau lo aur, un yn Dan, a'r llall yn Bethel, 1 Bren. xii. 28; *gwnaethant hefyd lwyn*—lle y gosodent eu delwau i'w haddoli; *ac ymgrymasant i holl lu y nefoedd*—sef i'r haul, y lloer, a'r ser; *ac a wasanaethasant Baal*—gwel ar 1 Bren. xiv, 31, 32.

17 A hwy a dynasant eu meibion
a'u merched trwy y tân, ac a arfer-
asant ddewiniaeth, a swynion, ac a
ymwerthasant i wneuthur yr hyn
oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd,
i'w ddigio ef.
18 Am hyny yr Arglwydd a ddig-
iodd yn ddirfawr wrth Israel, ac
a'u bwriodd hwynt allan o'i olwg:
ni adàwyd ond llwyth Juda yn
unig.
19 Ni chadwodd Juda chwaith or-
chymynion yr Arglwydd eu Duw,
eithr rhodiasant yn neddfau Israel
y rhai a wnelsent hwy.
20 A'r Arglwydd a ddiystyrodd
holl had Israel, ac a'u cystuddiodd
hwynt, ac a'u rhoddodd hwynt yn
llaw anrheithwyr, nes iddo eu bwrw
allan o'i olwg.
21 Canys efe a rwygodd Israel
oddiwrth dŷ Dafydd; a hwy a wn-
aethant Jeroboam mab Nebat yn
frenin: a Jeroboam a yrodd Israel
oddiar ol yr Arglwydd, ac a wnaeth
iddynt bechu pechod mawr.
22 Canys meibion Israel a rod-
iasant yn holl bechodau Jeroboam,
y rhai a wnaeth efe, heb gilio oddi-
wrthynt:
23 Nes i'r Arglwydd fwrw Israel
allan o'i olwg, fel y llefarasai trwy
law ei holl weision y proffwydi: ac
Israel a gaethgludwyd allan o'i
wlad ei hun i Assyria, hyd y dydd
hwn.
24 ¶ A brenin Assyria a ddyg
*bobl* o Babilon, ac o Cuthah, ac o Afa,
o Hamath hefyd, ac o Sepharfaim,
ac a'*u* cyfleodd *hwynt* yn ninasoedd
Samaria, yn lle meibion Israel. A
hwy a feddianasant Samaria, ac a
drigasant yn ei dinasoedd hi.
25 Ac yn nechre eu trigias hwy
yno, nid ofnasant hwy yr Arglwydd;
am hyny yr Arglwydd a anfonodd
lewod yn eu plith hwynt, y rhai a
laddasant *rai* o honynt.

---

Adn. 17. *Trwy y tân*] Gwel ar pen. xvi. 3; *ddewiniaeth a swynion*—sef pechodau ffiaidd y cenhedloedd, yn lle ymofyn â Duw a'i broffwydi: gwel ar Deut. xviii. 10—12: *ac a ymwerthasant i wneuthur yr hyn oedd ddrwg*—i fod yn gaethion yn ngwasanaeth diafol, fel y mae caethweision dan awdurdod eu meistr.

Adn. 18. *Ac a'u bwriodd hwynt allan o'i olwg*] O wlad Canaan, lle yr oedd addoliad a phresenoldeb grasol Duw; *ni adawyd ond llwyth Juda yn unig*—yn cynwys hefyd y rhan fwyaf o lwyth Benjamin, yn nghyda rhai o lwythau Simeon a Lefi, y rhai oeddynt wedi ymgorffori â hwynt, a chael eu llyncu yn eu henw hwynt.

Adn. 19. *Ni chadwodd Juda chwaith, &c.*] Yr oeddynt hwythau hefyd wedi ymlygru âg eilunaddoliaeth y deg llwyth, yn enwedig dan deyrnasiad Ahaz.

Adn. 20. *A'r Arglwydd a ddiystyrodd holl had Israel*] Sef brenhiniaeth Israel, neu y deg llwyth; oddieithr y personau unigol hyny a ymunasent â brenhiniaeth Juda: gwel 2 Cron. xi. 16.

Adn. 21. *Canys efe a rwygodd Israel oddiwrth dŷ Dafydd*] Yn amser Rehoboam mab Solomon, 1 Bren. xii. 16, &c.; *a hwy a wnaethant Jeroboam mab Nebat yn frenin*—pa weithred a briodolir yma i'r bobl, o herwydd nad arosasant hwy nes i Dduw, trwy ei ragluniaeth, roddi iddo y frenhiniaeth a addawsai, eithr codi o honynt yn fyrbwyll a gwrthryfelgar yn erbyn tŷ Dafydd, gan osod Jeroboam ar yr orsedd o'u penau eu hunain, heb ymgynghori â Duw. *A Jeroboam a yrodd Israel oddiar ol yr Arglwydd*—trwy attal iddynt fyned i Jerusalem i addoli yr Arglwydd, a'u gorfodi i addoli y lloi aur.

Adn. 22. *Heb gilio oddiwrthynt*] Ond dylyn siampl a gorchymynion drwg eu brenin yn ewyllysgar a phenderfynol.

Adn. 23. *Nes i'r Arglwydd fwrw Israel allan o'i olwg*] O wlad Canaan, yn gaethion i wlad Assyria.

Adn. 24. *A brenin Assyria a ddyg bobl o Babilon*] Sef o'r dinasoedd hyny yn Babilon ag oeddynt dan lywodraeth yr Assyriaid; *ac o Cuthah, &c.*—ond odid yr un a *Cus*. Y mae llawer o ansicrwydd gyda golwg ar y lleoedd hyn; ond gallwn feddwl eu bod oll dan lywodraeth brenin Assyria. *Ac a'u cyfleodd hwynt yn ninasoedd Samaria*—i breswylio yno yn lle deg llwyth Israel. Ymddengys mai ei amcan ef oedd tori ymaith bob achlysur i wrthryfelgarwch o blith yr Assyriaid a'r Israeliaid, trwy beri iddynt newid dwy wlad. Ni fyddai gan yr Assyriaid yn Samaria, na chan Israel yn Assyria, un dreftadaeth yno i'w hawlio, na dim dylanwad i godi plaid yn erbyn eu gorthrymwyr.

Adn. 25. *Ac yn nechre eu trigias hwy yno*] Neu eu preswyliad yn Samaria; *nid ofnasant hwy yr Arglwydd*—eithr addolent yn unig eu duwiau eu hunain, yr hyn oedd yn groes i egwyddorion ac arferiad y paganiaid, y rhai a addolent dduwiau y wlad lle y deuent yn chwanegol at eu duwiau eu hunain. *Am hyny yr Arglwydd a anfonodd lewod yn eu plith*—o brysglwyni yr Iorddonen, lle yr oedd llawer o honynt yn llochesu, Jer. xlix. 19, a lle y lluosogent o angenrheidrwydd ar ol i'r wlad gael ei diboblogi; *y rhai a laddasant rai o honynt*—fel barn neillduol arnynt am beidio ofni yr Arglwydd. Ni oddefai yr Arglwydd iddynt hwy yn ddigosp beidio ei ofni ef yn Nghanaan, ei wlad santaidd ei hun, mwy nag y goddefodd efe hyny yn Israel o'r blaen.

Adn. 26. *Am na wyddent ddefod Duw y*

26 Am hyny y mynegasant i frenin Assyria, gan ddywedyd, Y cenhedloedd y rhai a fudaist ti, ac a gyfleaist yn ninasoedd Samaria, nid adwaenant ddefod Duw y wlad: am hyny efe a anfonodd lewod yn eu mysg hwynt, ac wele, lladdasant hwynt, am na wyddent ddefod Duw y wlad.

27 Yna brenin Assyria a orchymynodd, gan ddywedyd, Dygwch yno un o'r offeiriaid a ddygasoch oddiyno, i fyned ac i drigo yno, ac i ddysgu iddynt ddefod Duw y wlad.

28 Felly un o'r offeiriaid a ddygasant hwy o Samaria a ddaeth ac a drigodd yn Bethel, ac a ddysgodd iddynt pa fodd yr ofnent yr Arglwydd.

29 Eto pob cenedl oedd yn gwneuthur eu duwiau eu hun, ac yn *eu* gosod yn nhai yr uchelfeydd a wnaethai y Samariaid, pob cenedl yn eu dinasoedd yr oeddynt yn preswylio ynddynt.

30 A gwŷr Babilon a wnaethant Succoth-Benoth, a gwŷr Cuth a wnaethant Nergal, a gwŷr Hamath a wnaethant Asima,

31 A'r Afiaid a wnaethant Nibhaz a Thartac, a'r Sepharfiaid a losgasant eu meibion yn tân i Adrammelech ac i Anammelech duwiau Sepharfaim.

32 Felly hwy a ofnasant yr Arglwydd, ac a wnaethant iddynt rai o'u gwehilion yn offeiriaid yr uchelfeydd, y rhai a wnaethant *aberth-*

---

*wlad*] Yr oeddynt yn meddwl fod Duw Israel, fel eu duwiau hwy, yn cael ei gyfyngu i ryw le neillduol, ac nid yn Dduw yr holl ddaear, ac yn Arglwydd pawb oll; a chasglent fod hon yn farn arnynt am beidio addoli 'Duw y wlad,' yr hyn nis gallent ei wneuthur, am na wyddent pa fodd i'w addoli.

Adn. 27. *Dygwch yno un o'r offeiriaid a ddygasoch oddiyno*] Y mae yn debyg mai un o offeiriaid y *lloi aur* oedd hwn, ac nid un o hiliogaeth Aaron, yn enwedig gan iddo fyned i drigo yn Bethel, lle yr oedd un o demlau y lloi.

Adn. 28. *Ac a ddysgodd iddynt pa fodd yr ofnent yr Arglwydd*] Y mae yn debyg iddo eu dysgu hwy i gydnabod yr Arglwydd fel Duw lleol y wlad hòno, i offrymu aberthau iddo ar yr uchelfeydd, ac i gyflawni rhai o ddefodau y ddeddf seremonïol; ond heb eu dysgu i adnabod Jehofa fel Bôd ysbrydol, anfeidrol, a thragwyddol, na dybenion ysbrydol yr aberthau a'r seremonïau a gyflawnent. Ond er mor anmherffaith oedd y ddysgeidiaeth hon, fel y sylwa Clarke, bu yn foddion yn y diwedd i ddiddymu eilunaddoliaeth y bobl hyn, nes eu bod yn fuan ar ol y caethiwed Babilonaidd mor rydd oddiwrth eilunaddoliaeth a'r Iuddewon eu hunain, ac y maent yn parhau felly hyd heddyw. Y maent yn awr bron wedi darfod oddiar y ddaear: yr ychydig weddillion ag sydd o honynt a geir yn *Naplouse* a *Jaffa*, yr hen Sichem a Joppa. Nid oes yn awr ond oddeutu 30 o deuluoedd o honynt, yn cynwys oddeutu 200 o bersonau, rhwng gwŷr, gwragedd, a phlant. Y mae ganddynt synagog, i'r hon yr ânt yn gyson bob sabbath, wedi ymwisgo mewn dillad gwŷnion: gwel ar Ioan iv. 9.

Adn. 29. *Eto pob cenedl*] O'r pump a enwir yn adn. 24; *oedd yn gwneuthur*—ac yn addoli eu duwiau eu hunain, y rhai yr arferent eu haddoli yn Babilon, Cutha, &c., yn chwanegol at addoliad yr Arglwydd; *ac yn eu gosod yn nhai yr uchelfeydd a wnaethai y Samariaid*—neu a wnaethai pobl Iarael, cyn eu caethgludo: gwel ar adn. 9—11.

Adn. 30. *A gwŷr Babilon*] Y rhai a ddaethant i Samaria o Babilon, adn. 24; *a wnaethant Succoth-Benoth*—neu 'bebyll y merched ieuainc,' lle yr oedd eilun ganddynt ar lun *iâr a chywion*, a lle y byddai merched ieuainc cysegredig i'r dduwies *Melitta*, neu *Venus*, yn ymddarostwng i anlladrwydd fel un o ddefodau eu haddoliad. *A gwŷr Cuth*—neu Cutha, adn. 24; *a wnaethant Nergal*—ymddengys mai yr *haul* oedd yr eilun hwn, fel yr achos o gylchdroadau dyddiol a blynyddol y planedau; oddiwrth *ner*, 'goleuni,' a *gal*, 'cylchdroi.' Dywed y rabbiniaid fod yr eilun hwn yn cael ei arddangos ar lun *ceiliog*, yr hwn a gân ar ddynesiad y bore. *A gwŷr Hamath a wnaethant Asima*—eilun ar lun *gafr*, meddai y rabbiniaid; a dywedir fod yr enw yn arwyddo 'iawn, cymod, dyhuddiant;' ac y mae yn debyg mai geifr a aberthent i wneuthur cymod.

Adn. 31. *A'r Afiaid a wnaethant Nibhaz a Thartac*] Yr oedd gan y rhai hyn ddau dduw: y cyntaf ar lun *epa*, a'i ben fel pen *ci*, ac yn sefyll ar ei ddau droed ol, gan edrych ar y lleuad; a'r ail ar lun *asyn*. Ond tybia rhai fod y naill yn arwyddo yr *haul*, a'r llall *gerbyd*. *A'r Sepharfiaid a losgasant eu meibion yn tân i Adrammelech ac i Anammelech*—meddylir nad oedd y rhai hyn ddim ond gwahanol enwau ar *Moloch*, gan eu bod yn llosgi eu meibion iddynt: ond dywed yr Iuddewon fod un ar lun *mul*, a'r llall ar lun *march;* neu ar lun *paun* a *chyffylogyn*, meddai ereill. Y mae hyd yn nod ein hanwybodaeth o barth yr eilunod hyn yn dysgu i ni gyflawniad gair Duw trwy Jeremia, (pen. x. 11,) y byddai iddynt oll gael eu dyfetha. Y maent oll wedi eu claddu mewn angnghof, tra y mae enw y gwir Dduw fyth mewn coffadwriaeth.

Adn. 32. *Felly hwy a ofnasant yr Arglwydd*] Yn ol fel yr oeddynt yn cael eu dysgu gan yr offeiriad, adn. 28; *ac a wnaethant iddynt rai o'u gwehilion yn offeiriaid*—i wasanaethu yr Arglwydd, tra yr oedd y rhai mwyaf urddasol o honynt ond odid yn offeiriaid i'w duwiau eu hunain: gwel ar 1 Bren. xii. 31.

*au* iddynt yn nhai yr uchelfeydd.
33 Yr Arglwydd yr oeddynt hwy
yn ei ofni, a gwasanaethu yr oedd-
ynt eu duwiau, yn ol defod y cen-
hedloedd y rhai a ddygasant oddi-
yno.
34 Hyd y dydd hwn y maent hwy
yn gwneuthur yn ol eu hen arferion:
nid ydynt yn ofni yr Arglwydd, ac
nid ydynt yn gwneuthur yn ol eu
deddfau hwynt, nac yn ol eu harfer,
nac yn ol y gyfraith na'r gorchym-
yn a orchymynodd yr Arglwydd i
feibion Jacob, yr hwn y gosododd
efe ei enw, Israel.
35 A'r Arglwydd a wnaethai gyf-
ammod â hwynt, ac a orchymynasai
iddynt, gan ddywedyd, Nac ofnwch
dduwiau dyeithr, ac nac ymgrym-
wch iddynt, ac na wasanaethwch
hwynt, ac nac aberthwch iddynt:
36 Ond yr Arglwydd yr hwn a'ch
dyg chwi i fyny o wlad yr Aifft â
nerth mawr, ac â braich estynedig,
efe a ofnwch chwi, ac iddo ef yr ym-
grymwch, ac iddo yr aberthwch.
37 Y deddfau hefyd, a'r barned-
igaethau, a'r gyfraith, a'r gorchym-
yn, a ysgrifenodd efe i chwi, a ged-
wch chwi i'w gwneuthur byth; ac
nac ofnwch dduwiau dyeithr.
38 Ac nac annghofiwch y cyfam-
mod a ammodais â chwi, ac nac
ofnwch dduwiau dyeithr:
39 Eithr ofnwch yr Arglwydd
eich Duw; ac efe a'ch gwared chwi
o law eich holl elynion.
40 Ond ni wrandawsant hwy, eithr
yn ol eu hen arfer y gwnaethant
hwy.
41 Felly y cenhedloedd hyn oedd
yn ofni yr Arglwydd, ac yn gwas-
anaethu eu delwau cerfiedig; eu
plant a'u hwyrion: fel y gwnaeth
eu tadau, y maent hwy yn gwneuth-
ur hyd y dydd hwn.

## PENNOD XVIII.

AC yn y drydedd flwyddyn i Hosea
mab Elah brenin Israel, y teyrn-

---

Adn. 33. *Yr Arglwydd yr oeddynt hwy yn ei ofni, a gwasanaethu yr oeddynt eu duwiau*] Nid oeddynt wedi gadael eu heilun-addoliaeth, ond corfforent addoliad y gwir Dduw gydag addoliad eu heilun-dduwiau. Yr oedd arnynt *ofn* Jehofa, yr hwn a anfonasai lewod i'w plith, adn. 25, ac am hyny cynygient fath o addoliad iddo ef i'w heddychu; ond yr oeddynt hefyd yn gwasanaethu eu duwiau eu hunain gydag *hyfrydwch*, am fod y cyfryw addoliad yn boddhau eu nwydau aflan a'u tueddiadau pechadurus. *Yn ol defod y cenhedloedd*—neu y gwahanol lwythau Israelaidd, y rhai a addolent y gwir Dduw, fel y tybient hwy, trwy y lloi aur.

Adn. 34. *Hyd y dydd hwn y maent hwy yn gwneuthur yn ol eu hen arferion*] Tybia rhai mai am yr Assyriaid a ddygwyd i dir Israel y dywedir hyn, eu bod yn parhau i wasanaethu eu duwiau ar yr un pryd ag y cymerent arnynt addoli yr Arglwydd, hyd y dydd yr ysgrifenwyd yr hanes hon. Ond barna ereill mai am yr Israeliaid y dywedir, eu bod yn parhau yn eu hen arferion eilunaddolgar ar ol eu caethgludo i Assyria; ac y mae hyny yn lled debyg, trwy mai am Israel y llefarir o hyn hyd ddiwedd adn. 40. *Nid ydynt yn ofni yr Arglwydd*—yn Assyria mwy nag yn Samaria; *ac nid ydynt yn gwneuthur yn ol eu deddfau hwynt*—y rhai a roddasai Duw i'w tadau ar Sinai; *nac yn ol eu harfer*—yn ol arfer eu tadau cyn iddynt lithro i eilunaddoliaeth. *Ei enw Israel*—gwel ar Gen. xxxii. 8; a xxxv. 10.

Adn. 35. *A'r Arglwydd a wnaethai gyfammod â hwynt*] Sef â thadau plant Israel yn Sinai: gwel ar Exod. xx. 3—5.

Adn. 36. *Yr hwn a'ch dyg chwi i fyny o wlad yr Aifft*] Crybwyllir hyn i ddangos y rhwymedigaeth fawr oedd arnynt hwy i wasanaethu yr Arglwydd yn unig, yr hwn a wnaethai gymaint erddynt. *A nerth mawr, ac â braich estynedig*—trwy rifres o wyrthiau rhyfeddol, y rhai a effeithid gan ei nerth hollalluog ef.

Adn. 37. *A ysgrifenodd efe i chwi*] Ar y ddwy lech faen; *i'w gwneuthur byth*—canys y mae y gyfraith foesol i'w chadw yn dragwyddol, ac yr oedd y ddeddf seremonïol i'w chadw hyd ddiddymiad yr oruchwyliaeth Iuddewig.

Adn. 38. *Ac nac annghofiwch y cyfammod a ammodais â chwi*] Trwy esgeuluso y wybodaeth o ddeddf Duw, neu anufyddhau iddi trwy eilunaddoliaeth.

Adn. 39. *Ac efe a'ch gwared chwi o law eich holl elynion*] Yn dymhorol ac ysbrydol.

Adn. 40. *Ond ni wrandawsant hwy*] Eithr gwnaethant yn ol eu hen arferion eilunaddolgar yn nyddiau Jeroboam tra y buont yn ngwlad Israel, ac wedi hyny yn ngwlad Assyria.

Adn. 41. *Felly y cenhedloedd hyn*] Y rhai a ddaethant i ddinasoedd Samaria yn lle yr Israeliaid; *oedd yn ofni yr Arglwydd, ac yn gwasanaethu eu delwau*—parhausant yn yr un cymysgedd o addoliad trwy bob cenhedlaeth hyd yr amser yr ysgrifenwyd yr hanes hon: gwel ar adn. 33.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Ac yn y drydedd flwyddyn, &c.*] O'r naw a grybwyllwyd yn pen. xvii. 1. Ar ol gorphen yr hanes am frenhiniaeth Israel, a chaethgludiad y deg llwyth i Assyria, y mae yr hanesydd santaidd yn troi yma i roddi hanes am frenhinoedd a theyrnas Juda o hyny yn mlaen.

asodd Hezeciah mab Ahaz brenin Juda.

2 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe pan aeth yn frenin, a naw mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Abi, merch Zachariah.

3 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union yn ngolwg yr Arglwydd, yn ol yr hyn oll a wnaethai Dafydd ei dad ef.

4 ¶ Efe a dynodd ymaith yr uchelfeydd, ac a ddrylliodd y delwau, ac a dorodd y llwyni, ac a faluriodd y sarff bres a wnelsai Moses; canys hyd y dyddiau hyny yr oedd meibion Israel yn arogldarthu iddi hi: ac efe a'i galwodd hi Nehustan.

5 Yn Arglwydd Dduw Israel yr ymddiriedodd efe, ac ar ei ol ef ni bu ei fath ef yn mhlith holl frenhinoedd Juda, nac *yn mysg* y rhai a fuasai o'i flaen ef.

6 Canys efe a lynodd wrth yr Arglwydd, ni thrôdd efe oddiar ei ol ef, eithr efe a gadwodd ei orchym-

---

Adn. 2. *Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe pan aeth yn frenin*] Gan mai 36 oedd oedran Ahaz pan fu farw, pen. xvi. 2, a bod Hezeciah ei fab yn 25 oed pan ddechreuodd deyrnasu, rhaid ei fod wedi ei eni pan yr oedd Ahaz ei dad yn 11 mlwydd oed. Y mae amrai ffyrdd i gyfarfod â'r dyryswch hwn: (1) Gall fod gwall o eiddo rhyw adysgrifenydd wedi ymlusgo i'r testyn, ac nad oedd Hezeciah mor hen yn dechreu teyrnasu ag y dywedir yma, neu fod Ahaz yn hynach pan ddechreuodd efe deyrnasu: gwel isod. (2) Neu dichon nad oedd Hezeciah ond newydd adael ei 24 pan aeth yn frenin, a bod ei dad bron yn 37 pan fu farw, yr hyn a'i gwna ef agos yn 13 pan genhedlwyd ei fab; ac y mae genym hanesion credadwy am feibion a merched yn y dwyrain, yn gystal ag yn India, yn cael plant pan oddeutu 12 oed. (3) Neu gall fod Ahaz yn 20 oed pan ddechreuodd efe gyd-deyrnasu â Jotham ei dad, ac iddo deyrnasu 16 mlynedd ei hun ar ol marwolaeth ei dad; ac felly yr oedd efe, pan fu farw, gynifer o flynyddoedd uwchlaw 36 mlwydd oed ag y bu yn cyd-deyrnasu â Jotham ei dad. Tybier fod Ahaz yn 20 mlwydd oed y pryd hyny, ac iddo fod yn cyd-deyrnasu â'i dad 5 mlynedd, a 16 mlynedd ar ol ei dad; gwnai hyny oedran Ahaz yn 41 pan fu farw, ac yn 16 pan genhedlwyd Hezeciah. (4) Ond yn 2 Cron. xxviii. 1, y mae y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r LXX, yn darllen, 'Mab *pum mlwydd ar hugain* oedd Ahaz pan ddechreuodd efe deyrnasu.' *Ac enw ei fam ef oedd Abi, merch Zachariah*—yn debygol y dyn duwiol hwnw ag ydoedd yn meddu y fath ddylanwad dan deyrnasiad Uzziah, (2 Cron. xxvi. 5,) dan hyfforddiad a siampl pa un y gallai ei ferch ef gadw ei mab Hezeciah oddiwrth eilunaddoliaeth Ahaz.

Adn. 3. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union*] Mewn pethau crefyddol tuag at Dduw, ac mewn pethau moesol a gwladol tuag at ddynion; *yn ol yr hyn oll a wnaethai Dafydd*—ïe, efe a ragorodd ar Dafydd, trwy ymgadw oddiwrth y pechodau ag y syrthiodd efe iddynt.

Adn. 4. *Efe a dynodd ymaith yr uchelfeydd, &c.*] Yr hyn ni ddarfu i'r brenhinoedd o'i flaen gynyg ei wneyd; *ac a faluriodd y sarff bres a wnelsai Moses*—i iachâu y rhai a frathesid gan y seirff tanllyd, Num. xxi. 4—9; *canys hyd y dyddiau hyny yr oedd meibion Israel yn arogldarthu iddi hi*—nid o'r amser y dygwyd hi i Ganaan, canys ni oddefasai Dafydd, na Solomon yn nechre ei deyrnasiad, i hyny gael ei wneuthur; a buasai Asa a Jehosaphat, pan y diwreiddiasant eilunaddoliaeth Juda, yn diwreiddio hon hefyd pe buasid yn arogldarthu iddi yn eu dyddiau hwy: felly y mae yn debyg i'r eilunaddoliaeth hwn dechreu yn nyddiau Ahaz, neu cyn hyny, pan y darfu i dŷ Juda briodi merched tŷ Ahab, ac y dygwyd pob math o eilunaddoliaeth i deyrnas Juda. Yr oedd y sarff bres hon wedi cael ei chadw er dyddiau Moses yn gysgod o Grist, ac yn goffadwriaeth o wyrth drugarog Jehofa i Israel, yr un modd a'r crochan manna a gwialen Aaron; ond pan aeth meibion Israel i dalu addoliad dwyfol iddi, yr oedd yn well gan Hezeciah falurio y gofeb hon o drugaredd ryfedd Duw i'w tadau, na goddef iddi gael ei chamddefnyddio felly. *Ac a'i galwodd hi Nehustan*—y *coegbeth* neu y *tegan pres*. Fel pe dywedasai, Pa fodd bynag y defnyddid y sarff hon gynt gan Dduw fel arwydd o'i allu a'i drugaredd, nid yw hi yn awr ddim ond dernyn o bres, yr hwn ni all wneuthur lles i chwi, na bod yn addas wrthddrych eich addoliad. Dylid sylwi, er y dywedir yma i Hezeciah falurio y sarff bres yn chwilfriw, a bwrw ei llwch ond odid i'r afon, fel llwch y llo aur gynt, Exod. xxxii. 20, eto fod y Pabyddion hyd heddyw yn cymeryd arnynt ei dangos hi yn gyfan yn eglwys St. Ambrose yn Milan!

Adn. 5. *Yn Arglwydd Dduw Israel yr ymddiriedodd efe*] Am bob cymhorth a bendith dymhorol ac ysbrydol, ac nid mewn eilunod, nac mewn braich o gnawd; *ac ar ei ol ef ni bu ei fath*—os gwrthddadleuir fod yr un peth yn cael ei ddywedyd am Josiah, pen. xxiii. 25, gellir sylwi, fod pob un o honynt yn rhagori ar y llall mewn rhai pethau; Hezeciah yn hyn, ddarfod iddo ef ddechreu ar y gwaith o ddiwygiad yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, 2 Cron. xxix. 3, yr hyn ni wnaeth Josiah hyd y 18fed, pen. xxii. 3; *nac yn mysg y rhai a fuasai o'i flaen ef*—canys nid oedd buchedd Dafydd a Solomon yn mhob peth mor ddifrycheulyd a'r eiddo ef.

Adn. 6. *Canys efe a lynodd wrth yr Arglwydd*] Sef wrth ei holl orchymynion ef, yn foesol, seremonïol, a gwladol.

Adn. 7. *Ac efe a wrthryfelodd yn erbyn*

ynion ef, y rhai a orchymynasai yr
Arglwydd wrth Moses.
7 A'r Arglwydd fu gydag ef; i
ba le bynag yr aeth, efe a lwyddodd:
ac efe a wrthryfelodd yn erbyn
brenin Assyria, ac nis gwasanaeth-
odd ef.
8 Efe a darawodd y Philistiaid
hyd Gaza a'i therfynau, o dŵr y
gwylwyr hyd y ddinas gaerog.
9 ¶ Ac yn y bedwaredd flwydd-
yn i'r brenin Hezeciah, (hòno *oedd*
y seithfed flwyddyn i Hosea mab
Elah brenin Israel,) y daeth Sal-
maneser brenin Assyria i fyny yn
erbyn Samaria, ac a warchaeodd
arni hi.
10 Ac yn mhen y tair blynedd
yr ennillwyd hi; yn y chweched
flwyddyn i Hezeciah, (hòno *oedd* y
nawfed flwyddyn i Hosea brenin
Israel,) yr ennillwyd Samaria.
11 A brenin Assyria a gaethglud-
odd Israel i Assyria, ac a'u cyfle-
odd hwynt yn Halah ac yn Habor,
*wrth* afon Gozan, ac yn ninasoedd y
Mediaid:
12 Am na wrandawsant ar lais
yr Arglwydd eu Duw, eithr tros-
eddu ei gyfammod ef, *a*'r hyn oll a
orchymynasai Moses gwas yr Ar-
glwydd, ac na wrandawent *arnynt*,
ac nas gwnaent *hwynt*.
13 ¶ Ac yn y bedwaredd flwydd-
yn ar ddeg i'r brenin Hezeciah, y
daeth Senacherib brenin Assyria i
fyny yn erbyn holl ddinasoedd caer-
og Juda, ac a'u hennillodd hwynt.
14 A Hezeciah brenin Juda a an-
fonodd at frenin Assyria i Lachis,
gan ddywedyd, Pechais, dychwel
oddiwrthyf: dygaf yr hyn a rodd-
ych arnaf. A brenin Assyria a os-
ododd ar Hezeciah brenin Juda, dri
chant o dalentau arian, a deg-ar-
hugain o dalentau aur.
15 A Hezeciah a roddodd *iddo* yr
holl arian a gafwyd yn nhŷ yr Ar-
glwydd, ac yn nhrysorau tŷ y
brenin.
16 Yn yr amser hwnw y torodd
Hezeciah *yr aur oddiar* ddrysau
teml yr Arglwydd, ac *oddiar* y co-
lofnau a orchuddiasai Hezeciah
brenin Juda, ac a'u rhoddes hwynt
i frenin Assyria.

---

*brenin Assyria*] Hyny yw, efe a daflodd ymaith yr iau i'r hon yr ymddarostyngasai ei dad yn llwfraidd, pen. xvi. 7, 8, ac a ymaflodd yn y benaduriaeth lawn ac annibynol a sefydlasai Duw yn nhŷ Dafydd; ac nid oedd hyny, er ei fod yn cael ei alw yma yn *wrthryfel*, yn ddim mwy na sicrhau hawliau cyfiawn ei goron.

Adn. 8. *Efe a darawodd y Philistiaid hyd Gaza*] Ac a ennillodd oddiarnynt yr hyn a gollasai ei dad, 2 Cron. xxviii. 18; *o dŵr y gwylwyr hyd y ddinas gaerog*—ymadrodd diarebol, yn arwyddo buddugoliaeth gyffredinol mewn tref a gwlad, pen. xvii. 9.

Adn. 9—12. *Daeth Salmaneser brenin Assyria i fyny yn erbyn Samaria, &c.*] Gwel hyn yn cael ei egluro yn pen. xvii. 3, &c.

Adn. 13. *Ac yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg*] Yr hyn oedd yn mhen wyth mlynedd ar ol caethgludo Israel, yr hyn a gymerodd le yn y chweched flwyddyn i Hezeciah, adn. 10; *y daeth Senacherib brenin Assyria*—dywed rhai mai *Salmaneser* oedd hwn; ond y mae yn debycach mai ei fab neu ei olynydd ydoedd. Cefnogwyd ef i wneyd yr ymosodiad hwn ar Juda gan lwyddiant ei dad yn erbyn Israel, ac i ddial ar Hezeciah am ei wrthryfel, adn. 7. *Yn erbyn holl ddinasoedd caerog Juda, ac a'u hennillodd hwynt*—y rhan fwyaf o honynt, ond nid yr oll, pen. xix. 8. Yr oedd yr ymosodiad hwn ar Juda yn drallod mawr i'r deyrnas, trwy yr hyn y profai Duw ffydd Hezeciah, ac y ceryddai efe y bobl, y rhai a elwir yn 'genedl ragrithiol,' Esay x. 6, am nad oeddynt yn cyduno o'u calon â Hezeciah i ddwyn yn mlaen y diwygiad, nac yn foddlon i ymadael â'u heilunod, a throi at Dduw mewn gwir edifeirwch.

Adn. 14—16. *A Hezeciah brenin Juda a anfonodd at frenin Assyria i Lachis*] Dinas yn llwyth Juda, 22 o filldiroedd i'r deau-orllewin o Jerusalem. Yr oedd Hezeciah ar y cyntaf wedi parotoi i wrthsefyll brenin Assyria, 2 Cron. xxxii. 1—8; ond wrth weled hwnw yn llwyddo i gymeryd ei ddinasoedd ef, collodd radd fawr o'i hyder yn yr Arglwydd, ofnodd am Jerusalem, a danfonodd ato i ddeisyf ammodau heddwch. Eithr efe a ddylasai ymddiried yn fwy yn Nuw, ac ymgynghori â'r proffwyd Esay cyn gwneuthur hyny. *Pechais*—nid yn erbyn yr Arglwydd, ond yn erbyn brenin Assyria, trwy wrthryfela yn ei erbyn ef, ac ysgwyd ymaith ei iau ef oddiarno, adn. 7; *dychwel oddiwrthyf*—adref i'th wlad dy hun; *dygaf yr hyn a roddych arnaf*—mewn ffordd o ddirwy. *Dri chant o dalentau arian, a deg-ar-hugain o dalentau aur*—yr hyn a gyraedd i £266,906 5*s*. o'n harian ni. I wneyd i fyny y swm hwn, yr oedd efe yn gorfod nid yn unig waghau y trysorfeydd cyhoeddus, ond hefyd gymeryd y llafnau aur oddiar ddrysau y deml, ac oddiar y colofnau, adn. 15, 16, er mwyn attal y gelyn, fel y tybiai efe, rhag llosgi y ddinas a'r deml; a diamau ei fod yn bwriadu adferu y trysorau hyn yn llawn cyn gynted ag y gallai.

Adn. 17. *A brenin Assyria a anfonodd Tartan, &c.*] Tri o'i dywysogion milwraidd;

17 ¶ A brenin Assyria a anfonodd Tartan, a Rabsaris, a Rabsaceh, o Lachis, at frenin Hezeciah, â llu dirfawr yn erbyn Jerusalem. A hwy a aethant i fyny, ac a ddaethant i Jerusalem. Ac wedi eu dyfod i fyny, hwy a ddaethant ac a safasant wrth bistyll y llyn uchaf, yr hwn *sydd* yn mhrif ffordd maes y panwr.
18 Ac wedi iddynt alw ar y brenin, daeth allan atynt hwy Eliacim mab Hilciah, yr hwn *oedd* benteulu, a Sobnah yr ysgrifenydd, a Joab mab Asaph y cofiadur.
19 A Rabsaceh a ddywedodd wrthynt hwy, Dywedwch yn awr wrth Hezeciah, Fel hyn y dywedodd y brenin mawr, brenin Assyria, Pa hyder *yw* hwn yr wyt yn ymddiried ynddo?
20 Dywedyd yr ydwyt, (*ond nid ydynt ond* geiriau ofer,) *Y mae genyf* gynghor a nerth i ryfel. Ar bwy y mae dy hyder pan wrthryfelaist i'm herbyn i?
21 Wele yn awr, y mae dy hyder ar y ffon gorsen ddrylliedig hon, ar yr Aifft, yr hon pwy bynag a bwyso arni, hi a â i gledr ei law ef, ac a dylla trwyddi hi: felly *y mae* Pharao brenin yr Aifft i bawb a hyderant arno ef.
22 Ac os dywedwch wrthyf, Yn yr Arglwydd ein Duw yr ydym ni yn ymddiried; onid efe *yw* yr hwn y tynodd Hezeciah ymaith ei uchelfeydd, a'i allorau, ac y dywedodd wrth Juda, ac wrth Jerusalem, O flaen yr allor hon yr ymgrymwch chwi yn Jerusalem?
23 Yn awr gan hyny dod wystlon, atolwg, i'm harglwydd brenin Assyria, a rhoddaf i ti ddwy fil o feirch, os gelli di roddi rhai a farchogo arnynt hwy.
24 A pha fodd y troi di ymaith wyneb un capten o'r gweision lleiaf i'm harglwydd, ac yr ymddiriedi yn yr Aifft am gerbydau a gwŷr meirch?
25 Ai heb yr Arglwydd y daethym i fyny yn erbyn y lle hwn, i'w

*â llu dirfawr yn erbyn Jerusalem*—ar ol i Senacherib dderbyn yr arian, am y rhai y cytunodd efe i ymadael o wlad Hezeciah, efe a dorodd ei gyfammod âg ef, yr hyn a barotôdd y ffordd i'w ddinystr ei hun; *ac a safasant wrth bistill y llyn uchaf*—neu y ddyfrffos ag oedd yn cludo dwfr o'r llyn uchaf i'r maes lle yr oedd y panwyr, ar ol golchi eu brethynau, yn eu taenu hwynt i'w sychu.

Adn. 18. *Ac wedi iddynt alw ar y brenin*] I ymdrin â hwy am heddwch, trwy ymostwng i ammodau newyddion; *daeth allan atynt hwy Eliacim, &c.*—tri o brif swyddogion Hezeciah: gwel ar Esay xxii. 15—24.

Adn. 19. *A Rabsaceh*] Yr hwn oedd y prif genad dros Senacherib: gwel ar adn. 26. *Fel hyn y dywedodd y brenin mawr*—felly y geilw efe frenin Assyria, fel pe buasai yn Dduw, neu frenin y brenhinoedd. *Pa hyder yw hwn yr wyt yn ymddiried ynddo?*—iaith ddirmygus am Jehofa, fel pe na buasai efe yn alluog i wrthsefyll Senacherib!

Adn. 20. *Y mae genyf gynghor a nerth i ryfel*] Cynghor i drefnu yn ddoeth, a nerth i gyflawni yn effeithiol: dau beth anhebgorol mewn rhyfel. Ond tybiai Rabsaceh na feddai Hezeciah un o'r ddau beth hyny, na neb i'w gynorthwyo yn erbyn brenin mawr Assyria, oddieithr brenin egwan a thwyllodrus yr Aifft.

Adn. 21. *Y ffon gorsen ddrylliedig hon*] Tybiai Rabsaceh fod Hezeciah yn ymddiried yn yr Aifft, ac am hyny efe a arddengys y deyrnas hòno mor wan a'r corsenau a dyfent ar lanau y Nilus, y rhai, os pwysai dyn arnynt, a dorent yn ysgyrion, nes y byddai i'r dellt dreiddio trwy ei law. Y cyfryw yw Pharao, meddai efe: ni cha neb gymhorth, eithr niwed, wrth hyderu arno ef.

Adn. 22. *Ac os dywedwch wrthyf, Yn yr Arglwydd, &c.*] Gwyddai Rabsaceh fod Hezeciah a'i bobl yn proffesu ymddiried yn yr Arglwydd; ond y mae efe yn ceisio dadseilio yr hyder hwnw, trwy ofyn, pa fodd y gallent hwy ddysgwyl y cynorthwyai yr Arglwydd hwy, pan yr oedd Hezeciah wedi dryllio ei uchelfeydd a'i allorau ef? adn. 4.

Adn. 23. *Yn awr gan hyny dod wystlon*] Y bydd i ti ymostwng dan deyrnged *flynyddol* i frenin Assyria; canys nid oedd yr arian o'r blaen ddim ond gwobr unwaith am byth, adn. 14. Neu gall mai yr ystyr yw, 'dod *arwydd* y deui di allan i ryfel â ni.' *A rhoddaf i ti ddwy fil o feirch*—gwawdiaith drahaus: fel pe dywedasai, Tyred allan i'r maes i ymladd; ac os gelli di gynull dwy fil o farchogion, y rhai a wyddant pa fodd i ddefnyddio meirch, mi a roddaf i ti ddwy fil o feirch at eu gwasanaeth; ac ar ol cael y fantais hòno, ni fydd genyt obaith yn erbyn ein byddinoedd lluosog a chedyrn ni.

Adn. 24. *A pha fodd y troi di ymaith wyneb un capten, &c.*] Hyd yn nod y lleiaf a'r gwanaf o holl gapteniaid byddin luosog yr Assyriaid: ac os na elli orchfygu un, pa fodd y dysgwyli allu gorchfygu yr oll, a pheri iddynt ffoi o'th flaen?

Adn. 25. *Ai heb yr Arglwydd y daethym i fyny yn erbyn y lle hwn, i'w ddinystrio ef?*] Sef heb ei ganiatâd a'i anfoniad ef. Efe a gasglai oddiwrth eu llwyddiant blaenorol fod Jehofa yn arweinydd iddynt; neu yn hytrach, efe a ddywedai hyn i ddychrynu gwŷr Juda. *Yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf*—hyn

ddinystrio ef? Yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Dos i fyny yn erbyn y wlad hon, a dinystria hi.
26 Yna y dywedodd Eliacim mab Hilciah, a Sobnah, a Joab wrth Rabsaceh, Llefara, atolwg, wrth dy weision yn Syriaeg, (canys yr ydym ni yn *ei* deall *hi,*) ac nac ymddyddan â ni yn iaith yr Iuddewon, lle y clywo y bobl *sydd* ar y mur.
27 Ond Rabsaceh a ddywedodd wrthynt, Ai at dy feistr di, ac atat tithau, yr anfonodd fy meistr fi, i lefaru y geiriau hyn? onid at y dynion sydd yn eistedd ar y mur; fel y bwytaont eu tom eu hun, ac yr yfont eu trwnc eu hun gyda chwi, *yr anfonodd fi?*
28 Felly Rabsaceh a safodd, ac a waeddodd â llef uchel yn iaith yr Iuddewon, llefarodd hefyd, a dywedodd, Gwrandewch air y brenin mawr, brenin Assyria.
29 Fel hyn y dywedodd y brenin, Na thwylled Hezeciah chwi; canys ni ddichon efe eich gwaredu chwi o'i law ef.
30 Ac na phared Hezeciah i chwi ymddiried yn yr Arglwydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd gan waredu a'n gwared ni, ac ni roddir y ddinas hon yn llaw brenin Assyria.
31 Na wrandewch ar Hezeciah: canys fel hyn y dywed brenin Assyria, Gwnewch fwynder â mi, a deuwch allan ataf fi, ac yna bwytewch bob un o'i winwydden ei hun, a phob un o'i ffigysbren, ac yfed pawb ddwfr ei ffynnon ei hun.
32 Nes i mi ddyfod a'ch dwyn chwi i wlad megys eich gwlad eich hun, gwlad ŷd a gwin, gwlad bara a gwinllanoedd, gwlad olew olewŵydd a mêl, fel y byddoch fyw, ac na byddoch feirw: ac na wrandewch ar Hezeciah, pan hudo efe chwi, gan ddywedyd, Yr Arglwydd a'n gwared ni.
33 A lwyr-waredodd yr un o dduwiau y cenhedloedd ei wlad o law brenin Assyria?
34 Mae duwiau Hamath ac Arpad? mae duwiau Sepharfaim, He-

oedd anwiredd noeth, rhyfygus, a chableddus, i ddychrynu Hezeciah a'i bobl, ac i leihau eu hyder hwy yn yr Arglwydd.

Adn. 26. *Llefara, atolwg, wrth dy weision yn Syriaeg*] Yr hon a ddeallai y triwŷr hyn o weision Hezeciah, ond na ddeallid gan y milwyr cyffredin ag oeddynt yn cadw mur y ddinas. Dywed yr Iuddewon mai Iuddew gwrthgiliedig oedd y Rabsaceh hwn, ac mai am hyny yr oedd efe mor hyawdl yn iaith yr Iuddewon, ac mor barod ei ymadroddion am Dduw Israel, ac mor chwerw yn erbyn y wir grefydd; a chasglant hyny hefyd oddiwrth waith y triwŷr hyn yn rhwygo eu dillad, adn. 37, yr hyn ni wnaethent wrth gabledd pagan.

Adn. 27. *Onid at y dynion sydd yn eistedd ar y mur*] Fel pe dywedasai, Anfonwyd fi nid atoch chwi a'ch brenin yn unig, y rhai ydych yn deall ein hiaith ni, ond at y milwyr cyffredin hefyd, i fynegu iddynt hwythau yr adfyd, a'r trueni i'r hwn y darostyngir hwynt trwy ein gwrthsefyll ni. *Fel y bwytaont eu tom eu hun, ac yn yfont eu trwnc eu hun*—geiriau yn arwyddo y newyn a'r syched mwyaf.

Adn. 28, 29. *Felly Rabsaceh—a waeddodd â llef uchel yn iaith yr Iuddewon*] Fel y gallai efe ddychrynu y bobl i gydsynio â'i gynygiad ef. *Gwrandewch air y brenin mawr, &c.*—yma efe a gyhoedda drachefn, gyda'r sicrwydd mwyaf, gryfder ei frenin ei hun, a gwendid Hezeciah; gan ddangos iddynt mai eu twyllo yr oedd Hezeciah, os oedd efe yn addaw iddynt ei fod yn abl i'w gwaredu.

Adn. 30. *Ac na phared Hezeciah i chwi ymddiried yn yr Arglwydd*] Er fod brenin Assyria wedi ennill llawer o ddinasoedd Juda eisioes, adn. 13, eto credai Hezeciah na roddai yr Arglwydd mo Jerusalem yn ei law ef, ond iddynt hwy ymddiried yn yr Arglwydd; a pharai i'w bobl wneuthur felly.

Adn. 31. *Na wrandewch ar Hezeciah*] Fel hyn ceisiai y dyn hwn hudo y bobl oddiwrth eu ffyddlondeb i'w brenin, a'u hymddiriediad yn eu Duw, yr hyn oedd yn rhyfyg annuwiol ynddo. *Gwnewch fwynder â mi*—Saes. 'gwnewch *gytundeb* â mi *trwy anrheg*,' i'ch prynu eich hunain oddiwrth y dinystr ag sydd yn eich bygwth. Neu, fel y mae yn yr Hebraeg, '*gwnewch fendith* â mi,' neu heddwch bendigedig, trwy yr hwn y'ch gwaredir o'ch cyflwr truenus. *Ac yna bwytewch bob un o'i winwydden ei hun*—codaf y gwarchae presenol, a chewch lonydd am amser i fwynhau eich eiddo.

Adn. 32. *Nes i mi ddyfod a'ch dwyn chwi i wlad, &c.*] Arferai brenin Assyria gaethgludo pawb a orchfygid ganddo i ryw wlad arall, fel y gwelsom iddo wneyd â deg llwyth Israel; ac nis gallai gelu rhag pobl Juda mai felly y gwnai efe â hwythau yn mhen ychydig: ond efe a awgrymai iddynt, os deuent hwy yn awr allan ato ef, ac ymostwng iddo, y dygai efe hwynt i wlad megys eu gwlad eu hunain, un hyfryd, fras, a thoreithiog o bob daioni, lle y caent fyw yn esmwyth, digonol, a diogel.

Adn. 33. *A lwyr-waredodd yr un o dduwiau y cenhedloedd, &c.*] Naddo; ac yr oedd rheswm da paham na wnaethant, sef am nad oeddynt dduwiau. Eithr Duw Hezeciah a'i bobl oedd y gwir Dduw hollalluog, yr hwn a

na, ac Ifah? a achubasant hwy Sa-
maria o'm llaw i?
35 Pwy *sydd* yn mhlith holl dduw-
iau y gwledydd a waredasant eu
gwlad o'm llaw i, fel y gwaredai yr
Arglwydd Jerusalem o'm llaw i?
36 Eithr y bobl a dawsant, ac
nid atebasant air iddo: canys gor-
chymyn y brenin *oedd* hyn, gan
ddywedyd, Nac atebwch ef.
37 Yna y daeth Eliacim mab Hil-
ciah, yr hwn *oedd* ben-teulu, a Sob-
nah yr ysgrifenydd, a Joab mab
Asaph y cofiadur, at Hezeciah, a'*u*
dillad yn rhwygedig, ac a fynegas-
ant iddo eiriau Rabsaceh.

## PENNOD XIX.

A PHAN glybu y brenin Hezeciah
*hyny*, efe a rwygodd ei ddillad,
ac a ymwisgodd â sachlian, ac a
aeth i mewn i dŷ yr Arglwydd.
2 Ac efe a anfonodd Eliacim, yr
hwn *oedd* ben-teulu, a Sobnah yr
ysgrifenydd, a henuriaid yr offeir-
iaid, wedi ymwisgo mewn sachlian,
at Esay y proffwyd mab Amos.
3 A hwy a ddywedasant wrtho
ef, Fel hyn y dywed Hezeciah, Di-
wrnod cyfyngdra, a cherydd, a
chabledd, *yw* y dydd hwn: canys y
plant a ddaethant hyd yr enedigaeth,
ond nid *oes* grym i esgor.
4 Fe allai y gwrendy yr Arglwydd
dy Dduw holl eiriau Rabsaceh, yr
hwn a anfonodd brenin Assyria ei
feistr ef i gablu y Duw byw, ac y
cerydda efe y geiriau a glybu yr Ar-
glwydd dy Dduw: am hyny dyrcha
*dy* weddi dros y gweddill *sydd* i'w
gael.

---

allai eu gwaredu hwynt o law brenin Assyria, ac a'u gwaredodd.

Adn. 34. *Mae duwiau Hamath ac Arpad? &c.*] Y rhai hyn oeddynt ddinasoedd neu wledydd a orchfygesid gan frenhinoedd Assyria, megys hefyd y lleoedd ereill a enwir yma: ac am hyny dadleuai Rabsaceh fod duwiau Assyria yn gryfach nag eiddo un genedl arall. *A achubasant hwy Samaria o'm llaw i?*—gellir meddwl oddiwrth hyn fod Israel, cyn eu caethgludo o Samaria, yn addoli duwiau Hamath, &c.

Adn. 35. *Fel y gwaredai yr Arglwydd Jerusalem o'm llaw i*] Gan nad oedd un o dduwiau y gwledydd hyny wedi gallu gwared ei wlad o'i law ef, hònai y dyn cableddus hwn nas gallai Jehofa, y Duw hollalluog, waredu Jerusalem o'i law ef!

Adn. 36. *Eithr y bobl a dawsant*] Tra yr oedd efe yn traethu ei araeth fostfawr; *ac nid atebasant air iddo*—mewn ffordd o feiddiad nac ymostyngiad; *canys gorchymyn y brenin oedd hyn,—Nac atebwch ef*—rhag iddynt trwy ei ateb ddangos eu hofnau, na chythruddo eu gelynion i fwy o drahausder a chableddau: a thrwy eu hufydd-dod a'u tawelwch gallai yr Assyriaid weled penderfyniad y bobl i ymlynu wrth eu brenin, a'r ffolineb o geisio ganddynt wrthryfela yn ei erbyn ef.

Adn. 37. *A'u dillad yn rhwygedig*] Yn arwydd o'u gofid o herwydd cabledd Rabsaceh, a'r sefyllfa beryglus yr oedd Jerusalem a holl deyrnas Juda ynddi yn bresenol: gwel ar adn. 26.

PEN. XIX. Adn. 1. *A phan glybu y brenin Hezeciah*] Gabledd a bygythion Rabsaceh; *efe a rwygodd ei ddillad*—yn arwydd o'i ofid dirfawr yntau o herwydd y fath gabledd, ac o herwydd sefyllfa gyfyng ei bobl y pryd hyn; *ac a aeth i mewn i dŷ yr Arglwydd*—i daenu ei achos gerbron Duw.

Adn. 2. *Ac efe a anfonodd Eliacim—a Sobnah yr ysgrifenydd*] Dau o'i brif swyddogion gwladol, y rhai a glywsent gabledd Rabsaceh yn y bennod flaenorol; *a henuriaid yr offeiriaid*—y rhai hynaf a mwyaf cyfrifol o honynt; *wedi ymwisgo mewn sachlian*—yr un modd a'r brenin ei hun, adn. 1, i ddangos eu bod yn gydgyfranogion âg ef yn y galar a'r gofid presenol; *at Esay y proffwyd*—yr hwn yr oedd ei glod a'i ddylanwad yn fawr y pryd hyny yn Israel. 'Yma,' fel y sylwa Clarke, 'y mae yr eglwys a'r wladwriaeth yn cyduno mewn taer ddeisyfiad at Dduw, ac ymddibyniad arno; ac wele fel y llwyddasant!'

Adn. 3. *Diwrnod cyfyngdra, a cherydd, a chabledd, yw y dydd hwn*] Oddiwrth yr Assyriaid, y rhai sydd yn ein gwasgu, yn ein poenydio, ac yn ein gwaradwyddo ni a'n Duw; *canys y plant a ddaethant hyd yr enedigaeth, ond nid oes grym i esgor*—yr ydym fel gwraig mewn gwewyr, heb ganddi nerth i'w chynorthwyo ei hun, na chwaith i esgor. Ceisiasom ymryddhau oddiwrth iau yr Assyriaid, a dygasom y gwaith yn mlaen i beth addfedrwydd, bron hyd enedigaeth rhyddid; ond nid oes genym rym i'w orphen. Dechreuasom ddiwygiad dedwydd, ond attaliwyd ni gan yr Assyriaid trahaus hyn rhag ei ddwyn i berffeithrwydd.

Adn. 4. *Fe allai y gwrendy yr Arglwydd*] Efe a lefara yn amheus, am na wyddai na fyddai i Dduw eu traddodi hwy oll i ddwylaw yr Assyriaid, fel y gwnaethai â theyrnas Israel; canys gwyddai ei fod ef a'i bobl yn haeddu hyny: *ac y cerydda efe y geiriau*—neu, 'y cerydda efe *ef am* y geiriau,' fel y mae y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r Galdeaeg yn ei gyfieithu. *Dyrcha dy weddi dros y gweddill sydd i'w gael*—sef dros Juda, y rhai nid ydynt ond ychydig weddill ar ol caethgludo y deg llwyth; neu dros Jerusalem, yr hon nid yw ond gweddill, ar ol i ddinasoedd Juda gael eu cymeryd.

Adn. 5. *At Esay*] Yr hwn yn debygol

5 Felly gweision y brenin Hezec-
iah a ddaethant at Esay.
6 ¶ Ac Esay a ddywedodd wrth-
ynt, Fel hyn y dywedwch wrth
eich meistr, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Nac ofna y geiriau a glyw-
aist, *trwy* y rhai y cablodd gweision
brenin Assyria fi.
7 Wele fi yn rhoddi arno ef wynt,
ac efe a glyw swn, ac a ddychwel
i'w wlad: gwnaf hefyd iddo syrth-
io gan y cleddyf yn ei wlad ei hun.
8 ¶ Yna y dychwelodd Rabsaceh,
ac a gafodd frenin Assyria yn ym-
ladd yn erbyn Libnah: canys efe a
glywsai fyned o hono ef ymaith o
Lachis.
9 A phan glybu efe am Tirhacah
brenin Ethiopia, gan ddywedyd,
Wele efe a ddaeth allan i ryfela â
thi; efe a anfonodd genadau dra-
chefn at Hezeciah, gan ddywedyd,
10 Fel hyn y lleferwch wrth He-
zeciah brenin Juda, gan ddywedyd,
Na thwylled dy Dduw di, yr hwn
yr wyt yn ymddiried ynddo, gan
ddywedyd, Ni roddir Jersalem yn
llaw brenin Assyria.
11 Wele, ti a glywaist yr hyn a
wnaeth brenhinoedd Assyria i'r holl
wledydd, gan eu difrodi hwynt: ac
a waredir di?
12 A waredodd duwiau y cenhedl-
oedd hwynt, y rhai a ddarfu i'm
tadau i eu dinystrio; *sef* Gozan, a
Haran, a Rezeph, a meibion Eden
y rhai *oedd* o fewn Thelasar?
13 Mae brenin Hamath, a brenin
Arpad, a brenin dinas Sepharfaim,
Hena, ac Ifah?
14 ¶ A Hezeciah a gymerodd y
llythyrau o law y cenadau, ac a'u
darllenodd hwy: a Hezeciah a aeth
i fyny i dŷ yr Arglwydd, ac a'u lled-
odd hwynt gerbron yr Arglwydd.
15 A Hezeciah a weddiodd ger-
bron yr Arglwydd, ac a ddywedodd,
O Arglwydd Dduw Israel, yr hwn
wyt yn trigo *rhwng* y cerubiaid,
tydi sydd Dduw, tydi yn unig, i holl
deyrnasoedd y ddaear; ti a wnaeth-
ost y nefoedd a'r ddaear.

---

oedd yn aros yn neu gerllaw Jerusalem.

Adn. 6. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Y mae yn debyg ddarfod i Esay weddio ar yr Arglwydd yn ol cais y brenin, ac mai mewn atebiad i'w weddi ef y caed yr addewid o'r cyfryngiad dwyfol.

Adn. 7. *Wele fi yn rhoddi arno ef wynt, ac efe a glyw swn*] Saes. '*rumour*—sôn, chwedl,' &c. Meddylir yn gyffredin fod y *sôn* hwn yn cyfeirio at y newydd am Tirhacah yn dyfod i'w erbyn ef, adn. 9; a'r *gwynt* yn cyfeirio at yr hyn a laddodd 185,000 o'i filwyr ef, adn. 35. Ond gan fod y gwynt hwn yn blaenori y swn, neu yn ei achosi, tybia rhai ddarfod i ryw wynt goruwchnaturiol chwythu arno, a swnio yn ei glustiau, tua'r amser y lladdwyd yr Assyriaid, a hyny trwy weinidogaeth angel, i'r dyben i'w ddychrynu a'i ddigaloni ef. *Gwnaf hefyd iddo syrthio gan y cleddyf*—ac felly y bu, adn. 37.

Adn. 8. *Yna y dychwelodd Rabsacah*] I adrodd i frenin Assyria yr hyn a wnaethai, ac i dderbyn gorchymyn pellach, gan adael ei fyddin ond odid dan ofal y swyddogion ereill wrth ddinas Jerusalem; *ac a gafodd frenin Assyria yn ymladd yn erbyn Libnah*—dinas arall berthynol i Juda, oddeutu 8 milldir i'r gogledd o Lachis.

Adn. 9. *A phan glybu efe am Tirhacah brenin Ethiopia*] Fod hwnw yn dyfod tua Juda i ryfela yn ei erbyn ef, yn cael ei gynorthwyo, meddai Josephus, gan frenin yr Aifft; *efe a anfonodd genadau drachefn at Hezeciah*—i'r dyben i'w ddychrynu ef a'i bobl i ymostyngiad ebrwydd; ac yr oedd yn fwy angenrheidiol iddo wneyd brys yn awr, gan fod dyfodiad Tirhacah wedi ei gwneuthur yn anmhosibl iddo ef aros yn hir i warchae ar Jerusalem.

Adn. 10. *Fel hyn y lleferwch*] Neu yr ysgrifenwch mewn llythyr, adn. 14. *Na thwylled dy Dduw di*—ymddengys i Senacherib glywed fod Hezeciah wedi cael hysbysiad oddiwrth yr Arglwydd na lwyddai brenin Assyria yn ei erbyn ef.

Adn. 11. *Ac a waredir di*] Pan y mae pob gwlad ag yr ymosodir arni gan frenhinoedd Assyria yn cael eu difrodi heb eithriad?

Adn. 12. *A waredodd duwiau y cenhedloedd*] Y mae y llythyr hwn o'r un ystyr ag araeth Rabsaceh, pen. xviii. 33. *Gozan, a Haran, &c.*—sef lleoedd o amgylch yr Euphrates, Media, &c.

Adn. 13. *Mae brenin Hamath, &c.*] Lle ar derfyn gogleddol Canaan. Fel yr oedd efe o'r blaen wedi cydmharu duwiau y lleoedd hyn â Duw Jerusalem, felly y mae efe yn awr yn cydmharu eu brenhinoedd hwynt â'r brenin Hezeciah, neu â Brenin y nefoedd, gan awgrymu na fedrai y naill na'r llall waredu pobl Juda o'i law ef.

Adn. 14. *A Hezeciah a gymerodd y llythyrau*] Y rhai a gynwysent y cableddau bostfawr uchod; *i dŷ yr Arglwydd*—i gyntedd allanol y deml; *ac a'u lledodd hwynt gerbron yr Arglwydd*—fel pe buasai yn ewyllysio iddo ef ddarllen y cableddau a gynwysent yn erbyn ei Fawredd ei hun.

Adn. 15. *O Arglwydd Dduw Israel*] Yr hwn wyt wedi neillduo Israel yn bobl gyfammodol i ti dy hun; *yr hwn wyt yn trigo rhwng y cerubiaid*—ar y drugareddfa yn y cysegr santeiddiolaf, 1 Sam. iv. 4; *tydi sydd Dduw, tydi yn unig, i holl deyrnasoedd y*

16 Gogwydda, Arglwydd, dy
glust, a gwrando: agor dy lygaid,
Arglwydd, ac edrych; a gwrando
eiriau Senacherib, yr hwn a anfon-
odd i ddifenwi y Duw byw.
17 Gwir *yw*, O Arglwydd, i fren-
hinoedd Assyria ddifa yr holl gen-
hedloedd a'u tir,
18 A rhoddi eu duwiau hwynt yn
tân: canys nid *oeddynt* hwy dduw-
iau, eithr gwaith dwylaw dyn, *o*
goed a maen: am hyny y dinystr-
iasant hwynt.
19 Yn awr, gan hyny, O Ar-
glwydd ein Duw ni, achub ni, atol-
wg, o'i law ef, fel y gwypo holl
deyrnasoedd y ddaear mai tydi *yw*
yr Arglwydd Dduw, tydi yn unig.
20 ¶ Yna Esay mab Amos a an-
fonodd at Hezeciah, gan ddywedyd,
Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw
Israel, Gwrandewais ar yr hyn a
weddiaist arnaf fi yn erbyn Senach-
erib brenin Assyria.
21 Dyma y gair a lefarodd yr Ar-
glwydd yn ei erbyn ef, Y forwyn
merch Seion a'th ddirmygodd di,
*ac* a'th watwarodd; merch Jeru-
salem a ysgydwodd ben ar dy ol di.
22 Pwy a ddifenwaist ti, ac a
geblaist? ac yn erbyn pwy y dyrch-
efaist ti *dy* lef, ac y codaist yn uchel
dy lygaid? yn erbyn Sant Israel.
23 Trwy law dy genadau y cebl-
aist ti yr Arglwydd, ac y dywedaist,
A lluaws fy ngherbydau y dringais
i uchelder y mynyddoedd, i ystlysau
Libanus; a mi a doraf uchelder ei

---

*ddaear*—tybiai Senacherib a Rabsaceh nad oedd Jehofa yn Dduw i neb ond Israel yn unig, fel duwiau y gwahanol genhedloedd; ond addefai Hezeciah ei fod yn wir Dduw, ac mai efe yn unig oedd felly, a'i fod yn Dduw i holl deyrnasoedd y ddaear, fel eu Creawdwr a'u Llywodraethwr.

Adn. 16. *Gogwydda, Arglwydd, dy glust, a gwrando*] Ar weddi Hezeciah; *agor dy lygaid, Arglwydd, ac edrych*—ar y cyfyngder ag yr oedd ei bobl ynddo yn awr; *a gwrando eiriau Senacherib*—y rhai oeddynt yn ysgrifenedig yn y llythyr agored ger ei fron; *yr hwn a anfonodd i ddifenwi y Duw byw*—trwy ei gydmharu â duwiau meirwon y cenhedloedd.

Adn. 17. *Gwir yw, O Arglwydd, i frenhinoedd Assyria ddifa yr holl genhedloedd a'u tir*] Fel y dywedasai Senacherib yn ymffrostgar yn ei lythyr, adn. 11, 12; a'i feddwl wrth gyfaddef hyny oedd, nad allai yntau ddim sefyll yn ei wyneb ef mwy na hwythau, os nad amddiffynai yr Arglwydd ef.

Adn. 18. *A rhoddi eu duwiau hwynt yn tân*] Y rhai oeddynt yn analluog i'w hachub eu hunain na'u haddolwyr, am nad oeddynt dduwiau: gwel ar pen. xviii. 33.

Adn. 19. *Yn awr, gan hyny, O Arglwydd ein Duw ni*] Yr hwn yr ydym ni yn ei addoli; *achub ni, atolwg, o'i law ef*—ac na âd iddo ein dinystrio ni, fel y dinystriodd efe y cenhedloedd ereill; *fel y gwypo holl deyrnasoedd y ddaear*—fod Duw Israel yn wir Dduw, ac mai efe yn unig sydd felly. Ni buasai ond peth bychan mewn cydmhariaeth i Hezeciah a'i bobl gael eu dystrywio; ond buasai yn ddrwg annhraethol yn ei ganlyniadau i'r holl genhedloedd benderfynu trwy hyny nad oedd Arglwydd Dduw Israel yn meddu dim mwy o allu na'u heilunod meirwon a diddim hwy. Y ddadl oraf mewn gweddi yw yr hon a gymerir oddiwrth anrhydedd Duw; ac am hyny y mae gweddi yr Arglwydd yn dechreu gyda 'Sant eiddier dy enw,' ac yn diweddu gydag, 'Eiddot ti yw y gogoniant.'

Adn. 20. *Yna Esay mab Amos a anfonodd at Hezeciah*] Mynegwyd i Esay, gan ysbryd proffwydoliaeth, fod Hezeciah wedi gosod ei achos o flaen Duw yn y deml, a gorchymynwyd iddo sicrhau i'r brenin fod ei ddeisyfiad wedi cael ei wrando.

Adn. 21. *Dyma y gair a lefarodd yr Arglwydd*] Ebai Esay, fel parhad o'i genadwri at Hezeciah. *Y forwyn merch Seion*—y mae 'merch Seion,' a 'merch Jerusalem,' yn arwyddo yma trigolion Seion a Jerusalem; a gelwir hwynt yn 'forwyn,' neu wyryf, gyda golwg ar eu purdeb oddiwrth eilunaddoliaeth, a'u ffyddlondeb gydag addoliad Duw; *a'th ddirmygodd di, ac a'th watwarodd*—fel un heb allu genyt i'w darostwng. Neu arwyddir y byddai i drigolion Jerusalem watwar brenin Assyria ar ol i'w fyddin ef gael ei dinystrio; ac ysgwyd pen ar ei ol ef, pan yn gorfod ffoi oddiyno i'w wlad ei hun, adn. 35, 36.

Adn. 22. *Yn erbyn Sant Israel*] Yr hwn y mae ei anrhydedd yn anwyl yn ei olwg, a'r hwn a fedd allu i'w amddiffyn ef. Y mae yr enw *Sant* yn dangos mawredd a santeiddrwydd Duw, a *Sant Israel* yn arwyddo ei berthynas gyfammodol ef âg Israel, a'i benderfyniad i'w gwaredu hwy.

Adn. 23. *A lluaws fy ngherbydau y dringais i uchelder y mynyddoedd*] Yma danghosir ef yn ymffrostio nad oedd un mynydd yn rhy uchel ac anhawdd iddo ef yru ei gerbydau drosto, un goedwig yn rhy anhydraidd iddo ef ei thori i lawr a myned trwyddi, nac un lle yn rhy gadarn iddo ef ei ennill a myned iddo. *Ystlysau Libanus*—mynydd enwog am gedrwydd a ffynidwydd; ac arwyddant yma, yn gyffelybiaethol, dywysogion a phendefigion y wlad, y rhai y bwriadai efe eu gorchfygu. *Af hefyd i'w lety eithaf*—ei amddiffynfeydd ar derfynau y wlad; *ac i goedwig ei ddoldir ef*—sef Jerusalem a'r deml. Y meddwl yw, fod ei allu ef yn ddigonol i symud pob attalfa, i ddryllio pob amddiffynfa, ac i orchfygu pob gwrthsafiad trwy yr holl wlad.

Adn. 24. *Myfi a gloddiais, ac a yfais ddyfr-*

gedrwydd ef, *a*'i ddewis ffynidwydd ef, âf hefyd i'w lety eithaf, *ac i* goedwig ei ddoldir ef.
24 Myfi a gloddiais, ac a yfais
ddyfroedd dyeithr, ac â gwadnau fy nhraed y dyhysbyddais holl afonydd y gwarchäedig.
25 Oni chlywaist ti ddarparu o
honof fi hyn er ys talm, ac i mi lunio hyny er y dyddiau gynt? yn awr y dygais hyny i ben, fel y byddit i ddinystrio dinasoedd caerog *yn* garneddau dinystriol.
26 Am hyny eu trigolion yn
gwtoglaw a ddychrynwyd, ac a gywilyddiwyd: oeddynt *megys* gwellt y maes, fel gwyrddlysiau, *neu* laswelltyn ar benau *tai*, neu ŷd wedi deifio cyn addfedu.
27 Dy eisteddiad hefyd, a'th fy-
nediad allan, a'th ddyfodiad i mewn, a adnabum i, a'th gynddeiriogrwydd i'm herbyn.
28 Am it' ymgynddeiriogi i'm
herbyn, ac i'th ddadwrdd ddyfod i fyny i'm clustiau i; am hyny y gosodaf fy mach yn dy ffroen, a'm ffrwyn yn dy weflau, ac a'th ddychwelaf di ar hyd yr un ffordd ag y daethost.
29 A hyn *fydd* yn argoel i ti, *O*
*Hezeciah:* Y flwyddyn hon y bwytâi a dyfo o hono ei hun, ac yn yr ail flwyddyn yr attwf; ac yn y drydedd flwyddyn heuwch, a medwch, planwch winllanoedd hefyd, a bwytewch eu ffrwyth hwynt.
30 A'r gweddill o dŷ Juda *yr hwn* a

---

*oedd dyeithr*] 'Hyd yn hyn cefais fy holl ddymuniadau: pa beth bynag y sychedwn yn fawr am dano, mi a'i cyrhaeddais.'—VITRINGA. 'Gorchfygais *wledydd dyeithr*, lle y cloddiais ffynnonau i'm byddin; neu, mi a ennillais *gyfoeth* gwledydd dyeithr.'—CLARKE. Ereill a ddeallant yr adnod hon yn fwy llythyrenol, fel hyn: 'Teithiais trwy ddiffaith-leoedd, lle y dysgwylid i'm byddin drengu gan syched; ac hyd yn nod yno cloddiais a chefais ddwfr: a gwnaethym afonydd yn hawdd eu croesi, trwy droi eu ffrydiau o'u hen welyau, ac amddifadu y gwarchäedigion o'r budd o'r dyfroedd hyny.' —BENSON. *Ac â gwadnau fy nhraed y dyhysbyddais holl afonydd y gwarchäedig*—'yr oedd fy *milwyr traed* mor luosog, fel ag i allu yfed i fyny afonydd y lleoedd a warchäent.'—CLARKE. Y mae *Vitringa*, *Bochart*, ac ereill, yn cyfieithu y darn olaf fel hyn: 'A gwadnau fy nhraed y sychaf holl afonydd yr *Aifft*.' Meddylir fod yma gyfeiriad at arferiad yr Aifftiaid, y rhai yn gyffredin a ddefnyddient beiriannau, yn cael eu gweithio â'u traed, i godi dwfr o'r afon; neu at waith garddwr yn y dwyrain yn cau rhych â'i droed, i droi y dwfr i ran arall o'i ardd.

Adn. 25. *Oni chlywaist ti, &c.*] Yma y mae JEHOFA yn llefaru, gan ddangos i'r brenin ymffrostgar hwn fod yr hyn a wnaethai efe wedi cael ei wneyd trwy *ddwyfol benodiad*, ac nas gallasai efe, o'i nerth ei hun, wneuthur dim. Fel pe dywedasai, Y gwaith sydd eiddof fi, nid eiddot ti: o herwydd i mi eu rhoddi hwynt i fyny i'r dinystr gwladol hwn am eu pechodau, y gorchfygaist ti hwynt, ac nid o herwydd dim gallu ag oedd ynot ti dy hun.

Adn. 26. *Am hyny eu trigolion yn gwtoglaw*] Neu yn fyr o nerth; *a ddychrynwyd*—o flaen brenin Assyria; *ac a gywilyddiwyd*—am na allent ei wrthsefyll ef. *Oeddynt megys gwellt y maes, &c.*—yn wywedig yn eu natur, ac yn hawdd eu mathru: ac felly nid oedd llwyddiant Senacherib yn un prawf o ddewrder annghyffredin ynddo ef, nac yn destyn ymffrost; a dylasai gydnabod hyny, ac nid ymfawrygu yn erbyn Duw, a'i gablu ef fel y gwnaethai.

Adn. 27. *Dy eisteddiad hefyd, &c.*] Er nad wyt ti yn fy adnabod i, eto yr wyf fi yn dy adnabod di yn drwyadl, yn dy holl fwriadau mewnol pan yn eistedd gartref, ac yn dy holl symudiadau allanol i roddi y bwriadau hyny mewn gweithrediad. *A'th gynddeiriogrwydd i'm herbyn*—yn erbyn Hezeciah a Juda, am na roddant Jerusalem a'r deml i fyny i ti. Dywedir yn fynych fod pethau yn cael eu gwneuthur yn erbyn Duw, pan y maent yn cael eu gwneuthur yn erbyn ei bobl, ei achos, a'i addoliad ef, a hyny o herwydd y berthynas a'r undeb ag sydd rhwng Duw a'i bobl: gwel ar Mat. xxv. 35, &c., Act. ix. 4.

Adn. 28. *Gosodaf fy mach yn dy ffroen*] Gall fod yma gyfeiriad at y llywodraeth hollol ag sydd gan un ar bysgodyn wedi ei fachu gerfydd ei ffroen; *a'm ffrwyn yn dy weflau*—cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth anifel afreolus, yr hwn y rhoddir ffrwyn yn ei enau i'w wneyd yn ufydd i ni; *ac a'th ddychwelaf di ar hyd yr un ffordd ag y daethost*—ei ddychwelyd adref, wedi ei siomi a'i gywilyddio yn fawr.

Adn. 29. *A hyn a fydd yn argoel i ti, O Hezeciah*] Yma y mae yr Arglwydd yn troi oddiwrth Senacherib at Hezeciah, i'w gysuro ef ar ol bygwth y llall. Y mae yr argoel hwn yn cael ei roddi yn arwydd nid o'u gwaredigaeth bresenol o law Senacherib, yr hyn a ddygid oddiamgylch cyn i'r argoel gymeryd lle, eithr o'u cadwraeth rhagllaw rhag yr Assyriaid, ac o fendithion ag y caent hwy eu hir fwynhau: gwel argoel cyffelyb yn Exod. iii. 12. *Y flwyddyn hon y bwytâi a dyfo o hono ei hun*—ymddengys i'r Assyriaid eu hattal rhag hau eu tir y flwyddyn hono, ond parai yr Arglwydd i gnwd dyfu o hono ei hun, i roddi digon o ymborth i'r trigolion; *ac yn yr ail flwyddyn yr attwf*—yr hon y tybir ei bod yn flwyddyn sabbothol, pryd nad oeddynt i hau yn ol y gyfraith; *ac yn y drydedd flwyddyn*

adewir, a wreiddia eilwaith i waer-
ed, ac a ddwg ffrwyth i fyny.
31 ¶ Canys gweddill a â allan o
Jerusalem, a'r rhai diangol o fyn-
ydd Seion: sel Arglwydd *y lluoedd*
a wna hyn.
32 Am hyny fel hyn y dywedodd
yr Arglwydd am frenin Assyria, Ni
ddaw efe i'r ddinas hon, ac ni ergyd-
ia saeth yno; hefyd ni ddaw efe o'i
blaen hi â tharian, ac ni fwrw
glawdd i'w herbyn hi.
33 Ar hyd yr un ffordd ag y daeth
y dychwel efe, ac ni ddaw i mewn
i'r ddinas hon, medd yr Arglwydd.
34 Canys mi a ddiffynaf y ddinas
hon, i'w chadw hi er fy mwyn fy
hun, ac er mwyn Dafydd fy ngwas.
35 ¶ A'r noson hòno yr aeth angel
yr Arglwydd, ac a darawodd yn
ngwersyll yr Assyriaid bump a phed-
war ugain a chant o filoedd: a phan
gyfodasant yn fore dranoeth, wele
hwynt oll yn gelaneddau meirwon.
36 Felly Senacherib brenin As-
syria a ymadawodd, ac a aeth ym-
aith, ac a ddychwelodd, ac a drig-
odd yn Ninefe.

---

*heuwch a medwch*—fel ag i gael eu diwallu yn ffordd gyffredin rhagluniaeth.

Adn. 30. *A'r gweddill o dŷ Juda, yr hwn a adewir, a wreiddia eilwaith i waered*] Fel y gwreiddia eich *had* yn y ddaear, ac y dyg ffrwyth i fyny, gan luosogi yn ddirfawr, felly y gwna pobl Juda: bydd i'ch nifer gynyddu yn ddirfawr, a'r difrodiadau a wnaed gan y cleddyf a annghofir yn fuan.

Adn. 31. *Canys gweddill a â allan o Jerusalem*] Yr oedd agos holl lwyth Juda, y rhai a ddiangasant rhag yr Assyriaid, wedi ffoi i Jerusalem, lle yr oeddynt yn awr yn warchäedig; ond yn fuan aent allan oddiyno, ar ol dinystr yr Assyriaid, pob un i'w gartref a'i etifeddiaeth ei hun, ac ond odid i feddiannu gwledydd pellach hefyd, fel ag i gynyddu a lluosogi yn ol yr addewid, adn. 30; *a'r rhai diangol o fynydd Seion*—tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at fynediad yr *apostolion* i'r byd Cenhedlig, i blanu yr efengyl yno ar ol dydd y pentecost. *Sel Arglwydd y lluoedd a wna hyn*—ei sel dros ei ogoniant ei hun, a thros ddiogelwch a llesâd ei bobl. Er fod y cyfryw beth yn anhawdd i olwg dynion, eto nid oedd yn anhawdd i sel a gallu Arglwydd y lluoedd.

Adn. 32. *Ni ddaw efe i'r ddinas hon*] Nid ennilla efe Jerusalem; *ac ni ergydia saeth yno*—ni ddaw efe mor agos ati fel ag i allu taflu saeth iddi; *ni ddaw efe o'i blaen hi â tharian*—i'w amddiffyn ei hun rhag rhai yn gorfod saethu ato oddiar y mur; *ac ni fwrw glawdd i'w herbyn hi*—i lechu yn ei gysgod rhag saethau yr amddiffynwyr. Ymddengys oddiyma nad oedd y fyddin a ddaethai gyda Rabsaceh wedi nesâu at y ddinas yn hollol, ond ei bod yn ei gwarchae oddidraw, gan ddysgwyl ond odid i frenin Assyria gymeryd Lachis a Libnah cyn iddynt nesâu at furiau Jerusalem.

Adn. 33. *Ar hyd yr un ffordd ag y daeth y dychwel efe*] Er na chai ei filwyr ddychwelyd, eto cai ef ei hun, am fod marwolaeth fwy erchyll a gwaradwyddus yn ei aros yn nhŷ ei dduw, am ei gabledd yn erbyn Arglwydd Dduw Israel, adn. 37.

Adn. 34. *Canys mi a ddiffynaf y ddinas hon*] Rhag yr Assyriaid; *er fy mwyn fy hun*—er mwyn fy addoliad a'm hanrhydedd fy hun; *ac er mwyn Dafydd fy ngwas*—er mwyn fy addewid i Dafydd, a'm cyfammod âg ef, yr hwn yr oedd ef a'i frenhiniaeth yn gysgod o Grist a'i frenhiniaeth: gwel ar 1 Bren. xi. 12, 13. Felly yr holl addewidion a wnaed i Dafydd, a wnaed iddo ef yn Nghrist.

Adn. 35. *A'r noson hòno*] Sef y noson gyntaf ar ol i'r genadwri gableddus gael ei hanfon, ac i'r addewid gysurus uchod gael ei thraddodi oddiwrth yr Arglwydd trwy y proffwyd Esay; *yr aeth angel yr Arglwydd*—'lladdodd yr angel hwynt trwy eu taro â phla heintus, yr hwn a barai farwolaeth yn y fan.'—JOSEPHUS. 'Yn yr ysgrythyrau y mae unrhyw offeryn a ddefnyddir gan JEHOFA, yn cael ei alw yn *angel*.'—BOOTHROYD. 'Mewn ystorm ddychrynllyd, wedi ei hachosi gan yr angel dinystriol hwn, lladdwyd y gwŷr hyn gan *fellt*.'—VITRINGA. 'Yr wyf fi yn credu mai yr *angel* neu y *cenad* hwn o eiddo yr Arglwydd oedd WYNT *myglyd* neu *heintus*; ac fel hyn cyflawnwyd y bygythiad yn adn. 7.'—CLARKE. Ond dywed yr ysgrifenwyr Iuddewig 'mai *Tirhacah* oedd yr angel hwn, yr hwn a ddaeth yn ddiarwybod yn erbyn Senacherib, ac a laddodd ei fyddin ef,' adn. 9. *Ac a darawodd yn ngwersyll yr Assyriaid*—o flaen Jerusalem, lle yr oedd Senacherib a'i fyddin erbyn hyn wedi nesâu i ymosod arni; *bump a phedwar ugain a chant o filoedd*—dywed *Wepter* a *Rosenmuller* y gall y gair a gyfieithir yma yn 'filoedd,' fod yn arwyddo *penaethiaid*; ond os felly, rhaid fod nifer y lladdedigion yn fawr iawn yn mhlith y milwyr cyffredin, pan yr oedd 185 o'u penaethiaid wedi eu lladd. Ond nid yw yr ystyr hwn yn cael ei dderbyn yn gyffredin, na'i amddiffyn gan un o'r hen gyfieithiadau. *Wele hwynt oll yn gelaneddau meirwon*—yr oedd y difrod wedi cymeryd lle mor sydyn a dystaw, fel na wyddai y rhai diangol yn ngwersyll yr Assyriaid ddim am dano, hyd oni chyfodasant bore dranoeth; ac y mae hyny yn brawf, gellid meddwl, nad â chleddyf yr Ethiopiaid y lladdwyd hwynt, nac mewn ystorm o fellt a tharanau, eithr gan angel yr Arglwydd, fel y dywedir yn y testyn.

Adn. 36. *Felly Senacherib brenin Assyria a ymadawodd*] Wedi cywilyddio wrth ei weled ei hun, ar ol ei holl ymffrost balch, yn cael ei faeddu fel hyn, heb allu dylyn ei fuddugoliaethau, na dal yr hyn a ennillasai, ac yn ofni syrthio ei hun dan y cyffelyb ddyrnod;

37 A bu, fel yr oedd efe yn addoli yn nhŷ Nisroch ei dduw, i Adrammelech a Sarazer ei feibion ei ladd ef â'r cleddyf; a hwy a ddiangasant i wlad Armenia: ac Esarhadon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XX.

YN y dyddiau hyny y clefychodd Hezeciah hyd farw: ac Esay y proffwyd mab Amos a ddaeth ato, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Trefna dy dŷ; canys marw fyddi, ac ni byddi byw.
2 Yna efe a drôdd ei wyneb at y pared, ac a weddiodd at yr Arglwydd, gan ddywedyd,
3 Atolwg, Arglwydd, cofia yr awr hon i mi rodio ger dy fron di mewn gwirionedd, ac â chalon berffaith, a gwneuthur o honof *yr hyn oedd* dda yn dy olwg di. A Hezeciah a ŵylodd âg ŵylofain mawr.

---

*ac a aeth ymaith*—ar hyd yr un ffordd ag y daethai, adn. 28, 33; *ac a drigodd yn Ninefe*—prifddinas yr amherodraeth Assyriaidd.

Adn. 37. *A bu fel yr oedd efe yn addoli yn nhŷ Nisroch ei dduw*] Yr oedd Duw Israel wedi gwneyd digon i brofi iddo anallu ei eilunod ei hun, ac i'w argyhoeddi mai efe oedd yr unig wir Dduw; eto y mae efe yn ymlynu yn ei eilunaddoliaeth! a chyfiawn gan hyny y cymysgwyd ei waed ef gyda gwaed ei aberthau. *I Adrammelech a Sarazer ei feibion ei ladd ef â'r cleddyf*—dywed y rabbiniaid iddo ef ofyn i'w ddewiniaid, pa fodd y bu i'r fath wyrthiau cael eu gwneyd o blaid yr Israeliaid? ac iddynt hwythau ateb, mai o achos Abraham, yr hwn a offrymodd ei unig fab i Dduw: yna efe a ddywedodd, 'Mi a offrymaf iddo ef fy nau fab innau.' A phan glywsant hwy hyny, hwy a gyfodasant, ac a'i lladdasant ef. *A hwy a ddiangasant i wlad Armenia*—gwlad i'r gogledd o Assyria, yr hon oedd fynyddig ac anhygyrch iawn, a'i thrigolion yn ddewrion a rhyfelgar, ac yn elynion gwastadol i'r Assyriaid. *Ac Esarhadon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn, yn ol Ezra, pen. iv. 2, a anfonodd lawer o wŷr i drigo yn Samaria, i ddiogelu y wlad hòno iddo ei hun.

PEN. XX. Adn. 1. *Yn y dyddiau hyny*] Ymddengys oddiwrth adn. 6, i Hezeciah glafychu cyn baeddiad Senacherib, ac yn ystod ei ymosodiad; a dywed Jarchi i hyny gymeryd lle *dridiau* cyn i'w fyddin ef gael ei dystrywio. Ymddengys hyny yn eglurach pan yr ystyriom mai 29 mlynedd y teyrnasodd Hezeciah yn y cyfan, pen. xviii. 2; ei fod wedi teyrnasu 14 mlynedd pan ddaeth Senacherib i'w erbyn, pen. xviii. 14; ac iddo fyw ar ol ei glefyd 15 mlynedd, adn. 6. Gohirwyd y crybwylliad am hyn hyd yn awr, rhag tori ar hanes Senacherib. *Clefychodd Hezeciah hyd farw*—o ddolur ag a derfynasai mewn marwolaeth, oni buasai cyfryngiad grasol Duw, adn. 7. *Fel hyny y dywedodd yr Arglwydd, Trefna dy dŷ*—gwna dy ewyllys, a threfna achosion dy dŷ a'th deyrnas. Yr oedd cyflwr trallodus ei deyrnas yn gofyn hyn yn neillduol, trwy nad oedd eto etifedd i'r goron; canys ni aned Manasseh dair blynedd wedi hyn, pen. xxi. 1. *Canys marw fyddi, ac ni byddi byw*—yr oedd clefyd Hezeciah ynddo ei hun yn angeuol, ac nis gallai ef lai na marw o hono yn fuan, heb i'r Arglwydd gyfryngu i attal hyny. Y mae gan y fath fygythion, er yn cael eu traethu yn ddiammodol, ryw ammodau yn aml yn gynwysedig ynddynt; ac yr oedd y proffwyd yn llefaru yn ol tuedd naturiol y clefyd, ac nid yn ol bwriad dirgelaidd Duw.

Adn. 2. *Ac efe a drôdd ei wyneb at y pared*] Ac y mae yn debyg, wrth droi ei wyneb at bared yr ystafell lle y gorweddai, ei fod yn troi ei wyneb felly tua'r *deml*, fel y gwnai yr Iuddewon bob amser wrth weddio, pa le bynag y byddent. Gan nas gallai fyned i'w ystafell ddirgel, efe a enciliai oddiwrth y gwyddfodolion cystal ag y medrai, er cael dywedyd ei gŵyn wrth Dduw. *Ac a weddiodd at yr Arglwydd*—yn ddiamau am arbediad ei fywyd, neu estyniad ei ddyddiau, er na chrybwyllir hyny. Er fod geiriau Esay wedi eu traethu wrtho mewn modd diammodol, eto efe a wyddai eu bod i'w deall yn ammodol; pe amgen nis gallasai efe weddio am i Dduw wrthdroi bwriad ag y gwyddai efe ei fod yn anwrthdroadwy. Y mae yr adnod hon gan hyny yn allwedd i lawer o broffwydoliaethau a datganiadau dwyfol: gwel ar Jer. xviii. Nid oedd Hezeciah yn foddlon i farw y pryd hyny, os gwelai Duw yn dda ei arbed ef, am nad oedd y diwygiad gwladol a chrefyddol ag a fwriadai efe wedi ei orphen eto, ac am y buasai y gangen hon o deulu Dafydd yn darfod ar ei farwolaeth ef, ac felly aethai y frenhiniaeth i gangen fwy pellenig ac anenwog o'r teulu hwnw; a buasai hyny yn gerydd trwm iddo ef, fel pe buasai wedi gwneyd rhywbeth i dori cyfammod y frenhiniaeth, 2 Sam. vii. 16.

Adn. 3. *Atolwg Arglwydd, cofia yr awr hon i mi rodio ger dy fron di mewn gwirionedd*] Yn onest a diragrith, a chyda meddwl didwyll; *ac â chalon berffaith*—neu ddymuniad cywir i ddyrchafu dy anrhydedd ar y ddaear; *a gwneuthur o honof yr hyn oedd dda yn dy olwg di*—trwy reoleiddio fy muchedd yn ol dy air a'th ewyllys santaidd. Nid gofyn am gael *achub ei enaid* ar gyfrif ei weithredoedd da y mae Hezeciah, ond am gael *estyn ei ddyddiau;* canys, fel Israeliad duwiol, efe a wyddai mai trwy yr Iawn mawr, yr hwn a gysgodid gan yr aberthau, yr oedd i bechadur gael ei gadw. Ac ni ddylid rhyfeddu ei fod ef yn crybwyll y pethau hyn fel dadl dros estyniad ei einioes, canys dan y gyfraith yn enwedig yr oedd hir ddyddiau yn cael eu haddaw fel *gwobr ufydd-dod,* a marw-

4 A chyn myned o Esay allan i'r
cyntedd canol, daeth gair yr Ar-
glwydd ato, gan ddywedyd,
5 Dychwel, a dywed wrth Hezec-
iah blaenor fy mhobl i, Fel hyn y
dywed Arglwydd Dduw Dafydd dy
dad, Clywais dy weddi di, gwelais
dy ddagrau: wele fi yn dy iachâu
di; y trydydd dydd yr âi di i fyny
i dŷ yr Arglwydd.
6 A mi a chwanegaf at dy ddydd-
iau di bymtheng mlynedd, ac a'th
waredaf di a'r ddinas hon o law
brenin Assyria: diffynaf hefyd y
ddinas hon er fy mwyn fy hun, ac
er mwyn Dafydd fy ngwas.
7 A dywedodd Esay, Cymerwch,
swp o ffigys. A hwy a gymerasant,
ac a'i gosodasant ar y cornwyd, ac
efe a aeth yn iach.
8 ¶ A Hezeciah a ddywedodd
wrth Esay, Pa arwydd *fydd* yr iachâ
yr Arglwydd fi, ac yr âf fi i fyny i
dŷ yr Arglwydd y trydydd dydd?
9 Ac Esay a ddywedodd, Hyn
*fydd* i ti yn argoel oddiwrth yr Ar-
glwydd, y gwna yr Arglwydd y
gair a lefarodd efe: A â y cysgod
ddeg o raddau yn mlaen, neu a ddy-
chwel efe ddeg o raddau yn ol?
10 A Hezeciah a ddywedodd,
Hawdd yw i'r cysgod ogwyddo ddeg

---

olaeth anamserol yn cael ei bygwth fel *cosp:* gwel Exod. xx. 12, Deut. v. 33, a xxx. 16, Salm lv.23. Yr oedd efe wedi cael ei achub trwy ras, a'i alluogi gan Ysbryd Duw i wneyd yr hyn oedd dda yn ngolwg yr Arglwydd; ac yn awr y mae efe 'â'r galon yn credu i gyfiawnder, ac â'r genau yn cyffesu i iachawdwriaeth,' Rhuf. x. 10; a dedwydd yw y dyn a allo oddiar wely angau apelio yr un modd at Dduw. *A Hezeciah a wylodd âg wylofain mawr*—nid o herwydd ofn am ei gyflwr mewn byd arall, ond wrth feddwl ei fod ef yn marw yn nghanol ei ddyddiau, (yn 39 mlwydd oed,) pan yr oedd ei waith heb ei orphen, a phan oedd byddin yr Assyriaid yn amgylchu Jerusalem, yn cablu y Duw byw, ac yn bygwth dinystrio holl deyrnas Juda.

Adn. 4. *A chyn myned o Esay allan i'r cyntedd canol*] Sef cyntedd canol tŷ y brenin, 1 Bren. vii. 8; neu, fel y mae yn y wreiddiol, 'i'r *ddinas* ganol;' canys rhenid Jerusalem yn dair rhan. Crybwyllir hyn i ddangos parodrwydd Duw i wrando gweddiau ei blant.

Adn. 5. *Dychwel, a dywed wrth Hezeciah, blaenor fy mhobl i*] Gelwir ef yma yn *flaenor*, ac nid yn *frenin*, i arwyddo fod yr Arglwydd yn ei arbed ef er mwyn dwyn ei bobl i fuddugoliaeth trwy ei arferiad ef o ffydd a gweddi. *Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Dafydd dy dad*—crybwyllir hyn i ddangos iddo ei fod ef yn cofio ei addewid i Dafydd a'i dŷ, 2 Sam. vii. 12—16. *Clywais dy weddi di, a gwelais dy ddagrau*—ac wele fi yn myned i ateb dy weddi, a sychu dy ddagrau, trwy dy iachâu di. *Y trydydd dydd*—o'r amser hwn, *yr âi di i fyny i dŷ yr Arglwydd*—i ddiolch am y drugaredd hon. Gwyddai yr Arglwydd yr âi ef yno os gallai, ac am hyny y mae yn cyfaddasu y genadwri at ei duedd naturiol ef.

Adn. 6. *A mi a chwanegaf at dy ddyddiau di bymtheng mlynedd*] Yn hwy nag y buasit byw pe gadawswn di yn ysglyfaeth i'th afiechyd presenol. Nid oes genym hanes am neb arall ag y mynegwyd iddo yn mlaenllaw pa hyd y cai fyw. Ac a ydoedd hyn yn fraint? Diau nad oedd. Gan fod Hezeciah mor ymlyngar wrth fywyd, pa fodd y rhaid ei fod yn teimlo wrth weled ei flynyddoedd yn darfod o un i un! Gwyddai ei fod i *farw* yn niwedd y *pymtheg* mlynedd; a pha beth a raid fod ei deimlad yn niwedd pob blwyddyn, wrth ganfod fod cynifer wedi eu treulio ymaith o'r pymtheg! 'Rhaid ei fod yn teimlo mil o farwolaethau,' fel y sylwa Clarke, 'wrth ofni un. Credwyf na byddai dim yn eisiau i berffeithio trueni dynion, oddieithr lle y boenedigaeth, pe mynegid iddynt yr amser penodol pryd y byddai raid i'w heinioes derfynu. Y mae Duw, yn ei fawr drugaredd, wedi cuddio hyn oddiwrth eu llygaid.' *Ac a'th waredaf di a'r ddinas hon o law brenin Assyria*—yr hyn a wnaeth efe, fel y gwelsom yn pen. xix. 35, 36; ac y mae hyn yn profi mai cyn y waredigaeth hòno y bu y clefyd hwn ar Hezeciah: gwel ar adn. 1.

Adn. 7. *A dywedodd Esay, Cymerwch swp o ffigys*] Er fod ei iachâd wedi ei addaw iddo yn sicr, eto yr oedd yn rhaid iddo ddefnyddio moddion, a'r rhai hyny yn gyfaddas. Byddai i'r ffigys gynorthwyo i addfedu y cornwyd, a magu pen arno, fel y byddai i wenwyn yr afiechyd gael ei ollwng ymaith y ffordd hòno. Modd bynag, buasai y ffigys hyn yn hollol annigonol o honynt eu hunain i effeithio iachâd mor ebrwydd a llawn, heb gydweithrediad y gallu dwyfol, i'r hwn y mae adferiad y brenin yn benaf i'w briodoli. *Ac a'i gosodasant ar y cornwyd*—y mae y gair *shechin*, a gyfieithir yma yn 'gornwyd,' yn arwyddo unrhyw *chŵydd fflamegol, penddûyn, anafod, &c.* Tybia rhai mai yr *eisglwyf* ydoedd; ereill, mai y *pla;* ereill mai y *gwahanglwyf;* ac ereill mai y *fynyglog.* Beth bynag ydoedd, yr oedd yn angeuol yn ei natur, fel y buasai raid i Hezeciah farw o hono heb gyfryngiad Duw.

Adn. 8. *A Hezeciah a ddywedodd wrth Esay*] Yn hytrach, 'a ddywedasai;' canys y mae yn eglur i hyn gael ei ddywedyd cyn ei iachâu, er fod ei iachâd yn cael ei grybwyll yn gyntaf. *Pa arwydd fydd yr iachâ yr Arglwyd fi?*—efe a ofyna am arwydd, nid am ei fod yn annghredu yr addewid ddwyfol, ond i gadarnhau ei ffydd, yr hon pe amgen a allasai gael ei siglo gan fawredd ei berygl, a chan yr annghytundeb ag oedd rhwng y genadwri hon o eiddo y proffwyd a'r un flaenaf, adn. 1.

Adn. 9. *Hyn fydd i ti yn argoel*] Un o'r

o raddau: nid *felly*, ond dychweled
y cysgod yn ei ol ddeg o raddau.
11 Ac Esay y proffwyd a lefodd
ar yr Arglwydd: ac efe a drôdd y
cysgod ar hyd y graddau, ar hyd y
rhai y disgynasai efe yn neial Ahaz,
ddeg o raddau yn ei ol.
12 ¶ Yn yr amser hwnw yr an-
fonodd Berodach-Baladan, mab Ba-
ladan brenin Babilon, lythyrau ac
anrheg at Hezeciah: canys efe a
glywsai fod Hezeciah yn glaf.
13 A Hezeciah a wrandawodd ar-
nynt, ac a ddanghosodd iddynt holl
dŷ ei drysor, yr arian, a'r aur, a'r
peraroglau, a'r olew goreu, a *holl*
dŷ ei arfau, a'r hyn oll a gafwyd yn
ei drysorau ef: nid oedd dim yn ei
dŷ ef, nac yn ei holl gyfoeth ef a'r
nas danghosodd Hezeciah iddynt.

---

ddau beth hyn, yn ol dy ddewisiad di; sef fod i'r cysgod ar y ddeial fyned ddeg o raddau yn mlaen, neu ddychwelyd ddeg o raddau yn ol. Meddylir mai *llinellau* ar wyneb y ddeial yn arwyddo *hanner awr* oedd y *graddau* hyn; ac felly, a thybio ei bod yn awr yn *hanner dydd*, rhoddai y proffwyd ei ddewis i'r brenin, sef fod i gysgod crib y ddeial symud yn mlaen ar unwaith i 5 o'r gloch y prydnawn, neu ynte droi yn ol i 7 o'r gloch y bore. Nid yw yn angenrheidiol i ni feddwl i'r *haul* fyned yn ol ddeg o raddau yn y nefoedd, neu ddarfod i'r *ddaear* droi ar ei hechel o'r dwyrain i'r gorllewin, yn y gwrthwyneb i'w throad naturiol; eithr gallai y wyrth dan sylw gael ei hefieithio yr un modd trwy wrthdoriad *(refraction)*; canys gwyddom y gall pelydr goleuni wyro oddiwrth fod yn llinell union trwy fyned trwy ryw gyfryngai tew, megys tarth neu ddwfr. I egluro hyn, rhodder ceiniog ar waelod llestr gwâg, ac yna symuder yn ol nes y byddo ymyl y llestr yn cuddio y gyfryw geiniog o'r golwg; tywallted arall ddwfr i'r llestr, a daw y geiniog trwy ddeddf gwrthdoriad eilwaith i'r golwg. Neu rhodder gwialen union yn y cyfryw ddwfr, a hi a ymddengys yn gam. Ar yr egwyddor hon yr ydym yn fynych yn canfod yr haul yn y terfyngylch rai mynydau cyn iddo godi, neu wedi iddo fachludo. Modd bynag, yr oedd y doctoriaid Iuddewig, a rhai o'r hen dadau Cristionogol, o'r farn ddarfod i'r haul fyned ddeg o raddau yn ei ol, neu, yr hyn sydd yr un peth, ddarfod i'r ddaear mewn gwirionedd newid ei chwrs; a chasglent oddiwrth 2 Cron. xxxii. 31, fod brenin Babilon wedi canfod hyny yn ei wlad ei hun. Ond os bydd i ni, fel y rhan fwyaf o'r dysgedigion diweddar, briodoli symudiad y cysgod i ddeddfau *gwrth-doriad*, ni fydd i hyny ddiddymu na lleihau y wyrth, am fod hyn yn amlwg wedi cael ei achosi gan yr Arglwydd mewn atebiad i weddi Esay, i fod yn argoel neu arwydd i Hezeciah; ac am fod y cysgod i symud *yn ol* neu *yn mlaen* ar y ddeial yn ol dewisiad y brenin, ac nid i gael ei adael i ddeddfau natur.

Adn. 10. *Hawdd yw i'r cysgod ogwyddo ddeg o raddau*] Yn mlaen at 5 o'r gloch, am mai yn mlaen yr oedd efe yn myned yn naturiol; *ond dychweled y cysgod yn ei ol ddeg o raddau*—troer hanner dydd ar unwaith yn saith o'r gloch y bore, a bydd y wyrth felly yn amlycach, trwy y bydd yn fwy croes i natur. Buasai y gyntaf yn wyrth, wrth gymeryd lle ar unwaith; ond y mae yr ail yn ddwy wyrth mewn un.

Adn. 11. *Ac Esay y proffwyd a lefodd ar yr Arglwydd*] Wedi ei gynhyrfu gan Ysbryd Duw, yn gyntaf i gynyg i'r brenin yr arwydd hwn, ac yna i weddio am dano. *Ac efe a drôdd y cysgod ar hyd y graddau*—hyny yw, efe a'i trôdd yn ol ddeg o raddau, o hanner dydd fe allai hyd saith o'r gloch yn y bore, ar hyd pa raddau y disgynasai efe o'r pryd hyny hyd hanner dydd; *yn neial Ahaz*—yr hon a wnaethai Ahaz, tad Hezeciah, ac a ydoedd yn sefyll ond odid ar uchelfa yn agos i'r palas brenhinol.

Adn. 12. *Yn yr amser hwnw yr anfonodd Berodach-Baladan*] Yr hwn yn ol rhai, neu ei dad yn ol ereill, oedd yn rhaglaw i frenin Assyria yn Babilon; *lythyrau ac anrheg at Hezeciah*—i'w lon-gyfarch ef ar ei adferiad i'w iechyd, ac i ennill ei ewyllys da a'i gyfeillach ef; canys meddylir ei fod ef y pryd hyn, ar ol marwolaeth Senacherib, a dinystr dychrynllyd ei fyddin ef, am drosglwyddo yr amherodraeth Assyriaidd i Babilon. *Canys efe a glywsai fod Hezeciah yn glaf*—'a'i fyned yn iach,' Esay xxxix. 1. Hefyd yr oedd ganddo ddyben arall wrth anfon ei genadau, sef 'i ymofyn am y rhyfeddod a wnaethid yn y wlad,' 2 Cron. xxxii. 31; hyny yw, fel y tybia rhai, mynediad y cysgod yn ei ol ar ddeial Ahaz.

Adn. 13. *A Hezeciah a wrandawodd arnynt*] Ar eu cenadwri hwy oddiwrth eu meistr, yr hwn ond odid a geisiai ganddo ymgyngreirio âg ef yn erbyn yr Assyriaid; neu, fel y mae yn Esay xxxix. 2, 'a Hezeciah a *lawenychodd* o'u herwydd hwynt;' yr hyn hefyd yw darlleniad 12 o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi, yn nghyda'r LXX, y *Syriaeg*, y *Vulgate*, yr *Arabaeg*, &c. *Ac a ddanghosodd iddynt holl dŷ ei drysor*—yn cynwys amrai bethau gwerthfawr heblaw yr hyn a enwir yma. Er i Hezeciah roddi i frenin Assyria lawer o aur ac arian o dŷ yr Arglwydd, ac o drysorau tŷ y brenin, pen. xviii. 14—16, eto y mae yn debyg i amrai drysorau gwerthfawr gael eu cadw yn Jerusalem fyth; a gallwn feddwl i lawer o aur ac arian gael eu dwyn yn ol o wersyll yr Assyriaid ar ol eu cwymp; pa rai, yn nghydag anrhegion ag y gallasai efe fod wedi eu derbyn oddiwrth frenhinoedd cymydogaethol ar ol ei adferyd yn wyrthiol o law ei elynion, ac o afael ei afiechyd, a wnaent i fyny ran fawr o'r trysorau ag y cyfeirir atynt yma. *Nid oedd dim yn ei dŷ ef, nac yn ei holl gyfoeth*—y rhai a wasanaethent er pleser, gwychder, rhwysg, neu at wasanaeth rhyfel, a'r nas danghosodd efe i'r estroniaid paganaidd hyn. Er na ddywedir i Hezeciah ddangos

14 ¶ Yna Esay y proffwyd a
ddaeth at y brenin Hezeciah, ac a
ddywedodd wrtho, Beth a ddywed-
odd y gwŷr hyn? ac o ba le y daeth-
ant atat ti? A dywedodd Hezeciah,
O wlad bell y daethant hwy, *sef* o
Babilon.
15 Yntau a ddywedodd, Beth a
welsant hwy yn dy dŷ di? A dy-
wedodd Hezeciah, Yr hyn oll *oedd*
yn fy nhŷ i a welsant hwy: nid oes
dim yn fy nhrysorau i nas danghos-
ais iddynt hwy.
16 Ac Esay a ddywedodd wrth
Hezeciah, Gwrando air yr Ar-
glwydd.
17 Wele y dyddiau yn dyfod, pan
ddyger i Babilon yr hyn oll *sydd* yn
dy dŷ di, a'r hyn a gynilodd dy dad-
au hyd y dydd hwn: ni adewir dim,
medd yr Arglwydd.
18 Cymerant hefyd o'th feibion
di, y rhai a ddaw allan o honot, y
rhai a genhedli di, a hwy a fyddant
yn ystafellyddion yn llys brenin
Babilon.
19 Yna Hezeciah a ddywedodd
wrth Esay, Da yw gair yr Arglwydd,
yr hwn a leferaist. Dywedodd
hefyd, Onid da os bydd heddwch
a gwirionedd yn fy nyddiau i?
20 ¶ A'r rhan arall o hanes He-
zeciah, a'i holl rym ef, ac fel y
gwnaeth efe y llyn, a'r pistyll, ac y
dyg efe y dyfroedd i'r ddinas, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
cronicl brenhinoedd Juda?
21 A Hezeciah a hunodd gyda'i
dadau: a Manasseh ei fab a deyrn-
asodd yn ei le ef.

## PENNOD XXI.

MAB deuddeg mlwydd *oedd* Ma-
nasseh pan ddechreuodd efe

---

iddynt y *deml*, eto, gan mai hon oedd yr adeilad wychaf yn Jerusalem, a'r rhyfeddod mwyaf yn ei deyrnas ef, gallwn feddwl iddo ei dangos hithau, a hyny ond odid heb iddo son dim wrthynt am ei Dduw ei hun, na dywedyd gair am eu hynfydrwydd a'u pechod hwythau yn addoli gau-dduwiau; ac yn enwedig eu gwaith yn addoli yr *haul*, yr hwn yr oedd y wyrth ddiweddar ar ddeial Ahaz wedi ei brofi fel yn ddarostyngedig i awdurdod Duw Israel. Hyn oedd effaith balchder a gwâg-ogoniant Hezeciah; a 'Duw a'i gadawodd ef, i'w brofi ef, i wybod y cwbl ag oedd yn ei galon,' 2 Cron. xxxii. 31.

Adn. 14. *Yna Esay y proffwyd a ddaeth at y brenin*] Wedi ei anfon yn debygol gan yr Arglwydd, i'w geryddu ef am yr hyn a wnaethai. *O wlad bell y daethant hwy, sef o Babilon*—ymadrodd ymffrostgar, i ddangos ei anrhydedd mawr, pan yr oedd dynion o wlad mor bell, ac oddiwrth frenin mor fawr, yn dyfod i'w lon-gyfarch ef â llythyrau ac âg anrhegion.

Adn. 15. *Beth a welsant hwy yn dy dŷ di?*] Efe a ofynai hyn, nid am ei fod yn anwybodus o hono, ond mewn trefn i gael achlysur, oddiwrth atebiad Hezeciah, i draethu cenadwri Duw ato ef.

Adn. 16. *Gwrando air yr Arglwydd*] Ei farn ef ar y mater hwn. Ymddengys nad oedd Hezeciah yn meddwl y pryd hyny iddo wneuthur dim o'i le wrth ddangos ei holl drysorau iddynt; ond yn fuan cafodd wybod iddo wneyd yn ffol a phechadurus iawn.

Adn. 17. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Yr hyn a gymerodd le yn mhen oddeutu 125 mlynedd ar ol hyn; *pan ddyger i Babilon yr hyn oll sydd yn dy dŷ di*—gwel y cyflawniad o hyn pen. xxiv. 13.

Adn. 18. *Cymerant hefyd o'th feibion di*] Sef o'i hiliogaeth, megys Daniel a'i gyfeillion, y rhai a elwir yn 'had brenhinol,' Dan. i. 1—3; *a hwy a fyddant yn ystafellyddion*—Saes. 'yn *eunuchiaid* yn llys brenin Babilon.'

Adn. 19. *Da yw gair yr Arglwydd*] Credai Hezeciah mai gair yr *Arglwydd* oedd yr hyn a ddywedasid wrtho, a bod y gair hwnw yn *dda* a *chyfiawn;* teimlai hefyd iddo ef wneyd yn *ynfyd*, ac ymostyngai i'r *ddedfryd* fygythiedig. Fel hyn efe a ddarostyngwyd ac a geryddwyd am ei falchder a'i rodres. *Onid da os bydd heddwch a gwirionedd yn fy nyddiau i?*—'nid ymddengys ei fod yn cwyno o herwydd y trallodau ag oeddynt yn dyfod ar y wlad, os gallai heddwch a gwirionedd ffynu yn ei ddyddiau ef.'—CLARKE. Os hyn yw yr ystyr, rhaid addef ei fod ef yn dra hunanol, ac yn ddiffygiol o deimlad priodol am les ei hiliogaeth. Ond ymddengys oddiwrth Esay xxxix. 8, ei fod ef wedi deall *na ddeuai* y farn gyfiawn uchod yn ei ddyddiau ef, eithr y byddai i heddwch, llwyddiant, a gwir grefydd ffynu yn y wlad tra y byddai efe byw, yr hyn a ystyriai efe yn *dda* iawn ynddo ei hun, ac yn oediad trugarog o'r farn gyfiawn hòno, am yr hyn yr oedd yn dra diolchgar; er y gallwn feddwl fod y rhagolwg ar adfyd dyfodol ei deulu a'i genedl yn dra gofidus i'w deimladau ef.

Adn. 20. *A'i holl rym ef*] Yn ei ryfeloedd â'i elynion, yn ei ddilead o eilunaddoliaeth, ac yn ei ddiwygiad o'r wir grefydd; *ac fel y gwnaeth efe y llyn a'r pistyll*—i gael dyfroedd i Jerusalem oddiwrth ei elynion; gwel ar 2 Cron. xxxii. 3, 4, 30; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?*—yr hwn nid oedd o ddwyfol ysbrydoliaeth, nac yn rhan o'r ysgrythyr, er ei fod yn hanes gwirioneddol: gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 21. *A Hezeciah a hunodd gyda'i dadau*] Yn niwedd y pymtheg mlynedd a chwanegwyd at ei ddyddiau ef, adn. 6; a chladdwyd ef yn yr uchaf o feddau meibion Dafydd gydag anrhydedd mawr, 2 Cron. xxxii. 33.

deyrnasu, a phymtheg mlynedd a deugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Hephsibah.

2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn ol ffieidd-dra y cenhedloedd a fwriodd yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel.

3 Canys efe a adeiladodd drachefn yr uchelfeydd a ddinystriasai Hezeciah ei dad ef; ac a gyfododd allorau i Baal, ac a wnaeth lwyn, fel y gwnelsai Ahab brenin Israel, ac a addolodd holl lu y nefoedd, ac a'u gwasanaethodd hwynt.

4 Adeiladodd hefyd allorau yn nhŷ yr Arglwydd, *am* yr hwn y dywedasai yr Arglwydd, yn Jerusalem y gosodaf fy enw.

5 Ac efe a adeiladodd allorau i holl lu y nefoedd yn nau gyntedd tŷ yr Arglwydd.

6 Ac efe a dynodd ei fab trwy dân, ac a arferodd hudoliaeth, a brudiau, ac a fawrhaodd swynyddion, a dewiniaid: efe a wnaeth lawer o ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, i'*w* ddigio *ef*.

7 Ac efe a osododd ddelw gerfiedig y llwyn a wnelsai efe, yn y tŷ *am* yr hwn y dywedasai yr Arglwydd wrth Dafydd, ac wrth Solomon ei fab, Yn y tŷ hwn, ac yn Jerusalem, yr hon a ddewisais i o holl lwythau Israel, y gosodaf fi fy enw yn dragywydd:

8 Ac ni symudaf mwyach droed Israel o'r wlad a roddais i'w tadau hwynt: yn unig os gwyliant a'r wneuthur yr hyn oll a orchymynais iddynt, ac yn ol yr holl gyfraith a orchymynodd fy ngwas Moses iddynt.

9 Ond ni wrandawsant hwy: a Manasseh a'u cyfeiliornodd hwynt i wneuthur yn waeth na'r cenhedloedd a ddyfethasai yr Arglwydd o flaen meibion Israel.

10 ¶ A llefarodd yr Arglwydd trwy law ei weision y proffwydi, gan ddywedyd,

---

PEN. XXI. Adn. 1. *Mab deuddeg mlwydd oedd Manasseh pan ddechreuodd efe deyrnasu*] Felly rhaid mai yn mhen tair blynedd ar ol iachâu Hezeciah y ganed ef; *a phymtheg mlynedd a deugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem*—y mae y blynyddoedd ag y bu efe yn garcharor yn Babilon yn cael eu cynnwys yn y cyfrif hwn, 2 Cron. xxxiii. 11—13; *ac enw ei fam ef oedd Hephsibah*—yr un enw ag a ddyry Duw i'r eglwys, Esay lxii. 4, yn arwyddo, 'Fy hyfrydwch sydd ynddi.' Diamau ei bod hi yn wraig dduwiol; a dywed yr Iuddewon mai merch y proffwyd Esay oedd hi.

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] Er fod ei rieni yn dduwiol: ac y mae yn debyg iddo ddechreu ar ei ddrygioni cyn gynted ag y daeth i'r orsedd, a pharhau ynddo hyd nes y caethgludwyd ef i Babilon, pryd y daeth fel yr afradlon ato ei hun. *Yn ol ffieidd-dra y cenhedloedd*—sef eilunaddoliaeth yr hen Ganaaneaid, y rhai a fwriasai Duw allan o'r wlad.

Adn. 3. *Canys efe a adeiladodd drachefn yr uchelfeydd*] Ail gododd y temlau a'r allorau i'r eilunod, y rhai a ddystrywiasai ei dad ef yn ei sel dduwiol dros burdeb addoliad JEHOFA, pen. xviii. 4; *ac a addolodd holl lu y nefoedd*—yr haul, y lleuad, a'r ser, fel pe buasent dduwiau.

Adn. 4. *Adeiladodd hefyd allorau yn nhŷ yr Arglwydd*] Yn nghysegr y deml, os nid yn y cysegr santeiddiolaf, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa; canys enwir y cynteddau yn yr adnod nesaf. Yr oedd yn anmhosibl i neb ddangos mwy o anmharch i Dduw, na chodi allorau i Baal yn y fan lle yr oedd ef ei hun wedi gosod ei enw a'i addoliad santaidd ynddo!

Adn. 5. *Ac efe a adeiladodd allorau*] Ereill, i dduwiau ereill; *yn nau gyntedd tŷ yr Arglwydd*—yn nghyntedd yr offeiriaid a'r Lefiaid, lle yr aberthent hwy, ac yn nghyntedd pobl Israel, lle yr addolent hwythau.

Adn. 6. *Ac efe a dynodd ei fab trwy dân*] I'w gysegru ef i Moloch, mewn dirmyg ar sêl yr enwaediad trwy ba un y cysegresid ef i Dduw: gwel ar Lef. xviii. 21. *Ac a arferodd hudoliaeth*—gwel ar Deut. xviii. 10—12, lle y mae y pechodau hyn yn cael eu gwahardd a'u hegluro.

Adn. 7. *Ac efe a osododd ddelw gerfiedig y llwyn*] Sef delw Astoreth, Astarte, neu Venus, y rhai a addolid yn gyffredin mewn llwyni gyda Baal; *yn y tŷ*—neu yn nheml yr Arglwydd, i'w anmharchu ef yn ei wyneb, neu i'w droi ef allan fel pe byddai o'i dŷ ei hun! *Gosodaf fi fy enw*—gwel ar 1 Bren. viii. 29.

Adn. 8. *Ac ni symudaf mwyach droed Israel*] Ar yr ammod iddynt gadw ei orchymynion ef: a phe gwnaethent hwy hyny, ni symudasid hwynt byth i gaethiwed, a buasent heddyw mewn meddiant o wlad yr addewid.

Adn. 9. *A Manasseh a'u cyfeiliornodd*] A'u hudodd neu a'u gorfododd hwynt; *i wneuthur yn waeth na'r cenhedloedd*—gosododd i fyny fwy o eilunod, a thynodd y bobl i fwy o eilunaddoliaeth, na'r hen Ganaaneaid gynt; ac yr oedd hyny yn bechod trymach yn mhobl Juda, trwy fod cyfraith a theml Dduw ganddynt hwy, a phroffwydi ac offeir-

11 O herwydd i Manasseh brenin
Juda wneuthur y ffieidd-dra hyn, *a*
gwneuthur yn waeth na'r hyn oll a
wnaethai yr Amoriaid *a fu* o'i flaen
ef, a pheri i Juda bechu trwy ei
eilunod:
12 Oblegid hyny, fel hyn y dy-
wed Arglwydd Dduw Israel, Wele
fi yn dwyn drwg ar Jerusalem a
Juda, fel y merwino dwy glust y
sawl a'i clywant.
13 A mi a estynaf linyn mesur
Samaria ar Jerusalem, a phwys tŷ
Ahab: golchaf hefyd Jerusalem fel
y gylch *un* gwpan, *yr hwn pan* olcho,
efe a'*i* try ar ei wyneb.
14 A mi a wrthodaf weddill fy
etifeddiaeth, ac a'i rhoddaf hwynt
yn llaw eu gelynion, a hwy a fydd-
ant yn anrhaith ac yn yspail i'w holl
elynion:
15 Am iddynt wneuthur yr hyn
*oedd* ddrwg yn fy ngolwg, a'u bod
yn fy nigio i, er y dydd y daeth eu
tadau hwynt allan o'r Aifft, hyd y
dydd hwn.
16 Manasseh hefyd a dywalltodd
lawer iawn o waed gwirion, hyd oni
lanwodd efe Jerusalem o ben bwy
gilydd, heblaw ei bechod *trwy* yr
hwn y gwnaeth efe i Juda bechu,
gan wneuthur yr hyn *oedd* ddrwg
yn ngolwg yr Arglwydd.
17 ¶ A'r rhan arall o hanes Ma-
nasseh, a'r hyn a wnaeth efe, a'i
bechod a bechodd efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl
brenhinoedd Juda?
18 A Manasseh a hunodd gyda'i
dadau, ac a gladdwyd yn ngardd ei
dŷ ei hun, *sef* yn ngardd Uzza; ac
Amon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

---

iaid Duw yn eu rhybyddio ac yn eu dysgu yn y gyfraith.

Adn. 10. *A llefarodd yr Arglwydd trwy law ei weision y proffwydi*] Y proffwydi hyn, yn ol Abarbinel, oeddynt Hosea, Joel, Nahum, Habaccuc, ac Esay. Y mae y pum adnod ganlynol yn cynwys sylwedd yr hyn a lefarwyd gan y proffwydi hyny. Dywedir am Esay ei fod nid yn unig yn proffwydo yn y dyddiau hyny, ond hefyd iddo gael ei ferthyru gan Manasseh, yr hwn a'i lifiodd ef ar ei hyd â *llif bren!*

Adn. 11. *Yr Amoriaid*] Felly y gelwid yr oll o'r hen Ganaaneaid: gwel ar Gen. xv. 16.

Adn. 12. *Wele fi yn dwyn drwg ar Jerusalem a Juda*] Sef anrheithiad y lle, a chaethgludiad y trigolion, trwy law y Babiloniaid; *fel y merwino dwy glust y sawl a'i clywant*—bydd i'r adroddiad o hono lenwi meddyliau dynion â syndod a dychryn.

Adn. 13. *A mi a estynaf linyn mesur Samaria ar Jerusalem*] Cai Jerusalem yr un mesur o gosp ag a gawsai Samaria, disgynai yr un farnedigaeth arni hi ag a ddisgynodd ar Samaria; *a phwys tŷ Ahab*—rhoddid barn mor drom ar Jerusalem, ac yn enwedig ar deulu Manasseh, ag a roisid ar deulu Ahab brenin Samaria. *Golchaf hefyd Jerusalem fel y gylch un gwpan*—fel y mae dynion wrth olchi cwpan aflan, yn gyntaf yn ei wâghâu o'r hyn oll oedd ynddo, yna yn ei lanhau a'i sychu, ac wedi hyny yn ei droi ar ei wyneb rhag i ddim aflendid fyned iddo; felly y gwnaf finau â Jerusalem; mi a'i gwâghâf ac a'i glanhâf hi yn llwyr oddiwrth ei thrigolion eilunaddolgar a drygionus. Eto y mae y gydmhariaeth yn awgrymu na lwyr ddyfethid Jerusalem, eithr y byddai iddi gael ei phuro a'i chadw i'w hail gyfaneddu pan ddychwelai yr Iuddewon o Babilon. Nid yw y cwpan yn cael ei ddryllio, ond yn unig ei lanhau.

Adn. 14. *A mi a wrthodaf weddill fy etifeddiaeth*] Yr oedd holl genedl Israel yn etifeddiaeth i'r Arglwydd: yr oedd rhan o'i etifeddiaeth ef, sef y deg llwyth, wedi eu gwrthod eisioes, a'u dwyn i gaethiwed; a bygythir yma wneyd yr un peth â'r gweddill, sef Juda a Benjamin.

Adn. 15. *A'u bod yn fy nigio i er y dydd y daeth eu tadau hwynt allan o'r Aifft*] Heblaw cospi y genhedlaeth bresenol am eu hanwireddau eu hunain, yr oedd Duw hefyd yn myned i ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant, am fod y plant yn euog o'r un anwiredd a'u tadau: gwel ar Exod. xx. 5.

Adn. 16. *Manasseh hefyd a dywalltodd lawer iawn o waed gwirion*] Sef gwaed y proffwydi hyny, a gwŷr cyfiawn ereill, y rhai a'i ceryddent ef am ei eilunaddoliaeth a'i arferion pechadurus ereill, neu a wrthodent gydsynio â'i orchymynion drygionus ef; *hyd oni lanwodd efe Jerusalem o ben bwy gilydd*—dengys hyn fod ei laddedigion ef yn aml iawn; canys fel y duwiau a addolid ganddo, yr oedd yntau wedi myned yn greulon a gwaedlyd iawn; *heblaw ei bechod trwy yr hwn y gwnaeth efe i Juda bechu*—sef y pechod o eilunaddoliaeth, i'r hwn y llusgodd efe ei ddeiliaid, adn. 9, 11.

Adn. 17. *A'r rhan arall o hanes Manasseh*] Yn cynwys adroddiad helaethach am ei bechod, ac hefyd am ei gaethgludiad a'i edifeirwch, at yr hyn y cyfeirir hefyd yn 2 Cron. xxxiii. 11, &c.; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?*—gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 18. *A Manasseh a hunodd gyda'i dadau*] A fu farw fel ei dadau, yn 67 mlwydd oed, ar ol bod yn teyrnasu 55 mlynedd; *ac a gladdwyd yn ngardd ei dŷ ei hun*—lle yr oedd beddrod yn perthyn i'w deulu ef, yn ol arferiad yr amseroedd hyny, yn mha un y claddwyd ei fab hefyd, adn. 26; *yn ngardd Uzza*—lle a elwid felly, yn ol rhai, am mai yno y claddwyd Uzza, yr hwn a laddwyd am gyffwrdd â'r arch, 2 Sam. vi. 7.

19 ¶ Mab dwy flynedd ar hugain
*oedd* Amon pan ddechreuodd efe
deyrnasu, a dwy flynedd y teyrnas-
odd efe yn Jerusalem: ac enw ei
fam ef *oedd* Mesulemeth, merch
Harus o Jotbah.
20 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, fel
y gwnelsai Manasseh ei dad.
21 Ac efe a rodiodd yn yr holl
ffyrdd y rhodiasai ei dad ynddynt,
ac a wasanaethodd yr eilunod a was-
anaethasai ei dad, ac a ymgrymodd
iddynt:
22 Ac efe a wrthododd Arglwydd
Dduw ei dadau, ac ni rodiodd yn
ffordd yr Arglwydd.
23 ¶ A gweision Amon a frad-
fwriadasant yn ei erbyn ef, ac a
laddasant y brenin yn ei dŷ ei hun.
24 A phobl y wlad a laddodd yr
holl rai a fradfwriadasant yn erbyn
y brenin Amon: a phobl y wlad a
osodasant Josiah ei fab ef yn frenin
yn ei le ef.
25 A'r rhan arall o hanes Amon,
yr hyn a wnaeth efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl
brenhinoedd Juda?
26 A chladdwyd ef yn ei feddrod
yn ngardd Uzza; a Josiah ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XXII.

MAB wyth mlwydd *oedd* Josiah
pan aeth efe yn frenin, ac un
mlynedd ar ddeg ar hugain y teyrn-
asodd efe yn Jerusalem: ac enw ei
fam ef *oedd* Jedidah, merch Adaiah
o Boscath.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd, ac
a rodiodd yn holl ffyrdd Dafydd ei
dad, ac ni thrôdd ar y llaw ddeau
nac ar y llaw aswy.
3 ¶ Ac yn y ddeunawfed flwydd-
yn i frenin Josiah, y brenin a anfon-
odd Saphan, mab Asaliah, mab
Mesulam, yr ysgrifenydd, i dŷ yr
Arglwydd, gan ddywedyd,
4 Dos i fyny at Hilciah yr arch-

---

Adn. 19. *Dwy flynedd y teyrnasodd efe*] Dywed y rabbiniaid mai anfynych yr oedd meibion brenhinoedd eilunaddolgar, y rhai a ddylynent eu tadau, yn teyrnasu uwchlaw *dwy* flynedd: felly *Nadab*, mab Jeroboam, 1 Bren. xv. 25; *Elah*, mab Baasa, 1 Bren. xvi. 8; *Ahaziah*, mab Ahab, 1 Bren. xxii. 51; ac *Amon*, mab Manasseh, fel y crybwyllir yma.

Adn. 20. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Efe a ganlynodd siampl ei dad mewn eilunaddoliaeth a drygioni, ond nid edifarhaodd efe am ei ddrygioni fel ei dad.

Adn. 21. *Ac efe a rodiodd yn yr holl ffyrdd y rhodiasai ei dad*] Nid yn unig mewn eilunaddoliaeth fel ei dad, eithr hefyd ond odid mewn swynyddiaeth, creulondeb, a llofruddiaeth fel yntau.

Adn. 22. *Ac efe a wrthododd Arglwydd Dduw ei dadau*] Gan ddewis eilunod meirwon o flaen y Duw byw; ac ail adeiladodd yr allorau hyny iddynt, y rhai yr oedd ei dad, yn niwedd ei oes, wedi eu tynu i lawr: gwel ar 2 Cron. xxxiii. 15, &c.

Adn. 23. *A gweision Amon a fradfwriadasant yn ei erbyn ef*] Yr oedd ef wedi gwrthryfela yn erbyn Duw, ac y mae ei weision yn awr yn gwrthryfela yn ei erbyn yntau; a'i *dŷ ei hun*, yr hwn a ddylasai fod ei noddfa, a fu yn ddienyddle iddo. Yr oedd ef wedi halogi tŷ Dduw â'i eilunod, ac yn awr goddefodd Duw i'w dŷ yntau gael ei halogi â'i waed. Pa mor annghyfiawn bynag oeddynt hwy y rhai a wnaethant hyn, yr oedd Duw yn gyfiawn yr hwn a oddefodd iddo gael ei wneuthur.

Adn. 24. *A phobl y wlad a laddodd yr holl rai a fradfwriadasant*] Fel hyn dangosasant nad oedd ganddynt hwy un llaw yn llofruddiad eu brenin; *ac a osodasant Josiah ei fab ef yn frenin yn ei le*—yr hyn a ragfynegasid oddeutu 300 o flynyddoedd cyn hyn: gwel ar 1 Bren. xiii. 2. Fel hyn cawsant un o frenhinoedd goraf Juda yn lle un o'r brenhinoedd gwaethaf.

Adn. 25. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 26. *Yn ngardd Uzza*] Lle yr oedd beddrod y teulu, adn. 18.

PEN. XXII. Adn. 1. *Mab wyth mlwydd oedd Josiah pan aeth efe yn frenin*] Trwy ei fod mor ieuanc, nid oedd wedi derbyn argraffiadau drwg oddiwrth siampl ei dad a'i daid; eithr yn fuan gwelodd eu camweddau, a rhoddodd Duw iddo ras i gymeryd rhybydd oddiwrthynt. *Ac enw ei fam ef oedd Jedidah, merch Adaiah o Boscath*—Boscath oedd ddinas yn llwyth Juda, Jos. xv. 39; ac y mae yn debyg mai rhai o'r llwyth hwnw oedd y wraig hon a'i thad.

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union*] Fel dyn ac fel brenin, mewn pethau crefyddol a gwladol; *ac efe a rodiodd yn holl ffyrdd Dafydd*—yn ei holl ffyrdd crefyddol ef, neu ei ymlyniad cydwybodol wrth addoliad Jehofa; *ac ni thrôdd ar y llaw ddeau nac ar y llaw aswy*—dechreuodd yn dda, parhaodd yn dda, a diweddodd yn dda, gan rodio yn gyson ar hyd llwybrau uniondeb.

Adn. 3. *Ac yn y ddeunawfed flwyddyn*] Nid o'i oedran, ond o'i deyrnasiad, 2 Cron. xxxiv. 3, 8; *y brenin a anfonodd Saphan*—ysgrifenydd y llywodraeth, a dau ereill gydag

offeiriad, fel y cyfrifo efe yr arian
a ddygpwyd i dŷ yr Arglwydd, y
rhai a gasglodd ceidwaid y drws
gan y bobl:
5 A rhoddant hwy yn llaw gweith-
wyr y gwaith, y rhai sydd olygwyr
ar dŷ yr Arglwydd: a rhoddant
hwy i'r rhai sydd yn gwneuthur y
gwaith *sydd* yn nhŷ yr Arglwydd,
i gyweirio agenau y tŷ.
6 I'r seiri coed, ac i'r adeiladwyr,
ac i'r seiri maen, ac i brynu coed a
cherig nadd, i adgyweirio y tŷ.
7 Eto ni chyfrifwyd â hwynt am
yr arian a roddwyd yn eu llaw hwynt,
am eu bod hwy yn gwneuthur yn
ffyddlon.
8 ¶ A Hilciah yr archoffeiriad a
ddywedodd wrth Saphan yr ysgrif-
enydd, Cefais lyfr y gyfraith yn
nhŷ yr Arglwydd: a Hilciah a rodd-
odd y llyfr at Saphan, ac efe a'i
darllenodd ef.
9 A Saphan yr ysgrifenydd a
ddaeth at y brenin, ac a adroddodd
y peth i'r brenin, ac a ddywedodd,
Dy weision di a gasglasant yr arian
a gafwyd yn tŷ, ac a'i rhoddasant
yn llaw gweithwyr y gwaith, y rhai
sydd olygwyr ar dŷ yr Arglwydd.
10 A Saphan yr ysgrifenydd a
fynegodd i'r brenin, gan ddywedyd,
Hilciah yr offeiriad a roddodd i mi
lyfr: a Saphan a'i darllenodd ef
gerbron y brenin.
11 A phan glybu y brenin eiriau
llyfr y gyfraith, efe a rwygodd ei
ddillad.
12 A'r brenin a orchymynodd i
Hilciah yr offeiriad, ac i Ahicam
mab Saphan, ac i Achbor mab Mi-
chaiah, ac i Saphan yr ysgrifenydd,
ac i Asahiah gwas y brenin, gan
ddywedyd,
13 Ewch, ymofynwch â'r Ar-
glwydd drosof fi, a thros y bobl, a

---

ef, 2 Cron. xxxiv. 8; *i dŷ yr Arglwydd*—i ddarparu at ei gyweirio ef.

Adn. 4. *Fel y cyfrifo efe yr arian*] Y rhai a gyfranasai y bobl at adgyweirio y deml: gwel ar pen. xii. 9.

Adn. 5—7. *A rhoddant hwy yn llaw gweithwyr y gwaith*] Gan ddylyn yr un drefn ag yn amser Joas, oddeutu 200 mlynedd yn ol: gwel ar pen. xii. 11—15.

Adn. 8. *Cefais lyfr y gyfraith yn nhŷ yr Arglwydd*] Ar ol i Hilciah yr archoffeiriad chwilio y deml trwyddi, i edrych pa adgyweiriadau oeddynt yn angenrheidiol, efe a gafodd y llyfr hwn wedi ei guddio mewn rhyw le ynddi. Tybia rhai mai y Pumllyfr oedd hwn; ereill, mai llyfr Deuteronomium; ac ereill, mai rhan o'r llyfr olaf ydoedd, sef pen. xxviii—xxxi: gwel ar pen. xxiii. 21. Gellir meddwl oddiwrth 2 Cron. xxxiv. 14, mai y llyfr gwreiddiol hwnw a ysgrifenasai Moses â'i law ei hun, i'w gadw yn ymyl yr arch, oedd hwn: gwel ar Deut. xxxi. 9. Y mae yn debyg i ryw offeiriad duwiol ei gymeryd ef o'r cysegr santeiddiolaf, a'i guddio mewn cŵr arall o'r deml, neu dan y llawr, meddai y rabbiniaid, pan yr oedd y brenhinoedd eilunaddolgar yn erlid y wir grefydd, ac yn anrheithio y deml. Er fod llawer o ailunau o'r gyfraith, sef o bum llyfr Moses, wedi cael eu hysgrifenu o dro i dro, a'u lledaenu ar hyd y wlad; eto yr oedd Ahaz, Manasseh, ac ereill, wedi gwneyd y fath ddystryw arnynt, fel nad oedd nemawr o honynt ar gael yn awr, fel y gallwn gasglu oddiwrth ddyeithrwch Josiah a'i gyfeillion iddynt; a'r ychydig ag oeddynt mewn bod, a gedwid yn ddirgel a gofalus yn meddiant rhyw deuluoedd duwiol, neu gan rai o'r offeiriaid neu y proffwydi.

Adn. 9. *Ac a adroddodd y peth*] Ddarfod iddynt gyfrif yr arian, a'u rhoddi yn llaw y gweithwyr, fel y gorchymynasai y brenin, adn. 4—6.

Adn. 10. *Hilciah yr offeiriad a roddodd i mi lyfr*] Heb ddywedyd i'r brenin pa lyfr ydoedd; *a Saphan a'i darllenodd ef gerbron y brenin*—sef rhan o hono; a meddylir mai Deut. xxviii. a xxix. a ddarllenodd efe, y rhai oeddynt yn addas iawn i ddangos i'r brenin fod pechodau a pherygl ei bobl yn llawer mwy nag y meddyliodd efe.

Adn. 11. *A phan glybu y brenin eiriau llyfr y gyfraith*] Ac y deallodd fod y fath fygythion arswydus ynddo yn erbyn y pechodau a ffynent fyth yn mhlith ei bobl: *efe a rwygodd ei ddillad*—yn arwydd o ddrylliad ei galon, a'i alar, a'i ymostyngiad gerbron Duw. Ymddengys oddiyma nad oedd efe wedi clywed ei ddarllen erioed o'r blaen, chwaithach ysgrifenu copi o hono, yr hyn oedd yn orchymynedig i frenhinoedd Israel ei wneuthur ar eu hesgyniad i'r orsedd, Deut. xvii. 18, 19; ac os oedd ef yn ddyeithr iddo, pa faint mwy felly y rhaid fod ei bobl! Gellir meddwl fod yr arferiad hwn wedi cael ei esgeuluso er's rhai oesoedd, ac nad oedd gan gorff y bobl un ffordd i wybod cyfraith Dduw ond trwy ei chlywed o enau eu hathrawon, yr hyn a raid fod yn dra anmherffaith ac ansicr. Dyry hyn gyfrif am lawer o bethau ynddynt yn groes i gyfraith Moses, hyd yn nod yn amser y brenhinoedd duwiol, megys aberthu ac arogldarthu ar uchelfeydd, gan na wyddent i ba raddau yr oedd hyny yn waharddedig. Mor ddiolchgar y dylem ni fod am y gelfyddyd o argraffu, trwy yr hon y dygwyd gair Duw i gyraedd y tylotaf yn y wlad, fel y gall pob un gael copi o'r ysgrythyrau yn ei law ei hun, i ddysgu iddo y ffordd i'r nef!

Adn. 12. *A'r brenin a orchymynodd*] I'w swyddogion uwchaf yn yr eglwys a'r wladwr-

thros holl Juda, am eiriau y llyfr
hwn a gafwyd: canys mawr *yw* llid
yr Arglwydd yr hwn a enynodd
i'n herbyn ni, o herwydd na wran-
dawodd ein tadau ni ar eiriau y llyfr
hwn, i wneuthur yn ol yr hyn oll a
ysgrifenwyd o'n plegid ni.
14 Felly Hilciah yr offeiriad, ac
Ahicam, ac Achbor, a Saphan, ac
Asahiah a aethant at Huldah y broff-
wydes, gwraig Salum mab Ticfah,
mab Harhas, ceidwad y gwisgoedd:
a hi oedd yn trigo yn Jerusalem yn
yr ysgoldy, a hwy a ymddyddanas-
ant â hi.
15 ¶ A hi a ddywedodd wrthynt,
Fel hyn y dywedodd Arglwydd
Dduw Israel, Dywedwch i'r gŵr
a'ch anfonodd chwi ataf fi;
16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Wele fi yn dwyn drwg ar y lle hwn,
ac ar ei drigolion, *sef* holl eiriau y
llyfr a ddarllenodd brenin Juda.
17 Am iddynt fy ngwrthod i, ac
arogldarthu i dduwiau dyeithr, i'm
digio i â holl waith eu dwylaw: am
hyny yr enyn fy llid yn erbyn y lle
hwn, ac nis diffoddir ef.
18 Ond wrth frenin Juda, yr hwn
a'ch anfonodd chwi i ymgynghori
â'r Arglwydd, fel hyn y dywedwch
wrtho ef, Fel hyn y dywed Ar-
glwydd Dduw Israel, *Am* y geiriau
a glywaist ti;
19 Oblegid i'th galon feddalhau,
ac i tithau ymostwng o flaen yr Ar-
glwydd, pan glywaist yr hyn a lef-
erais yn erbyn y lle hwn, ac yn
erbyn ei drigolion, y byddent yn
annghyfanedd ac yn felldith, ac *am*
rwygo o honot dy ddillad, ac ŵylo
ger fy mron i; minau hefyd a wran-
dewais, medd yr Arglwydd.
20 O herwydd hyny, wele, mi a'th

---

iaeth, gan mor drwm yr oedd y peth yn pwyso ar ei feddwl.

Adn. 13. *Ewch, ymofynwch â'r Arglwydd drosof fi*] Trwy gyfrwng rhyw broffwyd a welent hwy yn dda, megys Jeremia, yr hwn oedd yn proffwydo bellach er's pum mlynedd, gan iddo ddechreu yn y 13eg i Josiah, Jer. i. 1, 2, tra yr oedd hon y 18fed iddo, adn. 3; *am eiriau y llyfr hwn a gafwyd*—yr oedd y darnau a ddarllenwyd iddo o'r llyfr hwn yn bygwth caethgludiad nid yn unig y bobl, ond eu brenin hefyd; a dywed yr Iuddewon ei fod yn cyfeirio at Deut. xxviii. 36, 'Yr Arglwydd a'th ddwg di, a'th frenin a osodych arnat, at genedl nid adnabuost;' ac ewyllysiai Josiah wybod beth a ddylai ef a'i bobl ei wneyd i droi y farn hòno oddiwrthynt.

Adn. 14. *Aethant at Huldah y broffwydes*] Yr hon oedd yn wir broffwydes, fel Miriam a Debora gynt. Yr oedd yn anrhydedd mawr iddi fod yr archoffeiriad a swyddogion uchel y llywodraeth yn myned ati i ymgynghori â hi ar y fath achos; ac fe allai iddynt fod yn ym-gynghori â hi ar ryw achos o'r blaen, a chael gair yr Arglwydd yn ei genau hi yn wirionedd; a thrwy fod ei gŵr yn swyddog yn y llys, yr oedd ganddynt fwy o ymddiried yn ei ffyddlondeb hi. Yr oedd Jeremia a Sephania yn proffwydo y pryd hyn, Jer. i. 2; Seph. i. 1; ond dichon yr ystyrid hwy yn rhy ieuanc, neu eu bod yn mhell o Jerusalem ar y pryd, fel nad oedd neb wrth law ond Huldah. *A hi oedd yn trigo yn Jerusalem yn yr ysgoldy*—gyda meibion y proffwydi, lle ond odid yr ydoedd yn dal rhyw swydd. Ond yr Hebraeg a'i geilw 'yr ail ran,' neu yr ail res o adeiladau oddiwrth y palas brenhinol.

Adn. 15. *A hi a ddywedodd wrthynt*] Ar ol i Ysbryd yr Arglwydd ddisgyn arni yn y fan yn ysbryd proffwydoliaeth; *Dywedwch wrth y gŵr a'ch anfonodd*—nid yw yn arferyd dim moes-eiriau, am ei bod yn llefaru dan ysbrydoliaeth Duw; canys er fod brenhinoedd yn 'dduwiau' i ni, nid ydynt ond 'dynion' yn ngolwg Duw, gyda'r hwn nid oes derbyn wyneb.

Adn. 16. *Wele fi yn dwyn drwg ar y lle hwn*] Sef dinystr Jerusalem, a chaethgludiad y trigolion i Babilon; *sef holl eiriau y llyfr*—y drygau a fygythid yn Deut. xxviii, ac mewn manau ereill; *a ddarllenodd brenin Juda*—a ddarllenwyd iddo gan Saphan, adn. 10; neu gall fod Josiah ei hun wedi darllen y llyfr wedi hyny. Rhaid i'r ysgrythyrau gael eu cyflawni. Y rhai ni fynant eu rhwymo gan y gorchymyn, a rwymir gan y gosp; canys ni cheir Duw yn llai ofnadwy i'r annuwiol nag y mae ei air yn ei arddangos. Bechadur anedifeiriol, pwy bynag wyt, cymer rybydd mewn pryd!

Adn. 17. *Am iddynt fy ngwrthod i*] Yr unig wir a'r bywiol Dduw; *ac arogldarthu i dduwiau dyeithr*—y rhai nid oeddynt dduwiau, eithr gwaith eu dwylaw eu hunain; *am hyny yr enyn fy llid*—fel tân wedi ei chwythu yn fflam angherddol; *ac nis diffoddir ef*—nes cyflawni angerdd fy nigofaint. Yr oedd y ddedfryd wedi ei chyhoeddi er's talm, ac ni throid hi yn ol bellach trwy weddiau nac aberthau.

Adn. 18. *Ond wrth frenin Juda*] Yr oeddynt i ddwyn y genadwri a ganlyn yn ol ato ef yn bersonol, a hyny oddiwrth yr Arglwydd. *Am y geiriau a glywaist ti*—sef geiriau llyfr y gyfraith, y rhai a ddarllenasai Saphan yn ei glywedigaeth ef, adn. 10, 16.

Adn. 19. *Oblegid i'th galon feddalhau*] Megys cŵyr o flaen tân, fel ag i dderbyn argraff oddiwrth y gyfraith ddwyfol; *ac i tithau ymostwng o flaen yr Arglwydd*—yr hyn a ddanghosai efe trwy rwygo ei ddillad ac ŵylo; *minau hefyd a wrandewais*—ar weddi Josiah, yr hon oedd yn cydfyned â'i ddagrau; neu ynte ystyrid ei rwygiad dillad a'i ddagr-

gymeraf di ymaith at dy dadau, a thi a ddygir i'th fedd mewn heddwch, fel na welo dy lygaid yr holl ddrwg yr ydwyf fi yn ei ddwyn ar y fan hon. A hwy a ddygasant air i'r brenin drachefn.

## PENNOD XXIII.

A'R brenin a anfonodd, a holl henuriaid Juda a Jerusalem a ymgynullasant ato ef.
2 A'r brenin a aeth i fyny i dŷ
yr Arglwydd, a holl wŷr Juda, a holl drigolion Jerusalem gydag ef, yr offeiriaid hefyd, a'r proffwydi, a'r holl bobl o fychan hyd fawr: ac efe a ddarllenodd, lle y clywsant hwy, holl eiriau llyfr y cyfammod, *yr hwn* a gawsid yn nhŷ yr Arglwydd.
3 ¶ A'r brenin a safodd wrth y
golofn, ac a wnaeth gyfammod gerbron yr Arglwydd, ar fyned ar ol yr Arglwydd, ac ar gadw ei orchymynion ef, a'i dystiolaethau, a'i ddeddfau, â'*i* holl galon, ac â'*i* holl enaid, i gyflawni geiriau y cyfammod hwn, y rhai *oedd* ysgrifenedig yn y llyfr hwn. A'r holl bobl a safodd wrth y cyfammod.
4 A'r brenin a orchymynodd i
Hilciah yr archoffeiriad, ac i'r offeiriaid o'r ail *radd,* ac i geidwaid y drws, ddwyn allan o deml yr Arglwydd yr holl lestri a wnelsid i Baal, ac i'r llwyn, ac i holl lu y nefoedd: ac efe a'u llosgodd hwynt o'r tu allan i Jerusalem, yn maesydd Cidron, ac a ddyg eu lludw hwynt i Bethel.
5 Ac efe a ddiswyddodd yr offeir-
iaid a osodasai brenhinoedd Juda i arogldarthu yn yr uchelfeydd, yn ninasoedd Juda, ac yn amgylchoedd Jerusalem: a'r rhai oedd yn arogl-

---

au fel gweddi yn nghlustiau y Duw trugarog.

Adn. 20. *O herwydd hyny, wele, mi a'th gymeraf di ymaith at dy dadau*] Nid i'r bedd, canys crybwyllir hyny ar ol hyn; ond i fwynhau bywyd a gwynfyd tragwyddol gyda'i henafiaid tudraw i'r bedd. *A thi a ddygir i'th fedd mewn heddwch*—yr addewid gyntaf a berthynai i'w enaid, a hon i'w gorff. Er ei ladd ef mewn rhyfel, eto, fel dyn duwiol, bu farw mewn heddwch â Duw, ac aeth ei enaid i ogoniant, a hyny cyn i'r Babiloniaid ymosod ar Jerusalem. Ac yr oedd ei deyrnas ef hefyd mewn heddwch pan y bu efe farw; canys yn erbyn *Assyria*, nid yn erbyn *Juda*, yr oedd brenin yr Aifft yn myned pan y lladdwyd ef gan hwnw; a chladdwyd ef mewn heddwch gan ei weision yn ei feddrod ei hun: gwel ar pen. xxiii. 29, 30. *Fel na welo dy lygaid yr holl ddrwg*—sef dinystr Jerusalem, a chaethgludiad y bobl i Babilon, yr hyn ni chymerodd le amrai flynyddau wedi hyn. *A hwy a ddygasant air i'r brenin drachefn*—mynegasant iddo eiriau Huldah y broffwydes, adn. 16—20.

PEN. XXIII. Adn. 1. *A'r brenin a anfonodd*] Lythyrau neu genadau, i gasglu yn nghyd i Jerusalem holl henuriaid ei deyrnas. Efe a wyddai, os gallai dim attal, oedi, neu esmwythâu y dinystr bygythiedig, mai diwygiad cyffredinol oedd hyny.

Adn. 2. *A'r brenin a aeth i fyny*] I'r deml, neu i gyntedd y deml, yn cael ei ddylyn gan yr offeiriaid, y proffwydi, a'r holl bobl; *ac efe a ddarllenodd*—ei hunan, fel cyfryngwr rhwng Duw a'r bobl; *holl eiriau llyfr y cyfammod*—yn enwedig y rhanau hyny a draethent ar ddyledswyddau y bobl, a'r addewidion am eu cadw, a'r bygythion am eu hesgeuluso. Nid oedd Josiah yn meddwl fod yn ddarostyngiad iddo ef fod yn ddarllenwr, mwy na Solomon yn bregethwr, neu Dafydd yn geidwad y drws, yn nhŷ Dduw.

Adn. 3. *A'r brenin a safodd wrth y golofn*] Sef yn mhulpud pres Solomon, fel y tybir, pen. xi. 14; *ac a wnaeth gyfammod gerbron yr Arglwydd*—yn gyntaf ar ei ran ei hun, y byddai iddo ef gadw holl orchymynion yr Arglwydd â'i holl galon, ac â'i holl enaid, fel eu gosodid allan yn llyfr y gyfraith; ac yna ar ran ei bobl, y rhai a dueddid i ddylyn siampl eu brenin. *A'r holl bobl a safodd wrth y cyfammod*—a ddangosasant eu cydsyniad, ond odid trwy sefyll ar eu traed, fel yr oedd yntau yn sefyll.

Adn. 4. *I'r offeiriaid o'r ail radd*] Y rhai oeddynt nesaf mewn gradd i'r archoffeiriad, ac a gyflawnent ei swydd ef pan fyddai yn glaf, neu wedi ei halogi rywfodd; neu ynte penaethiaid y pedwar dosbarth ar hugain a benodasai Dafydd, 1 Cron. xxiv. 3, &c.; *ac i geidwaid y drws*—neu borthorion y deml; *ddwyn allan o deml yr Arglwydd yr holl lestri*—y rhai a wnaethai Manasseh at addoliad Baal, Astoreth, a'r ser, pen. xxi. 3—7; *ac efe a'u llosgodd hwynt*—canys er na ddefnyddid hwynt yn y ffordd hòno yn amser Josiah, gallasent fod yn annogaeth i eilunaddoliaeth mewn amser dyfodol, pe goddefasid hwynt; *o'r tu allan i Jerusalem*—rhag i'w lludw hwynt halogi y ddinas; *ac a ddyg eu lludw hwynt i Bethel*—o ddirmyg arni, neu i wneyd tomen o'r lle a fuasai yn brif eisteddle eilunaddoliaeth er dyddiau Jeroboam.

Adn. 5. *Ac efe a ddiswyddodd yr offeiriaid*] Sef yr offeiriaid eilunaddolgar a osodwyd gan frenhinoedd drygionus Juda i arogldarthu i Baal, ac i'r haul a'r lleuad; *i'r planedau*—sef y deuddeg arwydd, fel y mae y Vulgate yn deall *mazzaloth* yma: gwel ar Job xxxviii. 32; *ac i holl lu y nefoedd*—sef yr holl ser ereill.

darthu i Baal, i'r haul, ac i'r lleuad,
ac i'r planedau, ac i holl lu y nef-
oedd.
6 Efe a ddyg allan hefyd y llwyn
o dŷ yr Arglwydd, i'r tu allan i Je-
rusalem, hyd afon Cidron, ac a'*i*
llosgodd ef wrth afon Cidron, ac a'*i*
malodd yn llwch, ac a daflodd ei
lwch ar feddau meibion y bobl.
7 Ac efe a fwriodd i lawr dai y
sodomiaid, y rhai *oedd* wrth dŷ yr
Arglwydd, lle yr oedd y gwragedd
yn gwau cortynau i'r llwyn.
8 Ac efe a ddyg yr holl offeiriaid
allan o ddinasoedd Juda, ac a hal-
ogodd yr uchelfeydd yr oedd yr
offeiriaid yn arogldarthu arnynt, o
Geba hyd Beerseba, ac a ddystryw-
iodd uchelfeydd y pyrth, y rhai *oedd*
*wrth* ddrws porth Josua tywysog y
ddinas, y rhai *oedd* ar y llaw aswy
i bawb *a ddelai* i borth y ddinas.
9 Eto offeiriaid yr uchelfeydd ni
ddaethant i fyny at allor yr Ar-
glwydd i Jerusalem, ond hwy a
fwytasant fara croyw yn mysg eu
brodyr.
10 Ac efe a halogodd Topheth, yr
hon *sydd* yn nyffryn meibion Hin-
nom, fel na thynai neb ei fab na'i
ferch trwy dân i Moloch.
11 Ac efe a ddyfethodd y meirch
a roddasai brenhinoedd Juda i'r
haul, wrth ddyfodfa tŷ yr Arglwydd,
wrth ystafell Nathan-melech yr ys-
tafellydd, yr hwn *oedd* yn y pentref,
ac a losgodd gerbydau yr haul yn
tân.

---

Adn. 6. *Efe a ddyg allan hefyd y llwyn*] Sef delw gerfiedig y llwyn, yr hon a osodasai Manasseh yn nhŷ yr Arglwydd, pen. xxi. 7; *ac a'i llosgodd ef wrth afon Cidron*—yr hon oedd allan o Jerusalem, o du y dwyrain iddi; *ac a daflodd ei lwch ar feddau meibion y bobl*—sef y bobl gyffredin ac eilunaddolgar, y rhai a gleddid ger afon Cidron. Yn ol y gyfraith, yr oedd cyffwrdd â bedd yn aflanhau un; ac wrth i Josiah daflu y lludw hwn ar y beddau, efe a'i cyhoeddai fel yn aflan, yr hwn nad allai neb gyffwrdd âg ef heb ei aflanhau ganddo. Yn ol y Galdeaeg, efe a'i 'taflodd *i'r* beddau,' i arwyddo y mynai efe i bob math o eilunaddoliaeth gael ei gladdu allan o'i olwg fel ffieidd-dra.

Adn. 7. *Ac efe a fwriodd i lawr dai y sodomiaid*] Lle yr ymgynullai y gwryw-gydwyr i wneuthur brynti, mewn ffordd o addoliad i'w heilunod aflan. Gelwir pobl Juda felly, am eu bod yn arfer yr un pechod ffiaidd a'r hen Sodomiaid gynt. Nid yw yn eglur fod sodomiaid yn y wlad wedi amser Jehosaphat ac Asa, 1 Bren. xv. 12, a xxii. 46; ond yr oedd eu *tai* yn aros, a'r rhai hyny wrth dŷ yr Arglwydd, hyd nes y dinystriodd Josiah hwynt. *Lle yr oedd y gwragedd yn gwau cortynau i'r llwyn*—i *Asherah* neu *Venus*, sef lleni neu bebyll yn y rhai yr oedd defodau aflan y dduwies ffiaidd hòno yn cael eu dwyn yn mlaen.

Adn. 8. *Ac efe a ddyg yr holl offeiriaid*] Sef offeiriaid o deulu Aaron, y rhai a arogldarthent i eilunod neu i Dduw ar yr uchelfeydd; *allan o ddinasoedd Juda*—rhag iddynt barhau i lygru y bobl yn y fath leoedd gwaharddedig; *ac a halogodd yr uchelfeydd*—trwy daflu celaneddau a phethau ffiaidd ereill arnynt, a llosgi esgyrn ar eu hallorau; *o Geba*—yn nherfyn gogleddol teyrnas Juda, *hyd Beerseba*—yn y terfyn deheuol, sef trwy yr holl deyrnas. *Ac a ddystrywiodd uchelfeydd y pyrth*—lle yr oedd duwiau amddiffynol perthynol i'r gwahanol ddinasoedd wedi eu gosod wrth y pyrth, y rhai a addolid gan y trigolion wrth fyned i mewn ac allan; *wrth ddrws porth Josua, tywysog y ddinas*—crybwyllir hyn i ddangos mawr sel ac anmhleidgarwch Josiah, yr hwn nid arbedai eilunod gwŷr mawrion mwy na phobl gyffredin.

Adn. 9. *Eto offeiriaid yr uchelfeydd ni ddaethant i fyny, &c.*] Gan i'r offeiriaid hyn fod yn aberthu ar yr *uchelfeydd*, pa un bynag ai i'r gwir Dduw ynte i eilunod, ni fernid yn addas iddynt gael eu defnyddio yn ngwasanaeth y *deml*, trwy iddynt fod yn euog o dros-eddu deddf bendant Duw, Deut. xii. 11. *Ond hwy a fwytasant fara croyw yn mysg eu brodyr*—hyny yw, fel yr offeiriaid ereill. Gan y cydnabyddid eu bod yn perthyn i'r *offeiriadaeth*, yr oedd ganddynt hawl i'w cynaliaeth; ac felly yr oedd cyfran o'r degymau, yr offrymau, y bara croyw, y bara gosod, &c., yn cael ei rhoddi iddynt er eu cynaliaeth. Fel hyn yr oedd y brenin yn dangos iddynt ddaioni a thoster, trwy eu gosod yn yr un cyflwr a'r rhai oedd âg anaf corfforol arnynt, y rhai a gaent 'fwyta' bara eu Duw, er na chaent 'offrymu' bara eu Duw, Lef. xxi. 17—22.

Adn. 10. *Ac efe a halogodd Topheth*] Trwy daflu amrai fathau o fudreddi a chelaneddau iddo. Topheth oedd le yn agos i Jerusalem, yn nyffryn Meibion Hinnom, lle yr oedd delw Moloch, i ba un yr aberthid plant; a meddylir iddo gael ei enw oddiwrth *toph*, 'tabwrdd,' am y curid tabyrddau ar losgiad y cyfryw blant, i'r dyben i foddi eu llefiadau, yr un modd ag y gwneid yn ddiweddar yn India wrth losgi gweddwon gyda chyrff meirw eu gwŷr: gwel ar Lef. xviii. 21, Mat. v. 22.

Adn. 11. *Ac efe a ddyfethodd y meirch*] Trwy eu lladd neu eu llosgi. Tybia Bochart fod y meirch a'r cerbydau hyn wedi eu cysegru i gludo y brenin a'i uchel swyddogion trwy borth dwyreiniol y ddinas bob bore, i gyfarch ac addoli yr *haul* ar ei gyfodiad uwchlaw y terfyngylch, yn ol arferiad y Persiaid a'r Armeniaid; tybia ereill mai meirch a aberthid i'r haul oeddynt; ac ereill, mai lluniau meirch oeddynt, neu feirch a cherbydau cerfiedig.

12 Yr allorau hefyd, y rhai *oedd*
ar nen ystafell Ahaz, y rhai a wnel-
sai brenhinoedd Juda, a'r allorau a
wnelsai Manasseh yn nau gyntedd
tŷ yr Arglwydd, a ddystrywiodd y
brenin, ac a'*u* bwriodd *hwynt* i lawr
oddiyno, ac a daflodd eu llwch
hwynt i afon Cidron.
13 Y brenin hefyd a ddifwynodd
yr uchelfeydd *oedd* ar gyfer Jerusa-
lem, y rhai *oedd* o'r tu deau i fynydd
y llygredigaeth, y rhai a adeiladas-
ai Solomon brenin Israel i Astoreth
ffieidd-dra y Sidoniaid, ac i Cemos
ffieidd-dra y Moabiaid, ac i Milcom
ffieidd-dra meibion Ammon.
14 Ac efe a ddrylliodd y delwau,
ac a dorodd y llwyni, ac a lanwodd
eu lle hwynt âg esgyrn dynion.
15 ¶ Yr allor hefyd, yr hon *oedd*
yn Bethel, *a*'r uchelfa a wnaethai
Jeroboam mab Nebat, yr hwn a
wnaeth i Israel bechu, ïe, yr allor
hòno a'r uchelfa a ddystrywiodd efe,
ac a losgodd yr uchelfa, *ac a'i* mal-
odd yn llwch, ac a losgodd y llwyn.
16 A Josiah a edrychodd, ac a gan-
fu feddau, y rhai *oedd* yno yn y myn-
ydd, ac a anfonodd, ac a gymerth yr
esgyrn o'r beddau, ac a'*u* llosgodd
ar yr allor, ac a'i halogodd hi, yn ol
gair yr Arglwydd yr hwn a gyhoedd-
asai gŵr Duw, yr hwn a bregethas-
ai y geiriau hyn.
17 Yna efe a ddywedodd, Pa deitl
*yw* hwn yr ydwyf fi yn ei weled? A
gwŷr y ddinas a ddywedasant wrtho,
Bedd gŵr Duw, yr hwn a ddaeth o
Juda, ac a gyhoeddodd y pethau hyn
a wnaethost ti i allor Bethel, *ydyw.*
18 Ac efe a ddywedodd, Gadewch
ef yn llonydd; nac ymyred neb â'i
esgyrn ef. Felly yr achubasant ei
esgyrn ef, gydag esgyrn y proffwyd
a ddaethai o Samaria.
19 Josiah hefyd a dynodd ymaith

---

*Wrth ystafell Nathan-melech*—y swyddog a ofalai am y meirch a'r cerbydau hyn; *yr hwn oedd yn y pentref*—neu yn yr adeiladau allanol perthynol i'r deml, y rhai oeddynt wrth y ddyfodfa ati; *ac a losgodd gerbydau yr haul*—yn gystal a'r meirch, os rhai cerfiedig oeddynt, i roddi terfyn hollol ar y fath eilunaddoliaeth.

Adn. 12. *Yr allorau hefyd, y rhai oedd ar nen ystafell Ahaz*] Ar ben gwastad y palas brenhinol. Y mae yn debyg mai allorau i addoli llu y nefoedd oedd y rhai hyn, neu ynte i addoli Baal, Jer. xxxii. 29, y rhai a godwyd gan Ahaz, ac a ddefnyddid hefyd gan Manasseh ac Amon ar ei ol ef. *A'r allorau a wnelsai Manasseh*—yn nau gyntedd y deml, pen. xxi. 5. Er i Manasseh, ar ei edifeirwch, symud yr allorau hyn o fynydd tŷ yr Arglwydd, 2 Cron. xxxiii. 15; eto ymddengys i Amon ei fab ef eu gosod hwynt i fyny eilwaith yn yr un lle: eithr dystrywiodd Josiah hwynt yn llwyr; *ac a daflodd eu llwch hwynt i afon Cidron*—lle y teflid pob sothach a budreddi, fel na byddai dim o'u gweddillion hwy yn aros i'w parchu na'u defnyddio yn goelgrefyddol mwyach.

Adn. 13. *Y brenin hefyd a ddifwynodd yr uchelfeydd oedd ar gyfer Jerusalem*] Y rhai a adeiladasai Solomon i Astoreth, Cemos, a Milcom, ar du deau mynydd yr Olewwydd; yr hwn a elwir yma yn *fynydd y llygredigaeth*, o herwydd y llygredigaeth eilunaddolgar dirfawr a ddygid yn mlaen yno: gwel ar 1 Bren. xi. 5—7. Tybia rhai i'r allorau hyn gael eu dystrywio o'r blaen gan frenhinoedd duwiol Juda, o leiaf mewn rhan; ac iddynt gael eu codi drachefn i'r un duwiau gan frenhinoedd eilunaddolgar Juda; a'u bod yn cael eu galw fyth ar enw Solomon, yr hwn a'u dechreuodd hwynt, yr hyn oedd yn warth parhaus ar ei enw a'i goffadwriaeth ef.

Adn. 14. *Ac a lanwodd eu lle hwynt âg esgyrn dynion*] Sef esgyrn offeiriaid yr uchelfeydd a'r duwiau hyny, yn nghyda'u haddolwyr, y rhai a gladdesid yn agos yno, adn. 16. Hyn oedd i halogi y cyfryw leoedd, am y cyfrifid esgyrn y meirw yn aflan dan y gyfraith, Num. xix. 16. Yr oedd eilunaddolwyr meirwon a duwiau meirwon yn dra thebyg i'w gilydd, ac yn addas iawn i fod yn nghyd.

Adn. 15. *Yr allor hefyd yr hon oedd yn Bethel*] Yr hon a gyfodasai Jeroboam at addoliad y llo aur; *a'r uchelfa*—sef teml yr eilun, neu dŷ yr offeiriaid; *a ddystrywiodd efe*—ymddengys fod y llo aur wedi ei ddystrywio o'r blaen, ac yn awr dystrywiodd Josiah ei allor a'i deml ef, fel na byddai dim yn aros o weddillion yr eilunaddoliaeth hwnw.

Adn. 16. *A Josiah a edrychodd*] O'i gwmpas, i weled a oedd yno ryw weddillion ereill o'r eilunaddoliaeth hwn; *ac a ganfu feddau*—offeiriaid ac addolwyr y llo aur, a rhoddes orchymyn i gloddio eu hesgyrn hwynt i fyny; *ac a'u llosgodd ar yr allor*—i'w halogi hi cyn ei dystrywio, adn. 16; *yn ol gair yr Arglwydd*—oddeutu 340 mlynedd cyn hyn: gwel ar 1 Bren. xiii. 2.

Adn. 17. *Pa deitl yw hwn yr ydwyf fi yn ei weled?*] Yr oedd yn arferiad y pryd hyny, fel yn awr, osod colofnau neu feini uwch beddau dynion o enwogrwydd, ar y rhai y cerfid eu henwau neu eu hanes; ond nid oedd Josiah eto wedi darllen yr arysgrifen hòno, neu yr oedd y llythyrenau erbyn hyn wedi treulio fel nas gellid eu darllen. *Bedd gŵr Duw*—yr hwn a ragfynegasai weithredoedd Josiah, ac a laddwyd gan y llew, 1 Bren. xiii. 2, &c.

Adn. 18. *Gadewch ef yn llonydd*] Am ei fod yn broffwyd i'r gwir Dduw, ac nid yn eilunaddolwr. *Felly yr achubasant ei esgyrn ef*—gan adael i'w weddillion orwedd yn y

holl dai yr uchelfeydd, y rhai *oedd*
yn ninasoedd Samaria, y rhai a
wnelsai brenhinoedd Israel i ddigio
yr Arglwydd, ac a wnaeth iddynt
yn ol yr holl weithredoedd a wnelsai
efe yn Bethel.
20 Ac efe a laddodd holl offeiriaid
yr uchelfeydd *oedd* yno, ar yr allor-
au, ac a losgodd esgyrn dynion ar-
nynt, ac a ddychwelodd i Jerusalem.
21 ¶ A'r brenin a orchymynodd i'r
holl bobl, gan ddywedyd, Gwnewch
basc i'r Arglwydd eich Duw, fel *y
mae* yn ysgrifenedig yn llyfr y cyf-
ammod hwn.
22 Yn ddiau ni wnaed y fath basc
a hwn, er dyddiau y barnwyr a
farnasant Israel, nac *yn* holl ddydd-
iau brenhinoedd Israel, na brenhin-
oedd Juda.
23 Ac yn y ddeunawfed flwyddyn
i frenin Josiah y cynhaliwyd y pasc
hwn i'r Arglwydd yn Jerusalem.
24 ¶ Y swynyddion hefyd, a'r
dewiniaid, a'r delwau, a'r eilunod,
a'r holl ffieidd-dra y rhai a welwyd
yn ngwlad Juda, ac yn Jerusalem,
a dynodd Josiah ymaith; fel y cyf-
lawnai efe eiriau y gyfraith, *y rhai
oedd* ysgrifenedig yn y llyfr a gaf-
odd Hilciah yr offeiriad yn nhŷ yr
Arglwydd.
25 Ac ni bu o'i flaen frenin o'i
fath ef, yr hwn a drôdd at yr Ar-
glwydd â'i holl galon, ac â'i holl
enaid, ac â'i holl egni, yn ol cwbl o
gyfraith Moses, ac ar ei ol ef ni
chyfododd ei fath ef.
26 ¶ Er hyny ni thrôdd yr Ar-
glwydd oddiwrth lid ei ddigofaint

---

bedd yn llonydd; *gydag esgyrn y proffwyd a ddaethai o Samaria*—yr hwn a gladdwyd yn ol ei ddymuniad yn yr un bedd a gŵr Duw: gwel ar 1 Bren. xiii. 30, 31. Dywed yr Iuddewon fod danadl yn tyfu ar un tu i'r bedd, uwchben y proffwyd o Samaria; a llysiau peraroglaidd hyfryd ar y tu arall, uwchben y proffwyd o Juda.

Adn. 19. *Josiah hefyd a dynodd ymaith holl dai yr uchelfeydd*] Nid yn unig temlau yr eilunod, ond tai eu hoffeiriaid hwy hefyd trwy holl wlad Samaria, megys y gwnaethai efe yn Bethel, adn. 15; *y rhai oedd yn ninasoedd Samaria*—yn enwedig yn rhandiroedd Manasseh, Ephraim, Simeon, a Naphtali, 2 Cron. xxxiv. 6. Ymddengys fod gan Josiah awdurdod i fyned trwy holl ddinasoedd Samaria yn awr, naill ai o herwydd cyn-feddiant brenhinoedd Juda o'r holl wlad, neu oddiar ymostyngiad gwirfoddol y trigolion presenol iddo, neu ynte trwy ganiatâd brenin Assyria, yr hwn a ennillasai y wlad hòno.

Adn. 20. *Ac efe a laddodd holl offeiriaid yr uchelfeydd*] Sef yr offeiriaid eilunaddolgar yn ninasoedd Samaria, y rhai yr oedd eu bywydau wedi eu fforffetio yn ol y gyfraith; *ar yr allorau*—lle y buasent hwy yn aberthu ac yn arogldarthu i'w gau-dduwiau; *ac a losgodd esgyrn dynion arnynt*—i'w halogi hwynt, ac i ddangos ei atgasrwydd at eilunaddoliaeth ac eilunaddolwyr, yn ol y broffwydoliaeth yn 1 Bren. xiii. 2. Fel hyn nid arbedodd efe y byw na'r meirw o'r dynion drygionus hyny.

Adn. 21. *A'r brenin a orchymynodd i'r holl bobl*] Trwy ei holl deyrnas; *Gwnewch basc i'r Arglwydd eich Duw*—yr hwn oedd nid yn unig yn goffadwriaeth o'u gwaredigaeth hwy o'r Aifft, ond hefyd yn arwydd o'u cysegriad hwy iddo, a'u cymundeb âg ef. Fel hyn, ar ol iddo ddileu eilunaddoliaeth, y mae efe yn gosod i fyny wir addoliad y gwir Dduw. Yn hyn efe a wahaniaethai yn fawr oddiwrth Jehu, yr hwn, ar ol iddo ddileu addoliad Baal, ni thrôdd oddiwrth addoliad y lloi aur, pen. x. 28, 29. *Fel y mae yn ysgrifenedig yn llyfr y cyfammod hwn*—yr hwn a gaed yn ddiweddar yn y deml, pen. xxii. 8. Gan mai yn Exod. xiii. yn benaf y ceir hanes am sefydliad y pasc, ai nid yw hyny yn brawf fod llyfr y gyfraith, yr hwn a gafwyd yn y deml, yn cynwys yr oll o bum llyfr Moses?

Adn. 22. *Yn ddiau ni wnaed y fath basc a hwn*] O ran gwresogrwydd, manylrwydd, a difrifwch sobr yn y gadwraeth o hono; *er dyddiau y barnwyr*—neu 'er dyddiau Samuel y proffwyd,' yr olaf o'r barnwyr, fel ei mynegir yn 2 Cron. xxxv. 18, yn mha bennod y cawn hanes helaeth am y modd y cynelid y pasc hwn. *Nac yn holl ddyddiau brenhinoedd Israel na brenhinoedd Juda*—yr hyn a gynwysir o angenrheidrwydd yn y cyfnod rhwng Josiah a'r barnwyr, fel y dywedwyd o'r blaen. Y mae yn debyg y cedwid y pasc yn *Juda* yn amser eu brenhinoedd duwiol, ond nid mor berffaith a'r tro hwn; ac am frenhinoedd *Israel*, nid ymddengys eu bod hwy yn ei gadw mewn un modd, ac yn wir nis gellid ei gadw allan o Jerusalem.

Adn. 23. *Ac yn y ddeunawfed flwyddyn*] O'i deyrnasiad, nid o'i oedran, pen. xxii. 3.

Adn. 24. *Y swynyddion, &c.*] Y rhai nid oeddynt i gael eu goddef yn Israel, Deut. xviii. 10—12; *fel y cyflawnai efe eiriau y gyfraith*—canys yr oedd ef wedi darllen y llyfr hwnw yn fanwl trwyddo erbyn hyn, a phenderfynai weithredu yn ol ei gyfarwyddiadau yn mhob peth.

Adn. 25. *Ac ni bu o'i flaen frenin o'i fath ef, &c.*] Dywedwyd yr un peth am Hezeciah, pen. xviii. 5. Yr oedd Hezeciah yn rhagori ar Josiah mewn rhai pethau, megys ei ymddiriediad yn yr Arglwydd ei Dduw, a'i ymgyflwyniad yn nechre ei deyrnasiad i dynu i lawr yr uchelfeydd, yr hyn ni ddechreuodd Josiah ond odid hyd y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrnasiad: ond yr oedd Josiah yn rhagori arno yntau mewn sel ac ymdrech santaidd dros ddiwygiad yn gyffredinol, ac mewn buchedd santaidd,

mawr, *trwy* yr hwn y llidiodd ei ddigllonedd ef yn erbyn Juda, o herwydd yr holl ddigter, *trwy* yr hwn y digiasai Manasseh ef.
27 A dywedodd yr Arglwydd, Juda hefyd a fwriaf o'm golwg, fel y bwriais ymaith Israel, ac a wrthodaf y ddinas hon Jerusalem, yr hon a ddetholais, a'r tŷ *am* yr hwn y dywedais, Fy enw a fydd yno.
28 A'r rhan arall o hanes Josiah, a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda?
29 ¶ Yn ei ddyddiau ef y daeth Pharao-Nechoh brenin yr Aifft i fyny yn erbyn brenin Assyria, hyd afon Euphrates: a'r brenin Josiah a aeth i'w gyfarfod ef, a *Pharao* a'i lladdodd ef yn Megido, pan ei gwelodd ef.
30 ¶ A'i weision a'i dygasant ef mewn cerbyd yn farw o Megido, ac a'i dygasant ef i Jerusalem, ac a'i claddasant ef yn ei feddrod ei hun. A phobl y wlad a gymerasant Joachaz mab Josiah, ac a'i heneiniasant ef, ac a'i hurddasant yn frenin yn lle ei dad.
31 ¶ Mab tair blwydd ar hugain *oedd* Joachaz pan aeth efe yn frenin, a thri mis y teyrnasodd efe yn Jerusalem; ac enw ei fam ef *oedd* Hamutal, merch Jeremia o Libnah.
32 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn

---

gan droi at yr Arglwydd â'i holl galon, enaid, a nerth. Ie, yr oedd Josiah, mewn ystyr moesol, yn rhagori hyd yn nod ar Dafydd a Solomon, y rhai, er eu bod yn *fwy* nag ef fel brenhinoedd, nid oeddynt yn mhob peth *cystal* ag ef.

Adn. 26. *Er hyny ni thrôdd yr Arglwydd oddiwrth lid ei ddigofaint mawr*] Er fod y brenin yn ddiffuant yn ei edifeirwch personol ei hun, a bod ei weithredoedd yn gymeradwy yn ngolwg Duw, trwy yr hyn yr oedwyd y farn yn ei ddyddiau ef; er hyny yr oedd y bobl yn gyffredin yn llygredig, ac yn groes yn eu calonau i ddiwygiadau duwiol Josiah, fel yr ymddengys oddiwrth achwyniadau Jeremia a Sephania y pryd hyny yn eu herbyn hwynt, yn gystal ag oddiwrth eu gwaith yn troi at eu ffieidd-dra blaenorol ar ol marwolaeth Josiah. *Trwy yr hwn y llidiodd ei ddigllonedd ef yn erbyn Juda*—fel ag i benderfynu rhoddi y genedl yn llaw y Babiloniaid; *o herwydd yr holl ddigter trwy yr hwn y digiasai Manasseh ef*—yr oedd y digofaint am bechodau gwaedlyd Manasseh a'i bobl, fel *cenedl*, fyth yn aros; yr hwn ni allodd Josiah, ac ni cheisiodd gwŷr Juda, ei droi ymaith na'i ddyhuddo: gwel ar pen. xxi. 15.

Adn. 27. *A dywedodd yr Arglwydd*] Ar ol cael ei ddigio felly nid yn unig gan Manasseh gynt, ond hefyd gan Juda wedi hyny; *Juda hefyd a fwriaf ymaith o'm golwg*—o wlad Canaan, lle yr oedd presenoldeb grasol Duw; hyny yw, caethgludid hwynt i Babilon, fel y caethgludesid Israel i Assyria: gwel ar pen. xvii. 18. *Ac a wrthodaf y ddinas hon Jerusálem*—yr hon a ddetholasai Duw fel lle ei addoliad; *a'r tŷ*—sef y deml, yr hon a alwyd ar ei enw, ac a oedd i fod yn goffadwriaeth o'i enw, ac yn breswylfod iddo.

Adn. 28. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 29. *Yn ei ddyddiau ef y daeth Pharao-Nechoh brenin yr Aifft*] *Nechoh*, neu *Necos*, oedd enw priodol y brenin hwn, a *Pharao* oedd enw cyffredin holl frenhinoedd yr Aifft; *yn erbyn brenin Assyria*—sef *Nabopolassar*, yr hwn oedd yn awr yn frenin Babilon, trwy iddo orchfygu yr Assyriaid, a'u darostwng dan ei lywodraeth ei hun; *hyd afon Euphrates*—i geisio adfeddiannu *Carchemis*, dinas ar lan yr Euphrates yn perthyn i'r Aifftiaid, yr hon a gymerasai Nabopolassar oddiarnynt. *A'r brenin Josiah a aeth i'w gyfarfod ef*—tybia rhai fod Josiah yn awr yn meddu rhyw lywodraeth ar wlad Israel trwy oddefiad brenin Assyria, ac felly ei fod dan fath o rwymau i wrthsefyll Pharao, yn enwedig gan ei fod yn myned trwy ei wlad ef, ac fe allai yn anrheithio y wlad wrth ymdaith trwyddi. *A Pharao a'i lladdodd ef yn Megido*—dinas yn llwyth Issacar, am y deallai mai yn ei erbyn ef yr oedd Josiah yn dyfod: ac fe allai i frenin Juda fyned ar yr antur hwn heb ymgynghori â'r Arglwydd.

Adn. 30. *Yn farw*] Neu *yn marw*. Dywed Clarke nad yw y gair *meth* yn meddwl dim mwy na rhoddi *clwyf marwol* iddo yn Megido; ac iddo gael ei ddwyn oddiyno i Jerusalem, lle y bu efe farw, ac y claddwyd ef: gwel ar 2 Cron. xxxv. 20—24. *A phobl y wlad a gymerasant Joachaz*—yr hwn oedd yn ieuangach na'i frawd o ddwy flynedd. Tybia rhai i Joacim, y mab hynaf, wrthod y frenhiniaeth rhag ofn Pharao; tybia ereill fod Joachaz yn fwy cymeradwy gan y werin na'i frawd, am ei fod yn fwy bywiog, rhyfelgar, a dewr, o herwydd yr hyn y gelwir ef yn 'llew,' Ezec. xix. 3. *Ac a'i heneiniasant ef*—dywed yr Iuddewon nad *eneinid* mab i frenin, ond pan fyddai arall yn cydymgais âg ef am yr orsedd, fel yn achos Solomon, 1 Bren. i. 34.

Adn. 31. *Mab tair blwydd ar hugain oedd Joachaz*] Ac felly yr oedd efe ddwy flynedd yn ieuangach na Joacim ei frawd, adn. 36; *a thri mis y teyrnasodd efe yn Jerusalem*—am i frenin yr Aifft ei ddiorseddu ef; *ac enw ei fam ef oedd Hamutal merch Jeremia o Libnah*—yn llwyth Juda; ac felly nid Jeremia y proffwyd oedd ei thad hi, fel y tybiodd rhai, yr hwn oedd o Anathoth yn llwyth Benjamin, Jer. i. 1.

Adn. 32. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Efe a adferodd mewn tri mis yr eilunaddoliaeth a ddystrywiasai Josiah ei dad; *yn*

ol yr hyn oll a wnaethai ei dadau
ef.
33 A Pharao-Nechoh a'i rhwym-
odd ef yn Riblah yn ngwlad Ham-
ath, fel na theyrnasai efe yn Jeru-
salem: ac efe a osododd dreth ar y
wlad *o* gan talent o arian, a thalent
o aur.
34 A Pharao-Nechoh a osododd
Eliacim mab Josiah yn frenin yn
lle Josiah ei dad, ac a drôdd ei enw
ef Joacim: ac efe a ddyg ymaith
Joachaz, ac a ddaeth i'r Aifft, ac
yno y bu efe farw.
35 A Joacim a roddodd i Pha-
rao yr arian, a'r aur; ond efe a
drethodd y wlad i roddi yr arian
wrth orchymyn Pharao: efe a god-
odd yr arian a'r aur ar bobl y wlad,
ar bob un yn ol ei dreth, i'w rhoddi
i Pharao-Nechoh.
36 ¶ Mab pum mlwydd ar hug-
ain *oedd* Joacim pan ddechreuodd
efe deyrnasu, ac un mlynedd ar
ddeg y teyrnasodd efe yn Jerusa-
lem: ac enw ei fam ef *oedd* Zebudah,
merch Pedaiah o Rumah.
37 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnelsai ei dadau.

## PENNOD XXIV.

YN ei ddyddiau ef y daeth Ne-
buchodonosor brenin Babilon i
fyny, a Joacim a fu was iddo ef
dair blynedd: yna efe a drôdd, ac
a wrthryfelodd yn ei erbyn ef.
2 A'r Arglwydd a anfonodd yn ei

---

*ol yr hyn oll a wnaethai ei dadau*—sef Ahaz, Manasseh, Amon, ac ereill.

Adn. 33. *A Pharao-Nechoh a'i rhwymodd ef yn Riblah yn ngwlad Hamath*] Lleoedd i'r gogledd o wlad Canaan, ac yn perthyn i *Syria*, oedd Hamath a Riblah. Y mae yn debyg i Joachaz fyned â byddin yno ar ol Pharao-Nechoh, i ddial arno am ladd Josiah ei dad, ac i gynorthwyo brenin Assyria yn ei erbyn ef. *Fel na theyrnasai efe*—neu am iddo deyrnasu heb ei genad ef, pan nad oedd ganddo hawl i'r deyrnas fel yr ail fab. *Ac a osododd dreth ar y wlad*—yn arwydd o ddarostyngiad gwlad Juda i frenin yr Aifft; *o gan talent o arian, a thalent o aur*—i'w talu yn flynyddol; yr hyn oedd yn £39,693 15*s.* o'n harian ni.

Adn. 34. *A Pharao-Nechoh a osododd Eliacim*] Mab hynaf Josiah; *yn frenin yn lle Josiah ei dad*—nid yn lle Joachaz ei frawd, oblegid ni chydnabyddai Pharao ei fod ef yn frenin o gwbl, hyd yn nod er iddo gael ei eneinio; *ac a drôdd ei enw ef Joacim*—yr oedd yn arferiad i orchfygwyr newid enwau y rhai a orchfygid ganddynt mewn rhyfeloedd, fel arwydd o'u hollol awdurdod hwy drostynt; megys yn achos *Mattaniah*, yr hwn a newidiwyd i *Zedeciah*, pen. xxiv. 17: gwel hefyd am *Daniel* a'i gyfeillion, Dan. i. 6, 7; a *Joseph*, Gen. xli. 45. Yr un ystyr sydd i *Joacim* ac *Eliacim*, ond fod darn o'r enw JEHOFA yn y cyntaf, ac o'r enw ELOHIM, *Duw*, yn yr ail. Y mae yn amlwg oddiwrth yr enw a roddodd brenin yr Aifft iddo, nad oedd efe am iddo ymwrthod â chrefydd JEHOFA; a'i fod ef ei hun yn priodoli ei fuddugoliaethau i Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a archasai iddo fyned allan i ryfela, fel yr haera efe, 2 Cron. xxxv. 21. *Ac efe a ddyg ymaith Joachaz*—mewn cadwynau i'r Aifft, i'w gospi ef âg alltudiad; ac hefyd fel na fyddai iddo aflonyddu ei frawd ar yr orsedd.

Adn. 35. *A Joacim a roddodd i Pharao yr arian a'r aur*] Sef y dreth a osodasai Pharao ar y wlad, adn. 33; *efe a gododd yr arian a'r aur ar bobl y wlad*—yn ol etifeddiaeth a meddiannau pob un; *i'w rhoddi i Pharao-Nechoh*—i'r hwn yr oedd efe megys rhaglaw.

Adn. 36. *Mab pum mlwydd ar hugain oedd Joacim*] Ac felly yr oedd efe ddwy flynedd yn hynach na Joachaz ei frawd, adn. 31. Gan mai 39 oedd oed Josiah pan yn marw, pen. xxii. 1, a bod ei fab hwn yn 25 oed yn mhen tri mis ar ol ei farwolaeth, rhaid ei fod wedi ei eni pan nad oedd ei dad ond 14 mlwydd oed. *Ac enw ei fam ef oedd Zebudah*—yr hon ond odid a fu farw yn fuan ar ol ei eni ef, gan y cawn hanes mai gwraig arall oedd mam Joachaz ei frawd ef, adn. 31. Ond nid peth annghyffredin yn y dyddiau hyny oedd i'r brenhinoedd duwiolaf gael amrai wragedd.

Adn. 37. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Yr un modd a'i frawd Joachaz: gwel ar adn. 32. Ac yn chwanegol at ei eilunaddoliaeth, efe a orthrymodd ei bobl, a laddodd Uriah y proffwyd, ac a wnaethai yr un peth â Jeremia oni buasai iddo gael ei attal: gwel ar Jer. xxvi. 23, 24.

PEN. XXIV. Adn. 1. *Yn ei ddyddiau ef*] Hyny yw, yn niwedd y drydedd neu yn nechre y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Joacim; *y daeth Nebuchodonosor brenin Babilon i fyny*—yn erbyn Jerusalem. Hwn oedd fab i *Nabopolassar*; ac wedi iddo orchfygu Assyria, a'r holl wlad o'r Euphrates hyd y Nilus, efe a ddaeth i fyny i osod yr Iuddewon dan deyrnged iddo ef, fel yr oeddynt wedi bod i'r Aifftiaid. *A Joacim a fu was iddo ef dair blynedd*—yn ddarostyngedig i Nebuchodonosor, ac yn talu treth iddo. *Yna efe a drôdd, ac a wrthryfelodd yn ei erbyn ef*—wedi ei annog i hyny gan frenin yr Aifft, yr hwn a addawai ei gynorthwyo ef, ac a fygythiai fod yn elyn iddo os na wrthryfelai efe yn erbyn brenin Babilon.

Adn. 2. *A'r Arglwydd a anfonodd yn ei erbyn ef dorfoedd o'r Caldeaid*] Ac o'r Syriaid, y Moabiaid, a'r Ammoniaid. Dywed un

erbyn ef dorfoedd o'r Caldeaid, a
thorfoedd o'r Syriaid, a thorfoedd
o'r Moabiaid, a thorfoedd o feibion
Ammon, ac a'u hanfonodd hwynt
yn erbyn Juda, i'w dinystrio hi, yn
ol gair yr Arglwydd, yr hwn a lef-
arasai efe trwy law ei weision y
proffwydi.
3 Yn ddiau trwy orchymyn yr Ar-
glwydd y bu *hyn* yn erbyn Juda,
i'*w* bwrw allan o'i olwg ef, o achos
pechodau Manasseh, yn ol yr hyn
oll a wnaethai efe;
4 Ac hefyd o herwydd y gwaed
gwirion a ollyngodd efe: (canys efe
a lanwodd Jerusalem o waed gwir-
ion:) a hyny ni fynai yr Arglwydd
ei faddeu.
5 ¶ A'r rhan arall o hanes Joac-
im, a'r hyn oll a wnaeth efe, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
cronicl brenhinoedd Juda?
6 A Joacim a hunodd gyda'i
dadau; a Joacin ei fab a deyrnas-
odd yn ei le ef.
7 Ac ni ddaeth brenin yr Aifft
mwyach o'i wlad: canys brenin
Babilon a ddygasai yr hyn oll a
oedd eiddo brenin yr Aifft, o afon
yr Aifft hyd afon Euphrates.
8 ¶ Mab deunaw mlwydd *oedd*
Joacin pan aeth efe yn frenin; a
thri mis y teyrnasodd efe yn Jeru-
salem: ac enw ei fam ef *oedd* Ne-
husta, merch Elnathan o Jerusalem.
9 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnaethai ei dad.
10 ¶ Yn yr amser hwnw y daeth
gweision Nebuchodonosor brenin
Babilon i fyny yn erbyn Jerusalem,
a gwarchaewyd ar y ddinas.
11 A Nebuchodonosor brenin Ba-
bilon a ddaeth i fyny yn erbyn y
ddinas, a'i weision ef a warchaeas-
ant arni hi.

---

hanesydd fod y fyddin gymysg hon yn cynwys 10,000 o gerbydau rhyfel, 180,000 o wŷr traed, a 120,000 o wŷr meirch. *Ac a'u hanfonodd hwynt yn erbyn Juda i'w dinystrio hi*—diamau iddynt dderbyn eu hawdurdod oddiwrth frenin Babilon; eto dywedir yma iddynt gael eu hanfon gan Frenin y brenhinoedd, heb yr hwn nis gallasai efe eu dwyn hwynt. Fel hyn y mae llawer yn dwyn oddiamgylch ddybenion Duw yn ddiarwybod iddynt eu hunain. *Yn ol gair yr Arglwydd*—yr hwn a lefarasai efe trwy Huldah y broffwydes, yn gystal a thrwy Esay, Jeremia, a Sephaniah.

Adn. 3. *I'w bwrw allan o'i olwg ef*] O'r wlad lle yr oedd efe wedi sefydlu ei addoliad a'i bresenoldeb grasol; *o achos pechodau Manasseh*—y rhai a barhäent o hyd yn mhlith pobl Juda, ac a gyflawnid ganddynt hwy, er i Manasseh ei hun edifarhau am danynt, a'u gadael, cyn ei farw.

Adn. 4. *Ac hefyd o herwydd y gwaed gwirion a ollyngodd efe*] Gwel ar pen. xxi. 16; *a hyny ni fynai yr Arglwydd ei faddeu*—fel ag i beidio dwyn cospedigaeth dymhorol ar y wlad; er iddo ei faddeu fel ag i beidio dwyn cosp dragwyddol ar enaid Manasseh ei hun. Efe a faddeuodd bechod Manasseh iddo ei hun, yr hwn a edifarhaodd am dano; ond nid pechodau y rhai a'i hefelychent ef, ac nid edifarhasant. Y mae Duw yn Llywydd cyfiawn y byd, ac yn Warcheidwad cymdeithas wladol; ac nis gallai ef gadw iawn drefn yn mhlith ei ddeiliaid, heb iddo gyfryngu weithiau yn ei ragluniaeth, a pheri i farnedigaethau gwladol ddylyn troseddau gwladol cyhoeddus.

Adn. 5. *Llyfr cronicl brenhinoedd Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 6. *A Joacim a hunodd*] Neu a fu farw fel ei dadau, ac a gladdwyd â 'chladdedigaeth asyn,' Jer. xxii. 19; *a Joacin ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yr hwn hefyd a elwir *Jechonias*, Mat. i. 11, ac, mewn ffordd o ddirmyg, *Coniah*, Jer. xxii. 28.

Adn. 7. *Ac ni ddaeth brenin yr Aifft mwyach o'i wlad*] Yn nyddiau y brenin hwn, i'w gynorthwyo ef, nac i ofyn treth ganddo: yn wir yr oedd ganddo ddigon o waith gartref, trwy fod brenin Babilon wedi dwyn ei holl drefedigaethau ef o afon yr Aifft hyd yr Euphrates.

Adn. 8. *Mab deunaw mlwydd oedd Joacin*] Yn 2 Cron. xxxvi. 9, dywedir mai 'mab *wyth mlwydd* oedd Joacin pan ddechreuodd efe deyrnasu.' Ond gellir cysoni y ddau le trwy sylwi, fod brenhinoedd Israel a Juda yn arferol o osod eu meibion i gyd-deyrnasu â hwy yn hir cyn eu marw, yn enwedig mewn amseroedd o ryfel, fel yr oedd yn awr ar Juda; ac felly gallai Joacin fod yn 8 oed pan ddechreuodd gyd-deyrnasu â'i dad, ac yn 18 oed pan y dechreuodd deyrnasu ei hunan ar ol marwolaeth ei dad. Ond tybia Clarke ac ereill fod gwall yn y testyn yn 2 Cron., trwy na theyrnasodd efe ond tri mis o gwbl cyn ei gaethgludo i Babilon; a chan y dywedir fod ganddo *wragedd*, adn. 15, prin y gellir meddwl hyny am fachgenyn *wyth* oed.

Adn. 9. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Efe a ddylynodd gamrau drygionus ei dad, hyd y gallai, yn ystod y tri mis ag y bu yn teyrnasu: gwel ar pen. xxiii. 37.

Adn. 10, 11. *Yn yr amser hwnw y daeth gweision Nebuchodonosor*] Neu ei *fyddin* ef, gyda'u brenin, i warchae ar Jerusalem. Yr achos o hyn oedd, naill ai, (1) Fod y bobl wedi gwneyd Joacin yn frenin heb ei gydsyniad ef; neu, (2) Ei fod yn ofni y byddai i Joacin gyduno â brenin yr Aifft i'w wrthwynebu

12 A Joacin brenin Juda a aeth allan at frenin Babilon, efe, a'i fam, a'i weision, a'i dywysogion, a'i ystafellyddion: a brenin Babilon a'i daliodd ef yn yr wythfed flwyddyn o'i deyrnasiad.
13 Ac efe a ddyg oddiyno holl drysorau tŷ yr Arglwydd, a thrysorau tŷ y brenin, ac a dorodd yr holl lestri aur a wnelsai Solomon brenin Israel yn nheml yr Arglwydd, fel y llefarasai yr Arglwydd.
14 Ac efe a ddyg ymaith holl Jerusalem, yr holl dywysogion hefyd, a'r holl gedyrn nerthol, *sef* deng mil o gaethion, a phob saer, a gôf: ni adawyd ond pobl dylodion y wlad *yno.*
15 Efe hefyd a ddyg ymaith Joacin i Babilon, a mam y brenin, a gwragedd y brenin, a'i ystafellyddion, a chedyrn y wlad a ddyg efe i gaethiwed o Jerusalem i Babilon.
16 A'r holl wŷr nerthol, *sef* saith mil; ac o seiri a gofaint, mil, y rhai oll *oedd* gryfion *a* rhyfelwyr: hwynt hwy a ddyg brenin Babilon yn gaeth i Babilon.
17 A brenin Babilon a osododd Mattaniah brawd ei dad ef yn frenin yn ei le ef, ac a drôdd ei enw ef yn Sedeciah.
18 Mab un mlwydd ar hugain

---

ef. Ond pa beth bynag oedd yr ail achos, yr achos penaf oedd gorchymyn neu drefniad rhagluniaeth Duw, fel y dywedir adn. 2, 3.

Adn. 12. *A Joacin brenin Juda a aeth allan at frenin Babilon*] Nid i ymladd âg ef, ond i ymostwng iddo, ac i'w roddi ei hun a'i ddinas i'w ddwylaw ef; *a brenin Babilon a'i daliodd ef yn yr wythfed flwyddyn o'i deyrnasiad*—o deyrnasiad Nebuchodonosor, canys nid oedd Joacin wedi teyrnasu uwchlaw tri mis, adn. 8.

Adn. 13. *Ac efe a ddyg oddiyno holl drysorau tŷ yr Arglwydd, &c,*] Darfu i Nebuchodonosor gymeryd ymaith drysorau a dodrefn gwerthfawr y deml ar dri thro gwahanol. (1) Yn y drydedd flwyddyn o deyrnasiad *Joacim,* pryd y cymerodd efe Jerusalem gyntaf, efe a ddyg ymaith lestri tŷ Dduw i wlad Sinar, ac a'u rhoddodd hwynt yn nhŷ ei dduw, Dan. i. 2. Dyma y llestri a halogwyd gan Belsassar ei fab ef, Dan. v. 2, ac a adferwyd i'r Iuddewon gan Cyrus, Ezra i. 7, i'w dodi eilwaith yn y deml pan adferid hi. (2) Yn nheyrnasiad y *Joacin* hwn efe a gymerodd y ddinas eilwaith, fel y dywedir yma, ac a dorodd lawer o'r llestri aur a wnaethai Solomon, (gwel ar 1 Bren. vii,) y rhai a ddiangasent rywfodd rhagddo y tro o'r blaen, a rhag cael eu hyspeilio gan frenhinoedd ereill a fuont yn anrheithio y deml fwy nag unwaith; trwy iddynt gael eu cadw ond odid trwy ofal yr offeiriaid i'w cuddio, neu gan ragluniaeth neillduol Duw yn tueddu eu calonau hwynt i'w gadael yno. Neu os cafodd y llestri hyn eu dwyn ymaith gan un o'r brenhinoedd hyny, gallasai ereill gael eu dodi yn eu lle ar draul brenhinoedd duwiol Juda. (3) Yn yr unfed flwyddyn ar ddeg i *Zedeciah* efe a yspeiliodd y deml unwaith yn rhagor, pryd y drylliodd efe y colofnau pres, &c., ac y cymerodd ymaith i Babilon yr holl lestri aur ac arian ag y gallodd gael hyd iddynt, pen. xxv. 13, 14. Y mae yn hynod nad oes dim son am ARCH Y CYFAMMOD yn mhlith yr holl drysorau hyn, yr hon oedd y fwyaf cysegredig a gwerthfawr o honynt oll. Ond y mae yn dra thebyg iddi gael ei llosgi gyda'r deml yn y cyflosgiad diweddaf, pen. xxv. 9: canys nid yw yr hyn a ddywed rhai am Jeremia yn ei chuddio mewn ogof yn mynydd Nebo, fel y sylwa Calmet, ddim ond chwedl ddisail.

Adn. 14. *Ac efe a ddyg ymaith holl Jerusalem*] Sef holl drigolion Jerusalem, yn gystal a'i chyfoeth hi, oddieithr ychydig o bobl dylodion; *yr holl dywysogion hefyd*—sef y rhai penaf, cyfoethocaf, ac anrhydeddusaf o'r Iuddewon; *a'r holl gedyrn nerthol*—y rhai mwyaf eu grym corfforol i weithio a rhyfela; *deng mil o gaethion*—y rhai a gyfrifir yn fanylach yn adn. 16. Yn y 10,000 hyn yr oedd 7,000 o wŷr nerthol, a 1,000 o ofaint, adn. 16; a'r rhai a grybwyllir adn. 15, a wnaent i fyny y 2,000 ereill. *A phob saer a gôf*—y rhai a fyddent yn wasanaethgar iawn i wneyd arfau rhyfel yn Babilon, a byddai colled fawr am danynt yn Juda a Jerusalem. *Ni adawyd ond pobl dylodion y wlad yno*—i drin y gwinllanoedd a'r gerddi, pen. xxv. 12.

Adn. 15. *Efe a ddyg ymaith Joacin i Babilon*] Lle y bu efe yn garcharor 37 o flynyddoedd, pen. xxv. 27; *a mam y brenin*—sef Nehusta, adn. 8; *a gwragedd y brenin*—ac felly rhaid ei fod ef yn 18 mlwydd oed, fel y dywedir adn. 8; ac nid yn 8 mlwydd, fel y dywedir 2 Cron. xxxvi. 9; *a'i ystafellyddion*—sef yr eunuchiaid a ofalent am ei fam a'i wragedd; *a chedyrn y wlad*—ei dywysogion a'i lyswyr o bob gradd, y rhai a gynwysir yn y *deg mil* uchod, adn. 14.

Adn. 16. *A'r holl wŷr nerthol*] Y rhai a enwyd o'r blaen, adn. 14; *a ddyg brenin Babilon yn gaeth i Babilon*—pellder o 680 o filldiroedd. Meddylir mai yn yr ail gaethgludiad hwn y dygwyd Ezeciel i Babilon, ac i Daniel a'i gyfeillion gael eu dwyn yno yn y caethgludiad cyntaf, wyth mlynedd cyn hyn.

Adn. 17. *A brenin Babilon a osododd Mattaniah*] Brawd Joacim tad Joacin, a thrydydd mab Josiah, 1 Cron. iii. 15; *yn frenin yn ei le ef*—yn arwydd o ddarostyngiad y wlad i frenin Babilon, pen. xxiii. 34; *ac a drôdd ei enw ef yn Sedeciah*—'CYFIAWNDER JEHOFA,' i arwyddo iddo y byddai i gyfiawnder dwyfol, yr hwn a gospodd ei flaenoriaid ef mor dost am eu gwrthryfel, ei oddiweddyd yntau os byddai efe yn euog o'r un

*oedd* Zedeciah pan ddechreuodd efe
deyrnasu, ac un mlynedd ar ddeg y
teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac
enw ei fam ef *oedd* Hamutal, merch
Jeremiah o Libnah.
19 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnaethai Joacin.
20 Canys trwy ddigofaint yr Ar-
glwydd y bu hyn yn Jerusalem ac
yn Juda, nes iddo eu taflu hwynt
allan o'i olwg, fod i Zedeciah wrth-
ryfela yn erbyn brenin Babilon.

## PENNOD XXV.

AC yn y nawfed flwyddyn o'i deyrn-
asiad ef, yn y degfed mis, ar y
degfed *dydd* o'r mis, y daeth Ne-
buchodonosor brenin Babilon, efe
a'i holl lu yn erbyn Jerusalem, ac
a wersyllodd yn ei herbyn hi, a hwy
a adeiladasant yn ei herbyn hi wrth-
glawdd o'i hamgylch hi.
2 A bu y ddinas yn ngwarchae
hyd yr unfed flwyddyn ar ddeg i'r
brenin Zedeciah.
3 Ac ar y nawfed *dydd* o'r *pedwer-
ydd* mis y trymhaodd y newyn yn y
ddinas, ac nid oedd bara i bobl y
wlad.
4 ¶ A'r ddinas a dorwyd, a'r holl
ryfelwyr *a ffoisant* liw nos *ar hyd*
ffordd y porth, rhwng y ddau fur,
y rhai *sydd* wrth ardd y brenin, (a'r

---

anffyddlondeb; neu ynte i goffâu iddo mai cyfiawn farn Duw oedd wedi dyfod yn awr ar y wlad, yn ol bygythion blaenorol Jehofa.

Adn. 18. *Ac un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn Jerusalem*] Yn niwedd pa rai y dygwyd yntau yn gaeth i Babilon mewn gefynau pres, pen. xxv. 7; *ac enw ei fam ef oedd Hamutal*—ail wraig Josiah: ac felly yr oedd ef o'r un fam a Joachaz ei frawd, pen. xxiii. 31.

Adn. 19. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd*] Er fod ei enw yn coffâu 'cyfiawnder Jehofa,' adn. 17, eto efe a wnaeth ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd yr un fath a Joacin ei nai a'i ragflaenydd, gan ddiystyru ceryddon, cynghorion, a rhagfynegiadau Jeremia, a charcharu y proffwyd hwnw, Jer. xxxii. 3, 2 Cron. xxxvi. 12.

Adn. 20. *Canys trwy ddigofaint yr Arglwydd y bu hyn*] Ei ddigofaint ef am eu pechodau blaenorol, oedd yr achos iddo eu gadael i bechodau presenol; neu, rhoddes yr Arglwydd Zedeciah i fyny yn ei ddigofaint i wrthryfela yn erbyn brenin Babilon, yr hwn a'i rhoisai ef ar yr orsedd, ac i'r hwn y tyngasai yntau lw o ffyddlondeb, 2 Cron. xxxvi. 13, fel y dygai efe y dinystr haeddianol arno ef a'i bobl am eu dirfawr bechodau blaenorol yn erbyn yr Arglwydd; *nes iddo eu taflu hwynt allan o'i olwg*—yn ddigon pell i Babilon: gwel ar adn. 3, 4.

PEN. XXV. Adn. 1. *Ac yn y nawfed flwyddyn o'i deyrnasiad ef*] O deyrnasiad Zedeciah brenin Juda; *yn y degfed mis, ar y degfed dydd o'r mis*—hyn, yn ol cyfrifiad yr Archesgob Usher, oedd ar ddydd *Iau*, Ionawr 30, O. B. 3414, yr hon oedd yn *flwyddyn sabbothol*, pryd y darfu i wŷr Jerusalem, wrth glywed fod byddin y Caldeaid yn agosâu, gyhoeddi rhyddid i'w gwasanaethyddion, Jer. xxxiv. 8—10, yn ol y gyfraith, Exod. xxi. 2. Ar y dydd hwn hefyd, yn ol Usher, y datguddiwyd gwarchaead a dinystr Jerusalem i'r proffwyd Ezeciel yn Caldea, dan arwydd y *crochan berwedig;* a bu farw ei wraig yn yr hwyr, a gorchymynwyd iddo yntau beidio galaru am dani, o achos yr adfyd dirfawr a syrthiasai ar y wlad: gwel Ezec. xxiv. 1, &c. *Y daeth Nebuchodonosor brenin Babilon*—y trydydd tro yn erbyn Jerusalem; gwel ar pen. xxiv. 13; *a hwy a adeiladasant yn ei herbyn hi wrthglawdd*—fel y gallent nid yn unig attal i drigolion Jerusalem gael adgyflenwad o fwyd a milwyr, ond hefyd ymosod ar y ddinas oddiar y gwrthglawdd hwnw, ac ymddiogelu yn ei gysgod ar yr un pryd rhag saethau y dinaswyr.

Adn. 2. *A bu y ddinas yn ngwarchae hyd yr unfed flwyddyn ar ddeg*] Sef hyd y nawfed dydd o'r pedwarydd mis, adn. 3, yr hyn a wnai flwyddyn a hanner cymhwys. Ymddengys oddiwrth Josephus, Henaf. x. 10, a Jer. xxxvii. 11, i *Pharao Hophra*, ar ol clywed y modd y gwesgid ar Zedeciah, ac yn ofni am ddiogelwch ei deyrnas ei hun os llwyddai y Caldeaid yn erbyn Jerusalem, benderfynu myned i gynorthwyo Zedeciah; ac wrth glywed hyny, ddarfod i'r Caldeaid fyned oddiwrth Jerusalem i gyfarfod â byddin yr Aifft, yr hon a faeddasant ac a yrasant ar ffo. Yn fuan wedi hyny dychwelasant, fel y rhagfynegasai Jeremia y gwnaent, gan benderfynu parhau i warchae ar Jerusalem nes iddynt ei hennill hi.

Adn. 3. *Ac ar y nawfed dydd o'r pedwerydd mis*] Yn cyfateb i ddydd *Mercher*, Gorphenhaf 27; *y trymhaodd y newyn yn y ddinas*—fel ag y buont am hir amser 'yn bwyta bara dan bwys, ac mewn gofal,' ac yn 'yfed dwfr dan fesur, ac mewn syndod,' Ezec. iv. 16. O'r diwedd, *nid oedd bara i bobl y wlad*—i'r bobl gyffredin, y rhai oeddynt wedi ymdyru i Jerusalem o bob parth am ddiogelwch, ar ddyfodiad y Caldeaid i'r wlad: beth bynag oedd gan y dinasyddion eu hunain am dro, nid oedd dim i bobl y wlad, neu y dyeithriaid. Y pryd hyn yr oedd y tadau yn bwyta eu plant, a'r plant yn bwyta eu tadau, fel y rhagfynegasai y proffwyd, Ezec. v. 10. Yn y cyfyngder hwn bu Jeremia yn ceisio gan y brenin ymostwng; ond yr oedd ei galon ef wedi caledu i'w ddinystr ei hun.

Adn. 4. *A'r ddinas a dorwyd*] Y Caldeaid o'r diwedd a wnaethant fwlch yn y mur, trwy

Caldeaid *oedd* wrth y ddinas o am-
gylch,) *a'r brenin* a aeth y ffordd
tua'r rhos.
5 A llu y Caldeaid a erlidiasant
ar ol y brenin, ac a'i daliasant ef yn
rhosydd Jericho: a'i holl lu ef a
wasgaresid oddiwrtho.
6 Felly hwy a ddaliasant y bren-
in, ac a'i dygasant ef i fyny at fren-
in Babilon i Riblah; ac a roddasant
farn yn ei erbyn ef.
7 Lladdasant feibion Zedeciah
hefyd o flaen ei lygaid, ac a dynas-
ant lygaid Zedeciah, ac a'i rhwym-
asant ef mewn gefynau pres, ac a'i
dygasant ef i Babilon.
8 ¶ Ac yn y pummed mis, ar y
seithfed *dydd* o'r mis, (hòno *oedd* y
bedwaredd flwyddyn ar bymtheg i
frenin Nebuchodonosor brenin Ba-
bilon,) y daeth Nebuzaradan y dis-
tain, gwas brenin Babilon, i Jeru-
salem.
9 Ac efe a losgodd dŷ yr Ar-
glwydd, a thŷ y brenin, a holl dai
Jerusalem, a phob tŷ mawr a losg-
odd efe â thân.
10 A holl lu y Caldeaid, y rhai

yr hwn yr aethant i mewn i'r ddinas; *a'r holl ryfelwyr a ffoisant liw nos*—ar hyd ffordd ddirgel ag oedd rhwng dau fur y ddinas. Tra yr oedd y Caldeaid yn prysur dori y mur mewn un man, ffôdd rhyfelwyr Juda allan mewn man arall. *A'r brenin a aeth y ffordd tua'r rhos*—sef rhosydd Jericho, efe a'i feibion.

Adn. 5. *A'r Caldeaid a erlidiasant ar ol y brenin*] Cawsant wybodaeth yn fuan ei fod wedi dianc, a pha ffordd yr aethai, fel ag y daliasant ef yn ebrwydd; *a'i holl lu a wasgaresid oddiwrtho*—bawb i'w ffordd am ddiogelwch, pan welsant y Caldeaid yn dyfod ar eu hol.

Adn. 6. *Ac a'i dygasant ef i fyny at frenin Babilon i Riblah*] Lle yn Syria, pen. xxiii. 33. Yno yr oedd brenin Babilon yn aros yn awr, rhwng Jerusalem a'i wlad ei hun, i ddanfon cyfreidiau o wŷr ac ymborth i'w fyddin ger Jerusalem, ac i gadw golwg ar ei wlad ei hun, rhag y dygwyddai rhyw derfysg yno yn ei absenoldeb ef a'i filwyr. *Ac a roddasant farn yn ei erbyn ef*—chwiliwyd i'w achos ef gan y brenin a'i swyddogion, cafwyd ef yn euog o wrthryfel a theyrnfradwriaeth, a dedfrydwyd ef a'i feibion i'r gosp a enwir yn yr adnod nesaf.

Adn. 7. *Lladdasant feibion Zedeciah hefyd o flaen ei lygaid ef*] Fel y byddai i'r olygfa ddiweddaf a gai efe yn y byd hwn osod argraff dwfn ac annileadwy o ofid a dychryn ar ei feddwl; *ac a dynasant lygaid Zedeciah*—ac felly cyflawnwyd rhagfynegiadau y proffwydi, y rhai a ymddanghosent mewn rhyw ystyr yn groes i'w gilydd: 'A'th *lygaid* di a gânt weled llygaid brenin Babilon,' Jer. xxxiv. 3; ac eto ni 'chai efe *weled* Babilon,' er y byddai farw *yno*, Ezec. xii. 13. *Ac a'i rhwymasant ef mewn gefynau pres*—i'w gadw yn eithaf sicr, rhag dianc o hono o'u dwylaw nwynt yn ddall fel yr ydoedd; *ac a'i dygasant ef i Babilon*—lle ond odid y bu efe farw yn fuan o ofid calon.

Adn. 8. *Ac yn y pummed mis, ar y seithfed dydd*] Yn cyfateb i ddydd *Mercher*, Awst 24; *y daeth Nebuzaradan y distain*—Saes., 'cadben y gwarchawdlu;' hyny yw, daeth i'r ddinas ar y 'seithfed' dydd, a llosgodd yr adeiladau ar y 'degfed,' neu ddydd *Sadwrn*, Awst 27, Jer. lii. 12. Er i'r Caldeaid dori i mewn i'r ddinas yn y *pedwerydd* mis, eto ni roddasant y cwbl i'r tân a'r cleddyf cyn gynted ag y daethant i mewn, fel y gwneir yn gyffredin yn y fath achos; eithr yn mhen *mis* wedi hyny y rhoddwyd gorchymyn i Nebuzaradan ei dinystrio hi. Rhoddai Duw yr yspaid hwn iddynt i edifarhau; ond yn ofer: yr oedd eu calon fyth yn galed, ac am hyny daeth dinystr arnynt hyd yr eithaf.

Adn. 9. *Ac efe a losgodd dŷ yr Arglwydd*] Sef y deml a adeiladwyd gan Solomon. Nid oedd mawredd a gwychder y tŷ, na mawredd a gogoniant y Duw a'i piai, yn ddim yn ngolwg y paganiaid hyn tuag at ei arbed. Y mae yn debyg i'r ARCH a'r DRUGAREDDFA gael eu llosgi y pryd hyn gyda'r deml; canys ni feiddiai y gelynion, y rhai ond odid a glywsent mor ddrud y talodd y Philistiaid am ei sarhau a'i chamddefnyddio, gyffwrdd â hi; ac ni ddarfu i neb o'i chyfeillion ofalu am ei chadw, onidê ni a glywsem am dani yn yr ail deml. Cymerodd hyn le, yn ol yr Archesgob Usher, yn mhen 424 mlynedd 3 mis ac 8 niwrnod wedi yr amser ag y sylfaenwyd hi gan Solomon; neu, yn ol Aberbinel, a rhai Iuddewon dysgedig ereill, yn mhen 430 mlynedd: ond dywed Josephus 470 mlynedd 6 mis a 10 niwrnod ar ol ei hadeiladu. Ac efe a grybwylla hefyd, fel amgylchiad tra hynod, ddarfod i'r ail deml gael ei llosgi gan y Rhufeiniaid yn yr un mis, ac ar yr un dydd o'r mis, ag y llosgwyd hon gan y Caldeaid, ac, fel y dywed rhai o'r rabbiniaid, pan yr oedd y Lefiaid yn canu yr un geiriau, sef, 'Ac efe a dâl iddynt eu hanwiredd, ac a'u tyr ymaith yn eu drygioni: yr Arglwydd ein Duw a'u tyr hwynt ymaith,' Salm xciv. 23. Wrth oddef i'r deml gael ei llosgi, mynai Duw ddangos leied a ofala efe am rwysg allanol ei addoliad, pan y mae bywyd a grym crefydd yn cael eu hesgeuluso! Yr oedd y bobl yn ymddiried yn y deml, fel ped amddiffynasai hòno hwynt yn eu pechodau, Jer. vii. 4; ond gadawodd Duw iddynt trwy hyn wybod, wedi iddynt hwy ei halogi hi, na chaent hi ond noddfa celwydd. *A thŷ y brenin*—yr hwn hefyd ond odid a adeiladwyd gan Solomon; *a holl dai Jerusalem*—yn fychain a mawrion; *a losgodd efe â thân*—fel hyn darfu i'r Arglwydd 'olchi budreddi merched Seion, a charthu gwaed Jerusalem o'i chanol hi, mewn ysbryd *barn*, ac mewn ysbryd *llosgfa*,' Esay iv. 4.

*oedd gyda*'r distain, a dorasant i lawr
furiau Jerusalem oddiamgylch.
11 A Nebuzaradan y distain a
ddyg ymaith y rhan arall o'r bobl
a adawsid yn y ddinas, a'r ffoadur-
iaid a giliasant at frenin Babilon,
gyda gweddill y dyrfa.
12 Ac o dylodion y wlad y gad-
awodd y distain *rai*, yn winllanwyr,
ac yn arddwyr.
13 Y colofnau pres, hefyd, y rhai
*oedd* yn nhŷ yr Arglwydd, a'r ystol-
ion, a'r môr pres, yr hwn *oedd* yn
nhŷ yr Arglwydd, a ddrylliodd y
Caldeaid, a hwy a ddygasant eu
pres hwynt i Babilon.
14 Y crochanau hefyd, a'r rhaw-
iau, a'r saltringau, y llwyau, a'r
holl lestri pres, y rhai yr oeddid yn
gwasanaethu â hwynt, a ddygasant
hwy ymaith.
15 Y pedyll tân hefyd, a'r cawg-
iau, y rhai *oedd* o aur *yn* aur, a'r
rhai *oedd* o arian *yn* arian, a ddyg
y distain ymaith.
16 Y ddwy golofn, yr un môr, a'r
ystolion a wnelsai Solomon i dŷ yr
Arglwydd; nid oedd bwys ar bres
yr holl lestri hyn.
17 Tri chufydd ar bymtheg *oedd*
uchder y naill golofn, a chnap pres
*oedd* arni; ac uchder y cnap *oedd*
dri chufydd; plethwaith hefyd, a
phomgranadau *oedd* ar y cnap o
amgylch, yn bres i gyd: ac felly
*yr oedd* yr ail golofn, â phlethwaith.
18 ¶ A'r distain a gymerth Sera-
iah yr offeiriad penaf, a Zephaniah
yr ail offeiriad, a'r tri oedd yn cadw
y drws.
19 Ac o'r ddinas efe a gymerth
ystafellydd, yr hwn oedd ar y rhyf-
elwyr, a phumwr o'r rhai oedd yn
gweled wyneb y brenin, y rhai a
gafwyd yn y ddinas, ac ysgrifen-
ydd tywysog y llu, yr hwn oedd yn
byddino pobl y wlad; a thriugein-
wr o bobl y wlad, y rhai a gafwyd
yn y ddinas.
20 A Nebuzaradan y distain a
gymerth y rhai hyn, ac a'u dyg at
frenin Babilon, i Riblah.
21 A brenin Babilon a'u tarawodd
hwynt, ac a'u lladdodd hwynt, yn
Riblah, yn ngwlad Hamath. Felly y
caethgludwyd Juda o'i wlad ei hun.
22 ¶ Ac *am* y bobl a adawsid yn
ngwlad Juda, y rhai a adawsai Nebu-
chodonosor brenin Babilon, efe a
wnaeth yn swyddog arnynt hwy,
Gedaliah mab Ahicam, mab Saphan.
23 A phan glybu holl dywysogion

---

Adn. 10. *A dorasant i lawr furiau Jerusalem oddiamgylch*] I wneyd llwyr ddinystr ar y ddinas, ac ar bob amddiffynfa ag ydoedd o'i hamgylch hi. Ymddengys oddiwrth hyn nad oedd brenin Babilon yn bwriadu gwneyd trefedigaeth iddo ei hun yn Jerusalem, ac am hyny gorchymynodd ei throi yn lludw, fel nyth o wrthryfelwyr.

Adn. 11. *Y rhan arall o'r bobl a adawsid yn y ddinas*] Heb eu lladd gan y newyn, y tân, na'r cleddyf; *a'r ffoaduriaid*—y rhai a ffoisant at Nebuzaradan yn awr, i'w rhoddi eu hunain dan ei amddiffyniad ef; *gyda gweddill y dyrfa*—neu drigolion y wlad.

Adn. 12. *Ac o dylodion y wlad*] Y rhai oeddynt ond odid yn fusgrell ac afiach, heb fod yn werth eu caethgludo; *y gadawodd y distain rai yn winllanwyr ac yn arddwyr*—i gael eu cynaliaeth trwy rywbeth a allent ei wneuthur felly. Ond tybia rhai mai i drin y gwinllanoedd a'r gerddi i'r Caldeaid y gadawyd hwynt ar ol, ychydig o ba rai a adawyd yn y wlad, adn. 25.

Adn. 13—17. *Y colofnau pres—a'r ystolion, a'r môr pres*] Gwel ar 1 Bren. vii. 15—50; *a ddrylliodd y Caldeaid*—am eu bod yn rhy fawr i'w cario yn gyfain; *a hwy a ddygasant eu pres hwynt i Babilon*—fel y rhagfynegasid, Jer. xxvii. 21, 22.

Adn. 18. *A'r distain a gymerth Seraiah*] Yr archoffeiriad; *a Sephaniah yr ail offeiriad*—yr hwn a alwai yr Iuddewon *sagan*, ac a wnai waith yr archoffeiriad yn ei absenoldeb ef, pen. xxiii. 4; *a'r tri oedd yn cadw y drws*—sef rhyw dri offeiriad, canys y cyfryw a ddalient y swydd hon yn wastadol.

Adn. 19. *Ac o'r ddinas efe a gymerth ystafellydd*] Y swyddog neu y tywysog ag oedd ar y rhyfelwyr; *a phumwr o'r rhai oedd yn gweled wyneb y brenin*—y rhai oeddynt yn wastad yn ei ymyl ef pa le bynag y byddai, ac a oeddynt ei gynghorwyr mynwesol ef. *Seithwyr* a ddywedir yn Jer. lii. 25: dichon mai *pump* a gymerwyd ar y cyntaf, ac i *ddau* gael eu cymeryd wedi hyny. *Ac ysgrifenydd*—neu gofiadur yr ystafellydd uchod. *A thriugeinwr o bobl y wlad*—y rhai a ymguddiasent mewn rhyw le dirgel, ond a ganfyddwyd cyn i Nebuzaradan adael Jerusalem.

Adn. 20. *Ac a'u dyg at frenin Babilon i Riblah*] Lle yr oedd efe yn aros o hyd: gwel ar adn. 6.

Adn. 21. *A brenin Babilon a'u tarawodd hwynt*] A orchymynodd iddynt gael eu rhoddi oll i farwolaeth, fel pleidwyr Zedeciah, a'r rhai a fuasent flaenaf yn y gwrthryfel.

Adn. 22. *Ac am y bobl a adawsid yn ngwlad Juda*] Yn winllanwyr ac yn arddwyr, adn. 12; *efe a wnaeth yn swyddog arnynt hwy Gedaliah*—dyn da a chyfiawn, a chyfaill i'r proffwyd Jeremia, Jer. xxvi. 24. Nid oedd ef yn *frenin* arnynt, eithr math o *arolygwr*.

y lluoedd, hwynt-hwy a'u gwŷr,
wneuthur o frenin Babilon Gedaliah
yn swyddog, hwy a ddaethant at
Gedaliah i Mispah, sef Ismael mab
Nethaniah, a Johanan mab Careah,
a Seraiah mab Tanhumeth y Neto-
phathiad, a Jaazaniah mab Maach-
athiad, hwynt a'u gwŷr.
24 A Gedaliah a dyngodd wrth-
ynt hwy, ac wrth eu gwŷr, ac a ddy-
wedodd wrthynt, Nac ofnwch *fod*
yn weision i'r Caldeaid: trigwch
yn y tir, a gwasanaethwch frenin
Babilon, a bydd da i chwi.
25 Ac yn y seithfed mis y daeth
Ismael mab Nethaniah, mab Elisa-
ma o'r had brenhinol, a dengwr
gydag ef, a hwy a darawsant Geda-
liah, fel y bu efe farw; *tarawsant*
hefyd yr Iuddewon a'r Caldeaid
oedd gydag ef yn Mispah.
26 A'r holl bobl o fychan hyd
fawr, a thywysogion y lluoedd, a
gyfodasant ac a ddaethant i'r Aifft:
canys yr oeddynt yn ofni y Calde-
aid.
27 ¶ Ac yn y ddwyfed flwyddyn
ar bymtheg ar hugain o gaethiwed
Joacin brenin Juda, yn y deuddeg-
fed mis, ar y seithfed *dydd* ar hug-
ain o'r mis, Efil-merodach brenin
Babilon, (yn y flwyddyn yr aeth efe
yn frenin,) a ddyrchafodd ben Jo-
acin brenin Juda o'r carchardy.
28 Ac efe a ddywedodd yn dêg
wrtho, ac a osododd ei gadair ef
goruwch cadeiriau y brenhinoedd
*oedd* gydag ef yn Babilon.

---

Adn. 23. *A phan glybu holl dywysogion y lluoedd*] Y rhai a ddiangasent pan ddaliwyd Zedeciah, adn. 4, 5; *wneuthur o frenin Babilon Gedaliah yn swyddog*—yr hwn oedd un o honynt eu hunain, ac felly fod pethau yn edrych yn ffafriol; *hwy a ddaethant at Gedaliah i Mispah*—lle yn llwyth Benjamin, oddeutu 8 milldir i'r gogledd-orllewin o Jerusalem; *hwynt-hwy a'u gwŷr*—nid i ymnoddi dan ei gysgod ef, eithr i'w ladd ef, a'r rhai oedd gydag ef, adn. 25.

Adn. 24. *A Gedaliah a dyngodd wrthynt hwy*] A sicrhaodd iddynt trwy lw difrifol, na fyddai raid iddynt ofni dim niwed mwyach, os byddai iddynt drigo yn y wlad, a bod yn weision ffyddlon i frenin Babilon. Gallai Gedaliah dyngu fel hyn, am i frenin Babilon addaw felly wrtho ond odid ar ei osodiad ef yn swyddog; ac yr oedd Duw wedi addaw yr un peth trwy y proffwyd, Jer. xlii. 7—12.

Adn. 25. *Ac yn y seithfed mis*] Yr hyn oedd yn mhen oddeutu dau fis ar ol dinystr Jerusalem, adn. 8; *y daeth Ismael*—yr hwn oedd o'r had brenhinol, ac a genfigenai wrth ddyrchafiad Gedaliah, a chyflwr dedwydd y bobl dano ef; *a dengwr gydag ef*—sef deg o gadbeniaid neu swyddogion, dan bob un o ba rai yr oedd amrai filwyr; *a hwy a darawsant Gedaliah fel y bu efe farw*—a hyny mewn gwledd a wnaethai efe iddynt, Jer. xli. 1, &c.; *tarawsant hefyd yr Iuddewon a'r Caldeaid*—y rhai oeddynt yno gydag ef: yr *Iuddewon*, am eu bod yn gyfeillion i Gedaliah; a'r *Caldeaid*, am eu bod yn elynion y genedl yn gyffredinol. Cawn hanes helaethach am hyn yn Jer. xl., xli., lle y darllenwn i Gedaliah gael rhybydd o'r fradwriaeth hon yn ei erbyn; ond, fel dynion da ereill, y rhai sydd yn gyffredin heb ddim drwgdybiaeth ynddynt, am nad oes ynddynt hwy fwriad i niweidio ereill, ni chredai efe yr hyn a ddywedid wrtho.

Adn. 26. *A'r holl bobl o fychan hyd fawr*] Yn mysg pa rai yr oedd merched Zedeciah y brenin, y rhai a ymddiriedasid i ofal Gedaliah, ac hefyd Jeremia y proffwyd, a Baruch, Jer. xli. 16, a xliii. 6; *a gyfodasant ac a ddaethant i'r Aifft*—yr hyn oedd yn hollol groes i ewyllys a gorchymyn Duw, fel y gwelwn yn Jer. xlii. 7—22; *canys yr oeddynt yn ofni y Caldeaid*—am i Ismael ladd Gedaliah, yr hwn a osodwyd gan frenin Babilon yn swyddog ar y bobl, a lladd llawer o'r Caldeaid hefyd, adn. 25. Fel hyn y cafodd y wlad boblog a ffrwythlon hon ei gwneyd yn ddisathr, trwy i'r rhan fwyaf o'r trigolion gael eu caethgludo i Babilon, ac i ran o'r rhai a adewsid yn y wlad gael eu lladd gyda Gedaliah, ac i'r gweddill ffoi i'r Aifft; ac felly gadawyd hi i'w llenwi â drain a mieri, ac i fod yn drigfa dreigiau! Gwel ar Jer. xl—xlv.

Adn. 27. *Ac yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain o gaethiwed Joacin*] Neu yn mhen cynifer a hyny o flynyddoedd ar ol ei gaethgludo ef i Babilon, pen. xxiv. 15; ac felly rhaid ei fod ef yn awr oddeutu 55 mlwydd oed, a hanner y 70 mlynedd o gaethiwed wedi myned heibio. *Efil-merodach brenin Babilon*—canys yr oedd Nebuchodonosor ei dad ef newydd farw, ac yntau wedi dyfod i'r orsedd yn ei le ef; *a ddyrchafodd ben Joacin brenin Juda o'r carchardy*—hyny yw, nid yn unig rhyddhaodd ef o'i garchar, ond dyrchafodd ef i barch ac anrhydedd: gwel ar Gen. xl. 13. Dywedir yma i hyn gael ei wneuthur ar y 27ain o'r deuddegfed mis; eithr y 25ain a ddywedir Jer. lii. 31. Gellir cysoni y ddau le trwy feddwl i'r gorchymyn i ryddhau Joacin gael ei gyhoeddi ar y 25ain, a'i gyflawni ar y 27ain, fel y dywedir yma. Dywed yr Iuddewon ddarfod i Nebuchodonosor, ar ol cael ei adferu o'i wallgofrwydd, (gwel Dan. iv. 32, 33,) garcharu ei fab Efil-merodach am ryw gamlywodraeth a wnaethai efe yn amser anhwyldeb ei dad; ac yn y carchar iddo ddyfod yn gydnabyddus a chyfeillgar â Joacin brenin Juda; a chyn gynted ag y daeth ef i'r orsedd ar ol marw ei dad, iddo gofio am ei gydgarcharor brenhinol, a'i ryddhau ef fel y dywedir yma.

Adn. 28. *Ac efe a ddywedodd yn dêg*

29 Ac efe a newidiodd ei garchar-wisg ef: ac efe a fwytaodd fwyd yn wastadol ger ei fron ef holl ddyddiau ei einioes.

30 A'i ran ef *oedd* ran feunyddiol, a roddid iddo gan y brenin, dogn dydd yn ei ddydd, holl ddyddiau ei einioes ef.

*wrtho*] Gan ymddyddan yn gyfeillgar âg ef, nid fel gelyn wedi ei ddarostwng, ond fel ei gyfaill a'i gydradd; *ac a osododd ei gaduir ef goruwch cadeiriau y brenhinoedd oedd gydag ef yn Babilon*—hyny yw, cafodd eistedd wrth y bwrdd yn nes at y brenin na neb o'i westeion brenhinol ereill.

Adn. 29. *Ac efe a newidiodd ei garcharwisg ef*] Gan roddi iddo wisg frenhinol yn ei lle; *ac efe a fwytaodd fwyd yn wastadol ger ei fron ef*—ar yr un bwrdd a brenin Babilon.

Adn. 30. *A'i ran ef oedd ran feunyddiol*] Nid am fis, neu dymhor penodol, fel y brenhinoedd ereill ag oeddynt gydag ef ar ymweliad, adn. 28; ond 'lluniaeth gwastadol hyd ddydd ei farwolaeth,' Jer. lii. 34; *dogn dydd yn ei ddydd*—gymaint ag a allai ef ei fwyta bob dydd, fel yr oedd y dydd yn dyfod; *holl ddyddiau ei einioes ef*—cyhyd ag y bu Efil-merodach byw. Dywedir i Efil-merodach gael ei ladd trwy fradwriaeth yn mhen oddeutu dwy flynedd wedi hyn; a meddylir i Joacin, yr hwn oedd y pryd hyny oddeutu 57 mlwydd oed, syrthio gyda'i gyfaill a'i noddwr. Fel hyn y terfynodd brenhiniaeth a gwladwriaeth JUDA, o herwydd eu pechodau dychrynllyd a digyffelyb yn erbyn Brenin y nefoedd, ar ol bod yn sefyll am oddeutu 468 o flynyddoedd er pan ddechreuodd Dafydd deyrnasu, 388 er pan enciliodd y deg llwyth oddiwrthi, a 134 er pan gaethgludwyd hwynt i Assyria. Cymerodd hyn le O. B. 3416, C. C. 588.

# LLYFR CYNTAF

# Y CRONICL.

YR oedd y *ddau* lyfr hyn yn cael eu hystyried gynt fel *un*, yr hwn a elwid gan yr hen Hebreaid *Dibrey Haiyamim*, 'Geiriau y Dyddiau,' hyny yw, *Dyddlyfrau* y brenhinoedd. Y LXX a'u galwant *Paraleipomenôn*, 'Pethau wedi eu gadael allan,' gan eu hystyried fel *Attodiad* i lyfrau hanesiol ereill yr Hen Destament: ac, yn wir, ni a gawn ynddynt lawer o bethau na chrybwyllir yn y llyfrau ereill, er fod ynddynt lawer o'r un pethau. Yr enw *Cronicl* a ddeillia oddiwrth *chronica* y Roeg, oddiwrth *chronos*, 'amser,' hyny yw, *Hanes yr Amseroedd*. Ymddengys eu bod wedi cael eu hysgrifenu ar ol y caethiwed, gan y sonir ynddynt am adferiad yr Iuddewon gan Cyrus Fawr, brenin Persia: cydmharer yr adnodau olaf yn ail lyfr y Cronicl â dechre llyfr Ezra.—Nid yw yn eglur pwy a gasglodd y llyfrau hyn; ond priodolir hwynt yn gyffredin i *Ezra*, yr hwn a gynorthwyid fe allai gan Haggai a Zechariah, os nid gan Nehemiah hefyd. Nid ydym i feddwl mai y llyfrau hyn yw *croniclau brenhinoedd Israel a Juda*, y rhai y cyfeirir atynt mor fynych yn llyfrau hanesiol yr Hen Destament; (gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29;) canys y mae y rhai hyny wedi eu colli bellach er's llawer o oesoedd: ond gall y rhai hyn fod wedi eu casglu mewn rhan o'r rhai hyny, dan ddwyfol ysbrydoliaeth, yn gystal ag o ysgrifeniadau y proffwydi Semaiah, Ido, Jehu, Nathan, Esay, ac ereill. Y mae yn sicr mai nid amcan awdwr y llyfrau hyn oedd ysgrifenu hanesiaeth lawn a rheolaidd, eithr math o attodiad, fel y sylwyd, i'r llyfrau ereill; ac felly y mae efe weithiau yn celu beiau saint Duw ac ereill. Nid yw yn son dim am odineb Dafydd, llosgach Amnon, gwrthryfel Absalom, nac eilunaddoliaeth Solomon. Wrth son am wahaniaeth yr enwau a'r rhifau a geir yn y llyfrau hyn, sylwa Calmet yn ddoeth, nad yw ryfedd fod llyfrau a aethant trwy gynifer o ddwylaw, am gynifer o oesoedd, wedi dyoddef peth cyfnewidiad mewn enwau, amseriadau, rhifedi, &c. Mewn ailunau o lyfrau mor hen, ac wedi eu hysgrifenu mewn iaith mor anadnabyddus, a'u hadysgrifenu mor fynych, a'u cyfieithu i gynifer o ieithoedd o oes i oes, gallwn yn ddiau synu fod ynddynt cyn lleied o gamgymeriadau, yn hytrach na bod ynddynt rai.—Y mae yr awdwr yn dechreu y llyfrau hyn gydag achyddiaeth o Adda hyd ei amser ei hun, yr hyn ni wnaed o'r blaen yn hollol fel hyn mewn un o lyfrau yr ysgrythyr, ond a oedd yn awr yn angenrheidiol i'r dyben i gadw yn mhlith y llwythau a'r teuluoedd y gwahaniaeth hwnw ag ydoedd mewn perygl o gael ei golli trwy gaethgludiad y llwythau; ac fel y gallai y gwahanol deuluoedd, ar eu dychweliad o Babilon, adfeddianu eu hetifeddiaethau eu hunain; ac fel y byddai i addoliad Duw gael ei ddwyn yn mlaen, fel cynt, gan bersonau cyfreithlon; ac i amlygu, mewn amser dyfodol, fod y MESSIA wedi deilliaw o'r llwyth a'r teulu a ragfynegasid gan y proffwydi, yr hyn a gadarnhâai ei ddwyfol anfoniad a'i awdurdod ef. A'r achyddiaeth a geir yn y llyfr hwn, pa un a ysgrifenwyd ar ol y caethiwed Babilonaidd, yw yr unig arddanghosiad llawn ac eglur ag sydd genym, na ddarfu i'r adfydau a'r cymysgeddau a ddisgynasant ar yr Iuddewon y pryd hyn ddiweddu mewn llwyr ddinystr o'u coflyfrau teuluaidd. Eithr yn awr, ar ol i'r MESSIA ddyfod, er mwyn yr hwn yn benaf y cedwid y coflyfrau hyn, collodd yr Iuddewon eu holl

achyddiaethau, hyd yn nod llinach yr offeiriaid, fel nas gall neb trwy yr holl fyd brofi ei fod ef o dŷ Aaron.—Y mae llyfrau y Cronicl wedi cael eu hesgeuluso yn ormodol gan lawer o ddarllenwyr, y rhai a dybiant yn ddisail na chynwysant nemawr heblaw yr hyn a goffawyd eisioes yn llyfrau Samuel a'r Brenhinoedd. Ond y mae yn bur amlwg, fel y sylwa St. Jerome, fod y llyfrau hyn yn cynwys amrai bethau o bwys mawr tuag at egluro rhanau ereill o'r ysgrythyr. Ymddengys, modd bynag, eu bod wedi eu bwriadu yn benaf fel talfyriad o hanes brenhiniaeth Juda, fel y mae llyfrau y Brenhinoedd o ddwy frenhiniaeth Israel a Juda yn nghyd. Olyniad llinach Dafydd, yn enwedig, yw prif bwnc yr hanesiaeth yma. Y mae llyfr cyntaf y Cronicl yn cynwys, (1) Casgliad o achau o Adda hyd Dafydd, gydag amrai hanesion yn gymysg, pen. i—ix. (2) Hanes trosglwyddiad y frenhiniaeth oddiwrth Saul i Dafydd, a theyrnasiad Dafydd, pen. x—xxi. (3) Hanes sefydliad achosion eglwysig gan Dafydd, a'i barotoadau i adeiladu y deml, a'i farwolaeth, pen. xxii—xxix. Felly y mae y llyfr hwn yn cynwys math o hanesiaeth achyddol o greadigaeth Adda hyd farwolaeth Dafydd, yspaid o 2989 o flynyddau.

---

## PENNOD I.

ADDA, Seth, Enos,
2 Cenan, Mahalaleel, Jered,
3 Enoch, Methuselah, Lamech,
4 Noah, Sem, Cam, a Japheth.
5 ¶ Meibion Japheth; Gomer, a Magog, a Madai, a Jafan, a Thubal, a Mesech, a Thiras.
6 A meibion Gomer; Aschenaz, a Riphath, a Thogarmah.
7 A meibion Jafan; Elisah, a Tharsis, Cittim, a Dodanim.
8 ¶ Meibion Ham; Cus, a Misraim, Put, a Chanaan.
9 A meibion Cus; Seba, a Hafilah, a Sabta, a Raamah, a Sabtecha: a Seba, a Dedan, meibion Raamah.
10 A Chus a genhedlodd Nimrod: hwn a ddechreuodd fod yn gadarn ar y ddaear.
11 A Misraim a genhedlodd Ludim, ac Anamim, a Lehabim, a Naphtuhim,
12 Pathrusim hefyd, a Chasluhim, (y rhai y daeth y Philistiaid allan o honynt,) a Chaphtorim.
13 A Chanaan a genhedlodd Sidon ei gyntafanedig, a Heth,
14 Y Jebusiad hefyd, a'r Amoriad, a'r Girgasiad,
15 A'r Hefiad, a'r Arciad, a'r Siniad,
16 A'r Arfadiad, a'r Semariad, a'r Hamathiad.
17 ¶ Meibion Sem; Elam, ac Assur, ac Arphachsad, a Lud, ac Aram, ac Us, a Hul, a Gether, a Mesech.
18 Ac Arphachsad a genhedlodd Selah, a Selah a genhedlodd Eber.
19 Ac i Eber y ganwyd dau o feibion: enw y naill *ydoedd* Peleg, (o herwydd mai yn ei ddyddiau ef y rhanwyd y ddaear,) ac enw ei frawd *oedd* Joctan.
20 A Joctan a genhedlodd Almodad, a Seleph, a Hazarmafeth, a Jerah,
21 Hadoram hefyd, ac Usal, a Diclah,
22 Ac Ebal, ac Abimael, a Seba,
23 Ophir hefyd, a Hafilah, a Jobab. Y rhai hyn oll *oedd* feibion Joctan.
24 ¶ Sem, Arphachsad, Selah,
25 Eber, Peleg, Reu,

---

PEN. I. Adn. 1—4. *Adda, Seth, Enos, &c.*] Hyny yw, Adda *oedd tad* Seth, a Seth *oedd tad* Enos, ac felly yn mlaen hyd feibion Noa. Er mwyn byrdra, ni chrybwylla yr awdwr ddim ond yr enwau, gan y gellid yn hawdd ddeall fod y naill yn *dad* i'r llall o'r llyfrau ereill, megys Gen. iv. 25, 26, a v. 3, 7, &c. Ni sonir dim yma am Cain nac Abel, na neb arall o feibion Adda, am mai amcan yr ysgrifenydd santaidd oedd rhoddi rhestr o'r patrieirch mewn un linell o Adda hyd Noa. Nid yw yr hanesiaeth ysgrythyrol yn gyffredin wedi ei bwriadu fel hanes y *byd*, eithr yn hytrach fel hanes yr *eglwys*, a'i chysylltiad â CHRIST, yr hwn a addawyd fel had y wraig.

Adn. 5. *Meibion Japheth*] Y mae yr hanesydd yma, gan ailadrodd yr hanes a gawsom o'r blaen am boblogiad y ddaear gan feibion Noa, Gen. x., yn dechreu gyda'r rhai ag oeddynt estroniaid i'r eglwys, sef meibion Japheth, â'r rhai nid oedd gan yr Iuddewon ddim cyweithas. Y mae *Targum* RABBI JOSEPH, neu ei *Alleiriad Caldeaidd* ef o ddau lyfr y Cronicl, yr hwn a ysgrifenwyd O. C. 400, ac at yr hwn y cyfeirir o hyn allan trwy y lythyren *T.*, yn chwanegu ar ol yr enw *Tiras*, yn niwedd yr adnod hon, 'Ac enw eu gwledydd oedd Affrica, yr Almaen, Media, Macedonia, Bithynia, Mœsia, a Thrace.'

Adn. 6. *A meibion Gomer*] 'Ac enw eu gwledydd oedd Asia, Persia, a Barbary.'—*T.*

Adn. 7. *Meibion Jafan*] Gwel ar Gen. x. 4.

Adn. 8—13. *Meibion Cam*] Gwel ar Gen. x. 6—14.

Adn. 14—16. *Y Jebusiaid, &c.*] Y rhai hyn oeddynt enwau pobloedd neu genhedloedd

26 Serug, Nachor, Terah,

27 Abram, hwnw *yw* Abraham.

28 Meibion Abraham; Isaac, ac Ismael.

29 ¶ Dyma eu cenhedlaethau hwynt: cyntafanedig Ismael *oedd* Nebaioth, yna Cedar, ac Adbeel, a Mibsam,

30 Misma, a Dumah, Massa, Hadad, a Thema.

31 Jetur, Naphis, a Chedemah. Dyma feibion Ismael.

32 ¶ A meibion Ceturah, gordderch-wraig Abraham: hi a ymddyg Zimran, a Jocsan, a Medan, a Midian, ac Isbac, a Suah. A meibian Jocsan; Seba, a Dedan.

33 A meibion Midian; Ephah, ac Epher, a Henoch, ac Abida, ac Eldaah: y rhai hyn oll *oedd* feibion Ceturah.

34 ¶ Ac Abraham a genhedlodd Isaac. Meibion Isaac, Esau ac Israel.

35 Meibion Esau; Eliphaz, Reuel, a Jeus, a Jaalam, a Chorah.

36 Meibion Eliphaz; Teman, ac Omar, Zephi, a Gatam, Cenaz, a Thimna, ac Amalec.

37 Meibion Reuel; Nahath, Zerah, Samah, a Mizzah.

38 A meibion Seir; Lotan, a Sobal, a Sibeon, ac Anah, a Dison, ac Eser, a Disan.

39 A meibion Lotan; Hori, a Homam: a chwaer Lotan *oedd* Timna.

40 Meibion Sobal; Alian, a Manahath, ac Ebal, Sephi, ac Onam. A meibion Zibeon; Aiah, ac Anah.

41 Meibion Anah; Dison. A meibion Dison; Amram, ac Esban, ac Ithran, a Cheran.

42 Meibion Ezer; Bilhan, a Zafan, *a* Jacan. Meibion Dison; Us, ac Aran.

43 ¶ Dyma hefyd y brenhinoedd a deyrnasasant yn nhir Edom, cyn teyrnasu o frenin ar feibion Israel; Bela mab Beor: ac enw ei ddinas ef *oedd* Dinhabah.

44 A phan fu farw Bela, y teyrnasodd yn ei le ef Jobab mab Zerah, o Bosrah.

45 A phan fu farw Jobab, Husam o wlad y Temaniaid a deyrnasodd yn ei le ef.

46 A phan fu farw Husam, yn ei le ef y teyrnasodd Hadad mab Bedad, yr hwn a darawodd Midian yn maes Moab: ac enw ei ddinas ef *ydoedd* Afith.

47 A phan fu farw Hadad, y teyrnasodd yn ei le ef Samlah o Masrecah.

48 A phan fu farw Samlah, Saul o Reboboth *wrth* yr afon a deyrnasodd yn ei le ef.

49 A phan fu farw Saul, y teyrnasodd yn ei le ef Baalhanan mab Achbor.

50 A bu farw Baalhanan, a theyrnasodd yn ei le ef Hadad: ac enw ei ddinas ef *oedd* Pai; ac enw ei wraig ef Mehetabel, merch Matred, merch Mezahab.

51 ¶ A bu farw Hadad. A duciaid Edom oedd; duc Timnah, duc Aliah, duc Jetheth,

52 Duc Aholibamah, duc Elah, duc Pinon,

53 Duc Cenaz, duc Teman, duc Mibzar,

54 Duc Magdiel, duc Iram. Dyma dduciaid Edom.

---

yn hytrach na phersonau, Gen. x. 16—18. Diflanasant wedi hyn, neu cymysgasant âg ereill trwy briodasau, yr hyn yw y rheswm na chrybwyllir am danynt mwyach dan yr enwau hyn.

Adn. 17—23. *Meibion Sem*] Gwel ar Gen. x. 21—31.

Adn. 24—27. *Sem*] 'Yr offeiriad mawr.'—*T.* Ar ol rhoddi bras-hanes am boblogaeth y ddaear, y mae yr hanesydd santaidd yn troi yma i roddi hanes fanylach am achau *Sem*, oddiwrth yr hwn y disgynodd yr Iuddewon.

Adn. 28—31. *Meibion Abraham*] Cyfeirir bellach yn unig at hiliogaeth Abraham o bob llinach. Nid ydym i feddwl fod pawb ond hwy wedi eu tori ymaith oddiwrth ffafr Duw: na, diamau y bydd i luoedd o bob cenedl gael eu dwyn i'r nef, y rhai y ceir eu henwau yn llyfr y bywyd, er nad ydynt yn ysgrifenedig yn llyfr yr eglwys.

Adn. 32, 33. *Meibion Cetura, gordderch-wraig Abraham*] Gwel ar Gen. xxv. 1, &c.

Adn. 34, 35. *Meibion Isaac, Esau, ac Israel*] Y mae yr adroddiad hwn yn dangos mor ffyddlon y cyflawnodd Duw yr enw a roddodd efe i Abraham, 'tad llawer o genhedloedd,' Gen. xvii. 5.

Adn. 36. *A Thimna*] Cawn hanes am Timna arall, gordderch-wraig Eliphas, Gen. xxxvi. 12; eithr hwn ydoedd un o'i *feibion* ef, trwy fod yr un enwau yn cael eu rhoddi i wrywod a benywod yn fynych yn yr Hebraeg, ac mewn rhai ieithoedd ereill.

Adn. 37. *Meibion Reuel*] Gwel ar Gen. xxxvi. 13, 14.

Adn. 38—50. *Meibion Seir*] Nid Esau

## PENNOD. II.

DYMA feibion Israel; Reuben, Simeon, Lefi, a Judah, Issachar, a Zabulon,

2 Dan, Joseph, a Benjamin, Naphtali, Gad, ac Aser.

3 ¶ Meibion Judah; Er ac Onan, a Selah. Y tri *hyn* a anwyd iddo ef o ferch Sua y Canaanees. Ond Er, cyntafanedig Judah, ydoedd ddrygionus yn ngolwg yr Arglwydd, ac efe a'i lladdodd ef.

4 A Thamar ei waudd ef a ymddyg iddo Phares, a Zerah. Holl feibion Judah *oedd* bump.

5 Meibion Phares; Hesron a Hamul.

6 A meibion Zerah; Zimri, ac Ethan, a Heman, a Chalcol, a Dara; hwynt oll *oedd* bump.

7 A meibion Carmi; Achar, yr hwn a flinodd Israel, ac a wnaeth gamwedd oblegid y diofryd-beth.

8 A meibion Ethan; Azariah.

9 A meibion Hesron, y rhai a anwyd iddo ef; Jerameel, a Ram, a Chelubai.

10 A Ram a genhedlodd Amminadab; ac Amminadab a genhedlodd Nason, penaeth meibion Judah.

11 A Nason a genhedlodd Salma; a Salma a genhedlodd Boaz;

12 A Boaz a genhedlodd Obed; ac Obed a genhedlodd Jesse;

13 ¶ A Jesse a genhedlodd ei gyntafanedig Eliab, ac Abinadab yn ail, a Simma yn drydydd,

14 Nethaneel yn bedwerydd, Radai yn bummed,

15 Osem yn chweched, Dafydd yn seithfed:

16 A'u chwiorydd hwynt *oedd* Serfiah, ac Abigail. A meibion Serfiah; Abisai, a Joab, ac Asahel; tri.

17 Ac Abigail a ymddyg Amasa. A thad Amasa *oedd* Jether yr Ismaeliad.

18 ¶ A Chaleb mab Hesron a ennillodd *blant* o Azubah *ei* wraig, ac o Jerioth; a dyma ei meibion hi; Jeser, Sobab, ac Ardon.

19 A phan fu farw Azubah, Caleb a gymerth iddo Ephrath, a hi a ymddyg iddo Hur.

20 A Hur a genhedlodd Uri, ac Uri a genhedlodd Besaleel.

21 ¶ Ac wedi hyny yr aeth Hesron i mewn at ferch Machir, tad Gilead, ac efe a'i priododd hi pan *ydoedd* fab triugain mlwydd; a hi a ddyg iddo Segub.

22 A Segub a genhedlodd Jair: ac yr oedd iddo ef dair ar hugain o ddinasoedd yn ngwlad Gilead.

---

oedd y Seir hwn, nac un o'i hiliogaeth ef, eithr arglwydd cyntefig y wlad, oddiwrth yr hwn y cafodd hi ei henw: gwel ar Gen. xxxvi. 20, &c.

Adn. 51—54. *A duciaid Edom, &c.*] Gwel ar Gen. xxxvi. 15, &c. Y mae cryn wahaniaeth rhwng rhai o'r enwau hyn a'r rhai a geir yn Genesis: y mae tri neu bedwar a ysgrifenwyd â *vau* yno, yn cael eu hysgrifenu â *jod* yma; a gall fod y cynaniad wedi newid, fel y mae yn arferol mewn ieithoedd ereill. Yr ydym ni yn y dyddiau hyn yn ysgrifenu llawer o enwau yn drâ gwahanol i'r hyn a wneid 200 o flynyddoedd yn ol: gwel HENRY.

PEN. II. Adn. 1, 2. *Dyma feibion Israel*] Neu feibion *Jacob:* gwel ar Gen. xxix. 32—35, a xxx. 5—24, a xxxv. 18—26.

Adn. 3, 4. *Meibion Juda*] Er mai pedwerydd mab Jacob oedd Juda, eto enwir ef a'i hiliogaeth yn mlaenaf, am mai yn y llwyth hwn yr oedd y frenhiniaeth i fod, ac mai o hono ef yr oedd y MESSIA i hànu. *Er, ac Onan, a Sela*—gwel ar Gen. xxxviii. 3, &c.

Adn. 5—9. *Meibion Phares, &c.*] Deisyfir i'r darllenydd droi i'r manau ag y cyfeirir atynt ar ymyl dalenau ei Feibl, i gael eglurhad ar y personau a enwir yn y pennodau hyn, yn nghyda'u hanes, yn lle chwyddo y sylwadau hyn yn ormodol, yn enwedig gan na allai hyny fod o ryw fudd mawr i'r darllenwyr cyffredin.

Adn. 10—12. *Ram*] Yr hwn a elwir *Aram:* gwel ar Mat. i. 4, 5.

Adn. 13—15. *A Jesse a genhedlodd ei gyntafanedig Eliab*] Yn pen. xxvii. 18, gelwir hwn *Elihu;* os nad oedd hwnw yn fab arall i Jesse, fel y tybia rhai, yr hwn ni enwir mewn un lle arall; a gwnai hyny y rhif yn *wyth*, fel y dywedir yn 1 Sam xvi. 10, a xvii. 12. *Dafydd yn seithfed*—Dafydd yn ddiau oedd yr ieuangaf o feibion Jesse, 1 Sam. xvi. 11; ac os darfu i un o honynt farw yn fuan ar ol yr amser ag y dywedid eu bod yn *wyth*, byddai i Dafydd yn naturiol gael ei gyfrif fel y *seithfed.*

Adn. 16, 17. *Serfiah ac Abigail*] Gwel ar 2 Sam. xvii. 25.

Adn. 18. *A ennillodd blant o Azubah ei wraig, ac o Jerioth*] Tybir yn gyffredin fod y gyntaf yn wraig briodol i Caleb, a'r ail yn orddérch-wraig iddo.

Adn. 19. *Caleb a gymerth iddo Ephrath*] Dywed rhai o'r Iuddewon mai Miriam, chwaer Moses, oedd hon; ond dywed ereill mai *Hur*, ei mab hi, oedd gŵr Miriam.

Adn. 20. *Besaleel*] Y celfyddydwr cywrain hwnw yn ngwaith y tabernacl, Exod. xxxi. 2.

Adn. 21—23. *Tad Gilead*] Nyni a ddysgwn oddiwrth Num. xxvi. 29, fod Gilead yn

23 Ac efe a ennillodd Geser, ac Aram, a threfydd Jair oddiarnynt, a Chenath a'i phentrefydd, *sef* trigain o ddinasoedd. Y rhai hyn oll *oedd eiddo* meibion Machir tad Gilead.

24 Ac ar ol marw Hesron o fewn Caleb-ephrata, Abiah gwraig Hesron a ymddyg iddo Asur, tad Tecoa.

25 ¶ A meibion Jerameel cyntafanedig Hesron oedd, Ram yr hynaf, Bunah, ac Oren ac Osem, *ac* Abiah.

26 A gwraig arall ydoedd i Jerameel, a'i henw Atarah: hon *oedd* fam Onam.

27 A meibion Ram cyntafanedig Jerameel oedd, Maas, a Jamin, ac Ecer.

28 A meibion Onam oedd, Sammai, a Jada. A meibion Sammai; Nadab, ac Abisur.

29 Ac enw gwraig Abisur *oedd* Abihail: a hi a ymddyg iddo Aban, a Molid.

30 A meibion Nadab; Seled, ac Appaim. A bu farw Seled yn ddiblant.

31 A meibion Appaim; Isi. A meibion Isi; Sesan. A meibion Sesan; Alai.

32 A meibion Jada brawd Sammai; Jether, a Jonathan. A bu farw Jether yn ddiblant.

33 A meibion Jonathan; Peleth, a Zaza. Y rhai hyn *oedd* feibion Jerameel.

34 ¶ Ac nid oedd i Sesan feibion, ond merched: ac i Sesan *yr oedd* gwas o Aifftiad, a'i enw Jarha.

35 A Sesan a roddodd ei ferch yn wraig i Jarha ei was. A hi a ymddyg iddo Attai.

36 Ac Attai a genhedlodd Nathan, a Nathan a genhedlodd Zabad,

37 A Zabad a genhedlodd Ephlal, ac Ephlal a genhedlodd Obed,

38 Ac Obed a genhedlodd Jehu, a Jehu a genhedlodd Azariah,

39 Ac Azariah a genhedlodd Heles, a Heles a genhedlodd Eleasah,

40 Ac Eleasah a genhedlodd Sisamai, a Sisamai a genhedlodd Salum,

41 A Salum a genhedlodd Jecamiah, a Jecamiah a genhedlodd Elisamah.

42 ¶ Hefyd meibion Caleb brawd Jeremeel *oedd* Mesa ei gyntafanedig, hwn *oedd* dad Ziph: a meibion Maresah tad Hebron.

43 A meibion Hebron; Corah, a Thappuah, a Recem, a Sema.

44 A Sema a genhedlodd Raham, tad Jorcoam: a Recem a genhedlodd Sammai.

45 A mab Sammai *oedd* Maon: a Maon *oedd* dad Bethsur.

46 Ac Ephah gordderch-wraig Caleb a ymddyg Haran, a Mosa, a Gazez: a Haran a genhedlodd Gazez.

47 A meibion Jadai; Regem, a Jotham, a Gesan, a Phelet, ac Ephah, a Saaph.

---

fab i Machir; ond tybia rhai fod y gair *tad* yma, fel mewn amrai leoedd ereill, yn arwyddo *tywysog* gwlad Gilead.

Adn. 24. *Cäleb-ephrata*] Yr un a Bethlehem, fel y tybia rhai.

Adn. 25—30. *A meibion Jerameel, &c.*] Gwel ar adn. 5.

Adn. 31—33. *A meibion Appaim, Isi*] Y mae y rhif lluosog yn cael ei arfer yn fynych yn yr ysgrythyrau pan na byddo ond *un* mab neu ferch yn cael ei enwi, megys yma; a'r rheswm am hyny yw, fod holl hiliogaeth y tad yn hànu trwy yr un hwnw. *A meibion Sesan, Alai*—neu *ferch* Sesan *oedd* Alai; canys y mae yn eglur oddiwrth adn. 34, 35, mai *merch*, ac nid *mab*, oedd yr Alai hon.

Adn. 34, 35. *Ac i Sesan yr oedd gwas o Aifftiad*] I'r hwn, gan ei fod yn broselyt i'r grefydd Iuddewig, ac yn was da a ffyddlon, y rhoddodd ei feistr iddo yn gyntaf ei ryddid, ac yna ei ferch yn wraig.

Adn. 36—41. *Ac Attai a genhedlodd Nathan, &c.*] Dywed yr Iuddewon fod yr holl restr hon yn cael ei dodi i lawr er mwyn *Ismael*, am yr hwn y darllenasom yn 2 Bren. xxv. 25, yr hwn oedd yn *ŵyr* i *Elisama*, yr olaf yn y rhestr hon.

Adn. 42—51. *Hwn oedd dad Ziph*] Y Ziph hwn ond odid a roddes ei henw i'r ddinas *Ziph*, dwy o ba rai oedd yn llwyth Juda, Jos. xv. 24, 55. Efe oedd 'tywysog y *Ziphiaid*.'—*T.* Gwel ar adn. 5.

Adn. 52. *A meibion oedd i Sobal*] Sef 'dysgyblion ac offeiriaid, i'r rhai y perthynai hanner yr offrymau.'—*T.* *Tad Ciriath-jearim*—tad neu benaeth trigolion y ddinas hòno.

Adn. 53. *A theuluoedd Ciriath-jearim*] Yr oedd trigolion y ddinas hon wedi eu rhanu i amrai deuluoedd; a'r rhai a grybwyllir yma oeddynt benau y teuluoedd hyny, y rhai a enwid oddiwrth Ithra neu Jether, Puha, &c. *O'r rhai hyn y daeth y Zareathiaid a'r Esthauliaid*—'o'r rhai hyn y daeth dysgyblion y proffwydi Zarah ac Esthaol.'—*T.*

Adn. 54. *Meibion Salma, Bethlehem*] Hyny yw, *trigolion* Bethlehem, ac felly am y lleill.

48 Gordderch-wraig Caleb, *sef* Maachah, a ymddyg Seber, a Thirhanah.

49 Hefyd hi a ymddyg Saaph tad Madmannah, Sefa tad Machbena, a thad Gibea: a merch Caleb *oedd* Achsah.

50 ¶ Y rhai hyn oedd feibion Caleb mab Hur, cyntafanedig Ephratah; Sobal tad Ciriath-jearim,

51 Salma tad Bethlehem, Hareph tad Beth-gader.

52 A meibion oedd i Sobal, tad Ciriath jearim; Haröeh, *a* hanner y Maanethiaid.

53 A theuluoedd Ciriath-jearim *oedd*, yr Ithriaid, a'r Puhuiaid, a'r Sumathiaid, a'r Misraiaid: o'r rhai hyn y daeth y Sareathiaid, a'r Esthauliaid.

54 Meibion Salma; Bethlehem, a'r Netophathiaid, Ataroth tŷ Joab, a hanner y Manahethiaid, y Soriaid.

55 A thylwyth yr ysgrifenyddion, y rhai a breswylient yn Jabes; y Tirathiaid, y Simeathiaid, y Suchathiaid. Dyma y Ceniaid, y rhai a ddaethant o Hemath, tad tylwyth Rechab.

## PENNOD III.

Y RHAI hyn hefyd oedd feibion Dafydd, y rhai a anwyd iddo ef yn Hebron; y cyntafanedig Amnon, o Ahinoam y Jezrelees: yr ail Daniel, o Abigail y Carmelees:

2 Y trydydd, Absalom mab Maachah, merch Talmai brenin Gesur: y pedwarydd, Adoniah mab Haggith:

3 Y pummed, Sephatiah o Abital: y chweched, Ithream o Eglah ei wraig.

4 Chwech a anwyd iddo yn Hebron, ac yno y teyrnasodd efe saith mlynedd a chwe mis: a thair blynedd ar ddeg ar hugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem.

5 A'r rhai hyn a anwyd iddo yn Jerusalem; Simeah, a Sobab, a Nathan, a Solomon, pedwar, o Bathsua merch Ammiel:

6 Ibhar hefyd, ac Elisama, ac Eliphelet,

7 A Nogah, a Nepheg, a Japhia,

8 Ac Elisama, Eliada, ac Eliphelet, naw.

9 *Dyma* holl feibion Dafydd, heblaw meibion y gordderch-wrag-

---

Adn. 55. *A thylwyth yr ysgrifenyddion*] Naill ai ysgrifenyddion gwladol, y rhai a ysgrifenent ac a law-nodent bob gweithred gyfreithiol, neu ynte gofiaduron eglwysig; *y rhai a breswylient yn Jabes*—dinas ond odid a sylfaenwyd gan Jabes, ac a alwyd ganddo ar ei enw ei hun: gwel ar pen. iv. 9. *Y Tirathiaid, &c.*—meddylir mai y rhai hyn oeddynt ysgolorion Jabes, y rhai a addysgai efe yn y gyfraith. 'Gelwir hwynt *Tirathiaid*, am fod eu llais, wrth *ganu*, yn debyg i *udgyrn;* a *Simeathiaid*, am eu bod, wrth *weddio*, yn dyrchafu eu gwynebau; a *Suchathiaid*, am eu bod wedi eu *cysgodi* âg ysbryd proffwydoliaeth.'—*T.* *Dyma y Ceniaid*—gwel ar Barn. i. 16.

PEN. III. Adn. 1, 2. *Y rhai hyn hefyd oedd feibion Dafydd*] Gwel ar 2 Sam. iii. 2—5. *Yr ail Daniel*—yn 2 Sam. iii. 3, gelwir hwn *Chileab*, oddiwrth *ke-le-ab*, 'tebyg i'r tad.' Dywed *Jarchi* i'r ddau enw hyn gael eu rhoddi iddo am i Dafydd briodi Abigail yn union ar ol marw Nabal, fel na wyddid pa un ai mab Dafydd ynte mab Nabal oedd efe; am hyny Dafydd a'i galwodd ef DANIEL, *Duw yw fy Marnwr*, a CHILEAB, yr hwn sydd *debyg i'r tad;* ond odid o herwydd y tebygolrwydd mawr ag oedd rhyngddo a Dafydd, ei dad cyfrifedig. 'Duw yw fy *Marnwr*, na thadogais i blentyn gŵr arall; y mae hwn yn hollol *debyg* i mi.'

Adn. 3. *O Eglah ei wraig*] Dywed y *Targum, Jarchi*, ac ereill, mai hon oedd *Michal* merch Saul; ond nid yw hyny yn cytuno yn dda â 2 Sam. vi. 23, lle y dywedir 'na bu iddi etifedd hyd ddydd ei marwolaeth.' Eto hi a allasai gael plentyn yn *flaenorol* i'r amser ag y cyfeirir ato yno, er na bu iddi un *wedi* hyny.

Adn. 4. *Ac yno y teyrnasodd efe saith mlynedd a chwe mis*] Gwel ar 2 Sam. v. 4, 5.

Adn. 5. *A'r rhai hyn a anwyd iddo yn Jerusalem*] Ar ol iddo gael ei eneinio yn frenin ar Israel a Juda; *Simea, a Sobab, a Nathan, a Solomon*—er mai Solomon oedd yr hynaf o'r pedwar hyn, eto enwir ef yn olaf, am fod âch Dafydd i gael ei chario i lawr oddiwrtho ef fel etifedd y goron, a thad brenhinoedd dyfodol Juda, adn. 10. *O Bathsua, merch Amïel*—yr un a *Bathseba*, ond fod y *vau* wedi ei rhoddi i mewn yn y cyntaf trwy gamgymeriad, yn lle *beth;* ac nid yw *Amïel* ddim amgen nag *Elïam* wedi trawsgyfleu y llythyrenau: gwel ar 2 Sam. xi. 3. Tybia rhai, oddiwrth yr achyddiaeth yn Luc iii., nad yw Mair, mam yr Iesu, wedi disgyn oddiwrth Dafydd trwy Solomon, eithr trwy Nathan; tra y tybia ereill fod teulu Solomon a theulu Nathan wedi cael eu huno yn mherson Zorobabel trwy briodas Salathiel, oddiwrth yr hwn yr hànodd Mair: gwel ar Luc iii. 24—35.

Adn. 6—8. *Ibhar hefyd, ac Elisama, ac Eliphelet*] Y mae y ddau enw olaf hyn yn dygwydd eilwaith yn adn. 8. Tybia rhai mai gwall ydyw; tra y barna ereill fod dau o'r

edd, a Thamar eu chwaer hwynt.
10 ¶ A mab Solomon *ydoedd* Rehoboam: Abiah ei fab yntau; Asa ei fab yntau; *a* Jehosaphat ei fab yntau;
11 Joram ei fab yntau; Ahaziah ei fab yntau; Joas ei fab yntau;
12 Amasiah ei fab yntau; Azariah ei fab yntau; Jotham ei fab yntau:
13 Ahaz ei fab yntau; Hezeciah ei fab yntau; Manasseh ei fab yntau;
14 Amon ei fab yntau; Josiah ei fab yntau.
15 A meibion Josiah, y cyntafanedig *oedd* Johanan, yr ail Joacim, y trydydd Sedeciah, y pedwarydd Salum.
16 A meibion Joacim; Jechoniah ei fab ef, Sedeciah ei fab yntau.
17 ¶ A meibion Jechoniah; Assir, Salathiel ei fab yntau,
18 Malciram hefyd, a Phedaiah, a Senasar, Jecamiah, a Hosamah, a Nedabiah.
19 A meibion Pedaiah; Zorobabel, a Simei; a meibion Zorobabel; Mesulam, a Hananiah, a Selomith eu chwaer hwynt:
20 A Hasubah, ac Ohel, a Berechiah, a Hasadiah, Jusab-hesed, pump.
21 A meibion Hananiah; Pelatiah, a Jesaiah: meibion Rephaiah, meibion Arnan, meibion Obadiah, meibion Sechaniah.
22 A meibion Sechaniah; Samaiah: a meibion Samaiah; Hattus, ac Igeal, a Bariah, a Neariah, a Saphat, chwech.
23 A meibion Neariah; Elioenai, a Hezeciah, ac Azricam, tri.
24 A meibion Elioenai *oedd*, Hodaiah, ac Eliasib, a Phelaiah, ac Accub, a Johanan, a Dalaiah, ac Anani, saith.

## PENNOD IV.

MEIBION Judah; Phares, Hesron, a Charmi, a Hur, a Sobal.

---

enwau hyn wedi marw yn eu babandod, ac i ddau a anwyd ar eu hol gael eu galw ar eu henwau hwy. *Noga*—yr hwn a elwir *Elisua* yn 2 Sam. v. 15. *Naw*—yn 2 Sam. v. 15, 16, ni chyfrifir hwynt ond *saith;* a'r rheswm am hyny ond odid yw, na chyfrifir yno neb ond y rhai ag oeddynt yn fyw, tra y mae y ddau a fuont feirw yn cael eu rhifo yma.

Adn. 9. *A Thamar eu chwaer hwynt*] Hon yw unig ferch Dafydd ag y coffeir ei henw; ac eto dywedir fod ganddo ef *feibion* a *merched*, 2 Sam. v. 13.

Adn. 10—14. *A mab Solomon, &c.*] Rhoddir yma enwau 14 o frenhinoedd Juda, o deulu Dafydd, a hyny yn ol trefn eu teyrnasiad, o Rehoboam i lawr at Josiah.

Adn. 15. *Y cyntafanedig oedd Johanan*] Tybir i hwn farw o flaen ei dad, gan na sonir am dano ef wedi hyny. *Y pedwarydd Salum*—yr un a Joachaz fel y tybir, yr hwn a wnaed yn frenin gyntaf ar ol ei dad: gwel 2 Bren. xxiii. 30, 34, Jer. xxii. 11.

Adn. 16. *A meibion Joacim*] Gwel ar 2 Bren. xxiv. *Zedeciah ei fab yntau*—os brenin olaf Juda cyn y caethgludiad yw hwn, rhaid fod y gair *mab* yma yn arwyddo *olynydd;* canys yr oedd efe yn sicr yn olynydd iddo ar yr orsedd, ac yn ewythr iddo, nid mab: gwel ar 2 Bren. xxiv. 17.

Adn. 17. *A meibion Jechoniah*] Yr un a *Joacin*, 2 Bren. xxiv. 6, 8. Dywed Jeremia, pen. xxii. 30, y byddai Jechoniah, (neu *Coniah* fel y mae efe yn ei alw,) yn *ddiblant;* ond rhaid fod hyny yn arwyddo y byddai ef heb blant i eistedd ar yr *orsedd;* ac yn wir felly y deongla y proffwyd ei hunan yr ymadrodd hwn yn niwedd yr adnod: 'Canys ni ffyna o'i had ef un a eisteddo ar orseddfa Dafydd, nac a lywodraetho mwyach yn Juda.' *Assir*—nid mab Assir oedd Salathiel, ond mab Jechonias, Mat. i. 12. Pwy ynte oedd *Assir?* Dichon nad oedd efe *neb;* canys gan fod y gair Hebreig *assir* yn arwyddo *carcharor*, gall ei fod yn cyfeirio at gyflwr Jechoniah, yr hwn y gwyddom iddo gael ei ddwyn yn *garcharor* i Babilon, 2 Bren. xxiv. 15.

Adn. 18. *Malciram hefyd, a Phedaiah, &c.*] Tybia Calmet mai meibion *Salathiel* oedd y rhai hyn; tra y barna ereill mai meibion *Jechoniah* oeddynt, a brodyr Salathiel.

Adn. 19—21. *A meibion Pedaiah*] Tybia Houbigant y dylai y geiriau hyn gael eu gadael allan: y mae *Pedaiah* yn eisiau yn yr *Arabaeg* a'r *Syriaeg*. Yna ymddengys *Zorobabel* fel mab i *Salathiel*, yn gyson â Mat. i. 12, Luc iii. 27. Tybia ereill mai mab i Pedaiah trwy fabwysiad oedd Zorobabel; neu ynte fod Salathiel wedi marw yn ddiblant, ac i Pedaiah genhedlu Zorobabel o'i wraig ef, ac felly godi had i'w frawd. Os felly, yr oedd Zorobabel yn fab i Pedaiah, am ei genhedlu ganddo; ac eto yn fab i Salathiel, am ei fod wedi ei genhedlu o'i wraig ef, i fod yn etifedd iddo.

Adn. 22—24. *A meibion Semaiah—chwech*] Pump yn unig a enwir yn y testyn; ac os nad yw y tad yn cael ei gynwys gyda'i feibion, rhaid fod un enw wedi ei golli. Eithr tybia rhai mai enw priodol un o feibion Semaiah yw y gair *shisha*, yr hwn a gyfieithir yma *chwech*.

PEN. IV. Adn. 1. *Meibion Juda*] Neu ei hiliogaeth ef yn llinell Phares; canys nid oedd neb o'r rhai hyn ond *Phares* yn fab iddo: eithr crybwyllir hwynt oll yma yn unig

2 A Reaiah mab Sobal a genhedlodd Jahath; a Jahath a genhedledd Ahumai, a Lahad. Dyma deuluoedd y Sorathiaid.
3 A'r rhai hyn *oedd* o dad Etam; Jezreel, ac Isma, ac Idbys: ac enw eu chwaer hwynt *oedd* Haselelponi.
4 A Phenuel tad Cedor, ac Ezer tad Husah. Dyma feibion Hur cyntafanedig Ephratah, tad Bethlehem.
5 ¶ Ac i Asur tad Tecoa yr oedd dwy wragedd, Helah, a Naarah.
6 A Naarah a ddyg iddo Ahuzam, a Hepher, a Themeni, a Hahastari. Dyma feibion Naarah.
7 A meibion Helah *oedd*, Sereth, a Jesoar, ac Ethnan.
8 A Chos a genhedlodd Anub, a Sobebah, a theuluoedd Aharhel mab Harum.
9 ¶ Ac yr oedd Jabes yn anrhydeddusach na'i frodyr: a'i fam a alwodd ei enw ef Jabes, gan ddywedyd, Oblegid i mi *ei* ddwyn *ef* trwy ofid.
10 A Jabes a alwodd ar Dduw Israel, gan ddywedyd, O na lwyr fendithit fi, ac na eangit fy nherfynau, a bod dy law gyda mi, a'*m* cadw oddiwrth ddrwg, fel na'm gofidier. A pharodd Duw ddyfod *iddo* yr hyn a ofynasai.
11 ¶ A Chelub brawd Suah a genhedlodd Mehir, yr hwn *oedd* dad Eston.
12 Ac Eston a genhedlodd Bethrapha, a Phaseah, a Thehinnah tad dinasNanas. Dyma ddynion Rechah.
13 A meibion Cenaz; Othniel, a Seraiah: a meibion Othniel; Hathath.

---

i ddangos fod *Sobal* wedi disgyn oddiwrth Juda. Cawsom achau y llwyth hwn o'r blaen yn pen. ii.; ond yma manylir arnynt er mwy o eglurhad.

Adn. 2. *Dyma deuluoedd y Zorathiaid*] Neu y Zareathiaid, pen. ii. 53.

Adn. 3. *Hazelelponi*] Dywed yr Iuddewon mai hi oedd gwraig Manoa, a mam Samson.

Adn. 4. *A Phenuel tad Gedor*] Yn adn. 18 dywedir mai Jered oedd tad Gedor; ac fe allai eu bod ill dau yn sylfaenwyr neu arglwyddi iddi. *Dyma feibion Hur*—o wraig arall ond odid heblaw mam y plant a grybwyllir pen. ii. 20. *Tad Bethlehem*—yn pen. ii. 51 dywedir mai Salma yw tad Bethlehem; ond gellir deall hyn yr un modd a'r rhan flaenaf o'r adnod hon.

Adn. 5—8. *Ac i Assur tad Tecoa*] Gwel ar pen. ii. 5, &c.

Adn. 9. *Ac yr oedd Jabes yn anrhydeddusach na'i frodyr*] Ar gyfrif ei dduwioldeb a'i ddefnyddioldeb arbenig; *a'i fam a alwodd ei enw ef Jabes*—neu *Jazeb*, 'GOFIDUS,' am iddi *ei ddwyn ef trwy ofid*—mewn poen neu wewyr mwy nag arferol wrth esgor arno. Yr oedd yr enw hwn yn adgofio iddi hi y rhwymau oedd arni i fod yn ddiolchgar i Dduw am arbed ei bywyd yn y perygl mawr y bu ynddo wrth ei eni ef; ac yn adgofio iddo yntau ei fod wedi ei eni i ddyffryn wylofain, lle nas gallai ddysgwyl ond 'byr amser iddo i fyw,' a hwnw yn 'llawn trueni:' a gallai y *gofid* a gynwysid yn ei enw beri difrifoldeb yn ei feddwl. Gallwn feddwl ei fod ef yn perthyn i un o'r teuluoedd a grybwyllir adn. 8.

Adn. 10. *A Jabes a alwodd ar Dduw Israel*] Ar y gwir a'r bywiol Dduw, yr hwn oedd mewn cyfammod â'i bobl, ac â'r hwn y bu Jacob yn ymdrechu yn llwyddianus fel ag i gael yr enw 'Israel.' Y mae Jabes yn gweddio yma am bedair bendith: (1) *O na lwyr fendithit fi*—neu 'na fendithit fi mewn gwirionedd!' Nid yw yn dywedyd yn mha ystyr y mynai efe i Dduw ei fendithio, ond y mae yn gadael hyny i Dduw, i'w fendithio fel y gwelai efe yn dda, ond iddo gael rhyw fendith wirioneddol. Tybia rhai ei fod yn gweddio am fendith i'w *enaid*, neu iachawdwriaeth dragwyddol, yr hon yn briodol sydd fendith wirioneddol. (2) *Ac na eangit fy nherfynau*—sef llwyddo ei ymdrechiadau cyfreithlon i gynyddu yr hyn a syrthiasai i'w ran, fel ag i allu naill ai cynal ei deulu yn anrhydeddus, neu fod yn foddion i ledaenu a helaethu y wybodaeth a gyfranai efe yn ei ysgol, pen. ii. 55. (3) *A bod dy law gyda mi*—i'm harwain yn fy holl deithiau, i'm cynorthwyo yn fy holl ddyledswyddau, ac i'm diwallu yn fy holl angenrheidiau. (4) *A'm cadw oddiwrth ddrwg*—oddiwrth ddrygau naturiol a moesol o bob math, y rhai sydd yn achos o bob gofid amserol a thragwyddol. Y ffordd i ochel *gofid*, yw gochel drygioni. *A pharodd Duw ddyfod iddo yr hyn a ofynasai*—llwyr fendithiwyd ef, eangwyd ei derfynau, bu llaw Duw gydag ef, a chadwyd ef oddiwrth ddrwg, ac oddiwrth ofid mewn canlyniad i hyny. Y mae y *Galdeaeg* yn rhoddi ystyr gwahanol i'w ddeisyfiadau: '*O na lwyr fendithit fi*—â phlant; *ac na eangit fy nherfynau*—â dysgyblion; *a bod dy law gyda mi*—yn fy ngalwedigaeth; *a'm cadw oddiwrth ddrwg*—fy ngwneyd yn gyffelyb i'm cymdeithion, fel y bo i ddrygchwant ofidio llai arnaf.' Yn nghanol yr holl anialwch sych hwn o enwau dyrus a diffrwyth i ddarllenwyr cyffredin, y mae yn hyfryd cael ambell i faes gwyrddlas a ffrwythlon fel hwn o eiddo Jabes i orphwys am enyd ynddo!

Adn. 11. *A Chelub brawd Suah*] Tybia rhai fod Suah yr un a Husa yn adn. 4; a chasglant hyny ond odid oddiwrth fod yr un llythyrenau yn gwneyd y ddau enw mewn trefn wahanol.

Adn. 12. *Dyma ddynion Rechah*] 'Dyma wŷr y Sanhedrim fawr.'—*T.*

Adn. 13. *A meibion Cenas*] Yr hwn oedd

14 A Meonothai a genhedlodd
Ophrah: a Seraiah a genhedlodd
Joab, tad glŷn y crefftwyr, canys
crefftwyr oeddynt hwy.
15 A meibion Caleb mab Jeph-
unneh; Iru, Elah, a Naam: a meib-
ion Elah *oedd*, Cenaz.
16 A meibion Jehaleleel; Ziph,
a Ziphah, Tiria, ac Asareel.
17 A meibion Ezrah *oedd*, Jether,
a Mered, ac Epher, a Jalon: a hi a
ddyg Miriam, a Sammai, ac Isbah
tad Estemoa.
18 A'i wraig ef Jehudiah a ym-
ddyg Jered tad Gedor, a Heber tad
Socho, a Jecuthiel tad Zanoah. A
dyma feibion Bithiah merch Phar-
aoh, yr hon a gymerth Mered.
19 A meibion *ei* wraig Hodiah,
chwaer Naham, tad Ceilah y Garm-
iad, ac Estemoa y Maachathiad.
20 A meibion Simon *oedd*, Am-
non, a Rinnah, Benhanan, a Thilon.
A meibion Isi *oedd*, Zoheth, a Ben-
zoheth.
21 ¶ A meibion Selah mab Judah
*oedd*, Er tad Lechah, a Laadah tad
Maresah, a theuluoedd tylwyth
gweithyddion llian main o dŷ Asbea,
22 A Jocim, a dynion Chozeba, a
Joas, a Saraph, y rhai oedd yn ar-
glwyddiaethu ar Moab, a Jasubile-
hem. Ac *y mae* y pethau hyn yn
hen.
23 Y rhai hyn *oedd* grochenydd-
ion yn cyfaneddu *yn mysg* planwydd
a chaeau; gyda'r brenin yr arosas-
ant yno yn ei waith ef.
24 ¶ Meibion Simeon *oedd*, Ne-
muel, a Jamin, Jarib, Zerah, *a*
Saul:
25 Salum ei fab yntau, Mibsam
ei fab yntau, Misma ei fab yntau.
26 A meibion Misma; Hamuel
ei fab yntau, Zacchur ei fab yntau,
Simei ei fab yntau.
27 Ac i Simei *yr oedd* un ar bym-
theg o feibion, a chwech o ferched,
ond i'w frodyr ef nid *oedd* nemawr
o feibion: ac nid amlhasai eu holl
deulu hwynt megys meibion Judah.
28 A hwy a breswyliasant yn
Beerseba, a Moladah, a Hasar-sual.
29 Yn Bilhah hefyd, ac yn Esem,
ac yn Tolad,
30 Ac yn Bethuel, ac yn Hormah,
ac yn Siclag,
31 Ac yn Beth-marcaboth, ac yn
Hasar-susim, ac yn Beth-birei, ac
yn Saaraim. Dyma eu dinasoedd
hwynt, nes teyrnasu o Dafydd.
32 A'u trefydd hwynt *oedd*, Etam,
ac Ain, Rimmon, a Throchen, ac
Asan; pump o ddinasoedd.
33 A'u holl bentrefi hwynt hefyd,
y rhai *oedd* o amgylch y dinasoedd
hyn hyd Baal. Dyma eu trigfanau
hwynt, a'u hachau.
34 A Mesobab, a Jamlech, a Josah
mab Amasiah.
35 A Joel, a Jehu mab Josibiah,
fab Seraiah, fab Asiel,
36 Ac Elioenai, a Jaacobah, a
Jesohaiah, ac Asaiah, ac Adiel, a
Jesimiel, a Benaiah,
37 A Ziza mab Siphi, fab Alon,
fab Jedaiah, fab Simri, fab Semaiah.
38 Y rhai hyn erbyn *eu* henw-

---

frawd i Caleb: gwel ar adn. 15. *Othniel*—gwel ar Jos. xv. 17, a Barn. iii. 9.

Adn. 14. *Tad glŷn y crefftwyr*] Sef tad trigolion y glŷn hwnw, o'r rhai yr oedd amrai yn fedrus mewn pob cywreinwaith ond odid.

Adn. 15. *A meibion Caleb mab Jephunneh*] Cawn hanes y dyn enwog hwn yn Num. xiii, xiv, &c. 'Gelwid ef Caleb mab Jephunneh, am iddo *buro* ei enaid oddiwrth gynghor yr yspïwyr.'—*T.* *Cenas*—ymddengys fod hwn yn *ŵyr* i Caleb, tra yr oedd y *Cenas* yn adn. 13 yn *frawd* iddo, Barn. iii. 9.

Adn. 16, 17. *A meibion Jehaleleel, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 18. *Merch Pharao*] Nid yw yn debyg i Mered briodi merch brenin yr Aifft, oddieithr ei bod yn ferch ordderch iddo; a gallai yr enw 'Pharao' fod wedi cael ei roddi ar un o'r Israeliaid.

Adn. 19, 20. *Ei wraig Hodiah*] Sef gwraig arall i Mered, fel y bernir.

Adn. 21. *A meibion Selah fab Juda*] Ar ol bod yn traethu am hiliogaeth Juda trwy Phares a Zerah, y mae yr hanesydd yn dyfod yn awr i son am ei hiliogaeth ef trwy Selah. *Llian main*—'i wneyd gwisgoedd i frenhinoedd ac offeiriaid.'—*T.*

Adn. 22, 23. *Ac y mae y pethau hyn yn hen*] Tybia rhai mai yr ystyr yw: 'Y mae yr amseroedd dedwydd hyny wedi myned heibio er's hir oesoedd. Yr oedd ein henafiaid ni yn arglwyddiaethu unwaith ar y cenhedloedd; ond yn awr y mae eu hiliogaeth ddirywiedig yn gaethion yn Caldea, lle y defnyddir hwynt fel crochenyddion neu arddwyr, neu mewn rhyw galedwaith o'r fath. *Y rhai hyn oedd*—neu yn hytrach '*sydd* grochenyddion;' canys ymddengys ei fod yn cyferbynu eu caethwasanaeth bresenol â'u gogoniant blaenorol.

Adn. 24—38. *Meibion Simeon, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

au *a aethant* yn benaethiaid yn eu
teuluoedd, ac a amlhasant dylwyth
eu tadau yn fawr.

39 ¶ A hwy a aethant i flaenau
Gedor, hyd at du dwyrain y dyffryn,
i geisio porfa i'w praidd.

40 A hwy a gawsant borfa fras,
a da, a gwlad eang *ei* therfynau, a
heddychlon a thangnefeddus: canys
y rhai a breswylient yno o'r blaen
*oedd* o Cam.

41 A'r rhai hyn yn ysgrifenedig
erbyn eu henwau a ddaethant yn
nyddiau Hezeciah brenin Juda, ac
a darawsant eu pebyll a'r aneddau
a gafwyd yno, ac a'u difrodasant
hwy hyd y dydd hwn, a thrigasant
yn eu lle hwynt: am *fod* porfa i'w
praidd hwynt yno.

42 Ac o honynt hwy, *sef* o feibion
Simeon, yr aeth pum cant o ddyn-
ion i fynydd Seir, a Phelatiah, a
Neariah, a Rephaiah, ac Uzziel,
meibion Isi, yn ben arnynt.

43 Tarawsant hefyd y gweddill a
ddiangasai o Amalec, ac a wladych-
asant yno hyd y dydd hwn.

## PENNOD V.

A MEIBION Reuben, cyntafaned-
ig Israel (canys efe *oedd* gyntaf-
anedig, ond am iddo halogi gwely
ei dad, rhoddwyd ei enedigaeth-
fraint ef i feibion Joseph, mab Is-
rael; ac ni chyfrifir ei achau ef yn
ol yr enedigaeth-fraint:

2 Canys Judah a ragorodd ar ei
frodyr, ac o hono ef *y daeth* blaen-
or: a'r enedigaeth-fraint a *roddwyd*
i Joseph.)

3 Meibion Reuben cyntafanedig
Israel *oedd*, Hanoch, a Phalu, Hes-
ron, a Charmi.

4 Meibion Joel; Semaiah ei fab
ef, Gog ei fab yntau, Simei ei fab
yntau,

5 Michah ei fab yntau, Reaiah ei

---

Adn. 39. *A hwy a aethant i flaenau Gedor*] Yr oedd lle o'r enw hwn yn llwyth Juda, Jos. xv. 58; ond tybia rhai mai lle yn nherfyn deheuol Canaan a feddylir, neu yn agos i Joppa yn ol ereill, lle yr oedd porfa fras i'r praidd.

Adn. 40. *Gwlad eang ei therfynau*] Lle yr oedd digon o le iddynt hwy a'u praidd; *a heddychlon a thangnefeddus*—heb ddim gelynion yn agos yno i'w haflonyddu. *O Cam*—ond pa un ai Philistiaid, Aifftiaid, neu yr hen Ganaaneaid a feddylir, nid yw yn eglur; canys yr oeddynt hwy oll o hiliogaeth Cam. Modd bynag, yr oedd gan y Simeoniaid hawl i gymeryd y lle, trwy nad oedd yn perthyn i Juda.

Adn. 41. *A'r rhai hyn*] Y rhai y mae eu henwau yn ysgrifenedig yn yr adnodau blaenorol; *a ddaethant yn nyddiau Hezeciah*—ychydig cyn y caethgludiad, fel na chawsant fwynhau eu porfeydd breision nemawr o amser; *ac a darawsant eu pebyll*—sef pebyll meibion Cam, y rhai a breswylient yno.

Adn. 42. *Aeth pum cant o ddynion i fynydd Seir*] Dan arweiniad y pedwar blaenor a enwir isod. Y mae yn debyg mai plaid arall o feibion Simeon oedd y rhai hyn, wahanol i'r hon a aethai i flaenau Gedor, adn. 39; a'u hamcan hwythau ond odid oedd cael porfa i'w praidd.

Adn. 43. *Tarawsant hefyd y gweddill a ddiangasai o Amalec*] Sef y rhai a ddiangasent yn amser Saul a Dafydd, fel y cyflawnid proffwydoliaeth Balaam 'A'i ddiwedd fydd darfod am dano byth,' Num. xxiv. 20; *ac a wladychasant yno hyd y dydd hwn*—pryd yr ysgrifenwyd yr hanes. Felly ymddengys na chymerwyd y Simeoniaid hyn o fynydd Seir gan frenin Assyria na brenin Babilon, ond eu bod yn aros yno tra yr oedd eu brodyr yn y caethiwed.

PEN. V. Adn. 1. *A meibion Reuben, cyntafanedig Israel*] Gan mai Reuben oedd mab *hynaf* Jacob, paham na chymerwyd sylw o'i achau ef yn mlaenaf? Y mae y cwestiwn hwn yn cael ei ateb yma: efe a gollodd ei enedigaeth-fraint o herwydd y trosedd a grybwyllir Gen. xxxv. 22, a xlix. 4. *Rhoddwyd ei enedigaeth-fraint ef i feibion Joseph*—breintiau y gyntafanedigaeth oeddynt *lywodraeth*, a *deuparth* o'r meddiannau; ond gan i Reuben fforffetio y rhai hyn, cawsant eu rhanu rhwng ereill. (1) Cafodd meibion Joseph, Ephraim a Manasse, *ddeuparth* o'r meddiannau, sef rhan i bob un, fel pe buasent yn feibion i Jacob, ac nid ŵyrion. (2) Ond rhoddwyd y *llywodraeth* i Juda, o'r hwn yr oedd y BLAENOR i ddyfod, adn. 2; yn gyntaf *Dafydd* a'i olynwyr brenhinol, ac wedi hyny y MESSIA. Sicrhawyd yr anrhydedd hwn i *Juda*, er i'r rhan arall o'r enedigaeth-fraint gael ei rhoddi i feibion *Joseph*. Cafodd *Lefi* hefyd ran o honi: gwel ar Gen. xxv. 31, Heb. xii. 16.

Adn. 2. *Canys Juda a ragorodd ar ei frodyr*] Hyny yw, llwyth Juda a ragorodd, mewn lluosogrwydd, gwroldeb, a mawrhydri, ac yn enwedig yn hàniad y MESSIA o hono ef, yr hyn yw yr achos iddo ef gael ei enwi yn mlaenaf yn yr achau hyn. *Ac o hono ef y daeth blaenor*—neu yn hytrach y '*daw* blaenor,' sef y Brenin Messia, fel y mae y Syriaeg a'r Arabaeg yn ei ddeall, o'r hwn nid oedd Dafydd a'i olynwyr ddim ond cysgodau. *A'r enedigaeth-fraint a roddwyd i Joseph*—i feibion Joseph, sef y rhan *dymhorol* o honi. Nid ydym i feddwl i Joseph yn bersonol gael rhan, nac i Reuben yn bersonol gael ei amddifadu o ran: yn hytrach, cafodd Reuben, fel cyntafanedig Jacob, un ran o wlad yr addewid yn lle dwy; a Joseph, yn ei feibion, ddwy ran yn lle un; canys gallwn feddwl fod breint-

fab yntau, Baal ei fab yntau,
6 Beerah ei fab yntau, yr hwn
a *gaeth*-gludodd Tilgath-pilneser
brenin Assyria: hwn *ydoedd* dy-
wysog i'r Reubeniaid.
7 A'i frodyr ef yn eu teuluoedd,
wrth gymeryd eu hachau yn eu
cenhedlaethau; y penaf *oedd* Jeiel,
a Zechariah.
8 A Bela mab Azaz, fab Sema,
fab Joel, yr hwn a gyfaneddodd yn
Aroer, a hyd at Nebo, a Baalmeon.
9 Ac o du y dwyrain y preswyl-
iodd efe, hyd y lle yr elir i'r anial-
wch, oddiwrth yr afon Euphrates:
canys eu hanifeiliaid hwynt a aml-
hasai yn ngwlad Gilead.
10 Ac yn nyddiau Saul y gwnaeth-
ant hwy ryfel yn erbyn yr Hagar-
iaid, *y rhai* a syrthiasant trwy eu
dwylaw hwynt; a thrigasant yn eu
pebyll hwynt, trwy holl du dwyr-
ain Gilead.
11 ¶ A meibion Gad a drigasant
gyferbyn a hwynt yn ngwlad Bas-
an, hyd at Salchah:
12 Joel y penaf, a Sapham yr ail,
a Jaani a Saphat, yn Basan.
13 A'u brodyr hwynt o dŷ eu
tadau *oedd*, Michael, a Mesulam, a
Seba, a Jorai, a Jacan, a Zia, a
Heber, saith.
14 Dyma feibion Abihail fab Hu-
ri, fab Jaroah, fab Gilead, fab
Michael, fab Jesisai, fab Jado, fab
Buz;
15 Ahi mab Abdiel, fab Guni, y
penaf o dŷ eu tadau.
16 A hwy a drigasant yn Gilead
yn Basan, ac yn ei threfydd, ac yn
holl bentrefi Saron, wrth eu ter-
fynau.
17 Y rhai hyn oll a gyfrifwyd
wrth eu hachau, yn nyddiau Joth-
am brenin Judah, ac yn nyddiau
Jeroboam brenin Israel.
18 ¶ Meibion Reuben, a'r Gad-
iaid, a hanner llwyth Manasseh, o
wŷr nerthol, dynion yn dwyn tarian
a chleddyf, ac yn tynu bwa, ac wedi
eu dysgu *i* ryfel, *oedd* bedair mil a
deugain a saith cant a thriugain,
yn myned allan i ryfel.
19 A hwy a wnaethant ryfel yn
erbyn yr Hagariaid, a Jetur, a
Nephis, a Nodab.
20 A chynorthwywyd hwynt yn
erbyn y rhai hyny, a rhoddwyd yr
Hagariaid i'w dwylaw hwynt, a
chwbl a'r *a ydoedd* gyda hwynt:
canys llefasant ar Dduw yn y rhyfel,
ac efe a wrandawodd arnynt, o her-
wydd iddynt obeithio ynddo.
21 A hwy a gaethgludasant eu
hanifeiliaid hwynt; o'u camelod
hwynt ddeg mil a deugain, ac *o*
ddefaid ddau cant a deg-a-deugain
o filoedd, ac *o* asynod ddwy fil, ac *o*
ddynion gan mil.
22 Canys llawer yn archolledig a
fuant feirw, am *fod* y rhyfel oddi-
wrth Dduw; a hwy a drigasant

---

iau y gyntafanedigaeth yn cyraedd at raniad gwlad Canaan, yn gystal ag at raniad eiddo y tad.

Adn. 3—8. *Hanoch a Phalu, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 9. *Ac o du y dwyrain*] I'r Iorddonen a'r môr marw, y preswyliodd Bela a'i deuluoedd; *hyd y lle yr elir i'r anialwch*—sef anialwch Cedemoth, Deut. ii. 26. Yr oedd etifeddiaeth Reuben yn cyraedd at yr anialwch hwn, a'r anialwch yn cyraedd at yr Euphrates.

Adn. 10. *Ac yn nyddiau Saul y gwnaethant hwy ryfel*] A'r Gadiaid a'r Manassiaid yn eu cynorthwyo, adn. 18, &c.; *yn erbyn yr Hagariaid*—neu yr Ismaeliaid, hiliogaeth Abraham o Agar, y rhai a breswylient yn anialwch Arabia: gwel ar Gen. xvi. 10, &c. *A thrigasant yn eu pebyll hwynt*—sef yn mhebyll yr Hagariaid, y rhai a drigent mewn pebyll, ac a symudent o le i le, fel y byddai yr angen am borfa i'w hanifeiliaid.

Adn. 11—17. *A meibion Gad, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 18, 19. *Meibion Reuben, &c.*] Sef y ddau lwyth a hanner a breswylient o du y dwyrain i'r Iorddonen; a chan eu bod yno gyda'u gilydd, ac ar wahan oddiwrth y llwythau ereill, hwy a ymunasant mewn rhyfel yn erbyn yr Hagariaid a'u brodyr.

Adn. 20. *A chynorthwywyd hwynt yn erbyn y rhai hyny*] Gan yr Arglwydd, o herwydd iddynt lefain arno, a gobeithio yn hyderus yn ei allu, ei drugaredd, a'i ffyddlondeb i gyflawni ei addewidion.

Adn. 21. *O'u camelod hwynt ddeg mil a deugain*] Canys yr oedd y camelod yn lluosog iawn yn Arabia, ac yn cael eu defnyddio mewn rhyfeloedd, ac i gario beichiau, &c., trwy eu bod yn gallu byw yn well nag anifeiliaid ereill yn y wlad boeth a sych hòno. Ond dywed y LXX mai *pum mil* oedd nifer y camelod hyn.

Adn. 22. *Am fod y rhyfel oddiwrth Dduw*] Yn gosp am eu drygioni a'u heilunaddoliaeth. Gan fod yr Hagariaid bob amser yn genedl yspeilgar, diamau iddynt yn fynych ddrygu y ddau lwyth a hanner hyn, y rhai oeddynt ar eu terfynau; ac am hyny, ac am fod cwpan eu hanwiredd hwynt yn llawn, yr oedd yn gyf-

yn eu lle hwynt hyd y caethiwed.
23 ¶ A meibion hanner llwyth
Manasseh a drigasant yn y tir: o
Basan hyd Baal-hermon, a Senir, a
mynydd Hermon, yr aethant hwy
yn aml.
24 Y rhai hyn hefyd *oedd* benau
tŷ eu tadau, sef Epher, ac Isi, ac
Eliel, ac Azriel, a Jeremiah, a Ho-
dafiah, a Jadiel, gwŷr cedyrn o
nerth, gwŷr enwog, *a* phenau tŷ eu
tadau.
25 A hwy a droseddasant yn er-
byn Duw eu tadau, ac a buteinias-
ant ar ol duwiau pobl y wlad, y
rhai a ddinystriasai Duw o'u blaen
hwynt.
26 A Duw Israel a annogodd ys-
bryd Pul brenin Assyria, ac ysbryd
Tilgath-pilneser brenin Assyria, ac
a'u *caeth*-gludodd hwynt, (sef y Reu-
beniaid, a'r Gadiaid, a hanner
llwyth Manasseh,) ac a'u dyg hwynt
i Halah, a Habor, a Hara, ac i afon
Gozan, hyd y dydd hwn.

## PENNOD VI.

MEIBION Lefi; Gerson, Cohath,
a Merari.
2 A meibion Cohath; Amram,
Isar, a Hebron, ac Uzziel.
3 A phlant Amram; Aaron,
Moses, a Miriam: a meibion Aaron;
Nadab, ac Abihu, Eleazar, ac Ith-
amar.
4 ¶ Eleazar a genhedlodd Phi-
nees, Phinees a genhedlodd Abisua,
5 Ac Abisua a genhedlodd Buc-
ci, a Bucci a genhedlodd Uzzi,
6 Ac Uzzi a genhedlodd Zerahiah,
a Zerahiah a genhedlodd Meraioth.
7 Meraioth a genhedlodd Amar-
iah, ac Amariah a genhedlodd
Ahitub,
8 Ac Ahitub a genhedlodd Zadoc,
a Zadoc a genhedlodd Ahimaas,
9 Ac Ahimaas a genhedlodd Az-
ariah, ac Azariah a genhedlodd
Johanan,
10 A Johanan a genhedlodd Az-
ariah, (hwn oedd yn offeiriad yn y
tŷ a adeiladodd Solomon yn Jeru-
salem,)
11 Ac Azariah a genhedlodd Am-
ariah, ac Amariah a genhedlodd
Ahitub,
12 Ac Ahitub a genhedlodd Sa-
doc, a Sadoc a genhedlodd Salum,
13 A Salum a genhedlodd Hil-
ciah, a Hilciah a genhedlodd Az-
ariah,
14 Ac Azariah a genhedlodd Se-

---

iawn i Dduw dueddu a chynorthwyo plant Israel yn eu herbyn hwynt. *A hwy a drigasant yn eu lle hwynt hyd y caethiwed*—o ddyddiau Saul, adn. 10, hyd gaethgludiad y deg llwyth gan frenin Assyria, yr hyn oedd yspaid 334 o flynyddau.

Adn. 23. *A meibion hanner llwyth Manasse*] Ar ol son am feibion Reuben, adn. 3—10, ac wedi hyny am feibion Gad, adn. 11, &c., y mae yr hanesydd yn awr yn dyfod at feibion Manasse. *A drigasant yn y tir*—yn yr un tir a'r Reubeniaid a'r Gadiaid o du y dwyrain i'r Iorddonen. *O Basan hyd Baal hermon, &c.*—yn Basan y trigasant hwy gyntaf; ond, fel yr oeddynt yn amlhau, helaethent eu terfynau tua'r gogledd.

Adn. 24. *Gwŷr cedyrn o nerth*] Mewn corff a meddwl; *gwŷr enwog*—o ran eu cyfoeth, eu dylanwad, a'u parch.

Adn. 25. *A hwy a droseddasant yn erbyn Duw eu tadau*] Nid am yr Hagariaid y dywedir hyn, er fod hyny yn wir am danynt hwythau; ond am y ddau lwyth a hanner, fel y mae yn eglur oddiwrth yr adnod ganlynol. *Ac a buteiniasant ar ol duwiau pobl y wlad*—sef duwiau yr Ammoniaid a'r Hagariaid, y rhai a ddinystriasai Duw o'r wlad; hyny yw, aethant yn eilunaddolwyr fel hwythau, yr hyn sydd yn buteindra ysbrydol, ac yn cynwys yn aml buteindra cnawdol mewn ffordd o anrhydedd i rai o'u duwiau aflan. Syrthiodd llwythau ereill Israel i'r un pechod, ond meddylir i'r ddau lwyth a hanner hyn flaenu y lleill yn eu drygioni; ac am hyny hwynt-hwy a gaethgludwyd gyntaf o'u gwlad.

Adn. 26. *A Duw Israel a annogodd ysbryd Pul, &c.*] Tueddodd Duw feddwl y ddau frenin hyn i gaethgludo y ddau lwyth a hanner i Assyria, yn nghyda'r gweddill o'r deg llwyth, fel y cawsom hanes o'r blaen yn 2 Bren. xv. 29, a xvii. 6, &c. *Hyd y dydd hwn*—pryd yr oedd Ezra yn ysgrifenu; a gallwn chwanegu, eu bod heb ddychwelyd hyd heddyw.

PEN. VI. Adn. 1—9. *Meibion Lefi, Gerson, &c.*] Yr oedd yn fwy angenrheidiol i'r offeiriaid a'r Lefiaid gael eu hachau wedi eu cadw yn fanwl na neb o'r Israeliaid oddieithr Juda, am fod holl anrhydedd a breintiau eu swydd yn dibynu ar hyny. Felly ni a gawn i rai ag oeddynt yn feibion i offeiriaid, am nas gallent olrhain eu hachau o'r coflyfrau, gael eu bwrw allan o'r offeiriadaeth, a'u gwahardd i fwyta o'r pethau santaidd, Ezra ii. 62, 63.

Adn. 10. *Hwn oedd yn offeiriad yn y tŷ a adeiladodd Solomon*] Awgrymir yma nad oedd y tŷ hwnw mewn bod pryd yr oedd yr hanesydd yn ysgrifenu y geiriau hyn; ac os Ezra oedd yr ysgrifenydd, yr hyn sydd yn fwyaf tebyg, rhaid fod yr ail deml yn cael neu wedi cael ei hadeiladu ar y pryd.

raiah, a Seraiah a genhedlodd Jehosadac,
15 A Jehosadac a ymadawodd, pan *gaeth*-gludodd yr Arglwydd Judah a Jerusalem trwy law Nebuchodonosor.
16 ¶ Meibion Lefi; Gersom, Cohath, a Merari.
17 A dyma enwau meibion Gersom; Libni a Simei.
18 A meibion Cohath; Amram, ac Isar, a Hebron, ac Uzziel.
19 Meibion Merari; Mali, a Musi. A dyma dylwyth y Lefiaid, yn ol eu tadau.
20 ¶ I Gersom; Libni ei fab, Jahath ei fab yntau, Zimmah ei fab yntau,
21 Joah ei fab yntau, Ido ei fab yntau, Zerah ei fab yntau, *a* Jeaterai ei fab yntau.
22 Meibion Cohath; Aminadab ei fab ef, Corah ei fab yntau, Assir ei fab yntau,
23 Elcanah ei fab yntau, ac Ebiasaph ei fab yntau, ac Assir ei fab yntau,
24 Tahath ei fab yntau, Uriel ei fab yntau, Uzziah ei fab yntau, a Saul ei fab yntau.
25 A meibion Elcanah; Amasai, ac Ahimoth.
26 Elcanah: meibion Elcanah; Zophai ei fab ef, a Nahath ei fab yntau,
27 Eliab ei fab yntau, Jeroham ei fab yntau, Elcanah ei fab yntau.
28 A meibion Samuel; y cyntafanedig Fasni, yna Abiah.
29 ¶ Meibion Merari; Mali, Libni ei fab yntau, Simei ei fab yntau, Uzza ei fab yntau,
30 Simea ei fab yntau, Haggiah ei fab yntau, Asaiah ei fab yntau.
31 Y rhai hyn a osododd Dafydd yn gantorion *yn* nhŷ yr Arglwydd, ar ol gorphwys o'r arch.
32 A hwy a fuant weinidogion mewn cerdd o flaen tabernacl pabell y cyfarfod, nes adeiladu o Solomon dŷ yr Arglwydd yn Jerusalem: a hwy a safasant wrth eu defod yn eu gwasanaeth.
33 A dyma y rhai a weiniasant, a'u meibion hefyd: o feibion y Cohathiaid; Heman y cantor, mab Joel, fab Semuel,
34 Fab Elcanah, fab Jeroham, fab Eliel, fab Toah,
35 Fab Suph, fab Elcanah, fab Mahath, fab Amasai,
36 Fab Elcanah, fab Joel, fab Azariah, fab Sephaniah,
37 Fab Tahath, fab Assir, fab Ebiasaph, fab Corah,
38 Fab Isar, fab Cohath, fab Lefi, fab Israel.
39 A'i frawd Asaph, (yr hwn oedd yn sefyll ar ei law ddeau,) *sef* Asaph mab Berachiah, fab Simea,
40 Fab Michael, fab Baasiah, fab Malciah,
41 Fab Ethni, fab Zerah, fab Adaiah,
42 Fab Ethan, fab Zimmah, fab Simei,
43 Fab Jahath, fab Gersom, fab Lefi.
44 A'u brodyr hwynt, meibion Merari, *oedd* ar y llaw aswy: Ethan mab Cisi, fab Abdi, fab Maluc,
45 Fab Hasabiah, fab Amasiah, fab Hilciah,
46 Fab Amsi, fab Bani, fab Samer,
47 Fab Mali, fab Musi, fab Merari, fab Lefi.
48 A'u brodyr hwynt y Lefiaid

---

Adn. 11—14. *Ac Azariah a genhedlodd Seraiah, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 15. *A Jehosadac a ymadawodd*] Neu 'a aeth i gaethiwed,' ar yr un pryd ag y caethgludodd yr Arglwydd drigolion Juda a Jerusalem.

Adn. 16—27. *Meibion Lefi*] Y rhai nid oeddynt yn perthyn i'r offeiriadaeth: gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 28. *A meibion Samuel*] Canys yr oedd yntau o lwyth Lefi, 1 Sam. i. 1. *Y cyntafanedig Fasni*—yn 1 Sam. viii. 2, dywedir mai y cyntafanedig oedd *Joel*. Fe allai mai dau enw ar yr un dyn oedd *Joel* a *Fasni*. Ond tybia Clarke fod yr enw *Joel* wedi ei golli o'r testyn yn y lle hwn; a bod y gair *vesheni*, yr hwn a arwydda *yr ail*, ac a gyfeiria at *Abiah*, wedi cael ei wneuthur yma yn enw priodol, sef *Fasni*. Eithr y mae y Syriaeg a'r Arabaeg yn darllen y testyn fel yn 1 Sam. viii. 2.

Adn. 29, 30. *Meibion Merari*] Enwir dau fab i Merari yn adn. 19, sef *Mali* a *Musi*; eithr ni sonir yma ond am *Mali*, a hiliogaeth Merari yn ei linell ef.

Adn. 31, 32. *Y rhai hyn a osododd Dafydd yn gantorion*] I ganu mawl i'r Arglwydd â'u llais, ac âg offer cerdd; *yn nhŷ yr Arglwydd*—yn y babell a wnaed i'r arch yn Seion, dinas Dafydd, hyd nes yr adeiledid y

*oedd* gwedi eu rhoddi ar holl wasanaeth tabernacl tŷ Dduw.
49 ¶ Ond Aaron a'i feibion a
aberthasant ar allor y poeth-offrwm,
ac ar allor yr arogldarth, i *gyflawni*
holl wasanaeth y cysegr santeiddiolaf, ac i wneuthur cymmod dros
Israel, yn ol yr hyn oll a orchymynasai Moses gwas Duw.
50 Dyma hefyd feibion Aaron;
Eleazar ei fab ef, Phinees ei fab
yntau, Abisua ei fab yntau,
51 Bucci ei fab yntau, Uzzi ei
fab yntau, Zerahiah ei fab yntau,
52 Meraioth ei fab yntau, Amariah ei fab yntau, Ahitub ei fab
yntau,
53 Sadoc ei fab yntau, Ahimaas
ei fab yntau.
54 ¶ A dyma eu trigleoedd hwynt
yn eu palasau, yn eu terfynau; *sef*
meibion Aaron, o dylwyth y Cohathiaid: oblegid eiddynt hwy ydoedd y rhan hon.
55 A rhoddasant iddynt Hebron
yn ngwlad Judah, a'u maesydd
pentrefol o'i hamgylch.
56 Ond maesydd y ddinas, a'i
phentrefi, a roddasant hwy i Caleb
mab Jephunneh.
57 Ac i feibion Aaron y rhoddasant hwy ddinasoedd Judah, yn
noddfa; Hebron, a Libnah a'i maesydd pentrefol, a Jattir, ac Estemoa,
a'u maesydd pentrefol,
58 A Hilen a'i maesydd pentrefol, a Debir a'i maesydd pentrefol,
59 Ac Asan a'i maesydd pentrefol, a Bethsemes a'i maesydd pentrefol:
60 Ac o lwyth Benjamin; Geba
a'i maesydd pentrefol, ac Alemeth
a'i maesydd pentrefol, ac Anathoth
a'i maesydd pentrefol: eu holl ddinasoedd hwynt trwy eu teuluoedd
*oedd* dair dinas *ar* ddeg.
61 Ac i'r rhan arall o feibion Cohath o deulu y llwyth hwnw, *y
rhoddwyd* o'r hanner llwyth, *sef*
hanner Manasseh, ddeg dinas, wrth
goelbren.
62 *Rhoddasant* hefyd i feibion
Gersom trwy eu teuluoedd, o lwyth
Issachar, ac o lwyth Aser, ac o
lwyth Naphtali, ac o lwyth Manasseh yn Basan, dair *ar* ddeg o ddinasoedd.
63 I feibion Merari trwy eu teuluoedd, o lwyth Reuben, ac o lwyth
Gad, ac o lwyth Zabulon, *y rhoddasant* trwy goelbren ddeuddeg o
ddinasoedd.
64 A meibion Israel a roddasant
i'r Lefiaid y dinasoedd *hyn* a'u
maesydd pentrefol.
65 A hwy a roddasant trwy goelbren, o lwyth meibion Judah, ac o
lwyth meibion Simeon, ac o lwyth
meibion Benjamin, y dinasoedd hyn,
y rhai a alwasant hwy ar *eu* henwau *hwynt*.
66 *I'r rhai oedd* o deuluoedd
meibion Cohath, yr ydoedd dinasoedd eu terfyn, o lwyth Ephraim.
67 A hwy a roddasant iddynt hwy
ddinasoedd noddfa, *sef* Sichem a'i
maesydd pentrefol, yn mynydd
Ephraim; Gezer hefyd a'i maesydd pentrefol,
68 Jocmeam hefyd a'i maesydd
pentrefol, a Beth-horon a'i maesydd pentrefol,
69 Ac Ajalon a'i maesydd pentrefol, a Gathrimmon a'i maesydd
pentrefol.
70 Ac o hanner llwyth Manasseh;
Aner a'i maesydd pentrefol, a Bileam a'i maesydd pentrefol, i deulu y
rhai oedd yn ngweddill o feibion
Cohath.
71 I feibion Gersom o deulu hanner llwyth Manasseh *y rhoddwyd*

---

deml; *ar ol gorphwys o'r arch*—ar ol ei dwyn i dŷ Obed-edom, 2 Sam. vi. 17.

Adn. 33—47. *A dyma y rhai a weiniasant*] Fel cantorion. Meddylir fod *Heman*, y prif gantor, yn sefyll yn y canol; *Asaph* ar ei law ddeau, adn. 39; ac *Ethan* ar ei aswy, adn. 44.

Adn. 48. *A'u brodyr hwynt y Lefiaid*] Y rhai nid oeddynt o nifer y cantorion; *oedd gwedi eu rhoddi ar holl wasanaeth tabernacl tŷ Dduw*—rhai i ofalu am y dodrefn a'r llestri, ac ereill i ladd yr aberthau, eu blingo, a'u darnio, Num. iii. 6, &c.

Adn. 49—53. *Ond Aaron a'i feibion, &c.*] Yr oedd rhan benaf y wasanaeth yn perthyn iddynt hwy. Aaron yn unig, a'i olynwyr yn yr archoffeiriadaeth, a wnaent y *cymod*, ac a weinyddent yn y *cysegr santeiddiolaf;* a'i feibion ef, yr offeiriaid ereill, a aberthent ar allor y *poeth-offrwm*, ac a *arogldarthent*.

Adn. 54—59. *A dyma eu trigleoedd hwynt*] Sef trigleoedd yr offeiriaid a'r Lefiaid uchod, y rhai a roddwyd iddynt yn ngwahanol lwythau Israel: gwel ar Jos. xx a xxi.

Adn. 60. *Dair dinas ar ddeg*] O ba rai yr enwir yma unarddeg. Crybwyllir am ddwy

Golan yn Basan a'i maesydd pentrefol, Astaroth hefyd a'i maesydd pentrefol.
72 Ac o lwyth Issachar; Cedes a'i maesydd pentrefol, Daberath a'i maesydd pentrefol,
73 Ramoth hefyd a'i maesydd pentrefol, ac Anem a'i maesydd pentrefol.
74 Ac o lwyth Aser; Masal a'i maesydd pentrefol, ac Abdon a'i maesydd pentrefol,
75 Hucoc hefyd a'i maesydd pentrefol, a Rehob a'i maesydd pentrefol.
76 Ac o lwyth Naphtali; Cedes yn Galilee a'i maesydd pentrefol, Hammon hefyd a'i maesydd pentrefol, a Chiriathaim a'i maesydd pentrefol.
77 I'r rhan arall o feibion Merari *y rhoddwyd* o lwyth Zabulon, Rimmon a'i maesydd pentrefol, a Thabor a'i maesydd pentrefol.
78 Ac am yr Iorddonen a Jericho, *sef* o du dwyrain yr Iorddonen, *y rhoddwyd* o lwyth Reuben, Beser yn yr anialwch a'i maesydd pentrefol, Jasah hefyd a'i maesydd pentrefol,
79 Cedemoth hefyd a'i maesydd pentrefol, a Mephaath a'i maesydd pentrefol.
80 Ac o lwyth Gad, Ramoth yn Gilead a'i maesydd pentrefol, Mahanaim hefyd a'i maesydd pentrefol,
81 Hesbon hefyd a'i maesydd pentrefol, a Jazer a'i maesydd pentrefol.

## PENNOD VII.

A MEIBION Issachar *oedd*, Tola, a Phuah, Jasub, a Simron, pedwar.
2 A meibion Tola, Uzzi, a Rephaiah, a Jeriel, a Jamai, a Jibsam, a Semuel, penaethiaid ar dŷ eu tadau: o Tola yr *ydoedd* gwŷr cedyrn *o* nerth yn eu cenhedlaethau; eu rhif yn nyddiau Dafydd *oedd* ddwy fil ar hugain a chwe chant.
3 A meibion Uzzi; Izrahiah: a meibion Izrahiah; Michael ac Obadiah, a Joel, Isiah, pump: yn benaethiaid oll.
4 A chyda hwynt yn eu cenhedlaethau, *ac* yn ol tŷ eu tadau, *yr ydoedd* byddinoedd milwyr i ryfel, un fil ar bymtheg ar hugain: canys llawer oedd ganddynt o wragedd a meibion.
5 A'u brodyr cedyrn *o* nerth, o holl deuluoedd Issachar, a gyfrifwyd wrth eu hachau, yn saith mil a phedwar ugain *mil* oll.
6 ¶ *A meibion* Benjamin *oedd*, Bela, a Becher, a Jediael, tri.
7 A meibion Bela; Esbon, ac Uzzi, ac Uzziel, a Jerimoth, ac Iri; pump o benau tŷ *eu* tadau, cedyrn *o* nerth, a gyfrifwyd wrth eu hachau, yn ddwy fil ar hugain a phedwar ar ddeg ar hugain.
8 A meibion Becher *oedd*, Zemirah, a Joas, ac Eliezer, ac Elioenai, ac Omri, a Jerimoth, ac Abiah, ac Anathoth, ac Alemeth: y rhai hyn oll *oedd* feibion Becher.
9 A hwy a rifwyd wrth eu hachau, yn ol eu cenhedlaethau, yn ben-

---

ereill yn Jos. xxi. 16, 17, sef *Juttah* a *Gibeon;* ond dichon fod y rhai hyny wedi adfeilio, a myned yn annghyfanedd, pan ysgrifenwyd y llyfr hwn ar ol y dychweliad o Babilon.

Adn. 61—81. *Ac i'r rhan arall o feibion Cohath, &c.*] Gwel ar Jos. xxi, a Num. xxxii.

PEN. VII. Adn. 1. *A meibion Issacar—pedwar*] Yr un nifer ag yn Gen. xlvi. 13, ond fod *Jasub* yma yn cael ei alw *Job* yno: eithr yn Num. xxvi. 23, 24, ceir yr enwau yr un fath ag yma.

Adn. 2. *Eu rhif yn nyddiau Dafydd*] Pan y rhifodd Joab hwynt ar orchymyn Dafydd, 2 Sam. xxiv. 2.

Adn. 3. *A meibion Izrahiah—pump*] Nid oes ond pedwar yn cael eu henwi yn y testyn, a phedwar y cyfrifir hwynt yn y Syriaeg a'r Arabaeg. Ond os *pump* yw yr iawn ddarlleniad, rhaid fod Izrahiah yn cael ei gyfrif gyda'i bedwar mab, fel y dygwydda yn fynych.

Adn. 4. *Canys llawer oedd ganddynt o wragedd*] Sef llawer gan bob un; a chymhellid hwynt i amlwreica oddiar awydd i luosogi had Abraham yn ol yr addewid, yn fwy nag oddiar wyniau anianol.

Adn. 5. *Saith mil a phedwar ugain mil*] Dyma nifer yr holl ryfelwyr o feibion Issacar, yn cynwys y rhai a rifwyd o'r blaen yn adn. 2, 4.

Adn. 6. *A meibion Benjamin—tri*] Yr oeddynt yn ddeg, Gen. xlvi. 21; ac enwir pump o honynt pen. viii. 1, 2, eithr yma ni enwir ond tri, naill ai am mai y rhai hyn oeddynt enwocaf, neu am fod y teuluoedd ereill wedi diflanu.

Adn. 7. *Pump o benau tŷ eu tadau*] Neu brif ddynion yn eu teuluoedd, oll yn enwog am nerth a gwroldeb mewn rhyfel.

Adn. 8, 9. *Y rhai hyn oll oedd feibion*

au tŷ eu tadau, yn gedyrn *o* nerth,
yn ugain mil a dau cant.
10 A meibion Jediael; Bilhan:
a meibion Bilhan; Jeus, a Benja-
min, ac Ehud, a Chenaanah, a Ze-
than, a Tharsis, ac Ahisahar.
11 Y rhai hyn oll *oedd* feibion
Jediael, yn benau eu tadau, yn
gedyrn o nerth, yn myned allan
mewn llu i ryfel, yn ddwy fil ar
bymtheg a dau cant.
12 Suppim hefyd, a Huppim,
meibion Ir; Husim, meibion Aher.
13 ¶ Meibion Naphtali; Jasiel,
a Guni, a Geser, a Salum, meibion
Bilhah.
14 ¶ Meibion Manasseh; Asriel,
yr hwn a ymddyg *ei wraig: (ond* ei
ordderch-wraig o Syria a ymddyg
Machir tad Gilead:
15 A Machir a gymerodd yn
wraig *chwaer* Huppim a Suppim, ac
enw eu chwaer hwynt *oedd* Maach-
ah:) ac enw yr ail *mab* Salphaad:
ac i Salphaad yr oedd merched.
16 A Maachah gwraig Machir a
ymddyg fab, a hi a alwodd ei enw
ef Peres, ac enw ei frawd ef Seres,
a'i feibion ef *oedd*, Ulam, a Recem.
17 A meibion Ulam; Bedan.
Dyma feibion Gilead fab Machir,
fab Manasseh.
18 A Hammolecheth ei chwaer ef
a ymddyg Isod, ac Abiezer, a Ma-
halah.
19 A meibion Semida oedd, Ahi-
an, a Sechem, a Lici, ac Aniham.
20 ¶ A meibion Ephraim; Su-
thelah, a Bered ei fab ef, a Thahath
ei fab yntau, ac Eladah ei fab yn-
tau, a Thahath ei fab yntau,
21 ¶ A Zabad ei fab yntau, a
Suthelah ei fab yntau, ac Ezer, ac
Elead: a dynion Gath, y rhai a an-
wyd yn y tir, a'u lladdodd hwynt,
o herwydd dyfod o honynt i waered
i ddwyn eu hanifeiliaid hwynt.
22 Ac Ephraim eu tad a alarodd
ddyddiau lawer; a'i frodyr a ddaeth-
ant i'w gysuro ef.
23 ¶ A phan aeth efe at ei wraig,
hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar
fab; ac efe a alwodd ei enw ef Beri-
ah, am fod drygfyd yn ei dŷ ef.
24 (Seerah hefyd *oedd* ei ferch ef,
a hi a adeiladodd Beth-horon yr
isaf, a'r uchaf *hefyd,* ac Uzzen-
serah.)
25 A Rephah *oedd* ei fab ef, a
Reseph, a Thelah ei fab yntau, a
Thahan ei fab yntau,
26 Laadan ei fab yntau, Ammi-
hud ei fab yntau, Elisama ei fab
yntau,
27 Nun ei fab yntau, Josua ei
fab yntau.

---

*Becher*] Ail fab Benjamin; hyny yw, yr oeddynt oll yn feibion, ŵyrion, neu ddisgynyddion oddiwrth Becher, ac yn enwog am eu nerth i ryfel.

Adn. 10—12. *A meibion Jediael*] Trydydd mab Benjamin, adn. 6; hyny yw, disgynyddion oddiwrtho ef yn llinach Bilhan ei fab.

Adn. 13. *Meibion Naphtali*] Yr un nifer ag yn Gen. xlvi. 24, ond fod ychydig wahaniaeth yn yr enwau, am y rheswm a roddwyd yn y sylw ar adn. 8 o'r bennod hòno.

Adn. 14—19. *Meibion Manasse*] Gwel ar Num. xxvi. 29, &c.

Adn. 20. *Meibion Ephraim*] Mab ieuangaf Joseph: gwel ar Num. xxvi. 35—37.

Adn. 21. *A dynion Gath*] Sef y Philistiaid; *y rhai a anwyd yn y tir*—yn Gath yn llwyth Dan; neu ynte yn yr Aifft, lle yr oedd meibion Ephraim y pryd hyn, ac o'r lle y daethai y Philistiaid ar y cyntaf. *A'u lladdodd hwynt*—sef lladd meibion Ephraim. Nid oes son am hyn mewn un lle arall yn yr ysgrythyrau; eithr crybwyllir am dano gan yr hen ysgrifenwyr Iuddewig. Ymddengys i hyn gymeryd lle ychydig cyn teyrnasiad y brenin newydd a grybwyllir Exod. i. 8, 'yr hwn ni adnabuasai mo Joseph.' *O herwydd dyfod o honynt i waered i ddwyn eu hanifeiliaid hwynt*—tybia rhai mai meibion Ephraim a ddaethant o'r Aifft i Gath, i ddwyn anifeiliaid y Philistiaid, gan feddwl fod yr amser wedi dyfod pryd yr oeddynt i gael meddiant o Ganaan; ond y mae yn debycach mai gwŷr Gath a aethant i waered i'r Aifft, i ddwyn anifeiliaid meibion Ephraim, pryd y lladdasant eu perchenogion o herwydd iddynt geisio eu hattal.

Adn. 22. *Ac Ephraim eu tad a alarodd ddyddiau lawer*] Am farwolaeth ei fab a'i ŵyrion, fel y coffawyd yn yr adnod flaenorol. Tybia Dr. Lightfoot ac ereill fod *Zabad* yn frawd i Suthelah a grybwyllwyd adn. 20, ac yn ail fab i Ephraim; ac mai y Zabad hwn, yn nghyda'i dri mab, Suthelah, Ezzer, ac Elead, a laddwyd gan y Philistiaid uchod.

Adn. 23. *Ac efe a alwodd ei enw ef Beriah*] Yr hyn a arwydda 'mewn drygfyd;' *am fod drygfyd yn ei dŷ ef*—am iddo golli ei feibion ychydig cyn geni y mab hwn.

Adn. 24. *Seerah hefyd oedd ei ferch ef*] Nid merch uniongyrchiol Ephraim, eithr ei ŵyres, neu ei orŵyres ef; *a hi a adeiladodd Beth-horon*—yn Nghanaan, ar ol i Israel gael eu sefydlu yno: gwel ar Jos. x. 10.

Adn. 25—29. *A Rephah oedd ei fab ef*] Sef mab Beriah ond odid, am yr hwn y soniwyd ddiweddaf, adn. 23: gwel ar pen. ii. 5.

28 ¶ A'u meddiant a'u cyfanedd-
au *oedd*, Bethel a'i phentrefi, ac o
du y dwyrain Naaran, ac o du y
gorllewin Gezer a'i phentrefi; a
Sichem a'i phentrefi, hyd Gazah a'i
phentrefi:
29 Ac ar derfynau meibion Ma-
nasseh, Bethsean a'i phentrefi, Ta-
anach a'i phentrefi, Megido a'i
phentrefi, Dor a'i phentrefi. Meib-
ion Joseph mab Israel a drigasant
yn y rhai hyn.
30 ¶ Meibion Aser; Imnah, ac
Isuah, ac Isuai, a Beriah, a Serah
eu chwaer hwynt.
31 A meibion Beriah; Heber, a
Malchiel, hwn *yw* tad Birzafith.
32 A Heber a genhedlodd Japh-
let, a Somer, a Hotham, a Sua eu
chwaer hwynt.
33 A meibion Japhlet; Pasach,
a Bimhal, ac Asuath. Dyma feib-
ion Japhlet.
34 A meibion Samer; Ahi, a Ro-
gah, Jehubbah, ac Aram.
35 A mab ei frawd ef Helem;
Sophah, ac Imnah, a Seles, ac
Amal.
36 Meibion Sophah; Suah, a Har-
nepher, a Sual, a Beri, ac Imrah.
37 Beser, a Hod, a Samma, a
Silsah, ac Ithran, a Beera.
38 A meibion Jether; Jephun-
neh, Pispah, ac Ara.
39 A meibion Ula; Arah, a Ha-
niel, a Resia.
40 Y rhai hyn oll *oedd* feibion
Aser, penau *eu* cenedl, yn ddewis
wŷr o nerth, yn benau capteniaid.
A'r cyfrif trwy eu hachau o wŷr i
ryfel, *oedd* chwe mil ar hugain o
wŷr.

## PENNOD VIII.

BENJAMIN hefyd a genhedlodd
Bela ei gyntafanedig, Asbel yr
ail, ac Aharah y trydydd,
2 Nohah y pedwarydd, a Rapha
y pummed.
3 A meibion Bela oedd, Adar, a
Gera, ac Abihud,
4 Ac Abisua, a Naaman, ac Ahoah,
5 A Gera, a Sephuphan, a Huram.
6 Dyma hefyd feibion Ehud;
dyma hwynt penau cenedl preswyl-
wyr Geba, a hwy a'u mudasant
hwynt i Manahath:
7 Naaman hefyd, ac Ahiah, a
Gera, efe a'u symudodd hwynt, ac
a genhedlodd Uzza, ac Ahihud.
8 Cenhedlodd hefyd Saharaim yn
ngwlad Moab, gwedi eu gollwng
hwynt ymaith: Husim a Baara *oedd*
ei wragedd.
9 Ac efe a genhedlodd o Hodes
ei wraig, Jobab, a Sibia, a Mesa, a
Malcham,
10 A Jeus, a Sabiah, a Mirmah.
Dyma ei feibion ef, penau cenedl.
11 Ac o Husim efe a genhedlodd
Ahitub, ac Elpaal.
12 A meibion Elpaal *oedd*, Eder,
a Misam, a Samed, yr hwn a ad-

---

Adn. 30—40. *Meibion Aser*] Gwel ar Gen. xlvi. 17, Num. xxvi. 44—47. *A Serah eu chwaer hwynt*—pur anfynych y ceir *benywod* yn yr achau Iuddewig; ac ni ddodid hwynt un amser i mewn heb ryw reswm arbenig. Dywed y rabbiniaid fod merched Asser yn brydferth iawn, ac iddynt oll briodi â brenhinoedd neu offeiriaid.

PEN. VIII. Adn. 1—5. *Benjamin hefyd a genhedlodd Bela*] Felly hefyd y gelwir y cyntafanedig hwn gan Moses, Gen. xlvi. 21: ond y mae enwau y lleill yn gwahaniaethu oddiwrth y rhai a grybwyllir gan Moses. Gan hyny rhaid mai ŵyrion Benjamin oedd y rhai hyn, neu ynte fod dau neu chwaneg o enwau yn perthyn i'r un dyn. Efe a soniasai o'r blaen am y llwyth hwn, pen. vii. 6; ond yma sonir am dano drachefn, a hyny yn fanylach; mewn rhan er mwyn Saul, yr hwn oedd o lwyth Benjamin; ac mewn rhan am i'r llwyth hwn ymlynu wrth Dafydd a brenhiniaeth Juda, a chael eu caethgludo gyda Juda i Babilon.

Adn. 6, 7. *Dyma hefyd feibion Ehud*] Yr un ag Ehwd, ail farnwr Israel, fel y tybia rhai, Barn. iii. 15. *A hwy a'u mudasant hwynt i Manahath*—hyny yw, symudwyd preswylwyr Geba i Manahath, am nad oedd digon o le iddynt yn Geba ond odid.

Adn. 8. *Cenhedlodd hefyd Saharaim*] Hyny yw, Ehud a genhedlodd Saharaim, yn chwanegol at y rhai a grybwyllwyd adn. 7. Ond yn ol ySaesonaeg, 'Saharaim a genhedlodd *blant* yn ngwlad Moab.' *Gwedi eu gollwng hwynt ymaith*—hyny yw, yn ol rhai, wedi mudo preswylwyr Geba ymaith, adn. 6, 7; neu, yn ol ereill, wedi iddo ollwng ei wragedd ymaith trwy ysgariad, a phriodi gwraig arall. *Husim a Baara oedd ei wragedd*—oedd gwragedd Ehud, yn ol y Gymraeg; a gwragedd Saharaim, yn ol y Saesonaeg.

Adn. 9, 10. *Ac efe a genhedlodd o Hodes ei wraig*] Dywed y *Targum* mai enw arall ar *Baara* oedd *Hodes*; a'i bod yn cael ei galw felly am i'w gŵr ei phriodi hi drachefn ar ol ei hysgaru.

eiladodd Ono, a Lod a'i phentrefi.
13 Beriah hefyd, a Sema, *oedd*
benau cenedl preswylwyr Ajalon;
y rhai a ymlidiasant drigolion Gath.
14 Ahio hefyd, Sasac, a Jerimoth,
15 Zebadiah hefyd, ac Arad, ac
Ader,
16 Michael hefyd, ac Ispah, a
Joha, meibion Beriah;
17 Zebadiah hefyd, a Mesulam,
a Hezeci, a Heber,
18 Ismerai hefyd, a Jezliah, a
Jobab, meibion Elpaal;
19 Jacim hefyd, a Zichri, a Sabdi,
20 Elienai hefyd, a Silthai, ac
Elïel,
21 Adaiah hefyd, a Beraiah, a
Simrath, meibion Simhi;
22 Ispan hefyd, a Heber, ac Elïel,
23 Abdon hefyd, a Zichri, a
Hanan,
24 Hananiah hefyd, ac Elam, ac
Antothiah,
25 Iphedeiah hefyd, a Phenuel,
meibion Sasac;
26 Samserai hefyd, a Sehariah,
ac Athaliah,
27 Jaresiah hefyd, ac Elïah, a
Zichri, meibion Jehoram.
28 Y rhai hyn *oedd* benau cenedl,
*sef* penaethiaid ar eu cenhedlaethau.
Y rhai hyn a gyfaneddasant yn
Jerusalem.
29 Yn Gibeon hefyd y preswyl-
iodd tad Gibeon, ac enw ei wraig ef
*oedd* Maachah.
30 Ac Abdon ei fab cyntafanedig
ef, Sur hefyd, a Chis, a Baal, a
Nadab,
31 Gedor hefyd, ac Ahio, a Za-
cher.
32 Micloth hefyd a genhedlodd
Simeah: y rhai hyn hefyd, ar gyfer
eu brodyr, a breswyliasant yn Je-
rusalem gyda'u brodyr.
33 ¶ Ner hefyd a genhedlodd Cis,
a Chis a genhedlodd Saul, a Saul a
genhedlodd Jonathan, a Malchisua,
ac Abinadab, ac Esbaal.
34 A mab Jonathan *oedd* Merib-
baal; a Meribbaal a genhedlodd
Michah.
35 A meibion Michah; Pithon,
a Melech, a Tharea, ac Ahaz.
36 Ac Ahaz a genhedlodd Jeho-
adah, a Jehoadah a genhedlodd
Alemeth, ac Azmefeth, a Zimri: a
Zimri a genhedlodd Mosa,
37 A Mosa a genhedlodd Bineah:
a Rapha *oedd* ei fab ef, Eleasah ei
fab yntau, Asel ei fab yntau.
38 Ac i Asel *y bu* chwech o feib-
ion, a dyma eu henwau hwynt, Az-
ricam, Bocheru, ac Ismael, a Sear-
iah, ac Obadiah, a Hanan. Y rhai
hyn oll *oedd* feibion Asel.
39 A meibion Esec ei frawd ef
*oedd*, Ulam ei gyntafanedig ef, Je-
hus yr ail, ac Eliphelet y trydydd.
40 A meibion Ulam oedd ddynion
cedyrn o nerth, yn saethyddion, ac
yn aml eu meibion a'u hŵyrion, *sef*
cant a deg a deugain. Y rhai hyn
oll *oedd* o feibion Benjamin.

---

Adn. 11. *Ac o Husim*] Os gollyngodd ei gŵr hon ymaith, fel y dywed rhai, adn. 8, rhaid ei fod wedi ail briodi hon hefyd, neu fod y ddau fab a enwir yma wedi eu cenhedlu cyn ei hysgaru hi.

Adn. 12. *A meibion Elpaal, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 13. *Y rhai a ymlidiasant drigolion Gath*] Yn debygol am yr hyn a wnaethant hwy i feibion Ephraim, pen. vii. 21.

Adn. 14—27. *Ahio hefyd, Sasac, &c.*] Y rhai hyn oll oeddynt hiliogaeth Benjamin, ac yn brif ddynion yn eu teuluoedd o oes i oes.

Adn. 28. *Y rhai hyn a gyfaneddasant yn Jerusalem*] Am fod rhan o'r ddinas hòno yn perthyn i lwyth Benjamin: gwel ar Jos. xv. 63, a xviii. 28.

Adn. 29—32. *Yn Gibeon hefyd y preswyliodd tad Gibeon, &c.*] Enw yr hwn oedd *Jehiel*, pen. ix. 35. Y mae yr adnodau hyn, hyd ddiwedd adn. 38, i'w canfod drachefn yn pen. ix. 35—44, gydag ychydig amrywiaeth mewn rhai o'r enwau. Dywed yr rabbiniaid i Ezra gael dwy restr o'r enwau hyn, gydag ychydig wahaniaeth yn yr enwau; a chan na wyddai efe yn iawn pa un oedd gywiraf, ddarfod iddo farnu yn ddoethach osod y ddwy restr i lawr.

Adn. 33. *Ner hefyd a genhedlodd Cis*] Tad Saul, brenin cyntaf Israel: gwel ar 1 Sam. ix. 1.

Adn. 34—38. *A mab Jonathan oedd Merib-baal*] Yr un a *Mephiboseth*, yr hwn oedd yn gloff o'i draed, 2 Sam. iv. 4. Y mae yr enw cyntaf, *Merib-baal*, yn arwyddo un yn 'gwrthsefyll Baal;' a *Mephiboseth*, 'cywilydd' neu 'ddinystr i eilunod.'

Adn. 39. *A meibion Esec ei frawd ef*] Sef brawd Asel, am yr hwn y soniwyd ddiweddaf.

Adn. 40. *A meibion Ulam*] Y rhai hyn oll o adn. 34, hyd ddiwedd y bennod, oeddynt hiliogaeth Mephiboseth, mab Jonathan cyfaill Dafydd; ac er fod eu cyndad yn gloff a musgrell, yr oeddynt hwy oll yn gedyrn o nerth, ac yn saethyddion enwog fel yr holl Benjaminiaid.

## PENNOD IX.

A HOLL Israel a rifwyd wrth eu hachau, ac wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Judah; a hwy a *gaeth*-gludwyd i Babilon am eu camwedd.

2 ¶ Y trigolion cyntaf hefyd *y rhai oedd* yn eu hetifeddiaeth yn eu dinasoedd *oedd*, yr Israeliaid, yr offeiriaid, y Lefiaid, a'r Nethiniaid.

3 Ac yn Jerusalem y trigodd *rhai* o feibion Judah, ac o feibion Benjamin, ac o feibion Ephraim, a Manasseh:

4 Uthai mab Ammihud, fab Omri, fab Imri, fab Bani, o feibion Phares fab Judah.

5 Ac o'r Siloniaid; Asaiah y cyntafanedig, a'i feibion.

6 Ac o feibion Zerah; Jeuel, a'u brodyr, chwe chant a deg a phedwar ugain.

7 Ac o feibion Benjamin; Salu mab Mesulam, fab Hodafiah, fab Hasenuah,

8 Ibneiah hefyd mab Jeroham, ac Elah mab Uzzi, fab Michri, a Mesulam mab Sephatiah, fab Reuel, fab Ibnijah;

9 A'u brodyr yn ol eu cenhedlaethau, naw cant a deg a deugain a chwech. Y dynion hyn oll *oedd* benau cenedl ar dŷ eu tadau.

10 ¶ Ac o'r offeiriaid; Jedaiah, a Jehoiarib, a Jachin,

11 Azariah hefyd mab Hilciah, fab Mesulam, fab Sadoc, fab Meraioth, fab Ahitub, tywysog tŷ Dduw;

12 Adaiah hefyd mab Jeroham, fab Passur, fab Malchiah; a Maasia, mab Adiel, fab Jazerah, fab Mesulam, fab Mesilemith, fab Immer.

13 A'u brodyr, penaf ar dŷ eu tadau, yn fil a saith cant a thriugain; yn wŷr galluog o nerth i waith gwasanaeth tŷ Dduw.

14 Ac o'r Lefiaid; Semaiah mab Hasub, fab Azricam, fab Hasabiah, o feibion Merari,

15 Bacbaccar hefyd, Heres, a Galal, a Mattaniah mab Michah, fab Zichri, fab Asaph;

16 Obadiah hefyd mab Semaiah, fab Galal, fab Jeduthun; a Berechia mab Asa, fab Elcanah, yr hwn a drigodd yn nhrefydd y Netophathiaid.

17 Y porthorion hefyd *oedd*, Salum, ac Accub, a Thalmon, ac Ahiman, a'u brodyr: Salum *ydoedd* benaf;

---

PEN. IX. Adn. 1. *A holl Israel a rifwyd wrth eu hachau*] Nid yn awr, eithr yn amser Dafydd, 2 Sam. xxiv. 2; *ac wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Juda*—gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29; *a hwy a gaethgludwyd i Babilon*—hyny yw, caethgludwyd gwŷr Juda a Benjamin yno, yn nghyda rhai o'r llwythau ereill ag oeddynt wedi ymgymysgu â hwynt er mwyn gwasanaeth y deml yn Jerusalem; *am eu camwedd*—fel y gwelsom yn 2 Bren. xxiv a xxv.

Adn. 2. *Y trigolion cyntaf hefyd*] Y rhai a ddychwelasant gyntaf o Babilon ar ol eu caethiwed, ac a gymerasant eu hetifeddiaeth gyntaf yn eu gwahanol ddinasoedd; *yr Israeliaid*—sef pobl gyffredin Juda a Benjamin, yn nghydag ereill o lwythau Ephraim, Manasse, &c., adn. 3; *yr offeiriaid*—o hiliogaeth Aaron; *y Lefiaid*—gweision cynorthwyol yr offeiriaid; *a'r Nethiniaid*—hiliogaeth yr hen Gibeoniaid, yn nghydag ereill yn yr un swydd a hwynt, y rhai a roddesid yn weision i'r offeiriaid a'r Lefiaid, Jos. ix. 23, &c.

Adn. 3. *Ac yn Jerusalem y trigodd rhai o feibion Juda ac o feibion Benjamin*] Y rhai a feddent hawl wreiddiol ynddi; *ac o feibion Ephraim a Manasse*—y rhai a gaethgludesid gyda hwynt, ac yn awr a ddychwelasant ar yr un pryd o Babilon. Fe allai i lawer o'r deg llwyth ddychwelyd yr un pryd o Assyria hefyd; canys cyhoeddasai Cyrus ryddid i'r Iuddewon yn mhob rhan o'i lywodraeth, yr hon a gyrhaeddai i Assyria yn gystal ag i Babilon a Chaldea. Gallwn feddwl i lawer o'r deg llwyth encilio at Juda a Benjamin pryd y sefydlodd Jeroboam addoliad y lloi aur yn ei deyrnas ef, neu pryd y gwarchaewyd ar Samaria gan frenin Assyria, y rhai a gaethgludwyd i Babilon gyda gwŷr Juda a Benjamin, ac a ddychwelasant yn awr gyda hwy, ac a sefydlwyd trwy goelbren yn ninas Jerusalem, Neh. xi. 1, &c.

Adn. 4—10. *Uthai mab Ammihud, &c.*] Y mae y rhestr yma yn lled debyg i'r rhai a geir yn *Ezra* a *Nehemiah*, ac yn cynwys y rhai a ddychwelasant i Jerusalem *gyntaf*, adn. 2; eithr y mae y rhestr yn Nehemiah xi yn helaethach, am y cynwysa ond odid y rhai a ddaethant i Jerusalem *wedi hyny*, ac a drigasant yno yn lle y rhai a enwir yma, neu gyda hwynt. Ac am y gwahaniaeth mewn rhai o'r enwau ni ddylem ryfeddu, pan yr ystyriom fod yn arferiad gan yr Iuddewon roddi dau enw yn fynych i'r un dyn, a chynanu a sillebu yr un enw yn wahanol.

Adn. 11. *Tywysog tŷ Dduw*] Neu y *sagan*, yr hwn oedd raglaw i'r archoffeiriad, a'r swyddog nesaf ato ef: gwel ar 2 Bren. xxv. 18.

Adn. 12—19. *Adariah hefyd, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

18 A hyd yn hyn yn mhorth y
brenin o du y dwyrain. Y rhai
hyn o finteioedd meibion Lefi *oedd*
borthorion.
19 Salum hefyd mab Core, fab
Ebiasaph, fab Corah, a'r Corahiaid
ei frodyr ef o dylwyth ei dad, *oedd*
ar waith y weinidogaeth, yn cadw
pyrth y babell: a'u tadau hwynt
ar lu yr Arglwydd, *oedd* yn cadw
y ddyfodfa i mewn.
20 Phinees hefyd mab Eleazar a
fuasai dywysog arnynt hwy o'r
blaen; a'r Arglwydd *ydoedd* gydag
ef.
21 Zechariah mab Meselemiah
*ydoedd* borthor drws pabell y cyf-
arfod.
22 Hwynt oll *y rhai* a etholasid
yn borthorion wrth y rhiniogau,
*oedd* ddau cant a deuddeg. Hwynt-
hwy yn eu trefydd a rifwyd wrth
eu hachau; gosodasai Dafydd a
Samuel y gweledydd y rhai hyny
yn eu swydd.
23 Felly hwynt a'u meibion *a saf-
ent* wrth byrth tŷ yr Arglwydd, *sef*
tŷ y babell, i wylied wrth wyliad-
wriaethau.
24 Y porthorion oedd ar bedwar
o fanau, dwyrain, gorllewin, gog-
ledd, a deau.
25 A'u brodyr, *y rhai oedd* yn eu
trefydd, *oedd* i ddyfod ar y seithfed
dydd, o amser i amser, gyda hwynt.
26 Canys dan lywodraeth y Lef-
iaid hyn, y pedwar pen porthor, yr
oedd yr ystafelloedd a thrysorau
tŷ Dduw.
27 ¶ Ac o amgylch tŷ Dduw y
lletyent hwy, canys arnynt hwy *yr
oedd* yr oruchwyliaeth, ac arnynt
hwy hefyd *yr oedd* ei agoryd o fore
i fore.
28 Ac o honynt hwy *yr oedd gol-
ygwyr* ar lestri y weinidogaeth, ac
mewn rhif y dygent hwynt i mewn,
ac mewn rhif y dygent hwynt allan.
29 A *rhai* o honynt hefyd *oedd*
wedi eu gosod ar y llestri, ac ar
holl ddodrefn y cysegr, ac ar y
peillied, a'r gwin, a'r olew, a'r
thus, a'r aroglau peraidd.
30 *Rhai* hefyd o feibion yr offeir-
iaid *oedd* yn gwneuthur enaint o'r
aroglau peraidd.
31 A Mattithiah *un* o'r Lefiaid, (yr
hwn *oedd* gyntafanedig Salum y
Corahiad,) *ydoedd* mewn swydd ar
waith y radell.
32 Ac *ereill* o feibion y Cohath-
iaid eu brodyr hwynt, *oedd* ar y
bara gosod, i'*w* ddarparu bob sab-
both.

---

Adn. 20—23. *Phinees—fuasai dywysog arnynt hwy o'r blaen*] Sef ar y Lefiaid uchod, llu yr Arglwydd, y rhai a gadwent y ddyfodfa i mewn i'r babell gynt yn yr anialwch; *a'r Arglwydd ydoedd gydag ef*—i'w gynorthwyo a'i fendithio yn y cyflawniad o'i swydd. Crybwyllir hyn er calondid i'r rhai oedd yn yr un swydd yn awr.

Adn. 24. *Y porthorion oedd ar bedwar o fanau*] Gwel ar adn. 26, a pen. xxvi. 13, &c.

Adn. 25. *A'u brodyr y rhai oedd yn eu trefydd*] Sef y Lefiaid ereill ag oeddynt borthorion, y rhai a breswylient yn y dinasoedd a roddesid iddynt yn y gwahanol lwythau; *oedd i ddyfod ar y seithfed dydd*—o'u trefydd yn y wlad, i gyflawni wythnos eu gwyliadwriaeth yn y cysegr. Yr oedd y cylch neu y dosbarth newydd yn dechreu ar eu gorchwyl bob bore sabboth o amser i amser, ac nid âi yr hen gylch allan hyd ddiwedd y sabboth; ac felly yr oedd y ddau gylch yn gweithredu gyda'u gilydd am y sabboth.

Adn. 26. *Canys dan lywodraeth y Lefiaid hyn*] Sef y pedwar pen porthor, y rhai a edrychent ar ol y 212 o borthorion ereill, adn. 22; *yr oedd yr ystafelloedd a thrysorau tŷ Dduw*—yn y rhai yr oedd y llestri cysegredig, i'w cadw yn ofalus rhag i neb ladrata dim o honynt.

Adn. 27. *Ac o amgylch tŷ Dduw y lletyent hwy*] Ni oddefid iddynt hwy drigo mewn trefydd fel eu brodyr, adn. 25, ond yr oedd yn rhaid iddynt letya yn wastadol mewn ystafelloedd o amgylch y cysegr, fel y byddent yn agos i'w gwaith; *canys arnynt hwy yr oedd yr oruchwyliaeth*—eu gwaith hwy oedd edrych fod yr îs-borthorion yn gwneyd eu gwaith yn iawn; *ac arnynt hwy yr oedd ei agoryd*—sef agor pyrth y cysegr bob bore, a'u cau bob hwyr, neu orchymyn i hyny gael ei wneyd.

Adn. 28. *Ar lestri y weinidogaeth*] Y rhai a ddefnyddiai yr offeiriaid yn eu gwasanaeth gyda'r aberthau, &c.; *ac mewn rhif y dygent hwynt i mewn*—gan eu cyfrif yn ofalus, pan orphenai yr offeiriaid â hwynt, a phan fyddai arnynt eu heisiau drachefn.

Adn. 29. *Ar y llestri*] Y rhai a ddefnyddid o fewn y cysegr, ac yn wahanol i'r rhai a ddefnyddid yn y cyntedd gyda'r aberthau, adn. 28; *ac ar y peillied, &c.*—o ba rai y gwneid y bwyd-offrymau, y diod-offrymau, yr arogldarth, &c.

Adn. 30. *Rhai hefyd o feibion yr offeiriaid oedd yn gwneuthur enaint*] Chwanegir hyn i ddangos, er fod cadwraeth yr aroglau peraidd yn cael ei ymddiried i'r Lefiaid, eto nas gallai neb ond yr offeiriaid wneyd yr enaint santaidd o honynt dan boen marwolaeth, Exod. xxx. 34—38.

33 A dyma y cantorion, penau cenedl y Lefiaid, *y rhai oedd* mewn ystafelloedd yn ysgyfala; o herwydd arnynt *yr oedd* y gwaith *hwnw* ddydd a nos.

34 Dyma benau cenedl y Lefiaid, penau trwy eu cenhedlaethau: hwy a drigent yn Jerusalem.

35 ¶ Ac yn Gibeon y trigodd tad Gibeon, Jehiel, ac enw ei wraig ef *oedd* Maachah:

36 A'i fab cyntafanedig ef *oedd* Abdon, yna Sur, a Chis, a Baal, a Ner, a Nadab,

37 A Gedor, ac Ahio, a Zechariah, a Micloth.

38 A Micloth a genhedlodd Simeam: a hwythau hefyd, ar gyfer eu brodyr, a drigasant yn Jerusalem gyda'u brodyr.

39 Ner hefyd a genhedlodd Cis, a Chis a genhedlodd Saul, a Saul a genhedlodd Jonathan, a Malchisua, ac Abinadab, ac Esbaal.

40 A mab Jonathan *oedd* Meribbaal; a Meribbaal a genhedlodd Michah.

41 A meibion Michah *oedd*, Pithon, a Melech, a Tharea, *ac Ahaz.*

42 Ac Ahaz a genhedlodd Jarah, a Jarah a genhedlodd Alemeth, ac Azmefeth, a Zimri; a Zimri hefyd a genhedlodd Mosa:

43 A Mosa a genhedlodd Bineah; a Rephaiah *oedd* ei fab ef, Elasah ei fab yntau, Asel ei fab yntau.

44 Ac i Asel *yr ydoedd* chwech o feibion, a dyma eu henwau hwynt; Azricam, Bocheru, ac Ismael, a Seariah, ac Obadiah, a Hanan. Dyma feibion Asel.

## PENNOD X.

A'R Philistiaid a ryfelasant yn erbyn Israel, a ffôdd gwŷr Israel o flaen y Philistiaid, ac a gwympasant yn archolledig yn mynydd Gilboa.

2 A'r Philistiaid a erlidiasant ar ol Saul, ac ar ol ei feibion: a'r Philistiaid a laddasant Jonathan, ac Abinadab, a Malchisua, meibion Saul.

3 A'r rhyfel a drymhaodd yn erbyn Saul, a'r perchen bwäau a'i cawsant ef, ac efe a archollwyd gan y saethyddion.

4 Yna y dywedodd Saul wrth yr hwn oedd yn dwyn ei arfau ef, Tyn dy gleddyf, a gwân fi âg ef, rhag dyfod y rhai dienwaededig hyn a'm gwatwar i. Ond arweinydd ei arfau ef nis gwnai, canys ofnodd yn ddirfawr. Yna y cymerth Saul gleddyf, ac a syrthiodd arno.

5 A phan welodd arweinydd ei arfau ef farw o Saul, syrthiodd yntau hefyd ar y cleddyf, ac a fu farw.

6 Felly y bu farw Saul, a'i dri mab ef, a'i holl dylwyth a fuant feirw yn nghyd.

7 A phan welodd holl wŷr Israel,

---

Adn. 31. *Ar waith y radell*] I wneyd teisenau at y bwyd-offrymau.

Adn. 32. *Bara gosod*] Gwel ar Exod. xxv. 30, a Lef. xxiv. 5—9.

Adn. 33. *A dyma y cantorion*] Perthynol i'r cysegr, y rhai a gyfansoddent ac a ganent salmau, emynau, a thônau, ac a addysgent ereill i'w canu; *y rhai oedd mewn ystafelloedd*—o amgylch y deml, fel y gallent fod yn agos at eu gwaith bob amser; *yn ysgyfala*—cyfarfyddasom â'r gair hwn o'r blaen yn Barn. viii. 11, lle yr arwydda ond odid ddifaterwch neu anwyliadwriaeth; eithr ei ystyr yma yw bod yn *rhydd* oddiwrth bob trafferth neu orchwyl arall, ac oddiwrth bob toll, teyrnged, a threth, Ezra vii. 24, fel ag i allu rhoddi eu holl amser at eu gwaith. *O herwydd arnynt yr oedd y gwaith hwnw*—nid ar yr un rhai, ond ar ddosbeirth gwahanol, y rhai a ymgymerent â'r gwaith bob yn ail, pen. xxv. 8; *ddydd a nos*—yn barhaus; ac yn enwedig fore a hwyr, ar amser y ddwy wasanaeth. Yr oedd hyn yn dangos fod Duw yn haeddu ei foliannu yn wastadol, ac hefyd yn gysgod o'r nef, lle y maent yn ei foliannu ac yn ei wasanaethu ef ddydd a nos, Dat. iv. 8, a vii. 15.

Adn. 34. *Hwy a drigent yn Jerusalem*] Heb fyned ar gylch i'w trefydd yn y wlad, fel yr âi y Lefiaid cyffredin.

Adn. 35—44. *Ac yn Gibeon y trigodd tad Gibeon*] Sef tad trigolion Gibeon, y rhai a lywodraethid ganddo ef fel penaeth y lle, a henafiad llawer o honynt. Dinas yn llwyth Benjamin oedd Gibeon, Jos. xviii. 25. *Jehiel*—dyma ei enw ef; *ac enw ei wraig ef oedd Maachah*—Heb. *achotho*, 'enw ei CHWAER ef oedd Maachah.' Ond y mae yr holl brif gyfieithiadau, a'r lle cyfredol yn pen. viii, yn darllen 'ei WRAIG,' fel y Gymraeg. Y mae yn dra thebyg mai gwall o eiddo rhyw adysgrifenydd boreol ydoedd; canys *un lythyren* a wna yr holl wahaniaeth: os ysgrifenir y gair â *cheth*, gwna CHWAER; ond os â *shin*, gwna WRAIG. Gwel ar pen. viii. 29—40.

PEN. X. Adn. 1—12. *A'r Philistiaid a ryfelasant yn erbyn Israel, &c.*] Cawsom yr hanes yma o'r blaen, bron yn yr un geiriau,

y rhai *oedd* yn y dyffryn, ffoi o honynt hwy, a marw Saul a'i feibion; hwy a ymadawsant o'u dinasoedd, ac a ffoisant; a'r Philistiaid a ddaethant, ac a drigasant ynddynt.

8 ¶ A thranoeth pan ddaeth y Philistiaid i ddiosg y lladdedigion, hwy a gawsant Saul a'i feibion yn feirw yn mynydd Gilboa.

9 Ac wedi iddynt ei ddiosg, hwy a gymerasant ei ben ef, a'i arfau, ac a anfonasant i wlad y Philistiaid o amgylch, i ddangos i'w delwau, ac i'r bobl.

10 A hwy a osodasant ei arfau ef yn nhŷ eu duwiau, a'i benglog a grogasant hwy yn nhŷ Dagon.

11 ¶ A phan glybu holl Jabes Gilead yr hyn oll a wnaethai y Philistiaid i Saul,

12 Pob gŵr nerthol a godasant, ac a gymerasant ymaith gorff Saul, a chyrff ei feibion ef, ac a'u dygasant i Jabes, ac a gladdasant eu hesgyrn hwynt dan y dderwen yn Jabes, ac a ymprydiasant saith niwrnod.

13 ¶ Felly y bu farw Saul, am ei gamwedd a wnaethai efe yn erbyn yr Arglwydd, *sef* yn erbyn gair yr Arglwydd yr hwn ni chadwasai efe, ac am iddo ymgynghori â dewines, i ymofyn *â hi:*

14 Ac heb ymgynghori â'r Arglwydd: am hyny y lladdodd efe ef, ac y trôdd y frenhiniaeth i Dafydd mab Jesse.

## PENNOD XI.

YNA holl Israel a ymgasglasant at Dafydd i Hebron, gan ddywedyd, Wele, dy asgwrn a'th gnawd di ydym ni.

2 Doe hefyd, ac echdoe, pan ydoedd Saul yn frenin, tydi *oedd* yn arwain Israel i mewn ac allan: a dywedodd yr Arglwydd dy Dduw wrthyt, Ti a borthi fy mhobl Israel, a thi a fyddi dywysog ar fy mhobl Israel.

3 A holl henuriaid Israel a ddaethant at y brenin i Hebron, a Dafydd a wnaeth gyfammod â hwynt yn Hebron, gerbron yr Arglwydd; a hwy a eneiniasant Dafydd yn frenin ar Israel, yn ol gair yr Arglwydd trwy law Samuel.

4 ¶ A Dafydd a holl Israel a aeth i Jerusalem, hon *yw* Jebus, ac yno y Jebusiaid *oedd* drigolion y tir.

5 A thrigolion Jebus a ddywedasant wrth Dafydd, Ni ddeui i mewn yma. Eto Dafydd a ennillodd dŵr Seion, yr hwn *yw* dinas Dafydd.

6 A dywedodd Dafydd, Pwy bynag a darawo y Jebusiaid yn gyntaf, efe a fydd yn benaf, ac yn dywysog. Yna yr esgynodd Joab mab Serfiah yn gyntaf, ac a fu benaf.

7 A thrigodd Dafydd yn y tŵr: o herwydd hyny y galwasant ef Dinas Dafydd.

8 Ac efe a adeiladodd y ddinas oddiamgylch, o Milo amgylchogylch: a Joab a adgyweiriodd y rhan arall i'r ddinas.

9 A Dafydd a aeth ac a gynyddodd fwyfwy, ac Arglwydd y lluoedd *oedd* gydag ef.

10 ¶ Dyma hefyd benaethiaid y cedyrn oedd gan Dafydd, yn ymgryfhau gydag ef yn ei deyrnas, *a* chyda holl Israel, i'w wneuthur ef

---

yn 1 Sam. xxxi. 1—13; a chyfeirir y darllenydd at y sylwadau yno.

Adn. 13. *Felly y bu farw Saul am ei gamwedd*] Neu ei droseddau aml yn erbyn gorchymynion yr Arglwydd. (1) Un camwedd pwysig iawn oedd ei waith yn offrymu y poeth-offrwm ei hun, heb offeiriad, 1 Sam. xiii. 9—13. (2) Camwedd arall oedd arbed Agag, ar ol cael gorchymyn i'w ddinystrio ef a'i anifeiliaid, 1 Sam. xv. 3, &c. (3) Camwedd arall oedd erlid Dafydd yn mhob man, gan geisio ei ladd ef, 1 Sam. xviii. 29. (4) Camwedd arall oedd peri lladd offeiriaid yr Arglwydd, 1 Sam. xxii. 18. (5) A chamwedd arall oedd ymgynghori â'r ddewines o Endor, (1 Sam. xxviii. 7, &c.,) yr hyn oedd yn groes i orchymyn pendant Duw, Lef. xix. 31.

Adn. 14. *Ac heb ymgynghori â'r Arglwydd*] Y mae yn wir iddo ymgynghori âg ef yn hannerog a rhagrithiol am fyr amser; ond gan na ddarfu iddo barhau i ddysgwyl wrth yr Arglwydd, na chwaith ymgynghori âg ef trwy yr iawn Urim, eithr myned at ddewines, ystyrir y fath ymgynghori yr un peth a pheidio ymgynghori o gwbl: gwel ar 1 Sam. xxviii. 6. *Am hyny y lladdodd efe ef*—trwy adael iddo gael ei archolli gan y Philistiaid, a syrthio ar gleddyf ei yswain; *ac y trôdd y frenhiniaeth i Dafydd*—gwel ar 1 Sam. xiii. 14.

PEN. XI. Adn. 1—9. *Yna holl Israel a ymgasglasant at Dafydd i Hebron, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro yn y sylwadau ar 2 Sam. v. 1—10.

Adn. 10. *Dyma hefyd benaethiaid y cedyrn*]

yn frenin ar Israel, yn ol gair yr
Arglwydd.
11 A dyma rif y cedyrn *oedd* gan
Dafydd; Jasobeam mab Hachmoni,
pen y capteniaid: hwn a ddyrchaf-
odd ei waewffon yn erbyn tri chant,
y rhai a laddwyd ar unwaith *ganddo.*
12 Ac ar ei ol ef Eleazar mab
Dodo, yr Ahohiad, hwn *oedd un* o'r
tri chedyrn.
13 Hwn oedd gyda Dafydd yn
Pasdammim; a'r Philistiaid a ym-
gynullasant yno i ryfel, ac yr yd-
oedd rhan o'r maes yn llawn haidd,
a'r bobl a ffoisant o flaen y Philist-
iaid.
14 A hwy a ymosodasant yn
nghanol y rhandir *hòno,* ac a'i ha-
chubasant hi, ac a darawsant y Phi-
listiaid: felly y gwaredodd yr Ar-
glwydd *hwynt* âg ymwared mawr.
15 ¶ A thri o'r deg penaeth ar
hugain a ddisgynasant i'r graig at
Dafydd, i ogof Adulam; a llu y
Philistiaid oedd yn gwersyllu yn
nyffryn Rephaim.
16 A Dafydd yna *ydoedd* yn yr
amddiffynfa, a sefyllfa y Philistiaid
yna *oedd* yn Bethlehem.
17 A Dafydd a flysiodd, ac a ddy-
wedodd, O, pwy a rydd i mi ddiod
ddwfr o bydew Bethlehem, yr hwn
*sydd* wrth y porth?
18 A'r tri a ruthrasant trwy wer-
syll y Philistiaid, ac a dynasant
ddwfr o bydew Bethlehem, yr hwn
*oedd* wrth y porth, ac a'*i* cymeras-
ant ac a'*i* dygasant i Dafydd: ac ni
fynai Dafydd ei yfed ef, ond efe a'i
diod-offrymodd ef i'r Arglwydd:
19 Ac efe a ddywedodd, Na ato
fy Nuw i mi wneuthur hyn. A yfaf
fi waed y dynion hyn, a beryglasant
eu heinioes? o herwydd mewn *en-
bydrwydd am* eu heinioes y dygas-
ant ef: am hyny ni fynai efe ei
yfed. Y tri chedyrn a wnaethant
hyn.
20 ¶ Ac Abisai brawd Joab oedd
benaf o'r tri. A hwn a ysgydwodd
ei waewffon yn erbyn tri chant, *ac*
a'*u* lladdodd *hwynt:* ac iddo *y bu*
enw yn mhlith y tri.
21 O'r tri, anrhydeddusach na'r
ddau *ereill,* a thywysog iddynt,
oedd efe; ond ni ddaeth efe hyd y
tri *cyntaf.*
22 Benaiah mab Jehoiada, mab
gŵr grymus o Cabseel, mawr *ei*
weithredoedd: efe a laddodd ddau
o gedyrn Moab; ac efe a ddisgyn-
odd ac a laddodd lew mewn pydew
yn amser eira.
23 Ac efe a laddodd Aifft-ddyn,
gŵr pum cufydd o fesur; ac yn
llaw yr Aifft-ddyn *yr oedd* gwaew-
ffon megys carfan gwehydd; ac
yntau a aeth i waered ato ef â ffon,
ac a ddyg y waewffon o law yr
Aifft-ddyn, ac a'i lladdodd ef â'i
waewffon ei hun.
24 Hyn a wnaeth Benaiah mab
Jehoiada, ac iddo *y bu* enw yn
mhlith y tri chedyrn.
25 Wele, anrhydeddus *oedd* efe
yn mysg y deg-ar-hugain, ond at y
tri *cyntaf* ni ddaeth efe: a gos-
ododd Dafydd ef ar ei wŷr o gard.
26 ¶ A chedyrn y llu *oedd* Asahel
brawd Joab, Elhanan mab Dodo o
Bethlehem,
27 Sammoth yr Harodiad, Heles
y Peloniad,
28 Ira mab Icces y Tecoiad, Abi-
ezer yr Anthothiad,
29 Sibbechai yr Husathiad, Ilai
yr Ahohiad,
30 Maharai y Netophathiad, He-
led mab Baanah y Netophathiad,
31 Ithai mab Ribai o Gibeah
meibion Benjamin, Benaiah y Pi-
rathoniad,
32 Hurai o afonydd Gaas, Abïel
yr Arbathiad,
33 Azmafeth y Baharumiad, Eli-
ahba y Saalboniad,
34 Meibion Hasem y Gizoniad,
Jonathan mab Sageth yr Harariad,
35 Ahiam mab Sachar yr Harar-
iad, Eliphal mab Ur,
36 Hepher y Mecherathiad, Ahi-
ah y Peloniad,

---

Y rhai a gynorthwyent â'u holl egni i sefydlu Dafydd yn ei deyrnas; *a chyda holl Israel* —sef yr holl ffyddloniaid a bleidient Dafydd.

Adn. 11—14. *Tri chant, y rhai a laddwyd ar unwaith ganddo*] Yn y fan, â'i law ei hun: cafodd 500 yn chwaneg eu clwyfo yn angeuol ganddo, neu eu lladd gan y rhai oedd gydag ef, yr hyn a wna 800, fel y dywedir yn 2 Sam. xxiii. 8: gwel y sylwadau yno.

Adn. 15—41. *A thri o'r deg penaeth ar hugain, &c.*] Gwel y sylwadau ar yr un hanes yn 2 Sam. xxiii. 13—39.

Adn. 42—47. *Adina mab Sisa, &c.*] Chwanegir y rhai hyn at y gofrestr yn 2 Sam. xxiii.

37 Hesro y Carmeliad, Naarai mab Ezbai,

38 Joel mab Nathan, Mibhar mab Haggeri,

39 Selec yr Ammoniad, Naharai y Berothiad, yr hwn oedd yn dwyn arfau Joab mab Serfiah,

40 Ira yr Ithriad, Gareb yr Ithriad,

41 Urias yr Hethiad, Zabad mab Alai,

42 Adina mab Sisa y Reubeniad, penaeth y Reubeniaid, a chydag ef ddeg-ar-hugain,

43 Hanan mab Maachah, a Josaphat y Mithniad,

44 Uzziah yr Asterathiad, Sama a Jehiel, meibion Hothan yr Aroeriad,

45 Jediael mab Simri, a Joha ei frawd ef y Tisiad,

46 Eliel y Mahafiad, a Jeribai, a Josafiah, meibion Elnaam, ac Ithmah y Moabiad,

47 Eliel, ac Obed, a Jasiel y Mesobaiad.

## PENNOD XII.

A DYMA y rhai a ddaeth at Dafydd i Siclag, ac efe eto yn cadw arno rhag Saul mab Cis: a hwy *oedd* yn mhlith y rhai cedyrn, cynorthwywyr y rhyfel.

2 Yn arfogion *â* bwäau, yn medru o ddeau ac o aswy daflu â cherig, a saethu mewn bwäau: o frodyr Saul, o Benjamin.

3 Y penaf *oedd* Ahiezer, yna Joas, meibion Semaah y Gibeathiad, a Jeziel a Phelet meibion Azmafeth, a Berachah, a Jehu yr Anthothiad,

4 Ac Ismaiah y Gibeoniad, grymus *oedd efe* yn mhlith y deg-ar-hugain, a goruwch y deg-ar-hugain; Jeremiah hefyd, a Jahaziel, a Johanan, a Jozabad y Gederathiad,

5 Eluzai, a Jerimoth, a Bealiah, a Semariah, a Sephatiah yr Haruphiad,

6 Elcanah, a Jesiah, ac Azareel, a Joezer, a Jasobeam, y Corhiaid,

7 A Joelah, a Zebadiah, meibion Jeroham o Gedor.

8 A *rhai* o'r Gadiaid a ymneillduasant at Dafydd, i'r amddiffynfa i'r anialwch, yn gedyrn *o* nerth, gwŷr milwraidd i ryfel, yn medru trin tarian a bwcled, a gwynebau llewod *oedd* eu hwynebau hwynt, ac megys iyrchod ar y mynyddoedd o fuander *oeddynt hwy.*

9 Ezer y cyntaf, Obadiah yr ail, Eliab y trydydd,

10 Mismannah y pedwarydd, Jeremiah y pummed,

11 Attai y chweched, Eliel y seithfed,

12 Johanan yr wythfed, Elzabad y nawfed,

13 Jeremiah y degfed, Machbanai yr unfed ar ddeg.

14 Y rhai hyn *oedd* o feibion Gad, yn gapteniaid y llu: yr un lleiaf *oedd* ar gant, a'r mwyaf ar fil.

15 Dyma hwy y rhai a aethant dros yr Iorddonen yn y mis cyntaf, a hi wedi llifo dros ei holl dorlanau, ac a yrasant i ffo holl *drigolion* y dyffrynoedd tua'r dwyrain, a thua'r gorllewin.

16 A *rhai* o feibion Benjamin a Judah a ddaethant i'r amddiffynfa at Dafydd.

---

PEN. XII. Adn. 1. *A dyma y rhai a ddaeth at Dafydd i Siclag*] Y rhai a enwir adn. 3—22; *ac efe eto yn cadw arno rhag Saul*—neu yn ffoi rhag cael ei ladd ganddo: gwel ar 1 Sam. xxvii. 6.

Adn. 2. *Yn medru o ddeau ac o aswy*] Daflu cerig a saethau â'u llaw ddeau ac â'u llaw aswy yn ddiwahaniaeth: gwel ar Barn. iii. 15, a xx. 16.

Adn. 3—7. *Y penaf oedd Ahiezer, &c.*] Gwel ar pen. ii. 5.

Adn. 8—14. *A rhai o'r Gadiaid a ymneillduasant at Dafydd*] Y rhai a drigent tuhwnt i'r Iorddonen gyda llwyth Reuben a hanner llwyth Manasse; *i'r amddiffynfa i'r anialwch*—i Siclag yn anialwch Judea; *yn medru trin tarian a bwcled*—arfau amddiffynol ac ymosodol; canys meddylir fod yr olaf yn cyfeirio at y math hwnw o darianau i'r rhai yr oedd picell yn y canol; *a gwynebau llewod*—neu *lewaidd*, sef gwynebau dewrion, hyfion, a diofn; *ac megys iyrchod*—o ran cyflymder, yr hyn a ystyrid yn gymhwysder mawr mewn rhyfelwyr.

Adn. 15. *Dyma hwy y rhai a aethant dros yr Iorddonen*] I Siclag yn ngwlad Canaan; *yn y mis cyntaf*—o'r flwyddyn eglwysig, yr hwn a elwid *Nisan* neu *Abib*, yn cyfateb i ran o'n Mawrth a'n Hebrill ni; *a hi wedi llifo dros ei holl dorlanau*—pryd yr oedd yn fwy anhawdd a pheryglus ei chroesi, Jos. iii. 15. Fe allai mai dechreu llifo yr ydoedd, neu iddynt gael rhyw ysgraffau i'w cynorthwyo: gwel ar 2 Sam. xix. 18. *Ac a yrasant i ffo holl drigolion y dyffrynoedd*—o bob tu i'r Iorddonen, cyn ac wedi ei chroesi.

17 A Dafydd a aeth i'w cyfarfod
hwynt, ac a lefarodd ac a ddywedodd
wrthynt, Os mewn heddwch y
daethoch chwi ataf fi i'm cynorthwyo,
bydd fy nghalon yn un â chwi:
ond os i'm bradychu i'm gelynion, a
minau heb gamwedd yn fy nwylaw,
Duw ein tadau ni a edrycho, ac a
geryddo.
18 A'r ysbryd a ddaeth ar Amasai
penaeth y capteniaid, *ac efe a ddywedodd*,
Eiddot ti, Dafydd, a chyda
thi, mab Jesse, *y byddwn ni;* heddwch,
heddwch i ti, a hedd i'th gynorthwywyr;
o herwydd dy Dduw
sydd yn dy gymhorth di. Yna Dafydd
a'u croesawodd hwynt, ac a'u
gosododd hwy yn benaethiaid ar y
fyddin.
19 A *rhai* o Manasseh a droes at
Dafydd, pan ddaeth efe gyda'r Philistiaid
yn erbyn Saul i ryfel, ond
ni chynorthwyasant hwynt: canys
penaduriaid y Philistiaid, wrth
gynghor, a'i gollyngasant ef ymaith,
gan ddywedyd, Efe a syrth at
ei feistr Saul am ein penau ni.
20 Fel yr oedd efe yn myned i
Siclag, trôdd ato ef o Manasseh,
Adnah, a Jozabad, a Jediael, a Michael,
a Jozabad, ac Elihu, a Silthai,
y rhai *oedd* benaethiaid y miloedd
yn Manasseh.
21 A'r rhai hyn a gynorthwyasant
Dafydd yn erbyn y dorf: canys
cedyrn o nerth oeddynt hwy oll, a
chapteniaid ar y llu.
22 Canys rhai a ddeuai at Dafydd
beunydd y pryd *hwnw*, i'w gynorthwyo
ef, hyd onid *oedd efe* yn llu
mawr, megys llu Duw.
23 ¶ A dyma rifedi y penau, y
rhai yn arfogion i ryfel a ddaethant
at Dafydd i Hebron, i droi brenhiniaeth
Saul ato ef, yn ol gair yr Arglwydd.
24 O feibion Judah, yn dwyn
tarian a ffon-waew, chwe mil ac
wyth cant, yn arfog i ryfel.
25 O feibion Simeon, yn gedyrn
nerthol i ryfel, saith mil a chant.
26 O feibion Lefi, pedair mil a
chwe chant.
27 A Jehoiada *oedd* dywysog ar
yr Aaroniaid, a chydag ef dair mil
a saith cant.

---

Adn. 16. *A rhai o feibion Benjamin a Juda*] Canys yr oedd y rhan fwyaf o'r ddau lwyth hyn yn bleidwyr i Saul, ac yn wrthwynebwyr i Dafydd hyd yn hyn.

Adn. 17. *Os mewn heddwch y daethoch*] I'm cynorthwyo i yn erbyn Saul a'i blaid; *bydd fy nghalon yn un â chwi*—parchaf a charaf chwi, a danghosaf hyny tuag atoch mewn gweithred: *ond os i'm bradychu*—i ddwylaw Saul a'i bleidwyr, a minau heb wneyd dim niwed erioed i Saul na chwithau; *Duw ein tadau ni a edrycho ac a geryddo*—cymered ef sylw o'ch bradwriaeth, a chosped y fath annghyfiawnder yn ei ffordd ei hun.

Adn. 18. *A'r ysbryd a ddaeth ar Amasai*] Cynhyrfwyd a gwrolwyd ef mewn modd anarferol i lefaru wrth Dafydd yn ei enw ei hun a'i gymdeithion. *Eiddot ti, Dafydd*—daethom yma, nid i'th fradychu, ond i ymuno â'th fyddin, ac i sefyll gyda thi yn dy holl beryglon. *Heddwch, heddwch i ti, a hedd i'th gynorthwywyr*—bydded i chwi oll bob llwyddiant, diogelwch, a daioni; neu fe allai ei fod yn llefaru yn broffwydoliaethol, dan gynhyrfiad Ysbryd Duw, mai heddwch a gaent, am fod Duw yn gymhorth iddynt. *Yna Dafydd a'u croesawodd hwynt*—a'u derbyniodd i mewn i'r amddiffynfa, lle y rhoddodd bob amgeledd iddynt; *ac a'u gosododd hwy yn benaethiaid ar y fyddin*—ar ei fyddin ei hun, neu ynte ar y fyddin a ddaethai yno gyda hwynt.

Adn. 19. *A rhai o Manasse a droes at Dafydd*] Yr oedd hyn yn brawf o'u hymlyniad cryf hwy wrth Dafydd, pan y tröent gydag ef i gynorthwyo y Philistiaid yn erbyn Saul; *ond ni chynorthwyasant hwynt*—hyny yw, ni ddarfu i wŷr Manasse na Dafydd gynorthwyo y Philistiaid, o herwydd i benaduriaid y Philistiaid ofni na fyddent hwy yn ffyddlon iddynt hwy yn erbyn Saul, ac felly eu troi yn ol: gwel ar 1 Sam. xxix. 4.

Adn. 20. *Fel yr oedd efe yn myned i Siclag*] Neu yn dychwelyd yno o wersyll y Philistiaid; *trôdd ato ef o Manasse*—saith o benaethiaid neu gapteniaid ereill, a'u milwyr gyda hwynt, heblaw y rhai a nodwyd adn. 19.

Adn. 21. *A'r rhai hyn a gynorthwyasant Dafydd yn erbyn y dorf*] Sef yn erbyn yr Amaleciaid, y rhai, tra yr oedd Dafydd yn myned gyda'r Philistiaid yn erbyn Saul, a ruthrasant ar Siclag, ac a'i llosgasant hi, gan gaethgludo y gwragedd a'r plant: gwel yr hanes yn 1 Sam. xxx. 1, &c.

Adn. 22. *Canys rhai a ddeuai at Dafydd beunydd*] Oddiwrth Saul o blith holl lwythau Israel, yr hyn a wnai fyddin Dafydd yn gryfach, a byddin Saul yn wanach; *hyd onid oedd efe yn llu mawr*—neu fyddin aneirif, fel y ser neu yr angylion, y rhai a elwir yn 'llu Duw.'

Adn. 23—37. *A dyma rifedi y penau*] Sef y byddinoedd arfog a chryfion a ddaethant at Dafydd i Hebron, ar ol marwolaeth Saul, ac Isboseth ei fab ef; *i droi brenhiniaeth Saul ato ef*—sef yr hon a ddaliai tŷ Saul cyn hyny ar ISRAEL. Yr oedd Dafydd wedi bod yn teyrnasu eisioes ar JUDA saith mlynedd a chwe mis, tra yr oedd Isboseth mab Saul yn teyrnasu ar Israel: gwel ar 2 Sam. v. 1—5. *Yn ol gair yr Arglwydd*—wrth Samuel, pryd yr

28 Sadoc hefyd, llanc grymus nerthol, ac o dŷ ei dad ef dau ar hugain o gapteniaid.

29 Ac o feibion Benjamin brodyr Saul, tair mil: canys hyd yn hyn llawer o honynt oedd yn dylyn tŷ Saul.

30 Ac o feibion Ephraim, ugain mil ac wyth cant, yn rymus nerthol, yn wŷr enwog yn nhŷ eu tadau.

31 Ac o hanner llwyth Manasseh, tair mil ar bymtheg, y rhai a hysbysasid erbyn *eu* henwau, i ddyfod i wneuthur Dafydd yn frenin.

32 Ac o feibion Isaachar, y rhai a fedrent ddeall yr amseroedd i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur, eu penaethiaid hwynt *oedd* ddau cant, a'u holl frodyr *oedd* wrth eu gorchymyn hwynt.

33 O Zabulon, y rhai a aent allan i ryfel, yn medru rhyfela â phob arfau rhyfel, deng mil a deugain, yn medru byddino, a hyny yn ffyddlon.

34 Ac o Naphtali, mil *o* dywysogion, a chyda hwynt, â tharian a gwaewffon, ddwy fil ar bymtheg ar hugain.

35 Ac o'r Daniaid, wyth mil ar hugain a chwe chant, yn medru rhyfela.

36 Ac o Aser yr oedd deugain mil yn myned allan mewn byddin, yn medru rhyfela.

37 Ac o'r tu hwnt i'r Iorddonen, o'r Reubeniaid, ac o'r Gadiaid, ac o hanner llwyth Manasseh, *y daeth* chwech ugain mil mewn pob rhyw arfau cymhwys i ryfel.

38 Yr holl ryfelwyr hyn, yn medru byddino, a ddaethant mewn calon berffaith i Hebron, i wneuthur Dafydd yn frenin ar holl Israel: a'r rhan arall o Israel *oedd* hefyd yn un feddwl i wneuthur Dafydd yn frenin.

39 A hwy a fuant yno gyda Dafydd dridiau, yn bwyta ac yn yfed: canys eu brodyr a arlwyasant iddynt hwy.

40 A hefyd, y rhai oedd agos atynt hwy, hyd Issachar, a Zabulon, a Naphtali, a ddygasant fara ar asynod, ac ar gamelod, ac ar fulod, ac ar ychain, yn fwyd, yn flawd, yn ffigys, ac yn resingau, ac yn win, ac yn olew, ac yn wartheg, ac yn ddefaid yn helaeth: o herwydd *yr ydoedd* llawenydd yn Israel.

## PENNOD XIII.

A DAFYDD a ymgynghorodd â chapteniaid y miloedd a'r canoedd, *ac* â'r holl dywysogion.

2 A Dafydd a ddywedodd wrth holl gynulleidfa Israel, Os da genych chwi, a *bod hyn* o'r Arglwydd ein Duw, danfonwn ar led at ein brodyr y rhai a weddillwyd trwy holl diroedd Israel, a chyda hwynt *at* yr offeiriaid a'r Lefiaid o fewn eu dinasoedd a'u maesydd pentrefol, i'w cynull hwynt atom ni.

---

anfonodd efe ef i eneinio Dafydd, 1 Sam. xvi. 1, 12.

Adn. 32. *Y rhai a fedrent ddeall yr amseroedd*] Hyny yw, yr oeddynt yn deall achosion y deyrnas yn dda, yn nghyda thymher y genedl, a thuedd y dygwyddiadau presenol: yr oeddynt yn ddynion o sylw a challineb, ac yn deall arwyddion yr amseroedd, a pha beth oedd oraf ei wneuthur, a pha beth nid oedd; a gweithredent yn ol hyny. Dywed y *Targum* eu bod yn seryddwyr ac yn ddewiniaid; ond nid hyny a feddylir yma.

Adn. 38. *Yr holl ryfelwyr hyn*] Y rhai, heb gyfrif y milwyr dan gapteniaid Sadoc ac Issacar, adn. 28, 32, a gyrhaeddent i 340,822 o wŷr; *a ddaethant mewn calon berffaith*—gyda gwir fwriad, ac oll o'r un meddwl; *i wneuthur Dafydd yn frenin ar holl Israel*—ac nid ar Juda yn unig fel o'r blaen; *a'r rhan arall o Israel*—y rhai ni ddaethant i Hebron gyda hwynt: yr oeddynt hwythau hefyd o'r un feddwl i wneuthur Dafydd yn frenin.

Adn. 39. *A hwy a fuant yno gyda Dafydd dridiau*] Yn gwledda yn llawen ar yr achlysur hwn; *canys eu brodyr a arlwyasant iddynt*—nid trigolion Hebron yn unig, ond pobl yr holl wlad a'r llwythau oddiamgylch, fel y gwelwn yn yr adnod ganlynol.

Adn. 40. *O herwydd yr ydoedd llawenydd yn Israel*] Wrth feddwl fod eu rhyfeloedd cartrefol ar ben, a bod yr holl lwythau i gael eu huno dan un brenin, a hwnw yn frenin doeth a duwiol.

PEN. XIII. *A Dafydd a ymgynghorodd, &c.*] A'r holl brif ddynion mewn awdurdod, y rhai a feddent ryw ddylanwad dros ereill. Canys y mae yn beryglus i dywysog, yn enwedig yn nechre ei deyrnasiad, orphwys yn unig ar ei ddoethineb ei hun, heb ymgynghori âg ereill.

Adn. 2. *A Dafydd a ddywedodd wrth holl gynulleidfa Israel*] Wrth y capteniaid a'r tywysogion uchod, fel cynrychiolwyr cynulleidfa Israel; *Os da genych chwi*—os ydych chwi yn barnu ei fod yn ddoeth ac yn angenrheidiol, ac yn unol âg ewyllys yr Arglwydd,

3 A dygwn drachefn arch ein Duw atom ni; canys nid ymofynasom â hi yn nyddiau Saul.

4 A'r holl dyrfa a ddywedasant am wneuthur felly: canys uniawn *oedd* y peth yn ngolwg yr holl bobl.

5 Felly y casglodd Dafydd holl Israel yn nghyd, o Sihor yr Aifft, hyd y ffordd y delir i Hemath, i ddwyn arch Duw o Ciriath-jearim.

6 A Dafydd a aeth i fyny, a holl Israel, i Baalah, sef Ciriath-jearim, yr hon *sydd* yn Judah, i ddwyn oddiyno arch yr Arglwydd Dduw, yr hwn sydd yn preswylio *rhwng* y cerubiaid, *ar* yr hon y gelwir *ei* enw *ef.*

7 A hwy a ddygasant arch Duw ar fèn newydd o dŷ Abinadab: ac Uzza ac Ahio oedd yn gyru y fèn.

8 A Dafydd a holl Israel oedd yn chwarae gerbron Duw, â'*u* holl nerth, ac â chaniadau, ac â thelynau, ac â nablau, ac â thympanau, ac â symbalau, ac âg udgyrn.

9 ¶ A phan ddaethant hyd lawrdyrnu Cidon, Uzza a estynodd ei law i ddala yr arch, canys yr ychain oedd yn ei hysgwyd hi.

10 Ac enynodd llid yr Arglwydd yn erbyn Uzza, ac efe a'i lladdodd ef, oblegid iddo estyn ei law at yr arch; ac yno y bu efe farw gerbron Duw.

11 A bu ddrwg gan Dafydd am i'r Arglwydd rwygo rhwygiad yn Uzza; ac efe a alwodd y lle hwnw Peresuzza, hyd y dydd hwn.

12 A Dafydd a ofnodd Dduw y dydd hwnw, gan ddywedyd, Pa fodd y dygaf arch Duw i mewn ataf fi?

13 Ac ni ddyg Dafydd yr arch ato ei hun i ddinas Dafydd, ond efe a'i cludodd hi i dŷ Obed-edom y Gethiad.

14 Ac arch Duw a arosodd gyda theulu Obed-edom, yn ei dŷ ef, dri mis. A'r Arglwydd a fendithiodd dŷ Obed-edom, a'r hyn oll *ydoedd* eiddo.

## PENNOD XIV.

AHIRAM brenin Tyrus a anfonodd genadau at Dafydd, a choed cedr, â seiri meini, a seiri prenau, i adeiladu iddo ef dŷ.

2 A gwybu Dafydd sicrhau o'r Arglwydd ef yn frenin ar Israel: canys yr oedd ei frenhiniaeth ef wedi ei dyrchafu yn uchel, o herwydd ei bobl Israel.

3 ¶ A chymerth Dafydd wragedd ychwaneg yn Jerusalem: a Dafydd a genhedlodd feibion ychwaneg, a merched.

4 A dyma enwau y plant oedd iddo ef yn Jerusalem: Sammua, a Sobab, Nathan, a Solomon,

---

ac yn tueddu er ei ogoniant ef; *danfonwn ar led at ein brodyr*—sef at yr holl bobl gyffredin trwy holl wlad Israel, y rhai, er fod Dafydd yn frenin, a alwai efe yn *frodyr;* ac yr oedd efe yn hyn yn gysgod o Grist, yr hwn, er ei fod yn Fab Duw, ac yn Frenin y brenhinoedd, 'nid yw gywilyddus ganddo alw ei bobl yn *frodyr,*' Heb. ii. 11; *a chyda hwynt at yr offeiriaid a'r Lefiaid*—yn yr holl ddinasoedd a roisid iddynt yn ngwahanol lwythau Israel.

Adn. 3. *A dygwn drachefn arch ein Duw atom ni*] Nid oedd dim yn well gan Dafydd na chael arch Duw yn agos ato, a chwenychai ddechreu ei lywodraeth trwy ei chyrchu ato. Cyn gynted ag y cafodd efe awdurdod i'w law, efe a'i defnyddiodd o blaid crefydd. Fel hyn dylai y rhai a godir i gyfoeth neu anrhydedd, ddefnyddio eu hawdurdod i anrhydeddu Duw, trwy ddwyn yn mlaen achosion ei deyrnas ysbrydol ef yn mhlith dynion. *Canys nid ymofynasom â hi yn nyddiau Saul*—yr oedd Saul yn dra difater am arch Duw, ac yr oedd y bobl yn gyffredin yn ymfoddloni ar fyned i'r babell i Gibeon, ac aberthu yno.

Adn. 4. *Uniawn oedd y peth yn ngolwg yr holl bobl*] Yr oeddynt wedi eu llwyr argyhoeddi o resymoldeb y cynygiad, ac yr oedd eu cydwybod yn eu taraw am eu hesgeulusdra blaenorol.

Adn. 5. *Felly y casglodd Dafydd holl Israel yn nghyd*] Sef y gwŷr mwyaf dewisedig o honynt, i'r nifer o 30,000, 2 Sam. vi. 1; *o Sihor yr Aifft*—wrth yr hon y dealla y Targum, a'r Iuddewon yn gyffredinol, yr afon Nilus; *hyd y ffordd y delir i Hemath*—yn mhen gogleddol Canaan; hyny yw, o eithaf y deau hyd eithaf y gogledd; *o Ciriath-jearim*—lle yr oedd yr arch wedi bod am 46 o flynyddau: gwel ar 1 Sam. vii. 2.

Adn. 6. *Ar yr hon y gelwir ei enw ef*] Heb. 'o flaen yr hon y gelwir ar ei enw ef.'

Adn. 7—14. *A hwy a ddygasant arch Duw ar fèn newydd, &c.*] Gwel yr adnodau hyn yn cael eu hegluro ar 2 Sam. vi. 2—11.

PEN. XIV. Adn. 1—16. *A Hiram brenin Syrus a anfonodd genadau at Dafydd, &c.*] Gwel ar 2 Sam. v. 11—25, lle y cawsom yr un hanes o'r blaen.

Adn. 17. *Ac enw Dafydd â aeth trwy yr holl wledydd*] Hyny yw, aeth son am ei ddewrder fel rhyfelwr, a nifer a grym ei filwyr, trwy yr holl wledydd o amgylch Canaan, nes yr oedd y brenhinoedd cymydogaethol,

5 Ac Ibhar, ac Elisua, ac Elpalet,
6 A Nogah, a Nepheg, a Japhia,
7 Ac Elisama, a Beeliada, ac Eli-
phalet.
8 ¶ A phan glybu y Philistiaid
fod Dafydd wedi ei eneinio yn fren-
in ar holl Israel, y Philistiaid oll a
aethant i fyny i geisio Dafydd: a
chlybu Dafydd, ac a aeth allan yn
eu herbyn hwynt.
9 A'r Philistiaid a ddaethant ac
a ymwasgarasant yn nyffryn Re-
phaim.
10 A Dafydd a ymgynghorodd
â Duw, gan ddywedyd, A âf fi i
fyny yn erbyn y Philistiaid? ac a
roddi di hwynt yn fy llaw i? A'r
Arglwydd a ddywedodd wrtho,
Cerdda i fyny, canys mi a'u rhodd-
af hwynt yn dy law di.
11 Felly yr aethant i fyny i Baal-
perasim, a Dafydd a'u tarawodd
hwynt yno. A Dafydd a ddywed-
odd, Duw a dorodd i mewn ar fy
ngelynion trwy fy llaw i, fel rhwygo
dyfroedd: am hyny y galwasant
hwy enw y lle hwnw Baalperasim.
12 A phan adawsant hwy eu duw-
iau, dywedodd Dafydd am eu llosgi
hwynt yn tân.
13 A thrachefn eto y Philistiaid
a ymwasgarasant yn y dyffryn.
14 A Dafydd a ymgynghorodd â
Duw drachefn; a Duw a ddywed-
odd wrtho, Na ddos i fyny ar eu
hol hwynt, tro ymaith oddiwrthynt,
a thyred arnynt ar gyfer y mor-
wydd.
15 A phan glywech drwst cerdd-
ediad yn mrig y morwydd, yna dos
allan i ryfel: canys y mae Duw
wedi myned o'th flaen di, i daro llu
y Philistiaid.
16 A gwnaeth Dafydd megys y
gorchymynasai Duw iddo; a hwy
a darawsant lu y Philistiaid o Gi-
beon hyd Gazer.
17 Ac enw Dafydd a aeth trwy
yr holl wledydd; a'r Arglwydd a
roddes ei arswyd ef ar yr holl gen-
hedloedd.

## PENNOD XV.

A *DAFYDD* a wnaeth iddo dai
yn ninas Dafydd, ac a barotôdd
le i arch Duw, ac a osododd iddi
babell.
2 A Dafydd a ddywedodd, Nid
*yw i neb* ddwyn arch Duw, ond i'r
Lefiaid: canys hwynt a ddewisodd
yr Arglwydd i ddwyn arch Duw, ac
i weini iddo ef yn dragywydd.
3 A Dafydd a gynullodd holl
Israel i Jerusalem, i ddwyn i fyny
arch yr Arglwydd i'w lle a barot-
oisai efe iddi hi.
4 A Dafydd a gynullodd feibion
Aaron, a'r Lefiaid.
5 O feibion Cohath; Uriel y pen-
af, a'i frodyr, cant ac ugain.
6 O feibion Merari; Asaiah y
penaf, a'i frodyr, dau cant ac ugain.
7 O feibion Gersom; Joel y pen-
af, a'i frodyr, cant a deg ar hugain.
8 O feibion Elisaphan; Semaiah
y penaf, a'i frodyr, dau cant.
9 O feibion Hebron; Eliel y pen-
af, a'i frodyr, pedwar ugain.
10 O feibion Uzziel; Amminadab
y penaf, a'i frodyr, cant a deuddeg.
11 A Dafydd a alwodd am Sadoc
ac am Abiathar yr offeiriaid, ac am
y Lefiaid, am Uriel, Asaiah, a Joel,
Semaiah, ac Eliel, ac Amminadab,
12 Ac a ddywedodd wrthynt, Chwi

---

a'u byddinoedd, yn ofni myned allan yn ei erbyn; *a'r Arglwydd a roddes ei arswyd ef ar yr holl genhedloedd*—fel y cai efe beth seibiant oddiwrth ryfel i drin achosion crefyddol.

PEN. XV. Adn. 1. *A Dafydd a wnaeth iddo dai*] Iddo ei hun a'i deulu, trwy gymhorth y seiri a anfonasai Hiram ato, pen. xiv. 1; *ac a barotôdd le i arch Duw*—sef pabell-leni, hyd onid adeiledid teml iddi, 2 Sam. vi. 17.

Adn. 2. *Nid yw i neb ddwyn arch Duw ond i'r Lefiaid*] A rhaid iddynt hwythau ei dwyn, nid ar fen, ond ar eu hysgwyddau, a hyny wedi iddynt ymsanteiddio yn briodol at y gwaith, ac ar ol i'r arch gael ei gorchuddio gan yr offeiriaid: gwel ar 2 Sam. vi. 7.

Adn. 3. *I ddwyn i fyny arch yr Arglwydd*] O dŷ Obed-edom, lle y buasai hi am dri mis ar ei ffordd o Ciriath-jearim i Jerusalem: gwel ar 2 Sam. vi. 10, 11.

Adn. 4—10. *Feibion Aaron*] Sef yr offeiriaid, i'r rhai, yn nghyda'r Lefiaid, y perthynai y gwaith o symud yr arch o le i le: gwel ar Num. iii a iv.

Adn. 11. *A Dafydd a alwodd am Sadoc ac am Abiathar*] Ymddengys mai Abiathar, o dŷ Eli, oedd yr archoffeiriad y pryd hyn, a Sadoc yn nesaf ato ef; ond yn fuan ar ol i Solomon fyned i'r orsedd, efe a drôdd Abiathar o'i swydd, ac a osododd Sadoc yn ei le ef, 1 Bren. ii. 27, 35.

Adn. 12. *Ymsanteiddiwch chwi a'ch brodyr*] Trwy olchi eu cnawd a'u dillad, ymgadw oddiwrth eu gwragedd, ac ymlanhau oddiwrth

*sydd* benau cenedl yn mhlith y
Lefiaid: ymsanteiddiwch chwi a'ch
brodyr, fel y dygoch i fyny arch
Arglwydd Dduw Israel i'*r lle* a
barotoais iddi hi.
13 O herwydd nas *gwnaethoch* o'r
dechread, y torodd yr Arglwydd
ein Duw arnom ni, oblegid na cheis-
iasom ef yn y modd y dylesym.
14 Felly yr offeiriaid a'r Lefiaid
a ymsanteiddiasant i ddwyn i fyny
arch Arglwydd Dduw Israel.
15 A meibion y Lefiaid a ddygas-
ant arch Duw ar eu hysgwyddau,
wrth drosolion, megys y gorchym-
ynodd Moses, yn ol gair yr Ar-
glwydd.
16 A Dafydd a ddywedodd wrth
dywysogion y Lefiaid, a'r iddynt
osod eu brodyr y cerddorion i leis-
io âg offer cerdd, nablau, a thelyn-
au, a symbalau, yn lleisio gan
ddyrchafu llef mewn gorfoledd.
17 Felly y Lefiaid a osodasant
Heman mab Joel; ac o'i frodyr ef
Asaph mab Berechiah; ac o feibion
Merari eu brodyr, Ethan mab
Cusaiah.
18 A chyda hwynt eu brodyr o'r
ail *radd,* Zechariah, Ben, a Jaaziel,
a Semiramoth, a Jehiel, ac Unni,
Eliab, a Benaiah, a Maasiah, a Mat-
tithiah, ac Elipheleh a Micniah, ac
Obed-edom, a Jehiel, y porthorion.
19 Felly Heman, Asaph, ac Ethan
y cerddorion, *oeddynt* i leisio â sym-
balau pres.
20 A Zechariah, ac Aziel, a Se-
miramoth, a Jehiel, ac Unni, ac
Eliab, a Maasiah, a Benaiah, *a gan-
ent* nablau ar Alamoth.
21 A Mattithiah, ac Elipheleh, a
Micniah, ac Obed-edom, a Jehiel,
ac Azaziah, *oeddynt* â thelynau ar
y Seminith i ragori.
22 Chenaniah hefyd oedd flaenor
y Lefiaid ar y gân: efe a ddysgai
*ereill* am y gân, canys cyfarwydd
*ydoedd.*
23 A Berechiah ac Elcanah *oedd*
borthorion i'r arch.
24 A Sebaniah, a Jehosaphat, a

---

bob aflendid seremonïol: yr oedd yn rhaid i'r ddau offeiriad penaf wneyd hyny, yn nghyda'r chwe phenaeth a'u holl frodyr.

Adn. 13. *O herwydd nas gwnaethoch o'r dechread*] Nad ymsanteiddiasoch felly wrth ddwyn yr arch o Ciriath-jearim; *y torodd yr Arglwydd ein Duw arnom ni*—trwy ladd Uzzah, 2 Sam. vi. 6—8; *oblegid na cheisiasom ef yn y modd y dylesym*—trwy ymsanteidd-io, parchu yr arch, a'i dwyn ar ysgwyddau, fel y gorchymynasai yr Arglwydd iddynt. Yr oedd yr arch wedi bod cyhyd yn Ciriath-jearim, nes yr oedd yr offeiriaid a'r Lefiaid fel pe buasent wedi anghofio pa fodd y dylesid ei symud hi; ac y mae Dafydd yma yn cydnabod iddynt wneyd ar fai.

Adn. 14. *Felly yr offeiriaid a'r Lefiaid a ymsanteiddiasant*] Gwel ar adn. 12; *i ddwyn i fyny arch Arglwydd Dduw Israel*—o dŷ Obed-edom i fynydd Seion. Er mai gwaith y Lefiaid oedd dwyn yr arch, eto yr oedd yr offeiriaid yn ei dwyn hi weithiau, Jos. iii. 14, a vi. 6, ac arnynt hwy yr oedd ei gorchuddio hi, Num. iv. 15; ac am hyny yr oeddynt oll i ymsanteiddio y pryd hyn.

Adn. 15. *Megys y gorchymynodd Moses*] Gwel ar Exod. xxv. 14, Num. iv. 15, a vii. 9.

Adn. 16, 17. *Ar iddynt osod eu brodyr y cerddorion*] O flaen yr arch wrth ei dwyn i fyny; *i leisio âg offer cerdd*—o bob math a'r a ddefnyddid y pryd hyny, y rhai nad ydym ni, yn y pellder amser hwn, yn gwybod nemawr am danynt; *gan ddyrchafu llef mewn gorfoledd*—yr oeddynt i ganu â'u lleisiau yn gystal ag â'u hofferynau, a hyny mor uchel fel y gallai pawb glywed.

Adn. 18. *A chyda hwynt eu brodyr o'r ail radd*] Y rhai oedd nesaf at Heman, Asaph, ac Ethan o ran swydd a medrusrwydd mewn canu; *y porthorion*—yr oedd y rhai hyn, heblaw cadw y drws, yn cymeryd rhan yn y gân, fel na fyddent segur na diffrwyth yn nhŷ Dduw.

Adn. 19. *I leisio â symbalau pres*] Saes., 'i *seinio* â symbalau pres,' yr hyn ond odid oedd y rhan benaf o'r gerddoriaeth.

Adn. 20. *A ganent nablau ar Alamoth*] Tybia rhai mai enw offeryn cerdd oedd *Alamoth;* tybia ereill mai rhyw dôn, llais, neu gywair penodol a olygir. Houbigant a'i cyfieitha, 'nablau o ddyfnach sŵn.' Tybia ereill fod y gair yn arwyddo *cantoresau,* y rhai a gydganent â'r dynion a enwir yn yr adnod hon.

Adn. 21. *Ar y Seminith*] Y farn gyffredin yw, mai math ar delyn wyth-dant oedd y *Seminith;* er y tybia rhai fod y gair hwn, fel yr *Alamoth,* yn cyfeirio at ryw dôn, llais, neu gywair penodol. *I ragori*—gall hyn gyfeirio at ragoriaeth y fath offeryn neu dôn, neu at ddyrchafiad neu ostyngiad y llais.

Adn. 22. *Cenania hefyd oedd flaenor y Lefiaid ar y gân*] Yr hwn a'u haddysgai hwynt i ganu, neu a gurai yr amser fel un cyfarwydd, i dangos iddynt pa bryd i godi ac i ostwng eu lleisiau, &c.

Adn .23. *Borthorion i'r arch*] I gadw drws y babell ar ol dodi yr arch ynddi, rhag i neb fyned i mewn i gyffwrdd â hi. Neu gall mai rhai yn gwylied yr arch ar y ffordd oeddynt, i'w chadw rhag cyffyrddiad dwylaw halogedig; a bod y ddau hyn yn cerdded o'i blaen, neu un ochr iddi; a'r ddau yn adn. 24 yn cerdded o'i hol, neu yr ochr arall iddi.

Adn. 24. *A Sebaniah, &c.*] Y rhai hyn oeddynt saith o offeiriaid o deulu Aaron, y

Nathaneel, ac Amasai, a Zechariah,
a Benaiah, ac Eliezer, yr offeiriaid,
*oedd* yn lleisio mewn udgyrn o flaen
arch Duw: Obed-edom hefyd a Je-
hiah *oedd* borthorion i'r arch.
25 ¶ Felly Dafydd a henuriaid
Israel, a thywysogion y miloedd, a
aethant i ddwyn i fyny arch cyfam-
mod yr Arglwydd o dŷ Obed-edom
mewn llawenydd.
26 A phan gynorthwyodd Duw y
Lefiaid oedd yn dwyn arch cyfam-
mod yr Arglwydd, hwy a offrymas-
ant saith o fustych, a saith o
hyrddod.
27 A Dafydd *oedd* wedi ymwisgo
mewn gwisg o lian main; a'r holl
Lefiaid, y rhai oedd yn dwyn yr
arch, a'r cantorion, Chenaniah hef-
yd meistr y gân, a'r cerddorion. Ac
am Dafydd *yr oedd* ephod lian.
28 A holl Israel a ddygasant i
fyny arch cyfammod yr Arglwydd,
â bloedd, â llais trwmped, âg ud-
gyrn, ac â symbalau, yn lleisio
gyda'r nablau a'r telynau.
29 ¶ A phan ydoedd arch cyfam-
mod yr Arglwydd yn dyfod i ddinas
Dafydd, Michal merch Saul a ed-
rychodd trwy ffenestr, ac a ganfu
Dafydd y brenin yn dawnsio ac yn
chwarae: a hi a'i dirmygodd ef yn
ei chalon.

## PENNOD XVI.

FELLY y dygasant hwy arch Duw
i mewn, ac a'i gosodasant hi yn
nghanol y babell a osodasai Dafydd
iddi hi: a hwy a offrymasant off-
rymau poeth ac ebyrth hedd ger-
bron Duw.
2 Ac wedi i Dafydd orphen aberthu
offrymau poeth ac ebyrth hedd, efe
a fendithiodd y bobl yn enw yr Ar-
glwydd.
3 Ac efe a ranodd i bob un o Is-
rael, yn ŵr ac yn wraig, dorth o
fara, a dryll o gig, a chostrelaid *o
win.*
4 ¶ Ac efe a osododd gerbron
arch yr Arglwydd weinidogion o'r
Lefiaid, i gofio, ac i foliannu, ac i
glodfori Arglwydd Dduw Israel.
5 Asaph *oedd* benaf, ac yn ail iddo
ef Zechariah, Jeiel, a Semiramoth,
a Jehiel, a Mattithiah, ac Eliab, a
Benaiah, ac Obed-edom: a Jeiel âg
offer nablau, a thelynau; ac Asaph
oedd yn lleisio â symbalau.
6 Benaiah hefyd a Jahaziel yr
offeiriaid *oedd* âg udgyrn yn was-
tadol o flaen arch cyfammod Duw.
7 ¶ Yn y dydd hwnw y rhoddes
Dafydd *y salm hon* yn gyntaf i fol-
iannu yr Arglwydd, yn llaw Asaph
a'i frodyr.
8 Moliennwch yr Arglwydd,
gelwch ar ei enw ef, hysbyswch ei
weithredoedd ef yn mhlith y bobl-
oedd.
9 Cenwch iddo, clodforwch ef,
ymadroddwch am ei holl ryfedd-
odau.
10 Ymlawenychwch yn ei enw
santaidd ef; ymhyfryded calon y
sawl a geisiant yr Arglwydd.
11 Ceisiwch yr Arglwydd a'i
nerth ef, ceisiwch ei wyneb ef yn
wastadol.
12 Cofiwch ei wyrthiau y rhai a
wnaeth efe, ei ryfeddodau, a barn-
edigaethau ei enau;
13 Chwi had Israel ei was ef,

---

rhai a leisient mewn udgyrn o flaen yr arch, yr un modd ag wrth amgylchu Jericho, Jos. vi. 8.

Adn. 25. *Mewn llawenydd*] Mewn gwir lawenydd calon, yn gystal ag mewn arwyddion allanol o hyny.

Adn. 26. *A phan gynorthwyodd Duw y Lefiaid*] Pan welsant, ar ol myned chwech o gamrau o dŷ Obed-edom, nad oedd yr Arglwydd yn eu lladd hwynt fel y lladdasai efe Uzzah; *hwy a offrymasant saith o fustych a saith o hyrddod*—yn offrwm diolchgarwch iddo am yr anrhydedd o gael dwyn yr arch mewn diogelwch i Jerusalem. Tybia rhai iddynt sefyll saith waith o dŷ Obed-edom i fynydd Seion, ac offrymu bustach a hwrdd bob tro y safent.

Adn. 27. *Ac am Dafydd yr oedd ephod lian*] Gwel ar 2 Sam. vi. 14.

Adn. 28. *A bloedd a llais trŵmped*] Gwel ar 2 Sam. vi. 15.

Adn. 29. *Michal merch Saul*] Gwraig Dafydd; *a edrychodd trwy ffenestr*—gwel ar 2 Sam. vi. 16—23.

PEN. XVI. Adn. 1—3. *Felly y dygasant hwy arch Duw i mewn, &c.*] Gwel ar 2 Sam. vi. 17—19.

Adn. 4—6. *Ac efe a osododd gerbron arch yr Arglwydd*] Yn y babell a wnaethai Dafydd iddi; *weinidogion o'r Lefiaid*—ar y rhai yr oedd Asaph yn ben; *i gofio*—mewn caniadau, y pethau mawrion a daionus a wnaethai Duw i Israel fel cenedl; *ac i foliannu ac i glodfori*—ei enw santaidd ef am ei holl drugareddau iddynt.

Adn. 7. *Yn y dydd hwnw y rhoddes Dafydd y salm hon*] Hyny yw, efo a'i cyfan-

chwi meibion Jacob ei etholedig-
ion ef.
14 Efe *yw* yr Arglwydd ein Duw
ni; ei farnedigaethau ef *sydd* trwy
yr holl ddaear.
15 Cofiwch yn dragywydd ei gyf-
ammod; y gair a orchymynodd efe
i fil o genhedlaethau;
16 Yr hwn a gyfammododd efe
âg Abraham, a'i lw i Isaac:
17 Ac a osododd efe yn ddeddf i
Jacob, *ac* yn gyfammod tragwyddol
i Israel,
18 Gan ddywedyd, I ti y rhoddaf
dir Canaan, rhandir eich etifedd-
iaeth.
19 Pan nad oeddych ond ychyd-
ig, ïe, ychydig, a dyeithriaid
ynddi;
20 A *phan* rodient o genhedlaeth
i genhedlaeth, ac o *un* frenhiniaeth
at bobl ereill;
21 Ni adawodd efe i neb eu gor-
thrymu: ond efe a geryddodd fren-
hinoedd o'u plegid hwy, *gan ddy-
wedyd,*
22 Na chyffyrddwch â'm henein-
iog, ac na ddrygwch fy mhroffwydi.
23 Cenwch i'r Arglwydd yr holl
ddaear: mynegwch o ddydd i
ddydd ei iachawdwriaeth ef.
24 Adroddwch ei ogoniant ef yn
mhlith y cenhedloedd; a'i wyrth-
iau yn mhlith yr holl bobloedd.
25 Canys mawr *yw* yr Arglwydd,
a chanmoladwy iawn: ofnadwy hef-
yd yw efe goruwch yr holl dduwiau.
26 O herwydd holl dduwiau y
bobloedd *ydynt* eilunod; ond yr
Arglwydd a wnaeth y nefoedd.
27 Gogoniant a harddwch *sydd*
ger ei fron ef: nerth a gorfoledd yn
ei fangre ef.
28 Moeswch i'r Arglwydd, chwi
deuluoedd y bobloedd, moeswch i'r
Arglwydd ogoniant a nerth.
29 Moeswch i'r Arglwydd ogon-
iant ei enw: dygwch aberth, a
deuwch ger ei fron ef; ymgrymwch
i'r Arglwydd mewn prydferthwch
santeiddrwydd.
30 Ofnwch rhagddo ef yr holl
ddaear: y byd hefyd a sicrheir, fel
na syflo.
31 Ymlawenyched y nefoedd, ac
ymhyfryded y ddaear; a dywedant
yn mhlith y cenhedloedd, Yr Ar-
glwydd sydd yn teyrnasu.
32 Rhued y môr a'i gyflawnder;
llawenhaed y maes, a'r hyn oll *y
sydd* ynddo.
33 Yna prenau y coed a ganant
o flaen yr Arglwydd, am ei fod yn
dyfod i farnu y ddaear.
34 Clodforwch yr Arglwydd;
canys da *yw:* o herwydd ei drugar-
edd *sydd* yn dragywydd.
35 A dywedwch, Achub ni, O
Dduw ein hiachawdwriaeth, casgl
ni hefyd, a gwared ni oddiwrth y
cenhedloedd, i foliannu dy enw
santaidd di, *ac* i ymogoneddu yn dy
foliant.
36 Bendigedig *fyddo* Arglwydd
Dduw Israel, o dragwyddoldeb hyd
dragwyddoldeb. A dyweded yr
holl bobl, Amen, gan foliannu yr
Arglwydd.
37 ¶ Ac efe a adawodd yno, o
flaen arch cyfammod yr Arglwydd,
Asaph a'i frodyr, i weini gerbron
yr arch yn wastadol, gwaith dydd
yn ei ddydd:
38 Ac Obed-edom, a'u brodyr,
wyth a thriugain; Obed-edom hefyd
mab Jeduthun, a Hosah, *i fod* yn
borthorion:
39 Sadoc yr offeiriad, a'i frodyr

---

soddodd hi ar yr achlysur, ac a'i rhoddodd yn llaw Asaph a'i frodyr, i'w chanu yn mlaenaf ar ol dwyn yr arch i'r babell.

Adn. 8—22. *Moliennwch yr Arglwydd, &c.*] Cawn yr adnodau hyn oll yn Salm cv. 1—15: gwel y sylwadau yno.

Adn. 23—33. *Cenwch i'r Arglwydd yr holl ddaear, &c.*] Gwel yr adnodau hyn yn cael eu hegluro yn y sylwadau ar Salm xcvi. 1—13.

Adn. 34. *Clodforwch yr Arglwydd, &c.*] Gwel ar Salm cxviii. 1.

Adn. 35. *Achub ni, O Dduw ein hiachawdwriaeth!*] Y mae gweddio ar Dduw dan y briodoledd ag y byddom mewn angen am ei dylanwad, yn tueddu i genhedlu hyder cryf yn y meddwl. Yr wyf fi yn *wan;* O Dduw *Hollalluog*, cymhorth fi! Yr wyf fi yn *dywyll;* O *Dad y goleuni*, llewyrcha arnaf! Yr wyf fi yn *druenus* a *cholledig;* O Dduw y *drugaredd* a'r *iachawdwriaeth*, achub fi.

Adn. 36. *Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel*] Hon yw y fawl-odl ar ddiwedd y weddi uchod; ac wedi i'r cantorion ei chanu, *dywedodd yr holl bobl, Amen*—i ddangos eu dymuniad unfrydol i Dduw gael yr holl glod; *gan foliannu yr Arglwydd*—eu hunain hefyd, a hyny gydag ysbryd llawen a diolchgar.

Adn. 37. *I weini gerbron yr arch yn wastadol*] Mewn caniadau o fawl i'r Arglwydd o ddydd i ddydd, adn. 4.

yr offeiriaid, o flaen tabernacl yr
Arglwydd, yn yr uchelfa *oedd* yn
Gibeon,
40 I offrymu poeth-offrymau i'r
Arglwydd ar allor y poeth-offrwm
yn wastadol fore a hwyr, yn ol yr
hyn oll *sydd* ysgrifenedig yn nghyf-
raith yr Arglwydd, yr hon a orchy-
mynodd efe i Israel:
41 A chyda hwynt Heman, a Je-
duthun, a'r etholedigion ereill, y
rhai a hysbysasid wrth *eu* henwau,
i foliannu yr Arglwydd, am *fod* ei
drugaredd ef yn dragywydd:
42 A chyda hwynt Heman a Je-
duthun, yn lleisio âg udgyrn, ac â
symbalau i'r cerddorion, ac offer
cerdd Duw: a meibion Jeduthun
*oedd* wrth y porth.
43 A'r holl bobl a aethant bob un
i'w dŷ ei hun: a Dafydd a ddy-
chwelodd i fendigo ei dŷ yntau.

## PENNOD XVII.

A PHAN oedd Dafydd yn trigo yn
ei dŷ, Dafydd a ddywedodd
wrth Nathan y proffwyd, Wele fi
yn trigo mewn tŷ o gedrwydd, ac
arch cyfammod yr Arglwydd dan
gortynau.
2 Yna Nathan a ddywedodd wrth
Dafydd, Gwna yr hyn oll *sydd* yn
dy galon; canys *y mae* Duw gyda
thi.
3 ¶ A'r noson hòno y daeth gair
Duw at Nathan, gan ddywedyd,
4 Dos, a dywed wrth Dafydd fy
ngwas, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd; Nid adeiledi di i mi dŷ i
breswylio *ynddo*.
5 Canys ni phreswyliais i mewn
tŷ er y dydd y dygais i fyny Israel
hyd y dydd hwn, ond bûm o babell
i babell, ac o dabernacl *bwy gilydd*.
6 Yn mha *le* bynag y rhodiais
gyda holl Israel, a yngenais i air
wrth un o farnwyr Israel, (i'r rhai
y gorchymynaswn borthi fy mhobl,)
gan ddywedyd, Paham nad adeilad-
asoch i mi dŷ o gedrwydd?
7 Ac yr awr hon fel hyn y dy-
wedi wrth Dafydd fy ngwas, Fel
hyn y dywed Arglwydd y lluoedd,
Myfi a'th gymerais di o'r gorlan,
oddiar ol y praidd, i fod yn dywys-
og ar fy mhobl Israel.
8 A bûm gyda thi, i ba le bynag
y rhodiaist, torais ymaith hefyd dy
holl elynion o'th flaen, a gwnaeth-
ym enw i ti megys enw y gwŷr
mawr *sydd* ar y ddaear.
9 Gosodaf hefyd i'm pobl Israel
le, ac a'u planaf, a hwy a drigant
yn eu lle, ac ni symudir hwynt
mwyach; a meibion anwiredd ni
chwanegant eu cystuddio: (megys
yn y cyntaf,
10 Ac er y dyddiau y gorchym-
ynais i farnwyr *fod* ar fy mhobl
Israel:) darostyngaf hefyd dy holl
elynion di, a mynegaf i ti yr adeil-
ada yr Arglwydd i ti dŷ.
11 ¶ A bydd pan gyflawner dy
ddyddiau di i fyned at dy dadau,
y cyfodaf dy had ar dy ol di, yr
hwn a fydd o'th feibion di, a mi a
sicrhaf ei deyrnas ef.
12 Efe a adeilada i mi dŷ, a min-
au a sicrhaf ei deyrn-gadair ef
byth.

---

Adn. 38. *Hosah*] Enw arall ond odid ar *Jehiah*, pen. xv. 24.

Adn. 39. *Sadoc*] Y nesaf o ran swydd at Abiathar yr archoffeiriad. Y mae yn debyg fod Abiathar yn Jerusalem gyda'r arch; ac am hyny gosododd Dafydd Sadoc ac offeiriaid ereill i weini yn nhabernacl yr Arglwydd yn Gibeon, sef yr hen dabernacl a wnaethai Moses; canys yno, ac nid o flaen yr arch yn Seion, yr oeddid yn poeth-offrymu fore a hwyr.

Adn. 40. *Yn ol yr hyn oll sydd ysgrifenedig*] Gwel ar Exod. xxix. 38—42, Num. xxviii. 3—8.

Adn. 41. *A chyda hwynt*] Sef gyda Sadoc a'i frodyr. Yr oedd Heman, Jeduthun, a chantorion dewisedig ereill, i foliannu yr Arglwydd yn y tabernacl yn Gibeon, yn gystal ag ereill gerbron yr arch yn Seion; *am fod ei drugaredd ef yn dragywydd*—ac felly y mae yn haeddu cael ei foliannu mewn cân a chlodforedd bob amser ac yn mhob lle.

Adn. 42. *Offer cerdd Duw*] Rhai wedi eu cyfaddasu a'u penodi at addoliad Duw, ac nid i'w defnyddio at ddybenion cyffredin, llai o lawer rhai halogedig.

Adn. 43. *A'r holl bobl a aethant bob un i'w dŷ ei hun*] Ar ol gosod yr arch yn y babell, a chlodfori Duw am hyny, a chyfranogi o'r wledd, adn. 3; *a Dafydd a ddychwelodd i fendigo ei dŷ yntau*—megys y bendithiasai efe y bobl o'r blaen. Och! gynifer o benau teuluoedd a geir yn y wlad hon, y rhai sydd yn ofalus i fyned i'r addoliad cyhoeddus, ond heb byth feddwl am addoli gartref. Caiff eu teuluoedd fyw fel paganiaid, ond iddynt hwy eu hunain gael eu cyfrif yn Gristionogion! gwel ar 2 Sam. vi. 20.

PEN. XVII. Adn. 1—27. *A phan oedd Dafydd yn trigo yn ei dŷ, &c.*] Y mae yr

13 Myfi a fyddaf iddo ef yn dad, ac yntau fydd i mi yn fab, a'm trugaredd ni thynaf oddiwrtho ef, megys y tynais oddiwrth yr hwn a fu o'th flaen di.
14 Ond mi a'i gosodaf ef yn fy nhŷ, ac yn fy nheyrnas byth; a'i deyrn-gadair ef a sicrheir byth.
15 Yn ol yr holl eiriau hyn, ac yn ol yr holl weledigaeth hon, felly y llefarodd Nathan wrth Dafydd.
16 ¶ A daeth Dafydd y brenin, ac a eisteddodd gerbron yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Pwy *ydwyf* fi, O Arglwydd Dduw, a pheth *yw* fy nhŷ, pan ddygit fi hyd yma?
17 Eto bychan *yw* hyn yn dy olwg di, O Dduw; canys dywedaist am dŷ dy was dros hir o amser, a thi a edrychaist arnaf, (O Arglwydd Dduw,) fel ar gyflwr dyn uchelradd.
18 Pa beth a chwanega Dafydd *ei ddywedyd* wrthyt mwyach am anrhydedd dy was? canys ti a adwaenost dy was.
19 O Arglwydd, er mwyn dy was, ac yn ol dy feddwl dy hun, y gwnaethost yr holl fawredd hyn, i ddangos pob mawredd.
20 O Arglwydd, nid *oes neb* fel tydi, ac nid *oes* Duw ond tydi, yn ol yr hyn oll a glywsom â'n clustiau.
21 A pha un genedl ar y ddaear *sydd* megys dy bobl Israel, yr hon yr aeth Duw i'w gwaredu yn bobl iddo ei hun, i osod i ti enw mawr ac ofnadwy, gan fwrw allan genhedloedd o flaen dy bobl, y rhai a waredaist ti o'r Aifft?
22 Ti hefyd a wnaethost dy bobl Israel yn bobl i ti byth: a thi, Arglwydd, a aethost yn Dduw iddynt hwy.
23 Am hyny yr awr hon, Arglwydd, y gair a lefaraist am dy was, ac am ei dŷ ef, poed sicr fyddo byth: gwna fel y llefaraist.
24 A phoed sicr fyddo, fel y mawrhaer dy enw yn dragywydd, gan ddywedyd, Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, *sydd* Dduw i Israel: a *bydded* tŷ Dafydd dy was yn sicr ger dy fron di.
25 Canys ti, O fy Nuw, a ddywedaist i'th was, yr adeiledit ti dŷ iddo ef: am hyny y cafodd dy was weddio ger dy fron di.
26 Ac yr awr hon, Arglwydd, (ti ydwyt Dduw, a thi a lefaraist am dŷ dy was, y daioni hwn,)
27 Yn awr gan hyny, bid wiw genyt fendigo tŷ dy was, i fod ger dy fron yn dragywydd: am i ti, O Arglwydd, ei fendigo, bendigedig *fydd* yn dragywydd.

## PENNOD XVIII.

A DARFU wedi hyn, i Dafydd daro y Philistiaid, a'u darostwng hwynt, a dwyn Gath a'i phentrefi o law y Philistiaid.
2 Hefyd efe a darawodd Moab; a'r Moabiaid a fuant weision i Dafydd, yn dwyn treth.
3 ¶ Tarawodd Dafydd hefyd Hadarezer brenin Sobah *hyd* Hamath, pan oedd efe yn myned i sicrhau ei lywodraeth wrth afon Euphrates.
4 A Dafydd a ddyg oddiarno ef fil o gerbydau, a saith mil o wŷr meirch, ac ugain mil o wŷr traed; a thorodd Dafydd linynau gàr *meirch* yr holl gerbydau, ond efe a adawodd o honynt gan cerbyd.
5 A phan ddaeth y Syriaid o Damascus i gynorthwyo Hadarezer brenin Sobah, Dafydd a laddodd o'r Syriaid ddwy fil ar hugain o wŷr.
6 A gosododd Dafydd *amddiffynfeydd* yn Syria Damascus: a bu y Syriaid yn weision i Dafydd, yn dwyn treth. A'r Arglwydd a waredodd Dafydd i ba le bynag yr aeth.
7 A Dafydd a gymerodd y tarianau aur oedd gan weision Hadarezer, ac a'u dyg hwynt i Jerusalem.
8 Dyg Dafydd hefyd o Tibhath, ac o Chun, dinasoedd Hadarezer, lawer iawn o bres, â'r hwn y gwnaeth Solomon y môr pres, a'r colofnau, a'r llestri pres.
9 ¶ A phan glybu Tou brenin Hamath daro o Dafydd holl lu Hadarezer brenin Sobah;
10 Efe a anfonodd at y brenin Dafydd Hadoram ei fab, a phob

holl bennod hon wedi cael ei hegluro ar 2 Sam. vii., lle y mae yr un pethau yn cael eu coffâu, gydag ychydig amrywiaeth geiriau, y rhai a nodwyd yno. Adn. 17. *Dyn uchel-radd*— megys ADDA: gwel ar 2 Sam. vii. 19.

PEN. XVIII. Adn. 1—17. *A darfu wedi hyn i Dafydd daro y Philistiaid,&c.*] Gwel y bennod hon wedi cael ei hegluro yn y sylwadau ar 2 Sam. viii., lle y cymerwyd sylw o'r gwahaniaeth yn yr enwau rhwng y ddwy bennod.

llestri aur, ac arian, a phres, *gydag*
*ef*, i ymofyn am ei iechyd ef, ac i'w
fendithio ef, am iddo ryfela yn er-
byn Hadarezer a'i daro ef: canys
rhyfela yr oedd Hadarezer *yn erbyn*
Tou.
11 ¶ Y rhai hyny hefyd a gysegr-
odd y brenin Dafydd i'r Arglwydd,
gyda'r arian a'r aur a ddygasai efe
oddiar yr holl genhedloedd, *sef*
oddiar Edom, ac oddiar Moab, ac
oddiar feibion Ammon, ac oddiar y
Philistiaid, ac oddiar Amalec.
12 Ac Abisai mab Serfiah a ladd-
odd o Edom, yn nyffryn yr halen,
dair mil ar bymtheg.
13 ¶ Ac efe a osododd amddiffyn-
feydd yn Edom; a'r holl Edomiaid
a fuant weision i Dafydd. A'r Ar-
glwydd a gadwodd Dafydd i ba le
bynag yr aeth efe.
14 ¶ A Dafydd a deyrnasodd ar
holl Israel, ac yr oedd efe yn
gwneuthur barn a chyfiawnder i'w
holl bobl.
15 A Joab mab Serfiah *oedd* ar y
llu; a Jehosaphat mab Ahilud yn
gofiadur;
16 A Sadoc mab Ahitub, ac Abi-
melech mab Abiathar, *oedd* offeir-
iaid; a Safsa yn ysgrifenydd;
17 Benaiah hefyd mab Jehoiada
*oedd* ar y Cerethiaid a'r Pelethiaid;
a meibion Dafydd *oedd* y rhai penaf
wrth law y brenin.

## PENNOD XIX.

AC ar ol hyn y bu i Nahas brenin
meibion Ammon farw; a'i fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
2 A Dafydd a ddywedodd, Gwnaf
garedigrwydd â Hanun mab Nahas,
o herwydd gwnaeth ei dad â myfi
garedigrwydd. Ac anfonodd Da-
fydd genadau i'w gysuro ef am ei
dad. A gweision Dafydd a ddaeth-
ant i wlad meibion Ammon, at Ha-
nun, i'w gysuro ef.
3 A thywysogion meibion Am-
mon a ddywedasant wrth Hanun,
Ai anrhydeddu dy dad di y mae
Dafydd yn dy dyb di, am iddo anfon
cysurwyr atat ti? onid i chwilio, ac
i ddyfetha, ac i droedio y wlad, y
daeth ei weision ef atat ti?
4 Yna y cymerth Hanun weision
Dafydd, ac a'u heilliodd hwynt, ac
a dorodd eu dillad hwynt yn eu
hanner, wrth eu cluniau, ac a'u
gyrodd hwynt ymaith.
5 A hwy a aethant, ac a fyneg-
asant i Dafydd am y gwŷr. Ac efe
a anfonodd i'w cyfarfod hwynt:
(canys y gwŷr oedd wedi cywilydd-
io yn fawr.) A dywedodd y brenin,
Trigwch yn Jericho hyd oni thyfo
eich barfau; yna dychwelwch.
6 ¶ Yna meibion Ammon a wel-
sant ddarfod iddynt eu gwneuthur
eu hunain yn gâs gan Dafydd; ac
anfonodd Hanun a meibion Ammon
fil o dalentau arian, i gyflogi iddynt
gerbydau a marchogion o Mesopo-
tamia, ac o Syria-maachah, ac o
Sobah.
7 A chyflogasant iddynt ddeu-
ddeng mil ar hugain o gerbydau, a
brenin Maachah a'i bobl; y rhai a
ddaethant, ac a wersyllasant o flaen
Medeba. A meibion Ammon hefyd
a ymgasglasant o'u dinasoedd, ac a
ddaethant i ryfel.
8 A phan glybu Dafydd, efe a
anfonodd Joab, a holl lu y cedyrn.
9 A meibion Ammon a aethant
allan, ac o ymfyddinasant *wrth*
borth y ddinas: a'r brenhinoedd y
rhai a ddelsai *oedd* o'r neilldu yn y
maes.
10 A phan ganfu Joab fod wyneb
y rhyfel yn ei erbyn ef yn mlaen ac
yn ol, efe a etholodd o holl etholed-
igion Israel, ac a'*u* byddinodd *hwynt*
yn erbyn y Syriaid.
11 A gweddill y bobl a roddes efe
dan law Abisai ei frawd; a hwy a
ymfyddinasant yn erbyn meibion
Ammon.
12 Ac efe a ddywedodd, Os trech
*fydd* y Syriaid na mi, yna bydd di
yn gynorthwy i mi: ond os meibion
Ammon a fyddant trech na thi,

PEN. XIX. Adn. 1—19. *Ac ar ol hyn y bu i Nahas, brenin meibion Ammon, farw, &c.*] Trwy fod y bennod hon hefyd wedi cael ei hegluro yn y sylwadau ar 2 Sam. x., deisyfir i'r darllenydd droi yno. Yn adn. 6, dywedir i Hanun a meibion Ammon gyflogi iddynt *gerbydau a marchogion o Mesopotamia*, y rhai na chrybwyllir yn 2 Sam. x. Fe allai na ddarfu iddynt gyraedd nes i'r Ammoniaid a'r cynghreirwyr ereill gael eu gorchfygu gan yr Israeliaid yn y frwydr gyntaf. Yn adn. 7, dywedir fod nifer y *cerbydau* yn 32,000: ond y mae yn debyg mai nifer y *milwyr* a ymladdent mewn cerbydau a feddylir; neu fod y cerbydau a'r marchogion o *Mesopotamia* yn cael eu cynwys yn y rhif hwn.

yna mi a'th gynorthwyaf dithau.
13 Bydd rymus, ac ymwrolwn
dros ein pobl, a thros ddinasoedd
ein Duw; a gwnaed yr Arglwydd
yr hyn *fyddo* da yn ei olwg ef.
14 Yna y neshaodd Joab, a'r bobl
*oedd* gydag ef, yn erbyn y Syriaid
i'r rhyfel; a hwy a ffoisant o'i flaen ef.
15 A phan welodd meibion Am-
mon ffoi o'r Syriaid, hwythau hefyd
a ffoisant o flaen Abisai ei frawd ef,
ac a aethant i'r ddinas, a Joab a
ddaeth i Jerusalem.
16 ¶ A phan welodd y Syriaid
eu lladd o flaen Israel, hwy a an-
fonasant genadau, ac a ddygasant
allan y Syriaid y rhai *oedd* o'r tu
hwnt i'r afon; a Sophach capten llu
Hadarezer *oedd* o'u blaen hwynt.
17 A mynegwyd i Dafydd; ac
efe a gasglodd holl Israel, ac a aeth
dros yr Iorddonen, ac a ddaeth ar-
nynt hwy, ac a ymfyddinodd yn eu
herbyn hwynt. A phan ymfyddin-
odd Dafydd yn erbyn y Syriaid,
hwy a ryfelasant âg ef.
18 Ond y Syriaid a ffoisant o
flaen Israel; a lladdodd Dafydd o'r
Syriaid saith mil *o wŷr yn ymladd*
mewn cerbydau, a deugain mil o
wŷr traed, ac a laddodd Sophach
capten y llu.
19 A phan welodd gweision Ha-
darezer eu lladd o flaen Israel, hwy
a heddychasant â Dafydd, a gwas-
anaethasant ef: ac ni fynai y Syr-
iaid gynorthwyo meibion Ammon
mwyach.

## PENNOD XX.

DARFU hefyd wedi gorphen y
flwyddyn, yn amser myned o'r
brenhinoedd allan *i ryfela*, arwain
o Joab gadernid y llu, ac anrheithio
gwlad meibion Ammon, ac efe a
ddaeth ac a warchaeodd ar Rabbah:
(ond Dafydd a arhosodd yn Jeru-
salem:) a Joab a darawodd Rabbah,
ac a'i dinystriodd hi.
2 A chymerth Dafydd goron eu
brenin hwynt oddiam ei ben, a
chafodd hi o bwys talent o aur, ac
ynddi feini gwerthfawr, a hi a roed
am ben Dafydd: ac efe a ddyg an-
rhaith fawr iawn *o'r* ddinas.
3 A'r bobl *oedd* ynddi a ddyg efe
allan, ac a'*u* torodd *hwynt* â llifiau,
ac âg ogau heiyrn, ac â bwyill: ac
fel hyn y gwnaeth Dafydd â holl
ddinasoedd meibion Ammon. A dy-
chwelodd Dafydd a'r holl bobl i
Jerusalem.
4 ¶ Ac ar ol hyn y cyfododd
rhyfel yn Gezer yn erbyn y Philist-
iaid: yna Sibbechai yr Husathiad a
laddodd Sippai *yr hwn oedd* o feibion
y cawr; felly y darostyngwyd hwynt.
5 A bu drachefn ryfel yn erbyn
y Philistiaid, ac Elhanan mab Jair
a laddodd Lami, brawd Goliath y
Gethiad, a phaladr ei waewffon ef
*oedd* fel carfan gwehydd.
6 Bu hefyd drachefn ryfel yn
Gath, ac yr oedd gŵr hir, a'i fysedd
*oeddynt* bob yn chwech a chwech,
*sef* pedwar ar hugain; yntau hefyd
a anesid i'r cawr.
7 Ond pan ddifenwodd efe Israel,
Jonathan mab Simea brawd Dafydd
a'i lladdodd ef.
8 Y rhai hyn a anwyd i'r cawr yn
Gath, ac a laddwyd trwy law Da-
fydd, a thrwy law ei weision ef.

## PENNOD XXI.

A SATAN a safodd i fyny yn erbyn
Israel, ac a annogodd Dafydd i
gyfrif Israel.

---

PEN. XX. Adn. 1. *Darfu hefyd wedi gorphen y flwyddyn*] Gwel ar 2 Sam. xi. 1. *Ond Dafydd a arhosodd yn Jerusalem*—yr hyn a roddodd achlysur i'w bechod ef gyda Bathseba.

Adn. 2, 3. *A chymerth Dafydd goron eu brenin hwynt, &c.*] Gwel ar 2 Sam. xii. 30, 31.

Adn. 4—8. *Ac ar ol hyn y cyfododd rhyfel yn Gezer, &c.*] Ar derfyn *Gob*. Gwel yr adnodau hyn yn cael eu hegluro yn y sylwadau ar 2 Sam. xxi. 18—22. *Tair* brwydr a grybwyllir yma, ond sonir am *bedair* yn 2 Sam. xxi. 15, &c. Y mae yn debyg fod y gyntaf yn cael ei gadael allan yma o barch i Dafydd, yr hwn a *ddiffygiodd* yn ngwyneb Isbibenob: gwel y sylwadau yno.

PEN. XXI. Adn. 1. *A Satan a safodd i fyny yn erbyn Israel*] I gynllunio trefn yn ei feddwl ei hun i geisio dyfetha Israel; *ac a annogodd Dafydd i gyfrif Israel*—yn y ffordd *bechadurus* a nodwyd ar 2 Sam. xxiv. 2, 10, yr hyn oedd yn foddion tra thebygol o ateb y dyben hwnw. Dywed rhai mai yr ystyr yw, i Satan sefyll i fyny o 'flaen yr Arglwydd a'i frawdle, i gyhuddo Dafydd ac Israel, ac i ofyn caniatâd Duw i demtio Dafydd.'—BENSON. Ac 'wedi cyhuddo Israel, cafodd ganiatâd gan Dduw i annog Dafydd i'w cyfrif hwynt, er dwyn pla arnynt i'w cospi; ac oddiar y caniatâd hwnw, priodolir yr annogiad i'r Arglwydd ei hun.'—JAMES HUGHES. Ond gwel y sylw ar 2 Sam. xxiv. 1, lle y rhyddheir ein Duw da

2 A dywedodd Dafydd wrth Joab, ac wrth benaethiaid y bobl, Ewch, cyfrifwch Israel o Beerseba hyd Dan; a dygwch ataf fi, fel y gwypwyf eu rhifedi hwynt.

3 A dywedodd Joab, Chwaneged yr Arglwydd ei bobl yn gan cymaint ag *ydynt:* O fy arglwydd frenin, onid gweision i'm harglwydd *ydynt* hwy oll? paham y cais fy arglwydd hyn? paham y bydd efe yn achos camwedd i Israel?

4 Ond gair y brenin a fu drech na Joab: a Joab a aeth allan, ac a dramwyodd trwy holl Israel, ac a ddaeth i Jerusalem.

5 ¶ A rhoddes Joab nifer rhifedi y bobl i Dafydd. A holl Israel oedd fil o filoedd a chan mil o wŷr yn tynu cleddyf; a Judah *oedd* bedwar can *mil* a deng mil a thriugain o wŷr yn tynu cleddyf.

6 Ond Lefi a Benjamin ni chyfrifasai efe yn eu mysg hwynt; canys ffiaidd oedd gan Joab air y brenin.

7 A bu ddrwg y peth hyn yn ngolwg Duw, ac efe a darawodd Israel.

8 A Dafydd a ddywedodd wrth Dduw, Pechais yn ddirfawr, o herwydd i mi wneuthur y peth hyn: ac yr awr hon, dilea, atolwg, anwiredd dy was, canys gwnaethym yn ynfyd iawn.

9 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Gad, gweledydd Dafydd, gan ddywedyd,

10 Dos, a llefara wrth Dafydd, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Tri *pheth* yr ydwyf fi yn eu gosod o'th flaen di; dewis i ti un o honynt, a mi a'*i* gwnaf i ti.

11 Yna Gad a ddaeth at Dafydd, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Cymer i ti

12 *Naill* ai tair blynedd o newyn, ai *dy* ddyfetha dri mis o flaen dy wrthwynebwyr, a chleddyf dy elynion yn *dy* oddiweddyd; ai ynte cleddyf yr Arglwydd, sef haint y nodau yn y tir dri diwrnod, ac angel yr Arglwydd yn dinystrio trwy holl derfynau Israel. Ac yr awr hon edrych pa air a ddygaf drachefn i'r hwn a'm hanfonodd.

13 A Dafydd a ddywedodd wrth Gad, Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi; syrthiwyf, atolwg, yn llaw yr Arglwydd, (canys ei drugareddau ef *ydynt* aml iawn,) ac na syrthiwyf yn llaw dyn.

14 ¶ Yna y rhoddes yr Arglwydd haint y nodau ar Israel: a syrthiodd o Israel ddeng mil a thriugain *mil* o wŷr.

15 A Duw a anfonodd angel i Jerusalem i'w dinystrio hi: ac fel yr oedd yn ei dinystrio, yr Arglwydd a edrychodd, ac a edifarhaodd am y drwg, ac a ddywedodd wrth yr angel oedd yn dinystrio, Digon bellach, attal dy law. Ac angel yr Arglwydd oedd yn sefyll wrth lawr-dyrnu Ornan y Jebusiad.

16 A Dafydd a ddyrchafodd ei

---

oddiwrth y cyhuddiad hwn; canys prin y gallwn feddwl fod y fath gynghrair a hyn rhwng yr Arglwydd a Satan; neu y caniatäai efe fel hyn i elyn Duw a dyn demtio Dafydd i *bechu*, fel ag i gael mantais i enyn ei ddigllonedd yn erbyn ei was am hyny, a lle cyfiawn i *gospi* a *dyfetha* ei bobl Israel! Y mae y dyb gyntaf yn hollol gyson â natur lidiog a maleisus yr angel syrthiedig; ond y mae meddwl fod gan ein Duw da ryw gynghrair âg ef er temtio dyn i bechu, ac wedi hyny ei gospi ef am y cyfryw bechod, a miloedd Israel gydag ef, yn hollol groes i'r ysgrythyr, lle y dywedir 'nad yw efe yn temtio neb,' Iago i. 13.

Adn. 2. *A dywedodd Dafydd wrth Joab, &c.*] Gwel ar 2 Sam. xxiv. 2.

Adn. 3. *Paham y bydd efe yn achos camwedd*] Neu yn 'achos *cosp* i Israel?' Y mae yr un gair Hebreig yn arwyddo pechod a'i gosp.

Adn. 4, 5. *Chwaneged yr Arglwydd ei bobl yn gan cymaint*] Gwel ar 2 Sam. xxiv. 3—9.

Adn. 6. *Ond Lefi a Benjamin ni chyfrifasai efe*] Am fod y gwaith yn 'ffiaidd' ganddo, fel y dywedir yma. Heblaw hyny, nid oedd llwyth *Lefi* yn rhyfelwyr, ac nid oedd gorchymyn y brenin yn cyraedd at neb ond 'gwŷr yn tynu cleddyf,' adn. 5; ac am lwyth *Benjamin*, yr oeddynt hwy bron wedi eu dyfetha, Barn. xx. 48; a chan fod y gweddill o honynt yn preswylio yn ymyl Jerusalem, gellid eu cyfrif ar ol hyn os byddai raid. Y rabbiniaid a roddant y rheswm canlynol am beidio cyfrif y ddau lwyth hyn: 'Joab, wrth weled y byddai i hyn ddwyn dinystr ar y bobl, a fwriadai achub *dau lwyth*. Os gofynai Dafydd, Paham na chyfrifasoch y *Lefiaid?* bwriadai Joab ddywedyd, Am nad yw y Lefiaid yn cael eu cyfrif yn mhlith plant Israel. Os gofynai efe, Paham na chyfrifasoch *Benjamin?* efe a atebai, Cafodd Benjamin ei gospi yn ddigonol eisioes o achos ei driniaeth i'r wraig yn Gibeah; (Barn. xix. 25;) gan hyny, pe byddai i'r llwyth hwn gael ei gospi drachefn, pwy fyddai ar ol?'

Adn. 7. *A bu ddrwg y peth hyn yn ngolwg Duw*] Ac am hyny nis gallai ef fod wedi annog Dafydd i'w wneuthur: gwel ar adn. 1.

lygaid, ac a ganfu angel yr Arglwydd yn sefyll rhwng y ddaear a'r nefoedd, a'i gleddyf noeth yn ei law wedi ei estyn tua Jerusalem. A syrthiodd Dafydd a'r henuriaid, (*y rhai oedd* wedi ymwisgo mewn sachlian,) ar eu hwynebau.

17 A Dafydd a ddywedodd wrth Dduw, Onid myfi a ddywedais am gyfrif y bobl? a mi yw yr hwn a bechais, ac a wnaethym fawr ddrwg; ond y defaid hyn, beth a wnaethant hwy? O Arglwydd fy Nuw, bydded, atolwg, dy law arnaf fi, ac ar dŷ fy nhad, ac nid yn bla ar dy bobl.

18 ¶ Yna angel yr Arglwydd a archodd i Gad ddywedyd wrth Dafydd, am fyned o Dafydd i fyny i gyfodi allor i'r Arglwydd yn llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad.

19 A Dafydd a aeth i fyny, yn ol gair Gad, yr hwn a lefarasai efe yn enw yr Arglwydd.

20 Yna y trôdd Ornan, ac a ganfu yr angel, a'i bedwar mab gydag ef a ymguddiasant; ac Ornan oedd yn dyrnu gwenith.

21 A Dafydd a ddaeth at Ornan; ac edrychodd Ornan, ac a ganfu Dafydd, ac a aeth allan o'r llawr-dyrnu, ac a ymgrymodd i Dafydd, â'*i* wyneb tua'r ddaear.

22 A dywedodd Dafydd wrth Ornan, Moes i mi le y llawr-dyrnu, fel yr adeiladwyf ynddo allor i'r Arglwydd: dyro ef i mi am *ei* lawn werth; fel yr attalier y pla oddiwrth y bobl.

23 Ac Ornan a ddywedodd wrth Dafydd, Cymer i ti, a gwnaed fy arglwydd frenin yr hyn *fyddo* da yn ei olwg. Wele, rhoddaf yr ychain yn boeth-offrwm, a'r offer dyrnu yn gynud, a'r gwenith yn fwyd-offrwm: hyn oll a roddaf.

24 A'r brenin Dafydd a ddywedodd wrth Ornan, Nid *felly*, ond gan brynu y prynaf ef am *ei* lawn werth: canys ni chymeraf i'r Arglwydd yr eiddot ti, ac nid offrymaf boeth-offrwm yn rhad.

25 Felly y rhoddes Dafydd i Ornan am y lle chwe chan sicl o aur wrth bwys.

26 Ac yno yr adeiladodd Dafydd allor i'r Arglwydd, ac a offrymodd boeth-offrymau, ac ebyrth hedd, ac a alwodd ar yr Arglwydd; ac efe a'i hatebodd ef o'r nefoedd trwy dân ar allor y poeth-offrwm.

27 A dywedodd yr Arglwydd wrth yr angel; ac yntau a roes ei gleddyf yn ei wain drachefn.

28 ¶ Y pryd hwnw, pan ganfu Dafydd ddarfod i'r Arglwydd wrando arno ef yn llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad, efe a aberthodd yno.

29 Ond tabernacl yr Arglwydd, yr hon a wnelsai Moses yn yr anialwch, ac allor y poeth-offrwm, *oedd* y pryd hwnw yn yr uchelfa yn Gibeon.

30 Ac ni allai Dafydd fyned o'i blaen hi i ymofyn â Duw; canys ofnasai rhag cleddyf angel yr Arglwydd.

---

Adn. 8—17. *Pechais yn ddirfawr o herwydd i mi wneuthur y peth hyn, &c.*] Gwel ar 2 Sam. xxiv. 10—17.

Adn. 18, 19. *Llawr-dyrnu Ornan*] Yr hwn hefyd a elwir *Arafnah*: gwel ar 2 Sam. xxiv. 18, 19.

Adn. 20—25. *Yna y trôdd Ornan, ac a ganfu yr angel*] Neu, yn ol y LXX, 'a ganfu y *brenin*;' a'r Syriaeg a'r Arabaeg a'i darllenant, '*Dafydd* a ganfu yr *angel*.' Ond y dyb gyffredin yw, fod yr angel dinystriol yn weledig nid yn unig i Dafydd a henuriaid Israel, adn. 16, ond hefyd i Ornan a'i bedwar mab, yn nghyda holl drigolion Jerusalem: gwel ar 2 Sam. xxiv. 20—25.

Adn. 26. *Ac efe a'i hatebodd ef o'r nefoedd trwy dân*] Heb. 'a'i hatebodd ef trwy dân o'r nefoedd,' yr hyn oedd yn arwydd o gymeradwyaeth Duw. Gallasai y tân ddisgyn yn gyfiawn ar y pechadur, a'i ysu yn lludw; eithr disgynodd ar yr aberth: ac yr oedd hyny yn gysgod o Grist ein Haberth ni, trwy yr hwn y gall Duw, trwy ei ddryllio ef, fod i ni yn Dad cymodlawn, ac nid yn dân ysol.

Adn. 27. *A dywedodd yr Arglwydd wrth yr angel*] Am roddi ei gleddyf yn ei wain. Ymddengys i'r Arglwydd beri i'r angel 'attal ei law,' ar edifeirwch a gweddi Dafydd, cyn iddo ef aberthu; ond trwy ei fod o hyd yn weledig, â'i gleddyf noeth yn ei law, ar ol i Dafydd aberthu, gorchymynir yma iddo roddi ei gleddyf yn ei wain, yn arwydd fod yr Arglwydd wedi llwyr gymodi â'r wlad.

Adn. 28, 29. *Efe a aberthodd yno*] Chwaneg o boeth-offrymau ac ebyrth hedd, yn lle myned i Gibeon, lle yr oedd y tabernacl a'r allor.

Adn. 30. *Ac ni allai Dafydd fyned o'i blaen hi*] Sef o flaen allor y poeth-offrwm yn Gibeon; *i ymofyn â Duw*—neu i geisio ei ffafr ef trwy weddi ac aberth; *canys ofnasai rhag cleddyf*—ofnai *oedi* ei offrymau dros gyhyd o amser ag oedd yn ofynol i gyraedd yno, rhag i'r angel yn y cyfamser ladd yr holl bobl yn ei absenoldeb ef.

PEN. XXII. Adn. 1. *A dywedodd Dafydd*] Dan gynhyrfiad Ysbryd Duw, yr hwn

## PENNOD XXII.

A DYWEDODD Dafydd, Hwn yw tŷ yr Arglwydd Dduw, a dyma allor y poeth-offrwm i Israel.
2 Dywedodd Dafydd hefyd am gasglu y dyeithriaid *oedd* yn nhir Israel; ac efe a osododd seiri meini i naddu cerig nadd, i adeiladu tŷ Dduw.
3 A pharotôdd Dafydd haiarn yn helaeth, tuag at hoelion drysau y pyrth, ac i'r cysylltiadau, a phres mor helaeth ag nad *oedd arno* bwys;
4 Coed cedr hefyd allan o rif: canys y Sidoniaid a'r Tyriaid a ddygent gedrwydd lawer i Dafydd.
5 A dywedodd Dafydd, Solomon fy mab *sydd* ieuanc a thyner, a'r tŷ a adeiledir i'r Arglwydd, *rhaid iddo fod* mewn mawredd, mewn rhagoriaeth, mewn enw, ac mewn gogoniant, trwy yr holl wledydd: parotoaf yn awr tuag ato ef. Felly y parotôdd Dafydd yn helaeth cyn ei farwolaeth.
6 ¶ Ac efe a alwodd ar Solomon ei fab, ac a orchymynodd iddo adeiladu tŷ i Arglwydd Dduw Israel.
7 Dywedodd Dafydd hefyd wrth Solomon, Fy mab, yr oedd yn fy mryd i adeiladu tŷ i enw yr Arglwydd fy Nuw.
8 Eithr gair yr Arglwydd a ddaeth ataf fi, gan ddywedyd, Gwaed lawer a dywelltaist ti, a rhyfeloedd mawrion a wnaethost ti: nid adeiledi di dŷ i'm henw i, canys gwaed lawer a dywelltaist ar y ddaear yn fy ngŵydd i.
9 Wele, mab a enir i ti, efe a fydd ŵr llonydd, a mi a roddaf lonyddwch iddo ef gan ei holl elynion o amgylch: canys Solomon fydd ei enw ef, heddwch hefyd a thangnefedd a roddaf i Israel yn ei ddyddiau ef.
10 Efe a adeilada dŷ i'm henw, ac efe a fydd i mi yn fab, a minau yn dad iddo yntau: sicrhaf hefyd orseddfa ei frenhiniaeth ef ar Israel byth.
11 Yn awr fy mab, yr Arglwydd fyddo gyda thi, a ffyna dithau, ac adeilada dŷ yr Arglwydd dy Dduw, megys ag y llefarodd efe am danat ti.
12 Yn unig rhodded yr Arglwydd i ti ddoethineb, a deall, a rhodded i ti orchymynion am Israel, fel y cadwech gyfraith yr Arglwydd dy Dduw.
13 Yna y ffyni, os gwyli ar wneuthur y deddfau a'r barnedigaethau a orchymynodd yr Arglwydd i Moses am Israel. Ymgryfha, ac

---

yn debygol a roddes iddo nid yn unig bortread o'r deml, pen. xxviii. 12, ond hysbysrwydd o'r fan lle y safai. *Hwn yw tŷ yr Arglwydd*—hyd nes yr adeiledir teml i'w enw; neu hwn yw y lle a benododd Duw i adeiladu ei deml a'i allor arno.

Adn. 2. *Y dyeithriaid oedd yn nhir Israel*] Sef gweddillion yr hen Ganaaneaid, y rhai oeddynt wedi dyfod yn *broselytiaid* i'r grefydd Iuddewig, o leiaf cyn belled ag i adael eilunaddoliaeth, a chadw saith gorchymyn Noa; *ac efe a osododd seiri meini*—gwel ar 2 Bren. v. 15, a ix. 20, 21.

Adn. 3—5. *A pharotôdd Dafydd haiarn, &c.*] Er na chai ef adeiladu y tŷ, eto parotôdd yn helaeth tuag ato, am fod ei fab mor ieuanc, a bod y tŷ i fod mor fawreddog, rhagorol, a gogoneddus, ac yn gysgod o Grist a'i eglwys.

Adn. 6. *Ac efe a alwodd ar Solomon ei fab*] Ond odid ar ol i Dafydd ddechreu clafychu, 1 Bren. i. 1, &c., pryd yr oedd Solomon oddeutu 17 mlwydd oed.

Adn. 7. *Fy mab, yr oedd yn fy mryd i*] Gwel ar 2 Sam. vii. 2, &c.

Adn. 8. *Gwaed lawer a dywelltaist ti*] Yr oedd Dafydd wedi bod yn rhwym mewn cynifer o ryfeloedd mawrion, fel na fuasai y deml mor anrhydeddus ar ol cael ei hadeiladu gan y fath ddyn; nid am fod y rhyfeloedd hyny ynddynt eu hunain yn annghyfreithlon, canys yr oedd yr Arglwydd yn eu gorchymyn, ac yn ei lwyddo ef ynddynt; ond i ddysgu i ni fod yr eglwys Gristionogol, o'r hon yr oedd y deml yn gysgod, i gael ei hadeiladu gan Grist, 'Tywysog tangnefedd,' a thrwy bregethiad 'efengyl tangnefedd.'

Adn. 9. *Wele, mab a enir i ti*] Canys llefarwyd y geiriau hyn cyn geni Solomon, 2 Sam. vii. 12; *efe a fydd ŵr llonydd*—heb fod mewn rhyfel â'r cenhedloedd oddiamgylch; *canys Solomon fydd ei enw ef*—yr hyn a arwydda HEDDYCHLON: gwel ar 2 Sam. xii. 24.

Adn. 10. *Efe a adeilada dŷ i'm henw*] Gwel ar 2 Sam. xii. 13, &c.

Adn. 11. *Yr Arglwydd fyddo gyda thi*] Gellir ystyried y geiriau hyn fel gweddi ffyddiog, neu broffwydoliaeth sicr, neu bob un o'r ddau.

Adn. 12. *Yn unig rhodded yr Arglwydd i ti ddoethineb a deall*] I gyflawni gorchwyl mor fawr ag adeiladu tŷ i'r Arglwydd, yn gystal ag i lywodraethu Israel yn ddoeth, cyfiawn, ac yn ofn Duw, 2 Sam. xxiii. 3.

Adn. 13. *Yna y ffyni, os gwyli ar wneuthur y deddfau, &c.*] Gwel ar 1 Bren. ii. 2, 3.

Adn. 14. *Ac wele, yn fy nhylodi*] Mewn cydmhariaeth i'r golud a fyddai gan Solomon;

ymwrola; nac ofna, ac na arswyda.
14 Ac wele, yn fy nhylodi y pa-
rotoais i dŷ yr Arglwydd gan mil o
dalentau aur, a mil o filoedd o dal-
entau arian; ar bres hefyd, ac ar
haiarn, nid *oes* bwys; (canys y mae
yn helaeth;) coed hefyd a meini a
barotoais i: ychwanega dithau at-
ynt hwy.
15 Hefyd *y mae* yn aml gyda thi
weithwyr gwaith, *sef* cymynwyr, a
seiri maen a phren, a phob rhai
celfydd yn mhob gwaith.
16 Ar aur, ar arian, ar bres, ac
ar haiarn, nid *oes* rifedi. Cyfod
dithau, a gweithia, a'r Arglwydd a
fydd gyda thi.
17 ¶ A Dafydd a orchymynodd i
holl dywysogion Israel gynorthwyo
Solomon ei fab, *gan ddywedyd*,
18 Onid *yw* yr Arglwydd eich
Duw gyda chwi? ac *oni* roddes efe
lonyddwch i chwi oddiamgylch?
canys rhoddes yn fy llaw i drigol-
ion y tir; a'r tir a ddarostyngwyd
o flaen yr Arglwydd, ac o flaen ei
bobl ef.
19 Yn awr rhoddwch eich calon
a'ch enaid i geisio yr Arglwydd
eich Duw; cyfodwch hefyd, ac
adeiledwch gysegr yr Arglwydd
Dduw, i ddwyn arch cyfammod yr
Arglwydd, a santaidd lestri Duw,
i'r tŷ a adeiledir i enw yr Arglwydd.

## PENNOD XXIII.

A PHAN *oedd* Dafydd yn hen, ac
yn llawn o ddyddiau, efe a osod-
odd Solomon ei fab yn frenin ar
Israel.
2 ¶ Ac efe a gynullodd holl dy-
wysogion Israel, a'r offeiriaid, a'r
Lefiaid.

---

neu gan fyw yn gynil fel dyn tylawd, yn hytrach nag fel brenin cyfoethog, er mwyn casglu y trysorau a ganlyn at dŷ yr Arglwydd. Saes., 'yn fy *nhrallod:*' a thrallodus iawn a fu llawer o oes Dafydd. Fel pe dywedasai, Yn nghanol yr holl ryfeloedd ag y bûm yn rhwym ynddynt, a'r bradwriaethau a'm cylchynent, a'r trallodion teuluaidd a'm gordöent, ni chollais erioed olwg ar yr amcan mawr hwn, sef adeiladu tŷ i Dduw, fel y byddai i'w addoliad ef gael ei sefydlu yn y wlad. *Gan mil o dalentau aur, a mil o filoedd o dalentau arian*—gan fod *talent aur* yn werth £5475 o'n harian ni, byddai i *gan mil* o honynt gyraedd i £547,500,000; a chan fod *talent arian* yn werth £342 3*s.* 9*c.*, byddai i *fil o filoedd* o honynt gyraedd i £342,187,500; a'r ddau swm hyn yn nghyd a wnaent £889,687,500, yr hyn sydd fwy na holl gyllid Lloegr am ddeuddeng mlynedd! Bernir yn gyffredin nad oedd nifer y talentau yn gymaint ag a ddywedir yma, a bod rhyw wall wedi ymlusgo i'r testyn trwy esgeulusdra rhyw adysgrifenydd; neu fod talent arall o lai gwerth yn bodoli yn amser Dafydd, at yr hon y cyfeirir yma; neu ynte y dylasai y gair *chicharim*, yr hwn a gyfieithir yma 'talentau,' gael ei gyfieithu yn *glampau* neu *lafnau* aur ac arian. Ond y mae Houbigant yn ei gyfieithu, 'Eithr myfi, yn ol fy ngallu tylawd, a barotoais *gan* talent o aur, a *mil* o dalentau arian.' Gwel *Jos. Antiq., lib.* 7, *cap.* 14, § 2. *Ar bres hefyd, ac ar haiarn, nid oes bwys*—neu ni phwyswyd hwynt, fel y gwnaed â'r aur a'r arian, gan mor helaeth oeddynt. *Ychwanega dithau atynt hwy*—gan i Dafydd ddarpar cymaint yn ei dylodi, byddai yn hawdd i Solomon chwanegu at hyny yn ei lawnder; ac efe a wnaeth hyny yn helaeth.

Adn. 15. *Hefyd y mae yn aml gyda thi weithwyr*] Gwel ar 1 Bren. v. 15.

Adn. 16. *Ar aur—nid oes rifedi*] Sef ar y rhai a weithient mewn aur, arian, pres, a haiarn. Fel yr oedd nifer ei seiri maen a phren, at y rhai y cyfeirir yn adn. 15, yn 150,000; felly yr oedd nifer ei weithwyr yn y metteloedd hyn ond odid yn llawer lluosocach. *Cyfod dithau, a gweithia*—heb oedi dim, mor fuan ag y deui i'r orsedd.

Adn. 17. *Gynorthwyo Solomon*] A'u cynghor a'u doethineb, ac â'u cyfoeth hefyd os byddai angen.

Adn. 18. *Onid yw yr Arglwydd eich Duw gyda chwi*] Yn eich bendithio â chyflawnder o bob golud daearol? *Ac oni roddes efe lonyddwch i chwi oddiamgylch*—fel ag y mae yn adeg gyfleus i chwi gynorthwyo Solomon i adeiladu tŷ yr Arglwydd? *Canys rhoddes yn fy llaw i drigolion y tir*—hyd y terfynau eithaf a addawsai Duw i Abraham, Gen. xv. 18, 2 Sam. viii. 3, &c.

Adn. 19. *Yn awr rhoddwch eich calon a'ch enaid*] Sef holl alluoedd eich corff a'ch meddwl; *i geisio yr Arglwydd eich Duw*—i geisio ei ffafr a'i heddwch, ac i'w anrhydeddu a'i ogoneddu ef. *Cyfodwch hefyd*—i gynorthwyo Solomon yn adeiladiad cysegr yr Arglwydd, adn. 17; *i ddwyn arch cyfammod yr Arglwydd*—yr hon oedd yn awr yn y babell a wnaethai Dafydd iddi yn Seion; *a santaidd lestri Duw*—y rhai oeddynt yn y tabernacl yn Gibeon; *i'r tŷ a adeiledir i enw yr Arglwydd*—i'r deml yn Jerusalem, i'w defnyddio yno gyda'u gilydd yn ngwasanaeth Duw.

PEN. XXIII. Adn. 1. *A phan oedd Dafydd yn hen*] Oddeutu 70 mlwydd oed; *efe a osododd Solomon ei fab yn frenin ar Israel*—efe a'i penododd ef i fod yn frenin ar ol ei farwolaeth ef, a pharodd i Sadoc a Nathan ei eneinio ef, 1 Bren. i. 34, &c.

Adn. 2. *Ac efe a gynullodd holl dywysogion Israel*] I fynegu iddynt ewyllys Duw, a'i ddymuniad ei hun, i Solomon fod yn olynydd

3 A'r Lefiaid a gyfrifwyd o fab
deng mlwydd ar hugain, ac uchod:
a'u nifer hwy wrth eu penau, bob
yn ŵr, *oedd* onid dwy fil deugain.
4 O'r rhai *yr oedd* pedair mil ar
hugain i oruchwylio ar waith tŷ yr
Arglwydd; ac yn swyddogion, ac
yn farnwyr, chwe mil:
5 A phedair mil yn borthorion, a
phedair mil yn moliannu yr Ar-
glwydd â'r offer a wnelswn i, *ebe
Dafydd*, i foliannu.
6 A dosbarthodd Dafydd hwynt
yn ddosbarthiadau yn mysg meib-
ion Lefi, *sef* Gerson, Cohath, a
Merari.
7 ¶ O'r Gersoniaid *yr oedd* Laad-
an, a Simei.
8 Meibion Laadan; y penaf Je-
hiel, a Zetham, a Joel, tri.
9 Meibion Simei; Selomith, a
Haziel, a Haran, tri. Y rhai hyn
*oedd* benau cenedl Laadan.
10 Meibion Simei hefyd *oedd*, Ja-
hath, Zina, a Jeus, a Beriah. Dyma
bedwar mab Simei.
11 A Jahath oedd benaf, a Ziza
yn ail: ond Jeus a Beriah nid oedd
nemawr o feibion iddynt; am hyny
yr oeddynt hwy yn un cyfrif, wrth
dŷ *eu* tad.
12 ¶ Meibion Cohath; Amram,
Ishar, Hebron, ac Uzziel, pedwar.
13 Meibion Amram *oedd* Aaron,
a Moses: ac Aaron a neillduwyd i
santeiddio y cysegr santeiddiolaf,
efe a'i feibion byth, i arogldarthu
gerbron yr Arglwydd, i'w wasan-
aethu ef, ac i fendigo yn ei enw ef
yn dragywydd.
14 A Moses gŵr Duw, ei feibion
ef a alwyd yn llwyth Lefi.
15 Meibion Moses *oedd*, Gersom,
ac Eliezer.
16 *O* feibion Gersom; Sebuel
*oedd* y penaf.
17 A meibion Eliezer *oedd*, Re-
habiah y cyntaf. Ac i Eliezer nid
oedd meibion ereill; ond meibion
Rehabiah a amlhasant yn ddirfawr.
18 *O* feibion Ishar; Selomith y
penaf.
19 *O* feibion Hebron; Jeriah y
cyntaf, Amariah yr ail, Jahaziel y
trydydd, a Jecameam y pedwarydd.
20 *O* feibion Uzziel; Michah y
cyntaf, a Jesiah yr ail.
21 ¶ Meibion Merari *oedd*, Mali,

---

iddo yn y frenhiniaeth; *a'r offeiriaid a'r Lefiaid*—i glywed sefydliad trefn newydd o weinidogaeth yn y cysegr.

Adn. 3. *A'r Lefiaid a gyfrifwyd o fab deng mlwydd ar hugain, ac uchod*] Nid yn unig hyd ddeng mlwydd a deugain, fel y penodwyd Num. iv. 3, ond hyd eu marwolaeth; canys nid oedd hòno ond deddf am amser byr, wedi ei seilio ar reswm neillduol, sef llafur caled: gwel hyn yn cael ei egluro yn fanwl ar Num. iv. 3. Meddylir fod y cyfrifiad yn adn. 24 yn un gwahanol i hwn. *Onid dwy fil deugain*—tra nad oeddynt yn amser Moses ond 8,540, Num. iv. 48.

Adn. 4. *O'r rhai yr oedd pedair mil ar hugain i oruchwylio*] I ddarpar aberthau i'r offeiriaid, eu lladd, eu blingo, eu golchi, a'u darnio, yn nghyda llawer o orchwylion ereill, y rhai a gyflawnent yn olynol bob wythnos, mil ar y tro. *Yn swyddogion ac yn farnwyr, chwe mil*—mewn amrai barthau o'r deyrnas, i gynorthwyo tywysogion a henuriaid pob llwyth yn ngweinyddiad barn: gwel ar Deut. xvi. 18.

Adn. 5. *A phedair mil yn borthorion*] I edrych ar ol drysau y deml a'i chynteddau, rhag i neb gwaharddedig neu halogedig fyned i mewn. *A phedair mil yn moliannu yr Arglwydd*—â'r offer cerdd a ddyfeisiasai Dafydd, neu a orchymynasai efe eu gwneuthur. Yr oedd y rhai hyn i gael eu rhanu yn wahanol ddosbeirth, a phob un yn ei dro i foliannu yr Arglwydd yn y deml pan adeiledid hi.

Adn. 6—12. *A dosbarthodd Dafydd hwynt yn ddosbarthiadau*] Nid o'i ben ei hun, ond yn ol gorchymyn Duw trwy law Gad a Nathan, 2 Cron. xxix. 25.

Adn. 13. *I santeiddio y cysegr santeiddiolaf*] Neu 'y *pethau* santeiddiolaf,' fel y mae yn y Saesonaeg, trwy ddefnyddio llestri a dodrefn y cysegr i wasanaeth santaidd, a'u cadw rhag pob cyffyrddiad halogedig; *efe a'i feibion byth*—nid yn unig ei feibion hynaf, sef yr archoffeiriaid y naill ar ol y llall, ond ei holl hiliogaeth, neu yr offeiriaid yn gyffredinol; canys yr oedd y gwaith a nodir yma yn perthyn iddynt oll. *Ac i fendigo yn ei enw ef*—neu fendithio y bobl trwy alw ar enw yr Arglwydd.

Adn. 14. *A Moses gŵr Duw*] '*Proffwyd* Duw.'—*T.*; *ei feibion ef a alwyd yn llwyth Lefi*—cyfrifid hwynt fel Lefiaid cyffredin, ac nid offeiriaid; yr hyn a nodir er anrhydedd i Moses, ac fel prawf o'i dduwioldeb a'i hunanymwadiad ef, yr hwn yn ewyllysgar a adawodd y llywodraeth i Josua, a'r offeiriadaeth i Aaron, gan foddloni i'w blant ei hun gael eu rhestru yn mhlith y Lefiaid cyffredin.

Adn. 15. *Meibion Moses oedd Gersom ac Eliezer*] Gwel ar Exod. ii. 22.

Adn. 16. *Sebuel oedd y penaf*] Meddylir fod hwn yr un a *Subael*, pen. xxiv. 20.

Adn. 17. *Rehabiah y cyntaf*] Saes., 'y *penaf*.' Er mai efe oedd unig fab ei dad, eto cyflawnodd Duw ynddo ef ei addewid i Moses, o'i wneyd ef yn 'genhedlaeth fawr,' Exod. xxxii. 10.

Adn. 18—20. *O feibion Ishar*] Hwn oedd ail fab Cohath, adn. 6, ac Exod. vi. 21.

a Musi. Meibion Mali; Eleazar, a Chis.

22 A bu farw Eleazar, a meibion nid oedd iddo ef, ond merched; a meibion Cis eu brodyr a'u priododd hwynt.

23 Meibion Musi; Mali, ac Eder, a Jerimoth, tri.

24 ¶ Dyma feibion Lefi, yn ol tŷ eu tadau, penau *eu* cenedl, wrth eu rhifedi, dan nifer *eu* henwau, wrth eu penau, y rhai oedd yn gwneuthur y gwaith i wasanaeth tŷ yr Arglwydd, o fab ugain mlwydd ac uchod.

25 Canys dywedodd Dafydd, Arglwydd Dduw Israel a roddes lonyddwch i'w bobl, i aros yn Jerusalem byth;

26 A hefyd i'r Lefiaid: ni ddygant *mwyach* y tabernacl, na dim o'i lestri, i'w wasanaeth ef.

27 Canys yn ol geiriau diweddaf Dafydd y cyfrifwyd meibion Lefi, o fab ugain mlwydd ac uchod:

28 A'u gwasanaeth hwynt *oedd* i fod wrth law meibion Aaron yn ngwasanaeth tŷ yr Arglwydd, yn y cynteddau, ac yn y celloedd, ac yn mhuredigaeth pob santeidd-beth, ac yn ngwaith gweinidogaeth tŷ Dduw;

29 Yn y bara gosod hefyd, ac yn mheillied y bwyd-offrwm, ac yn y teisenau croew, yn y radell hefyd, ac yn y badell ffrio, ac yn mhob mesur a meidroldeb:

30 Ac i sefyll bob bore i foliannu ac i ogoneddu yr Arglwydd, felly hefyd brydnawn:

31 Ac i offrymu pob offrwm poeth i'r Arglwydd ar y sabbothau, ar y newydd-loerau, ac ar y gwyliau gosodedig, wrth rifedi, yn ol y ddefod *sydd* arnynt yn wastadol gerbron yr Arglwydd.

32 Ac i gadw goruchwyliaeth pabell y cyfarfod, a goruchwyliaeth y cysegr, a goruchwyliaeth meibion Aaron eu brodyr, yn ngwasanaeth tŷ yr Arglwydd.

## PENNOD XXIV.

DYMA ddosbarthiadau meibion Aaron. Meibion Aaron *oedd*, Nadab, ac Abihu, Eleazar, ac Ithamar.

2 A bu farw Nadab ac Abihu o flaen eu tad, ac nid oedd meibion

---

Adn. 21. *Meibion Merari*] Hwn oedd trydydd mab Lefi, adn. 6; a'i hiliogaeth ef a enwir yma, adn. 21—23, fel y cawsom hiliogaeth y ddau frawd arall yn adn. 7—11, a 12—20.

Adn. 22. *A meibion Cis eu brodyr*] Neu eu *cefnderoedd* yn hytrach, canys yr oedd Cis yn frawd i'w tad hwy, adn. 21.

Adn. 23. *Meibion Musi*] Ail fab Merari; *Mali*—yr hwn oedd o'r un enw a'i ewythr brawd ei dad, adn. 21.

Adn. 24. *Dyma feibion Lefi yn ol tŷ eu tadau*] Yn ol eu hâniad o Gerson, Cohath, a Merari, tri mab Lefi; *o fab ugain mlwydd ac uchod*—rhifwyd hwynt y tro cyntaf o 30 mlwydd ac uchod, yn ol yr hen gyfraith yn amser Moses, adn. 3; ond ychydig cyn marw Dafydd, efe a orchymynodd, yn ei eiriau diweddaf, eu cyfrif hwynt o 20 mlwydd ac uchod, adn. 27; canys fel yr oedd Israel yn amlhau, byddai mwy o waith aberthu gan yr offeiriaid, ac eisiau mwy o Lefiaid i'w cynorthwyo hwy: a gallai rhai 20 oed gynorthwyo yn awr, yn gystal a rhai dros 50, trwy nad oedd eisiau cario y tabernacl a'i ddodrefn mwyach, fel gynt yn yr anialwch, adn. 26. A chan fod yn beryglus i'r Lefiaid ieuainc, o herwydd bywyd segur, syrthio i arferion drwg rhwng 20 a 30 mlwydd oed, am hyny gwnaeth Dafydd y cyfnewidiad hwn yn yr oedran: gwel ar Num. iv. 3.

Adn. 25, 26. *I aros yn Jerusalem byth*] I addoli yn sefydlog yn y deml, heb orfod symud y tabernacl a'r arch o le i le megys gynt.

Adn. 27. *Canys yn ol geiriau diweddaf Dafydd*] Y rhai a lefarodd efe megys â'i anadl olaf, a hyny dan gynhyrfiad dwyfol, 2 Cron. xxix. 25; *o fab ugain mlwydd*—hyd ddydd eu marwolaeth: gwel ar adn. 3, 24.

Adn. 28. *Wrth law meibion Aaron*] I weini i'r offeiriaid, ac i'w cynorthwyo yn eu gwaith santaidd, adn. 4.

Adn. 29. *Yn y bara gosod, &c.*] Ar y Lefiaid yr oedd gofalu am y peillied at y bara gosod, y bwyd-offrymau, a'r amrywiol deisenau, (gwel Lef. ii. 1, &c.,) ac edrych fod y cwbl yn cael eu gwneuthur yn ol y pwys a'r mesur a'r modd a ofynid gan y gyfraith; *yn mhob mesur a meidroldeb*—Saes., 'yn mhob mesur a *maint*.' Y mae hyn ond odid yn cyfeirio at fesur a maint y peillied a'r olew a'r halen a ddefnyddid yn y bwyd-offrymau uchod: eithr y Lefiaid a ofalent hefyd am y pwysau a'r mesurau yn y cysegr, y rhai oeddynt y safon i brofi wrthynt bwysau a mesurau pawb trwy y wlad.

Adn. 30—32. *Ac i sefyll bob bore i foliannu, &c.*] Gall y darllenydd weled yr holl ddyledswyddau hyn wedi eu hegluro eisoes yn y lleoedd ag y cyfeirir atynt ar ymyl dalen ei Feibl.

PEN. XXIV. Adn. 1. *Dyma ddosbarthiadau meibion Aaron*] Sef y gwahanol ganghenau i'r rhai y rhanwyd ei deulu ef.

Adn. 2. *A bu farw Nadab ac Abihu o flaen eu tad*] Gwel ar Lef. x. 1, 2; *am hyny Ele-*

iddynt: am hyny Eleazar ac Ithamar a offeiriadasant.

3 A Dafydd a'u dosbarthodd hwynt, Sadoc o feibion Eleazar, ac Ahimelech o feibion Ithamar, yn ol eu swyddau, yn eu gwasanaeth.

4 A chafwyd mwy o feibion Eleazar yn llywodraethwyr nag o feibion Ithamar; ac *fel hyn* y rhanwyd hwynt. *Yr ydoedd* o feibion Eleazer yn benau ar dŷ *eu* tadau unarbymtheg, ac o feibion Ithamar, yn ol tŷ eu tadau, wyth.

5 Felly y dosbarthwyd hwynt wrth goelbrenau, y naill gyda'r llall; canys tywysogion y cysegr, a thywysogion *tŷ* Dduw, oedd o feibion Eleazar, ac o feibion Ithamar.

6 A Semaiah mab Nethaneel yr ysgrifenydd, o *lwyth* Lefi, a'u hysgrifenodd hwynt gerbron y brenin, a'r tywysogion, a Sadoc yr offeiriad, ac Abimelech mab Abiathar, a phen cenedl yr offeiriaid, a'r Lefiaid; un teulu a ddaliwyd i Eleazar, ac *un arall* a ddaliwyd i Ithamar.

7 A'r coelbren cyntaf a ddaeth i Jehoiarib, a'r ail i Jedaiah,

8 Y trydydd i Harim, y pedwarydd i Seorim,

9 Y pummed i Malchiah, y chweched i Mijamin,

10 Y seithfed i Haccos, yr wythfed i Abiah,

11 Y nawfed i Jesua, y degfed i Sechaniah,

12 Yr unfed ar ddeg i Eliasib, y deuddegfed i Jacim,

13 Y trydydd ar ddeg i Huppah, y pedwarydd ar ddeg i Jesebeab,

14 Y pymthegfed i Bilgah, yr unfed ar bymtheg i Immer,

15 Y ddeufed ar bymtheg i Hezir, y deunawfed i Aphses,

16 Y pedwarydd ar bymtheg i Pethahiah, yr ugeinfed i Jehesecel,

17 Yr unfed ar hugain i Jachin, y ddeufed ar hugain i Gamul,

18 Y trydydd ar hugain i Delaiah, y pedwarydd ar hugain i Maaziah.

19 Dyma eu dosbarthiadau hwynt yn eu gwasanaeth, i fyned i dŷ yr Arglwydd yn ol eu defod, dan law Aaron eu tad, fel y gorchymynasai Arglwydd Dduw Israel iddo ef.

20 ¶ A'r lleill o feibion Lefi *oedd y rhai hyn* O feibion Amram; Subael: o feibion Subael; Jehdeiah.

21 Am Rehabiah; Isiah *oedd* ben ar feibion Rehabiah.

22 O'r Isariaid; Selomoth: o feibion Selomoth; Jahath.

23 A meibion *Hebron oedd,* Jeriah *y cyntaf,* Amariah yr ail, Jahaziel y trydydd, *a* Jecameam y pedwarydd.

24 *O* feibion Uzziel; Michah: o feibion Michah; Samir.

25 Brawd Michah *oedd* Isiah: o feibion Isiah; Zechariah.

26 Meibion Merari *oedd,* Mali, a Musi: meibion Jaaziah; Beno.

27 ¶ Meibion Merari o Jaaziah; Beno, a Soham, a Zaccur, ac Ibri.

28 O Mali y daeth Eleazer, ac ni bu iddo ef feibion.

29 Am Cis: mab Cis *oedd* Jerameel.

30 A meibion Musi *oedd,* Mali, ac Eder, a Jerimoth. Dyma feib-

---

*azar ac Ithamar a offeiriadasant*—a ddaethant i'r swydd yn eu lle hwynt, trwy nad oedd iddynt feibion.

Adn. 3. *A Dafydd a'u dosbarthodd hwy*] A ddosbarthodd hiliogaeth Eleazar ac Ithamar yn 24 o ddosbarthiadau, fel y gwnaethai â'r Lefiaid o'r blaen, pen. xxiii. 6; *yn ol eu swyddau*—i gyflawni swydd a gwaith offeiriad, pob dosbarth yn ei dro.

Adn. 4. *A chafwyd mwy o feibion Eleazar, &c.*] Hyny yw, cafwyd 16 o feibion Eleazar yn benau ar 16 o ddosbarthiadau o dŷ eu tad hwy, tra nad oedd ond 8 o feibion Ithamar ar dŷ eu tad hwy.

Adn. 5. *Felly y dosbarthwyd hwynt wrth goelbrenau*] I gael gweled pwy oedd i fod yn gyntaf, a phwy yn ail, &c.; ac fel hyn attelid pob anfoddlonrwydd ac eiddigedd yn eu mysg, gan mai o Dduw yr oedd llywodraethiad y coelbren. *Y naill gyda'r llall*—canys yr oedd gan y naill deulu, trwy eu bod o'r un gwreiddyn, gystal hawl a'r llall i bob anrhydedd eglwysig a gwladol.

Adn. 6—18. *A Semaiah—a'u hysgrifenodd hwynt gerbron y brenin*] Ysgrifenwyd eu henwau, a dodwyd hwynt mewn llestr, o'r hwn yr oeddynt i gael eu tynu bob yn un; neu ynte yr oedd Semaiah yn eu hysgrifenu yn ofalus mewn coflyfr fel yr oeddynt yn cael eu tynu, rhag bod dim camgymeriad na chyfnewidiad o berthynas iddynt ar ol hyn; a hyny yn ngwydd y brenin, a'r tywysogion, a'r archoffeiriad, &c. *Un teulu a ddaliwyd i Eleazar*—hyny yw, un o brif deuluoedd Eleazar a ddaliwyd neu a dynwyd gyntaf, ac yna un o deuluoedd Ithamar, ac felly yn olynol hyd nes y tynwyd holl deuluoedd Ithamar.

Adn. 19. *Dyma eu dosbarthiadau hwynt*] Yn y drefn hon yr oedd y 24 dosbarth i ddyfod i gyflawni eu swydd yn y deml bob sabboth, ac i aros yno hyd y sabboth canlynol, pryd y deuai dosbarth arall i gymeryd eu lle; *dan*

ion y Lefiaid yn ol tŷ eu tadau.
31 A hwy a fwriasant goelbrenau
ar gyfer eu brodyr meibion Aaron,
gerbron Dafydd y brenin, a Sadoc,
ac Ahimelech, a phenau cenedl yr
offeiriaid a'r Lefiaid; *ïe,* y pen cen-
edl ar gyfer y brawd ieuangaf.

## PENNOD XXV.

A NEILLDUODD Dafydd a thy-
wysogion y llu, tuag at y gwas-
anaeth, o feibion Asaph, a Heman,
a Jeduthun, y rhai a broffwydent â
thelynau, ac â nablau, ac â symbal-
au; a nifer y gweithwyr yn ol eu
gwasanaeth ydoedd:
2 O feibion Asaph; Zaccur, a Jo-
seph, a Nethaniah, Asarelah meib-
ion Asaph, dan law Asaph, *yr hwn*
oedd yn proffwydo wrth law y brenin.
3 O Jeduthun: meibion Jedu-
thun; Gedaliah, a Seri, a Jesiah, a
Hasabiah, Mattithiah, chwech, dan
law Jeduthun eu tad, ar y delyn yn
proffwydo, i foliannu ac i glodfori
yr Arglwydd.
4 O Heman: meibion Heman;
Bucciah, Mattaniah, Uzziel, Sebuel,
a Jerimoth, Hananiah, Hanani,
Eliathah, Gìdalti, a Romamti-ezer,
Josbecasah, Màlothi, Hothir, *a* Ma-
hazioth:
5 Y rhai hyn oll *oedd* feibion He-
man, gweledydd y brenin yn ngeir-
iau Duw, i ddyrchafu y corn. Duw
hefyd a roddes i Heman bedwar ar
ddeg o feibion, a thair o ferched.
6 Y rhai hyn oll *oedd* dan law eu
tad yn canu *yn* nhŷ yr Arglwydd,
â symbalau, *a* nablau, a thelynau, i
wasanaeth tŷ Dduw; yn ol trefn y
brenin i Asaph, a Jeduthun, a He-
man.
7 A'u nifer hwynt, yn nghyda'u
brodyr dysgedig yn nghaniadau yr

---

*law Aaron*—dan lywodraeth yr archoffeiriad, pwy bynag fyddai hwnw, o oes i oes.

Adn. 20—30. *A'r lleill o feibion Lefi oedd y rhai hyn, &c.*] Y mae yn debyg mai penaethiaid y 24,000 oedd y rhai hyn, y rhai a weinyddent i'r offeiriaid yn eu gwasanaeth, fel y gwelsom yn pen. xxiii. 4, &c.

Adn. 31. *A hwy a fwriasant goelbrenau ar gyfer eu brodyr*] I wybod pa ddosbarth o'r 24 dosbarth o Lefiaid a fyddai yn gyntaf ar gyfer y dosbarth cyntaf o'r offeiriaid, y rhai hefyd oeddynt 24 o ddosbarthiadau. *Ie, y pen cenedl ar gyfer y brawd ieuangaf*—heb wneyd dim gwahaniaeth rhwng hen ac ieuanc, uchel ac isel; ac fel hyn gallai y dosbarth ieuangaf ac iselaf fod y dosbarth cyntaf, os felly y dygwyddai trwy y coelbren.

PEN. XXV. Adn. 1. *A neillduodd Dafydd*] Trwy goelbren, a hyny yn ngŵydd, neu trwy gymhorth, *tywysogion y llu*—neu benaethiaid y gwahanol ddosbarthiadau uchod; *tuag at y gwasanaeth*—i gael cantorion i'r cysegr, megys y cawsai efe o'r blaen Lefiaid ac offeiriaid; *o feibion*—y tri phrif cantor yn Israel; *y rhai a broffwydent â thelynau, &c.*—a ddylynent eu hoffer cerdd â gweddiau a chaniadau; neu ynte, y rhai a ganent salmau ac odlau ysbrydol wedi eu cyfansoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, ac a gynwysent broffwydoliaethau am bethau i ddyfod, yn enwedig am Grist a'i eglwys, fel y gwelwn mewn llawer o'r salmau.

Adn. 2. *O feibion Asaph*] Yr oedd *pedwar*, y rhai a ganent dan arolygiad a chyfarwyddyd eu tad; *yr hwn oedd yn proffwydo wrth law y brenin*—Saes., 'yn ol *gorchymyn* y brenin.' Yr oedd Asaph a'i frodyr yn cyfansoddi salmau proffwydol trwy ysbrydoliaeth Duw, y rhai y gorchymynai Dafydd iddynt eu canu yn y cysegr, llawer o ba rai a geir yn llyfr y Salmau. Gellir meddwl mai y brenin a orchymynai i'r tri phen-cerddor hyn pa beth a ganent, a pha dônau ac offer a ddefnyddient; a chan fod Dafydd y fath gantor medrus ei hun, yr oedd efe yn dra chymhwys i drefnu pob peth o'r fath.

Adn. 3. *O Jeduthun*] Tybia rhai ei fod yr un ag *Ethan*, neu fod Ethan wedi marw, a Jeduthun wedi dyfod yn ei le ef; *chwech*—trwy gyfrif eu tad: ond tybia rhai mai *Simei*, adn. 17, a wnai y chweched.

Adn. 4. *O Heman*] Yr oedd ei feibion ef yn 14, y rhai, gyda'r 10 ereill a grybwyllir adn. 2, 3, a wnaent 24, i fod yn benau ar y 24 dosbarth o gantorion a enwir ar ol hyn.

Adn. 5. *Gweledydd y brenin*] Neu ei *broffwyd* ef. Naill ai yr oedd ef yn broffwyd yn gystal a chantor; neu ynte gelwir ef felly am ei fod yn proffwydo, neu yn moliannu Duw, yn yr ystyr a nodwyd ar adn. 1. A gelwir ef yn 'weledydd y *brenin*,' am fod y brenin yn hoff o hono, neu am ei fod yn fynych yn canu o flaen y brenin yn ei balas, tra yr oedd y lleill yn y babell. *I ddyrchafu y corn*—i foliannu Duw â sain udgorn, neu ryw offeryn cerdd arall wedi ei wneyd o gorn, neu i chwythu trwyddo. *A thair o ferched*—y rhai ond odid a gynorthwyent y cantorion yn achlysurol.

Adn. 6. *Dan law eu tad*] Dan ei arolygiad ef; yr un modd a meibion Asaph a Jeduthun, adn. 2, 3.

Adn. 7. *Ddau cant pedwar ugain ac wyth*] Sef 12 yn mhob un o'r 24 dosbarth, adn. 9—31, yr hyn a wnai 288.

Adn. 8. *Cylch yn erbyn cylch*] Cylch o'r cantorion ar gyfer cylch o'r offeiriaid a'r Lefiaid; *bychan a mawr*—o ran eu hoedran a'u medrusrwydd cerddorol; *athraw a dysgybl*—yn blith draphlith, fel y dygwyddai trwy fwrw y coelbren. Yr oedd y Lefiaid, yr offeiriaid,

Arglwydd, *sef* pob *un* cyfarwydd,
oedd ddau cant pedwar ugain ac
wyth.
8 ¶ A hwy a fwriasant goelbren-
au, cylch yn erbyn *cylch*, bychan a
mawr, athraw a dysgybl.
9 A'r coelbren cyntaf a ddaeth
dros Asaph i Joseph: yr ail i Ge-
daliah; efe, a'i feibion a'i frodyr
*oedd* ddeuddeg.
10 Y trydydd i Zaccur; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
11 Y pedwarydd i Isri; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
12 Y pummed i Nethaniah; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr oedd ddeuddeg.
13 Y chweched i Bucciah; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
14 Y seithfed i Jesarelah; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
15 Yr wythfed i Jesaiah; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
16 Y nawfed i Mattaniah; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
17 Y degfed i Simei; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
18 Yr unfed ar ddeg i Azareel;
*efe, a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeu-
ddeg.
19 Y deuddegfed i Hazabiah; *efe,
a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
20 Y trydydd ar ddeg i Subael;
*efe, a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeu-
ddeg.
21 Y pedwarydd ar ddeg i Mat-
tithiah; *efe, a*'i feibion a'i frodyr
*oedd* ddeuddeg.
22 Y pymthegfed a Jerimoth; *efe,
a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
23 Yr unfed ar bymtheg i Hana-
niah; *efe, a*'i feibion a'i frodyr *oedd*
ddeuddeg.
24 Y ddeufed ar bymtheg i Jos-
becasah; *efe, a*'i feibion a'i frodyr
*oedd* ddeuddeg.
25 Y deunawfed i Hanani; *efe, a*'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
26 Y pedwarydd ar bymtheg i
Màlothi; *efe, a*'i feibion a'i frodyr
*oedd* ddeuddeg.
27 Yr ugeinfed i Eliathah; *efe,
a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
28 Yr unfed ar hugain i Hothir;
*efe, a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeu-
ddeg.
29 Y ddeufed ar hugain i Gidalti;
*efe, a*'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeu-
ddeg.
30 Y trydydd ar hugain i Maha-
zioth; *efe, a*'i feibion a'i frodyr *oedd*
ddeuddeg.
31 Y pedwarydd ar hugain i
Romamti-ezer; *efe, a*'i feibion a'i
frodyr *oedd* ddeuddeg.

## PENNOD XXVI.

AM ddosbarthiad y porthorion:
O'r Corhiaid *yr oedd* Meselemiah
mab Core, o feibion Asaph.
2 A meibion Meselemiah *oedd*
Zechariah y cyntafanedig, Jediael
yr ail, Zebadiah y trydydd, Jathni-
ael y pedwarydd,
3 Elam y pummed, Jehoanan y
chweched, Elioenai y seithfed.
4 A meibion Obed-edom; Sema-
iah y cyntafanedig, Jehozabad yr
ail, Joah y trydydd, a Sachar y
pedwarydd, a Nethaneel y pummed.
5 Ammiel y chweched, Issachar
y seithfed, Peulthai yr wythfed:
canys Duw a'i bendithiodd ef.
6 Ac i Semaiah ei fab ef y ganwyd
meibion, y rhai a arglwyddiaethas-
ant ar dŷ eu tad: canys cedyrn o
nerth *oeddynt* hwy.
7 Meibion Semaiah; Othni, a
Rephael, ac Obed, Elzabad, ei fro-
dyr ef *oedd* wŷr nerthol, *sef* Elihu,
a Semachiah.
8 Y rhai hyn oll o feibion Obed-
edom: hwynt-hwy, a'u meibion, a'u
brodyr, yn wŷr nerthol mewn cryf-
der, tuag at y weinidogaeth, *oedd*
driugain a dau o Obed-edom.

---

a'r cantorion, yn dair rhes ar gyfer eu gilydd, a phob un yn 24 o ddosbarthiadau, ac oll wedi eu dewis trwy goelbren.

Adn. 9—31. *A'r coelbren cyntaf a ddaeth dros Asaph i Joseph*] Yr hwn oedd ail fab Asaph, adn. 2; *yr ail i Gedaliah*—cyntafanedig Jeduthun, adn. 3; ac felly am y lleill. Er na chrybwyllir yma am *feibion* a *brodyr* Joseph, eto rhaid ei fod ef a hwythau yn gwneyd 12 fel y lleill, onidê ni wneid i fyny y 288 a grybwyllir yn adn. 7.

PEN. XXVI. Adn. 1—4. *Am ddosbarthiad y porthorion, &c.*] Y rhai oeddynt i gadw pyrth y deml, rhag i neb annghymhwys fyned i mewn, a rhag i'r llestri a'r dodrefn gael eu lladrata oddiyno, ac i attal pob terfysg oddeutu y lle. Dywed rhai fod Dafydd wedi dosbarthu y porthorion yn 24 dosbarth, yr un modd a'r offeiriaid, y Lefiaid, a'r cantorion o'r blaen; a bod y dosbarth cyntaf o offeiriaid, Lefiaid, cantorion, a phorthorion, yn gweini yn eu gwahanol swyddau un wythnos, a'r ail ddos-

9 Ac i Meselemiah, yn feibion ac
yn frodyr, *yr oedd* tri ar bymtheg o
wŷr nerthol.
10 O Hosah hefyd, o feibion Me-
rari, yr oedd meibion; Simri y pen-
af, (er nad oedd efe gyntafanedig,
eto ei dad a'i gosododd ef yn ben,)
11 Hilciah yr ail, Tebaliah y tryd-
ydd, Zechariah y pedwarydd: holl
feibion a brodyr Hosah *oedd* dri ar
ddeg.
12 Yn mhlith y rhai hyn yr *oedd*
dosbarthiadau y porthorion, *sef* yn
mhlith y penaethiaid, *ac iddynt* or-
uchwyliaeth ar gyfer eu brodyr i
wasanaethu yn nhŷ yr Arglwydd.
13 ¶ A hwy a fwriasant goelbren-
au, fychan a mawr, yn ol tŷ eu tadau,
am bob porth.
14 A choelbren Selemiah a syrth-
iodd tua'r dwyrain: a *thros* Zecha-
riah ei fab (cynghorwr deallgar)
y bwriasant hwy goelbrenau; a'i
goelbren ef a ddaeth tua'r gogledd.
15 I Obed-edom tua'r deau, ac
i'w feibion, *y daeth* tŷ Asuppim.
16 I Suppim, a Hosah, tua'r
gorllewin, gyda phorth Sàlecheth,
yn ffordd y rhiw, *yr oedd* y naill
orchwyliaeth ar gyfer y llall.
17 Tua'r dwyrain *yr oedd* chwech
o Lefiaid, tua'r gogledd pedwar beu-
nydd, tua'r deau pedwar beunydd,
a thuag Asuppim dau *a* dau.
18 A Pharpar tua'r gorllewin,
pedwar ar y ffordd, *a* dau yn Phar-
bar.
19 Dyma ddosbarthiadau y porth-
orion, o feibion Core, ac o feibion
Merari.
20 ¶ Ac *o'r* Lefiaid, Ahiah *oedd*
ar drysorau tŷ Dduw, ac ar drysorau
y pethau cysegredig.
21 *Am* feibion Laadan: meibion
y Gersoniad Laadan, penau tylwyth
Laadan y Gersoniad, *oedd* Jehieli.
22 Meibion Jehieli; Zetham, a
Joel ei frawd, *oedd* ar drysorau tŷ
yr Arglwydd.
23 O'r Amramiaid, *a'r* Ishariaid,
*o'r* Hebroniaid, *a'r* Uzzieliaid:
24 A Sebuel mab Gersom, mab
Moses, *oedd* olygwr ar y trysorau.
25 A'i frodyr ef o Eleazar; Reha-
biah ei fab ef, a Jesaiah ei fab yntau,
a Joram ei fab yntau, a Zichri ei fab
yntau, a Selomith ei fab yntau.
26 Y Selomith hwnw a'i frodyr

---

barth o bob swydd yn gweini yr ail wythnos, ac felly yn mlaen hyd y dosbarth olaf.

Adn. 5—9. *Canys Duw a'i bendithiodd ef*] A fendithiodd Obed-edom, nid yn unig â chyfoeth lawer, ond hefyd âg wyth o feibion, a 54 o ŵyrion, adn. 8, y rhai oeddynt oll yn borthorion. Yr oeddynt wedi bod yn gwylio yr arch yn ffyddlon am dri mis yn eu tŷ eu hunain, ac yn awr gelwir hwynt i'w gwylio yn nhŷ Dduw: gwel ar 2 Sam. vi. 11. *Cedyrn o nerth oeddynt hwy*—sef ŵyrion Obed-edom, adn. 6—8. Yr oedd eu swydd yn gofyn llawer o nerth corff a gwroldeb meddwl. Yr oedd un o ddrysau yr ail deml mor fawr a thrwm, nes yr oedd yn ofynol cael ugain o ddynion i'w agor a'i gau.

Adn. 10, 11. *Ei dad a'i gosododd ef yn ben*] Nid i gael yr etifeddiaeth, canys yr oedd hyny yn waharddedig yn y gyfraith; ond yn benaf yn y swydd hon, i ba un yr oedd ef yn gymhwysach na'i frawd hynaf.

Adn. 12. *Ac iddynt oruchwyliaeth ar gyfer eu brodyr*] Y Lefiaid ereill, y rhai a ddosbarthwyd yn 24 dosbarth, fel y gwnaed â'r offeiriaid, &c. Y mae y gweddill o'r bennod hon yn eisiau yn y *Syriaeg* a'r *Arabaeg*.

Adn. 13. *A hwy a fwriasant goelbrenau*] I benderfynu amseroedd a lleoedd eu gwasanaeth, nid yn ol eu hoedran a'u hurddas, eithr yn ol y coelbren; *am bob porth*—fel y gellid gwybod pwy oedd i ofalu am bob porth.

Adn. 14. *A choelbren Selemiah, &c.*] Syrthiodd y porth *dwyreiniol* i Selemiah; y *gogleddol* i Zechariah; y *deheuol* i Obed-edom, adn. 15; a'r *gorllewinol* i Suppim a Hosah, adn. 16. Y rhai hyn oeddynt gapteniaid y porthorion; ac y mae yn debyg fod gan bob un *fil* o wŷr dano, am fod nifer yr holl borthorion yn *bedair mil*, pen. xxiii. 5. *Cynghorwr deallgar*—canys yr oedd angen am ddoethineb a gwroldeb i'r swydd hon, fel yr ymddengys oddiwrth natur eu gwaith, adn. 20. Tybia rhai fod Zechariah yn gynghorwr i'r brenin, yn gystal ag yn borthor i'r deml.

Adn. 15. *Y daeth tŷ Asuppim*] Neu 'dŷ y *cynulliad*;' yn cael ei alw felly naill ai am mai yno yr ymgynullai yr henuriaid i ymgynghori yn nghylch achosion y deml, neu ynte am mai yno y cedwid y casgliadau arianol at wasanaeth y deml.

Adn. 16. *Gyda phorth Salecheth*] Neu 'borth y *tafliad allan*;' am mai trwy hwn ond odid y dygid allan holl fudreddi y deml, ac ysgarthion yr aberthau; *yn ffordd y rhiw*—lle yr aent i fyny i'r deml o'r pant islaw.

Adn. 17—19. *Tua'r dwyrain yr oedd chwech o Lefiaid*] Gan mai hwnw oedd prif borth y deml, yr oedd yn gofyn gwyliadwriaeth gryfach na'r lleill i edrych ar ei ol.

Adn. 20. *Ahiah oedd ar drysorau tŷ Dduw*] Yr aur a'r arian, â'r rhai y prynid yr aberthau, meddai Jarchi; *ac ar drysorau y pethau cysegredig*—megys llestri y cysegr, gwisgoedd yr offeiriaid, &c.

Adn. 21—26. *Meibion y Gersoniad Laadan, &c.*] Neu y 'Laadan Gersonaidd,' i'w wahaniaethu ef oddiwrth ryw Laadan arall; yr hyn oedd yn fwy angenrheidiol i'r Iuddewon

*oedd* ar holl drysorau y pethau cys-
egredig a gysegrasai Dafydd frenin,
a'r tadau penaf, a thywysogion y
miloedd a'r cannoedd, a thywysog-
ion y llu.
27 O'r rhyfeloedd ac o'r yspail y
cysegrasant *bethau* i gynal tŷ yr
Arglwydd.
28 A'r hyn oll a gysegrodd Sam-
uel y gweledydd, a Saul mab Cis,
ac Abner mab Ner, a Joab mab
Serfiah, *a* phwy bynag a gysegrasai
*ddim, yr oedd efe* dan law Selomith
a'i frodyr.
29 ¶ O'r Ishariaid, Cenaniah a'i
feibion *oedd* yn Israel yn swyddog-
ion, ac yn farnwyr, ar y gwaith
oddiallan.
30 O'r Hebroniaid, Hasabiah a'i
frodyr, meibion nerthol, mil a saith
cant *oedd* mewn swydd *yn* Israel,
o'r tu hwnt i'r Iorddonen tua'r gor-
llewin, yn holl waith yr Arglwydd,
ac yn ngwasanaeth y brenin.
31 O'r Hebroniaid, Jeriah *oedd*
ben o'r Hebroniaid, yn ol cenhedl-
aethau ei dadau: yn y ddeugeinfed
flwyddyn o deyrnasiad Dafydd y
ceisiwyd hwynt, a chafwyd yn eu
mysg hwy *wŷr* cryfion nerthol, yn
Jazer Gilead.
32 A'i frodyr ef yn feibion nerthol
*oedd* ddwy fil a saith cant o benau
cenedl: a Dafydd y brenin a'u go-
sododd hwynt ar y Reubeniaid, a'r
Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh,
yn mhob gorchwyl Duw, a gorchwyl
y brenin.

## PENNOD XXVII.

PEDAIR mil ar hugain *oedd* pob
dosbarthiad o feibion Israel dan
eu rhif, yn benau cenedl, ac yn dy-
wysogion miloedd a channoedd, a'u
swyddogion yn gwasanaethu y
brenin yn mhob achos *o'r* dosbarth-
iadau, yn dyfod i mewn, ac yn my-
ned allan, o fis i fis, trwy holl fisoedd
y flwyddyn.
2 Ar y dosbarthiad cyntaf dros y
mis cyntaf, *yr oedd* Jasobeam mab
Zabdiel; ac yn ei ddosbarthiad ef
*yr oedd* pedair mil ar hugain.
3 O feibion Peres *yr oedd* y penaf
o holl dywysogion y llu dros y mis
cyntaf.
4 Ac ar ddosbarthiad yr ail mis
*yr oedd* Dodai yr Ahohiad, ac o'i
ddosbarthiad ef *yr oedd* Micloth
hefyd yn gapten; ac yn ei ddos-
barthiad ef bedair mil ar hugain.

---

gynt ei wybod, nag i ni yn awr: gwel y cyfeiriadau ar ymyl y ddalen mewn rhai Beiblau.

Adn. 27. *O'r rhyfeloedd ac o'r yspail y cysegrasant bethau i gynal tŷ yr Arglwydd*] I'w adeiladu yn gyntaf, ac i'w adgyweirio pan fyddai angen, yn gystal ag i ddwyn yn mlaen y wasanaeth ynddo. Yr oedd hyn yn arferiad yn mhlith holl genhedloedd y ddaear: gwel VIRGIL, ÆN. iii. llin. 222. Yr oedd pawb a addefai unrhyw Dduw, yn credu mai oddiwrtho ef y deuai y fuddugoliaeth; ac am hyny tybient fod yn rhesymol iddo ef gael peth o'r yspail.

Adn. 28. *A'r hyn oll a gysegrodd Samuel*] Naill ai o'i feddiannau etifeddol ei hun, neu ynte o'r yspail ag oedd yn dygwydd i'w ran ef o ryfeloedd Israel, yr un modd a Saul ac Abner.

Adn. 29. *Ar y gwaith oddiallan*] Sef tu allan i Jerusalem; megys 'tori coed, naddu cerig, ac aredig y maesydd perthynol i'r cysegr.'—JARCHI.

Adn. 30. *Mil a saith gant oedd mewn swydd yn Israel*] Mewn swydd ddeublyg, eglwysig a gwladol; *o'r tu hwnt i'r Iorddonen*—Saes., 'o'r tu *yma* i'r Iorddonen,' sef yn ngwlad Canaan, tua'r gorllewin oddiwrth yr Iorddonen; *yn holl waith yr Arglwydd*—sef mewn pethau CREFYDDOL, megys addysgu y bobl, a gofalu eu bod yn dwyn eu degymau a'u blaenffrwythau i dŷ yr Arglwydd; *ac yn ngwasanaethy brenin*—mewn pethau GWLADOL, megys dysgu ufydd-dod a ffyddlondeb i'r brenin, ac edrych ar eu bod yn talu pob teyrnged a threth ddyledus iddo.

Adn. 31. *Yn y ddeugeinfed flwyddyn o deyrnasiad Dafydd*] Yr hon oedd y flwyddyn olaf o'i oes ef, ac yn yr hon y gwnaed yr holl drefniadau blaenorol ar yr offeiriaid, y Lefiaid, y cantorion, a'r porthorion, pen. xxiii. 1. *Y ceisiwyd hwynt*—neu y cynullwyd yr Hebroniaid yn nghyd, i'w gosod mewn swyddau yn mhlith y ddau lwyth a hanner o du y dwyrain i'r Iorddonen, fel yr oedd eu brodyr o du y gorllewin iddi, adn. 30.

Adn. 32. *Ddwy fil a saith gant*] Yr oedd hyn yn nifer mawr i edrych ar ol dau lwyth a hanner, tra nad oedd dim ond *mil a saith gant* i edrych ar yr holl lwythau ereill yn ngwlad Canaan. Ond y mae y rheswm am hyn yn amlwg. Trwy fod y Reubeniaid, a'r Gadiaid, a hanner llwyth Manasse, yn cartrefu tu hwnt i'r Iorddonen, ac felly yn mhell o Jerusalem, lle yr oedd llys y brenin a'r deml, yr oedd yn angenrheidiol cael mwy o wŷr nerthol i'w hyfforddi a'u cadw hwynt yn yr ymarferiad o ddyledswyddau crefydd, ac mewn ffyddlondeb i'w brenin.

PEN. XXVII. Adn. 1—4. *Pedair mil ar hugain oedd pob dosbarthiad o feibion Israel dan eu rhif*] Y mae y rhifiad hwn yn

5 Trydydd tywysog y llu dros y
trydydd mis *oedd* Benaiah mab Je-
hoiada yr offeiriad penaf; ac yn ei
ddosbarthiad ef bedair mil ar hug-
ain.
6 Y Benaiah hwn *oedd* gadarn *yn
mhlith* y deg ar hugain, ac oddiar y
deg ar hugain; yn ei ddosbarthiad
ef *yr oedd* Amizabad ei fab ef.
7 Y pedwarydd dros y pedwarydd
mis *oedd* Asahel brawd Joab, a Ze-
badiah ei fab ar ei ol ef; ac yn ei
ddosbarthiad ef bedair mil ar hug-
ain.
8 Y pummed dros y pummed mis
*oedd* dywysog, Samhuth yr Israhi-
ad; ac yn ei ddosbarthiad ef bedair
mil ar hugain.
9 Y chweched dros y chweched
mis *oedd* Ira mab Icces, Tecoad; ac
yn ei ddosbarthiad ef bedair mil ar
hugain.
10 Y seithfed dros y seithfed mis
*oedd* Heles y Peloniad, o feibion
Ephraim; ac yn ei ddosbarthiad ef
bedair mil ar hugain.
11 Yr wythfed dros yr wythfed
mis *oedd* Sibbechai yr Husathiad,
o'r Zarhiaid; ac yn ei ddosbarthiad
ef bedair mil ar hugain.
12 Y nawfed dros y nawfed mis
*oedd* Abiezer yr Anathothiad, o'r
Benjaminiaid; ac yn ei ddosbarth-
iad ef bedair mil ar hugain.
13 Y degfed dros y degfed mis
*oedd* Mahari y Netophathiad, o'r
Zarhiaid; ac yn ei ddosbarthiad ef
bedair mil ar hugain.
14 Yr unfed ar ddeg dros yr un-
fed mis ar ddeg *oedd* Benaiah y Pi-
rathoniad, o feibion Ephraim; ac
yn ei ddosbarthiad ef bedair mil ar
hugain.
15 Y deuddegfed dros y deuddeg-
fed mis *oedd* Heldai y Netophathiad,
o Othniel; ac yn ei ddosbarthiad ef
bedair mil ar hugain.
16 ¶ Ac ar lwythau Israel; ar y
Reubeniaid, Eliezer mab Zichri
*oedd* dywysog: ar y Simeoniaid,
Sephatiah mab Maacah:
17 Ar y Lefiaid, Hasabiah mab
Cemuel: ar yr Aaroniaid, Sadoc:
18 Ar Judah, Elihu, *un* o frodyr
Dafydd: ar Issachar, Omri mab
Michal:
19 Ar Zabulon, Ismaiah mab
Obadiah: ar Naphtali, Jerimoth
mab Azriel:
20 Ar feibion Ephraim, Hosea
mab Azaziah: ar hanner llwyth
Manasseh, Joel mab Pedaiah:
21 Ar hanner *llwyth* Manasseh yn
Gilead, Ido mab Zechariah: ar Ben-
jamin, Jaasiel mab Abner:
22 Ar Dan, Azariel mab Jeroham.
Dyma dywysogion llwythau Israel.
23 ¶ Ond ni chymerth Dafydd eu
rhifedi hwynt o fab ugain mlwydd
ac isod; canys dywedasai yr Ar-
glwydd yr amlhäai efe Israel megys
ser y nefoedd.

---

dra gwahanol i'r un blaenorol. Yn *hwnw* cawsom drefn a dosbarthiad yr *offeiriaid* a'r *Lefiaid* yn eu gweinyddiadau *eglwysig;* yn *hwn* cawn hanes trefn y wasanaeth *wladol*, pa un a berthynai yn unig i *gyflwr gwladyddol* y brenin a'r deyrnas. Yr oedd y fyddin hon, neu y *militia* fel y gallwn eu galw, wedi eu rhanu yn ddeuddeng lleng, pob un yn gynwysedig o 24,000 o wŷr, y rhai a lywodraethid gan un o'r *penau cenedl*, dan ba rai yr oedd *tywysogion miloedd*, y fath ag a alwn ni yn awr yn 'filwriaid;' a thanynt hwythau dywysogion *cannoedd.* Yr oedd pob un o'r llengau hyn yn gwasanaethu am fis, er diogelwch i'r brenin a'i deyrnas; ac yna gollyngid hwynt adref, pryd y deuai lleng arall a'u capteniaid i gymeryd eu lle; ac felly ni ddeuai eu tro hwynt ond unwaith yn y flwyddyn, a hyny am fis yn unig, yr hyn nid oedd yn faich trwm iddynt; a chaent oll un mis ar ddeg i fod gartref, yn edrych ar ol eu gorchwylion eu hunain. Fel hyn yr oedd gan y brenin fyddin o 24,000 o wŷr yn barhaus mewn gwasanaeth, heb gostio dim iddo ef na'r llywodraeth; a gallai ar unrhyw achos o berygl ddwyn i'r maes ddeuddeg 24,000, neu 288,000 o wŷr grymus wedi eu haddysgu i ryfel, heblaw y swyddogion milwraidd. Dywed yr Iuddewon fod y rhai hyn oll wedi eu dewis o blith yr uwchraddolion, ac felly eu bod yn gallu ymgynal ar eu traul eu hunain.

Adn. 5—15. *Yr offeiriad penaf*] Neu yn hytrach, '*y tywysog* penaf,' fel y mae y gair *cohen* yn fynych yn arwyddo; canys y mae yn sicr nad oedd Benaiah yn archoffeiriad nac yn ail offeiriad. *Bedair mil ar hugain*—gwel ar adn. 1—4.

Adn. 16—22. *Ac ar lwythau Israel, &c.*] Yr oedd y tywysogion milwraidd yn nechre y bennod wedi eu gosod yn eu swydd gan Dafydd; eithr y rhai hyn, sef 'tywysogion y llwythau,' oeddynt yn eu swydd trwy hawl, neu o ddewisiad eu gwahanol lwythau. Y mae yn hynod nad oes yma grybwylliad am lwythau *Gad* ac *Aser*. Tybia Clarke eu bod wedi eu colli o'r gofrestr; neu gall eu bod wedi eu corffori gyda rhai o'r llwythau ereill dan yr un tywysog.

Adn. 23. *Ond ni chymerth Dafydd eu rhifedi hwynt o fab ugain mlwydd ac isod*] Eithr yn unig y rhai ag oeddynt dros ugain mlwydd; *canys dywedasai yr Arglwydd yr*

24 Joab mab Serfiah a ddechreu-
odd gyfrif, ond ni orphenodd efe,
am fod o achos hyn lidiogrwydd yn
erbyn Israel, ac nid aeth y cyfrif
hwn yn mysg cyfrifon cronicl y
brenin Dafydd.
25 ¶ Ac ar drysorau y brenin *yr
oedd* Azmafeth mab Adiel: ac ar y
trysordai yn y maesydd, yn y di-
nasoedd, yn y pentrefi hefyd, ac yn
y tyrau, *yr oedd* Jehonathan mab
Uzziah.
26 Ac ar weithwyr y maes, *y rhai
oedd* yn llafurio y ddaear, *yr oedd*
Ezri mab Celub.
27 Ac ar y gwinllanoedd *yr oedd*
Simei y Ramathiad: ac ar yr hyn
*oedd* yn *dyfod* o'r gwinllanoedd i'r
selerau gwin, *yr oedd* Zabdi y Siph-
miad.
28 Ac ar yr olewwydd a'r syca-
morwydd, y rhai *oedd* yn y dyffryn-
oedd, *yr oedd* Baalhanan y Gederiad:
ac ar y selerau olew *yr oedd* Joas.
29 Ac ar yr ychain pasgedig yn
Saron, *yr oedd* Setrai y Saroniad:
ac ar yr ychain yn y dyffrynoedd,
*yr oedd* Saphat mab Adlai.
30 Ac ar y camelod *yr oedd* Obil
yr Ismaeliad: ac ar yr asynod Je-
deiah y Meronothiad.
31 Ac ar y defaid *yr oedd* Jaziz yr
Hageriad. Y rhai hyn oll *oedd* dy-
wysogion y golud eiddo y brenin
Dafydd.
32 A Jehonathan ewythr Dafydd
frawd ei dad oedd gynghorwr, gŵr
doeth, ac ysgrifenydd: Jehiel hefyd
mab Hachmoni *oedd* gyda meibion
y brenin.
33 Ac Ahitophel *oedd* gynghorwr
y brenin; a Husai yr Arciad *oedd*
gyfaill y brenin.
34 Ac ar ol Ahitophel *yr oedd*
Jehoiada mab Benaiah, ac Abiath-
ar: a thywysog llu y brenin *oedd*
Joab,

## PENNOD XXVIII.

A DAFYDD a gynullodd holl dy-
wysogion Israel, tywysogion y
llwythau, a thywysogion y dos-
barthiadau, y rhai oedd yn gwasan-
aethu y brenin, tywysogion y mil-
oedd hefyd, a thywysogion y can-
noedd, a thywysogion holl olud
a meddiant y brenin, a'i feibion,
gyda'r ystafellyddion, a'r cedyrn, a
phob un grymusol o nerth, i Jeru-
salem.
2 A chyfododd Dafydd y brenin
ar ei draed, ac a ddywedodd, Gwr-
andewch arnaf fi, fy mrodyr, a'm

*amlhäai efe Israel megys ser y nefoedd*—ac felly buasai eu rhifo hwynt oll yn ormod o lafur, yn gystal ag yn amheuad o wirionedd addewid Duw.

Adn. 24. *Joab mab Serfiah a ddechreuodd gyfrif*] Pob un ag ydoedd dros ugain mlwydd oed, yn ol gorchymyn Dafydd; *ond ni orphenodd efe*—canys gadawodd Lefi a Benjamin heb eu cyfrif, pen. xxi. 6; *am fod o achos hyn lidiogrwydd yn erbyn Israel*—yr hyn oedd un rheswm paham yr ymattaliodd efe; *ac nid aeth y cyfrif hwn yn mysg cyfrifon cronicl y brenin*—ni roddodd Joab gyfrif o lwyth Lefi a Benjamin yn mysg y cyfrifon a roddes efe i Dafydd o'r llwythau ereill: gwel ar 2 Sam. xxiv. 9. Rhaid fod hyn wedi cymeryd lle yn flaenorol i'r hyn a grybwyllir pen. xxiii—xxvi.

Adn. 25—31. *Ac ar drysorau y brenin, &c.*] Ni a gawn yn yr adnodau hyn yn mha beth yr oedd meddiannau personol Dafydd yn gynwysedig: (1) Trysorau o aur, arian, &c. (2) Ffrwythau ac ŷd yn y maesydd, y dinasoedd, y pentrefi, a'r tyrau neu y cestyll. (3) Gwinllanoedd a'u cynyrch. (4) Olewwydd a phrenau ereill a'u ffrwythau. (5) Ychain a gwartheg mewn gwahanol daleithiau. (6) Camelod ac asynod; canys ni feddai efe feirch. (7) Deadellau defaid, geifr, &c. Ac yr oedd ganddo swyddogion priodol a chyfarwydd i edrych ar ol y rhai hyn oll.

Adn. 32. *Gŵr doeth ac ysgrifenydd*] Naill ai un dysgedig yn nghyfreithiau Duw, y rhai oeddynt hefyd gyfreithiau y wlad; neu ynte cofiadur y brenin. *Jehiel—oedd gyda meibion y brenin*—fel eu hathraw neu eu llywodraethwr.

Adn. 33. *Ahitophel oedd gynghorwr y brenin*] Gwel ar 2 Sam. xv. 12, 32, 37; *a Husai yr Arciad oedd gyfaill y brenin*—fel hyn yr oedd gan Dafydd ddyn cyfrwys yn gynghorwr iddo, a dyn gonest yn gyfaill iddo.

Adn. 34. *A thywysog llu y brenin oedd Joab*] Nai Dafydd fab ei chwaer: gwel ar 2 Sam. viii. 16.

PEN. XXVIII. Adn. 1. *A Dafydd a gynullodd holl dywysogion Israel*] I Jerusalem, i roddi iddynt y cynghorion canlynol. Cymerodd hyn le yn y flwyddyn olaf o'i oes, ar ol gosod y gwahanol dywysogion hyn yn eu swyddau, ac ychydig ddyddiau cyn iddo farw. Yr oedd ef wedi bod yn dra diwyd yn 'gwasanaethu ei genhedlaeth ei hun trwy ewyllys Duw' dros ei holl fywyd; ond fel y mae yn nesâu at angau, y mae yn ymaflyd yn ei waith gyda mwy o ddiwydrwydd. Yn hyn y mae yn siampl ddylynwiw i weinidogion a phroffeswyr crefydd.

Adn. 2. *A chyfododd Dafydd y brenin ar ei draed*] Naill ai oddiar y gwely lle y gorweddai, neu ynte oddiar yr orsedd lle yr eist-

pobl; Myfi *a feddyliais* yn fy nghalon adeiladu tŷ gorphwysfa i arch cyfammod yr Arglwydd, ac i ystôl draed ein Duw ni, a mi a barotoais tuag at adeiladu.
3 Ond Duw a ddywedodd wrthyf, Nid adeiledi di dŷ i'm henw i, canys rhyfelwr *fuost*, a gwaed a dywelltaist.
4 Er hyny Arglwydd Dduw Israel a'm hetholodd i o holl dŷ fy nhad, i fod yn frenin ar Israel yn dragywydd: canys Judah a ddewisodd efe yn llywiawdwr; ac o dŷ Judah, tŷ fy nhad i, ac o feibion fy nhad, efe a fynai i mi deyrnasu ar holl Israel:
5 Ac o'm holl feibion inau, (canys llawer o feibion a roddes yr Arglwydd i mi,) efe hefyd a ddewisodd Solomon fy mab, i eistedd ar orseddfa brenhiniaeth yr Arglwydd, ar Israel.
6 Dywedodd hefyd wrthyf, Solomon dy fab, efe a adeilada fy nhŷ a'm cynteddau i; canys dewisais ef yn fab i mi, a minau a fyddaf iddo ef yn dad.
7 A'i frenhiniaeth ef a sicrhaf yn dragywydd, os efe a ymegnïa i wneuthur fy ngorchymynion a'm barnedigaethau i megys y dydd hwn.
8 Yn awr gan hyny, yn ngwydd holl Israel, cynulleidfa yr Arglwydd, a lle y clywo ein Duw ni, cedwch a cheisiwch holl orchymynion yr Arglwydd eich Duw, fel y meddiannoch y wlad dda *hon*, ac y gadawoch hi yn etifeddiaeth i'ch meibion ar eich ol yn dragywydd.
9 ¶ A thithau Solomon fy mab, adnebydd Dduw dy dad, a gwasanaetha ef â chalon berffaith, ac â meddwl ewyllysgar: canys yr Arglwydd sydd yn chwilio yr holl galonau, ac yn deall pob dychymyg

---

eddai. *Gwrandewch arnaf fi, fy mrodyr*—felly y geilw efe y tywysogion a'r penaethiaid, am fod iddynt ran gydag ef, er dano ef, yn y llywodraeth; ac yr oeddynt yn frodyr iddo hefyd fel plant Abraham, a rhai yn proffesu yr un grefydd. *Myfi a feddyliais yn fy nghalon adeiladu tŷ gorphwysfa*—i'r arch, lle y cai hi orphwys yn barhaus, ac nid symud o le i le; *ac i ystôl draed ein Duw ni*—'y nef yw ei orseddfainc, a'r ddaear yw lleithig ei draed,' Esay lxvi. 1; eithr yma, gan ei fod ef yn eistedd rhwng y cerubiaid, ystyrir caead yr arch, neu y 'drugareddfa,' fel ystôl ei draed ef. *A mi a barotoais tuag at adeiladu*—gwel ar pen. xxii. 2, &c., a xxix. 2—5.

Adn. 3. *Nid adeiledi di dŷ i'm henw i*] Gwel ar pen. xxii. 7, 8, a 2 Sam. vii. 5, &c.

Adn. 4. *A'm hetholodd i o holl dŷ fy nhad*] Gan wrthod ei holl frodyr hynach nag ef, 1 Sam. xvi. 10—12; *i fod yn frenin ar Israel yn dragywydd*—efe am ddeugain mlynedd, a'i had ar ei ol hyd derfyn yr or uchwyliaeth Iuddewig, os cadwent ei orchymynion ef, adn. 7; a chyflawnir hyn yn llythyrenol yn y MESSIA, Mab Dafydd, yr hwn sydd yn Frenin tragwyddol ar holl Israel ysbrydol Duw: gwel ar 2 Sam. vii. 13. *Canys Juda a ddewisodd efe yn llywiawdwr*—sef llwyth Juda, i godi llywiawdwr o hono, Gen. xlix. 10.

Adn. 5. *A ddewisodd Solomon fy mab*] Solomon a ddewiswyd o holl feibion Dafydd, a Dafydd o holl feibion Jesse, a thŷ Jesse o holl lwyth Juda. Crybwylla Dafydd hyn i ddangos mai o'r Arglwydd yr oedd fod i Solomon deyrnasu, ac nid o'i ewyllys ef ei hun: yr Arglwydd a ddewisasai y llwyth, y teulu, a'r dyn.

Adn. 6. *Dywedodd hefyd wrthyf, &c.*] Gwel ar 2 Sam. vii. 13, 14.

Adn. 7. *Os efe a ymegnïa*] Saes. '*a barha* i wneuthur fy ngorchymynion a'm barnedigaethau i.' Y mae yr addewid yn ddiammodol gyda golwg ar y Messia, ond yn ammodol gyda golwg ar Solomon. *Megys y dydd hwn*—megys yr oedd ef wedi dechreu y pryd hyny, ar ol ei eneinio. Geiriau Dafydd yw y frawddeg hon, canys yr oedd Solomon heb ei eni pan lefarodd Duw y geiriau blaenorol wrth Dafydd trwy Nathan.

Adn. 8. *Yn awr gan hyny, yn ngwydd holl Israel*] Y rhai a gynrychiolid gan y tywysogion hyn, adn. 1; *a lle y clywo ein Duw ni*—yr hwn oedd yn wyddfodol yno i weled a chlywed y cwbl; *cedwch a cheisiwch*—cedwch y gorchymynion a wyddoch, a cheisiwch am, neu chwiliwch i mewn i, y rhai yr ydych yn anwybodus o honynt. Nis gellir cadw holl orchymynion Duw heb lawer o ofal a gwyliadwriaeth. *Fel y meddiannoch y wlad dda hon*—neu y parhaoch i'w meddiannu o oes i oes, yr hyn oedd yn ymddibynu yn unig ar eu hufydd-dod hwy, Esay i. 19.

Adn. 9. *A thithau Solomon fy mab*] Yr hwn oedd yno yn bersonol, ac a gyflwynesid gan Dafydd i'r gynulleidfa hon fel eu brenin ar ei ol ef; *adnebydd Dduw dy dad*—sef Duw cyfammodol dy dad; cais adnabyddiaeth achubol o hono, ac addola ef fel yr unig wir Dduw; *a gwasanaetha ef â chalon berffaith*—yn wirioneddol a diragrith, neu â'th holl galon; *ac â meddwl ewyllysgar*—nid yn anfoddog, fel pe byddai ei wasanaeth ef yn gaethiwed a baich; eithr gyda sirioldeb, hyfrydwch, a llawenydd. *Canys yr Arglwydd sydd yn chwilio yr holl galonau*—calonau brenhinoedd yn gystal a'u deiliaid; ac felly efe a ŵyr pwy sydd yn ei wasanaethu ef â chalon berffaith, ac â meddwl ewyllysgar; *ac yn deall pob dychymyg meddyliau*—ac am hyny nis gall neb ei dwyllo ef. *O cheisi ef*—yn y ffordd a benododd efe, trwy edifeirwch, ffydd, a gweddi, a hyny yn gywir ac â'th holl galon;

meddyliau. O cheisi ef, ti a'i cai; ond os gwrthodi ef, efe a'th fwrw di ymaith yn dragywydd.
10 Gwel yn awr mai yr Arglwydd a'th ddewisodd di i adeiladu tŷ y cysegr: ymgryfha, a gwna.
11 ¶ Yna y rhoddes Dafydd i Solomon ei fab bortreiad y porth, a'i dai, a'i selerau, a'i gellau, a'i ystafelloedd oddifewn, a thŷ y drugareddfa,
12 A phortreiad yr hyn oll a oedd ganddo trwy yr ysbryd, am gynteddau tŷ yr Arglwydd, ac am yr holl ystafelloedd o amgylch, am drysorau tŷ Dduw, ac am drysorau y pethau cysegredig:
13 Ac am ddosbarthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid, ac am holl waith gweinidogaeth tŷ yr Arglwydd, ac am holl lestri gwasanaeth tŷ yr Arglwydd.
14 *Efe a roddes* o aur wrth bwys, *i'r pethau* o aur tuag at holl lestri pob gwasanaeth, *ac arian* i'r holl lestri arian, mewn pwys, tuag at holl lestri pob math ar wasanaeth:
15 Sef pwys y canwyllbreni aur, a'u lampau aur, wrth bwys i bob canwyllbren ac i'w lampau: ac i'r canwyllbrenau arian wrth bwys, i'r canwyllbren ac i'w lampau, yn ol gwasanaeth pob canwyllbren.
16 Aur hefyd *dan* bwys, tuag at fyrddau y *bara* gosod, i bob bwrdd; ac arian i'r byrddau arian;
17 Ac aur pur i'r cigweiniau, ac i'r phiolau, ac i'r dysglau, ac i'r gorflychau aur, wrth bwys pob gorflwch: ac i'r gorflychau arian wrth bwys pob gorflwch;
18 Ac i allor yr arogldarth, aur pur wrth bwys; ac aur i bortreiad cerbyd y cerubiaid oedd yn ymledu, ac yn gorchuddio arch cyfammod yr Arglwydd.
19 Hyn oll, *ebe Dafydd,* a wnaeth yr Arglwydd i mi ei ddeall mewn ysgrifen, trwy *ei* law ef arnaf fi, *sef* holl waith y portreiad hwn.
20 A dywedodd Dafydd wrth So-

*ti a'i cai*—efe a'i hamlyga ei hun i ti fel dy Dduw cyfammodol, fel dy Noddwr, dy Arweinydd, a'th Waredwr: *ond os gwrthodi ef*—yn y *cynygiad* o hono ei hun i ti fel dy Dduw a'th Waredwr; neu os bydd i ti *gefnu* ar ei addoliad, ei wasanaeth, a'i orchymynion; *efe a'th fwrw di ymaith yn dragywydd*—er amled ei addewidion i mi a'm had, ac er cymaint yr anrhydedd a'r ffafr a ddanghosodd efe oisioes i tithau. Nid ei fwrw ef o'r *frenhiniaeth* a feddylir yma, (gwel ar 2 Sam. vii. 15,) eithr ei fwrw ymaith o'i ffafr, a than ei lid yn oesoesoedd, Mat. xxv. 41. Ddarllenydd, y mae y cynghor hwn o eiddo Dafydd i'w fab Solomon, yn cael ei roddi gan yr Ysbryd Glân i tithau, ac i bob un ag y mae y Beibl santaidd yn ei feddiant: bydded mai prif ddyben dy fywyd fo ufyddhau iddo o hyn allan!

Adn. 10. *Gwel yn awr*] Oddiwrth yr hyn a ddywedasai Duw am dano, adn. 6; *mai yr Arglwydd a'th ddewisodd di i adeiladu tŷ y cysegr*—at addoliad santaidd Duw: *ymgryfha, a gwna*—ymwrola at y gwaith hwn yn ngwyneb pob anhawsder, dirmyg, a gwrthwynebiad.

Adn. 11. *Bortreiad y porth*] Sef porth y deml, a'r holl adeiladau a'r ystafelloedd perthynol iddi: gwel ar 1 Bren. vi. 3—36. *A thŷ y drugareddfa*—y cysegr santeiddiolaf, lle yr oedd yr arch i fod.

Adn. 12. *A phortreiad yr hyn oll a oedd ganddo trwy yr ysbryd*] Sef trwy Ysbryd Duw, yr hwn a roddodd i Dafydd bortreiad o'r deml, megys y rhoddasai efe i Moses bortreiad o'r tabernacl, Exod. xxv. 40. Gan fod y deml i fod yn gysgod o Grist, ei eglwys, a'r nef, nid oedd yn weddus iddi gael ei ffurfio gan ddyfais dyn, eithr gan ddoethineb Duw.

Adn. 13. *Ac am ddosbarthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid, &c.*] Yr oedd Dafydd wedi cael portreiad neu hyfforddiad dwyfol mewn perthynas i'r holl bethau hyn hefyd: gwel ar pen. xxiii—xxv.

Adn. 14. *Efe a roddes o aur wrth bwys*] Sef y dogn o aur ac arian ag oedd i fod yn mhob llestr a dodrefnyn o'r rhai a enwir isod.

Adn. 15. *Canwyllbrenau arian*] Y rhai a ddefnyddid ond odid yn ystafelloedd yr offeiriaid.

Adn. 16. *Tuag at fyrddau y bara gosod*] O'r rhai yr oedd deg, 2 Cron. iv. 8, er mai un oedd ar y cyntaf, neu fod un o fwy o enwogrwydd na'r lleill, 1 Bren. vii. 48.

Adn. 17. *Ac aur pur i'r cigweiniau, &c.*] Gwel ar Exod. xxv, xxxvii, a 1 Bren. vi a vii.

Adn. 18. *Ac aur i bortreiad cerbyd y cerubiaid*] Wrth y 'cerbyd' hwn y dealla rhai yr *attegion* ar y rhai y gorphwysai y cerubiaid ar y drugareddfa; ac ereill a dybient mai y *cerubiaid* eu hunain a feddylir, y rhai a ystyrid fel cerbyd Jehofa, Salm xviii. 10.

Adn. 19. *I mi ei ddeall mewn ysgrifen*] (1) Naill ai mewn ysgrifen a roddwyd i Dafydd, oddiwrth Dduw, gan Samuel, Gad, neu Nathan. (2) Neu mewn ysgrifen a wnaed gan Dafydd ei hun, fel yr oedd Ysbryd Duw yn ei gyfarwyddo. (3) Neu ynte, mewn ysgrifen a wnaed â bys Duw ei hun ar lech ei feddwl ef, fel yr ysgrifenasai efe y gyfraith i Moses gynt ar lechau cerig. (4) Ond y mae yn debycach mai yr ystyr yw, i Dafydd mewn gweledigaeth ganfod cynllun o'r cwbl, fel pe buasent wedi eu hysgrifenu neu eu paentio o'i flaen ar bapyr; ac i hyn wneyd y fath argraff ar ei feddwl ef, nes gallu o hono eu darlunio yn hawdd i'w fab.

Adn. 20. *Ymgryfha*] Gwel ar adn. 10; *nac ofna, ac nac arswyda*—rhag dy elynion,

lomon ei fab, Ymgryfha, ac ymegnïa,
a gweithia; nac ofna, ac nac ar-
swyda: canys yr Arglwydd Dduw,
fy Nuw i, *fydd* gyda thi; nid ymedy
efe â thi, ac ni'th wrthyd, nes gor-
phen holl waith gwasanaeth tŷ yr
Arglwydd.
21 Wele hefyd ddosbarthiadau yr
offeiriaid a'r Lefiaid, i holl wasan-
aeth tŷ Dduw, a chyda thi *y maent*
yn yr holl waith, a phob un ewyll-
ysgar cywraint i bob gwasanaeth;
y tywysogion hefyd a'r bobl oll
*fyddant* wrth dy orchymyn yn gwbl.

## PENNOD XXIX.

YNA y dywedodd Dafydd y brenin
wrth yr holl dyrfa, Duw a dde-
wisodd yn unig fy mab Solomon, *ac*
*y mae efe* yn ieuanc, ac yn dyner,
a'r gwaith *sydd* fawr; canys nid i
ddyn *y mae* y llys, ond i'r Arglwydd
Dduw.
2 Ac â'm holl gryfder y parotoais
i dŷ fy Nuw, aur i'r *gwaith* aur, ac
arian i'r arian, a phres i'r pres, a
haiarn i'r haiarn, a choed i'r *gwaith*
coed; meini onix, a *meini* gosod,
meini carbunculus, ac o amryw liw,
a phob maen gwerthfawr, a meini
marmor yn aml.
3 Ac eto am *fod* fy ewyllys tua
thŷ fy Nuw, y mae genyf o'm heiddo
fy hun, aur ac arian, *yr hwn* a rodd-
af tuag at dŷ fy Nuw; heblaw yr
hyn oll a barotoais tua'r tŷ santaidd:
4 Tair mil o dalentau aur, o aur
Ophir; a saith mil o dalentau arian
puredig, i oreuro parwydydd y tai:
5 Yr aur i'r *gwaith* aur, a'r arian
i'r arian; a thuag at yr holl waith,
trwy law y rhai celfydd. Pwy hefyd
a ymrŷdd yn ewyllysgar i ymgy-
segru heddyw i'r Arglwydd?
6 ¶ Yna tywysogion y teuluoedd, a
thywysogion llwythau Israel, a thy-
wysogion y miloedd a'r cannoedd,
a swyddogion gwaith y brenin, a
offrymasant yn ewyllysgar,
7 Ac a roddasant tuag at wasan-
aeth tŷ Dduw, bum mil o dalentau
aur, a deng mil o sylltau, a deng
mil o dalentau arian, a deunaw mil
o dalentau pres, a chan mil o dalent-
au haiarn.

---

neu rhag na chai ddigon o fodd i orphen y gwaith: *canys yr Arglwydd Dduw, fy Nuw i*—yr hwn y darfu i mi ei wasanaethu, ac a fu gyda mi; *fydd gyda thi*—i'th gyfarwyddo, a'th nerthu, a'th lwyddo yn dy holl waith; *nid ymedy efe â thi, ac ni'th wrthyd*—mwy nag yr ymadawodd â Josua gynt, pen. i. 5, neu â'r credinwyr yn gyffredinol, Heb. xiii. 5. 'Nid yw Duw byth yn gadaw neb, nes iddynt hwy yn gyntaf ei adael ef.'—HENRY.

Adn. 21. *Wele hefyd ddosbarthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid*] Y rhai a'th bleidiant ac a'th gynorthwyant i adeiladu y deml; *a phob un ewyllysgar cywraint*—sef amledd o weithwyr medrus ac ewyllysgar at bob rhan o waith yr adeilad; *y tywysogion hefyd a'r bobl oll*—fyddant mor bell oddiwrth attal y gwaith, fel y byddant yn barod ar dy alwad i estyn i ti bob cynorthwy.

PEN. XXIX. Adn. 1. *Yna y dywedodd Dafydd y brenin wrth yr holl dyrfa, &c.*] Efe a'u hannogai hwynt i gynorthwyo ei fab trwy amrai ystyriaethau: (1) Fod Duw wedi ei ddewis ef i'r gwaith hwn. (2) Fod arno angen am eu cynorthwy hwy ar gyfrif ei ieuengtid. (3) Fod y gwaith ei hun yn fawreddog, fel llys Brenin y brenhinoedd ac Arglwydd yr arglwyddi, yr hwn oedd i breswylio ynddo. (4) A'i fod ef ei hun wedi rhoddi iddynt siampl, trwy gyfranu yn helaeth at y gwaith.

Adn. 2. *Ac â'm holl gryfder y parotoais*] Sef hyd eithaf ei allu a'i gyfoeth; *aur i'r gwaith aur, &c.*—gwel ar pen. xxii. 3, 4, a xxviii. 14—18; *meini onix, &c.*—pob math o feini gwerthfawr, o bob lliw, i addurno a phrydferthu yr adeilad ogoneddus.

Adn. 3. *O'm heiddo fy hun*] O'r hyn a gynilais ac a gedwais at fy ngwasanaeth fy hun, ar ol neillduo y pethau ereill a gysegrais o'r blaen at wasanaeth tŷ Dduw: gwel adn. 2, a pen. xxii. 14.

Adn. 4. *Tair mil o dalentau aur*] Yr hŷn oedd yn cyfateb i £16,425,000 o'n harian ni; *a saith mil o dalentau arian*—yn cyfateb i £2,395,312 10*s*. o'n harian ni; *i oreuro parwydydd y tai*—oddifewn, sef y cysegr, a'r cysegr santeiddiolaf.

Adn. 5. *Trwy law y rhai celfydd*] Neu gelfyddydwyr medrus mewn gwaith aur ac arian. *Pwy hefyd a ymrŷdd yn ewyllysgar i ymgysegru*—Heb., *lemalloth yado*, 'i lenwi ei law;' hyny yw, i ddwyn offrwm i'r Arglwydd, fel y gwnaethai Dafydd.

Adn. 6. *A offrymasant yn ewyllysgar*] Ar alwad y brenin, ac yn ol ei siampl ef.

Adn. 7. *Bum mil o dalentau aur*] Neu £27,375,000 o'n harian ni; *a deng mil o sylltau*—meddylir mai y *darics aur* a olygir, gwerth oddeutu ugain swllt, yn cyfateb i £10,000; *a deng mil o dalentau arian*—yn cyfateb i £3,421,875; *a deunaw mil o dalentau pres*—cyfeiria hyn at bwysi y pres, yr hyn oedd oddeutu 1,027 o dunelli; *a chan mil o dalentau haiarn*—yn pwyso oddeutu 573,256 o dunelli. Hyn oedd cyfanswm yr aur, yr arian, y pres, a'r haiarn a roddasant hwy oll rhyngddynt.

Adn. 8. *A chyda'r hwn y caid meini*] Cyffelyb i'r rhai a enwyd adn. 2. Nid oedd

8 A chyda'r hwn y caid meini,
hwy a'*u* rhoddasant i drysor tŷ yr
Arglwydd, trwy law Jehiel y Ger-
soniad.
9 A'r bobl a lawenhasant pan
offryment o'u gwirfodd; am eu bod
â chalon berffaith yn ewyllysgar yn
offrymu i'r Arglwydd: a Dafydd y
brenin hefyd a lawenychodd â lla-
wenydd mawr.
10 ¶ Yna y bendithiodd Dafydd
yr Arglwydd yn ngwydd yr holl
dyrfa, a dywedodd Dafydd, Bendi-
gedig *wyt* ti, Arglwydd Dduw Is-
rael, ein tad ni, o dragwyddoldeb
hyd dragwyddoldeb.
11 I ti, Arglwydd, *y mae* mawr-
edd, a gallu, a gogoniant, a goruwch-
afiaeth, a harddwch: canys y cwbl
yn y nefoedd ac yn y ddaear *sydd*
eiddot ti; y deyrnas *sydd* eiddot ti,
Arglwydd, yr hwn hefyd a ym-
ddyrchefaist yn ben ar bob peth.
12 Cyfoeth hefyd ac anrhydedd a
*ddeuant* oddiwrthyt ti, a thi sydd
yn arglwyddiaethu ar bob peth, ac
yn dy law di *y mae* nerth a chad-
ernid; yn dy law di hefyd *y mae*
mawrhau, a nerthu pob dim.
13 Ac yn awr, ein Duw ni, yr
ydym ni yn dy foliannu, ac yn clod-
fori dy enw gogoneddus.
14 Eithr pwy *ydwyf* fi, a phwy
*yw* fy mhobl i, fel y caem ni rym i
offrymu yn ewyllysgar fel hyn? can-
ys oddiwrthyt ti *y mae* pob peth, ac
o'th law dy hun y rhoisom i ti.
15 O herwydd dyeithriaid *ydym* ni
ger dy fron di, ac alltudion fel ein
holl dadau: fel cysgod *yw* ein dydd-

meini gwerthfawr felly gan bawb; ond pwy bynag a feddent rai o honynt, hwy a'u rhoddasant yn ewyllysgar i harddu a gwychu tŷ yr Arglwydd.

Adn. 9. *A'r bobl a lawenhasant*] Am fod hyn yn effaith gras Duw ynddynt, a daioni Duw iddynt, adn. 14, ac yn arwydd y byddai i'r deml, am yr hon yr hiraethent gymaint, gael ei hadeiladu bellach; *a Dafydd y brenin hefyd a lawenychodd*—wrth weled fod y gwaith a garai ef mor fawr yn debyg o fyned yn mlaen yn llwyddiannus. Y mae yn adfywiad mawr i feddwl dynion da, wrth iddynt hwy adael y byd, weled fod y rhai a adawant ar eu hol yn selog gyda gwaith yr Arglwydd.

Adn. 10. *Yna y bendithiodd Dafydd yr Arglwydd*] Am y gallu a'r ewyllys a roisai yr Arglwydd iddo ef a'i bobl i offrymu mor helaeth; *ein tad ni*—sef Israel neu Jacob, tad y deuddeg llwyth.

Adn. 11. *I ti, Arglwydd, y mae mawredd, &c.*] Gellir ystyried y geiriau hyn fel cydnabyddiad o berffeithderau Duw ynddo ei hun, neu fel cyfaddefiad mai oddiwrtho ef y daethai yr holl fawredd, y gallu, a'r gogoniant a berthynai i Dafydd a'i bobl; *canys y cwbl yn y nefoedd ac yn y ddaear sydd eiddot ti*—fel eu Creawdwr a'u Llywodraethwr mawr; *y deyrnas sydd eiddot ti*—nid yn unig teyrnas Dafydd, ond teyrnas rhagluniaeth, teyrnas gras, a theyrnas gogoniant; *yr hwn hefyd a ymddyrchefaist yn ben ar bob peth*—ar yr angylion yn y nef, ar gythreuliaid yn uffern, ac ar ddynion ar y ddaear. Dywedir yr un peth am Grist, Eph. i. 21, 22, Phil. ii. 9—11.

Adn. 12. *Cyfoeth hefyd ac anrhydedd a ddeuant oddiwrthyt ti*] Ac nid oddiwrth ddiwydrwydd neu ddoethineb y rhai sydd yn eu meddu; *a thi sydd yn arglwyddiaethu ar bob peth*—gan drefnu y cwbl yn y modd doethaf, ac i ateb y dybenion goraf; *ac yn dy law di y mae nerth a chadernid*—i gario allan dy holl fwriadau; *yn dy law di hefyd y mae mawrhau a nerthu pob dim*—fel ag y mae pob mawredd a nerth ag sydd gan deyrnasoedd a chenhedloedd wedi dyfod yn unig oddiwrthyt ti.

Adn. 13. *Yr ydym ni yn dy foliannu*] Am i ti, yr hwn ydwyt mor uchel, ymostwng i sylwi ar rai mor isel.

Adn. 14. *Eithr pwy ydwyf fi, a phwy yw fy mhobl i?*] Dafydd oedd y brenin anrhydeddusaf, ac Israel oedd y bobl anrhydeddusaf, y pryd hyny ar y ddaear; ac eto efe a lefara fel hyn am dano ei hun a hwythau, fel yn hollol annheilwng o sylw a ffafr Duw; *fel y caem ni rym i offrymu yn ewyllysgar*—fel y rhoddit i ni gyfoeth gogyfer â'r fath offrwm, a chalon ewyllysgar i'w offrymu. *Canys oddiwrthyt ti y mae pob peth*—Duw sydd yn 'gweithio ynom ni ewyllysio a gweithredu;' ac y mae bod yn alluog i wneyd ei waith ef yn ewyllysgar, yn brawf o nerth ei ras ef ynom ni; *ac o'th law dy hun y rhoisom i ti*—nid ydym ni yn gwneyd dim ond dychwelyd i ti yr hyn a dderbyniasom genyt, neu dalu i ti ran fechan o'r ddyled fawr sydd arnom i ti.

Adn. 15. *O herwydd dyeithriaid ydym ni ger dy fron di*] Y tir ag yr ydym yn preswylio ynddo sydd eiddot ti, ac nid eiddom ni; *ac alltudion fel ein holl dadau*—allan o'n gwlad ein hunain, ac yn ddeiliaid tragwyddolfyd fel y rhai a aethant o'n blaen. Er eu bod yn awr yn sefydlog yn Nghanaan, eto, gan eu bod i farw, ac i fyned i breswylio byd arall, nid oeddynt ond megys dyeithriaid ac alltudion yn ngwlad eu hetifeddiaeth ddaearol: gwel ar Heb. xi. 13. *Fel cysgod yw ein dyddiau ni ar y ddaear*—disylwedd, diflanedig, ac o fyr barhad; *ac nid oes ymaros*—neu arhosiad parhaus; *mikveh*, 'nid oes *dysgwyliad*,' am fyw yn hir, nac am ddianc rhag y cyfnewidiadau ag yr oedd ein tadau yn agored iddynt. Crybwyllir hyn fel gwaharddiad i ymffrostio yn yr hyn a roddwn i Dduw a'i achos, neu i'n brodyr tylodion ac anghenus: nid ydym ond yn rhoddi yr hyn ag y rhaid i ni yn fuan ei adael, a'r hyn nas gallwn ei ddwyn ymaith gyda ni.

Adn. 16. *Yr holl amlder hyn*] Sef y trysor-

iau ni ar y ddaear, ac nid *oes*
ymaros.
16 O Arglwydd ein Duw, yr holl
amlder hyn a barotoisom ni i ad-
eiladu i ti dŷ i'th enw santaidd, o'th
law di *y mae*, ac eiddot ti *ydyw* oll.
17 Gwn hefyd, O fy Nuw, mai ti
sydd yn profi y galon, ac yn ym-
foddloni mewn cyfiawnder. Myfi
yn uniondeb fy nghalon, o wirfodd
a offrymais hyn oll; ac yn awr y
gwelais dy bobl a gafwyd yma yn
offrymu yn ewyllysgar i ti, a hyny
mewn llawenydd.
18 Arglwydd Dduw Abraham,
Isaac, ac Israel, ein tadau, cadw
hyn yn dragywydd yn mryd medd-
yliau calon dy bobl; a pharotoa eu
calon hwynt atat ti.
19 A dyro i Solomon fy mab
galon berffaith, i gadw dy orchym-
ynion, dy dystiolaethau, a'th ddeddf-
au, ac i'w gwneuthur *hwynt* oll, ac
i adeiladu y llys yr hwn a ddarper-
ais iddo.
20 ¶ Dywedodd Dafydd hefyd wrth
yr holl dyrfa, Bendithiwch, atolwg,
yr Arglwydd eich Duw. A'r holl
dyrfa a fendithiasant Arglwydd
Dduw eu tadau, a blygasant eu pen-
au, ac a ymgrymasant i'r Arglwydd,
ac i'r brenin.
21 Aberthasant hefyd ebyrth i'r
Arglwydd, a thranoeth ar ol y dydd
hwnw yr aberthasant yn boeth-off-
rymau i'r Arglwydd, fil o fustych,
mil o hyrddod, a mil o ŵyn, a'u
diod-offrymau, ac ebyrth yn lluosog,
dros holl Israel:
22 Ac a fwytasant ac a yfasant
gerbron yr Arglwydd y diwrnod
hwnw mewn llawenydd mawr. A
gosodasant Solomon mab Dafydd
yn frenin yr ail waith; ac eneinias-
ant *ef* i'r Arglwydd yn flaenor, a
Sadoc yn offeiriad.

---

au a enwyd adn. 2—8; *o'th law di y mae*—genyt ti y cawsom hwy ar y cyntaf, ac yr ydym yn rhwym i'w defnyddio er dy ogoniant; *ac eiddot ti ydyw oll*—nid yn unig yr hyn a offrymwyd, ond hefyd yr hyn sydd genym ar ol.

Adn. 17. *Gwn hefyd, O fy Nuw, mai ti sydd yn profi y galon*] Ac felly dy fod yn gwybod oddiar ba egwyddor yr offrymodd pob un; *ac yn ymfoddloni mewn cyfiawnder*—yn yr hyn a wneir mewn uniondeb calon, er anrhydedd i'th enw. *Myfi yn uniondeb fy nghalon, o wirfodd a offrymais hyn oll*—ac felly y mae Dafydd megys yn apelio at Dduw ei fod yn dywedyd y gwir; *ac yn awr y gwelais dy bobl*—barnai oddiwrth yr hyn a wnaethent hwythau, a'r modd y gwnaent ef, eu bod yn offrymu o'u gwirfodd megys yntau, yr hyn oedd yn achos o lawenydd mawr iddo ef, yn gystal ag iddynt hwy eu hunain, adn. 9.

Adn. 18. *Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac Israel*] Yr hwn wyt Dduw mewn cyfammod â hwy, ac â ninau er eu mwyn hwy; *cadw hyn yn dragywydd*—cadw yr ewyllysgarwch duwiol hwn yn barhaus yn nghalonau dy bobl, i offrymu yn ewyllysgar at dy achos, ac i'th garu a'th wasanaethu yn ffyddlon bob amser.

Adn. 19. *A dyro i Solomon fy mab galon berffaith*] Efe a orchymynasai i Solomon wasanaethu Duw â chalon berffaith, (pen. xxviii. 9,) ac yn awr efe a weddia ar i Dduw roddi iddo y gyfryw galon; *i gadw dy orchymynion*—yr hyn y gwyddai Dafydd nas gallai efe ei wneuthur heb i ras Duw adnewyddu ei galon; *ac i adeiladu y llys*—sef teml yr Arglwydd; *yr hwn y darperais iddo*—trwy brynu y lle, pen. xxi. 25, a chyfranu at draul y gwaith, adn. 2, 3.

Adn. 20. *Bendithiwch, atolwg, yr Arglwydd*] Am roddi o hono i chwi foddion, a chalon ewyllysgar, at y gwaith hwn. *A'r holl dyrfa*—sef y tywysogion a'r penaethiaid ag oeddynt yn bresenol; *a fendithiasant Arglwydd Dduw eu tadau*—ond odid mewn rhyw ffurf o ymadroddion tebyg i eiriau Dafydd uchod; *ac a blygasant eu penau, ac a ymgrymasant i'r Arglwydd*—mewn ffordd o addoliad dwyfol; *ac i'r brenin*—mewn ffordd o barch gwladol.

Adn. 21. *Aberthasant hefyd ebyrth*] Gellid meddwl oddiwrth ein cyfieithiad ni mai ar ddiwedd y dydd hwnw, yn union ar ol iddynt ymgrymu i'r Arglwydd ac i'r brenin, yr aberthasant hwy yr ebyrth hyn; ond yn ol y cyfieithiad Saesonig, ni wnaed hyny hyd dranoeth. *Boeth-offrymau i'r Arglwydd*—ond odid ar yr allor a adeiladasai Dafydd yn llawrdyrnu Ornan; *ac ebyrth yn lluosog dros holl Israel*—sef ebyrth hedd, ar y rhai y gallai y bobl wledda. Yr oedd y poeth-offrymau yn dair mil, a rhaid fod nifer yr ebyrth hedd, debygem, yr un mor lluosog. Dywed y *Targum* fod eu diod-offrymau yn un fil; ac yr oedd bwyd-offrymau lawer yn dylyn yr aberthau hyn yn wastadol.

Adn. 22. *Ac a fwŷtasant ac a yfasant gerbron yr Arglwydd*] Sef gerbron yr arch, fel y dywed rhai, yr hon oedd yn arwydd o'i bresenoldeb ef; neu, fel yn ngwyddfod Duw, mewn modd edmygol a chrefyddol, gan ei foliannu ef am ei drugaredd fawr, ac erfyn ei fendith ar yr achos. *A gosodasant Solomon mab Dafydd yn frenin yr ail waith*—y waith gyntaf yn amser bradwriaeth Adoniah, mewn brys mawr, yn ngwydd ychydig o weision Dafydd yn unig, 1 Bren. i. 34; eithr yn awr yn ngwydd holl dywysogion Israel, a phenaethiaid y llwythau. *Ac eneiniasant ef i'r Arglwydd yn flaenor*—sef yn frenin dan ei dad

23 Felly yr eisteddodd Solomon ar orseddfa yr Arglwydd yn frenin, yn lle Dafydd ei dad, ac a lwyddodd; a holl Israel a wrandawsant arno.

24 Yr holl dywysogion hefyd a'r cedyrn, a chyda hyny holl feibion y brenin Dafydd, a roddasant eu dwylaw *a'r fod* dan Solomon y brenin.

25 A'r Arglwydd a fawrygodd Solomon yn rhagorol yn ngwydd holl Israel, ac a roddes iddo ogoniant brenhinol, math yr hwn ni bu i un brenin o'i flaen ef yn Israel.

26 ¶ Felly Dafydd mab Jesse a deyrnasodd ar holl Israel.

27 A'r dyddiau y teyrnasodd efe ar Israel *oedd* ddeugain mlynedd: saith mlynedd y teyrnasodd efe yn Hebron, a thair *blynedd* ar ddeg ar hugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem.

28 Ac efe a fu farw mewn oedran têg, yn gyflawn o ddyddiau, cyfoeth, ac anrhydedd: a Solomon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

29 Ac *am* weithredoedd cyntaf a diweddaf y brenin Dafydd, wele *y maent* yn ysgrifenedig yn ngeiriau Samuel y gweledydd, ac yn ngeiriau Nathan y proffwyd, ac yn ngeiriau Gad y gweledydd,

30 Gyda'i holl frenhiniaeth ef, a'i gadernid, a'r amserau a aethant drosto ef, a thros Israel, a thros holl deyrnasoedd y gwledydd.

---

tra y byddai hwnw byw, ac yna i dyrnasu ei hunan ar ol marwolaeth ei dad; neu, fel y tybia rhai, rhoddodd Dafydd y swydd yn gwbl y pryd hyn yn llaw Solomon, gan y gwyddai ei fod ei hun yn myned i farw. *A Sadoc yn offeiriad*—neu yn archoffeiriad, pa swydd a ddaliodd efe ar ol diswyddo Abiathar, 1 Bren. ii. 27, 35.

Adn. 23. *Felly yr eisteddodd Solomon ar orseddfa yr Arglwydd*] Felly y gelwir gorseddfa Israel, am mai JEHOFA ei hun oedd gwir Frenin Israel, a Solomon megys rhaglaw dano ef, i weinyddu ei gyfreithiau ef, ac i ofalu am ei addoliad a'i wasanaeth: ac yn hyn yr oedd Solomon yn gysgod o Grist, yr hwn a eisteddodd gyda'i Dad ar ei orseddfa ef, Dat. iii. 21.

Adn. 24. *Yr holl dywysogion hefyd a'r cedyrn*] Sef holl dywysogion y llwythau, a phrif swyddogion y fyddin; *a chyda hyny holl feibion y brenin Dafydd*—llawer o ba rai oeddynt hŷn na Solomon; *a roddasant eu dwylaw*—a ymrwymasant, neu a *dyngasant*, i ymostwng iddo ef fel eu brenin: gwel ar Gen. xxiv. 9.

Adn. 25. *A'r Arglwydd a fawrygodd Solomon*] Trwy roddi iddo ddoethineb, cyfoeth, ac anrhydedd brenhinol tuhwnt i ddim a gawsai Saul na Dafydd o'i flaen ef.

Adn. 26, 27. *Felly Dafydd mab Jesse*] Yr hwn oedd o ddechread isel; *a deyrnasodd ar holl Israel*—am 33 o flynyddau, ar ol bod yn frenin ar Juda 7 mlynedd a 6 mis, 2 Sam. v. 4, 5.

Adn. 28. *Ac efe a fu farw mewn oedran têg*] Yn 70 mlwydd oed; *yn gyflawn o ddyddiau, cyfoeth, ac anrhydedd*—cafodd gymaint ag a allai ddymuno o'r naill a'r llall ar y ddaear, ac yn y diwedd fywyd tragwyddol yn y nef.

Adn. 29. *Ac am weithredoedd cyntaf a diweddaf y brenin Dafydd*] Y rhai a wnaeth efe cyn myned yn frenin, yn gystal ag wedi hyny; *wele, y maent yn ysgrifenedig yn ngeiriau Samuel*—yn nau lyfr Samuel, y rhai a ysgrifenwyd mewn rhan gan Samuel, ac a orphenwyd ar ol ei farwolaeth ef gan Nathan a Gad: gwel y rhagymadrodd i lyfrau Samuel. Ond tybia rhai mai at goflyfrau neu groniclau cyffredin y deyrnas y cyfeirir: gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 30. *Gyda'i holl frenhiniaeth ef*] Sef hanes yr hyn oll a ddygwyddodd yn ystod ei frenhiniaeth; *a'i gadernid*—yn ei ryfeloedd; *a'r amseroedd a aethant drosto ef*—ei flinderau a'i fuddugoliaethau ef, a'r bobl, a'r teyrnasoedd cymydogaethol; trwy fod y gair 'amser' neu 'amserau' yn cael ei arfer yn fynych am bethau a ddygwyddasant yn yr amserau hyny; *a thros holl deyrnasoedd y gwledydd*—sef y gwledydd cymydogaethol, y rhai a oresgynwyd ganddo; megys Syria, Philistia, Edom, Midian, Moab, Ammon, &c.

---

# AIL LYFR

# Y CRONICL.

---

Y MAE y rhagymadrodd i'r llyfr blaenorol yn gyfaddas mewn mesur mawr i'r llyfr hwn hefyd. Y mae rhai pethau a goffêir yn nau lyfr y Brenhinoedd, heb gael eu crybwyll yn hwn; ac y mae pethau ereill a grybwyllir yn hwn, heb gael eu coffâu yno; ac y mae amrai bethau ereill a gry-

bwyllir yno, yn cael eu hegluro yn llawnach yma. Cawsom hanes tŷ Dafydd o'r blaen, yn gymysg â hanes brenhinoedd Israel; ond yma cawn hanes brenhinoedd Juda yn unig, yn nghyda llawer o ddatguddiadau newyddion, yn enwedig mewn cysylltiad â chrefydd. Y mae y llyfr hwn yn dechreu lle y diweddodd llyfr cyntaf y Cronicl, gyda hanes teyrnasiad Solomon o farwolaeth Dafydd; a chynwysa hanes y genedl Iuddewig am oddeutu 479 o flynyddoedd, sef hyd ddinystr y deml, caethgludiad yr Iuddewon i Babilon, a chyhoeddiad rhyddid iddynt gan Cyrus, O. B. 3468, C. C. 536.

---

## PENNOD I.

A SOLOMON mab Dafydd a ymgadarnhaodd yn ei deyrnas, a'r Arglwydd ei Dduw *oedd* gydag ef, ac a'i mawrhaodd ef yn ddirfawr.

2 A Solomon a ddywedodd wrth holl Israel, wrth dywysogion y miloedd a'r cannoedd, ac wrth y barnwyr, ac wrth bob llywodraethwr yn holl Israel, *sef* y penau cenedl.

3 Felly Solomon a'r holl dyrfa gydag ef a aethant i'r uchelfa *oedd* yn Gibeon: canys yno yr oedd pabell cyfarfod Duw, yr hon a wnelsai Moses gwas yr Arglwydd yn yr anialwch.

4 Eithr arch Duw a ddygasai Dafydd i fyny o Ciriath-jearim, i'*r lle* a ddarparasai Dafydd iddi: canys efe a osodasai iddi hi babell yn Jerusalem.

5 Hefyd, yr allor bres a wnelsai Bezaleel mab Uri, mab Hur, oedd yno o flaen pabell yr Arglwydd: a Solomon a'r dyrfa a'i hargeisiodd hi.

6 A Solomon a aeth i fyny yno at yr allor bres, gerbron yr Arglwydd, yr hon *oedd* yn mhabell y cyfarfod, a mil o boeth-offrymau a offrymodd efe arni hi.

7 ¶ Y noson hòno yr ymddanghosodd Duw i Solomon, ac y dywedodd wrtho ef, Gofyn yr hyn a roddaf i ti.

8 A dywedodd Solomon wrth Dduw, Ti a wnaethost fawr drugaredd â'm tad Dafydd, ac a wnaethost i mi deyrnasu yn ei le ef.

9 Yn awr, O Arglwydd Dduw, sicrhaer dy air wrth fy nhad Dafydd; canys gwnaethost i mi deyrnasu ar bobl mor lluosog a llwch y ddaear.

10 Yn awr dyro i mi ddoethineb a gwybodaeth, fel yr elwyf allan, ac y delwyf i mewn o flaen y bobl hyn: canys pwy a ddichon farnu dy bobl luosog hyn?

11 A dywedodd Duw wrth Solomon, O herwydd bod hyn yn dy feddwl di, ac na ofynaist na chyfoeth, na golud, na gogoniant, nac einioes dy elynion, ac na ofynaist lawer o ddyddiau chwaith; eithr gofyn o honot i ti ddoethineb, a gwybodaeth, fel y bernit fy mhobl y'th osodais yn frenin arnynt:

12 Doethineb a gwybodaeth a roddwyd i ti, cyfoeth hefyd, a golud, a gogoniant, a roddaf i ti, y rhai ni bu eu cyffelyb gan y brenhinoedd *a fu* o'th flaen di, ac ni bydd y cyffelyb i neb ar dy ol di.

13 ¶ A Solomon a ddaeth o'r uchelfa *oedd* yn Gibeon, i Jerusalem, oddigerbron pabell y cyfarfod, ac a deyrnasodd ar Israel.

14 A Solomon a gasglodd gerbydau a marchogion; ac yr oedd ganddo

---

PEN. I. Adn. 1. *A Solomon mab Dafydd a ymgadarnhaodd yn ei deyrnas*] Ar ol i'w frawd Adoniah a'i blaid derfysglyd gael eu darostwng, 1 Bren. ii. 13, &c.; ac efe a dderbyniwyd yn unfrydig a llawen gan yr holl dywysogion a'r bobl; *a'r Arglwydd ei Dduw oedd gydag ef*—yn ei gyfarwyddo, ei fendithio, a'i lwyddo yn mhob dim.

Adn. 2. *A Solomon a ddywedodd wrth holl Israel*] Neu wrth eu cynrychiolwyr hwynt, sef wrth y tywysogion, &c., yn nghylch myned i aberthu i Gibeon.

Adn. 3. *Felly Solomon a'r holl dyrfa*] Cytunasant â'i gynygiad ef, ac aethant oll yn nghyd at yr allor oedd yn Gibeon: gwel ar 1 Bren. iii. 4. Meddylir i hyn gymeryd lle yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad.

Adn. 4. *Eithr arch Duw a ddygasai Dafydd i fyny*] O'r tabernacl i'r babell yn Jerusalem: gwel ar 2 Sam. vi. 17.

Adn. 5. *Hefyd yr allor bres, &c.*] Ni symudodd Dafydd hòno gyda'r arch, eithr gadawodd hi yn y tabernacl; *a Solomon a'r dyrfa a'i hargeisiodd hi*—i offrymu arni i'r Arglwydd.

Adn. 6. *Gerbron yr Arglwydd*] Lle yr arferai yr Arglwydd dderbyn aberthau ei bobl, er nad oedd yr arch, yr arwydd o'i bresenoldeb ef, yno er's blynyddau lawer.

Adn. 7—12. *Y noson hòno yr ymddanghosodd Duw i Solomon, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro yn 1 Bren. iii. 5—13.

Adn. 13. *A Solomon a ddaeth o'r uchelfa*] Wedi iddo orphen aberthu, ac wedi i Dduw

fil a phedwar cant o gerbydau, a deuddeng mil o wŷr meirch, ac efe a'u gosododd hwynt yn ninasoedd y cerbydau, ac yn Jerusalem gyda'r brenin.

15 A'r brenin a wnaeth yr arian a'r aur yn Jerusalem *cyn amled* a'r cerig, a chedrwydd a roddes efe fel y sycamorwydd o amldra, y rhai sydd *yn tyfu* yn y doldir.

16 A meirch a ddygid i Solomon o'r Aifft, ac edafedd llin: marchnadwyr y brenin a gymerent yr edafedd llin dan bris.

17 Canys deuent i fyny, a dygent o'r Aifft gerbyd am chwe chan *darn* o arian; a march am gant a hanner; ac felly y dygent i holl frenhinoedd yr Hethiaid, ac i frenhinoedd Syria gyda hwynt.

## PENNOD II.

A SOLOMON a roes ei fryd ar adeiladu tŷ i enw yr Arglwydd, a brenhindy iddo ei hun.

2 A Solomon a rifodd ddeng mil a thriugain o gludwyr, a phedwar ugain mil o gymynwyr yn y mynydd, ac yn oruchwylwyr arnynt hwy dair mil a chwe chant.

3 ¶ A Solomon a anfonodd at Hiram brenin Tirus, gan ddywedyd, Megys y gwnaethost â Dafydd fy nhad, ac yr anfonaist iddo gedrwydd i adeiladu iddo dŷ i drigo ynddo, *felly gwna â minau.*

4 Wele fi yn adeiladu tŷ i enw yr Arglwydd fy Nuw, i'*w* gysegru iddo, *ac* i arogldarthu arogldarth llysieuog ger ei fron ef, ac i'r gwastadol osodiad *bara,* a'r poeth-offrymau bore a hwyr, ar y sabbothau, ac ar y newydd-loerau, ac ar osodedig ŵyliau yr Arglwydd ein Duw ni. Hyd byth *y mae* hyn ar Israel.

5 A'r tŷ a adeiladaf fi *fydd* mawr: canys mwy *yw* ein Duw ni na'r holl dduwiau.

6 A phwy sydd abl i adeiladu iddo ef dŷ, gan na all y nefoedd, ïe, nefoedd y nefoedd, ei amgyffred? a phwy *ydwyf* fi, fel yr adeiladwn iddo ef dŷ, ond yn unig i arogldarthu ger ei fron ef?

7 Felly yn awr anfon i mi ŵr cywraint, i weithio mewn aur, ac mewn arian, ac mewn pres, ac mewn haiarn, ac mewn porphor, ac ysgarlad, a glas, ac yn medru cerfio cerfiadau gyda'r rhai celfydd *sydd* gyda mi yn Judah ac yn Jerusalem, y rhai a ddarparodd fy nhad Dafydd.

8 Anfon hefyd i mi goed cedr, a ffynidwydd, ac algumimwydd o Libanus: (canys myfi a wn y medr dy weision di naddu coed Libanus:)

---

ymddangos iddo; *i Jerusalem*—lle yr offrymodd efe eilwaith o flaen yr arch, 1 Bren. iii. 15.

Adn. 14—17. *A Solomon a gasglodd gerbydau, &c.*] Gwel ar 1 Bren. x. 26—29.

PEN. II. Adn. 1. *A Solomon a roes ei fryd ar adeiladu tŷ i enw yr Arglwydd*] At ei addoliad a'i wasanaeth ef; *a brenhindy iddo ei hun*—a'i olynwyr ar yr orsedd. Eithr tŷ yr Arglwydd oedd i gael ei adeiladu yn mlaenaf. Ceir sylwedd y bennod hon yn 1 Bren. v.

Adn. 2. *Dair mil a chwe chant*] Gwel ar 1 Bren. v. 16.

Adn. 3. *A Solomon a anfonodd at Hiram*] Ar ol i Hiram yn gyntaf anfon at Solomon, i'w gyfarch ar ei esgyniad i'r orsedd: gwel ar 1 Bren. v. 1, &c.

Adn. 4. *I'r gwastadol osodiad bara*] Sef y 'bara gosod,' yr hwn a ddanghosid yn wastadol ar y bwrdd cysegredig, Exod. xxv. 30. *Hyd byth y mae hyn*—sef hyd ddiwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig. Crybwyllir hyn i ddangos i Hiram fod yn rhaid i'r tŷ fod yn *gadarn* o ran gwaith a defnyddiau.

Adn. 5. *A'r tŷ a adeiladaf fi fydd mawr*] Mawr mewn maintioli, wrth ystyried yr holl adeiladau perthynol iddo; a mawr mewn gwychder ac enwogrwydd, fel teml addas i JEHOFA. *Canys mwy yw ein Duw ni na'r holl dduwiau*—mwy na'r holl eilunod, a mwy na'r holl dywysogion; ac am hyny dylai ei deml ef fod yn fwy na'r eiddynt hwy mewn gwychder, enwogrwydd, a gogoniant.

Adn. 6. *A phwy sydd abl i adeiladu iddo ef dŷ*] A fedr ei gynwys; *gan na all y nefoedd, ïe, nefoedd y nefoedd, ei amgyffred*—ei gynwys, neu ei gyfyngu o'u mewn? gwel ar 1 Bren. viii. 27. *Ond yn unig i arogldarthu ger ei fron ef*—gan fod JEHOFA yn Fôd anfeidrol, ac anfesurol, mynai Solomon i Hiram ddeall nad oedd ef yn meddwl adeiladu tŷ a allai gynwys Duw o'i fewn, ond yn unig lle i'w addoli ef ynddo.

Adn. 7. *Felly yn awr anfon i mi ŵr cywraint*] Dyn o fedrusrwydd mawr mewn gwaith aur, arian, pres, &c., galluog i gynllunio a chyfarwyddo, i fod yn ben ar y celfyddydwyr a ddarparasai Dafydd a Solomon, ac ar y lleill o weision Hiram.

Adn. 8. *Anfon hefyd i mi goed cedr a ffynidwydd*] O Libanus, yn nhiriogaeth Solomon, ond wedi eu *naddu* gan weithwyr

ac wele, fy ngweision inau *a fydd-
ant* gyda'th weision dithau ;
9 A *hyny* i ddarparu i mi lawer o
goed : canys y tŷ yr ydwyf fi a'r ei
adeiladu *fydd* mawr a rhyfeddol.
10 Ac wele i'th weision, i'r seiri
a naddant y coed, y rhoddaf ugain
mil corus o wenith wedi ei guro, ac
ugain mil corus o haidd, ac ugain
mil bath o win, ac ugain mil bath o
olew.
11 ¶ A Hiram brenin Tyrus a
atebodd mewn ysgrifen, ac a'i han-
fonodd at Solomon, O gariad yr Ar-
glwydd ar ei bobl, y rhoddes efe
dydi yn frenin arnynt hwy.
12 Dywedodd Hiram hefyd, Ben-
digedig *fyddo* Arglwydd Dduw Is-
rael, yr hwn a wnaeth nef a daear,
yr hwn a roddes i'r brenin Dafydd
fab doeth, gwybodus o synwyr a
deall, i adeiladu tŷ i'r Arglwydd, a
brenhindy iddo ei hun.
13 Ac yn awr mi a anfonais ŵr
celfydd, cywraint, a deallus, o'r
eiddo fy nhad Hiram :
14 Mab gwraig o ferched Dan,
a'i dad yn ŵr o Tyrus, yn medru
gweithio mewn aur, ac mewn arian,
mewn pres, mewn haiarn, mewn
cerig, ac mewn coed, mewn por-
phor, ac mewn glas, ac mewn llian
main, ac mewn ysgarlad ; ac i gerf-
io pob cerfiad, ac i ddychymygu
pob dychymyg a roddir ato ef,
gyda'th rai cywraint di, a rhai cy-
wraint fy arglwydd Dafydd dy dad.
15 Ac yn awr, y gwenith, a'r
haidd, yr olew, a'r gwin, y rhai a
ddywedodd fy arglwydd, anfoned
hwynt i'w weision :
16 A ni a gymynwn goed o Li-
banus, yn ol dy holl raid, ac a'u
dygwn hwynt i ti yn gludeiriau ar
hyd y môr i Joppa: dwg dithau
*hwynt* i fyny i Jerusalem.
17 ¶ A Solomon a rifodd yr holl
wŷr dyeithr *oedd* yn nhir Israel,
wedi y rhifiad â'r hon y rhifasai Da-
fydd ei dad ef hwynt : a chaed tair
ar ddeg a saith ugain o filoedd a
chwe chant.
18 Ac efe a wnaeth o honynt hwy
ddeng mil a thriugain yn gludwyr,
a phedwar ugain mil yn naddwyr,
yn y mynydd, a thair mil a chwe
chant yn oruchwylwyr i roi y bobl
ar waith.

## PENNOD III.

A SOLOMON a ddechreuodd ad-
eiladu tŷ yr Arglwydd yn Jeru-

---

Hiram, 1 Bren. v. 6 ; *ac algumimwydd*—gwel ar 1 Bren. x. 11.

Adn. 9. *A hyny i ddarparu i mi lawer o goed*] Canys yr oedd eisiau llawer at adeiladaeth mor fawr, yn ddistiau a thrawstiau, yn lloriau a chromenau, yn ddrysau a ffenestri, ac i orchuddio y muriau oddifewn, yn gystal ag at rai o'r dodrefn. *Canys y tŷ yr ydwyf fi ar ei adeiladu fydd mawr*—o ran ei faintioli ; *a rhyfeddol*—o ran ei wneuthuriad a'i wychder.

Adn. 10. *Ugain mil corus o wenith wedi ei guro*] Hyny yw, wedi ei ddyrnu neu ei falu : gwel ar 1 Bren. v. 11.

Adn. 11. *A Hiram brenin Tyrus a atebodd mewn ysgrifen*] Fel hyn ni a welwn fod brenhinoedd yn gallu *darllen* ac *ysgrifenu* yn mhlith y rhai a elwid gan y Groegiaid a'r Rhufeiniaid beilchion yn 'genhedloedd barbaraidd.' Yn mhen oddeutu *dwy fil* o flynyddoedd wedi hyn cawn frenin ar orsedd Prydain yr hwn ni allai ysgrifenu ei enw. Oddeutu O.C. 700, darfu i Withred, brenin Kent, derfynu braint-weithred i ddiogelu rhyddid yr eglwys yn y geiriau hyn : 'Y pethau uchod oll, wedi eu traethu genyf fi fy hun, a gadarnheais ; ac am nad allaf ysgrifenu, darfu i mi â'm llaw fy hun ei dystio trwy arwydd y santaidd groes †.'—Gwel *Wilkins's Concilia.*

Adn. 12. *Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel*] Gwel ar 1 Bren. v. 7.

Adn. 13. *Ac yn awr mi a anfonais ŵr celfydd*] Y fath ag a geisiasai Solomon, adn. 7 ; *o'r eiddo fy nhad Hiram*—un a fuasai yn ngwasanaeth Hiram, tad yr Hiram presenol, yn ol rhai. Ond y mae Boothroyd ac ereill yn ystyried y frawddeg olaf yma fel *enw* y gŵr celfydd hwn, ac yn cyfieithu yr holl adnod fel hyn : 'Ac yn awr anfonais ŵr celfydd, cywraint, a deallus, *Hirum-abiu.*'

Adn. 14. *Mab gwraig o ferched Dan*] Gwel ar 1 Bren. vii. 14.

Adn. 15. *Anfoned hwynt i'w weision*] Fel tâl i weision Hiram am eu gwaith, fel y cynygiasai Solomon, adn. 10.

Adn. 16. *Yn gludeiriau ar hyd y môr*] Gwel ar 1 Bren. v. 9.

Adn. 17. *A Solomon a rifodd yr holl wŷr dyeithr*] Gweddillion yr hen Ganaaneaid, y rhai oeddynt ond odid yn broselytiaid i'r grefydd Iuddewig ; *wedi y rhifiad â'r hon y rhifasai Dafydd*—gwel ar 1 Cron. xxii. 2 ; *a chaed*—fod rhif yr holl ddyeithiaid ag oeddynt yn alluog i waith, yn 153,600.

Adn. 18. *Ddeng mil a thriugain yn gludwyr*] I gludo coed a cherig at y deml : gwel ar 1 Bren. v. 15, 16.

PEN. III. Adn. 1. *Yn mynydd Moria*] Yr oedd rhan o'r mynydd hwn yn llwyth Juda, a rhan yn llwyth Benjamin ; a phriodolir y deml iddynt ill dau : gwel Deut. xxxiii.

salem yn mynydd Moriah, lle yr ymddangosasai yr Arglwydd i Dafydd ei dad ef, yn y lle a ddarparasai Dafydd, yn llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad.

2 Ac efe a ddechreuodd adeiladu ar yr ail *dydd* o'r ail mis, yn y bedwaredd flwyddyn o'i deyrnasiad.

3 ¶ A dyma *fesurau* sylfaeniad Solomon wrth adeiladu tŷ Dduw. Yr hyd *oedd* o gufyddau wrth y mesur cyntaf yn driugain cufydd; a'r lled yn ugain cufydd.

4 A'r porth *oedd* wrth dalcen *y tŷ oedd* un hyd a lled y tŷ, yn ugain cufydd, a'i uchder yn chwech ugain cufydd; ac efe a wisgodd hwn o fewn âg aur pur.

5 A'r tŷ mawr a fyrddiodd efe â ffynidwydd, y rhai a wisgodd efe âg aur dilin, ac a gerfiodd balmwydd a chadwynau ar hyd-ddo ef.

6 Ac efe a addurnodd y tŷ â meini gwerthfawr yn hardd, a'r aur *oedd* aur Parfaim.

7 Ie, efe a wisgodd y tŷ, y trawstiau, y rhiniogau, a'i barwydydd, a'i ddorau, âg aur, ac a gerfiodd gerubiaid ar y parwydydd.

8 Ac efe a wnaeth dŷ y cysegr santeiddiolaf, ei hyd *oedd* un hyd â lled y tŷ, yn ugain cufydd, a'i led yn ugain cufydd: ac efe a'i gwisgodd ef âg aur da, *sef* â chwe chan talent.

9 Ac yr *oedd* pwys yr hoelion o ddeg sicl a deugain o aur; y llofftydd hefyd a wisgodd efe âg aur.

10 ¶ Ac efe a wnaeth yn nhŷ y cysegr santeiddiolaf ddau gerub o waith cywraint, ac a'u gwisgodd hwynt âg aur.

11 Ac adenydd y cerubiaid *oedd* ugain cufydd eu hyd: y naill aden o bum cufydd, yn cyrhaeddyd pared y tŷ; a'r aden arall o bum cufydd yn cyrhaeddyd at aden y cerub arall.

12 Ac aden y cerub arall o bum cufydd, yn cyrhaeddyd pared y tŷ; a'r aden arall o bum cufydd, yn nghydag aden y cerub arall.

13 Adenydd y cerubiaid hyn a ledwyd yn ugain cufydd: ac yr oeddynt hwy yn sefyll ar eu traed, a'u hwynebau tuag i fewn.

14 ¶ Ac efe a wnaeth y wahanlen o *sidan* glas, a phorphor, ac ysgar-

---

12, Salm lxxvii. 68, 69. Yr oedd y rhan fwyaf o'i chynteddoedd yn llwyth Juda; eithr yr oedd yr allor, y porth, a'r rhanau santeiddiolaf o'r deml, yn llwyth Benjamin. Dywed yr hen Iuddewon i'r deml gael ei hadeiladu ar y man penodol lle yr oedd Abraham yn nghylch offrymu ei fab Isaac. Gan fod offrymiad Isaac yn gysgod o offrymiad Crist, a bod y deml hefyd yn gysgod o hono ef, yr oedd yn iawn iddi gael ei hadeiladu yno. *Lle yr ymddangosasai yr Arglwydd i Dafydd*—gan nodi felly y lle hwnw i adeiladu y deml arno, a'i gysegru fel pe byddai â'i bresenoldeb grasol: gwel 1 Cron. xxi. 26. *Y lle a ddarparasai Dafydd*—trwy ei brynu gan Ornan, a thrwy godi allor yno, tynu i lawr yr hen adeiladau, a marcio allan ond odid safle y deml a'i chynteddoedd, yn ol y portreiad a gawsai efe gan Ysbryd Duw, 1 Cron. xxviii. 11, 12.

Adn. 2. *Ar yr ail dydd o'r mis*] Sef mis Zif: gwel ar 1 Bren. vi. 1, &c., lle y ceir eglurhad llawnach ar y bennod hon.

Adn. 3. *Wrth y mesur cyntaf*] Tybia rhai fod y 'mesur cyntaf' yn cyfeirio at y cufydd a arferid yn amser *Moses*, i'w wahaniaethu oddiwrth gufydd *Babilon*, yr hwn oedd ddyrnfedd neu dair modfedd yn fyrach, sef 18 yn lle 21, ac a ddefnyddid gan yr Iuddewon ar ol eu dychweliad o Babilon. Gan i'r llyfrau hyn gael eu hysgrifenu ar ol y caethiwed, yr oedd yn angenrheidiol i'r ysgrifenydd wneyd y sylw hwn, rhag i neb feddwl fod y mesuriad yn ol cufydd Babilon. Gwneir yr un gwahaniaeth gan Ezeciel, pen. xl. 5, a xliii. 13,

Adn. 4. *A'i uchder yn chwech ugain cufydd*] Os yr un adeilad yw hwn ag a grybwyllir yn 1 Bren. vi. 2, 3, nid oedd ei uwchder ddim ond 30 cufydd. Y mae y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r LXX, yn darllen *ugain* cufydd yn unig.

Adn. 5. *A'r tŷ mawr*] Sef y cysegr, i'w wahaniaethu oddiwrth dŷ y cysegr santeiddiolaf, adn. 8.

Adn. 6. *Aur Parfaim*] Dywed Bochart mai aur o ynys *Ceylon* oedd hwn, yr hwn a ystyrid y goraf o bob aur; eithr tybia y rabbiniaid ei fod yn cael ei enw oddiwrth *parim*, 'gwartheg,' am ei fod o liw gwaed eidion.

Adn. 7. *Ac a gerfiodd gerubiaid ar y parwydydd*] Fel arwyddion ond odid o bresenoldeb yr angylion santaidd, a'u hamddiffyniad o'r lle.

Adn. 8. *Ac efe a wnaeth dŷ y cysegr santeiddiolaf*] Yr hwn oedd yn mhen gorllewinol y deml, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa; *yn ugain cufydd*—o ran hyd, lled, ac uchder, 1 Bren. vi. 20; *ac efe a'i gwisgodd ef âg aur da*—sef â llafnau o aur pur; *chwe chan talent*—gwerth oddeutu £3,285,000 o'n harian ni. Yr oedd hyn yn swm dirfawr i'w dreulio mewn un ystafell, ychydig dros 10 llath ysgwâr; ond yr oedd i fod yn gysgod o'r nef.

Adn. 9. *Ac yr oedd pwys yr hoelion*] Sef yr hoelion neu y pinau aur â pha rai y sicrheiu

lad, a llian main, ac a weithiodd
gerubiaid ar hyny.
15 Gwnaeth hefyd ddwy golofn o
flaen y tŷ, yn bymtheg cufydd ar
hugain o hyd, a'r cnap ar ben pob
un o honynt *oedd* bum cufydd.
16 Ac efe a wnaeth gadwyni *fel*
yn y gafell, ac a'*u* rhoddodd ar ben
y colofnau; ac efe a wnaeth gant o
bomgranadau, ac a'*u* rhoddodd ar
y cadwynau.
17 A chyfododd y colofnau o flaen
y deml, un o'r tu deau, ac un o'r tu
aswy; ac a alwodd enw y ddeau,
Jachin; ac enw yr aswy, Boaz.

## PENNOD IV.

AC efe a wnaeth allor bres, o ug-
ain cufydd ei hyd, ac ugain
cufydd ei led, a deg cufydd ei
huchder.
2 ¶ Gwnaeth hefyd fôr tawdd, yn
ddeg cufydd o ymyl i ymyl, yn grwn
o amgylch, ac yn bum cufydd ei
uchder, a llinyn o ddeg cufydd ar
hugain a'i hamgylchai oddiam-
gylch.
3 A llun ychain *oedd* dano yn ei
amgylchu o amgylch, deg mewn
cufydd yr oeddynt yn amgylchu y
môr oddiamgylch: dwy res o ych-
ain *oedd* wedi eu toddi, pan dodd-
wyd yntau.
4 Sefyll yr oedd ar ddeuddeg o
ychain; tri yn edrych tua'r gog-
ledd, a thri yn edrych tua'r gorlle-
win, a thri yn edrych tua'r deau, a
thri yn edrych tua'r dwyrain: a'r
môr arnynt oddiarnodd, a'u holl
benau ol hwynt *oedd* o fewn.
5 A'i dewder *oedd* ddyrnfedd, a'i
ymyl fel gwaith ymyl cwpan, â
blodau lili: *a* thair mil o bathau a
dderbyniai, ac a ddaliai.
6 ¶ Gwnaeth hefyd ddeg o noe-
au, ac efe a roddodd bump o'r tu
deau, a phump o'r tu aswy, i ym-
olchi ynddynt: trochent ynddynt
ddefnydd y poeth-offrwm, ond y
môr *oedd* i'r offeiriaid i ymolchi
ynddo.
7 Ac efe a wnaeth ddeg canwyll-
bren aur yn ol eu portreiad, ac a'*u*
gosododd yn y deml, pump o'r tu
deau, a phump o'r tu aswy.
8 Gwnaeth hefyd ddeg o fyrddau,
ac a'*u* gosododd yn y deml, pump
o'r tu deau, a phump o'r tu aswy:
ac efe a wnaeth gant o gawgiau
aur.
9 ¶ Ac efe a wnaeth gyntedd yr
offeiriaid, a'r cyntedd mawr, a dor-
au i'r cynteddoedd; a'u dorau
hwynt a wisgodd efe â phres.
10 Ac efe a osododd y môr ar yr
ystlys ddeau, tua'r dwyrain, ar
gyfer y deau.
11 Gwnaeth Hiram hefyd y croch-
anau, a'r rhawiau, a'r cawgiau: a
darfu i Hiram wneuthur y gwaith a
wnaeth efe dros frenin Solomon i
dŷ Dduw:
12 Y ddwy golofn, a'r cnapiau,

---

y llafnau uchod wrth y parwydydd; *o ddeg sicl a deugain*—neu oddeutu dau bwys ac un wns bob un.

Adn. 10—13. *Ddau gerub*] Gwel ar 1 Bren. vi. 23, &c.

Adn. 14. *Wahanlen o sidan glas, &c.*] Gyffelyb i'r hon a wnaed i'r tabernacl gynt, ond ei bod yn fwy: gwel ar Exod. xxvi. 31.

Adn. 15—17. *Ddwy golofn*] Gwel ar 1 Bren. vii. 15—21.

PEN. IV. Adn. 1. *Ac efe a wnaeth allor bres*] Yr hon oedd yn hirach ac yn lletach bedair gwaith nag allor Moses, Exod. xxvii. 1; *deg cufydd ei huchder*—tra nad oedd uchder allor Moses ddim ond tri chufydd. Gan fod llawer mwy o aberthu yn awr na chynt, yr oedd yn angenrheidiol i'r allor hon fod yn llawer mwy nag allor Moses; a thrwy ei bod mor uchel, gallai yr holl addolwyr yn nghyrau pellaf y cyntedd weled eu haberth yn cael ei ysu arni, yn gysgod o aberthiad Oen Duw dros bechodau y byd. Bernir fod esgynfa raddol yn arwain ati, i osod yr ebyrth arni, trwy fod *grisiau* yn waharddedig, Exod. xx. 26.

Adn. 2—5. *Gwnaeth hefyd fôr tawdd*] Gwel ar 1 Bren. vii. 23—26.

Adn. 6. *Ddeg o noeau*] I gadw dwfr at wasanaeth y Lefiaid, ac i olchi rhanau yr ebyrth, fel yr oedd y môr tawdd at wasanaeth yr offeiriaid: gwel ar 1 Bren. vii. 38.

Adn. 7. *Ddeg canwyllbren aur*] Neu 'ddeg *canwyllyr* aur:' gwel ar 1 Bren. vii. 49.

Adn. 8. *Ddeg o fyrddau*] 'Oedd â'r bara gosod arnynt,' adn. 19. Tybia rhai fod deuddeg torth ar bob un o'r rhai hyn; ac fel yr oedd y teulu yn cynyddu, felly fod yr arlwyaeth.

Adn. 9. *Gyntedd yr offeiriaid*] Sef y 'cyntedd nesaf i mewn,' 1 Bren. vi. 36; *a'r cyntedd mawr*—sef cyntedd Israel, lle yr ymgynullai corff y genedl i addoli.

Adn. 10—22. *Ac efe a osododd y môr ar yr ystlys ddeau, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro yn y sylwadau ar 1 Bren. vii. 39—50.

a'r coronau ar ben y ddwy golofn,
a'r ddwy bleth i guddio y ddau
gnap coronog, y rhai *oedd* ar ben y
colofnau:
13 A phedwar cant o bomgranad-
au ar y ddwy bleth; dwy res *oedd*
o bomgranadau ar bob pleth, i
guddio y ddau gnap coronog *oedd*
ar benau y colofnau.
14 Ac efe a wnaeth ystolion, ac a
wnaeth noeau ar yr ystolion;
15 Un môr, a deuddeg o ychain
dano:
16 Y crochanau hefyd, a'r rhaw-
iau, a'r cigweiniau, a'u holl lestri
hwynt, a wnaeth Hiram ei dad i'r
brenin Solomon, yn nhŷ yr Ar-
glwydd, o bres gloew.
17 Yn ngwastadedd yr Iorddon-
en y toddodd y brenin hwynt, mewn
cleidir, rhwng Succoth a Sered-
athah.
18 Fel hyn y gwnaeth Solomon
yr holl lestri hyn, yn lluosog iawn;
canys anfeidrol oedd bwys y pres.
19 ¶ A Solomon a wnaeth yr holl
lestri *oedd* yn nhŷ Dduw, a'r allor
aur, a'r byrddau *oedd* â'r bara gosod
arnynt,
20 A'r canwyllbrenau, a'u lamp-
au, i oleuo yn ol y ddefod o flaen y
gafell, o aur pur;
21 Y blodau hefyd, a'r lampau,
a'r gefeiliau, *oedd* aur, *a* hwnw yn
aur perffaith.
22 Y psaltringau hefyd, a'r cawg-
iau, a'*r* llwyau, a'r thuserau, *oedd*
aur pur: a drws y tŷ, a'i ddorau, o
du fewn y cysegr santeiddiolaf, a
dorau tŷ y deml, *oedd* aur.

## PENNOD V.

FELLY y gorphenwyd yr holl
waith a wnaeth Solomon i dŷ yr
Arglwydd: a Solomon a ddyg i
mewn yr hyn a gysegrasai Dafydd
ei dad; ac a osododd yn nhrysorau
tŷ Dduw, yr arian, a'r aur, a'r holl
lestri.
2 ¶ Yna y cynullodd Solomon
henuriaid Israel, a holl benau y
llwythau, penau cenedl meibion Is-
rael, i Jerusalem, i ddwyn i fyny
arch cyfammod yr Arglwydd o
ddinas Dafydd, hòno *yw* Seion.
3 Am hyny holl wŷr Israel a ym-
gynullasant at y brenin ar yr ŵyl
*oedd yn* y seithfed mis.
4 A holl henuriaid Israel a ddaeth-
ant, a'r Lefiaid a godasant yr arch.
5 A hwy a ddygasant i fyny yr
arch, a phabell y cyfarfod, a holl
lestri y cysegr, y rhai *oedd* yn y
babell, yr offeiriaid *a*'r Lefiaid a'u
dygasant hwy i fyny.
6 Hefyd brenin Solomon, a holl
gynulleidfa Israel, y rhai a gynull-
asid ato *ef* o flaen yr arch, a aberth-
asant o ddefaid, a gwartheg, fwy
nag a ellid eu rhifo na'u cyfrif gan
luosogrwydd.
7 A'r offeiriaid a ddygasant arch
cyfammod yr Arglwydd i'w lle, i
gafell y tŷ, i'r cysegr santeiddiolaf,
hyd tan adenydd y cerubiaid.
8 A'r cerubiaid oedd yn lledu *eu*
hadenydd dros le yr arch: a'r cer-
ubiaid a gysgodent yr arch a'i
throsolion, oddiarnodd.
9 A thynasant allan y trosolion, fel
y gwelid penau y trosolion o'r arch
o flaen y gafell, ac ni welid hwynt
oddiallan. Ac yno y mae hi hyd y
dydd hwn.
10 Nid *oedd* yn yr arch ond y
ddwy lech a roddasai Moses *ynddi*
yn Horeb, lle y gwnaethai yr Ar-
glwydd gyfammod â meibion Is-
rael, pan ddaethant hwy allan o'r
Aifft.
11 ¶ A phan ddaeth yr offeiriaid
o'r cysegr, (canys yr holl offeiriaid,
y rhai a gafwyd, a ymsanteiddias-
ent, heb gadw dosbarthiad:
12 Felly y Lefiaid, *y rhai oedd*

---

PEN. V. Adn. 1. *Felly y gorphenwyd yr holl waith, &c.*] Gwel ar 1 Bren. vii. 51.

Adn. 2—8. *Yna y cynullodd Solomon henuriaid Israel, &c.*] Gwel ar 1 Bren. viii. 1—8.

Adn. 9. *Ac yno y mae hi hyd y dydd hwn*] Pryd yr ysgrifenwyd yr hanes yma gyntaf, ac nid pryd yr adolygwyd ac yr ail ysgrifenwyd hi gan Ezra; canys nid oedd yr arch na'r trosolion yno ar ol y caethgludiad.

Adn. 10. *Nid oedd yn yr arch ond y ddwy lech*] Gwel ar 1 Bren. viii. 9.

Adn. 11. *Heb gadw y dosbarthiad*] A wnaethai Dafydd gogyfer â phob wythnos, 1 Cron. xxiv. 3, &c. Yr oedd yn awr waith iddynt oll, a llawer gormod i un dosbarth; ac felly ymsanteiddiasant oll yn ewyllysgar i gynorthwyo ar y dydd arbenig hwn.

Adn. 12. *Wedi eu gwisgo â llian main*] Felly yr oedd y *cantorion* yn ymddangos mewn gwenwisg y pryd hyny, fel y maent hyd heddyw yn y prif eglwysi, yn arwydd o burdeb a llawenydd.

gantorion, hwynt-hwy oll o Asaph, o Heman, o Jeduthun, â'u meibion hwynt, ac â'u brodyr, wedi *eu* gwisgo â llian main, â symbalau, ac â nablau, a thelynau, yn sefyll o du dwyrain yr allor, a chyda hwynt chwe ugain o offeiriaid yn udganu mewn udgyrn.)

13 Ac fel *yr oedd* yr udganwyr a'r cantorion, megys un, i seinio un sain i glodfori ac i foliannu yr Arglwydd; ac wrth ddyrchafu sain mewn udgyrn, ac mewn symbalau, ac mewn offer cerdd, ac wrth foliannu yr Arglwydd, gan *ddywedyd,* Canys da *yw;* ac yn dragywydd *y mae* ei drugaredd ef: *yna* y llanwyd y tŷ â chwmwl, *sef* tŷ yr Arglwydd;

14 Fel na allai yr offeiriaid sefyll i wasanaethu gan y cwmwl: o herwydd gogoniant yr Arglwydd a lanwasai dŷ Dduw.

## PENNOD VI.

YNA y llefarodd Solomon, Yr Arglwydd a ddywedodd yr arhosai efe yn y tywyllwch;

2 A minau a adeiledais dŷ yn drigfa i ti, a lle i'th breswylfod yn dragywydd.

3 A'r brenin a drôdd ei wyneb, ac a fendithiodd holl gynulleidfa Israel, (a holl gynulleidfa Israel oedd yn sefyll,)

4 Ac efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddo* Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a lefarodd â'i enau wrth Dafydd fy nhad, ac a gwblhaodd â'i ddwylaw, gan ddywedyd,

5 Er y dydd y dygais i fy mhobl allan o wlad yr Aifft, ni ddetholais ddinas o holl lwythau Israel i adeiladu tŷ, i fod fy enw ynddo; ac ni ddewisais ŵr i fod yn flaenor ar fy mhobl Israel:

6 Ond mi a etholais Jerusalem, i fod fy enw yno; ac a ddewisais Dafydd i fod ar fy mhobl Israel.

7 Ac yr oedd yn mryd Dafydd fy nhad adeiladu tŷ i enw Arglwydd Dduw Israel.

8 Ond dywedodd yr Arglwydd wrth Dafydd fy nhad, O herwydd bod yn dy fryd di adeiladu tŷ i'm henw i, da y gwnaethost fod *hyny* yn dy galon:

9 Er hyny nid adeiledi di y tŷ; ond dy fab di, yr hwn a ddaeth allan o'th lwynau, efe a adeilada y tŷ i'm henw i.

10 Am hyny yr Arglwydd a gwblhaodd ei air a lefarodd efe: canys mi a gyfodais yn lle Dafydd fy nhad, ac a eisteddais ar orseddfa Israel, fel y llefarodd yr Arglwydd, ac a adeiledais dŷ i enw Arglwydd Dduw Israel.

11 Ac yno y gosodais yr arch; yn yr hon *y mae* cyfammod yr Arglwydd, yr hwn a ammododd efe â meibion Israel.

12 ¶ A *Solomon* a safodd o flaen allor yr Arglwydd, yn ngwydd holl gynulleidfa Israel, ac a estynodd ei ddwylaw:

13 (Canys Solomon a wnaetha bulpud pres, ac a'i gosodasai yn nghanol y cyntedd, yn bum cufydd ei hyd, a phum cufydd ei led, a thri chufydd ei uchder; ac a safodd arno, ac a ostyngodd ar ei liniau gerbron holl gynulleidfa Israel, ac a estynodd ei ddwylaw tua'r nefoedd:)

14 Ac efe a ddywedodd, O Arglwydd Dduw Israel, nid *oes* Duw cyffelyb i ti yn y nefoedd, nac ar y ddaear; yn cadw cyfammod a thrugaredd â'th weision, sydd yn rhodio ger dy fron di â'u holl galon:

15 Yr hwn a gedwaist â'th was Dafydd fy nhad, yr hyn a leferaist

---

Adn. 13. *Yr udganwyr a'r cantorion megys un*] Yr oeddynt oll yn ymgadw mor fanwl at yr un amser a chywair, â'u lleisiau ac â'u hofferynau, nes yr oedd yr holl gerddoriaeth i'w chlywed megys *un sain* o glodforedd i'r Arglwydd. *Canys da yw; ac yn dragywydd y mae ei drugaredd ef*—hyn oedd naill ai yr holl *gân*, neu y *cydgor* yn niwedd pob pennill. Tybia rhai iddynt ganu yr oll o Salm cxxxvi., yr hon a ddechreua fel hyn, 'Clodforwch yr Arglwydd, canys da yw;' a phob adnod ynddi yn diweddu fel hyn, 'O herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.' *Yna y llanwyd y tŷ â chwmwl*—yn arwydd o gymeradwyaeth Duw o'u gwaith, ac o'i ddisgyniad ef i breswylio yn ei dŷ.

Adn. 14. *Fel na allai yr offeiriaid sefyll i wasanaethu*] Gwel ar 1 Bren. viii. 11.

PEN. VI. Adn. 1—11. *Yna y llefarodd Solomon*] I gysuro yr offeiriaid yn ngwyneb eu dychryn wrth ganfod y tŷ wedi ei lenwi â

wrtho; fel y lleferaist â'th enau, felly y cwblheaist â'th law, megys *y mae* y dydd hwn.

16 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw Israel, cadw â'th was Dafydd fy nhad, yr hyn a leferaist wrtho, gan ddywedyd, Ni thorir ymaith oddiwrthyt *na byddo* gŵr ger fy mron i yn eistedd ar deyrn-gadair Israel; os dy feibion a wyliant ar eu ffordd, i rodio yn fy nghyfraith i, fel y rhodiaist ti ger fy mron i.

17 Yn awr gan hyny, O Arglwydd Dduw Israel, poed gwir fyddo dy air a leferaist wrth dy was Dafydd.

18 Ai gwir yw, y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear? Wele y nefoedd, a nefoedd y nefoedd, ni allant dy amgyffred; pa faint llai *y dichon* y tŷ hwn a adeiledais i?

19 Edrych gan hyny ar weddi dy was, ac ar ei ddeisyfiad ef, O Arglwydd fy Nuw, i wrando ar y llef ac ar y weddi y mae dy was yn ei gweddio ger dy fron:

20 Fel y byddo dy lygaid yn agored tua'r tŷ yma ddydd a nos, tua'r lle *am* yr hwn y dywedaist, y gosodit dy enw yno; i wrando ar y weddi a weddio dy was di yn y fan hon.

21 Gwrando gan hyny ddeisyfiadau dy was, a'th bobl Israel, y rhai a weddiant yn y lle hwn: gwrando di hefyd o le dy breswylfod, *sef* o'r nefoedd; a phan glywech, maddeu.

22 ¶ Os pecha gŵr yn erbyn ei gymydog, a gofyn ganddo raith, gan ei dyngu ef, a dyfod y llw o flaen dy allor di yn y tŷ hwn:

23 Yna gwrando di o'r nefoedd; gwna hefyd, a barna dy weision; gan dalu i'r drygionus, trwy roddi ei ffordd ef ar ei ben ei hun; a chan gyfiawnhau y cyfiawn, trwy roddi iddo yntau yn ol ei gyfiawnder.

24 A phan darawer dy bobl Israel o flaen y gelyn, am iddynt bechu yn dy erbyn; os dychwelant, a chyfaddef dy enw, a gweddio ac ymbil ger dy fron di yn y tŷ hwn:

25 Yna gwrando di o'r nefoedd, a maddeu bechod dy bobl Israel, a dychwel hwynt i'r tir a roddaist iddynt hwy, ac i'w tadau.

26 ¶ Pan gauer y nefoedd, fel na byddo gwlaw, o herwydd pechu o honynt i'th erbyn; os gweddiant yn y lle hwn, a chyfaddef dy enw, a dychwelyd oddiwrth eu pechod, pan gystuddiech hwynt:

27 Yna gwrando di o'r nefoedd, a maddeu bechod dy weision, a'th bobl Israel, pan ddysgech iddynt dy ffordd dda yr hon y rhodient ynddi; a dyro wlaw ar dy wlad a roddaist i'th bobl yn etifeddiaeth.

28 ¶ Os bydd newyn yn y tir, os bydd haint, deifiad, neu falldod, os bydd locustiaid neu lindys; os gwarchae ei elyn arno ef yn ninasoedd ei wlad; *neu* pa bla bynag, neu glefyd bynag *a fyddo;*

29 Pob gweddi, pob deisyfiad a fyddo gan bob dyn, neu gan holl bobl Israel; pan wypo pawb ei bla ei hun, a'i ddolur, ac estyn ei ddwylaw tua'r tŷ hwn:

30 Yna gwrando di o'r nefoedd, o fangre dy breswylfod, a maddeu, a dyro i bob un yn ol ei holl ffyrdd, yr hwn a adwaenost ei galon ef, (canys tydi yn unig a adwaenost galon meibion dynion,)

31 Fel y'th ofnont, gan rodio yn dy ffyrdd di yr holl ddyddiau y byddont hwy byw ar wyneb y ddaear, yr hon a roddaist i'n tadau ni.

32 ¶ Ac am y dyeithrddyn hefyd, yr hwn ni *byddo* o'th bobl di Israel, ond wedi dyfod o wlad bell, er mwyn dy enw mawr, a'th law gadarn, a'th fraich estynedig; os deuant a gweddio yn y tŷ hwn:

33 Yna gwrando di o'r nefoedd, o fangre dy breswylfod, a gwna yn ol yr hyn oll a lefo y dyeithrddyn arnat; fel yr adwaeno holl bobl y ddaear dy enw di, ac y'th ofnont, fel *y mae* dy bobl Israel, ac y gwypont

---

chwmwl: gwel ar 1 Bren. viii. 12—21.

Adn. 12—40. *A Solomon a safodd o flaen allor yr Arglwydd, &c.*] Yn y pulpud pres a wnaethai efe at gysegru y deml: gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro yn fanwl yn y sylwadau ar 1 Bren. viii. 22—53.

Adn. 41. *Ac yn awr cyfod, O Arglwydd Dduw, i'th orphwysfa*] Gwna y deml hon yn orphwysfa barhaus i ti dy hun; *ti ac arch dy gadernid*—yr hon yw yr arwydd a'r gwystl o'th gadernid, neu o'th allu mawr yn cael ei arferyd o bryd i bryd o blaid dy bobl. *Dillader dy offeiriaid, O Arglwydd Dduw, âg iachawdwriaeth*—gwna hwynt oll yn wir dduwiolion, yn rhai a fyddont yn byw yn dy ffafr, yn gwisgo dy ddelw, ac yn aros dan dy gysgod.

mai ar dy enw di y gelwir y tŷ yma
a adeiledais i.
34 ¶ Os â dy bobl allan i ryfel yn
erbyn eu gelynion ar hyd y ffordd
yr anfonych hwynt, os gweddiant
arnat ti tua'r ddinas yma yr hon a
ddetholaist, a'r tŷ a adeiledais i'th
enw di:
35 Yna gwrando o'r nefoedd ar
eu gweddi hwynt ac ar eu deisyfiad,
a gwna farn iddynt.
36 ¶ Os pechant i'th erbyn, (canys
nid *oes* dyn ni phecha,) a diglloni o
honot i'w herbyn hwynt, a'u rhoddi
o flaen *eu* gelynion, ac iddynt eu
caethgludo yn gaethion i wlad bell
neu agos;
37 *Os* dychwelant at eu calon yn
y wlad y caethgludwyd hwynt iddi,
a dychwelyd ac ymbil â thi yn
ngwlad eu caethiwed, gan ddy-
wedyd, Pechasom, troseddasom, a
gwnaethom yn annuwiol;
38 Os dychwelant atat â'u holl
galon, ac â'u holl enaid, yn ngwlad
eu caethiwed, lle y caethgludasant
hwynt, a gweddio tua'u gwlad a
roddaist i'w tadau, a'r ddinas a
ddetholaist, a'r tŷ a adeiledais i'th
enw di:
39 Yna gwrando di o'r nefoedd,
o fangre dy breswylfod, eu gweddi
hwynt a'u deisyfiadau, a gwna farn
iddynt, a maddeu i'th bobl a bech-
asant i'th erbyn.
40 Yn awr, O fy Nuw, bydded
atolwg, dy lygaid yn agored, a'th
glustiau yn ymwrando â'r weddi *a
wneir tua*'r lle yma.
41 Ac yn awr cyfod, O Arglwydd
Dduw, i'th orphwysfa, ti ac arch dy
gadernid: dillader dy offeiriaid, O
Arglwydd Dduw, â iachawdwriaeth,
a llawenyched dy saint mewn daioni.
42 O Arglwydd Dduw, na thro
ymaith wyneb dy eneiniog: cofia
drugareddau Dafydd dy was.

## PENNOD VII.

AC wedi gorphen o Solomon
weddio, tân a ddisgynodd o'r
nefoedd, ac a ysodd y poeth-offrwm
a'r ebyrth; a gogoniant yr Ar-
glwydd a lanwodd y tŷ.
2 Ac ni allai yr offeiriaid fyned i
mewn i dŷ yr Arglwydd, o herwydd
gogoniant yr Arglwydd a lanwasai
dŷ yr Arglwydd.
3 A phan welodd holl feibion Is-
rael y tân yn disgyn, a gogoniant
yr Arglwydd ar y tŷ, hwy a ym-
grymasant â'u hwynebau i lawr ar
y palmant, ac a addolasant, ac a
glodforasant yr Arglwydd, canys
daionus *yw efe;* o herwydd *bod* ei
drugaredd ef yn dragywydd.
4 ¶ Yna y brenin a'r holl bobl a
aberthasant ebyrth gerbron yr Ar-
glwydd.
5 A'r brenin Solomon a aberth-
odd aberth o ddwy fil ar hugain o

---

*A llawenyched dy saint mewn daioni*—boed i'r holl addolwyr yn y tŷ hwn gael achos i lawenychu a diolch am bob math o ddaioni tymhorol ac ysbrydol, yr hwn a gyfraner iddynt yn helaeth. Ond y mae *Jarchi* yn deall yr adran ddiweddaf fel gweddi am i'r *Lefiaid* gael achos i lawenychu yn helaethrwydd y degymau a rhoddion da ereill, y rhai a roddid iddynt am gadw yr arch, a chanu o'i blaen hi.

Adn. 42. *O Arglwydd Dduw, na thro ymaith wyneb dy eneiniog*] Sef gwyneb Solomon, yr hwn a eneiniwyd yn frenin ar Israel; *cofia drugareddau Dafydd dy was*—y rhai a addewaist iddo ef a'i dŷ byth. Fel hyn y gorphenai Solomon ei weddi mewn geiriau a fenthycasai efe o un o salmau ei dad, y rhai ni chrybwyllwyd yn 1 Bren. viii: gwel ar Salm cxxxii. 8—10.

PEN. VII. Adn. 1. *Ac wedi gorphen o Solomon weddio*] Fel yr adroddwyd yn y bennod flaenorol; *tân a ddisgynodd o'r nefoedd*—o'r lle y disgynasai y cwmwl o'r blaen; *ac a ysodd y poeth-offrwm a'r ebyrth*—y rhai a osodesid ar yr allor cyn i Solomon ddechreu gweddio, yr hyn oedd yn arwydd fod Duw yn eu cymeradwyo; (gwel ar Lef. ix. 24;) *a gogoniant yr Arglwydd a lanwodd y tŷ*—yr hyn a'i prydferthodd ef yn llawer mwy na'r holl aur a'r meini gwerthfawr â'r rhai ei haddurnwyd ef.

Adn. 2. *Ac ni allai yr offeiriaid fyned i mewn*] Gan eu dychryn o herwydd y fath olygfa, neu am na allai eu llygaid oddef tanbeidrwydd y fath oleuni dysglaer a gogoneddus.

Adn. 3. *Hwy a ymgrymasant â'u hwynebau i lawr ar y palmant*] I ddangos eu harswyd o'r Dwyfol Fawrhydi, eu hymostyngiad i'w awdurdod goruchel, a'u teimlad o'u hollol annheilyngdod i fyned i'w wyddfod; *ac a addolasant*—trwy ymgrymu gerbron yr Arglwydd, a'i glodfori ef; *canys daionus yw efe, o herwydd bod ei drugaredd ef yn dragywydd*—felly yr oeddynt yn ei glodfori ef yn yr un geiriau ag a ddefnyddiasai yr offeiriaid a'r Lefiaid ychydig cyn hyny: gwel ar pen. v. 12, 13.

ychain, a chwech ugain mil o ddef-
aid: felly y brenin a'r holl bobl a
gysegrasant dŷ Dduw.
6 A'r offeiriaid oedd yn sefyll yn
eu goruchwyliaeth: a'r Lefiaid âg
offer cerdd yr Arglwydd, y rhai a
wnaethai Dafydd y brenin i gyffesu
yr Arglwydd, o herwydd yn dra-
gywydd *y mae* ei drugaredd ef, pan
oedd Dafydd yn moliannu Duw
trwyddynt hwy: a'r Lefiaid oedd
yn udganu ar eu cyfer hwynt, a
holl Israel oedd yn sefyll.
7 A Solomon a gysegrodd ganol
y cyntedd yr hwn *oedd* o flaen tŷ yr
Arglwydd: canys yno yr offrymodd
efe boeth-offrymau, a brasder yr
aberthau hedd; canys ni allai yr
allor bres a wnaethai Solomon dder-
byn y poeth-offrwm, a'r bwyd-off-
rwm, a'r brasder.
8 ¶ A Solomon a gadwodd ŵyl y
pryd hwnw saith niwrnod, a holl
Israel gydag ef, cynulleidfa fawr
iawn, o ddyfodfa Hamoth hyd afon
yr Aifft.
9 Gwnaethant hefyd yr wythfed
dydd gymanfa: canys cysegriad yr
allor a gadwasant hwy saith niwr-
nod, a'r ŵyl saith niwrnod.
10 Ac yn y trydydd dydd ar hug-
ain o'r seithfed mis y gollyngodd
efe y bobl i'w pabellau, yn hyfryd
ac yn llawen *eu* calon, am y daioni a
wnaethai yr Arglwydd i Dafydd, ac
i Solomon, ac i Israel ei bobl.
11 Fel hyn y gorphenodd Solo-
mon dŷ yr Arglwydd, a thŷ y bren-
in: a'r hyn oll oedd yn mryd Solo-
mon ei wneuthur yn nhŷ yr Ar-
glwydd, ac yn ei dŷ ei hun, a wnaeth
efe yn llwyddiannus.
12 ¶ A'r Arglwydd a ymddang-
osodd i Solomon liw nos, ac a ddy-
wedodd wrtho, Gwrandewais dy
weddi, a mi a ddewisais y fan hon i
mi yn dŷ aberth.
13 Os cauaf fi y nefoedd, fel na
byddo gwlaw, neu os gorchymynaf
i'r locustiaid ddifa y ddaear, ac os
anfonaf haint yn mysg fy mhobl;
14 Os fy mhobl, y rhai y gelwir
fy enw arnynt, a ymostyngant, ac a
weddiant, ac a geisiant fy wyneb, ac
a droant o'u ffyrdd drygionus: yna
y gwrandawaf o'r nefoedd, ac y
maddeuaf iddynt eu pechodau, ac
yr iachâf eu gwlad hwynt.
15 Yn awr fy llygaid a fyddant
yn agored, a'm clustiau yn ymwr-
ando â'r weddi *a wneir yn* y fan hon.
16 Ac yn awr mi a ddetholais ac
a santeiddiais y tŷ hwn, i fod fy enw
yno hyd byth: fy llygaid hefyd a'm
calon a fyddant yno yn wastadol.
17 A thithau, os rhodi ger fy
mron i, fel y rhodiodd Dafydd dy
dad, a gwneuthur yr hyn oll a or-
chymynais i ti, a chadw fy neddfau
a'm barnedigaethau:
18 Yna y sicrhaf deyrn-gadair dy
frenhiniaeth di, megys yr ammodais
â Dafydd dy dad, gan ddywedyd,
Ni thorir ymaith oddiwrthyt *na
byddo* gŵr yn arglwyddiaethu yn
Israel.
19 Ond os dychwelwch, ac *os*
gwrthodwch fy neddfau a'm gorchy-
mynion a roddais ger eich bron, ac
os ewch a gwasanaethu duwiau dy-
eithr, ac ymgrymu iddynt hwy:
20 Yna mi a'u diwreiddiaf hwynt
o'm gwlad a roddais iddynt, a'r tŷ
a santeiddiais i'm henw a fwriaf
allan o'm golwg, a mi a'i rhoddaf ef
yn ddiareb, ac yn wawd yn mysg
yr holl bobloedd.
21 A'r tŷ yma, yr hwn sydd uchel,
a wna i bawb a'r a êl heibio iddo
synu; fel y dywedo, Paham y
gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r
wlad hon, ac i'r tŷ hwn?
22 Yna y dywedant, Am iddynt
wrthod Arglwydd Dduw eu tadau,
yr hwn a'u dyg hwynt allan o wlad
yr Aifft, ac *am* iddynt ymaflyd mewn

---

Adn. 4, 5. *Yna y brenin a'r holl bobl a aberthasant*] Gwel ar 1 Bren. viii. 62, 63.

Adn. 6. *A'r offeiriaid oedd yn sefyll yn eu goruchwyliaeth*] O ddydd cysegriad y deml yn mlaen, fel y penodasai Dafydd, 1 Cron. xxiv. 3, &c.; *a'r Lefiaid âg offer cerdd*—fel y trefnasai Dafydd iddynt foliannu Duw; *a holl Israel oedd yn sefyll*—gan gydganu ond odid â'r offeiriaid a'r Lefiaid â'u lleisiau nauriol eu hunain.



Adn. 7—10. *A Solomon a gysegrodd ganol y cyntedd, &c.*] Gwel ar 1 Bren. viii. 64—66.

Adn. 11. *Fel hyn y gorphenodd Solomon dŷ yr Arglwydd, &c.*] Gwel ar 1 Bren. ix. 1.

Adn. 12—22. *A'r Arglwydd a ymddangosodd i Solomon liw nos, &c.*] Gwel ar 1 Bren. ix. 2—9. Ond yma, yn adn. 13—15, cawn atebiad i rai o ddeisyfiadau Solomon yn ei weddi, (pen. vi. 26—30,) yr hyn ni chrybwyllwyd yn 1 Bren. ix. 2—9.

duwiau dyeithr, ac ymgrymu idd-
ynt, a'u gwasanaethu hwynt: am
hyny y dyg efe yr holl ddrwg yma
arnynt hwy.

## PENNOD VIII.

AC yn mhen yr ugain mlynedd,
*yn y* rhai yr adeiladodd Solomon
dŷ yr Arglwydd, a'i dŷ ei hun,
2 Solomon a adeiladodd y dinas-
oedd a roddasai Hiram i Solomon,
ac a wnaeth i feibion Israel drigo
yno.
3 A Solomon a aeth i Hamath-
sobah, ac a'i gorchfygodd hi.
4 Ac efe a adeiladodd Tadmor yn
yr anialwch, a holl ddinasoedd y
trysorau, y rhai a adeiladodd efe yn
Hamath.
5 Efe hefyd a adeiladodd Beth-
horon uchaf, a Beth-horon isaf,
dinasoedd wedi eu cadarnhau â mur-
iau, pyrth, a barau;
6 Bahalath hefyd, a holl ddinas-
oedd y trysorau oedd gan Solomon,
a holl ddinasoedd y cerbydau, a di-
nasoedd y marchogion, a'r hyn oll
oedd ewyllys gan Solomon ei adeil-
adu yn Jerusalem, ac yn Libanus,
ac yn holl dir ei arglwyddiaeth ef.
7 ¶ Yr holl bobl y rhai a adawyd
o'r Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r Phe-
reziaid, a'r Hefiaid, a'r Jebusiaid, y
rhai nid *oeddynt* o Israel;
8 *Ond* o'u meibion hwynt, y rhai
a drigasant ar eu hol hwynt yn y
wlad, y rhai ni ddyfethasai meib-
ion Israel, Solomon a'u gwnaeth
hwynt yn drethol hyd y dydd hwn.
9 Ond o feibion Israel ni roddodd
Solomon *neb* yn weision yn ei waith:
canys hwynt-hwy *oeddynt* ryfelwyr,
a thywysogion ei gapteniaid ef, a
thywysogion ei gerbydau a'i wŷr
meirch ef.
10 A dyma y rhai penaf o swydd-
ogion y brenin Solomon, *sef* dau
cant a deg a deugain, yn arglwydd-
iaethu ar y bobl.
11 ¶ A Solomon a ddyg ferch
Pharaoh i fyny o ddinas Dafydd i'r
tŷ a adeiladasai efe iddi hi: canys
efe a ddywedodd, Ni thrig fy
ngwraig i yn nhŷ Dafydd brenin
Israel, o herwydd santaidd yw,
oblegid i arch yr Arglwydd ddyfod
i mewn iddo.
12 ¶ Yna Solomon a offrymodd
boeth-offrymau i'r Arglwydd ar
allor yr Arglwydd, yr hon a adeil-
adasai efe o flaen y porth;
13 I boeth-offrymu dogn dydd
yn ei ddydd, yn ol gorchymyn Mo-
ses, ar y sabbothau, ac ar y newydd-
loerau, ac ar y gŵyliau arbenig,
dair gwaith yn y flwyddyn; *sef* ar
ŵyl y bara croew, ac ar ŵyl yr
wythnosau, ac ar ŵyl y pebyll.
14 ¶ Ac efe a osododd, yn ol trefn
Dafydd ei dad, ddosbarthiadau yr
offeiriaid yn eu gwasanaeth, a'r
Lefiaid yn eu goruchwyliaeth, i
foliannu ac i weini gerbron yr off-
eiriaid, fel yr oedd ddyledus bob
dydd yn ei ddydd, a'r porthorion
yn eu dosbarthiadau, wrth bob
porth: canys felly yr *oedd* gorchy-
myn Dafydd gŵr Duw.
15 Ac ni throisant hwy oddiwrth
orchymyn y brenin i'r offeiriaid a'r
Lefiaid, am un peth, nac am y
trysorau.
16 A holl waith Solomon oedd

---

PEN. VIII. Adn. 1. *Ac yn mhen yr ugain mlynedd*] Gwel ar 1 Bren. ix. 10.

Adn. 2. *Solomon a adeiladodd y dinasoedd*] A'u hail adeiladodd hwynt, ac a osododd ei ddeiliaid ei hun i drigo ynddynt: gwel ar 1 Bren. ix. 11, &c.

Adn. 3. *A Solomon a aeth i Hamath-sobah*] Lle yn Syria, yr hwn a ddarostyngwyd gan Dafydd, 2 Sam. viii. 3; *ac a'i gorchfygodd hi*—canys ymddengys iddynt wrthryfela eilwaith ar ol marwolaeth Dafydd.

Adn. 4—10. *Ac efe a adeiladodd Tadmor*] Sef *Palmyra* glodfawr: gwel ar 1 Bren. ix. 17—23.

Adn. 11. *A Solomon a ddyg ferch Pharao*] 'Enw yr hon oedd Bithiah.'—TARGUM. *I'r tŷ a adeiladasai efe iddi*—am fod tŷ Dafydd, yn yr hwn y buasai arch yr Arglwydd, yn rhy santaidd iddi hi gael aros ynddo fel un o'r cenhedloedd paganaidd.

Adn. 12. *Yna Solomon a offrymodd boeth-offrymau i'r Arglwydd*] Yn gyson ac yn gydwybodol, o'r pryd y cysegrwyd y deml hyd oni heneiddiodd efe, 1 Bren. xi. 4.

Adn. 13 *I boeth-offrymu dogn dydd yn ei ddydd*] Sef y ddau oen yn aberth boreol a hwyrol bob dydd; *ac ar y gŵyliau arbenig*—gwel ar Exod. xxiii. 14—16.

Adn. 14. *Ac efe a osododd yn ol trefn Dafydd*] Fel y gwelsom iddo ef drefnu yr offeiriaid, y Lefiaid, a'r porthorion, yn 1 Cron. xxiv—xxvii.

Adn. 15. *Ac ni throisant hwy oddiwrth orchymyn y brenin*] Canys gwyddai Solomon,

wedi ei barotoi hyd y dydd y seil-
iwyd tŷ yr Arglwydd, a hyd oni or-
phenwyd ef. *Felly* y gorphenwyd
tŷ yr Arglwydd.
17 ¶ Yna yr aeth Solomon i Es-
ion-gaber, ac i Eloth, ar fin y môr,
yn ngwlad Edom.
18 A Hiram a anfonodd gyda'i
weision longau, a gweision cyfar-
wydd ar y môr; a hwy a aethant
gyda gwision Solomon i Ophir, ac a
gymerasant oddiyno bedwar cant a
deg a deugain talent y aur, ac a'*u*
dygasant i'r brenin Solomon.

## PENNOD IX.

A PHAN glybu brenhines Seba
glod Solomon, hi a ddaeth i Je-
rusalem, i brofi Solomon â chwest-
iynau caled, â llu mawr iawn, ac â
chamelod yn dwyn aroglau, ac aur
lawer, a meini gwerthfawr: a hi a
ddaeth at Solomon, ac a ddywedodd
wrtho ef yr hyn oll oedd yn ei
chalon.
2 A Solomon a fynegodd iddi hi
ei holl ofynion: ac nid oedd dim
yn guddiedig rhag Solomon a'r na
fynegodd efe iddi hi.
3 A phan welodd brenhines Seba
ddoethineb Solomon, a'r tŷ a adeil-
adasai efe,
4 A bwyd ei fwrdd, ac eisteddiad
ei weision, a threfn ei weinidogion,
a'u dillad, a'i drulliadau ef, a'u
gwisgoedd, a'i esgynfa ar hyd yr
hon yr âi efe i fyny i dŷ yr Ar-
glwydd; nid oedd mwyach ysbryd
ynddi.
5 A hi a ddywedodd wrth y bren-
in, Gwir *yw* y gair a glywais yn fy
ngwlad, am dy weithredoedd di, ac
am dy ddoethineb:
6 Eto ni choeliais i'w geiriau
hwynt, nes i mi ddyfod, ac i'm
llygaid weled. Ac wele, ni fyneg-
asid i mi hanner helaethrwydd dy
ddoethineb: ychwanegaist at y glod
a glywais i.
7 Gwŷn fyd dy wŷr di, a gwyn-
fydedig *yw* dy weision hyn, y rhai
sydd yn sefyll yn wastadol ger dy
fron, ac yn clywed dy ddoethineb.
8 Bendigedig fyddo yr Arglwydd
dy Dduw, yr hwn a'th hoffodd di,
i'th osod ar ei orseddfa ef, yn frenin
dros yr Arglwydd dy Dduw: o her-
wydd cariad dy Dduw tuag at Is-
rael, i'w sicrhau yn dragywydd;
am hyny y gwnaeth efe dydi yn
frenin arnynt hwy, i wneuthur barn
a chyfiawnder.
9 A hi a roddodd i'r brenin
chwech ugain talent o aur, a pher-
aroglau lawer iawn, a meini gwerth-
fawr: ac ni bu y fath beraroglau
a'r rhai hyn a roddodd brenhines
Seba i'r brenin Solomon.
10 Gweision Hiram hefyd, a
gweision Solomon, y rhai a ddyg-
asant aur o Ophir, a ddygasant
goed algummim, a meini gwerth-
fawr.
11 A'r brenin a wnaeth o'r coed
algummim risiau i dŷ yr Arglwydd,
ac i dŷ y brenin, a thelynau a nabl-
au i'r cantorion: ac ni welsid eu
bath o'r blaen yn ngwlad Judah.
12 A'r brenin Solomon a roddodd
i frenhines Seba ei holl ddymuniad,
a'r hyn a ofynodd hi, heblaw yr hyn
a ddygasai hi i'r brenin. Felly hi
a ddychwelodd, ac a aeth i'w gwlad,
hi a'i gweision.
13 ¶ A phwys yr aur a ddeuai i
Solomon bob blwyddyn, oedd chwe
chant a thriugain a chwech o dal-
entau aur;
14 Heblaw *yr hyn* yr oedd y

---

a phawb o'r offeiriaid a'r Lefiaid, fod Dafydd wedi cael ei gyfarwyddo gan Ysbryd Duw i drefnu y dosbarthiadau a'u gwaith.

Adn. 16. *A holl waith Solomon oedd wedi ei barotoi*] Nid yn unig yr oedd y defnyddiau wedi eu parotoi, a'r arian i fesur helaeth wedi eu casglu, ond yr oedd portreiad o'r deml a'i pherthynasau wedi ei roddi i Solomon yn mlaenllaw, fel nad oedd dim rhwystr mwyach iddo ef ddechreu y tŷ a'i orphen, a chario yn mlaen yr addoliad dwyfol ynddo.

Adn. 17, 18. *Yna yr aeth Solomon i Esion-gaber*] Gwel ar 1 Bren. ix. 26—28, a x. 22.

PEN. IX. Adn. 1—11. *A phan glybu brenhines Seba glod Solomon, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro ar 1 Bren. x. 1—13.

Adn. 12. *Heblaw yr hyn a ddygasai hi i'r brenin*] Hyny yw, heblaw *cydwerth* yr hyn a roddasai hi iddo ef; canys nid yw yn debyg iddo ef ddychwelyd iddi yr anrhegion a gawsai efe ganddi. Y mae y *Syriaeg* yn ei ddarllen, 'Heblaw yr hyn a roddodd efe iddi o'i frenhinol haelioni;' ac felly ei darllenir yn 1 Bren. x 13.

Adn. 13—24. *A phwys yr aur a ddeuai i*

marchnadwyr a'r marsiandwyr yn
*eu* dwyn: a holl frenhinoedd Arab-
ia, a thywysogion y wlad, oedd yn
dwyn aur ac arian i Solomon.
15 ¶ A'r brenin Solomon a wnaeth
ddau can tarian o aur dilin: chwe
chan *sicl* o aur dilin a roddodd efe
yn mhob tarian.
16 A thri chant o fwcledi o aur
dilin: tri chan *sicl* o aur a roddodd
efe yn mhob bwcled. A'r brenin
a'u gosododd hwynt yn nhŷ coed
Libanus.
17 ¶ A'r brenin a wnaeth or-
seddfa fawr o ifori, ac a'i gwisgodd
âg aur pur.
18 A chwech o risiau *oedd* i'r or-
seddfa, a throedle o aur, yn nglŷn
wrth yr orseddfa, a chanllawiau o
bob tu i'r eisteddle, a dau lew yn
sefyll wrth y canllawiau;
19 A deuddeg o lewod yn sefyll yno
ar y chwe gris o bob tu. Ni wnaeth-
pwyd y fath mewn un deyrnas.
20 ¶ A holl lestri diod y brenin
Solomon *oedd* o aur, a holl lestri tŷ
coed Libanus *oedd* aur pur: nid
oedd yr un o arian; nid oedd dim
bri arno yn nyddiau Solomon.
21 Canys llongau y brenin oedd
yn myned i Tarsis gyda gweision
Hiram: unwaith yn y tair blynedd
y deuai llongau Tarsis yn dwyn
aur, ac arian, ac ifori, ac epaod, a
pheunod.
22 A'r brenin Solomon a ragor-
odd ar holl frenhinoedd y ddaear
mewn cyfoeth a doethineb.
23 ¶ A holl frenhinoedd y ddaear
oedd yn ceisio *gweled* wyneb Solo-
mon, i wrando ei ddoethineb a
roddasai Duw yn ei galon ef.
24 A hwy a ddygasant bob un ei
anrheg, llestri arian, a llestri aur,
a gwisgoedd, arfau, a pherarogl-
au, meirch a mulod, dogn bob
blwyddyn.
25 ¶ Ac yr oedd gan Solomon
bedair mil o bresebau meirch a
cherbydau, a deuddeng mil o wŷr
meirch; ac efe a'u cyfleodd hwynt
yn ninasoedd y cerbydau, a chyda'r
brenin yn Jerusalem.
26 ¶ Ac yr oedd efe yn arglwydd-
iaethu ar yr holl frenhinoedd, o'r
afon hyd wlad y Philistiaid, a hyd
derfyn yr Aifft.
27 A'r brenin a wnaeth yr arian
yn Jerusalem fel cerig, a'r cedr-
wydd a wnaeth efe fel y sycamor-
wydd yn y doldir, o amldra.
28 Ac yr oeddynt hwy yn dwyn
meirch i Solomon o'r Aifft, ac o bob
gwlad.
29 ¶ A'r rhan arall o weithred-
oedd Solomon, cyntaf a diweddaf,
onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn
ngeiriau Nathan y proffwyd, ac yn
mhroffwydoliaeth Ahiah y Silon-
iad, ac yn ngweledigaethau Ido y
gweledydd yn erbyn Jeroboam mab
Nebat?
30 A Solomon a deyrnasodd yn
Jerusalem ar holl Israel ddeugain
mlynedd.
31 A Solomon a hunodd gyda'i
dadau, a chladdwyd ef yn ninas Da-
fydd ei dad; a Rehoboam ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD X.

A REHOBOAM a aeth i Sichem;
canys i Sichem y daethai holl
Israel i'w urddo ef yn frenin.
2 A phan glybu Jeroboam mab
Nebat, (ac yntau yn yr Aifft, lle y
ffoisai efe o wydd Solomon y bren-
in,) Jeroboam a ddychwelodd o'r
Aifft.
3 Canys hwy a anfonasant, ac a
alwasant am dano ef. A Jeroboam
a holl Israel a ddaethant, ac a ym-
ddyddanasant â Rehoboam, gan
ddywedyd,
4 Dy dad a wnaeth ein hiau ni
yn drom; yn awr gan hyny ysgafn-
ha *beth* o gaethiwed caled dy dad,
ac o'i iau drom ef yr hon a roddodd
efe arnom ni, a ni a'th wasanaeth-
wn di.

---

*Solomon, &c.*] Gwel ar 1 Bren. x. 14—25.

Adn. 25. *Ac yr oedd gan Solomon bedair mil o bresebau meirch*] Y mae y *Targum* yn darllen *pedwar cant:* gwel ar 1 Bren. iv. 26, a x. 26.

Adn. 26. *Ac yr oedd efe yn arglwyddiaethu ar yr holl frenhinoedd*] Gwel ar 1 Bren. iv, 21.

Adn. 27, 28. *A'r brenin a wnaeth yr arian yn Jerusalem fel cerig, &c.*] Gwel ar 1 Bren x. 27, 28.

Adn. 29. *Cynta a diweddaf*] Y rhai a wnaeth efe yn more ei oes, ac yn ei henaint; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn ngeiriau Nathan—Ahiah—Ido?*—er fod y llyfrau hyn yn awr wedi eu colli, eto yr oeddynt ar gael

5 Ac efe a ddywedodd wrthynt,
Yn mhen y tridiau dychwelwch
ataf fi. A'r bobl a aethant ymaith.
6 ¶ A'r brenin Rehoboam a ym-
gynghorodd â'r henuriaid a fuasai
yn sefyll o flaen Solomon ei dad ef
pan ydoedd efe yn fyw, gan ddywed-
yd, Pa fodd yr ydych chwi yn
cynghori ateb y bobl hyn?
7 A hwy a lefarasant wrtho, gan
ddywedyd, Os byddi yn dda i'r
bobl yma, a'u boddloni hwynt, ac *os*
dywedi wrthynt eiriau têg, hwy a
fyddant yn weision i ti byth.
8 Ond efe a wrthododd gynghor
yr henuriaid a gynghorasent hwy
iddo; ac efe a ymgynghorodd â'r
gwŷr ieuainc a gynyddasent gydag
ef, a'r rhai oedd yn sefyll ger ei
fron ef.
9 Ac efe a ddywedodd wrthynt
hwy, Beth yr ydych chwi yn ei
gynghori, fel yr atebom y bobl hyn,
y rhai a lefarasant wrthyf, gan ddy-
wedyd, Ysgafnha *beth ar* yr iau a
osododd dy dad arnom ni?
10 A'r gwŷr ieuainc y rhai a
gynyddasent gydag ef a lefarasant
wrtho, gan ddywedyd, Fel hyn y
dywedi wrth y bobl a lefarasant
wrthyt, gan ddywedyd, Dy dad a
wnaeth ein hiau ni yn drom, ys-
gafnha dithau *hi* oddiarnom ni: fel
hyn y dywedi wrthynt; Fy *mys*
bach *fydd* ffyrfach na llwynau fy
nhad.
11 Ac yn awr fy nhad a'ch llwyth-
odd chwi â iau drom, minau hefyd
a chwanegaf ar eich iau chwi: fy
nhad a'ch ceryddodd chwi â ffrew-
yllau, a minau *a'ch cerydda*f âg ys-
gorpionau.
12 Yna y daeth Jeroboam, a'r holl
bobl, at Rehoboam y trydydd dydd,
fel y llefarasai y brenin, gan ddy-
wedyd, Dychwelwch ataf fi y tryd-
ydd dydd.
13 A'r brenin a'u hatebodd hwynt
yn awr: a'r brenin Rehoboam a
wrthododd gynghor yr henuriaid.
14 Ac efe a lefarodd wrthynt yn
ol cynghor y gwŷr ieuainc, gan
ddywedyd, Fy nhad a wnaeth eich
iau chwi yn drom, a minau a chwan-
egaf arni hi: fy nhad a'ch cerydd-
odd chwi â ffrewyllau, a minau
*a'ch cerydda*f *chwi* âg ysgorpionau.
15 Ac ni wrandawodd y brenin
ar y bobl; o herwydd yr achos oedd
oddiwrth Dduw, fel y cwblhâi yr
Arglwydd ei air a lefarasai efe trwy
law Ahiah y Siloniad wrth Jero-
boam mab Nebat.
16 ¶ A phan *welodd* holl Israel
na wrandawai y brenin arnynt hwy,
y bobl a atebasant y brenin, gan
ddywedyd, Pa ran *sydd* i ni yn Da-
fydd? nid *oes* chwaith *i ni* etifedd-
iaeth yn mab Jesse: O Israel, *aed*
pawb i'w pebyll; edrych yn awr *ar*
dy dŷ dy hun, Dafydd. Felly holl
Israel a aethant i'w pebyll.
17 Ond meibion Israel, y rhai
oedd yn preswylio yn ninasoedd
Judah, Rehoboam a deyrnasodd
arnynt hwy.
18 A'r brenin Rehoboam a anfon-
odd Hadoram, yr hwn *oedd* ar y
dreth, a meibion Israel a'i llabydd-
iasant ef â meini, fel y bu efe farw:
ond y brenin Rehoboam a brysur-
odd i fyned i'*w* gerbyd, i ffoi i Jeru-
salem.
19 Ac Israel a wrthryfelasant yn
erbyn tŷ Dafydd hyd y dydd hwn.

## PENNOD XI.

A PHAN ddaeth Rehoboam i Je-
rusalem, efe a gasglodd o holl dŷ
Judah, ac o Benjamin, gant a phed-
war ugain mil *o wŷr* dewisol, cy-
mhwys i ryfel, i ymladd âg Israel,
*ac* i ddwyn drachefn y frenhiniaeth
i Rehoboam.
2 Ond gair yr Arglwydd a ddaeth
at Semaiah gŵr Duw, gan ddy-
wedyd,
3 Dywed wrth Rehoboam mab
Solomon brenin Judah, ac wrth

yn amser Ezra, o'r rhai y cymerodd efe gy-
maint o hanes Solomon ag a farnai dwyfol
ysbrydoliaeth yn angenrheidiol. Ni sonir dim
yma am wrthgiliad Solomon, trwy fod hyny
wedi ei draethu yn ddigonol yn 1 Bren. xi.

Adn. 30, 31. *A'r dyddiau y teyrnasodd Solomon, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xi. 42, 43.

PEN. X. Adn. 1—19. *A Rehoboam a aeth i Sichem, &c.*] Gwel yr holl bennod hon wedi ei hegluro yn fanwl yn y sylwadau ar 1 Bren. xii. 1—19.

PEN. XI. Adn. 1—4. *A phan ddaeth Rehoboam i Jerusalem, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xii. 21—24.

holl Israel yn Judah a Benjamin,
gan ddywedyd,
4 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Nac ewch i fyny, ac nac ymleddwch
yn erbyn eich brodyr; dychwelwch
bob un i'w dŷ ei hun:
canys trwyof fi y gwnaethpwyd y
peth hyn. A hwy a wrandawsant
ar eiriau yr Arglwydd, ac a ddychwelasant,
heb fyned yn erbyn Jeroboam.
5 ¶ A Rehoboam a drigodd yn
Jerusalem, ac a adeiladodd ddinasoedd
cedyrn yn Judah.
6 Ac efe a adeiladodd Bethlehem,
ac Etam, a Thecoa,
7 A Bethsur, a Socho, ac Adulam,
8 A Gath, a Maresah, a Ziph,
9 Ac Adoraim, a Lachis, ac
Azecah,
10 A Sorah, ac Ajalon, a Hebron,
y rhai *oedd* yn Judah, ac yn Benjamin;
dinasoedd o gadernid.
11 Ac efe a gadarnhaodd yr amddiffynfaoedd,
ac a osododd flaenoriaid
ynddynt hwy, a chellau bwyd,
ac olew, a gwin.
12 Ac yn mhob dinas y *gosododd
efe* darianau, a gwaewffyn, ac a'u
cadarnhaodd hwynt yn gadarn iawn,
ac eiddo ef oedd Judah a Benjamin.
13 ¶ A'r offeiriaid a'r Lefiaid, y
rhai *oedd* yn holl Israel, a gyrchasant
ato ef o'u holl derfynau.
14 Canys y Lefiaid a adawsant eu
maesydd pentrefol, a'u meddiant,
ac a ddaethant i Judah, ac i Jerusalem:
canys Jeroboam a'i feibion
a'u bwriasai hwynt ymaith o fod yn
offeiriaid i'r Arglwydd.
15 Ac efe a osododd iddo offeiriaid
i'r uchelfeydd, ac i'r cythreuliaid,
ac i'r lloi, a wnaethai efe.
16 Ac ar eu hol hwynt, o holl
lwythau Israel, y rhai oedd yn
rhoddi eu calon i geisio Arglwydd
Dduw Israel, a ddaethant i Jerusalem,
i aberthu i Arglwydd Dduw
eu tadau.
17 Felly hwy a gadarnhasant
frenhiniaeth Judah, ac a gryfhasant
Rehoboam mab Solomon, dros
dair blynedd: canys hwy a rodiasant
yn ffordd Dafydd a Solomon
dair blynedd.
18 ¶ A Rehoboam a gymerth Mahalath,
merch Jerimoth mab Dafydd,
yn wraig iddo, *ac* Abihail
merch Eliab mab Jesse:

---

Adn. 5—12. *A Rehoboam a drigodd yn Jerusalem*] Lle yr oedd eisteddle holl frenhinoedd Juda; *ac a adeiladodd ddinasoedd cedyrn yn Juda*—hyny yw, efe a'u hadgyweiriodd, a'u helaethodd, ac a'u cadarnhaodd hwynt; canys yr oedd y rhan fwyaf o honynt wedi cael eu hadeiladu o'r blaen, fel y gwelwn yn llyfr Josua, pen. x—xix. Yr oedd yn angenrheidiol iddo gadarnhau a diwallu ei ddinasoedd rhag ymosodiadau gwŷr Israel; ac ni a gawn yn 1 Bren. xii. 25, ddarfod i Jeroboam wneyd yr un peth.

Adn. 13. *Y rhai oedd yn holl Israel*] Yn mhlith y deg llwyth ag oeddynt dan lywodraeth Jeroboam.

Adn. 14. *Canys y Lefiaid a adawsant eu maesydd pentrefol a'u meddiant*] Lle y gallasent fyw yn fras ar eu hetifeddiaeth eu hunain, Jos. xxi. 2, &c.; *ac a ddaethant i Juda ac i Jerusalem*—gan fwrw eu hunain ar ragluniaeth Duw ac elusenau eu brodyr, er mwyn bod yn agos at wasanaeth y cysegr, lle y gallent gael mwynhau ordinhadau crefydd. Barnent fod tylodi, yn ffordd dyledswydd, yn fwy dewisol na chyfoeth yn ffordd pechod. *Canys Jeroboam a'i feibion a'u bwriasai hwynt ymaith o fod yn offeiriaid i'r Arglwydd*—ni chaent fyned i Jerusalem i weini yno yn eu cylchoedd, nac addysgu y bobl mewn pethau crefyddol ar hyd eu gwlad eu hunain chwaith; ac nid ymostyngent hwythau i addoli y lloi aur, eithr llefarent yn erbyn yr eilunaddoliaeth hwnw; ac am hyny ni chaent offeiriadu.

Adn. 15. *Ac efe a osododd iddo offeiriaid i'r uchelfeydd*] O'r rhai *gwaelaf* o'r bobl, y rhai nid oeddynt o lwyth Lefi, 1 Bren. xii. 31; *ac i'r cythreuliaid*—y rhai y goddefai efe i rai o'i bobl eu haddoli yno, yn hytrach na myned i Jerusalem i addoli Duw. Ond gan fod y gair *seirim*, a gyfieithir yma 'cythreuliaid,' yn arwyddo hefyd 'y *blewogion*,' tybia rhai mai *geifr* a feddylir, y rhai a addolid yn yr Aifft; a thybia ereill fod Baal ac eilundduwiau ereill yn cael eu galw yma yn *gythreuliaid*, mewn ffordd o ddirmyg arnynt: gwel ar Lef. xvii. 7. *Ac i'r lloi*—yn Dan a Bethel: gwel ar 1 Bren. xii. 29—33.

Adn. 16. *Ac ar eu hol hwynt*] Darfu i'r holl Israeliaid duwiol, o bob llwyth, ddylyn siampl yr offeiriaid a'r Lefiaid, a myned i gartrefu yn neu ger Jerusalem, er mwyn allor ac addoliad y gwir Dduw.

Adn. 17. *Felly hwy a gadarnhasant frenhiniaeth Juda*] Trwy ei lluosogi mewn deiliaid, a'i gwneyd yn fwy galluog i'w hamddiffyn ei hun; *ac a gryfhasant Rehoboam mab Solomon dros dair blynedd*—sef tra y [illegible] a hwythau yn rhodio yn ffordd dda Dafydd a Solomon, heb wrthod cyfraith yr Arglwydd, pen. xii. 1.

Adn. 18, 19. *Mahalath merch Jerimoth mab Dafydd*] Felly yr oeddynt hwy yn gefn-

19 A hi a ymddyg iddo ef feibion,
*sef* Jeus, a Samariah, a Zaham.
20 Ac ar ei hol hi efe a gymerth
Maachah merch Absalom: a hi a
ymddyg iddo ef Abiah, ac Attai, a
Ziza, a Selomith.
21 A Rehoboam a garodd Maach-
ah merch Absalom yn fwy na'i holl
wragedd a'i ordderchadon: canys
deunaw o wragedd a gymerth efe,
a thriugain o ordderchadon: ac efe
a genhedlodd wyth ar hugain o
feibion, a thriugain o ferched.
22 A Rehoboam a osododd Abiah
mab Maachah yn ben, yn flaenor ar
ei frodyr; canys *yr oedd yn ei fryd*
ei urddo ef yn frenin.
23 Ac efe a fu gall, ac a wasgar-
odd *rai* o'i feibion i holl wledydd
Judah a Benjamin, i bob dinas
gadarn, ac a roddes iddynt hwy
luniaeth yn helaeth: ac efe a geis-
iodd luaws o wragedd.

## PENNOD XII.

AC wedi i Rehoboam sicrhau y
frenhiniaeth, a'i chadarnhau,
efe a wrthododd gyfraith yr Ar-
glwydd, a holl Israel gydag ef.
2 Ac yn y bummed flwyddyn i'r
brenin Rehoboam, y daeth Sisac
brenin yr Aifft i fyny yn erbyn Je-
rusalem, (o herwydd iddynt wrth-
ryfela yn erbyn yr Arglwydd,)
3 A mil a dau cant o gerbydau, a
thri ugeinmil o wŷr meirch; ac nid
*oedd* nifer ar y bobl a ddaeth gydag
ef o'r Aifft, *sef* y Lubiaid, y Succi-
aid, a'r Ethiopiaid.

---

der a chyfnither, trwy fod Dafydd yn daid i Rehoboam a Mahalath. Ni ddarllenasom am *Jerimoth* mab Dafydd o'r blaen: fe allai fod dau enw iddo, neu ei fod yn fab i Dafydd o un o'i ordderchwragedd. *Ac Abihail merch Eliab mab Jesse*—gan fod Eliab yn frawd i Dafydd, ac yn hynaf o'r brodyr, yr oedd hon yn gyfnither i Solomon, ac yn fodryb i'w gŵr; ond gan y buasai hi felly ond odid yn rhy hen i ymddwyn plant i Rehoboam, fel y dywedir iddi wneyd, adn. 19, y mae yn debyg mai ŵyres i Eliab oedd hi, a chyfyrder i'w gŵr. Gelwir rhai yn fynych yn *feibion* neu yn *ferched* i ŵr, pan nad ydynt mewn gwirionedd ond ŵyrion neu orwyrion i'r cyfryw, neu ddisgynyddion pellach fyth oddiwrthynt.

Adn. 20. *Maachah merch Absalom*] Gwel ar 1 Bren. xv. 2.

Adn. 21. *A Rehoboam a garodd Maachah merch Absalom yn fwy na'i holl wragedd*] Ond odid am ei bod yn rhagori mewn glendid, hawddgarwch, a mwyneidd-dra ar y lleill oll; ac efe a garai ei fab o honi hi yn fwy na'i holl feibion ereill: *canys deunaw o wragedd a gymerth efe*—heblaw triugain o ordderchadon. Yn hyn efe a rodiai yn ffordd Solomon ei dad, ond nid i'r un eithafion, 1 Bren. xi. 3.

Adn. 22. *A Rehoboam a osododd Abia mab Maachah yn ben*] Neu lywydd ar ei frodyr; ac yr oedd yn bwriadu hefyd ei gael ef naill ai i gyd-deyrnasu âg ef, neu ynte i gymeryd yr orsedd ar ei ol ef. Ymddengys mai mawr serch y brenin at ei fam ef, a'i dylanwad hithau ar ei gŵr, oedd un achos o'r pleidgarwch hwn tuag at Abia, pan yr oedd ganddo feibion hŷn nag ef, adn. 19.

Adn. 23. *Ac efe a fu gall, ac a wasgarodd ei feibion, &c.*] Naill ai rhag iddynt, ar ol ei farwolaeth ef, gyduno yn erbyn Abia; neu ynte i fod yn gynorthwy i Abia yn erbyn ymosodiad eu gelynion ar y dinasoedd cedyrn hyny. *Luniaeth yn helaeth*—darparodd iddynt bob llawnder o reidiau a moethau bywyd fel meibion y brenin, trwy yr hyn y gallent oroesi unrhyw warchaead, a mwynhau yr un anrhydedd penadurol yn y dinasoedd hyny ag a fwynhäai Abia yn Jerusalem, adn. 22. *Ac efe a geisiodd luaws o wragedd*—fel yr adroddwyd adn. 21, neu yn chwanegol at y rhai hyny.

PEN. XII. Adn. 1. *Ac wedi i Rehoboam sicrhau y frenhiniaeth*] Iddo ei hun, trwy ymlyniad Juda a Benjamin yn ffyddlon wrtho, a thrwy ddyfodiad llawer o'r deg llwyth ato; *efe a wrthododd gyfraith yr Arglwydd*—hyn a fu yn niwedd y tair blynedd a grybwyllwyd pen. xi. 17; *a holl Israel gydag ef*—sef ei holl bobl, holl Juda, y rhai a elwir yma *Israel*, am eu bod yn rhodio yn ffyrdd pechadurus y deg llwyth: gwel eu pechodau yn cael eu nodi, 1 Bren. xiv. 22—24. Tra yr oedd Rehoboam yn meddwl fod ei orsedd mewn cyflwr ansicr, efe a wnai ei ddyledswydd, fel y cai Dduw yn gyfaill iddo; eithr wedi i'w frenhiniaeth gael ei chadarnhau, efe a ymddygodd fel pe na buasai raid iddo mwyach wrth grefydd. Fel hyn 'esmwythdra y rhai annghall a'u lladd, a llwyddiant y rhai ffol a'u dyfetha,' Diar. i. 32.

Adn. 2. *Ac yn y bummed flwyddyn i'r brenin Rehoboam*] Yn mhen oddeutu dwy flynedd ar ol iddo ef a'i bobl wrthgilio; *y daeth Sisac brenin yr Aifft i fyny yn erbyn Jerusalem*—yn llaw yr hwn y rhoddodd yr Arglwydd ddinasoedd cedyrn Juda yn gosp am eu pechodau.

Adn. 3. *Ac nid oedd nifer ar y bobl a ddaeth gydag ef o'r Aifft*] Dywed Josephus eu bod oddeutu 400,000 o wŷr traed, heblaw 1,200 o gerbydau, a 60,000 o wŷr meirch. *Sef y Lubiaid*—meddylir mai pobl *Libya*, gwlad Affricanaidd yn nghymydogaeth yr Aifft, oedd y rhai hyn; *y Succiaid*—y rhai a gyfaneddent mewn ogofau ar fin y môr coch; *a'r Ethiopiaid*—trigolion Ethiopia, neu wlad Cus, o du y deau i'r Aifft.

4 Ac efe a ennillodd y dinasoedd cedyrn, y rhai *oedd* yn Judah, ac a ddaeth hyd Jerusalem.
5 ¶ Yna Semaiah y proffwyd a ddaeth at Rehoboam, a thywysogion Judah, y rhai oedd wedi ymgasglu yn Jerusalem rhag ofn Sisac, ac a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Chwi a'm gwrthodasoch i, am hyny myfi a'ch gadewais chwi yn llaw Sisac.
6 Yna tywysogion Israel a'r brenin a ymostyngasant ac a ddywedasant, Cyfiawn *yw* yr Arglwydd.
7 A phan welodd yr Arglwydd iddynt hwy ymostwng, daeth gair yr Arglwydd at Semaiah, gan ddywedyd, Hwy a ymostyngasant; *am hyny* ni ddyfethaf hwynt, ond rhoddaf iddynt ymwared ar fyrder; ac ni thywelltir fy llid yn erbyn Jerusalem trwy law Sisac.
8 Eto byddant yn weision iddo ef, fel yr adnabyddont fy ngwasanaeth i, a gwasanaeth teyrnasoedd y gwledydd.
9 Yna Sisac brenin yr Aifft a ddaeth i fyny yn erbyn Jerusalem, ac a gymerth drysorau tŷ yr Arglwydd, a thrysorau tŷ y brenin, ac a'u dyg hwynt ymaith oll: dyg ymaith hefyd y tarianau aur a wnaethai Solomon.
10 A'r brenin Rehoboam a wnaeth yn eu lle hwynt darianau pres, ac a'u rhoddodd *hwynt* i gadw dan law tywysogion gwŷr y gard, y rhai oedd yn cadw drws tŷ y brenin.
11 A phan elai y brenin i dŷ yr Arglwydd, gwŷr y gard a ddeuent ac a'u cyrchent hwy, ac a'u dygent drachefn i ystafell gwŷr y gard.
12 A phan ymostyngodd efe, llid yr Arglwydd a ddychwelodd oddiwrtho ef, fel nas dinystriai yn hollol; ac yn Judah hefyd yr oedd pob peth yn dda.
13 ¶ Felly y brenin Rehoboam a ymgryfhaodd yn Jerusalem, ac a deyrnasodd: a mab un mlwydd a deugain *oedd* Rehoboam pan ddechreuodd efe deyrnasu, a dwy flynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem, y ddinas a ddewis-

---

Adn. 4. *Ac efe a ennillodd y dinasoedd cedyrn*] Yn y rhai y gosodasai Rehoboam ei feibion, pen. xi. 23.

Adn. 5. *Yna Semaiah y proffwyd*] Yr hwn a anfonesid i rybyddio gwŷr Juda rhag myned i ymladd yn erbyn eu brodyr, pen. xi. 2—4; *a ddaeth at Rehoboam a thywysogion Juda*—y rhai oeddynt wedi ymgasglu yn Jerusalem i ymgynghori pa beth a wnaent yn ngwyneb ymosodiad Sisac. Anfonodd Duw y proffwyd hwn atynt i bregethu edifeirwch iddynt, gan ddatgan mai cosp arnynt am wrthod yr Arglwydd oedd dyfodiad Sisac yn eu herbyn.

Adn. 6. *Yna tywysogion Israel a'r brenin a ymostyngasant*] Gan gyfaddef eu bai, a chyfiawnder eu cerydd; a gallwn feddwl iddynt hefyd wisgo sachlian, ymprydio gerbron Duw, a gweddio am faddeuant.

Adn. 7. *Daeth gair yr Arglwydd at Semaiah*] Yr hwn oedd i'w draddodi ond odid i'r brenin a'i dywysogion, fel y gwypent mai yr Arglwydd oedd yn eu harbed am iddynt ymostwng o'i flaen ef.

Adn. 8. *Eto byddant yn weision iddo ef*] Er na ddyfethid hwynt trwy law Sisac, eto byddai raid iddynt fod dan deyrnged iddo ef, a'i gynorthwyo, os byddai achos, yn ei ryfeloedd; *fel yr adnabyddont fy ngwasanaeth i, a gwasanaeth teyrnasoedd y gwledydd*—fel y gwypont, trwy brofiad, y gwahaniaeth rhwng fy iau i ac iau brenin estronol ac eilunaddolgar. Pa fwyaf y cydmherir gwasanaeth Duw â gwasanaeth dynion, mwyaf rhesymol ac esmwyth yr ymddengys; a pha anhawsderau bynag a fyddont ar ffordd ufydd-dod, y mae yn fil gwell tori trwyddynt, na'n gosod ein hunain yn agored i gosp anufydd-dod. Y mae gwasanaeth rhinwedd a chrefydd yn berffaith ryddid, a gwasanaeth pechod yn berffaith gaethiwed.

Adn. 9—11. *Yna Sisac—a gymerth drysorau tŷ yr Arglwydd, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 26—28.

Adn. 12. *Llid yr Arglwydd a ddychwelodd oddiwrtho*] Yr hyn oedd amlwg oddiwrth ymadawiad byddin yr Aifft heb wneyd dim niwed iddo ef a'i bobl amgen na'u hyspeilio. *Ac yn Juda hefyd yr oedd pob peth yn dda*—gall hyn arwyddo, naill ai, (1) Er fod llawer o lygredigaethau yn Juda, eto fod llawer o ddaioni yno hefyd, y rhai nid oeddynt yn Israel; megys allor ac addoliad Duw, proffwydi a gweinidogion o osodiad dwyfol, ac amrai ddynion duwiol, yr hyn oedd yn rheswm chwanegol dros i Dduw eu harbed hwy. Neu, (2) Er iddynt gael y golled hon, dechreuasant ymadfer, ac adennill rhyw radd o'u llwyddiant blaenorol. Yr oedd pethau yn myned yn mlaen yn *ddrwg* yn Juda pan yr oedd eu dinasoedd caerog yn cael eu cymeryd oddiarnynt; ond ar ol iddynt edifarhau, newidiodd agwedd pethau, ac yr oedd pob peth yn *dda*.

Adn. 13. *Felly y brenin Rehoboam a ymgryfhaodd yn Jerusalem*] Ar ol ymadawiad Sisac; *ac a deyrnasodd*—am oddeutu 12 mlynedd wedi hyny: *a mab un mlwydd a deugain oedd Rehoboam pan ddechreuodd efe deyrnasu*—ac felly yr oedd efe wedi ei eni flwyddyn cyn i Solomon ei dad ddechreu teyrnasu: gwel ar 1 Bren. xiv. 21. Modd

asai yr Arglwydd i osod ei enw ef
ynddi, o holl lwythau Israel: ac
enw ei fam *oedd* Naamah, Am-
monees.
14 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg, canys ni pharotôdd efe ei
galon i geisio yr Arglwydd.
15 Am y gweithredoedd cyntaf a
diweddaf i Rehoboam, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn ngeiriau
Semaiah y proffwyd, ac Ido y gwel-
edydd, yn yr achau? A *bu* rhyfel-
oedd *rhwng* Rehoboam a Jeroboam
yn wastadol.
16 A Rehoboam a hunodd gyda'i
dadau, ac a gladdwyd yn ninas Da-
fydd; ac Abiah ei fab a deyrnasodd
yn ei le ef.

## PENNOD XIII.

AC yn y ddeunawfed flwyddyn i'r
brenin Jeroboam y dechreuodd
Abiah deyrnasu ar Judah.
2 Tair blynedd y teyrnasodd efe
yn Jerusalem; ac enw ei fam ef
*oedd* Michaiah, merch Uriel o Gi-
beah. Ac yr oedd rhyfel rhwng
Abiah a Jeroboam.
3 Ac Abiah a gydiodd y rhyfel
â llu o ryfelwyr grymus, *sef* pedwar
can mil o wŷr etholedig: a Jerobo-
am a luniaethodd y rhyfel yn ei er-
byn ef âg wyth can mil o wŷr ethol-
edig, grymus, nerthol.
4 ¶ Ac Abiah a gyfododd ar fyn-
ydd Semaraim, yr hwn *sydd* yn
mynydd Ephraim, ac a ddywedodd,
O Jeroboam, a holl Israel, gwran-
dewch fi;
5 Oni *ddylech* chwi wybod roddi
o Arglwydd Dduw Israel y frenhin-
iaeth i Dafydd ar Israel yn dragyw-
ydd, iddo ef ac i'w feibion, trwy
gyfammod halen?
6 Eto Jeroboam mab Nebat, gwas
Solomon mab Dafydd, a gyfododd
ac a wrthryfelodd yn erbyn ei ar-
glwydd.

---

bynag, tybia *Houbigant* nad oedd Rehoboam uwchlaw 16 mlwydd oed pan esgynodd i'r orsedd, a dyg lawer o resymau cryfion i brofi y rhaid fod y rhif 41 yn wallus. Ei fod yn *ieuanc* pan y gwnaed ef yn frenin, sydd debygol oddiwrth pen. x. 8, 10, lle y mae yn ymgynghori â'r 'gwŷr *ieuainc* y rhai a gynyddasent gydag ef.' Heblaw hyn, dywed Abia yn ei araeth o flaen Jeroboam, pen. xiii. 7, fod Rehoboam, pan yr esgynodd i'r orsedd, yn *fachgen gwan ei galon*, ac am hyny nas gallai efe wrthsefyll meibion y fall, y rhai a anfonwyd i'w erbyn ef gan Jeroboam: ond diau nas gall neb gael ei ystyried yn fachgen tyner-galon, hollol ddibrofiad, a'r a fyddo uwchlaw 41 mlwydd oed.

Adn. 14. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg*] Er i'r Arglwydd ei arbed ef, a'i fod yn teyrnasu yn Jerusalem, y ddinas a ddewisasai Jehofa i osod ei enw, ei addoliad, a'i bresenoldeb ynddi; eto *ni pharotôdd efe ei galon i geisio yr Arglwydd*—hyny yw, er iddo ymostwng ac edifarhau am dro, gan broffesu y wir grefydd a dylyn addoliad Duw, er hyny efe a drodd yn fuan at ei bechodau blaenorol, am nad oedd yn gywir a ddifrifol yn ei weithredoedd, a bod ei galon heb fod yn uniawn gyda Duw.

Adn. 15. *Am y gweithredoedd cyntaf a diweddaf*] Y rhai a wnaeth Rehoboam cyn ac ar ol myned yn frenin; *onid ydynt hwy yn ysgrifenedig—yn yr achau?*—sef yn llyfrau cronicl brenhinoedd Juda, y rhai a ysgrifenwyd gan Semaiah ac Ido. *A bu rhyfeloedd rhwng Rehoboam*—brenin Juda, *a Jeroboam*—brenin Israel, *yn wastadol*—yn ystod yr holl amser ag y bu Rehoboam yn teyrnasu, ac yn nyddiau ei fab ar ei ol ef.

Adn. 16. *A Rehoboam a hunodd gyda'i dadau*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 31.

PEN. XIII. Adn. 1. *Ac yn y ddeunawfed flwyddyn*] Gwel ar 1 Bren. xv. 1; *y dechreuodd Abia deyrnasu*—yr hwn a enwir *Abiam* yn llyfr y Brenhinoedd.

Adn. 2. *Ac enw ei fam ef oedd Michaiah merch Uriel*] Yn pen. xi. 20, gelwir hi 'Maachah merch Absalom:' gwel ar 1 Bren. xv. 2. Ond dyry y *Targum* y rheswm hwn am y gwahaniaeth: 'Trwy ei bod yn wraig enwog, newidiwyd ei henw i *Michaiah*, yr hwn sydd enw rhagorach; a galwyd ei thad yn *Uriel o Gibeah*, fel na chofid enw Absalom.'

Adn. 3. *Ac Abia a gydiodd y rhyfel*] Trwy fod ganddo yn ddiamau awdurdod oddiwrth Dduw i wrthsefyll Jeroboam. *Pedwar can mil o wŷr etholedig*—arferai yr Hebreaid y pryd hyny gynull eu holl bobl rhwng 20 a 50 mlwydd oed i'r maes. *A Jeroboam a luniaethodd*—neu a arweiniodd yn arfog yn erbyn gwŷr Abia, *wyth can mil o wŷr etholedig*—gynifer ddwywaith ag oedd gan Abia, trwy fod deg llwyth gan Jeroboam i godi ei filwyr o'u plith: gwel ar adn. 17.

Adn. 4. *Ac Abia a gyfododd ar fynydd Semaraim*] Lle y clywid ei leferydd ef gan Jeroboam a rhan o'i fyddin, y rhai yr ymddengys eu bod yn y dyffryn wrth droed y mynydd hwnw. Yr oedd Abia yn dymuno cael ymddyddan âg ef cyn dechreu ymladd, i edrych a allent hwy drefnu pethau heb ollwng gwaed.

Adn. 5. *Oni ddylech chwi wybod*] Nis gallent lai na'i wybod; ond mynai Abia iddynt ei addef, a'i ystyried yn ddyladwy; *roddi o Arglwydd Dduw Israel y frenhiniaeth i*

7 Ac ofer-ddynion, *sef* meibion
y fall, a ymgasglasant ato ef, ac a
ymgadarnhasant yn erbyn Reho-
boam mab Solomon, pan oedd Re-
hoboam yn fachgen, ac yn wan ei
galon, ac ni allai ymgadarnhau i'w
herbyn hwynt.
8 Ac yn awr yr ydych yn meddwl
ymgadarnhau yn erbyn brenhin-
iaeth yr Arglwydd, *yr hon sydd* yn
llaw meibion Dafydd; ac *yr ydych*
yn dyrfa fawr, a chyda chwi *y mae*
y lloi aur a wnaeth Jeroboam yn
dduwiau i chwi.
9 Oni yrasoch ymaith offeiriaid
yr Arglwydd, meibion Aaron, a'r
Lefiaid? ac oni wnaethoch i chwi
offeiriaid fel pobl y gwledydd *er-
eill?* pwy bynag sydd yn dyfod i'w
gysegru â bustach ieuanc ac â saith
o hyrddod, *hwnw* sydd yn offeiriad
i'r *rhai* nid *ydynt* dduwiau.
10 Ninau, yr Arglwydd *yw* ein
Duw ni, ac nis gwrthodasom ef; a'r
offeiriaid y rhai sydd yn gwasan-
aethu yr Arglwydd *yw* meibion
Aaron, a'r Lefiaid *sydd* yn *eu* gor-
chwyl.
11 Ac y maent hwy yn llosgi i'r
Arglwydd boeth-offrymau bob bore
a phob hwyr, ac arogldarth peraidd;
ac *yn cadw* trefn y bara *gosod* ar y
bwrdd pur, a'r canwyllbren aur a'i
lampau, i losgi bob prydnawn:
canys yr ydym ni yn cadw gor-
uchwyliaeth yr Arglwydd ein Duw;
ond chwi a'i gwrthodasoch ef.
12 Ac wele, Duw *sydd* ben gyda

---

*Dafydd*—ac i'w had yn dragywydd, heb dynu y frenhiniaeth oddiwrth ei feibion ef i'w rhoddi i deulu arall; *trwy gyfammod halen*—neu gyfammod tragwyddol. Ond gan y byddent gynt yn cadarnhau cyfammod trwy aberth, lle yr offrymid halen gyda'r aberth i ddynodi ei barhad, gall 'cyfammod halen' fod yn arwyddo yma gyfammod wedi ei gadarnhau trwy *aberth:* gwel ar Lef. ii. 13, Num. xviii. 19.

Adn. 6. *Gwas Solomon*] Yr hyn a grybwylla efe o ddirmyg arno, neu i ddangos ei ryfyg yn fwy wrth wrthryfela yn erbyn ei arglwydd a'i gyfiawn frenin.

Adn. 7. *Ac ofer-ddynion, sef meibion y fall*] Dynion diffrwyth, ac amddifad o bob daioni, neu rai wedi ymysgwyd oddiwrth yr iau a'r ufydd-dod ag oedd ddyledus arnynt i Dduw a'u brenin: gwel ar Deut. xiii. 13; *a ymgadarnhasant yn erbyn Rehoboam*—i wrthod ei lywodraeth ef, a gosod Jeroboam wrthryfelgar yn frenin ar ddeg o lwythau Israel; *pan oedd Rehoboam yn fachgen*—gwel ar pen. xii. 13; *ac yn wan ei galon*—newydd fyned i'r orsedd, ac heb gael nemawr o brofiad milwraidd.

Adn. 8. *Ac yn awr yr ydych yn meddwl ymgadarnhau yn erbyn brenhiniaeth yr Arglwydd*] Sef brenhiniaeth Juda, yr hon ni osodwyd i fyny gan ofer-ddynion, er cyraedd eu huchelgais eu hunain, fel yr eiddoch chwi, ond a sefydlwyd ac a gadarnhawyd gan Dduw ei hun yn nheulu Dafydd. Yma gwelwn mai Jeroboam oedd yr ymosodwr, ac nad oedd Abia ddim ond amddiffyn ei frenhiniaeth yn y rhyfel bresenol. *Ac yr ydych yn dyrfa fawr*—ddau cymaint a byddin Abia, adn. 3; *a chyda chwi y mae y lloi aur a wnaeth Jeroboam yn dduwiau i chwi*—efe a ddywedai hyn i wawdio eu duwiau fel *gwaith* Jeroboam, ac i wawdio eu hymddiriediad hwythau yn y fath dduwiau.

Adn. 9. *Oni yrasoch ymaith offeiriaid yr Arglwydd*] Sef meibion Aaron, y rhai yn unig a benodasai Duw i weini mewn pethau santaidd? *ac oni wnaethoch i chwi offeiriaid fel pobl y gwledydd ereill*—sef rhywrai o blith y bobl yn gyffredinol, fel yr arferai y cenhedloedd wneyd wrth godi offeiriaid, ac nid o lwyth neillduol, fel yr oedd Duw wedi trefnu i'w offeiriaid ef fod? *Pwy bynag sydd yn dyfod i'w gysegru â bustach ieuanc ac â saith o hyrddod*—yr hyn oedd *bump* o hyrddod yn fwy nag a orchymynasai yr Arglwydd i'w offeiriaid ef, Exod. xxix. 1; *hwnw sydd yn offeiriad*—cysegrir hwnw yn y fan yn offeiriad, er na byddo un cymhwysder arall ynddo; *i'r rhai nid ydynt dduwiau*—eithr talpiau o aur ar lun dau lo! Eithr wedi y cwbl, y math hwnw o offeiriaid oedd addasaf o bawb i weini i'r fath dduwiau; canys beth a allai fod yn fwy cyfaddas i dduwiau y rhai nad oeddynt dduwiau, nag offeiriaid y rhai nad oeddynt offeiriaid?

Adn. 10. *Ninau*] Sef Abia brenin Juda, a'i ddeiliaid; *yr Arglwydd yw ein Duw ni*—sef JEHOFA, yr hwn a wnaeth nef a daear, ac nid lloi difywyd: *a'r offeiriaid y rhai sydd yn gwasanaethu yr Aglrwydd*—trwy aberthu ac arogldarthu iddo, *yw meibion Aaron*—y rhai a neillduwyd gan Dduw ei hun i'r gwaith; *a'r Lefiaid sydd yn eu gorchwyl*—yn eu cynorthwyo ac yn eu gwasanaethu yn eu gorchwylion santaidd.

Adn. 11. *Ac y maent hwy yn llosgi i'r Arglwydd boeth-offrymau*] Sef y ddau oen, y rhai a offrymid bob bore a hwyr yn wastadol, Exod. xxix. 38—42; *ac arogldarth peraidd*—i wrthweithio drygsawr yr aberthau a'r lampau, Exod. xxx. 7, 8; *ac yn cadw trefn y bara gosod*—gan gymeryd ymaith yr hen fara oddiar y bwrdd o aur pur, a gosod y newydd yn ei le bob sabboth, Lef. xxiv. 5—8; *a'r canwyllbren aur a'i lampau i losgi bob prydnawn*—gwel ar Exod. xxvii. 20, 21: *canys yr ydym ni yn cadw goruchwyliaeth yr Arglwydd*—gan wneuthur pob peth yn ei addoliad a'i wasanaeth fel y gorchymynodd efe i ni; *ond chwi a'i gwrthodasoch ef*—a'i holl wasanaeth, gan addoli lloi yn ei le ef.

ni, a'i offeiriaid ef âg udgyrn son-
iarus i udganu yn eich erbyn chwi.
O feibion Israel, nac ymleddwch yn
erbyn Arglwydd Dduw eich tadau;
canys ni lwyddwch chwi.
13 ¶ Ond Jeroboam a barodd
osod cynllwyn o amgylch, a dyfod
o'u hol hwynt: felly yr oeddynt
hwy o flaen Judah, a'r cynllwyn o'r
tu ol iddynt.
14 A Judah a edrychodd yn ol,
ac wele ryfel iddynt yn mlaen ac yn
ol; a hwy a waeddasant ar yr Ar-
glwydd, a'r offeiriaid a leisiasant
mewn udgyrn.
15 A gwŷr Judah a floeddiasant:
a phan waeddodd gwŷr Judah, Duw
a darawodd Jeroboam, a holl Is-
rael, o flaen Abiah a Judah.
16 A meibion Israel a ffoisant o
flaen Judah: a Duw a'u rhoddodd
hwynt i'w llaw hwynt.
17 Ac Abiah a'i bobl a'u taraw-
sant hwy â lladdfa fawr: a syrth-
iodd yn archolledig o Israel bum
can mil o wŷr etholedig.
18 Felly y darostyngwyd meib-
ion Israel y pryd hwnw; a meibion
Judah a orfuant, o herwydd idd-
ynt bwyso ar Arglwydd Dduw eu
tadau.
19 Ac Abiah a erlidiodd ar ol Je-
roboam, ac a ddyg oddiarno ef ddi-
nasoedd, Bethel a'i phentrefi, a Je-

---

Adn. 12. *Ac wele, Duw sydd ben gyda ni*] Efe yw Cadben mawr ein byddin ni yn y frwydr hon; *a'i offeiriaid ef âg udgyrn soniarus i udganu yn eich erbyn chwi*—yn dystiolaeth yn eich erbyn chwi, ac yn sicrwydd i ninau y coffëir ni gerbron yr Arglwydd ein Duw yn nydd y frwydr, ac yr achubir ni rhag ein gelynion: gwel Num. x. 9, lle y mae yr arwydd cysegredig hwn yn cael ei egluro felly. *O feibion Israel*—hiliogaeth Abraham, Isaac, a Jacob, fel ninau; *nac ymleddwch yn erbyn Arglwydd Dduw eich tadau*—yr hyn fyddai yn fradwriaeth ac yn anniolchgarwch o'r math gwaethaf; *canys ni lwyddwch chwi*—yn erbyn hollalluogrwydd Duw, yr hwn sydd o'n plaid ni. Fel hyn y terfynai Abia ei araeth, gan roddi iddynt rybydd têg; ond nid ymddengys i Jeroboam wneyd un atebiad.

Adn. 13. *Ond Jeroboam a barodd osod cynllwyn*] Tra yr oedd Abia yn traddodi yr araeth uchod ar ben y mynydd, danfonodd Jeroboam yn llechwraidd ran o'i fyddin tu ol i fyddin Abia yr ochr arall i'r mynydd: ac felly yr oedd hanner byddin Jeroboam o flaen gwŷr Juda, yn barod i ymladd â hwynt yno; a'r hanner arall yn cynllwyn o'r tu ol iddynt, yn barod i syrthio arnynt o'r tu cefn, neu i'w gwynebu os ffoent hwy yn ol. Yr oedd yn hawdd i Jeroboam ranu ei fyddin, trwy fod un hanner iddi yn gymaint a holl fyddin Abia, adn. 3.

Adn. 14. *A Juda a edrychodd yn ol*] Pryd y canfyddasant eu bod wedi eu hamgylchu gan wŷr Jeroboam, yr hyn a barodd ddychryn mawr iddynt; *a hwy a waeddasant ar yr Arglwydd*—am gymhorth yn erbyn eu gelynion. Y mae yn gysur annhraethol i ni feddwl, nas gall un gelyn, trwy unrhyw ystryw neu gynllwyn, dori ymaith ein cymundeb â'r nef. Er fod gwŷr Juda wedi eu cau i mewn o bob tu, yr oedd eu ffordd i'r nef yn agored. Gallwn obeithio iddynt waeddi ar yr Arglwydd cyn cychwyn i'r rhyfel; eithr parodd y cyfyngder ag yr oeddynt ynddo iddynt adnewyddu eu gweddiau, a llefain gyda mwy o daerineb. Gall achos da, ac un a fwriedid i fuddugoliaethu, gael ei gau i fyny mewn dyryswch a thywyllwch; canys y mae Duw yn fynych yn dwyn ei bobl i gyfyngderau, i ddysgu iddynt lefain yn daerach arno ef.

Adn. 15. *A gwŷr Juda a floeddiasant*] Nid yn unig i ddychrynu eu gelynion, a gwroli meddyliau eu milwyr eu hunain, ond mewn hyder am fuddugoliaeth, trwy fod yr offeiriaid yn eu calonogi wrth leisio yn yr udgyrn, gan roddi iddynt felly sicrwydd o bresenoldeb Duw yn eu plith, adn. 12. *A phan waeddodd gwŷr Juda*—canys at lef gweddi hwy a chwanegasant floedd ffydd, ac felly daethant allan yn fwy na choncwerwyr; *Duw a darawodd Jeroboam a holl Israel*—â dychryn goruwchnaturiol, fel y ffoisant oll ymaith heb gynyg ymladd.

Adn. 16. *A Duw a'u rhoddodd hwynt i'w llaw hwy*] I'w dal a'u lladd wrth y miloedd. Wrth feddwl eu bod yn ddau am un i wŷr Juda, y mae yn eglur mai yr Arglwydd a fynai fel hyn geryddu eilunaddoliaeth Israel, ac arddel tŷ Dafydd.

Adn. 17. *A syrthiodd yn archolledig o Israel bum can mil*] Ymddengys mai dyma y lladdfa fwyaf a wnaed erioed mewn un frwydr, a hyny yn mhlith un blaid. Yn yr holl Feiblau Hebreig *argraffedig*, ceir y rhifedi yma, ac yn adn. 3, fel y maent yn y testyn; ac felly y ceir hwynt hefyd yn y LXX, a chan Josephus: ond mewn rhai *ysgriflyfrau* Hebreig, yn gystal a chyfieithiadau, dywedir mai rhif byddin Abia oedd 40,000, a rhif byddin Jeroboam 80,000, a rhif lladdedigion Israel 50,000.

Adn. 18. *Felly y darostyngwyd meibion Israel y pryd hwnw*] Er na ddygwyd hwynt dan lywodraeth tŷ Dafydd; *a meibion Juda a orfuant*—er fod meibion Israel yn ddau am un iddynt; *o herwydd iddynt bwyso ar Arglwydd Dduw eu tadau*—ac nid ymddiried mewn braich o gnawd, llai o lawer mewn lloi meirwon, fel y gwnai eu gwrthwynebwyr.

Adn. 19. *Ac Abia a erlidiodd ar ol Jeroboam*] Fel yr oedd efe yn ffoi; *ac a ddyg oddiarno ef ddinasoedd*—sef tair o brif ddinasoedd Israel a'u pentrefi, y rhai a adferwyd i Jeroboam wedi hyn, fel yr ymddengys oddi-

sanah a'i phentrefi, ac Ephraim a'i
phentrefi.
20 Ac ni chafodd Jeroboam nerth
mwyach yn nyddiau Abiah: ond yr
Arglwydd a'i tarawodd ef, fel y bu
efe farw.
21 ¶ Ond Abiah a ymgryfhaodd,
ac a gymerth iddo bedair ar ddeg o
wragedd, ac a genhedlodd ddau fab
ar hugain, ac un ar bymtheg o
ferched.
22 A'r rhan arall o hanes Abiah,
a'i ffyrdd ef, a'i eiriau, *y maent* yn
ysgrifenedig yn llyfr y proffwyd
Ido.

## PENNOD XIV.

FELLY Abiah a hunodd gyda'i
dadau, a chladdasant ef yn ninas
Dafydd; ac Asa ei fab a deyrnas-
odd yn ei le ef. Yn ei ddyddiau
ef y cafodd y wlad lonydd ddeng
mlynedd.
2 Ac Asa a wnaeth yr hyn *oedd*
dda ac uniawn yn ngolwg yr Ar-
glwydd ei Dduw.
3 Canys efe a fwriodd ymaith
allorau y *duwiau* dyeithr, a'r uch-
elfeydd, ac a ddrylliodd y delwau,
ac a dorodd y llwyni:
4 Ac a orchymynodd i Judah
geisio Arglwydd Dduw eu tadau,
a gwneuthur y gyfraith a'r gorchy-
myn.
5 Ac efe a fwriodd ymaith o holl
ddinasoedd Judah yr uchelfeydd a'r
delwau: a chafodd y frenhiniaeth
lonydd o'i flaen ef.
6 ¶ Ac efe a adeiladodd ddinas-
oedd cedyrn yn Judah, o herwydd
bod y wlad yn cael llonydd, ac nad
*oedd* rhyfel yn ei erbyn ef yn y
blynyddoedd hyny; oblegid yr Ar-
glwydd a roddasai lonyddwch iddo.
7 Am hyny efe a ddywedodd
wrth Judah, Adeiladwn y dinas-
oedd hyn, ac amgylchwn *hwynt* â
mur, â thyrau, â drysau, ac â bar-
au, tra *fyddo* y wlad o'n blaen ni;
o herwydd i ni geisio yr Arglwydd
ein Duw, ni a'*i* ceisiasom, ac efe a
roddodd lonyddwch i ni o amgylch.
Felly hwy a adeiladasant, ac a
lwyddasant.
8 Ac yr oedd gan Asa lu o *wŷr*

---

wrth yr hanesiaeth. Y mae yn hynod na chymerodd Abia y *llo aur* pan y syrthiodd Bethel i'w ddwylaw ef; ond dichon fod brenin Israel wedi symud hwnw oddiyno yn flaenorol, i'r dyben i'w ddiogelu.

Adn. 20. *Ac ni chafodd Jeroboam nerth mwyach yn nyddiau Abia*] I ddwyn byddin i'r maes i ymladd âg ef; *ond yr Arglwydd a'i tarawodd ef*—â blinder a dychryn meddwl, neu â rhyw glefyd araf a phoenus fel eiddo Jehoram, pen. xxi. 19; *fel y bu efe farw*—nid yn ebrwydd; canys efe a fu byw ar ol Abia oddeutu dwy flynedd. Ond tybia rhai mai am *Abia*, ac nid *Jeroboam*, y dywedir i'r Arglwydd ei daraw fel y bu efe farw.

Adn. 21. *Ond Abia a ymgryfhaodd, &c.*] Cyfeiria hyn yn benaf nid at yr amser ar ol y fuddugoliaeth uchod, canys efe a fu farw yn fuan wedi hyny, yn y drydedd flwyddyn o'i deyrnasiad, adn. 2. Y mae yn debyg iddo gael y rhan fwyaf o'r gwragedd a'r plant hyn cyn y frwydr uchod, os nid cyn myned yn frenin.

Adn. 22. *A'r rhan arall o hanes Abia*] Cyn ac wedi ei goroni; *a'i ffyrdd*—ei ddull cyffredin o fyw; *a'i eiriau*—canys yr oedd efe yn ymadroddwr ffraeth, fel y dengys ei araeth uchod, adn. 4—12; *y maent yn ysgrifenedig yn llyfr y proffwyd Ido*— Heb. '*bemidrash*,' yn ei *esboniad* ef, yr hwn sydd erbyn hyn wedi ei golli.

PEN. XIV. Adn. 1. *Felly Abia a hunodd gyda'i dadau*] Gwel ar 1 Bren. xv. 8, &c.; *ac Asa ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*—yn yr ugeinfed flwyddyn i Jeroboam brenin Israel, ddwy flynedd cyn marw y brenin hwnw. *Yn ei ddyddiau ef y cafodd y wlad lonydd ddeng mlynedd*—sef o'r 5ed flwyddyn hyd y 15fed i Asa, fel y tybia Calmet.

Adn. 2—5. *Ac Asa a wnaeth yr hyn oedd dda ac uniawn, &c.*] Trwy fwrw ymaith yr uchelfeydd a wnaed i *eilunaddoliaeth*, adn. 3, er na fwriodd efe ymaith yr uchelfeydd a wnaed i *aberthu i'r Arglwydd*, cyn adeiladu y deml, adn. 5: gwel ar 1 Bren. xv. 14. Er nad oedd gan Abia fawr o grefydd ei hun, eto efe a fu yn offeryn i barotoi y ffordd i un a feddai lawer: canys oni buasai i Abia wneyd yr hyn a wnaeth i *lonyddu* y wlad, ni allasai Asa wneyd yr hyn a wnaeth i'w *diwygio* hi.

Adn. 6. *Ac efe a adeiladodd ddinasoedd cedyrn*] I gadw ei diriogaethau rhag rhuthriadau ei elynion, ac i gryfhau terfynau ei wlad, adn. 7.

Adn. 7. *Tra fyddo y wlad o'n blaen ni*] Hyny yw, yn eu meddiant, ac heb eu haflonyddu gan ymosodiadau eu gelynion. *O herwydd i ni geisio yr Arglwydd ein Duw*—trwy sefydlu gwir addoliad Duw, bwrw ymaith eilunaddoliaeth, ac ymgadw yn fanwl at wasanaeth y cysegr, a cheisio ei fendith a'i nawdd ef yn mhob peth; *efe a roddodd lonyddwch i ni o amgylch*—heb i Israel o du y gogledd, na'r cenhedloedd o du y deau, y dwyrain, na'r gorllewin, ruthro arnynt yn ystod y deg mlynedd uchod.

Adn. 8. *Ac yr oedd gan Asa lu o wŷr yn*

yn dwyn tarianau a gwaewffyn, o Judah tri chan mil, ac o Benjamin dau cant a phedwar ugain mil yn dwyn tarianau, ac yn tynu bwa: y rhai hyn oll *oedd* wŷr grymus.

9 ¶ A Zerah yr Ethiopiad a ddaeth allan yn eu herbyn hwynt, â llu o fil o filoedd, ac â thri chant o gerbydau; ac a ddaeth hyd Maresah.

10 Yna Asa a aeth allan yn ei erbyn ef, a hwy a luniaethasant ryfel yn nyffryn Sephathah wrth Maresah.

11 Ac Asa a waeddodd ar yr Arglwydd ei Dduw, ac a ddywedodd, O Arglwydd, nid *yw ddim* i ti gynorthwyo, pa un bynag ai gyda llawer, ai gyda'r rhai nid oes ganddynt gryfder: cynorthwya di ni, O Arglwydd ein Duw; canys pwyso yr ydym ni arnat ti, ac yn dy enw di y daethom yn erbyn y dorf hon: O Arglwydd, ein Duw ni *ydwyt* ti, na orfydded dyn i'th erbyn.

12 Felly yr Arglwydd a darawodd yr Ethiopiaid o flaen Asa, ac o flaen Judah: a'r Ethiopiaid a ffoisant.

13 Ac Asa a'r bobl *oedd* gydag ef a'u herlidiasant hwy hyd Gerar: a syrthiodd yr Ethiopiaid fel na allent ymadgryfhau; canys drylliesid hwynt o flaen yr Arglwydd, ac o flaen ei lu ef; a hwy a ddygasant ymaith anrhaith fawr iawn.

14 A tharawsant yr holl ddinasoedd o amgylch Gerar; canys yr oedd dychryn yr Arglwydd arnynt hwy: a hwy a anrheithiasant yr holl ddinasoedd; canys anrhaith fawr oedd ynddynt.

---

*dwyn tarianau a gwaewffyn*] Er fod y wlad yn cael llonydd, eto yr oedd Asa yn cadw byddin arfog o amddiffynwyr, y rhai oeddynt yn rymus o gorff, ac yn wrol eu meddwl; a dyna un rheswm, dan Dduw, paham y caent lonyddwch. Gellid meddwl fod milwyr Asa rywbeth yn debyg i'n rhych-filwyr ni, y rhai, tra yn dylyn eu gorchwylion eu hunain fel gwladwyr, sydd ar yr un pryd yn barod fel milwyr i amddiffyn eu brenhines a'u gwlad: a hir y parhao eu harswyd ar holl elynion Lloegr, nes ennill i ni, dan Dduw, lonyddwch o amgylch.

Adn. 9, 10. *A Zerah yr Ethiopiad a ddaeth allan yn eu herbyn*] Gyda byddin gymysg o Ethiopiaid neu 'Arabiaid,' a Libyaid neu Lubiaid, pen. xvi. 8, yn cyraedd i *fil o filoedd, ac â thri chant o gerbydau*—sef cerbydau rhyfel. Dywed yr Iuddewon fod 900,000 o wŷr traed, a 100,000 o wŷr meirch, heblaw y rhyfelwyr ag oeddynt yn perthyn i'r cerbydau, gan Zerah yn yr ymgyrch hwn; ac yr oedd hyny bron gymaint arall a byddin Asa, yr hon oedd 580,000. *Ac a ddaeth hyd Maresah*—dinas yn llwyth Juda, oddeutu 18 milldir i'r deau-orllewin o Jerusalem.

Adn. 11. *Ac Asa a waeddodd ar yr Arglwydd ei Dduw*] Gallai ef, yr hwn a geisiodd Dduw yn amser heddwch a llwyddiant, alw arno gyda hyfdra santaidd yn nydd trallod, a'i arddelwi fel ei Dduw ef. *O Arglwydd, nid yw ddim i ti gynorthwyo, &c.*—gan dy fod yn HOLLALLUOG, galli beri i'r gwan orchfygu y cadarn, ac i'r ychydig gael y fuddugoliaeth ar y llawer. *Cynorthwya di ni, O Arglwydd ein Duw*—yr hwn wyt ein Duw cyfammodol; *canys pwyso yr ydym ni arnat ti*—ac nid ymddiried yn ein nerth a'n medrusrwydd ein hunain; *ac yn dy enw di y daethom yn erbyn y dorf hon*—mewn ffydd ynot, ac er amddiffyniad i'th anrhydedd, dy wasanaeth, a'th bobl. *O Arglwydd, ein Duw ni ydwyt ti*—efe a ddywedasai hyn o'r blaen; ond yma y mae ei ffydd ef fel yn adnewyddu ei gafael. *Na orfydded dyn i'th erbyn*—Heb. *enosh*, 'dyn marwol.' Os llwydda efe yn ein herbyn ni, dywedir iddo lwyddo yn dy erbyn dithau, yr hwn wyt Dduw mewn cyfammod â ni, ac yn yr hwn yr ydym yn gobeithio. Er dy anrhydedd dy hun, dangos i'r byd mor analluog yw *dyn marwol* i wrthsefyll y *Duw byw.*

Adn. 12. *Felly yr Arglwydd*] Mewn atebiad i'r weddi daer uchod; *a darawodd yr Ethiopiaid*—â dychryn goruwchnaturiol, fel y ffoisant oll ymaith o flaen Asa a'i wŷr, heb gynyg ymladd ond odid mwy na gwŷr Jeroboam yn amser Abia, pen. xiii. 15.

Adn. 13. *Ac Asa, a'r bobl oedd gydag ef, a'u herlidiasant hwy hyd Gerar*] Dinas oddeutu 22 milldir i'r deau-orllewin o Maresah, yn perthyn i'r Philistiaid, y rhai ond odid a ddaethant allan i gynorthwyo yr Ethiopiaid. *Drylliesid hwynt o flaen yr Arglwydd*—â lladdfa fawr, fel nad allent gael dynion i lenwi eu rhencau i wneyd ail ymosodiad; *ac o flaen ei lu ef*—sef o flaen gwŷr Juda, y rhai a elwir yma yn 'llu Duw,' am iddo ef eu harddel y waith hon fel ei bobl. Ond tybia rhai mai yr *angylion* a feddylir, y rhai a ddryllient yr Ethiopiaid ar y pryd. *A hwy a ddygasant ymaith anrhaith fawr iawn*—oddiar y lladdedigion, ac o wersyll y gelynion.

Adn. 14. *A tharawsant yr holl ddinasoedd o amgylch Gerar*] Y rhai a berthynent i'r Philistiaid, am iddynt gynorthwyo Zerah yn y rhyfel hon, a llochesu gweddill ei fyddin ef; *canys yr oedd dychryn yr Arglwydd arnynt hwy*—fel na feiddiai y trigolion gynyg gwrthsefyll Asa a'i wŷr; *a hwy a anrheithiasant yr holl ddinasoedd*—o bob peth gwerthfawr ag ydoedd ynddynt, o'r rhai yr oedd llawer iawn.

Adn. 15. *Lluestai yr anifeiliaid hefyd a darawsant hwy*] Neu 'bebyll y bugeiliaid,'

15 Lluestai yr anifeiliaid hefyd a
darawsant hwy, ac a gaethgludas-
ant lawer o ddefaid a chamelod, ac
a ddychwelasant i Jerusalem.

## PENNOD XV.

AC Ysbryd Duw a ddaeth ar Az-
ariah mab Oded.
2 Ac efe a aeth allan o flaen Asa,
ac a ddywedodd wrtho, O Asa, a
holl Judah, a Benjamin, gwran-
dewch fi; Yr Arglwydd *sydd* gyda
chwi, tra fyddoch gydag ef; ac os
ceisiwch ef, chwi a'i cewch ef: ond
os gwrthodwch chwi ef, yntau a'ch
gwrthyd chwithau.
3 Dyddiau lawer *y bu* Israel heb
y gwir Dduw, a heb offeiriad yn
ddysgawdwr, a heb gyfraith.
4 Ond pan ddychwelent yn eu
cyfyngdra at Arglwydd Dduw Is-
rael, a'i geisio ef, efe a gaid gan-
ddynt.
5 Ac yn yr amseroedd hyny nid
*oedd* heddwch i'r hwn oedd yn
myned allan, nac i'r hwn oedd yn
dyfod i mewn: ond blinder lawer
*oedd* ar holl breswylwyr y gwled-
ydd.
6 A chenedl a ddinystriwyd gan
genedl, a dinas gan ddinas: oblegid
Duw oedd yn eu poeni hwy â phob
aflwydd.
7 Ymgryfhewch gan hyny, ac
na laesed eich dwylaw: canys y

---

y rhai a ddarparent ddefaid yn ymborth i'r fyddin, a chamelod i gludo eu celfi; ac wedi lladd y dynion, dychwelasant i Jerusalem gyda llawer o'r anifeiliaid hyny yn anrhaith, ac i gludo eu hanrhaith.

PEN. XV. Adn. 1. *Ac Ysbryd Duw a ddaeth ar Azariah*] I ddysgu iddo pa beth i'w ddywedyd, ac i'w alluogi i'w ddywedyd gyda mwy o hyfdra; *mab Oded*—yn adn. 8, priodolir y broffwydoliaeth i *Oded* ei hun. Tybia rhai fod Oded hefyd yn broffwyd, ac iddo gadarnhau proffwydoliaeth ei fab; a thybia ereill fod Azariah yn cael ei alw *Oded* yn gystal a'i dad.

Adn. 2. *Ac efe a aeth o flaen Asa*] Yr hwn oedd yn awr yn dychwelyd yn fuddugol gyda'i fyddin o'r rhyfel â'r Ethiopiaid. *O Asa, a holl Juda a Benjamin, gwrandewch fi*—nid aeth efe allan i'w llon-gyfarch hwy ar eu llwyddiant, eithr i'w hannog at eu dyledswydd, yr hyn yw gwaith priodol gweinidogion Duw, hyd yn nod o flaen brenhinoedd a phendefigion. *Yr Arglwydd sydd gyda chwi*—i'ch amddiffyn rhag eich holl elynion, fel y gwelsoch iddo wneyd yn awr; *tra fyddoch gydag ef*—yn glynu yn ei addoliad a'i wasanaeth, ac mewn ufydd-dod diffuant iddo. *Ac os ceisiwch ef*—yn wastadol trwy weddi daer a ffyddiog, fel y ceisiasai Asa ef yn ddiweddar, pen. xiv. 11; *chwi a'i cewch ef*—yn gymhorth i chwi bob amser, fel y bu y waith hon. *Ond os gwrthodwch chwi ef*—gan adael ei ddeddfau a'i addoliad, a throi at eilunod; *yntau a'ch gwrthyd chwithau*—ac a'ch traddoda i ddwylaw eich gelynion: gan hyny na fydded i'r fuddugoliaeth hon eich gwneyd yn rhyfygus, na hunan-hyderus. Fel hyn eto y gall holl weinidogion yr efengyl gyfarch eu cynulleidfaoedd: gwel ar 1 Cron. xxviii. 9.

Adn. 3. *Dyddiau lawer y bu Israel heb y gwir Dduw*] Eithr aent ar ol eilunod; *a heb offeiriad yn ddysgawdwr*—i'w hyfforddi mewn pethau ysbrydol; *a heb gyfraith*—yn rheol bywyd iddynt mewn pethau moesol, seremonïol, na gwladol. Y mae rhai yn deall hyn fel yn cyfeirio, (1) At gyflwr trallodus holl Israel yn amser y Barnwyr. (2) Ereill, at gyflwr y deg llwyth dan deyrnasiad brenhinoedd Israel: ond nis gellir dywedyd yn briodol am yr addolwyr hyny o'r lloi aur, eu bod yn ceisio ac yn cael Arglwydd Dduw Israel yn eu cyfyngdra, fel y dywedir yn yr adnod nesaf. (3) Ereill, at gyflwr teyrnas Juda dan deyrnasiad Rehoboam ac Abia, pa un a ddechreuai ymddiwygio yn awr dan deyrnasiad Asa. (4) Ac ereill, megys Houbigant, at gyflwr dyfodol yr Iuddewon, gan feddwl y dylai yr oll gael ei ddarllen yn yr amser *dyfodol*, yr un modd ag yn Hos. iii. 4, 5. (5) Ond ai ni ellir deall y 'dyddiau lawer' hyn fel o'r un ystyr a *llawer gwaith*, ac yn cyfeirio at gyflwr yr Iuddewon, yn awr ac eilwaith, byth er pan ddaethant allan o'r Aifft?

Adn. 4. *Ond pan ddychwelent yn eu cyfyngdra at Arglwydd Dduw Israel, &c.*] Gwel siamplau o hyn yn Barn. iii. 9, 15, iv. 3, a x. 10—16, Salm cvi. 6—44.

Adn. 5. *Ac yn yr amseroedd hyny*] Pan yr oedd Israel yn byw mewn annghof o Dduw a'i gyfraith; *nid oedd heddwch i'r hwn oedd yn myned allan*—at ei orchwylion yn y bore; *nac i'r hwn oedd yn dyfod i mewn*—i'w orphwysfa yn yr hwyr: *ond blinder lawer*—oddiwrth ladron a llofruddion: gwel ar Barn. v. 6, &c.

Adn. 6. *A chenedl a ddinystriwyd gan genedl*] Neu lwyth gan lwyth, megys yr Ephraimiaid gan y Gileadiaid, a'r Benjaminiaid gan y llwythau ereill, Barn. xii. 5, 6, a xx. 20—48; *a dinas gan ddinas*—megys Sichem gan Abimelech, Barn. ix. 45; *canys Duw oedd yn eu poeni hwy â phob aflwydd*—trwy elynion oddiallan, a brwydrau cartrefol oddifewn, am iddynt hwy ei wrthod ef. Amcan y proffwyd yn y geiriau hyn oedd dangos i Asa a'i fyddin, mai fel hyn y byddai iddynt hwythau, os cilient oddiwrth yr Arglwydd eu Duw.

Adn. 7. *Ymgryfhewch gan hyny*] Yn y gwaith o buro addoliad Duw, a diwreiddio eilunaddoliaeth; *ac na laesed eich dwylaw*—

mae gwobr i'ch gwaith chwi.
8 A phan glybu Asa y geiriau
hyn, a phroffwydoliaeth Oded y
proffwyd, efe a gryfhaodd, ac a fwr-
iodd ymaith y ffiaidd *eilunod* o holl
wlad Judah, a Benjamin, ac o'r holl
ddinasoedd a ennillasai efe o fyn-
ydd Ephraim, ac a adnewyddodd
allor yr Arglwydd, yr hon *oedd* o
flaen porth yr Arglwydd.
9 Ac efe a gynullodd holl Judah,
a Benjamin, a'r dyeithriaid gyda
hwynt, o Ephraim a Manasseh, ac
o Simeon: (canys hwy a syrthias-
ant ato ef yn aml o Israel, pan wel-
sant *fod* yr Arglwydd ei Dduw
gydag ef.)
10 Felly hwy a ymgynullasant i
Jerusalem, yn y trydydd mis, yn y
bymthegfed flwyddyn o deyrnasiad
Asa.
11 A hwy a aberthasant i'r Ar-
glwydd y dwthwn hwnw, o'r an-
rhaith a ddygasant, saith cant o
eidionau, a saith mil o ddefaid.
12 A hwy a aethant dan gyfam-
mod i geisio Arglwydd Dduw eu
tadau, â'u holl galon, ac â'u holl
enaid:
13 A phwy bynag ni cheisiai Ar-
glwydd Dduw Israel, fod ei roddi
ef i farwolaeth, yn fychan *ac* yn
fawr, yn ŵr *ac* yn wraig.
14 A hwy a dyngasant i'r Ar-
glwydd â llef uchel, ac â bloedd, âg
udgyrn hefyd, ac â thrwmpedau.
15 A holl Judah a lawenychasant
o herwydd y llw; canys â'u holl

wrth gyfarfod â gwrthwynebiadau; *canys y mae gwobr i'ch gwaith chwi*—cewch foddlonrwydd a chymeradwyaeth Duw, a buddugoliaeth ar eich holl elynion.

Adn. 8. *A phan glybu Asa y geiriau hyn*] O eiddo Azariah; *a phroffwydoliaeth Oded y proffwyd*—sef eiddo Azariah, yr hwn a elwir yma ar enw ei dad, adn. 1. Ond tybia rhai i'w dad ef draddodi proffwydoliaeth hefyd, er nad yw ar lawr yma. *Efe a gryfhaodd*—neu a wrolwyd yn ei benderfyniad duwiol; *ac a fwriodd ymaith y ffiaidd eilunod*—y rhai a elwir felly am eu bod yn ffiaidd yn ngolwg Duw a phob dyn da, a bod rhai o honynt o lun ffiaidd, ac yn cael eu haddoli gyda defodau ffiaidd; *o'r holl ddinasoedd a ennillasai efe o fynydd Ephraim*—pryd yr oedd yn gadfridog ond odid yn myddin Abia ei dad, pen. xiii. 19; *ac a adnewyddodd allor yr Arglwydd*—sef allor y poeth-offrwm, yr hon oedd wedi treulio trwy hir ddefnyddiad. Naill ai gwisgodd hi o'r newydd â phres, yr hyn ni wnaed o'r blaen er amser Solomon; neu ynte helaethodd hi, fel y gellid offrymu mwy o ebyrth arni ar unwaith: canys nis gallwn feddwl gyda rhai, ei bod hi wedi ei dryllio gan ei fam neu ei nain eilunaddolgar ef, ac nad offrymwyd un aberth arni i'r Arglwydd hyd y 15fed flwyddyn o deyrnasiad Asa, ac yntau yn ŵr mor selog dros wir addoliad Duw.

Adn. 9. *Ac efe a gynullodd holl Juda a Benjamin*] I aberthu rhan o'r anrhaith yn Jerusalem, ac i ymgyfammodi o'r newydd â'r Arglwydd; *a'r dyeithriaid gyda hwynt*—sef llawer o wŷr Ephraim, Manasse, a Simeon, y rhai a elwir yn 'ddyeithriaid,' am fod y tri llwyth hyny yn perthyn i frenhiniaeth Israel, ac yn ddeiliaid i Jeroboam a'i ganlynwyr. *Canys hwy a syrthiasant ato ef yn aml o Israel*—pan welsant ei fod yn llwyddiannus yn ei ryfeloedd, a bod llaw yr Arglwydd gydag ef yn mhob dim. Gallwn obeithio fod rhai yn dyfod ato ef er mwyn purdeb crefydd yn Juda, tra yr oedd ereill yn ymuno âg ef er mwyn llwyddiant bydol.

Adn. 10. *Yn y trydydd mis*] Sef mis *Sivan*, yn yr hwn y cynelid gŵyl y pentecost.

Adn. 11. *O'r anrhaith a ddygasant*] Oddiar Zerah a'i gynghreirwyr, pen. xiv. 13, 14; *saith cant o eidionau, a saith mil o ddefaid*—rhai yn offrwm dros gamwedd, a rhai yn ebyrth hedd, i dalu diolch am eu buddugoliaeth ddiweddar, ac i wledda arnynt ar wneuthuriad y cyfammod.

Adn. 12. *A hwy a aethant dan gyfammod*] Trwy dyngu i'r Arglwydd, a cherdded rhwng rhanau yr ebyrth, Gen. xv. 10; *i geisio Arglwydd Dduw eu tadau*—i addoli a gwasanaethu JEHOFA yn unig; *â'u holl galon ac â'u holl enaid*—yn ewyllysgar, gwresog, a diragrith; pob un drosto ei hun, ac oll yn nghyd fel un corff.

Adn. 13. *A phwy bynag ni cheisiai Arglwydd Dduw Israel*] A addolai dduwiau ereill, neu a wrthodai ymuno yn addoliad y gwir Dduw; hyny yw, pwy bynag a fyddai yn gyndyn eilunaddolwr, neu yn ddidduwiad ymarferol; *fod ei roddi ef i farwolaeth*—yn ol cyfraith Duw, Deut. xvii. 2—6; *yn fychan ac yn fawr, yn ŵr ac yn wraig*—pwy bynag fyddai, a pha beth bynag fyddai ei sefyllfa yn y byd. Nid oedd dim yn annghyfiawn yn hyn, trwy fod yr Arglwydd yn ei orchymyn, a hwythau wedi tyngu yn ewyllysgar a difrifol i gadwent hyn.

Adn. 14. *A hwy a dyngasant i'r Arglwydd â llef uchel, ac â bloedd*] I ddangos nad oedd arnynt gywilydd o'r llw hwn, yr hwn a wneid ganddynt yn ewyllysgar ac o'r galon; ac fel y byddai geiriau y llw yn eglur i bawb, y rhai a allent fod yn dystion yn erbyn eu gilydd os torai neb y llw a'r cyfammod hwn. *Âg udgyrn hefyd, ac â thrwmpedau*—yn arwydd o orfoledd mawr ar y fath achos pwysig.

Adn. 15. *A holl Juda a lawenychasant o herwydd y llw*] O herwydd cael cyfleusdra i wneyd peth ag yr oedd eu holl galon a'u holl ewyllys ynddo; *a hwy a'i cawsant ef*—a gawsant yr Arglwydd yn ei foddlonrwydd iddynt, a'i fendithion arnynt; *a'r Arglwydd*

galon y tyngasant, ac â'u holl ewyll-
ys y ceisiasant ef, a hwy a'i cawsant
ef: a'r Arglwydd a roddodd lon-
yddwch iddynt o amgylch.
16 ¶ A'r brenin Asa a symudodd
Maachah ei fam o *fod* yn frenhines;
o herwydd gwneuthur o honi ddelw
mewn llwyn: ac Asa a dorodd ei
delw hi, ac a'*i* drylliodd, ac a'*i*
llosgodd wrth afon Cidron.
17 Ond ni thynwyd ymaith yr
uchelfeydd o Israel: eto yr oedd
calon Asa yn berffaith ei ddydd-
iau ef.
18 ¶ Ac efe a ddyg i mewn i dŷ
yr Arglwydd yr hyn a gysegrasai
ei dad, a'r hyn a gysegrasai efe ei
hun, arian, ac aur, a llestri.
19 Ac ni bu ryfel *mwyach* hyd y
bymthegfed flwyddyn ar hugain o
deyrnasiad Asa.

## PENNOD XVI.

YN yr unfed flwyddyn ar bymtheg
ar hugain o deyrnasiad Asa, y
daeth Baasa brenin Israel i fyny yn
erbyn Judah, ac a adeiladodd Ram-
ah, fel na adawai i *neb* fyned allan
na dyfod i mewn at Asa brenin
Judah.
2 Yna Asa a ddyg allan arian, ac
aur, o drysorau tŷ yr Arglwydd, a
thŷ y brenin, ac a'*i* hanfonodd at
Benhadad brenin Syria, yr hwn
oedd yn trigo yn Damascus, gan
ddywedyd,
3 Cyfammod *sydd* rhyngof fi a
thi, fel *y bu* rhwng fy nhad i a'th
dad dithau: wele, anfonais atat
arian, ac aur; dos, tor dy gyfam-
mod â Baasa brenin Israel, fel y
cilio efe oddiwrthyf fi.
4 A Benhadad a wrandawodd ar
y brenin Asa, ac a anfonodd dy-
wysogion ei luoedd yn erbyn dinas-
oedd Israel, a hwy a darawsant
Ijon, a Dan, ac Abel-maim, a holl
drysor-ddinasoedd Naphtali.
5 A phan glybu Baasa *hyny*, efe
a beidiodd ag adeiladu Ramah, ac
a adawodd ei waith i sefyll.
6 Yna Asa y brenin a gymerth
holl Judah, a hwy a gludasant ym-
aith gerig Ramah, a'i choed, â'r
rhai yr adeiladai Baasa; ac a ad-
eiladodd â hwynt Geba, a Mispah.
7 ¶ Y pryd hwnw y daeth Han-
ani y gweledydd at Asa brenin
Judah, ac a ddywedodd wrtho, Gan
i ti roi dy bwys ar frenin Syria, ac
na roddaist dy bwys ar yr Arglwydd
dy Dduw, am hyny y diangodd llu
brenin Syria o'th law di.

---

*a roddodd lonyddwch iddynt o amgylch*—nid yn unig oddiwrth y deg llwyth, ond hefyd oddiwrth y cenhedloedd o'u hamgylch, am hir amser.

Adn. 16—18. *A'r brenin Asa a symudodd Maachah ei fam*] Neu yn hytrach ei *nain*, gwraig Rehoboam ei *daid*, pen. xi. 20: gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro ar 1 Bren. xv. 13—15.

Adn. 19. *Ac ni bu ryfel mwyach*] Rhwng Juda ac Israel; dim rhyfel gyhoeddus a chyffredinol, er fod rhyw ysgarmesâu bychain rhyngddynt yn fynych, 1 Bren. xv. 32; neu gall fod yr hyn a ddywedir yno yn cyfeirio at weddill ei oes, pen. xvi. 9; *hyd y bymthegfed flwyddyn ar hugain*—pryd y daeth Baasa, brenin Israel, i fyny yn erbyn Juda: gwel ar yr adnod nesaf.

PEN. XVI. Adn. 1. *Yn yr unfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain o deyrnasiad Asa*] Brenin Juda, *y daeth Baasa i fyny yn erbyn Juda*—ond pa fodd y gall hyny fod, gan i Baasa farw oddeutu y 26ain flwyddyn o deyrnasiad Asa? gwel 1 Bren. xv. 33, a xvi. 8. Tybir yn gyffredin, gan Gristionogion ac Iuddewon, fod yma wall o eiddo rhyw adysgrifenydd esgeulus, ac mai y 26ain o deyrnasiad Asa a ddylasai fod, ac nid y 36ain; yr hyn a allasai ddygwydd yn hawdd pryd y defnyddid llythyrenau Hebreig am rifiadau, a'r rhai hyny yn debyg iawn i'w gilydd. Ond tybia yr Archesgob Usher fod y 36 uchod i'w cyfrif er pan *ranwyd* y deyrnas yn amser Rehoboam taid Asa, ac i Baasa ddyfod i fyny yn erbyn Juda yn y 15fed flwyddyn o deyrnasiad Asa. *Ac a adeiladodd Ramah*—gwel ar 1 Bren. xv. 17.

Adn. 2—6. *Yna Asa a ddyg allan arian ac aur, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xv. 18—22.

Adn. 7. *Y pryd hwnw y daeth Hanani y gweledydd at Asa*] Ar ol iddo ef gyflogi brenin Syria i'w gynorthwyo, adn. 2. *Gan i ti roi dy bwys ar frenin Syria*—yr hwn oedd ddyn gwan ac eilunaddolgar, yn lle pwyso ar yr Arglwydd, yr hwn a'i cynorthwyasai ef mor hynod yn erbyn yr Ethiopiaid, pen. xiv. 9—15; *am hyny y diangodd llu brenin Syria o'th law di*—fel ag i fod yn ffrewyll drom i'th deyrnas a'th hiliogaeth o hyn allan. Pe gadawsai Asa i Benhadad brenin Syria barhau mewn cyfammod âg Israel, yn lle ei hudo i'w dori, adn. 3, daethai hwnw gyda Baasa yn erbyn Juda, a rhoddasai yr Arglwydd hwynt ill dau yn ei law ef; ond yn awr diangodd llu Benhadad megys o'i law ef, trwy gael eu prynu i'w gynorthwyo. Oni buasai hyny, gallasai brenin Juda chwanegu ei drysorau

8 Onid oedd yr Ethiopiaid a'r Lu-
biaid yn llu dirfawr, â cherbydau
ac â gwŷr meirch yn aml iawn?
ond am i ti roi dy bwys ar yr Ar-
glwydd, efe a'u rhoddodd hwynt yn
dy law di.
9 Canys y mae llygaid yr Ar-
glwydd yn edrych ar yr holl ddaear,
i'w ddangos ei hun yn gryf gyda'*r*
*rhai sydd* â'u calon yn berffaith tu-
ag ato ef. Ynfyd y gwnaethost yn
hyn; am hyny rhyfeloedd fydd i'th
erbyn o hyn allan.
10 Yna y digiodd Asa wrth y
gweledydd, ac a'i rhoddodd ef mewn
carchardy; canys *yr oedd efe* yn
ddigllawn wrtho am y *peth* hyn. Ac
Asa a orthrymodd *rai* o'r bobl y
pryd hwnw.
11 ¶ Ac wele, gweithredoedd
Asa, y rhai cyntaf a'r rhai diwedd-
af, wele, *y maent* yn ysgrifenedig
yn llyfr brenhinoedd Judah ac
Israel.
12 Ac Asa a glefychodd o'i draed
yn y bedwaredd flwyddyn ar bym-
theg ar hugain o'i deyrnasiad, nes
i'w glefyd *fyned* yn ddirfawr; eto
ni cheisiodd efe yr Arglwydd yn ei
glefyd, ond y meddygon.
13 ¶ Ac Asa a hunodd gyda'i
dadau, ac a fu farw yn yr unfed
flwyddyn a deugain o'i deyrnas-
iad.
14 A chladdasant ef yn ei fedd-
rod ei hun, yr hwn a wnaethai efe
iddo yn ninas Dafydd, a rhoddasant
ef i orwedd mewn gwely a lanwasid
â pheraroglau o amryw rywogaeth-
au, wedi eu gwneuthur trwy waith
apothecari; a hwy a gyneuasant
iddo ef gyneu mawr iawn.

---

trwy anrheithio y Syriaid, ac nid eu lleihau trwy eu cyflogi hwynt.

Adn. 8. *Onid oedd yr Ethiopiaid a'r Lubiaid yn llu dirfawr*] Yn filiwn o rifedi, heblaw 300 o gerbydau? gwel ar pen. xiv. 9, 10. *Ond am i ti roi dy bwys ar yr Arglwydd*—ac nid ymddiried y pryd hyny mewn braich o gnawd; *efe a'u rhoddodd hwynt yn dy law di*—ac felly y gwnaethai â Baasa a'r Syriaid y tro hwn, pe buasit yn rhoi dy bwys arno ef.

Adn. 9. *Canys y mae llygaid yr Arglwydd yn edrych ar yr holl ddaear*] Yn ei hollwybodaeth, ei ragluniaeth, a'i ddaioni; *i'w ddangos ei hun yn gryf gyda'r rhai sydd â'u calon yn berffaith*—yn blaid hollalluog i'r rhai sydd yn ei garu yn ddiffuant, ac yn ymbwyso arno; ac am hyny gallasai Asa ddysgwyl i'r Arglwydd ei ddangos ei hun yn gryf gydag ef, pe na chyflogasai efe y Syriaid i'w gynorthwyo. *Ynfyd y gwnaethost yn hyn*—wrth bwyso ar ddyn yn lle ar Dduw, a thrwy hyny niweidio dy achos yn hytrach na'i lesâu; *am hyny rhyfeloedd fydd i'th erbyn o hyn allan*—yn lle heddwch, yn gerydd ar dy ynfydrwydd: gwel ar 1 Bren. xv. 16.

Adn. 10. *Yna y digiodd Asa wrth y gweledydd*] Am iddo ei geryddu ef yn ffyddlon a di-dderbyn-wyneb; *ac a'i rhoddodd ef mewn carchardy*—neu yn 'nhŷ y cyffion,' er y gwyddai ei fod yn broffwyd i'r Arglwydd, ac yn genad dros Dduw ato ef; yr hyn oedd yn brawf arall o'i ynfydrwydd a'i bechod. *Ac Asa a orthrymodd rai o'r bobl*—trwy eu carcharu hwythau ond odid, am iddynt naill ai pleidio y proffwyd, neu feio Asa am ymgyfammodi â brenin Syria.

Adn. 11. *Y rhai cyntaf a'r rhai diweddaf*] Y rhai a wnaeth efe cyn myned i'r orsedd, yn gystal ag ar ol hyny; neu y gweithredoedd *da* a wnaethai efe yn nechre ei deyrnasiad, a'r rhai *drwg* a wnaed ganddo yn ei ddiwedd. *Llyfr brenhinoedd Juda ac Israel*—sef llyfr eu *cronicl* hwy: gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 12. *Ac Asa a glefychodd o'i draed*] A gystuddiwyd ond odid â'r droedwst *(gout)* am y ddwy flynedd ddiweddaf o'i fywyd. 'Rhoddodd ef y proffwyd yn y cyffion,' ebai Henry, 'ac yn awr rhoddodd Duw yntau yn y cyffion, ac felly yr oedd ei gosp yn cyfateb i'w bechod.' *Nes i'w glefyd fyned yn ddirfawr*—fel ag i achosi ei farwolaeth. Heb. 'nes i'w glefyd *ddyrchafu*,' sef codi i'w gylla neu ei ben, fel ag i fod yn angeuol iddo. *Eto ni cheisiodd efe yr Arglwydd yn ei glefyd, ond y meddygon*—nis gellid ei feio am geisio meddygon i esmwythâu ei boenau, pe ceisiasai efe yr Arglwydd hefyd. Dylasai gydnabod mai cosp arno ef am roddi traed y proffwyd yn y cyffion oedd hyn, a cheisio mewn gweddi am i'r Arglwydd ei symud; ond ni wnaeth hyny: a cheisio y meddygon, heb geisio yr Arglwydd, yw yn debygol yr hyn a feiir. Ond tybia rhai mai rhyw swynwyr clefydau o blith y Cenhedloedd oedd y 'meddygon' hyn; ac os felly yr oedd bai ar Asa am ymofyn â hwy, yn chwanegol at y bai o beidio ceisio yr Arglwydd.

Adn. 13. *Ac Asa a hunodd gyda'i dadau*] Bu yntau farw, yr un modd a'i dadau o'i flaen; canys nid yw angau yn arbed y brenin mwy na'i ddeiliaid, y cyfoethog mwy na'r tylawd, nac yn gwneuthur rhagor rhwng y duwiol a'r annuwiol.

Adn. 14 *A chladdasant ef yn ei feddrod ei hun*] Yr hwn a wnaethai efe iddo ei hun a'i deulu rywbryd yn ystod y ddwy flynedd o'i glefychiad; *yn ninas Dafydd*—yn yr un fynwent a'i dadau, er nad yn yr un bedd; *a rhoddasant ef i orwedd mewn gwely a lanwasid â pheraroglau*—gellir deall hyn, (1) Am ryw orweddle penodol iddo ei hun yn meddrod y teulu. (2) Am *rwysg-wely*, ar yr hwn y gorweddai ei gorff cyn ei gladdu. (3) Neu, fel y tybia rhai, am *grugfa* wedi ei gwneyd o bob

## PENNOD XVII.

A JEHOSAPHAT ei fab a deyrnasodd yn ei le ef, ac a ymgryfhaodd yn erbyn Israel.

2 Ac efe a roddodd fyddinoedd yn mhob un o gaerog ddinasoedd Judah, ac a roddes raglawiaid yn ngwlad Judah, ac yn ninasoedd Ephraim, y rhai a ennillasai ei dad ef.

3 A'r Arglwydd a fu gyda Jehosaphat, o herwydd iddo rodio yn ffyrdd cyntaf Dafydd ei dad, ac nad ymofynodd â Baalim:

4 Eithr Duw ei dad a geisiodd efe, ac yn ei orchymynion ef y rhodiodd, ac nid yn ol gweithredoedd Israel.

5 Am hyny yr Arglwydd a sicrhaodd y frenhiniaeth yn ei law ef; a holl Judah a roddasant anrhegion i Jehosaphat; ac yr ydoedd iddo olud ac anrhydedd yn helaeth.

6 Ac efe a ddyrchafodd ei galon yn ffyrdd yr Arglwydd: ac efe a fwriodd hefyd yr uchelfeydd a'r llwyni allan o Judah.

7 ¶ Hefyd yn y drydedd flwyddyn o'i deyrnasiad, efe a anfonodd at ei dywysogion, *sef* Benhail, ac Obadiah, a Zechariah, a Nethaneel, a Michaiah, i ddysgu yn ninasoedd Judah.

8 A chyda hwynt *yr anfonodd efe* Lefiaid, Semaiah, a Nethaniah, a Zebadiah, ac Asahel, a Semiramoth, a Jehonathan, ac Adoniah, a Thobiah, a Thob-adoniah, y Lefiaid; a chyda hwynt Elisama, a Jehoram, yr offeiriaid.

9 A hwy a ddysgasant yn Judah, a chyda hwynt *yr oedd* llyfr cyfraith yr Arglwydd: felly yr amgylchasant hwy holl ddinasoedd Judah, ac a ddysgasant y bobl.

---

math o goed pêrlysieuog, pa un, gyda chorff y brenin arni, a losgwyd yn lludw yn ol arferiad y Groegiaid, y Rhufeiniaid, a chenhedloedd ereill, ac yn ol gorchymyn y brenin ei hun. *Wedi eu gwneuthur trwy waith apothecari*—yn dysdyllio ac yn cymysgu sylweddau a suddion y cyfryw lysiau peraidd i'r perwyl hwnw. *A hwy a gyneuasant iddo ef gyneu mawr iawn*—yn yr hwn, fel y tybia Clarke ac ereill, y llosgwyd ei gorff ef yn lludw; neu ynte, yn ol arferiad yr Aifftiaid a chenhedloedd ereill, llosgwyd llawer o thus, myrr, calamus, cassia, &c., er anrhydedd i'r brenin ar ddydd ei gladdedigaeth.

PEN. XVII. Adn. 1. *A Jehosaphat ei fab a deyrnasodd yn ei le ef*] Yn lle Asa ei dad, ar ol ei farwolaeth ef; *ac a ymgryfhaodd yn erbyn Israel*—sef yn erbyn y deg llwyth ag oeddynt dan lywodraeth Ahab bellach er's oddeutu pedair blynedd.

Adn. 2. *Ac efe a roddodd fyddinoedd*] I gadw dinasoedd caerog Juda rhag ymosodiad Israel, neu ryw elynion ereill; *ac a roddes raglawiaid*—Saes. 'gwarchawd-luoedd,' i amddiffyn terfynau y wlad rhwng Juda ac Israel; *ac yn ninasoedd Ephraim*—gwel ar pen. xv. 8.

Adn. 3. *A'r Arglwydd a fu gyda Jehosaphat*] I'w gyfarwyddo, ei amddiffyn, a'i fendithio yn dymhorol ac ysbrydol; *o herwydd iddo rodio yn ffyrdd cyntaf Dafydd ei dad*—cyn iddo syrthio yn achos Urïas. Darfu i Jehosaphat ddylyn Dafydd cyn belled ag yr oedd yntau yn dylyn Duw, a dim yn mhellach. Ffyrdd cyntaf llawer o dduwiolion yw eu ffyrdd goraf, a'u cariad cyntaf yw eu cariad cryfaf: eithr nid felly y dylai fod; canys dylai ein gweithredoedd diweddaf fod yn 'fwy na'r rhai cyntaf,' Dat. ii. 19. Ond y mae y LXX yn gadael *Dafydd* allan, gan gyfeirio hyn at *Asa:* 'O herwydd iddo rodio yn ffyrdd cyntaf ei dad,' sef *Asa:* gwel pen. xx. 32. *Ac nad ymofynodd â Baalim*—megys yr ymofynai Ahab brenin Israel. Y mae y gair lluosog *Baalim* yn cyfeirio yma at bob eilun, oddiwrth yr oll o ba rai yr ymgadwodd Jehosaphat.

Adn. 4. *Eithr Duw ei dad a geisiodd efe*] Sef Duw Asa; canys ni throdd Asa erioed oddiwrth addoliad y gwir Dduw, er iddo golli ei le mewn pethau ereill.

Adn. 5. *A holl Juda a roddasant anrhegion i Jehosaphat*] I ddangos eu cariad ato a'u ffyddlondeb iddo, yr hyn oedd yn arferiad ar esgyniad brenin i'r orsedd, 1 Sam. x. 27.

Adn. 6. *Ac efe a ddyrchafodd ei galon*] Nid mewn balchder wrth gael 'golud ac anrhydedd yn helaeth,' eithr 'yn ffyrdd yr Arglwydd;' hyny yw, ymwrolodd mewn sel a dewrder dros Dduw a'i ffyrdd; *ac efe a fwriodd hefyd yr uchelfeydd*—y rhai a godwyd i eilunod, ond nid y rhai a godwyd i'r Arglwydd, pen. xx. 33.

Adn. 7, 8. *Efe a anfonodd at ei dywysogion*] Nid fe allai i beri i'r tywysogion droi yn ddysgawdwyr eu hunain, yr hyn oedd waith yr offeiriaid a'r Lefiaid; ond i beri iddynt hwy fynu gweled fod y bobl yn cael eu dysgu, a phleidio y dysgawdwyr trwy eu hawdurdod fel tywysogion. Ond tybia Clarke 'fod y *tywysogion* i addysgu y bobl yn natur y gyfraith wladol, a chyfansoddiad y deyrnas; y *Lefiaid,* yn mhob peth a berthynai i wasanaeth y deml, a'r ddeddf seremonïol; a'r *offeiriaid,* yn natur a dyben y grefydd a broffesent; ac felly fod y genedl yn cael eu haddysgu yn drwyadl yn eu dyledswydd i *Dduw,* i'r *brenin,* ac i'w *gilydd.*'

Adn. 9. *A hwy a ddysgasant yn Juda*]

10 ¶ Ac arswyd yr Arglwydd oedd ar holl deyrnasoedd y gwledydd *oedd* o amgylch Judah, fel nad ymladdasant hwy yn erbyn Jehosaphat.
11 A *rhai* o'r Philistiaid oedd yn dwyn i Jehosaphat anrhegion, a theyrnged o arian: yr Arabiaid hefyd oedd yn dwyn iddo ef ddeadelloedd, saith mil a saith cant o hyrddod, a saith mil a saith cant o fychod.
12 ¶ Felly Jehosaphat oedd yn myned rhagddo, ac yn cynyddu yn uchel; ac efe a adeiladodd yn Judah balasau, a dinasoedd trysorau.
13 A llawer o waith oedd ganddo ef yn ninasoedd Judah; a rhyfelwyr cedyrn nerthol yn Jerusalem.
14 A dyma eu rhifedi hwynt, yn ol tŷ eu tadau: O Judah yn dywysogion miloedd, *yr oedd* Adnah y penaf, a chydag ef dri chan mil *o wŷr* cedyrn nerthol.
15 A chêr ei law ef, Jehohanan y tywysog, a chydag ef ddau cant a phedwar ugain mil.
16 A cherllaw iddo ef, Amasiah, mab Zichri, yr hwn o'i wirfodd a ymroddodd i'r Arglwydd; a chydag ef ddau can mil *o wŷr* cedyrn nerthol.
17 Ac o Benjamin, *yr oedd* Eliada yn *ŵr* cadarn nerthol, a chydag ef ddau can mil yn arfogion â bwaau a tharianau.
18 A cherllaw iddo ef, Jehozabad, a chydag ef gant a phedwar ugain mil yn barod i ryfel.
19 Y rhai hyn oedd yn gwasanaethu y brenin, heblaw y rhai a roddasai y brenin yn y dinasoedd caerog, trwy holl Judah.

## PENNOD XVIII.

AC i Jehosaphat yr ydoedd golud ac anrhydedd yn helaeth; ac efe a ymgyfathrachodd âg Ahab.
2 Ac yn mhen *enyd* o flynyddoedd efe a aeth i waered at Ahab i Samaria. Ac Ahab a laddodd ddefaid a gwartheg lawer, iddo ef ac i'r bobl *oedd* gydag ef, ac a'i hannog-

---

Gan symud o ddinas i ddinas nes myned trwy holl ddinasoedd Juda; *a chyda hwynt yr oedd llyfr cyfraith yr Arglwydd*—sef pum llyfr Moses o leiaf, (1) Yn gyfarwyddyd iddynt hwy eu hunain pa beth i'w ddysgu i'r bobl; ac, (2) I argyhoeddi y bobl fod ganddynt awdurdod dwyfol dros yr hyn a ddysgent iddynt. Yma yr oedd yr *eglwys* a'r *wladwriaeth* yn cyduno i roddi addysg i'r werin. 'Gymaint o ddaioni a ellir ei wneuthur,' fel y sylwa Henry, 'pan y mae Moses ac Aaron yn myned fel hyn law yn llaw i'w wneuthur ef; pan y mae *tywysogion* gyda'u hawdurdod, a'r *offeiriaid* a'r *Lefiaid* gyda'u dysgeidiaeth ysgrythyrol, yn cyduno i addysgu y bobl yn y wybodaeth dda o Dduw a'u dyledswyddau!'

Adn. 10. *Ac arswyd yr Arglwydd oedd ar holl deyrnasoedd y gwledydd*] Y rhai a gasglent yn gyfiawn, oddiwrth dduwioldeb neillduol Jehosaphat, fod Duw yn blaid iddo; canys nis gallai hyd yn nod y cenhedloedd lai na gweled fod brenhinoedd Juda yn llwyddiannus, neu aflwyddiannus, yn ol fel y byddent yn gwasanaethu Duw neu yn ei adael ef. *Fel nad ymladdasant hwy yn erbyn Jehosaphat*—trwy i ragluniaeth dda Duw drefnu, tra yr oedd y tywysogion a'r offeiriaid yn addysgu ac yn diwygio y werin, na fyddai iddynt gael eu rhwystro yn y gwaith da hwnw gan neb o'u cymydogion.

Adn. 11. *A rhai o'r Philistiaid oedd yn dwyn i Jehosaphat anrhegion*] Neu roddion gwirfoddol, o barch iddo neu rhag ei ofn; *a theyrnged o arian*—canys yr oedd Philistiaid Gerar a'r dinasoedd oddiamgylch yn ddarostyngedig i Juda er amser Asa, pen. xiv. 14, ac o dan deyrnged iddynt er dyddiau Dafydd, ond eu bod yn esgeuluso ei thalu. *Yr Arabiaid hefyd*—y rhai yr oedd eu cyfoeth yn gynwysedig mewn anifeiliaid, a brynent heddwch a ffafr Jehosaphat â'u deadelloedd.

Adn. 12. *Felly Jehosaphat oedd yn myned rhagddo*] Yn cynyddu yn fawr mewn parch, cyfoeth, ac awdurdod; *ac efe a adeiladodd yn Juda balasau*—neu *gestyll*, fel y mae ar ymyl y ddalen, ac yn y Saesonaeg, er diogelwch i'w deyrnas; *a dinasoedd trysorau*—i gadw pob math o ymborth, ac arlwy rhyfel.

Adn. 13—19. *A llawer o waith oedd ganddo ef yn ninasoedd Juda*] Mewn cadarnhau yr adeiladau, a dysgu a diwygio y trigolion; *a rhyfelwyr cedyrn nerthol yn Jerusalem*—neu o amgylch iddi, oll yn cyraedd i 1,160,000, heblaw y rhyfelwyr ag oeddynt yn y dinasoedd caerog trwy holl Juda! Nid yw hyn yn anghredadwy; canys yr oedd llawer wedi ymgasglu ato ef o Israel, (pen. xv. 9,) ac yr oedd ei bobl ei hun yn amlhau yn ddirfawr, ac ni buasai rhyfeloedd difaol yn eu plith er's hir amser.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Ac i Jehosaphat yr ydoedd golud ac anrhydedd yn helaeth*] Fel y gwelsom yn y bennod flaenorol; *ac efe a ymgyfathrachodd âg Ahab*—brenin Israel, trwy gymeryd *Athaliah* ei ferch ef yn wraig i'w fab *Jehoram*, 2 Bren. viii. 18, 26.

Adn. 2. *Ac yn mhen enyd o flynyddoedd*] Sef yn 'y drydedd flwyddyn,' 1 Bren. xxii. 2.

odd ef i fyned i fyny *gydag ef* i Ra-
moth-Gilead.
3 Ac Ahab brenin Israel a ddy-
wedodd wrth Jehosaphat brenin
Judah, A âi di gyda mi i Ramoth-
Gilead? Yntau a ddywedodd wrtho,
*Yr ydwyf* fi fel tithau, a'm pobl i fel
dy bobl dithau, a *byddwn* gyda thi
yn y rhyfel.
4 ¶ Jehosaphat hefyd a ddywed-
odd wrth frenin Israel, Ymgyng-
hora, atolwg, heddyw â gair yr
Arglwydd.
5 Am hyny brenin Israel a gasgl-
odd o'r proffwydi bedwar cant o
wŷr, ac a ddywedodd wrthynt, A
awn ni yn erbyn Ramoth-Gilead i
ryfel, neu a beidiaf fi? Dywedasant
hwythau, Dos i fyny; canys Duw
a'*i* dyry yn llaw y brenin.
6 Ond Jehosaphat a ddywedodd,
Onid *oes* yma *un* proffwyd i'r Ar-
glwydd eto mwyach, fel yr ym-
gynghorem âg ef?
7 A brenin Israel a ddywedodd
wrth Jehosaphat, *Y mae* eto un gŵr
trwy yr hwn *y gallem* ymgynghori
â'r Arglwydd: ond y mae yn gâs
genyf fi ef: canys nid yw yn proff-
wydo i mi ddaioni, ond drygioni
erioed: efe *yw* Micheah mab Imla.
A dywedodd Jehosaphat, Na ddy-
weded y brenin felly.
8 A brenin Israel a alwodd ar un
o'i ystafellyddion, ac a ddywedodd,
Prysura Micheah mab Imla.
9 A brenin Israel a Jehosaphat
brenin Judah oeddynt yn eistedd
bob un ar ei deyrn-gadair, wedi eu
gwisgo mewn *brenhinol* wisgoedd,
eistedd yr oeddynt mewn llanerch
*wrth* ddrws porth Samaria; a'r holl
broffwydi oedd yn proffwydo ger eu
bron hwynt.
10 A Sedeciah mab Cenaanah a
wnaethai iddo ei hun gyrn heiyrn,
ac efe a ddywedodd, Fel hyn y dy-
wed yr Arglwydd, A'r rhai hyn y
corni di y Syriaid, nes i ti eu difa
hwynt.
11 A'r holl broffwydi oedd yn
proffwydo fel hyn, gan ddywedyd,
Dos i fyny i Ramoth-Gilead, a ffyna:
canys yr Arglwydd a'*i* dyry *hi* yn
llaw y brenin.
12 A'r genad a aethai i alw Mi-
cheah, a lefarodd wrtho ef, gan ddy-
wedyd, Wele eiriau y proffwydi yn
un air yn dda i'r brenin: bydded
gan hyny, atolwg, dy air dithau fel
un o'r rhai hyny, a dywed y goreu.
13 A Micheah a ddywedodd, *Fel
mai* byw yr Arglwydd, yr hyn a
ddywedo fy Nuw, hyny a lefaraf
fi.
14 A phan ddaeth efe at y brenin,
y brenin a ddywedodd wrtho, Mi-
cheah, a awn ni i ryfel yn erbyn
Ramoth-Gilead, neu a beidiaf fi?
Dywedodd yntau, Ewch i fyny, a
ffynwch, a rhoddir hwynt yn eich
llaw chwi.
15 A'r brenin a ddywedodd wrtho,
Pa sawl gwaith y'th dynghedaf di,
na leferech wrthyf fi ond gwirion-
edd yn enw yr Arglwydd?
16 Yna efe a ddywedodd, Gwel-
ais holl Israel yn wasgaredig ar y
mynyddoedd, fel defaid ni *byddai*
iddynt fugail. A dywedodd yr Ar-
glwydd, Nid *oes* feistr arnynt hwy;
dychweled pob un i'w dŷ ei hun
mewn tangnefedd.
17 (A brenin Israel a ddywedodd
wrth Jehosaphat, Oni ddywedais i
wrthyt, na phroffwydai efe ddaioni
i mi, ond drygioni?)
18 Yntau a ddywedodd, Gan hyny
gwrando air yr Arglwydd, Gwelais
yr Arglwydd yn eistedd ar ei or-
seddfa, a holl lu y nefoedd yn sefyll
ar ei ddeheulaw, ac *ar* ei law aswy.
19 A dywedodd yr Arglwydd,
Pwy a dwylla Ahab brenin Israel,
fel yr elo efe i fyny, ac y syrthio yn
Ramoth-Gilead? Ac un a lefarodd

---

*Ahab a laddodd ddefaid a gwartheg lawer*—i resawu Jehosaphat a'i osgorddlu ar yr ymweliad cyfeillgar hwn; *ac a'i hannogodd ef i fyned i fyny gydag ef i Ramoth-Gilead*—i'w chymeryd hi oddiar y Syriaid.

Adn. 3. *Yr ydwyf fi fel tithau, &c.*] Addawai Jehosaphat yn y fan, y byddai iddo ef a'i filwyr oll, yn wŷr traed a gwŷr meirch, gynorthwyo Ahab yn yr ymgyrch hwnw.

Adn. 4. *Ymgynghora, atolwg, heddyw â gair yr Arglwydd*] Ond yr oedd Jehosaphat ei hun wedi ymrwymo yn fyrbwyll i gynorthwyo Ahab, cyn son na meddwl am ymgynghori â'r Arglwydd, yr hyn oedd yn feius iawn ynddo.

Adn. 5—19. *Am hyny brenin Israel a gasglodd o'r proffwydi bedwar cant, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xxii. 6—20.

Adn. 20. *Yna ysbryd a aeth allan*] 'Yna ysbryd Naboth y Jezreeliad a ddaeth allan o

gan ddywedyd fel hyn, ac arall gan ddywedyd fel hyn.

20 Yna ysbryd a aeth allan, ac a safodd gerbron yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Myfi a'i twyllaf ef. A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Pa fodd?

21 Dywedodd yntau, Myfi a âf allan, ac a fyddaf yn ysbryd celwyddog yn ngenau ei holl broffwydi ef. A dywedodd *yr Arglwydd,* Twylli, a gorchfygi: dos allan, a gwna felly.

22 Ac yn awr wele yr Arglwydd a roddodd ysbryd celwyddog yn ngenau dy broffwydi hyn; a'r Arglwydd a lefarodd ddrwg am danat ti.

23 Yna Sedeciah mab Canaanah a nesâodd, ac a darawodd Micheah dan *ei* gern, ac a ddywedodd, Pa ffordd yr aeth ysbryd yr Arglwydd oddiwrthyf fi i ymddyddan â thydi?

24 A Micheah a ddywedodd, Wele, ti a gai weled y dwthwn hwnw, pan elych di o ystafell i ystafell i ymguddio.

25 A brenin Israel a ddywedodd, Cymerwch Micheah, a dygwch ef yn ol at Amon tywysog y ddinas, ac at Joas mab y brenin;

26 A dywedwch, Fel hyn y dywedodd y brenin, Rhowch hwn yn y carchardy, a bwydwch ef â bara cystudd, ac â dwfr blinder, nes i mi ddyfod eilwaith mewn heddwch.

27 Yna y dywedodd Micheah, Os gan ddychwelyd y dychweli di mewn heddwch, ni lefarodd yr Arglwydd ynof fi. Efe a ddywedodd hefyd, Gwrandewch *hyn,* yr holl bobl.

28 Felly brenin Israel a Jehosaphat brenin Judah a aethant i fyny i Ramoth-Gilead.

29 A brenin Israel a ddywedodd wrth Jehosaphat, Mi a newidiaf fy nillad, ac a âf i'r rhyfel; ond gwisg di dy ddillad. Felly brenin Israel a newidiodd ei ddillad, a hwy a aethant i'r rhyfel.

30 A brenin Syria a orchymynasai i dywysogion y cerbydau y rhai *oedd* ganddo ef, gan ddywedyd, Nac ymleddwch â bychan nac â mawr, ond â brenin Israel yn unig.

31 A phan welodd tywysogion y cerbydau Jehosaphat, hwy a ddywedasant, Brenin Israel *yw* efe. A hwy a droisant i ymladd yn ei erbyn ef: ond Jehosaphat a waeddodd, a'r Arglwydd a'i cynorthwyodd ef, a Duw a'u gyrodd hwynt oddiwrtho ef.

32 A phan welodd tywysogion y cerbydau nad brenin Israel oedd efe, hwy a ddychwelasant oddiar ei ol ef.

33 A *rhyw* ŵr a dynodd mewn bwa ar ei amcan, ac a darawodd frenin Israel rhwng cysylltiadau y llurig: am hyny efe a ddywedodd wrth ei gerbydwr, Tro dy law, a dwg fi allan o'r gâd; canys fe'm clwyfwyd i.

34 A'r rhyfel a gryfhaodd y dwthwn hwnw; a brenin Israel a gynelid yn *ei* gerbyd yn erbyn y Syriaid hyd yr hwyr: ac efe a fu farw yn nghylch machludiad haul.

## PENNOD XIX.

A JEHOSAPHAT brenin Judah a ddychwelodd i'w dŷ ei hun i Jerusalem mewn heddwch.

2 A Jehu mab Hanani y gweledydd, a aeth o'i flaen ef, ac a ddywedodd wrth y brenin Jehosaphat, Ai cynorthwyo yr annuwiol, a charu y rhai oedd yn casâu yr Arglwydd, a wnait ti? am hyn digofaint oddiwrth yr Arglwydd *sydd* arnat ti.

---

drigfa y cyfiawnion, ac a safodd gerbron yr Arglwydd, ac a ddywedodd wrtho, Myfi a'i twyllaf ef.'—*Targum.*

Adn. 21—34. *Ac a fyddaf yn ysbryd celwyddog yn ngenau ei holl broffwydi ef, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xxii. 22—35, lle y ceir yr un hanes wedi ei hegluro.

PEN. XIX. Adn. 1. *A Jehosaphat brenin Juda a ddychwelodd*] O'r rhyfel yn Ramoth-Gilead; *mewn heddwch*—yn iach a dianaf, er i Ahab gael ei ladd.

Adn. 2. *A Jehu mab Hanani y gweledydd*] Am *Jehu,* gwel 1 Bren. xvi. 1, &c.; ac am ei *dad,* gwel ar pen. xvi. 7, 10; *a aeth o'i flaen ef*—Saes. 'i *gyfarfod* âg ef,' pan yr oedd yn dychwelyd o'r rhyfel. Er i dad Jehu gael ei garcharu am geryddu tad Jehosaphat, eto nid attaliodd hyny ef rhag traethu ei genadwri yn ffyddlon dros Dduw. *Ai cynorthwyo yr annuwiol*—canys un felly oedd Ahab, yr hwn oedd yn eilunaddolwr, yn erlidiwr, yn draws-feddianwr, ac yn llofrudd; *a charu y rhai oedd yn casâu yr Arglwydd*—trwy

3 Er hyny pethau da a gafwyd
ynot ti; canys ti a dynaist ymaith y
llwyni o'r wlad, ac a barotoaist dy
galon i geisio Duw.
4 A Jehosaphat a drigodd yn Je-
rusalem: ac efe a aeth drachefn
trwy y bobl o Beerseba hyd fynydd
Ephraim, ac a'u dyg hwynt eil-
waith at Arglwydd Dduw eu tadau.
5 ¶ Ac efe a osododd farnwyr yn
y wlad, trwy holl ddinasoedd caer-
og Judah, o ddinas bwy gilydd;
6 Ac efe a ddywedodd wrth y
barnwyr, Edrychwch beth a wnel-
och: canys nid dros dyn yr ydych
yn barnu, ond dros yr Arglwydd;
ac *efe a fydd* gyda chwi wrth roddi
barn.
7 Yn awr gan hyny bydded ofn
yr Arglwydd arnoch chwi; gwyl-
iwch a gwnewch *hyny:* o herwydd
nid *oes* anwiredd gyda'r Arglwydd
ein Duw, na derbyn wyneb, na chy-
meryd gwobr.
8 ¶ A Jehosaphat a osododd hef-
yd yn Jerusalem *rai* o'r Lefiaid, ac
o'r offeiriaid, ac o benau tadau Is-
rael, *i drin* barnedigaethau yr Ar-
glwydd, ac amrafaelion, pan ddy-
chwelent i Jerusalem.
9 Ac efe a orchymynodd iddynt,
gan ddywedyd, Fel hyn y gwnewch
mewn ofn yr Arglwydd, mewn
ffyddlondeb, ac â chalon berffaith.
10 A pha amrafael bynag a ddel
atoch chwi oddiwrth eich brodyr, y

---

ymgyfathrachu â hwynt, a'u cynorthwyo yn y rhyfel! *Am hyn digofaint oddiwrth yr Arglwydd sydd arnat ti*—y mae Duw yn ddigllon wrthyt, ac efe a'th gerydda am dy bechod. Ac efe a wnaeth hyny mewn rhan, trwy oddef i'r Moabiaid, yr Ammoniaid, a thrigolion mynydd Seir, ddyfod i'w erbyn ef, pen. xx. 1; ac mewn rhan, trwy oddef i'w fab hynaf Jehoram ladd ei holl frodyr, pen. xxi. 4; ac yn benaf, trwy ddwyn y dinystr cyffredinol hwnw bron ar ei holl hiliogaeth ef, 2 Bren. ix. 27, a x. 13, 14, yr hyn oedd ffrwyth ei gyfathrach ef âg Ahab.

Adn. 3. *Er hyny pethau da a gafwyd ynot ti*] Megys tynu ymaith lwyni eilunaddoliaeth o'r wlad, a gosod ei galon i geisio y gwir Dduw ei hun, a pheri i'w bobl wneuthur hyny, fel y gwelwn isod.

Adn. 4. *A Jehosaphat a drigodd yn Jerusalem*] I ofalu am achosion ei deyrnas ei hun, heb fyned mwyach i Samaria i ymyraeth âg achosion Israel; *ac efe a aeth drachefn trwy y bobl*—cymerodd daith trwy ei deyrnas yn bersonol, megys y gwnaethai o'r blaen trwy ei dywysogion, pen. xvii. 7; *o Beerseba*—y terfyn deheuol, *hyd fynydd Ephraim*—yr hwn oedd terfyn gogleddol ei deyrnas ar ol i Israel a Juda fyned yn ddwy frenhiniaeth; *ac a'u dyg hwynt eilwaith at Arglwydd Dduw eu tadau*—oddiwrth eu heilunaddoliaeth. Y mae yn debyg i rai o'i bobl barhau yn eilunaddolwyr er holl ymdrech y tywysogion yn y diwygiad blaenorol; ac i ereill, wrth weled eu brenin mor gyfeillgar gydag eilunaddolwyr Samaria, droi yn ol oddiwrth addoliad y gwir Dduw: ac am hyny gwnaeth y brenin ei oraf, ac efe a lwyddodd i ryw raddau, i'w dwyn hwynt yn ol eilwaith at bur addoliad Duw.

Adn. 5. *Ac efe a osododd farnwyr yn y wlad*] Fel y byddai i gyfiawnder gael ei weinyddu hyd y gellid i bawb yn ei ddinas ei hun, heb orfod myned o flaen y cynghor mawr i Jerusalem.

Adn. 6. *Edrychwch beth a wneloch*] Byddwch ofalus i farnu yn gyfiawn yn ol y gyfraith, heb bleidgarwch na derbyn wyneb; *canys nid dros ddyn yr ydych yn barnu, ond dros yr Arglwydd*—yr ydych yn cynrychioli Duw, 'Barnwr pawb,' oddiwrth yr hwn, ac nid oddiwrth ddyn yn unig, y cawsoch eich awdurdod; ac yr ydych i weinyddu cyfiawnder nid yn unig er lles i ddyn, ond hefyd er gogoniant i Dduw; *ac efe a fydd gyda chwi wrth roddi barn*—i sylwi ar eich dedfryd, i fod yn dyst yn eich erbyn os rhoddwch farn annghyfiawn, ac i'ch amddiffyn rhag cynddaredd y rhai hyny ag y gall eich gweinyddiad cyfiawn eu cythruddo.

Adn. 7. *Yn awr gan hyny bydded ofn yr Arglwydd arnoch chwi*] I'ch cadw rhag gwneuthur annghyfiawnder mewn barn; *gwyliwch a gwnewch hyny*—sef rhoddi barn gyfiawn yn mhob achos, yn ol cyfraith Duw: *o herwydd nid oes anwiredd gyda'r Arglwydd*—yn ei natur na'i ffyrdd, yn ei gyfraith na'i ddedfryd; *na derbyn wyneb*—y cyfoethog na'r tylawd, yr uchel na'r isel; *na chymeryd gwobr*—am ŵyro barn: gwel ar Exod. xxiii. 8, Deut. xvi. 19. A chan eich bod chwi yn lle Duw, ac yn gwneuthur ei waith ef, ac yn gyfrifol iddo, dylech ei efelychu ef yn hyn.

Adn. 8. *A Jehosaphat a osododd hefyd yn Jerusalem*] A sefydlodd yno y SANHEDRIM, fel y tybia rhai, yr hon a wneid i fyny o Lefiaid, offeiriaid, a henuriaid Israel; *i drin barnedigaethau yr Arglwydd*—neu achosion yn perthyn i ddeddf ac addoliad Duw; *ac amrafaelion*—rhwng gŵr a gŵr; *pan ddychwelent i Jerusalem*—sef pan ddeuai y cyfryw amrafaelwyr i Jerusalem i gael barnu eu hachos; neu, pan ddychwelodd y brenin a'i osgordd i Jerusalem, efe a osododd y rhai uchod yn farnwyr yno megys y gosodasai efe ereill yn holl ddinasoedd y wlad. Ond yn lle 'pan *ddychwelent* i Jerusalem,' y mae'y LXX yn ei ddarllen, 'ac i farnu *trigolion* Jerusalem.'

Adn. 9. *Fel hyn y gwnewch mewn ofn yr Arglwydd*] O barch iddo, a rhag ofn ei ddigofaint ef; *mewn ffyddlondeb, ac â chalon berffaith*—gan gyhoeddi y ddedfryd hòno â'ch geneuau, yr hon y byddo eich cydwybodau yn ei barnu yn gyfiawn.

rhai sydd yn trigo yn eu dinasoedd, rhwng gwaed a gwaed, rhwng cyfraith a gorchymyn, deddfau a barnedigaethau, rhybyddiwch hwynt na throseddont yn erbyn yr Arglwydd, a bod digofaint arnoch chwi, ac ar eich brodyr: felly gwnewch, ac na throseddwch.

11 Ac wele, Amariah yr archoffeiriad *sydd* arnoch chwi yn mhob peth *a berthyn i'r* Arglwydd; a Zebadiah mab Ismael, blaenor tŷ Judah, yn mhob achos i'r brenin; a'r Lefiaid yn swyddogion ger eich bron chwi. Ymwrolwch, a gwnewch *hyny*, a'r Arglwydd fydd gyda'r daionus.

## PENNOD XX.

AC wedi hyn meibion Moab a meibion Ammon a ddaethant, a chyda hwynt *ereill* heblaw yr Ammoniaid, yn erbyn Jehosaphat, i ryfel.

2 Yna y deuwyd ac y mynegwyd i Jehosaphat, gan ddywedyd, Tyrfa fawr a ddaeth yn dy erbyn di o'r tuhwnt i'r môr, o Syria; ac wele *y maent* hwy yn Hasason-Tamar, hòno *yw* En-gedi.

3 A Jehosaphat a ofnodd, ac a ymroddodd i geisio yr Arglwydd; ac a gyhoeddodd ympryd trwy holl Judah.

4 A Judah a ymgasglasant i ofyn *cymhorth* gan yr Arglwydd: canys hwy a ddaethant o holl ddinasoedd Judah i geisio yr Arglwydd.

5 ¶ A Jehosaphat a safodd yn nghynulleidfa Judah a Jerusalem, yn nhŷ yr Arglwydd, o flaen y cyntedd newydd,

---

Adn. 10. *A pha amrafael bynag a ddel atoch chwi oddiwrth eich brodyr*] Oddiwrth yr îs-farnwyr yn llysoedd y wlad, pan nas gallo y rhai hyny ei benderfynu; *rhwng gwaed a gwaed*—rhwng perthynasau yn arddelwi yr un etifeddiaeth; neu mewn achosion o dywalltiad gwaed, pa un ai o fwriad ynte o ddamwain y bu hyny: gwel ar Deut. xvii. 8, &c. Yr oedd yr holl ddinasoedd noddfa, oddieithr Hebron, yn perthyn yn awr i frenhiniaeth Israel, fel ag yr oedd pob llofrudd y pryd hyn yn arferol o ffoi i gynteddau y deml, neu at gyrn yr allor; ac am hyny profid achos y cyfryw yn y llys yn Jerusalem. *Rhwng cyfraith a gorchymyn, &c.*—y rhai ni ddeallid yn iawn yn llysoedd y wlad, neu a groes-ddadleuid gan wahanol bersonau. *Rhybyddiwch hwynt na throseddont*—rhaid i chwi nid yn unig roddi dedfryd gyfiawn am yr hyn a aeth heibio, ond rhybyddio y troseddwyr ac ereill i fod yn fwy gofalus rhagllaw, a pheidio ymgyndynu yn erbyn y cyfreithiau ar ol eu hegluro iddynt yn y llys; *a bod digofaint arnoch chwi*—am beidio eu rhybyddio; *ac ar eich brodyr*—am ymgyndynu felly. *Felly y gwnewch, ac na throseddwch*—sef gwneyd yn ol y rheol uchod, heb ei throseddu. Saes., 'ac *ni* throseddwch:' ni fydd dim bai arnoch chwi os gwnewch fel y gorchymynir i chwi; ni thynwch euogrwydd na digofaint arnoch eich hunain nac ar ereill.

Adn. 11. *Yn mhob peth a berthyn i'r Arglwydd*] Yn yr holl achosion EGLWYSIG, Amariah yr archoffeiriad oedd i fod yn brif farnwr; *yn mhob achos i'r brenin*—sef yn yr holl achosion GWLADOL, Zebadiah, prif ynad y deyrnas, oedd i fod yn brif farnwr; *a'r Lefiaid yn swyddogion ger eich bron chwi*—i osod mewn gweithrediad y barnau a gyhoeddent hwy, neu i fod yn fath ar *gynghorwyr* iddynt yn y llysoedd gwladol ac eglwysig. *Ymwrolwch, a gwnewch hyny*—heb ofni gwyneb dyn; *a'r Arglwydd fydd gyda'r daionus*—i noddi a bendithio barnwyr da a chyfiawn yn eu gwaith.

PEN. XX. Adn. 1. *Ac wedi hyn meibion Moab a meibion Ammon*] Sef hiliogaeth Lot o'i ferched, Gen. xix. 37, 38; *a chyda hwynt ereill*—sef yr Edomiaid, trigolion mynydd Seir, adn. 10; *yn erbyn Jehosaphat i ryfel*—wedi eu hannog ond odid gan y Syriaid, o herwydd i Jehosaphat gynorthwyo Ahab yn eu herbyn hwy yn Ramoth-Gilead; ac yn hyn y cyflawnwyd mewn rhan eiriau y proffwyd, pen. xix. 2.

Adn. 2. *Tyrfa fawr a ddaeth yn dy erbyn di o'r tuhwnt i'r môr*] Sef y môr marw, lle yr oedd y Moabiaid a'r Ammoniaid yn cartrefu; *o Syria*—neu o *Edom*, fel y mae un o ysgriflyfrau Kennicott yn ei ddarllen, ac fel y tybia Clarke y dylai fod; canys nid ydym yn darllen am y *Syriaid* yn yr ymgyrch hwn gyda meibion Moab ac Ammon, eithr am yr *Edomiaid*, neu drigolion mynydd Seir, adn. 10. *Ac wele y maent hwy yn Hazazon-tamar*—neu *En-gedi*, yn ngwlad Juda, o du y gorllewin i'r môr marw.

Adn. 3. *A Jehosaphat a ofnodd*] Nid yn gymaint o herwydd nifer y gelynion, canys yr oedd ganddo ef ddigon o wŷr i'w cyfarfod hwynt, pen. xvii. 13—19; eithr yn benaf wrth gofio am ei euogrwydd ei hun, a digofaint bygythiedig Duw o'r herwydd, pen. xix. 2. *Ac a ymroddodd i geisio yr Arglwydd*—â'i holl galon; *ac a gyhoeddodd ympryd trwy holl Juda*—yn arwydd o'i ymostyngiad a'i edifeirwch diffuant am ei bechodau, ac i'w alluogi ef a'i bobl i fod yn fwy taer a difrifol yn eu gweddiau.

Adn. 4. *A Juda a ymgasglasant*] O'r holl ddinasoedd trwy y deyrnas; *i ofyn cymhorth gan yr Arglwydd*—ei nawdd a'i amddiffyniad ef rhag eu gelynion.

6 Ac a ddywedodd, O Arglwydd
Dduw ein tadau, onid *wyt* ti yn
Dduw yn y nefoedd, ac yn llywodr-
aethu ar holl deyrnasoedd y cen-
hedloedd; ac *onid* yn dy law di *y*
*mae* nerth a chadernid, fel nad oes
a ddichon dy wrthwynebu di?
7 Onid tydi ein Duw ni a yraist
ymaith breswylwyr y wlad hon o
flaen dy bobl Israel, ac a'i rhoddaist
hi i had Abraham dy garedigol yn
dragywydd?
8 A thrigasant ynddi, ac adeilad
asant i ti ynddi gysegr i'th enw,
gan ddywedyd,
9 *Pan* ddel niwed arnom ni, *sef*
cleddyf, barnedigaeth, neu haint y
nodau, neu newyn; os safwn o flaen
y tŷ hwn, a cher dy fron di, (canys
dy enw di *sydd* yn y tŷ hwn,) a
gwaeddi arnat yn ein cyfyngdra,
ti a wrandewi ac a'n gwaredi ni.
10 Ac yn awr wele feibion Am-
mon a Moab, a *thrigolion* mynydd
Seir, y rhai ni chaniateaist i Israel
fyned atynt, pan ddaethant o wlad
yr Aifft; ond hwy a droisant oddi-
wrthynt, ac ni ddyfethasant hwynt;
11 Eto wele hwynt-hwy yn talu i
ni, gan ddyfod i'n bwrw ni allan
o'th etifeddiaeth di, yr hon a wnaeth-
ost i ni ei hetifeddu.
12 O ein Duw ni, oni ferni di
hwynt? canys nid *oes* genym ni
nerth *i sefyll* o flaen y dyrfa fawr
hon sydd yn dyfod i'n herbyn; ac
ni wyddom ni beth a wnawn: ond
arnat ti *y mae* ein llygaid.
13 A holl Judah oedd yn sefyll
gerbron yr Arglwydd, â'u rhai
bach, eu gwragedd, a'u plant.
14 ¶ Yna ar Jahaziel mab Ze-

---

Adn. 5. *A Jehosaphat a safodd*] Yn nghanol trigolion Juda a Jerusalem, y rhai oeddynt yn awr wedi ymgynull o flaen y deml; *o flaen y cyntedd newydd*—sef cyntedd yr offeiriaid, yr hwn a elwir y 'cyntedd newydd,' am ei fod wedi cael ei *adnewyddu* yn ddiweddar, sef ar yr un pryd a'r allor. Tybia rhai fod y brenin yn sefyll yn nghyntedd y bobl, o flaen cyntedd yr offeiriaid.

Adn. 6. *Ac a ddywedodd*] Y weddi ardderchog ganlynol, 'heb ffurf nac unrhyw ragfyfyrdod,' meddai Clarke: ond nid oes sicrwydd am hyny; *O Arglwydd Dduw ein tadau*—sef Duw mewn CYFAMMOD â'u tadau a'u hiliogaeth; *onid wyt ti yn Dduw yn y nefoedd*—yr hyn nid yw un o dduwiau y cenhedloedd; *ac yn llywodraethu ar holl deyrnasoedd*—y ddaear ar yr un pryd, fel Brenin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi; *ac onid yn dy law di y mae nerth a chadernid*—fel na ddichon i neb, na phawb yn nghyd, wrthsefyll dy hollalluogrwydd!

Adn. 7. *A yraist ymaith breswylwyr y wlad hon*] Yn nyddiau Josua a'i ganlynwyr: a chan iddo yru ymaith y cenhedloedd yn amser eu tadau, o herwydd ei gyfammod â hwy, yr oedd yn ddadl gref dros iddo wneyd yr un peth â'r cenhedloedd hyn yn awr, gan ei fod yn Dduw mewn cyfammod â hwythau hefyd. *Ac a'i rhoddaist i had Abraham dy garedigol*—neu dy *gyfaill.* Rhoddaist hi i'r plant yn dragywydd er mwyn eu tad, ac ymrwymaist i fod yn Gyfaill iddynt hwy er ei fwyn ef. 'Caredigion ydynt oblegid y tadau,' Rhuf. xi. 28.

Adn. 8. *A thrigasant ynddi*] Am oesoedd lawer, er dyddiau Josua; *ac adeiladasant i ti ynddi gysegr*—sef y deml yn Jerusalem, o flaen yr hon yr oeddynt yn awr yn gweddio. Nid yw y brenin yn crybwyll hyn i arwyddo eu bod wedi haeddu dim oddiar law Duw trwy ei hadeiladu; ond y mae yn edrych arni fel gwystl o bresenoldeb grasol Duw gyda hwy, yr hyn a'i cefnogai i obeithio am gynorthwy dwyfol.

Adn. 9. *Pan ddel niwed arnom, &c.*] Gwel ar 1 Bren. viii. 33, &c.; *ti a wrandewi*—fel yr addawsai wrth Solomon, 1 Bren. ix. 3.

Adn. 10. *A thrigolion mynydd Seir*] Sef yr Edomiaid, hiliogaeth Esau; gwel ar adn. 1; *y rhai ni chaniateaist i Israel fyned atynt*—i'w haflonyddu: gwel ar Deut. ii. 4—19.

Adn. 11. *Eto wele hwynt-hwy yn talu i ni*] Neu yn 'talu *drwg* i ni,' fel y mae mewn chwech o ysgriflyfrau; *gan ddyfod i'n bwrw ni allan o'th etifeddiaeth di*—fel y gallont breswylio ynddi eu hunain. Efe a ddadleua anniolchgarwch ac annghyfiawnder ei elynion, ac a awgryma y byddai er gogoniant i Dduw fod iddo ymddangos yn eu herbyn. Yr oedd eu trosedd yn fwy, trwy eu bod yn cynyg yspeilio nid yn unig yr Israeliaid, ond hefyd Duw ei hun, yr hwn oedd gwir berchenog y tir, er fod Israel yn ei ddal ef dano.

Adn. 12. *O ein Duw ni, oni ferni di hwynt?*] Oni fydd i ti chwilio eu hachos, eu cael yn euog, a'u dedfrydu i gosp am eu hannghyfiawnder? Efe a apelia at gyfiawnder Duw, yr hwn yw noddfa y rhai a ddyoddefant gam. *Nid oes genym ni nerth i sefyll o flaen y dyrfa fawr hon*—ond pa fodd y dywedai ef felly, pan yr oedd ganddo 1,160,000 o 'ryfelwyr cedyrn nerthol yn Jerusalem?' pen. xvii. 13—19. Efe a anhyderai yn y fyddin fwyaf, ac a gyfaddefai nad oedd o ddim grym, os na fyddai Duw gyda hwy: gwel ar adn. 3. *Ac ni wyddom ni beth a wnawn*—pa un ai anturio allan yn erbyn eu gelynion, ai ynte eu cau eu hunain i fyny yn Jerusalem. *Ond arnat ti y mae ein llygaid*—am gyfarwyddyd pa beth i'w wneyd, ac am gymhorth a llwyddiant yn yr hyn a wnaent.

Adn. 13. *A holl Juda oedd yn sefyll gerbron yr Arglwydd*] Yn edrych tua'r cysegr

chariah, fab Benaiah, fab Jeiel, fab
Mattaniah, Lefiad o feibion Asaph,
y daeth Ysbryd yr Arglwydd yn
nghanol y gynulleidfa.
15 Ac efe a ddywedodd, Gwran-
dewch holl Judah, a thrigolion Je-
rusalem, a *thithau* frenin Jehosa-
phat, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
wrthych chwi, Nac ofnwch, ac na
ddigalonwch rhag y dyrfa fawr
hon: canys nid eiddoch chwi y
rhyfel, eithr eiddo Duw.
16 Y fory ewch i waered yn eu
herbyn hwynt; wele hwynt yn dy-
fod i fyny wrth riw Sis, a chwi a'u
goddiweddwch hwynt yn nghŵr yr
afon, tuag anialwch Jeruel.
17 Nid *rhaid* i chwi ymladd yn *y
rhyfel* hwn: sefwch yn llonydd, a
gwelwch ymwared yr Arglwydd
tuag atoch, O Judah, a Jerusalem:
nac ofnwch, ac na ddigalonwch:
ewch y fory allan yn eu herbyn
hwynt, a'r Arglwydd *fydd* gyda
chwi.
18 A Jehosaphat a ymgrymodd i
lawr ar ei wyneb: holl Judah hefyd
a holl drigolion Jerusalem a syrth-
iasant gerbron yr Arglwydd, gan
addoli yr Arglwydd.
19 A'r Lefiaid, o feibion y Co-
hathiaid, ac o feibion y Corhiaid, a
gyfodasant i foliannu Arglwydd
Dduw Israel â llef uchel ddyrch-
afedig.
20 ¶ A hwy a gyfodasant yn fore,
ac a aethant i anialwch Tecoa: ac
wrth fyned o honynt, Jehosaphat a
safodd, ac a ddywedodd, Gwran-
dewch fi, O Judah, a thrigolion
Jerusalem; Credwch yn yr Ar-
glwydd eich Duw, a chwi a sicr-
heir; coeliwch ei broffwydi ef, a
chwi a ffynwch.
21 Ac efe a ymgynghorodd â'r
bobl, ac a osododd gantorion i'r Ar-
glwydd, a rhai i foliannu prydferth-
wch santeiddrwydd, pan aent allan
o flaen y rhyfelwyr; ac i ddywedyd,
Clodforwch yr Arglwydd, o her-
wydd ei drugaredd *a bery* yn dra-
gywydd.

---

santeiddiolaf, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa, a'r Secina yn aros rhwng y cerubiaid; *â'u rhai bach*—neu eu babanod, yn nghyda'u gwragedd a'u plant. Yr oedd yr olwg ar eu gwragedd a'u plant yn eu cynhyrfu i weddiau taerach yn y cyfyngder a'r perygl hwn; ac yr oeddynt megys yn eu dangos i'r Arglwydd wrth weddio drostynt, gan obeithio y tosturiai yntau wrthynt i'w hamddiffyn a'u gwaredu.

Adn. 14. *Yna ar Jahaziel*] Yr hwn oedd Lefiad cyffredin o feibion Asaph yn nghanol y gynulleidfa, ac na fuasai ond odid yn broffwyd o'r blaen; *y daeth Ysbryd yr Arglwydd*—yn ysbryd proffwydoliaeth, i fynegu iddynt y caent fuddugoliaeth heb iddynt hwy ymladd dim.

Adn. 15. *Nac ofnwch*] Yr ydych wedi ofni yn ddigonol eisioes i'ch tueddu i geisio cymhorth gan yr Arglwydd; bellach na roddwch le i'r ofn hwnw a'ch gyrai chwi oddiwrtho ef; *ac na ddigalonwch*—yn yr olwg ar nifer a chryfder eich gelynion: *canys nid eiddoch chwi y rhyfel, eithr eiddo Duw*—ni fydd i Dduw gymaint a gwneuthur defnydd o honoch chwi yn maeddiad y dorf fawr hon; eithr bydd iddo ef ei hun gymeryd yr achos mewn llaw, a'ch gwaredu chwi, a'u dyfetha hwythau.

Adn. 16. *Y fory ewch i waered yn eu herbyn hwynt*] Canys byddai eu hympryd drosodd erbyn hyny; *wrth riw Sis*—lle oddeutu deg milldir o Jerusalem, ar y ffordd i En-gedi; *tuag anialwch Jeruel*—yn agos i Tecoa.

Adn. 17. *Nid rhaid i chwi ymladd*] Eithr yn unig myned allan mewn trefn filwraidd, sefyll yn llonydd, ac edrych ar yr Arglwydd yn ymladd drostynt yn ei ffordd ei hun.

Adn. 18. *A Jehosaphat a ymgrymodd*] Yn arwydd o barch i Dduw, ei grediniaeth o'r addewid, a'i ddiolchgarwch am drugaredd mor fawr: *holl Juda hefyd*—a wnaethant yr un peth, yn ol siampl eu brenin; *gan addoli yr Arglwydd*—â llef uchel ddyrchafedig, fel yr adroddir yn adn. 19.

Adn. 19. *A'r Lefiaid—a gyfodasant i foliannu yr Arglwydd*] Yn ol gorchymyn y brenin yn ddiamau, gan gwbl gredu gwirionedd y dystiolaeth; *â llef uchel ddyrchafedig*—yn cael ei gwneuthur â'u lleisiau ac â'u hoffer cerdd.

Adn. 20. *Gwrandewch fi*] Eich brenin, yn y cynghor ag yr ydwyf yn awr yn myned i'w draddodi: *Credwch yn yr Arglwydd eich Duw*—yn yr addewid a roddasai efe am fuddugoliaeth iddynt ar eu gelynion presenol; *a chwi a sicrheir*—nid yn unig mewn dewrder a gwrolder meddwl, eithr hefyd mewn diogelwch corfforol. *Coeliwch ei broffwydi ef*—nid yn unig Jahaziel, yr hwn a broffwydasai iddynt fuddugoliaeth yn yr ymgyrch hwn, ond hefyd ei holl wir broffwydi ef; *a chwi a ffynwch*—yn yr hyn oll yr ymafloch ynddo. Yr oedd y brenin yn gofalu yn fwy am i'w bobl gredu gair yr Arglwydd, nag am ddim arall; canys gwyddai mai ar hyny yr ymddibynai y fuddugoliaeth, ac y gallai eu hanghrediniaeth hwy attal y cyflawniad o'r addewid, Esay vii. 9.

Adn. 21. *Ac efe a ymgynghorodd â'r bobl*] Sef â'i brif swyddogion, y rhai oeddynt ei gynghorwyr rhyfel; *ac a osododd gantorion i'r Arglwydd*—y rhai oeddynt i fyned allan o flaen y rhyfelwyr, heb ddim ganddynt i'w wneuthur ond moliannu Duw, moliannu ei

22 ¶ Ac yn yr amser y dechreuas-
ant hwy y gân a'r moliant, y rhodd-
odd yr Arglwydd gynllwynwyr yn
erbyn meibion Ammon, Moab, a
*thrigolion* mynydd Seir, y rhai oedd
yn dyfod yn erbyn Judah; a hwy a
laddasant bawb eu gilydd.
23 Canys meibion Ammon a Moab
a gyfodasant yn erbyn trigolion
mynydd Seir, i'w difrodi, ac i'w
dyfetha *hwynt:* a phan orphenasant
hwy drigolion Seir, hwy a helpias-
ant ddyfetha pawb eu gilydd.
24 A phan ddaeth Judah hyd
Mispah yn yr anialwch, hwy a ed-
rychasant ar y dyrfa, ac wele hwynt
yn gelaneddau meirwon yn gorwedd
ar y ddaear, ac heb *un* diangol.
25 A phan ddaeth Jehosaphat a'i
bobl i ysglyfaethu eu hyspail hwynt,
hwy a gawsant yn eu mysg hwy
lawer o olud, gyda'r cyrff meirw, a
thlysau dymunol (yr hyn a ysglyf-
aethasant iddynt) beth anfeidrol: a
thridiau y buant yn ysglyfaethu yr
yspail; canys mawr *oedd.*
26 ¶ Ac ar y pedwarydd dydd
yr ymgynullasant i ddyffryn y fen-
dith; canys yno y bendithiasant yr
Arglwydd: am hyny y gelwir enw
y fan hòno, Dyffryn y fendith hyd
heddyw.
27 Yna y dychwelodd holl wŷr
Judah a Jerusalem, a Jehosaphat
yn flaenor iddynt, i fyned yn eu hol i
Jerusalem mewn llawenydd; canys
yr Arglwydd a roddasai lawenydd
iddynt hwy ar eu gelynion.

---

santeiddrwydd, yr hyn yw ei brydferthwch ef; ïe, ei foliannu ef gyda'r hen fawl-odl dda hòno, 'yr hon ni fydd i dragwyddoldeb ei hun,' fel y sylwa Henry, 'ei threulio allan, CLODFORWCH YR ARGLWYDD, O HERWYDD EI DRUGAREDD A BERY YN DRAGYWYDD:' gwel ar pen. vii. 3, 6. Trwy y mynediad hynod hwn i faes y gwaed, danghosai Jehosaphat ei ymorphwysiad diysgog ar addewid Duw trwy enau ei broffwyd, yr hyn a'i galluogodd ef i ymorfoleddu cyn brwydro, gwroli ei filwyr ei hun, a dyrysu y gelyn.

Adn. 22. *Ac yn yr amser y dechreuas-ant hwy y gân a'r moliant*] Hyny yw, cyn gynted ag y dechreuasant ganu a moliannu yn nghlywedigaeth eu gelynion; *rhoddodd yr Arglwydd gynllwynwyr*—(1) Tybia GILL mai *angylion* a ddefnyddiodd Duw, y rhai a syrthiasant ar elynion Juda. (2) Tybia PATRICK mai y gwŷr a osodwyd ganddynt hwy eu hunain i gynllwyn yn erbyn Juda, a syrthiasant mewn camgymeriad, dan effaith dylanwad Duw, ar ran o'u byddin eu hunain, gan feddwl mai gwŷr Juda oeddynt. (3) A thybia ereill i Dduw beri eiddigedd a gelyniaeth yn mhlith y Moabiaid, yr Ammoniaid, a'r Edomiaid, fel y troisant yn fradwyr a chynllwynwyr i'w gilydd, gan gyfodi yn erbyn eu gilydd, yn lle yn erbyn Juda. Pwy bynag a feddylir wrth y cynllwynwyr, o Dduw yr oedd y peth; ac fel hyn efe a ymladdodd dros Jehosaphat a'i wŷr, heb iddynt hwy ymladd dim, adn. 17.

Adn. 23. *I'w difrodi ac i'w dyfetha hwynt*] Oblegid y fradwriaeth a'r lladdfa a wnaed gan yr Edomiaid yn mhlith yr Ammoniaid a'r Moabiaid; ac wedi iddynt ddifrodi a lladd yr Edomiaid, *hwy a helpiasant ddyfetha pawb eu gilydd*—trwy fod pob un, yn ei ddyryswch a'i derfysg meddwl, yn tybied mai *Edomiad* neu *Iuddew* oedd y llall: gwel siampl o hyn yn Barn. vii. 22.

Adn. 24. *A phan ddaeth Juda hyd Mispah*] Saes., hyd y 'tŵr gwyliadwriaeth yn yr anialwch,' yr hwn ond odid oedd ar ben 'rhiw Sis,' adn. 16; *wele hwynt yn gelaneddau meirwon*—fel dom ar wyneb y ddaear, heb un yn fyw i gynyg ymladd â hwy!

Adn. 25. *Hwy a gawsant yn eu mysg hwy lawer o olud*] Sef aur ac arian, â'r rhai y bwriadent nid yn unig dalu cyflogau eu milwyr eu hunain, ond hefyd lwgr-wobrwyo rhai o swyddogion Jehosaphat, fel y gwelent achos; *a thlysau dymunol*—yn addurniadau ar eu gwisgoedd, ac ar ranau o'u cyrff, yn ol arferiad y dwyreinwyr; *beth anfeidrol*—Saes., 'fwy nag a allent eu dwyn ymaith:' *a thridiau y buant yn ysglyfaethu yr yspail*—yn dyosg y cyrff, ac yn casglu y tlysau oddiam danynt, gan mor lluosog oeddynt. Gwelwn yma mor oludog o drugaredd yw Duw i'r rhai a alwant arno mewn gwirionedd! Gweddiodd Jehosaphat am iddynt gael eu gwaredu rhag cael eu hyspeilio gan eu gelynion; ac nid yn unig gwnaeth Duw hyny, ond cyfoethogodd hwy âg yspail y gelyn. Yn awr yr oedd yn amlwg beth oedd dyben Duw yn dwyn y fyddin fawr hon yn erbyn Juda, sef i'w 'darostwng hwynt, a'u profi, a gwneuthur daioni iddynt yn y diwedd,' Deut. viii. 16. Yr oedd hyn oll yn ymddangos ar y cyntaf fel aflonyddwch i ddiwygiad Juda, ond trôdd allan yn wobr iddo.

Adn. 26. *I ddyffryn y fendith*] Saes., 'dyffryn *Berachah*,' ystyr yr hwn yw *bendith;* pa enw a roddasant iddo o herwydd gwaith y dydd. *Canys yno y bendithiasant yr Arglwydd*—cydnabuasant mai oddiwrth yr Arglwydd y cawsant y fuddugoliaeth a'r yspail fawr hon, a bendithiasant ef am ei drugaredd ryfedd iddynt. Cadwasant y pedwarydd dydd hwn yn ddydd o ddiolchgarwch, megys y cadwasent un o'r dyddiau o'r blaen yn ddydd o ympryd a gweddi.

Adn. 27. *Yna y dychwelodd holl wŷr Juda*] Mewn gorymdaith filwraidd reolaidd, a Jehosaphat yn cerdded o'u blaen, neu yn gadfridog arnynt, fel y byddai i drigolion y wlad, wrth iddynt fyned rhagddynt tua Jerusalem, ymuno â hwy yn eu llawenydd a'u moliant.

Adn. 28. *I dŷ yr Arglwydd*] I foliannu a

28 A hwy a ddaethant i Jerusalem
â nablau, a thelynau, ac udgyrn, i
dŷ yr Arglwydd.
29 Ac ofn Duw oedd ar holl deyrn-
asoedd y ddaear, pan glywsant hwy
fel y rhyfelasai yr Arglwydd yn
erbyn gelynion Israel.
30 Felly teyrnas Jehosaphat a
gafodd lonydd: canys ei Dduw a
roddodd iddo lonyddwch o amgylch.
31 ¶ A Jehosaphat a deyrnasodd
ar Judah: mab pymtheng mlwydd
ar hugain *oedd efe* pan ddechreuodd
deyrnasu, a phum mlynedd ar hug-
ain y teyrnasodd efe yn Jerusalem:
ac enw ei fam ef *oedd* Azubah merch
Silhi.
32 Ac efe a rodiodd yn ffordd Asa
ei dad, ac ni chiliodd oddiwrthi,
gan wneuthur yr hyn *oedd* uniawn
yn ngolwg yr Arglwydd.
33 Er hyny ni thynwyd yr uchel-
feydd ymaith: canys ni pharotoisai
y bobl eu calon eto at Dduw eu
tadau.
34 A'r rhan arall o'r gweithred-
oedd cyntaf a diweddaf i Jehosaphat,
wele hwy yn ysgrifenedig yn mysg
geiriau Jehu mab Hanani, yr hwn
y crybwyllir am dano yn llyfr bren-
hinoedd Israel.
35 ¶ Ac wedi hyn Jehosaphat
brenin Judah a ymgyfeillodd âg
Ahaziah brenin Israel, yr hwn a
ymroddasai i ddrygioni.
36 Ac efe a unodd âg ef a'r
wneuthur llongau i fyned i Tarsis:
a gwnaethant y llongau yn Esion-
gaber.
37 Yna Eliezer mab Dodafah o
Maresah a broffwydodd yn erbyn
Jehosaphat, gan ddywedyd, O her-
wydd i ti ymgyfeillachu âg Ahaziah,
yr Arglwydd a ddrylliodd dy waith
di. A'r llongau a ddrylliwyd fel
na allasant fyned i Tarsis.

## PENNOD XXI.

A JEHOSAPHAT a hunodd gyda'i
dadau, ac a gladdwyd gyda'i
dadau yn ninas Dafydd. A Jehoram
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
2 Ac iddo ef *yr oedd* brodyr,
meibion Jehosaphat; Azariah, a
Jehiel, a Zechariah, ac Azariah, a
Michael, a Sephatiah: y rhai hyn
oll *oedd* feibion Jehosaphat brenin
Israel.
3 A'u tad a roddodd iddynt rodd-
ion lawer, o arian, ac aur, a gwerth-
fawr bethau, gyda dinasoedd caerog
yn Judah: ond efe a roddodd y
frenhiniaeth i Jehoram, canys efe
*oedd* y cyntafanedig.
4 A Jehoram a gyfododd ar fren-
hiniaeth ei dad, ac a ymgadarnha-
odd, ac a laddodd ei holl frodyr â'r
cleddyf, a *rhai* hefyd o dywysogion
Israel.

---

bendithio yr Arglwydd yno, lle y buasent o'r blaen yn gweddio arno, adn. 5. Rhaid i foliannu Duw am ei drugareddau fod yn waith parhaus i ni yma, yn yr hwn y gobeithiwn dreulio tragwyddoldeb, ac nid yn waith un diwrnod yn unig; a rhaid i ni wneyd hyny nid yn unig ar y maes, neu yn ein tai ein hunain, ond hefyd yn nhŷ yr Arglwydd.

Adn. 29. *Ac ofn Duw oedd ar holl deyrnasoedd y ddaear*] Y rhai oeddynt gyfagos, neu a glywsent am ddifrod gelynion Israel. Ofnent aflonyddu addolwyr Duw, yr hwn a allai waredu ei bobl mewn modd mor hynod.

Adn. 30. *Felly teyrnas Jehosaphat a gafodd lonydd*] Heb ddim terfysg mewnol yn mhlith ei ddeiliaid, nac ymosodiadau allanol oddiwrth y cenhedloedd oddiamgylch.

Adn. 31—37. *A Jehosaphat a deyrnasodd ar Juda, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro ar 1 Bren. xxii. 41—49.

PEN. XXI. Adn. 1. *A Jehosaphat a hunodd gyda'i dadau, &c.*] Gwel ar 1 Bren. xxii. 50.

Adn. 2. *Ac iddo ef*] Sef Jehoram, yr hwn a ganlynodd ei dad yn y frenhiniaeth; *yr oedd brodyr*—sef y chwech a enwir yma. Y mae y pedwarydd mab yn cael ei alw *Azariahu* yn yr Hebraeg, i'w wahaniaethu oddiwrth y cyntaf. *Y rhai hyn oll oedd feibion Jehosaphat brenin Israel*—neu 'frenin *Juda*,' fel y mae mewn 38 o ysgriflyfrau Hebreig Kennicott a De Rossi, ac yn y cyfieithiadau Syriaidd, Arabaidd, Groeg, a Lladin. Gwyddom oll mai brenin *Juda* oedd Jehosaphat, ac na bu efe erioed yn teyrnasu ar *Israel*.

Adn. 3. *A'u tad a roddodd iddynt roddion lawer*] I'w cynal yn anrhydeddus fel tywysogion; *gyda dinasoedd caerog*—iddynt gael llywodraeth drostynt fel rhaglawiaid: *ond efe a roddodd y frenhiniaeth i Jehoram*—am ei fod yn etifedd y goron fel y cyntafanedig, er na chedwid y rheol hon bob amser.

Adn. 4. *A Jehoram a gyfododd ar frenhiniaeth ei dad*] Saes., 'pan gyfododd Jehoram i frenhiniaeth ei dad,' neu i deyrnasu ei hunan ar ol marw ei dad; canys ymddengys iddo fod yn cyd-deyrnasu â'i dad am ryw hyd yn ystod ei fywyd ef: gwel ar 2 Bren. i. 17, a viii. 16, 17. *Ac a ymgadarnhaodd*—neu a

5 ¶ Mab deuddeng mlwydd ar
hugain *oedd* Jehoram pan ddechreu-
odd efe deyrnasu, ac wyth mlynedd
y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
6 Ac efe a rodiodd yn ffordd bren-
hinoedd Israel, fel y gwnelsai tŷ
Ahab; canys merch Ahab oedd
wraig iddo: ac efe a wnaeth yr hyn
*oedd* ddrwg yngolwg yr Arglwydd.
7 Ond ni fynai yr Arglwydd ddy-
fetha tŷ Dafydd, er mwyn y cyfam-
mod a ammodasai efe â Dafydd, fel
y dywedasai, y rhoddai efe iddo
oleuni ac i'w feibion byth.
8 ¶ Yn ei ddyddiau ef y gwrth-
ryfelodd Edom odditan law Judah,
ac y gosodasant frenin arnynt eu
hun.
9 A Jehoram a aeth allan, a'i dy-
wysogion, a'i holl gerbydau gydag
ef: ac efe a gyfododd liw nos, ac a
darawodd yr Edomiaid, y rhai oedd
yn ei amgylchu ef, a thywysogion y
cerbydau.
10 Felly Edom a wrthryfelodd
odditan law Judah hyd y dydd hwn:
a gwrthryfelodd Libnah y pryd
hwnw odditan ei law ef; o herwydd
iddo ymwrthod âg Arglwydd Dduw
ei dadau.
11 Efe hefyd a wnaeth uchel-
feydd yn mynyddoedd Judah, ac a
wnaeth i drigolion Jerusalem but-
einio, ac a gymhellodd Judah *i hyny.*
12 ¶ A daeth ysgrifen oddiwrth
Elias y proffwyd ato ef, gan ddy-
wedyd, Fel hyn y dywed Arglwydd
Dduw Dafydd dy dad, O herwydd
na rodiaist ti yn ffyrdd Jehosaphat
dy dad, nac yn ffyrdd Asa brenin
Judah;
13 Eithr rhodio o honot yn ffordd
brenhinoedd Israel, a gwneuthur o
honot i Judah ac i drigolion Jeru-
salem buteinio, fel y puteiniodd tŷ
Ahab, a lladd o honot dy frodyr
hefyd *o* dŷ dy dad, y rhai *oedd* well
na thydi:
14 Wele, yr Arglwydd a dery â
phla mawr dy bobl di, a'th blant,
a'th wragedd, a'th holl olud.
15 A thi *a gai* glefyd mawr, clefyd

---

'galedodd ei galon,' fel yr arwydda y gair *chazak* yn fynych; *ac a laddodd ei holl frodyr*—rhag iddynt godi i'w ddiorseddu ef, neu i gael eu cyfoeth i'w feddiant ei hun; *a rhai hefyd o dywysogion Israel*—y rhai, o wir gariad at Dduw a'i grefydd, a adawsant eu meddiannau yn nheyrnas Israel, ac a ymgorfforasant dan frenhiniaeth Juda er mwyn y deml a'i gwasanaeth. Efe a laddodd y rhai olaf hyn am iddynt feiddio dywedyd yn ei erbyn ef am ladd ei frodyr, neu rhag iddynt ei wrthwynebu ef yn sefydliad eilunaddoliaeth yn y wlad.

Adn. 5—10. *Mab deuddeng mlwydd ar hugain oedd Jehoram, &c.*] Gwel y sylwadau ar 2 Bren. viii. 17—22.

Adn. 11. *Efe hefyd a wnaeth uchelfeydd*] Sef temlau ac allorau i eilunod; *ac a wnaeth i drigolion Jerusalem buteinio*—neu eilunaddoli, yr hyn oedd yn buteindra ysbrydol oddiwrth eu Duw cyfammodol; *ac a gymhellodd*—neu a *orfododd* holl Juda i gofleidio eilunaddoliaeth, trwy fygythion, erlidiau, a dirwyon ond odid. Hyn oedd effaith ei briodas anghydmharus ef âg *Athaliah*, merch Ahab a Jezebel eilunaddolgar.

Adn. 12. *A daeth ysgrifen oddiwrth Elias y proffwyd ato ef*] Y mae yn amlwg oddiwrth 2 Bren. ii. 11, a iii. 11, 12, fod Elias wedi ei symud i'r nefoedd yn nheyrnasiad Jehosaphat, tad Jehoram: pa fodd gan hyny y gallai ef anfon llythyr at y mab? (1) Dywed rhai, gyda JOSEPHUS a'r LXX, iddo ei anfon ef o'r nefoedd gydag angel. (2) Ereill, gyda KIMCHI, iddo trwy ysbryd proffwydoliaeth ragweled y gwrthgiliad hwn o eiddo Jehoram, a gadael y llythyr yn llaw Eliseus i'w anfon iddo pan gymerai y gwrthgiliad le, fel y cai fwy o argraff ar ei feddwl. (3) Ereill, gyda BENSON, fod *Elias* yn cael ei roddi yma am *Eliseus.* (4) Ereill, gyda LIGHTFOOT, mai nid yr un oedd yr Elias hwn a'r hwn a symudesid, ond rhyw broffwyd arall o'r un enw. (5) Ac ereill a dybiant, gan na bu *farw* Elias, eithr ei *symud*, ei fod ef fyth yn y *corff*, ac iddo anfon y llythyr hwn o'r ddirgelfa hòno lle y cuddiesid ef gan yr Hollalluog. Myn DR. KENNICOTT mai *Eliseus* a'i hysgrifenodd, am fod *Elias* wedi ei symud i'r nef *dair blynedd ar ddeg* cyn hyn. Modd bynag, y mae yr holl ysgriflyfrau a'r cyfieithiadau yn darllen *Elias;* a'r ystyr tebycaf i fod yn gywir, yn fy marn i, yw yr *ail* uchod. *Fel hyny y dywed Arglwydd Dduw Dafydd dy dad*—ac nid ei Arglwydd Dduw *ef;* canys yr oedd ef wedi gwrthod Duw Dafydd, a throi o ffyrdd duwiol ei dad a'i daid, gan rodio yn ffyrdd eilunaddolgar brenhinoedd Israel.

Adn. 13. *Y rhai oedd well na thydi*] Yn fwy diniwed, cyfiawn, a duwiol, ac yn addasach i'r orsedd. Awgrymir yma fod ei frodyr yn ddynion yn ofni Duw, ac yn casâu eilunod: ac os felly, yr oedd ei bechod yn fwy anfad, trwy ei fod yn tarddu oddiar elyniaeth at Dduw, yn gystal ag atynt hwythau.

Adn. 14. *Wele, yr Arglwydd a dery â phla mawr*] Neu 'â *drygau* mawr,' y rhai a enwir yn adn. 16, 17; a thybia rhai i'r Arglwydd roddi rhyw *bla* arnynt hefyd. *Dy bobl di*—neu ei ddeiliaid, am eu bod yn euog o'r un eilunaddoliaeth; *a'th blant, a'th wragedd, a'th holl olud*—trwy gaethgludo

o'th ymysgaroedd, nes myned o'th
goluddion allan gan y clefyd, o
ddydd i ddydd.
16 ¶ Felly yr Arglwydd a gy-
ffrôdd yn erbyn Jehoram ysbryd y
Philistiaid, a'r Arabiaid, y rhai
*oedd* gerllaw yr Ethiopiaid.
17 A hwy a ddaethant i fyny i
Judah, ac a'i drylliasant hi, ac a
gaethgludasant yr holl gyfoeth a
gafwyd yn nhŷ y brenin, a'i feibion
hefyd a'i wragedd; fel na adawyd
mab iddo, ond Jehoahaz yr ieuangaf
o'i feibion.
18 ¶ Ac wedi hyn oll yr Ar-
glwydd a'i tarawodd ef yn ei ymys-
garoedd â chlefyd anaele.
19 A bu, ar ol talm o ddyddiau,
ac wedi darfod yspaid dwy flynedd,
ei ymysgaroedd ef a aeth allan gan
ei glefyd: felly y bu efe farw o
glefydau drwg. A'i bobl ni wnaeth-
ant iddo gyneu, megys cyneu ei
dadau.
20 Mab deuddeng mlwydd ar
hugain oedd efe pan ddechreuodd
efe deyrnasu, ac wyth mlynedd y
teyrnasodd efe yn Jerusalem; ac
efe a ymadawodd heb hiraeth *am
dano:* a chladdasant ef yn ninas
Dafydd, ond nid yn meddrod y
brenhinoedd.

## PENNOD XXII.

A THRIGOLION Jerusalem a
urddasant Ahaziah ei fab ieu-
angaf ef yn frenin yn ei le ef: canys
y fyddin a ddelsai gyda'r Arabiaid
i'r gwersyll, a laddasai y rhai hynaf
oll. Felly Ahaziah mab Jehoram
brenin Judah a deyrnasodd.

---

a lladd y naill, ac yspeilio y llall, adn. 17

Adn. 15. *A thi a gai glefyd mawr*] O ran ei radd a'i barhad; *clefyd o'th ymysgaroedd*—yr hyn oedd yn gosp briodol iddo ef, yr hwn nid oedd ganddo ymysgaroedd tosturi tuag at ei frodyr, adn. 4; *nes myned o'th goluddion allan*—gan nerth y clefyd: gwel ar adn. 19.

Adn. 16. *Felly yr Arglwydd*] I'r dyben i gospi Jehoram a'i bobl am eu heilunaddoliaeth a'u drygioni; *a gyffrôdd—ysbryd y Philistiaid a'r Arabiaid*—y rhai a ddarostyngesid gan Jehosaphat ei dad, i'r hwn y dygent anrhegion a theyrnged tra y bu efe byw, pen. xvii. 11; ond yn awr defnyddiodd yr Arglwydd hwynt i wneuthur ei waith ef, trwy eu gwroli i fyned allan yn erbyn Jehoram.

Adn. 17. *A hwy a ddaethant i fyny i Juda*] Gyda'u gilydd yn ddiamau; *ac a'i drylliasant hi*—sef ei dinasoedd a'i hamddiffynfeydd; *ac a gaethgludasant yr holl gyfoeth*—hyny yw, dygasant ymaith bob peth gwerthfawr ag ydoedd yn mhalas y brenin; *a'i feibion hefyd a'i wragedd*—caethgludwyd a lladdwyd hwythau oll oddieithr Athaliah, y waethaf o'i wragedd ef, a'i mab: gwel ar pen. xxii. 1. Y mae yn debyg iddynt hwy ymguddio rhag y gelynion mewn rhyw le dan y ddaear, neu ffoi gyda'r brenin allan o'r ddinas. *Jehoahaz*—yr hwn hefyd a elwir *Ahaziah* ac *Azariah*, pen. xxii. 1, 6. Y mae y tri enw hyn bron o'r un ystyr, ac yn arwyddo 'meddiant, nerth, neu gymhorth yr Arglwydd.'

Adn. 18. *Ac wedi hyn oll yr Arglwydd a'i tarawodd ef yn ei ymysgaroedd*] Yn ol y rhagfynegiad ysgrifenedig, adn. 15; *â chlefyd anaele*—ffyrnig, erchyll, dychrynllyd; Saes., 'â chlefyd anfeddyginiaethol.'

Adn. 19. *A bu ar ol talm o ddyddiau*] Ar ol bod yn dyoddef arteithiau y clefyd erchyll hwn am oddeutu dwy flynedd; *ei ymysgaroedd ef a aeth allan gan ei glefyd*—rhaid fod hyn wedi ei achosi gan fflameg neu enyniad angherddol yn ei ymysgaroedd, yn cael ei ddylyn gan waedlif echrys; ac fel hyn, ebai Dr. Mede, y bu farw dau frenin annuwiol arall, sef Antiochus Epiphanes a Herod Agrippa. *Felly y bu efe farw o glefydau drwg*—gellir meddwl oddiyma iddo gael ei gystuddio âg amrai glefydau ar unwaith; a thybia rhai fod clwyf y marchogion, y gwaedlif, y manwynau, tañdde, &c., yn ei boeni ar yr un pryd. Y mae yn wir y gall dynion da, ac anwyliaid y nef, gael eu cystuddio â chlefydau o'r fath yma; eithr i'r cyfryw y maent yn geryddon tadol; a than ddwyfol gynaliaeth gall yr enaid brofi esmwythyd a heddwch, hyd yn nod pan fyddo y corff yn dyoddef poen: ond y mae yn debyg mai nid felly yr oedd yn achos Jehoram. *A'i bobl ni wnaethant iddo gyneu*—trwy losgi llysiau peraroglaidd mewn ffordd o anrhydedd iddo, fel y gwnaed i'w daid Asa, ac ond odid i ereill o frenhinoedd Juda: gwel ar pen. xvi. 14.

Adn. 20. *Mab ddeuddeng mlwydd ar hugain*] Gwel ar 2 Bren. viii. 16, 17; *ac efe a ymadawodd heb hiraeth am dano*—gan neb o'i ddeiliaid, gan mor ddrygionus a gorthrymus y buasai yn ei fywyd: neu, fel yr arwydda yr Hebraeg, 'efe a ymadawodd heb *ddymuniad;*' nid oedd *ef ei hun* yn dymuno byw yn hwy, gan mor fawr oedd ei boenau; ac nid oedd ei *ddeiliaid* yn dymuno iddo fyw, gan ei fod yn felldith iddynt. *A chladdasant ef yn ninas Dafydd*—o barch iddo fel un o hiliogaeth Dafydd; *ond nid yn meddrod y brenhinoedd*—o anfri arno ef ei hun.

PEN. XXII. Adn. 1. *A thrigolion Jerusalem a urddasant Ahaziah*] Yr un a *Jehoahaz*, pen. xxi. 17; *canys y fyddin a ddelsai gyda'r Arabiaid*—sef y Philistiaid, neu ynte ryw greuloniaid a ganlynent yr Arabiaid, ac a laddent y rhai na wnaethai yr Arabiaid ddim

2 Mab dwy flwydd a deugain *oedd* Ahaziah pan ddechreuodd efe deyrnasu; ac un flwyddyn y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Athaliah merch Omri.

3 Yntau hefyd a rodiodd yn ffyrdd tŷ Ahab: canys ei fam oedd ei gynghor ef i wneuthur drwg.

4 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, fel tŷ Ahab: canys hwynt-hwy oedd gynghoriaid iddo ef, ar ol marwolaeth ei dad, i'w ddinystr ef.

5 ¶ Ac efe a rodiodd yn ol eu cynghor hwynt, ac a aeth gyda Jehoram mab Ahab brenin Israel i ryfel, yn erbyn Hazael brenin Syria, yn Ramoth-Gilead: a'r Syriaid a darawsant Joram.

6 Ac efe a ddychwelodd i ymiachâu i Jezreel, o herwydd yr archollion â'r rhai y tarawsant ef yn Ramah, pan ymladdodd efe â Hazael brenin Syria. Ac Azariah mab Jehoram brenin Judah a aeth i waered i ymweled â Jehoram mab Ahab i Jezreel, canys claf *oedd* efe.

7 A dinystr Ahaziah oedd oddiwrth Dduw, wrth ddyfod at Joram: canys pan ddaeth, efe a aeth gyda Jehoram yn erbyn Jehu mab Nimsi, yr hwn a eneiniasai yr Arglwydd i dori ymaith dŷ Ahab.

8 A phan farnodd Jehu yn erbyn tŷ Ahab, efe a gafodd dywysogion Judah, a meibion brodyr Ahaziah, y rhai oedd yn gwasanaethu Ahaziah, ac efe a'u lladdodd hwynt.

9 Ac efe a geisiodd Ahaziah; a hwy a'i daliasant ef, (canys yr oedd efe yn llechu yn Samaria,) a hwy a'i dygasant ef at Jehu: lladdasant ef hefyd, a chladdasant ef; canys dywedasant, Mab Jehosaphat *yw* efe, yr hwn a geisiodd yr Arglwydd â'i holl galon. Felly nid oedd gan dŷ Ahaziah nerth i lynu yn y deyrnas.

10 ¶ Ond pan welodd Athaliah mam Ahaziah farw o'i mab, hi a gyfododd, ac a ddyfethodd holl frenhinol had tŷ Judah.

11 Ond Josabea merch y brenin a gymerth Joas mab Ahaziah, ac a'i lladrataodd ef o fysg meibion y brenin y rhai a laddwyd, ac a'i rhoddodd ef a'i fammaeth yn ystafell y gwelyau. Felly Josabea merch y brenin Jehoram, gwraig Jehoiada yr offeiriad, (canys chwaer Ahaziah ydoedd hi,) a'i cuddiodd ef rhag Athaliah, fel na laddodd hi ef.

12 Ac efe a fu yn nghudd gyda hwynt yn nhŷ Dduw chwe blynedd: ac Athaliah oedd yn teyrnasu ar y wlad.

---

ond eu caethgludo; *a laddasai y rhai hynaf oll*—fel y gwelsom pen. xxi. 17. Yr oedd Jehoram wedi lladd ei holl frodyr; a darfu i'r rhai hyn ladd ei holl feibion yntau oddieithr *Ahaziah*. Ac ni ddiangasai yntau, oni buasai ei fod o dŷ Dafydd, yr hwn yr oedd yn rhaid peidio ei lwyr ddiwreiddio fel tŷ Ahab, am fod bendith i ddyfod allan o hono, nid llai bendith na'r MESSIA.

Adn. 2. *Mab dwy flwydd a deugain oedd Ahaziah pan ddechreuodd efe deyrnasu*] Yn 2 Bren. viii. 26, dywedir mai *dwy flwydd ar hugain* ydoedd, ac felly ei darllenir yma yn y Syriaeg a'r Arabaeg: a chan i'w dad farw yn *ddeugain* mlwydd oed, pen. xxi. 20, nis gallai Ahaziah fod yn 42, heb iddo fod *ddwy flynedd* yn hynach na'i dad! Y mae yn dra thebyg mai 22 oedd darlleniad y testyn Hebreig ar y cyntaf; canys pan yr oedd y *rhif* yn cael ei ysgrifenu mewn llythyrenau unigol, yr oedd yn hawdd camgymeryd y *caph*, UGAIN, am *mem*, DEUGAIN; ac y mae y tebygolrwydd rhyngddynt yn fwy fyth yn yr hen lythyrenau Hebreig, y rhai a elwir yn awr yn llythyrenau *Samaritanaidd*, y rhai nas gellir eu gwahaniaethu ond gan lygad tra chyfarwydd. *Ac enw ei fam ef oedd Athaliah merch Omri*—neu *wyres* Omri: gwel ar 2 Bren. viii. 26.

Adn. 3. *Yntau hefyd a rodiodd yn ffyrdd tŷ Ahab*] Mewn eilunaddoliaeth a phob drygioni; *canys ei fam oedd ei gynghor ef i wneuthur drwg*—yr hon oedd yn ferch i Ahab a Jezebel eilunaddolgar, ac felly a chwennychai ddwyn ei mab i fyny mewn eilunaddoliaeth, megys y dygesid hithau gan ei rhieni.

Adn. 4. *I'w ddinystr ef*] O ran ei gorff a'i enaid.

Adn. 5, 6. *Ac a aeth gyda Jehoram mab Ahab*] Sef ei ewythr brawd ei fam; *i ryfel yn erbyn Hazael*—gwel ar 2 Bren. viii. 28, 29. *Ac Azariah*—yr un ag *Ahaziah:* gwel ar pen. xxi. 17.

Adn. 7. *A dinystr Ahaziah oedd oddiwrth Dduw*] Yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan ei ragluniaeth oruwchlywodraethol ef, yn gosp dra chyfiawn am ei bechodau: gwel ar 2 Bren. ix. 21—27.

Adn. 8. *A phan farnodd Jehu*] Neu, 'pan yr oedd efe yn gweinyddu barn Duw ar dŷ Ahab;' *efe a gafodd dywysogion Juda*—gwel ar 2 Bren. x. 11—14.

Adn. 9. *Ac efe a geisiodd Ahaziah, &c.*] Gwel ar 2 Bren. ix. 27, 28; *a chladdasant ef*—o barch i Jehosaphat ei daid duwiol, yr hwn a geisiodd yr Arglwydd â'i holl galon.

Adn. 10—12. *Ond pan welodd Athaliah*

## PENNOD XXIII.

AC yn y seithfed flwyddyn yr ym-
gadarnhaodd Jehoiada, ac y cy-
merodd dywysogion y cannoedd,
Azariah mab Jeroham, ac Ismael
mab Johanan, ac Azariah mab Ob-
ed, a Maaseiah mab Adaiah, ac
Elisaphat mab Zichri, gydag ef
mewn cyfammod.
2 A hwy a aethant o amgylch yn
Judah, ac a gynullasant y Lefiaid o
holl ddinasoedd Judah, a phenau
cenedl Israel, ac a ddaethant i Je-
rusalem.
3 A'r holl gynulleidfa a wnaeth-
ant gyfammod â'r brenin yn nhŷ
Dduw: ac efe a ddywedodd wrth-
ynt hwy, Wele, mab y brenin a
deyrnasa, fel y llefarodd yr Ar-
glwydd am feibion Dafydd.
4 Dyma y peth a wnewch chwi;
Y drydedd ran o honoch, y rhai a
ddeuant i mewn *ar* y sabboth, o'r
offeiriaid ac o'r Lefiaid, *fydd* yn
borthorion i'r trothwyau;
5 A'r drydedd ran *fydd* yn nhŷ y
brenin; a'r drydedd ran wrth borth
y sylfaen; a'r holl bobl yn nghynt-
eddau tŷ yr Arglwydd.
6 Ac na ddeled *neb* i dŷ yr Ar-
glwydd, ond yr offeiriaid, a'r gwein-
idogion o'r Lefiaid; deuant hwy i
mewn, canys santaidd *ydynt:* ond
yr holl bobl a gadwant wyliadwr-
iaeth yr Arglwydd.
7 A'r Lefiaid a amgylchant y
brenin o bob tu, pob un â'i arfau yn
ei law; a phwy bynag *arall* a ddelo
i'r tŷ, lladder ef: ond byddwch
chwi gyda'r brenin, pan ddelo efe i
mewn, a phan elo efe allan.
8 A'r Lefiaid a holl Judah a
wnaethant yn ol yr hyn oll a or-
chymynasai Jehoiada yr offeiriad,
a hwy a gymerasant bawb eu gwŷr,
y rhai oedd yn dyfod i mewn *ar* y
sabboth, gyda'r rhai oedd yn myned
allan *ar* y sabboth: (canys ni rydd-
hasai Jehoiada yr offeiriad y dos-
barthiadau.)
9 A Jehoiada yr offeiriad a rodd-
odd i dywysogion y cannoedd, y
gwaewffyn, a'r tarianau, a'r estylch,
*a fuasai* yn eiddo y brenin Dafydd,
y rhai *oedd* yn nhŷ Dduw.
10 Ac efe a gyfleodd yr holl bobl,
a phob un â'i arf yn ei law, o'r tu
deau i'r tŷ hyd y tu aswy i'r tŷ, yn
nghylch yr allor a'r tŷ, yn ymyl y
brenin oddiamgylch.
11 Yna y dygasant allan fab y
brenin, a rhoddasant y goron arno
ef, a'r dystiolaeth, ac a'i hurddasant
ef yn frenin: Jehoiada hefyd a'i
feibion a'i heneiniasant ef, ac a ddy-
wedasant, Byw fyddo y brenin.
12 ¶ A phan glybu Athaliah drwst
y bobl yn rhedeg, ac yn moliannu y
brenin, hi a ddaeth at y bobl i dŷ yr
Arglwydd.
13 A hi a edrychodd, ac wele y
brenin yn sefyll wrth ei golofn yn
y ddyfodfa, a'r tywysogion, a'r ud-
gyrn yn ymyl y brenin; a holl bobl
y wlad yn llawen, ac yn lleisio
mewn udgyrn; a'r cantorion âg off-
er cerdd, a'r rhai a fedrent foliannu.
Yna Athaliah a rwygodd ei dillad,
ac a ddywedodd, Bradwriaeth, brad-
wriaeth!
14 A Jehoiada yr offeiriad a ddyg
allan dywysogion y cannoedd, *sef*
swyddogion y llu, ac a ddywedodd
wrthynt, Dygwch hi allan o'r rhes-
au: a'r hwn a ddelo ar ei hol hi,
lladder ef â'r cleddyf. Canys dy-
wedasai yr offeiriad, Na leddwch hi
yn nhŷ yr Arglwydd.
15 A hwy a roddasant ddwylaw
arni hi, a hi a ddaeth tua'r porth y
deuai y meirch i dŷ y brenin, ac yno
y lladdasant hwy hi.
16 ¶ A Jehoiada a wnaeth gyf-
ammod rhyngddo ei hun, a rhwng
yr holl bobl, a rhwng y brenin, i
fod yn bobl i'r Arglwydd.
17 Yna yr holl bobl a aethant i
dŷ Baal, ac a'i distrywiasant ef, a'i
allorau, ei ddelwau hefyd a ddryll-
iasant hwy, ac a laddasant Mattan
offeiriad Baal o flaen yr allor.

---

*mam Ahaziah farw o'i mab, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro ar 2 Bren. xi. 1—3.

PEN. XXIII. Adn. 1—21. *Ac yn y seithfed flwyddyn*] Ar ol i *Athaliah* gwraig Ahaziah fod yn teyrnasu ar Juda chwe blynedd, ac i'w fab ef *Joas* fod yn nghudd yn nhŷ Dduw am yr yspaid hwnw, pen. xxii. 10—12; *yr ymgadarnhaodd Jehoiada*—yr archoffeiriad, i urddo Joas yn frenin: gwel yr holl bennod hon wedi ei hegluro yn y sylwadau ar 2 Bren. xi. 4—21.

18 A Jehoiada a osododd swydd-
au *yn* nhŷ yr Arglwydd, dan law yr
offeiriaid y Lefiaid, y rhai a ddos-
barthasai Dafydd yn nhŷ yr Ar-
glwydd, i offrymu poeth-offrymau
yr Arglwydd, fel *y mae* yn ysgrif-
enedig yn nghyfraith Moses, mewn
llawenydd a chân, yn ol trefn Da-
fydd.
19 Ac efe a gyfleodd y porthorion
wrth byrth tŷ yr Arglwydd, fel na
ddelai i mewn neb *a fyddai* aflan
mewn dim oll.
20 Cymerodd hefyd dywysogion
y cannoedd, a'r pendefigion, a'r
rhai oedd yn arglwyddiaethu ar y
bobl, a holl bobl y wlad, ac efe a
ddyg y brenin i waered o dŷ yr Ar-
glwydd; a hwy a ddaethant trwy y
porth uchaf i dŷ y brenin, ac a gyf-
leasant y brenin ar orseddfa y fren-
hiniaeth.
21 A holl bobl y wlad a lawen-
ychasant, a'r ddinas a fu lonydd
wedi iddynt ladd Athaliah â'r
cleddyf.

## PENNOD XXIV.

MAB saith mlwydd *oedd* Joas pan
ddechreuodd efe deyrnasu, a
deugain mlynedd y teyrnasodd efe
yn Jerusalem: ac enw ei fam ef
*oedd* Sibeah o Beerseba.
2 A Joas a wnaeth yr hyn *oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd holl
ddyddiau Jehoiada yr offeiriad.
3 A Jehoiada a gymerth iddo
ddwy wragedd: ac efe a genhedl-
odd feibion a merched.
4 ¶ Ac wedi hyn Joas a roes
ei fryd ar adnewyddu tŷ yr Ar-
glwydd.
5 Ac efe a gynullodd yr offeiriaid
a'r Lefiaid, ac a ddywedodd wrth-
ynt, Ewch i ddinasoedd Judah, a
chesglwch gan holl Israel arian i
gyweirio tŷ eich Duw, o flwyddyn
i flwyddyn: prysurwch chwithau y
peth. Ond ni frysiodd y Lefiaid.
6 A'r brenin a alwodd am Jehoi-
ada, yr *offeiriad* penaf, ac a ddy-
wedodd wrtho, Paham na cheisiaist
gan y Lefiaid ddwyn o Judah, ac o
Jerusalem, dreth Moses gwas yr
Arglwydd, a chynulleidfa Israel, i
babell y dystiolaeth?
7 Canys meibion Athaliah y wraig
ddrygionus hòno a rwygasent dŷ
Dduw; a holl gysegredig bethau tŷ
yr Arglwydd a roisant hwy i Ba-
alim.
8 Ac wrth orchymyn y brenin
hwy a wnaethant gist, ac a'i gosod-
asant hi yn mhorth tŷ yr Arglwydd
oddiallan.
9 A rhoddasant gyhoeddiad yn

---

PEN. XXIV. Adn. 1. *Mab saith mlwydd oedd Joas*] Gwel ar 2 Bren. xi. 21.

Adn. 2. *A Joas a wnaeth yr hyn oedd union*] Gwel ar 2 Bren. xii. 1, 2.

Adn. 3. *A Jehoiada a gymerth iddo ddwy wragedd*] Nid iddo ei hun, ond i Joas. Wrth ystyried y mawr niwed a wnaed gan Athaliah, gwraig Jehoram ei daid ef, mewn gwlad ac eglwys, yr oedd Jehoiada yr archoffeiriad yn awyddus am i Joas gael gwragedd duwiol; ond yr oedd efe yn feius wrth geisio iddo ddwy ar unwaith, os felly y gwnaeth: ond gall na cheisiodd efe yr ail nes i'r gyntaf farw.

Adn. 4. *Ac wedi hyn*] Wedi iddo ddyfod i oedran gŵr, a phriodi; *Joas a roes ei fryd ar adnewyddu tŷ yr Arglwydd*—yr hwn oedd wedi ei rwygo a'i yspeilio yn amser Athaliah a'i mab, adn. 7.

Adn. 5. *A chesglwch gan holl Israel arian*] Nid yn unig gan lwythau Juda a Benjamin, ond hefyd gan bawb o'r deg llwyth ag oeddynt wedi dyfod i breswylio yn nheyrnas Juda. *I gyweirio tŷ eich Duw o flwyddyn i flwyddyn*—nes y byddai wedi ei gwbl orphen; neu yr oeddynt i gasglu ychydig bob blwyddyn nes y byddai ganddynt ddigon mewn llaw i'w adgyweirio. *Prysurwch chwithau y peth*—yr oedd Joas yn awyddus am i'r deml gael ei hadgyweirio ar frys, am mai tŷ addoliad Duw ydoedd, ac am mai yno yr achubwyd ef yn ei fabandod. *Ond ni frysiodd y Lefiaid*—naill ai o ddifaterwch am adgyweirio y deml, neu am fod yn anhawdd cael digon o arian gan y bobl at hyny, neu ynte am eu bod yn cadw yr arian at eu cynaliaeth eu hunain: gwel ar 2 Bren. xii. 7.

Adn. 6. *Paham na cheisiaist gan y Lefiaid, &c.*] Tybiai y brenin mai ar Jehoiada yr oedd y bai o'r oediad uchod, trwy nad oedd ef yn gwasgu ar y Lefiaid i gasglu yr arian; *dreth Moses*—sef 'hanner sicl' ar bob un ag ydoedd yn fab ugain mlwydd ac uchod, fel 'iawn am ei einioes,' Exod. xxx. 12—16.

Adn. 7. *Canys meibion Athaliah*] Sef Ahaziah a'i frodyr, cyn iddynt gael eu caethgludo, pen. xxi. 17; ac wrth ei galw hi 'y wraig ddrygionus hòno,' awgrymir mai trwy ei chymhelliad hi y gwnaed y peth; *a rwygasent dŷ Dduw*—sef rhwygo ymaith yr arian a'r aur, â pha rai yr oedd y parwydydd a'r dodrefn wedi eu haddurno; *a holl gysegredig bethau*—sef llestri y weinidogaeth, adn. 14; *a roisant hwy i Baalim*—at wasanaeth temlau eu gwahanol eilunod.

Adn. 8. *Hwy a wnaethant gist*] Gwel ar 2 Bren. xii. 9.

Judah, ac yn Jerusalem, a'r ddwyn
i'r Arglwydd dreth Moses gwas
Duw, *yr hon a roisid* ar Israel yn
yr anialwch.
10 A'r holl dywysogion, a'r holl
bobl a lawenychasant, ac a ddygas-
ant, ac a fwriasant i'r gist, nes gor-
phen o honynt.
11 A bu, yr amser y dygpwyd y
gist at swyddog y brenin trwy law
y Lefiaid, a phan welsant *fod* llawer
o arian, ddyfod o ysgrifenydd y
brenin, a swyddog yr archoffeiriad,
a thywallt y gist, a'i chymeryd hi,
a'i dwyn drachefn i'w lle ei hun.
Felly y gwnaethant o ddydd i
ddydd, a chasglasant arian lawer.
12 A'r brenin a Jehoiada a'i rhodd-
odd i'r rhai oedd yn gweithio gwas-
anaeth tŷ yr Arglwydd ; a chyflog-
asant seiri maen, a seiri pren, i
gyweirio tŷ yr Arglwydd ; a gofaint
haiarn a phres, i gadarnhau tŷ yr
Arglwydd.
13 Felly y gweithwyr a weithias-
ant, a'r gwaith a orphenwyd trwy
eu dwylaw hwynt : a hwy a wnaeth-
ant dŷ Dduw yn ei drefn ei hun, ac
a'i cadarnhasant ef.
14 A phan orphenasant hwy *ef*,
hwy a ddygasant y gweddill o'r ar-
ian gerbron y brenin a Jehoiada ; a
hwy a wnaethant o honynt lestri i
dŷ yr Arglwydd, *sef* llestri y wein-
idogaeth, a'r morterau, a'r llwyau,
a'r llestri aur ac arian. Ac yr oedd-
ynt hwy yn offrymu poeth-offrymau
yn nhŷ yr Arglwydd yn wastadol,
holl ddyddiau Jehoiada.
15 ¶ Ond Jehoiada a heneidd-
iodd, ac oedd gyflawn o ddyddiau,
ac a fu farw : mab can mlwydd a
deg ar hugain *oedd efe* pan fu farw.
16 A hwy a'i claddasant ef yn
ninas Dafydd gyda'r brenhinoedd ;
canys efe a wnelsai ddaioni yn Is-
rael, tuag at Dduw a'i dŷ.
17 Ac wedi marw Jehoiada, ty-
wysogion Judah a ddaethant, ac
a ymgrymasant i'r brenin : yna y
brenin a wrandawodd arnynt hwy.
18 A hwy a adawsant dŷ Ar-
glwydd Dduw eu tadau, ac a was-
anaethasant y llwyni, a'r delwau :
a daeth digofaint ar Judah a Jeru-
salem, o herwydd eu camwedd hyn.
19 Eto efe a anfonodd atynt hwy
broffwydi, i'w troi hwynt at yr Ar-

---

Adn. 9. *Ar ddwyn i'r Arglwydd dreth Moses*] Neu swm cyfartal i 1*s*. 3*c*. yr un o leiaf, ac i'r un dyben.

Adn. 10. *A lawenychasant*] Wrth feddwl mai i adgyweirio tŷ yr Arglwydd yr oedd y dreth hon yn cael ei gwneuthur ; *ac a fwriasant i'r gist nes gorphen o honynt*—nes i bob un, yn gyfoethog a thylawd, ac ond odid o bob oedran, dalu ei dreth.

Adn. 11, 12. *A bu, yr amser y dygpwyd y gist*] Neu pan ei dygid o ddydd i ddydd ; *ddyfod o ysgrifenydd y brenin*—gwel ar 2 Bren. xii. 10—12.

Adn. 13, *A hwy a wnaethant dŷ Dduw yn ei drefn ei hun*] Yn ei drefn gyntefig gan Solomon, neu fel yr oedd cyn ei rwygo, adn. 7.

Adn. 14. *A hwy a wnaethant o honynt lestri*] Yn lle y llestri a ddygasai Athaliah a'i meibion o'r deml, i'w rhoddi at wasanaeth Baalim, adn. 7 ; *a'r morterau*—yn y rhai y pwyid neu y curid y defnyddiau at yr arogldarth, Exod. xxx. 34—36 ; *a'r llestri aur ac arian*—gwel ar 1 Bren. vii. 40—50. *Ac yr oeddynt hwy yn offrymu poeth-offrymau*—sef yr ŵyn fore a hwyr ; *holl ddyddiau Jehoiada*—canys y mae yn debyg fod hyny wedi cael ei esgeuluso am beth amser cyn hyn, yn gystal ag ar ol dyddiau Jehoiada.

Adn. 15. *Ond Jehoiada a heneiddiodd*] Canys yr oedd efe yn 130 mlwydd oed pan y bu farw. Ganed ef dan deyrnasiad Solomon, a bu farw dan deyrnasiad Joas ; ac felly gwelodd ddechre a diwedd teyrnasiad Rehoboam, Abia, Asa, Jehosaphat, Jehoram, Ahaziah, ac Athaliah.

Adn. 16. *A hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd gyda'r brenhinoedd*] Nid yn unig am ei fod yn fab-yn-nghyfraith i'r brenin Jehoram, pen. xxii. 11, ond am iddo wneyd llawer o ddaioni yn Israel ; *tuag at Dduw a'i dŷ*—adferodd addoliad Duw, a chynorthwyodd i adgyweirio y deml.

Adn. 17. *Ac wedi marw Jehoiada, tywysogion Juda*] Y rhai oeddynt o hyd ond odid yn dirgel ogwyddo at eilunaddoliaeth, ond na feiddient ddangos hyny tra yr oedd Jehoiada yn fyw, o herwydd ei dduwioldeb ef, a'i ddylanwad gyda'r brenin ; *a ddaethant, ac a ymgrymasant i'r brenin*—ac yn yr agwedd hòno deisyfiasant gael y rhyddid hwnw ag yr oedd eu tadau yn ei feddu, o addoli Duw yn yr uchelfeydd, heb ymdrafferthu i ddyfod i Jerusalem : ac wedi iddynt gael hyny, gwyddent y gallent addoli eu heilunod yn ddirwystr, yr hyn yn unig oedd ganddynt mewn golwg. *Yna y brenin a wrandawodd arnynt*—a ganiataodd iddynt gael addoli yn yr uchelfeydd.

Adn. 18. *A hwy a adawsant dŷ Arglwydd Dduw eu tadau*] A'i addoliad a'i wasanaeth, bob yn ychydig ; *ac a wasanaethasant y llwyni a'r delwau*—neu y delwau yn y llwyni : gwel ar 1 Bren. xviii. 19. Y mae yn debyg nad oedd neb ond y mawrion yn addoli y delwau hyn ar y cyntaf ; ond buan y perswadiasant y werin i gyduno â hwy. *A daeth*

glwydd; a hwy a dystiolaethasant
yn eu herbyn hwynt, ond ni wrandawsant hwy.
20 Ac Ysbryd Duw a ddaeth ar
Zechariah mab Jehoiada yr offeiriad, ac efe a safodd oddiar y bobl,
ac a ddywedodd wrthynt hwy, Fel
hyn y dywedodd Duw, Paham yr
ydych chwi yn troseddu gorchymynion yr Arglwydd? diau na ffynwch chwi, canys gwrthodasoch yr
Arglwydd, am hyny yntau a'ch
gwrthyd chwithau.
21 A hwy a gydfwriadasant yn ei
erbyn ef, ac a'i llabyddiasant ef â
meini wrth orchymyn y brenin, yn
nghyntedd tŷ yr Arglwydd.
22 Ac ni chofiodd Joas y brenin
y caredigrwydd a wnaethai Jehoiada ei dad ef âg ef, ond efe a laddodd ei fab ef: a phan oedd efe yn
marw, efe a ddywedodd, Edryched
yr Arglwydd, a gofyned.
23 ¶ Ac yn mhen y flwyddyn y
daeth llu y Syriaid i fyny yn ei erbyn ef: a hwy a ddaethant yn erbyn
Judah a Jerusalem, ac a ddyfethasant holl dywysogion y bobl o blith
y bobl, ac a anfonasant eu holl anrhaith hwynt i frenin Damascus.
24 Canys llu y Syriaid a ddaethai
âg ychydig wŷr, a'r Arglwydd a
roddodd yn eu llaw hwynt lu mawr
iawn, am iddynt wrthod Arglwydd
Dduw eu tadau: felly y gwnaethant hwy farn yn erbyn Joas.

---

*digofaint ar Juda a Jerusalem*—cospwyd hwy yn mhen oddeutu blwyddyn am y camwedd hwn, trwy law y Syriaid.

Adn. 19. *Eto efe*] Sef Duw, cyn tywallt ei ddigofaint arnynt; *a anfonodd atynt hwy broffwydi*—i'w troi yn ol at addoliad a gwasanaeth y deml; *a hwy a dystiolaethasant yn eu herbyn hwynt*—hyny yw, tystiodd y proffwydi yn erbyn eu pechodau, gan ddangos iddynt beth fyddai y canlyniad o adael yr Arglwydd; *ond ni wrandawsant hwy*—eithr glynasant yn eu drygioni.

Adn. 20. *Ac Ysbryd Duw a ddaeth ar Zechariah*] Ar ŵyl y cymod, fel y tybia rhai, pan yr oeddynt wedi ymgynull i gyntedd y deml, trwy fod rhai o honynt fyth yn rhanu eu gwasanaeth rhwng Duw a Baal; *ac efe a safodd oddiar y bobl*—ar ryw fan uchel, lle y gallai pawb ei weled a'i glywed. *Paham yr ydych chwi yn troseddu gorchymynion yr Arglwydd*—trwy ei wrthod ef, a throi at eilunod? *Diau na ffynwch chwi*—mewn pethau tymhorol nac ysbrydol. *Gwrthodasoch yr Arglwydd*—gwel ar Deut. xxxi. 16, 17; *am hyny yntau a'ch gwrthyd chwithau*—gan eich rhoddi i fyny i ddwylaw eich gelynion, onid edifarhewch chwi.

Adn. 21. *A hwy a gydfwriadasant yn ei erbyn ef*] Am gario o hono y genadwri uchod oddiwrth Dduw atynt hwy; *ac a'i llabyddiasant ef â meini*—heb gymaint a chwilio a oedd efe wedi cael ei awdurdodi i draethu ei genadwri, ac a oedd sail iddi; *wrth orchymyn y brenin*—yr hwn oedd yn ddyledus am ei goron a'i fywyd i Jehoiada ei dad ef; *yn nghyntedd tŷ yr Arglwydd*—yr hwn oedd le cysegredig! Ni ddarllenir am weithred fwy annuwiol a rhyfygus yn holl hanes y brenhinoedd. Dywed yr Iuddewon fod yma saith trosedd mewn un: Lladd offeiriad, proffwyd, a barnwr; tywallt gwaed gwirion; halogi cyntedd y deml, y sabboth, a gŵyl y cymod: canys ar y dydd hwnw, yn ol eu traddodiad hwy, y dygwyddodd hyn.

Adn. 22. *Ac ni chofiodd Joas y brenin y caredigrwydd a wnaethai Jehoiada ei dad ef âg ef*] Sef achub ei fywyd pan yn faban, ei wneyd yn frenin er gwaethaf Athaliah, a'i gynorthwyo â'i gynghorion tra y bu Jehoiada byw; *ond efe a laddodd ei fab ef*—trwy orchymyn i'r bobl ei labyddio: a'r hyn oedd yn dwfnhau ei drosedd yw, fod Zechariah yn gefnder i Joas, pen. xxii. 11. *A phan oedd efe yn marw*—o dan y gawod gerig; *efe a ddywedodd*—dan ddylanwad ysbryd proffwydoliaeth; *Edryched yr Arglwydd, a gofyned*—neu, fel y gellir cyfieithu y geiriau, 'Yr Arglwydd a edrych, ac a'i gofyn:' hyny yw, efe a edrychai ar y weithred ysgeler hon o dywallt gwaed gwirion, ac a ofynai ei waed ef oddiar eu llaw hwynt; yr hyn a wnaeth efe, fel y gwelwn isod: gwel ar Mat. xxiii. 35.

Adn. 23. *Ac yn mhen y flwyddyn*] Ar ol marw Zechariah: ac y mae yn debyg y buasent yn dyfod yn hir cyn hyny, oni buasai i Joas eu gwobrwyo hwynt am droi yn ol oddiwrth Jerusalem, 2 Bren. xii. 18. *Daeth llu y Syriaid i fyny yn ei erbyn ef*—i'w ddarostwng a'i yspeilio; eithr amcan Duw oedd ei geryddu ef am bleidio eilunaddoliaeth, a pheri llabyddio offeiriad a phroffwyd yr Arglwydd; *ac a ddyfethasant holl dywysogion y bobl*—y rhai oeddynt gyntaf yn y camwedd, adn. 17, ac am hyny a ddewiswyd gyntaf o blith y bobl i'w dyfetha gan farn Duw. Amcan y Syriaid oedd tori grym y deyrnas trwy ladd y tywysogion; ond amcan Duw oedd eu cospi hwy yn mlaenaf, am iddynt hwy flaenori yn y camwedd. *Anfonasant eu holl anrhaith hwy i frenin Damascus*—sef i Hazael, yr hwn oedd frenin y rhan hòno o Syria a elwid 'Syria Damascus.'

Adn. 24. *Canys llu y Syriaid a ddaethai âg ychydig wŷr*] Crybwyllir hyn er dangos yn amlycach mai peth o'r Arglwydd oedd rhoddi 'llu mawr iawn' Juda yn llaw 'ychydig wŷr' Syria. *Felly y gwnaethant hwy farn yn erbyn Joas*—fel offerynau yn llaw Duw i'w gospi ef am ei eilunaddoliaeth a'i lofruddiaeth.

Adn. 25. *A phan aethant hwy oddiwrtho ef*] Ar ol lladd ei dywysogion ac anrheithio

25 A phan aethant hwy oddiwrtho
ef, (canys hwy a'i gadawsant ef
mewn clefydau mawrion,) ei weis-
ion ei hun a gydfwriadodd i'w er-
byn ef, o herwydd gwaed meibion
Jehoiada yr offeiriad, ac a'i lladd-
asant ef ar ei wely; ac efe a fu
farw: a hwy a'i claddasant ef yn
ninas Dafydd, ond ni chladdasant
ef yn meddau y brenhinoedd.
26 A dyma y rhai a fradfwriad-
asant yn ei erbyn ef; Zabad mab
Simeath yr Ammonees, a Jehozab-
ad mab Simrith y Moabees.
27 ¶ Am ei feibion ef, a maint
y baich a roddwyd arno, a syl-
faeniad tŷ Dduw, wele hwy yn ys-
grifenedig yn histori llyfr y bren-
hinoedd. Ac Amasiah ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XXV.

MAB pum mlwydd ar hugain *oedd*
Amasiah pan ddechreuodd efe
deyrnasu, a naw mlynedd ar hugain
y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac
enw ei fam ef *oedd* Jehoadan o Je-
rusalem.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd, ond
nid â chalon berffaith.
3 ¶ A phan sicrhawyd ei deyrnas
iddo ef, efe a laddodd ei weision a
laddasent y brenin ei dad ef.
4 Ond ni laddodd efe eu meibion
hwynt, ond *efe a wnaeth* fel *y mae*
yn ysgrifenedig yn y gyfraith yn
llyfr Moses, lle y gorchymynasai
yr Arglwydd, gan ddywedyd, Ni
bydd marw y tadau dros y meibion,
ac ni bydd marw y meibion dros y
tadau, ond pob un a fydd marw am
ei bechod ei hun.
5 ¶ Ac Amasiah a gynullodd Ju-
dah, ac a'u gwnaeth hwy, yn ol tŷ
*eu* tadau, yn dywysogion ar filoedd,
ac yn dywysogion ar gannoedd,
trwy holl Judah a Benjamin: ac
efe a'u cyfrifodd hwynt o fab ugain
mlwydd ac uchod, ac a'u cafodd
hwy yn dri chan mil o *wŷr* etholed-
ig yn *gallu* myned i ryfel, yn medru
trin gwaewffon a tharian.

---

ei feddiannau; *hwy a'i gadawsant ef mewn clefydau mawrion*—wedi ei archolli yn dost gan y Syriaid, neu wedi ei daro â phläau barnol yn ddigyfrwng gan law Duw. *Ei weision ei hun a gydfwriadodd i'w erbyn ef*—i ddial arno am iddo eu hanfoddloni hwy mewn rhyw beth: ond pa beth bynag a'u cynhyrfodd hwy i ladd eu meistr, y mae yn sicr fod yr Arglwydd yn eu defnyddio fel offerynau i gyflawni ei farn gyfiawn ei hun ar Joas am ladd Zechariah. *O herwydd gwaed meibion Jehoiada*—gellir meddwl oddiyma fod mwy nag un wedi ei ladd: lladdwyd brodyr Zechariah ond odid o herwydd iddynt geisio achub eu brawd, neu rhag iddynt ddial ei waed ef. Ond y mae y Vulgate a'r LXX yn darllen yma, 'gwaed *mab* Jehoiada.' *Lladdasant ef ar ei wely*—'yn nhŷ Milo,' 2 Bren. xii. 20, lle yr oedd efe yn gorwedd yn ei glefydau mawrion. *A hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd*—o barch iddo fel brenin o hiliogaeth Dafydd; *ond ni chladdasant ef yn meddau y brenhinoedd*—o ddirmyg arno fel eilunaddolwr a llofrudd.

Adn. 26. *Zabad mab Simeath*] Yr hwn a elwir 'Jozachar,' yn 2 Bren. xii. 21; *a Jehozabad mab Simrith*—neu 'Jozabad mab Somer,' fel ei darllenir yn 2 Bren. xii. 21. Gwelsom yn fynych fod gwahanol enwau i'r un personau yn mhlith y dwyreinwyr. Y mae yn sicr nad *Iuddewon* oedd y gweision hyn, o du eu mamau, beth bynag am eu tadau; canys yr oedd mam y cyntaf yn un o ferched *Ammon*, a mam yr ail yn un o ferched *Moab*.

Adn. 27. *Am ei feibion ef*] Sef meibion Joas, canys ymddengys fod ganddo amrai heblaw *Amasiah* o'i ddwy wraig, adn. 3; *a maint y baich a roddwyd arno*—fel teyrnged i'r Syriaid, neu fel trethoedd er adgyweirio y deml; *wele hwynt yn ysgrifenedig yn histori llyfr y brenhinoedd*—gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29. Y mae y llyfrau hyny oll wedi eu colli, oddieithr y pigion a geir yn llyfrau y Brenhinoedd, y Cronicl, ac Ezra, yn y gyfrol santaidd. Y mae yn debyg mai y *talfyriadau* hyn, y rhai a wnaed dan ddwyfol ysbrydoliaeth, a fuont yn achos i'r llyfrau gwreiddiol hyny gael eu hesgeuluso, ac yn y diwedd eu colli. Bu felly yn fynych gyda llyfrau ereill o gryn bwys. Ysgrifenodd *Trogus Pompeius* hanesiaeth gyffredinol o'r byd, yr hon a ddyg efe i lawr hyd deyrnasiad Augustus, mewn *pedair-a-deugain* o gyfrolau: talfyrodd *Justin* hwynt i *un* gyfrol, a chollwyd y rhai gwreiddiol.

PEN. XXV. Adn. 1—4. *Mab pum mlwydd ar hugain oedd Amasiah*] Sef mab Joas, a'i olynydd ef yn y frenhiniaeth: gwel ar 2 Bren. xiv. 1—6.

Adn. 5. *Ac Amasiah a gynullodd Juda*] Fel y gallai drefnu ei swyddogion rhyfel, a deall ei nerth milwraidd cyn myned allan yn erbyn ei elynion; *ac a'u cafodd hwy yn dri chan mil o wŷr etholedig*—rhwng 20 a 50 mlwydd oed. Yr oedd eu nifer wedi lleihau yn fawr wedi amser Jehosaphat, pen. xvii. 14, &c., yn debygol trwy y rhyfeloedd dan Joram, Ahaziah, a Joas.

Adn. 6. *Ac efe a gyflogodd o Israel*] Sef o deyrnas y deg llwyth; *gan mil o wŷr cedyrn*

6 Ac efe a gyflogodd o Israel gan
mil o *wŷr* cedyrn nerthol, er can
talent o arian.
7 Ond gŵr Duw a ddaeth ato ef,
gan ddywedyd, O frenin, nac aed
llu Israel gyda thi: canys nid *yw yr*
Arglwydd gydag Israel, *sef gyda*
holl feibion Ephraim.
8 Ond os myned a fyni, gwna,
ymgadarnha i ryfel: *ond* Duw a
wna i ti syrthio o flaen dy elynion;
canys y mae gan Dduw nerth i gy·
northwyo, ac i gwympo.
9 Ac Amasiah a ddywedodd wrth
ŵr Duw, Ond beth a wneir am y
can talent a roddais i dorf Israel?
A dywedodd gŵr Duw, Y mae ar
law yr Arglwydd roddi i ti lawer
mwy na hyny.
10 Felly Amasiah a'u neillduodd
hwynt, *sef* y dorf a ddelsai ato ef o
Ephraim, i fyned i'w mangre eu
hun. A llidiodd eu digllonedd hwy
yn ddirfawr yn erbyn Judah, a dy-
chwelasant i'w mangre eu hun
mewn llid digllawn.
11 ¶ Ac Amasiah a ymgadarn-
haodd, ac a dywysodd allan ei bobl,
ac a aeth i ddyffryn yr halen, ac a
darawodd *o* feibion Seir ddeng mil.
12 Meibion Judah hefyd a gaeth·
gludasant ddeng mil yn fyw, ac a'u
dygasant i ben y graig, ac a'u tafl-
asant hwy o ben y graig, fel y
drylliwyd hwynt oll.
13 ¶ A'r rhyfelwyr, y rhai a
ddarfuasai i Amasiah eu troi yn ol
rhag myned gydag ef i ryfel, a
ruthrasant ar ddinasoedd Judah, o
Samaria hyd Beth-horon, ac a dar-
awsant o honynt dair mil, ac a ys-
glyfaethasant anrhaith fawr.

---

*nerthol*—am y tybiai nad oedd ei fyddin ei hun yn ddigon lluosog i wynebu yr Edomiaid, adn. 11; *er can talent o arian*—yr hyn oedd oddeutu 6*s*. 10½*c*. i bob un o'r can mil hyny.

Adn. 7. *Ond gŵr Duw a ddaeth ato ef*] Sef rhyw broffwyd wedi ei anfon gan Dduw; *O frenin, nac aed llu Israel gyda thi*—i'r rhyfel bresenol; *canys nid yw yr Arglwydd gydag Israel*—efe a'u gwrthododd hwynt, o herwydd iddynt hwy ei wrthod ef, a throi yn eilunaddolwyr; *sef gyda holl feibion Ephraim*—felly y gelwid weithiau y deg llwyth; er y dichon mai o lwyth Ephraim yr oedd y can mil hyny wedi eu cyflogi, trwy mai hwy oedd yn gorwedd nesaf at Juda a Benjamin.

Adn. 8. *Ond os myned a fyni*] Os wyt am gymeryd dy ffordd dy hun ar ol dy rybyddio i'r gwrthwyneb; *gwna, ymgadarnha i ryfel*—a chymer y canlyniad i ti dy hun. Math o watwariaeth yw y geiriau, tebyg i eiddo Michea wrth Ahab, 'Dos i fyny, a llwydda,' 1 Bren. xxii. 15. *Ond Duw a wna i ti syrthio o flaen dy elynion*—os cymeri wŷr Israel gyda thi ar ol y rhybydd a'r gwaharddiad hwn; *canys y mae gan Dduw nerth i gynorthwyo*—byddin fechan, *ac i gwympo*—byddin fawr; neu i gynorthwyo gwŷr Juda *heb* wŷr Israel, ac i gwympo gwŷr Juda *gyda* gwŷr Israel.

Adn. 9. *Ond beth a wneir am y can talent a roddais i dorf Israel?*] Os troai ef wŷr Israel yn ol yn awr, ar ol talu iddynt, efe a gollai yr arian hyny, heblaw colli eu help hwythau. *Y mae ar law yr Arglwydd roddi i ti lawer mwy na hyny*—y mae ganddo lawer o ffyrdd i wneyd i fyny dy golled, a diamau na fydd iddo oddef i ti fod yn golledwr wrth ufyddhau i'w orchymyn ef. Felly ni a gawn i feibion Ammon roddi can talent o arian yn anrheg i'w wŷr ef Jotham, pen. xxvii. 5. Ad-dalwyd corff yr hawl iddo ef y pryd hyny; ac fel llôg am danynt, rhoddwyd iddo ddeng mil corus o wenith, a deng mil corus o haidd.

Adn. 10. *Felly Amasiah a'u neillduodd hwynt*] Oddiwrth ei filwyr ei hun, gyda'r rhai yr oeddynt wedi ymrestru o'r blaen; *i fyned i'w mangre eu hun*—bob un adref at ei deulu. *A llidiodd eu digllonedd hwy yn ddirfawr*—am yr ystyrient fod eu gwrthod ar ol eu cyflogi yn ddirmyg mawr arnynt hwy a'u duwiau, ac yn rhwystr iddynt gael rhan o'r yspail ag y gobeithient ei dwyn oddiar yr Edomiaid.

Adn. 11. *Ac Amasiah a ymgadarnhaodd*] I fyned yn erbyn yr Edomiaid heb bobl Israel; *ac a dywysodd allan ei bobl*—sef ei bobl ei hun yn unig, gan ymddiried yn addewid a gallu Duw am fuddugoliaeth; *ac a aeth i ddyffryn yr halen*—yn ngwlad Edom; gwel ar 2 Sam. viii. 13; *ac a darawodd o feibion Seir ddeng mil*—y rhai a adawyd yn feirw ar wyneb y dyffryn. Gelwir yr Edomiaid, neu hiliogaeth Esau, yn 'feibion Seir,' am eu bod yn cyfaneddu yn ngwlad Seir, o du y deau i'r môr marw.

Adn. 12. *Meibion Juda hefyd a gaethgludasant ddeng mil yn fyw*] Er i lawer o'r Edomiaid yn ddiamau ddianc heb eu lladd na'u dal; *ac a'u dygasant i ben y graig*—sef Joctheel, 2 Bren. xiv. 7; *ac a'u taflasant hwy o ben y graig*—yr hyn oedd yn greulondeb anesgusodol. Ond y mae rhai yn ceisio cyfiawnhau y weithred hon trwy feddwl mai felly y gwnai yr Edomiaid â phob un a gymerid yn gaeth o wlad Juda.

Adn. 13. *A'r rhyfelwyr*] Sef y can mil o wŷr Israel a gyflogasai Amasiah, ac a droisai efe yn ol ar orchymyn gŵr Duw, adn. 10; *a ruthrasant ar ddinasoedd Juda*—tra yr oedd y milwyr yn rhyfela yn ngwlad Edom; *o Samaria hyd Beth-horon*—dinasoedd yn perthyn i Ephraim gynt, ond wedi eu hennill a'u meddiannu gan wŷr Juda; *ac a darawsant o honynt dair mil*—i ddial ar frenin Juda am wrthod eu gwasanaeth hwy; *ac a ysglyfaeth-*

14 ¶ Ac wedi dyfod Amasiah o
ladd yr Edomiaid, efe a ddyg dduw-
iau meibion Seir, ac a'u gosododd
hwynt iddo ef yn dduwiau, ac a
addolodd ger eu bron hwynt, ac a
arogldarthodd iddynt.
15 Am hyny y llidiodd digllon-
edd yr Arglwydd yn erbyn Amas-
iah; ac efe a anfonodd broffwyd ato
ef, yr hwn a ddywedodd wrtho ef,
Paham y ceisiaist ti dduwiau y
bobl, y rhai nid achubasant eu pobl
eu hun o'th law di?
16 A phan oedd efe yn llefaru
wrtho ef, *y brenin* a ddywedodd
wrtho yntau, A wnaed tydi yn gyng-
horwr i'r brenin? paid, i ba beth
y'th darewid? A'r proffwyd a beid-
iodd, ac a ddywedodd, Mi a wn fod
Duw wedi arfaethu dy ddinystrio di,
am i ti wneuthur hyn, ac na wran-
dewaist ar fy nghynghor i.
17 ¶ Yna Amasiah brenin Judah
a ymgynghorodd, ac a anfonodd at
Joas mab Jehoahaz mab Jehu bren-
in Israel, gan ddywedyd, Tyred,
gwelwn wyneb ein gilydd.
18 A Joas brenin Israel a anfon-
odd at Amasiah brenin Judah, gan
ddywedyd, Yr ysgellyn *sydd* yn Li-
banus a anfonodd at y gedrwydden
*sydd* yn Libanus, gan ddywedyd,
Dyro dy ferch i'm mab i yn wraig:
a bwystfil y maes, yr hwn *oedd* yn
Libanus, a dramwyodd, ac a sathr-
odd yr ysgellyn.
19 Dywedaist, Wele tarewaist yr
Edomiaid, a'th galon a ddyrchafodd
i ymffrostio: eistedd yn awr yn dy
dŷ; paham yr wyt yn ymyryd er
drwg *i ti dy hun*, fel y syrthit ti, a
Judah gyda thi?
20 Ond ni wrandawai Amasiah;
canys oddiwrth Dduw *yr oedd* hyny,
fel y rhoddid hwynt yn llaw *y gelyn*,
am iddynt geisio duwiau Edom.
21 Felly Joas brenin Israel a aeth
i fyny, a hwy a welsant wynebau eu
gilydd, efe ac Amasiah brenin Ju-
dah, yn Bethsemes, yr hon *oedd* yn
Judah.
22 A Judah a darawyd o flaen
Israel, a hwy a ffoisant bawb i'w
pebyll.

---

*asant anrhaith fawr*—i wneyd i fyny y golled o'r hyn a obeithient ei gael yn ngwlad Edom. Y mae yn debyg fod y rhan fwyaf o drigolion y dinasoedd hyny yn eilunaddolwyr, gan eu bod yn nghymydogaeth Israel, ac yn mhell oddiwrth Jerusalem; ac felly goddefodd Duw iddynt gael eu cospi fel hyn.

Adn. 14. *Ac wedi dyfod Amasiah o ladd yr Edomiaid*] Yn lle myned i'r deml i ddiolch i'r Arglwydd am y fuddugoliaeth; *efe a ddyg dduwiau meibion Seir*—y rhai nas gallasant achub eu haddolwyr o'i law ef; *ac a'u gosododd hwynt iddo ef yn dduwiau*—gan eu haddoli, ac arogldarthu iddynt! Ni bu erioed fwy o ynfydrwydd ac annghysondeb! Pan addolodd Ahaz y duwiau ag y tybiai iddynt ei orchfygu ef, pen. xxviii. 23, yr oedd ganddo ryw liw o reswm dros hyny, am y gobeithiai trwy hyny eu hennill hwy i'w gynorthwyo yntau hefyd: ond fod i Amasiah addoli y duwiau ag yr oedd ef newydd eu gorchfygu hwy a'u haddolwyr, yr oedd hyny yn sicr yn afresymol i'r eithaf. Ond fe allai iddo gael ei roddi i fyny i ddallineb meddwl a chaledwch calon fel cosp arno am ei greulondeb barbaraidd tuag at yr Edomiaid.

Adn. 15. *Am hyny y llidiodd digllonedd yr Arglwydd yn erbyn Amasiah*] A da y gallai; eto cyn iddo anfon i'w ddyfetha ef, efe a anfonodd broffwyd i'w argyhoeddi a'i adferyd, ac felly ei gadw ef rhag dinystr. *Paham y ceisiaist ti dduwiau y bobl*—i'w haddoli, y rhai nas gallasent achub eu haddolwyr eu hunain o'th ddwylaw di, a llai o lawer o ddwylaw y Duw hollalluog? A ydyw hyny yn rhesymol, neu yn weithred dyn doeth?

Adn. 16. *A phan oedd efe yn llefaru wrtho ef*] Y geiriau caredig uchod; *y brenin a ddywedodd wrtho yntau*—mewn modd sarug a bygythiol; *A wnaed tydi yn gynghorwr i'r brenin?*—fel pe dywedasai, Pwy wyt ti, yr hwn a feiddi ymyraeth â'm materion i heb fy awdurdod? Y mae yn wir nad oedd ef wedi ei ddewis gan y brenin i fod yn gynghorwr iddo; eto yr oedd ef wedi ei anfon gan Dduw, Brenin y brenhinoedd, i ymresymu âg ef am ynfydrwydd ei eilunaddoliaeth, a'i gynghori i'w adael. *Paid, i ba beth y'th darewid?*—na chythrudda fi yn mhellach, rhag i mi dy ladd am dy ryfyg. *A'r proffwyd a beidiodd*—ei gynghori na'i geryddu ef mwyach, eithr yn unig cyhoeddodd y ddedfryd ddwyfol yn ei erbyn ef am y dirmyg hwn ar genadwri Duw, a'i bechodau erelll. *Mi a wn fod Duw wedi arfaethu dy ddinystrio di*—yr hyn hefyd a gymerodd le, adn. 20, 27. Casglai y proffwyd yn naturiol, oddiwrth ei waith yn gwrthod gwrando ar ei gynghor ef, fod Duw wedi rhoddi y brenin i fyny i galon-galedwch, i'w ddinystrio am ei eilunaddoliaeth a'i gyndynrwydd; neu fe allai i'r Arglwydd ddatguddio i'r proffwyd y pryd hyny ei fod yn penderfynu ei ddinystrio ef.

Adn. 17—19. *Yna Amasiah brenin Juda a ymgynghorodd*] Nid â Duw, nac â'i broffwyd ef, ond â'i lyswyr ei hun, yn nghylch y niwed a wnaethai Israel i'w bobl ef, adn. 13; *ac a anfonodd at Joas*—brenin Israel, i'w herio ef i ryfel: gwel ar 2 Bren. xiv. 8—10.

Adn. 20—28. *Ond ni wrandawai Amas-*

23 A Joas brenin Israel a ddal-
iodd Amasiah mab Joas, fab Jeho-
ahaz brenin Judah, yn Bethsemes,
ac a'i dyg ef i Jerusalem, ac a dor-
odd i lawr fur Jerusalem, o borth
Ephraim hyd borth y gongl, ped-
war can cufydd.
24 Ac *efe a gymerth* yr holl aur,
a'r arian, a'r holl lestri a gafwyd
yn nhŷ Dduw gydag Obed-edom, a
thrysorau tŷ y brenin, a'r gwystl-
on hefyd, ac a ddychwelodd i Sa-
maria.
25 ¶ Ac Amasiah mab Joas bren-
in Judah a fu fyw, wedi marwol-
aeth Joas mab Jehoahaz brenin Is-
rael, bymtheng mlynedd.
26 A'r rhan arall o'r gweithred-
oedd cyntaf a diweddaf i Amasiah,
wele, onid *ydynt* hwy yn ysgrifen-
edig yn llyfr brenhinoedd Judah ac
Israel?
27 ¶ Ac wedi yr amser yr ym-
adawodd Amasiah oddiar ol yr
Arglwydd, hwy a fradfwriadasant
fradwriaeth yn ei erbyn ef yn Jeru-
salem, ac efe a ffôdd i Lachis: ond
hwy a anfonasant ar ei ol ef i Lach-
is, ac a'i lladdasant ef yno.
28 A hwy a'i dygasant ef ar feirch,
ac a'i claddasant ef gyda'i dadau
yn ninas Judah.

## PENNOD XXVI.

YNA holl bobl Judah a gymeras-
ant Uzziah, ac yntau yn fab un
mlwydd ar bymtheg, ac a'i hurdd-
asant ef yn frenin yn lle Amasiah
ei dad.
2 Efe a adeiladodd Eloth, ac a'i
dyg hi drachefn i Judah, ar ol huno
o'r brenin gyda'i dadau.
3 Mab un mlwydd ar bymtheg
*oedd* Uzziah pan ddechreuodd efe
deyrnasu, a deuddeng mlynedd a
deugain y teyrnasodd efe yn Jeru-
salem: ac enw ei fam ef *oedd* Je-
choliah o Jerusalem.
4 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnaethai Amasiah
ei dad ef.
5 Ac efe a ymgeisiodd â Duw yn
nyddiau Zechariah, yr hwn oedd
ganddo ddeall yn ngweledigaethau
Duw: a'r dyddiau y ceisiodd efe
yr Arglwydd, Duw a'i llwyddodd
ef.
6 Ac efe a aeth allan, ac a ryfel-
odd yn erbyn y Philistiaid, ac a
dorodd i lawr fur Gath, a mur Jab-
neh, a mur Asdod, ac a adeiladodd
ddinasoedd yn Asdod, ac yn mysg
y Philistiaid.
7 A Duw a'i cynorthwyodd ef yn
erbyn y Philistiaid, ac yn erbyn yr
Arabiaid, y rhai oedd yn trigo yn
Gur-baal, a'r Mehuniaid.
8 A'r Ammoniaid a roisant rodd-
ion i Uzziah: a'i enw ef a aeth hyd
y mynediad i'r Aifft: o herwydd
efe a ymgryfhaodd yn ddirfawr.
9 Hefyd Uzziah a adeiladodd
dyrau yn Jerusalem wrth borth y
gongl, ac wrth borth y glyn, ac

---

*iah*] Ar y cynghor a fwriedid yn nammeg Joas; *canys oddiwrth Dduw yr oedd hyny*—ei galon-galedwch a'i anystyriaeth, fel cosp am iddo addoli eilunod Edom:-gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro eisioes ar 2 Bren. xiv. 11—20.

PEN. XXVI. Adn. 1—3. *Yna holl bobl Juda a gymerasant Uzziah*] Yr hwn hefyd a elwid *Azariah:* gwel ar 2 Bren. xiv. 21, 22, a xv. 1, 2.

Adn. 4. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union*] Yn *nechre* ei deyrnasiad, fel Amasiah ei dad; a dylynodd ef hefyd yn *niwedd* ei deyrnasiad, i'w ddinystr ei hun, adn. 16.

Adn. 5. *Ac efe a ymgeisiodd â Duw yn nyddiau Zechariah*] Yr hwn ond odid oedd yn fab i'r Zechariah a laddwyd gan Joas ei daid ef, pen. xxiv. 21, ac a fu yn athraw defnyddiol i Uzziah; *yr hwn oedd ganddo ddeall yn ngweledigaethau Duw*—i ddeongli y proffwydoliaethau a wnaed gan ereill, neu i egluro y rhai a ganfyddai efe ei hun: *a'r dyddiau y ceisiodd efe yr Arglwydd*—neu y glynodd Uzziah wrth addoliad Duw, dan gyfarwyddyd Zechariah; *Duw a'i llwyddodd ef*—yn ei achosion tymhorol ac ysbrydol, ac yn ei ryfeloedd yn erbyn ei elynion.

Adn. 6, 7. *Ac efe a aeth allan, ac a ryfelodd yn erbyn y Philistiaid*] Gyda llwyddiant mawr, gan ddryllio eu caerau hwy, ac ennill eu dinasoedd, trwy fod Duw yn ei gynorthwyo, adn. 7; *ac a adeiladodd ddinasoedd*—ereill yn nghymydogaeth Asdod, at ei wasanaeth ei hun.

Adn. 8. *A'r Ammoniaid a roisant roddion i Uzziah*] Er mwyn ennill ei ffafr ef; *a'i enw ef*—fel rhyfelwr dewr a llwyddiannus, a gyrhaeddodd dros yr holl wlad ag oedd yn gorwedd rhwng Canaan a'r Aifft.

Adn. 9. *Adeiladodd dyrau yn Jerusalem*] I osod milwyr ynddynt er amddiffyn y ddinas; *wrth borth y gongl*—sef yn y lle a ddinystriwyd gan frenin Israel yn amser ei dad ef, pen.

wrth dröad *y mur,* ac a'u cadarnha-
odd hwynt.
10 Ac efe a adeiladodd dyrau yn
yr anialwch, ac a gloddiodd bydew-
au lawer; oblegid yr oedd ganddo
lawer o anifeiliaid, yn y dyffryndir
ac yn y gwastadedd: *a* llafurwyr a
gwinllanwyr yn y mynyddoedd, ac
yn Carmel: canys hoff oedd ganddo
*goledd* y ddaear.
11 Ac yr oedd gan Uzziah lu o
ryfelwyr, yn myned allan yn fydd-
inoedd, yn ol nifer eu cyfrif hwynt,
trwy law Jeiel yr ysgrifenydd, a
Maaseiah y llywydd, dan law Han-
aniah, *un* o dywysogion y brenin.
12 Holl nifer penau cenedl y rhai
cedyrn o nerth *oedd* ddwy fil a
chwe chant.
13 A than eu llaw hwynt *yr oedd*
llu grymus, tri chan mil a saith mil
a phum cant, yn rhyfela â chryfder
nerthol, i gynorthwyo y brenin yn
erbyn y gelyn.
14 Ac Uzziah a ddarparodd idd-
ynt, *sef* i'r holl lu, darianau a
gwaewffyn, a helmau, a llurigau, a
bwäau, a thaflau *i daflu* cerig.
15 Ac efe a wnaeth yn Jerusalem
offer trwy gelfyddyd y rhai cywraint
i fod ar y tyrau ac ar y conglau, i
ergydio saethau a cherig mawrion:
a'i enw ef a aeth yn mhell, canys yn
rhyfedd y cynorthwywyd ef, nes ei
gadarnhau.
16 ¶ Ond pan aeth yn gryf, ei
galon a ddyrchafwyd i'*w* ddinystr
*ei hun;* canys efe a droseddodd yn
erbyn yr Arglwydd ei Dduw: ac
efe a aeth i mewn i deml yr Ar-
glwydd i arogldarthu ar allor yr
arogldarth.
17 Ac Azariah yr offeiriad a aeth
i mewn ar ei ol ef, a chydag ef bed-

---

xxv. 23. Dywed Josephus fod pob un o'r tyrau hyn yn 150 cufydd o uchder.

Adn. 10. *Ac efe a adeiladodd dyrau yn yr anialwch*] Fel y gallai ei filwyr ef warchad y praidd, y bugeiliaid, a'r llafurwyr, rhag yr Arabiaid crwydraidd, ac attal dyfodiad unrhyw elynion ereill y ffordd hòno; *ac a gloddiodd bydewau lawer*—i ddyfrhau yr anifeiliaid yn y wlad boeth hòno, lle na cheid dwfr ond trwy gloddio pydewau felly: *oblegid yr oedd ganddo lawer o anifeiliaid*—sef gwartheg, defaid, a geifr, ar hyd holl ddyffrynoedd yr anialwch hwnw; *a llafurwyr a gwinllanwyr yn y mynyddoedd*—pa leoedd a ystyrid yn rhagori ar y gwastadedd, yn y wlad hòno, er cynyrchu ŷd a ffrwythau, Salm lxxii. 16; *ac yn Carmel*—nid hwnw ar lan Môr-y-canoldir, lle y buasai Elias gyda phroffwydi Baal; eithr mynydd arall yn rhandir Judea, oddeutu chwe milldir i'r deau o Hebron, lle y buasai Nabal yn cadw ei ddefaid, 1 Sam. xxv. 2: *canys hoff oedd ganddo goledd*—neu '*lafurio* y ddaear,' yr hyn oedd yn ganmoladwy iawn ynddo, ac yn dwyn elw mawr iddo. Bydded llaw-weithyddiaeth a masnach gwlad y peth y bo, nis gall gwir lwyddiant cenedlaethol hanfodi ynddi heb i amaethyddiaeth ffynu: a phan y byddo brenin unrhyw deyrnas yn cefnogi amaethyddiaeth, cynhyrfir cydymgystadliad yn mhlith ei ddeiliaid, a'r ddaear a fwrw ei ffrwyth; ac yna, pe byddai i fasnach a llaw-weithyddiaeth ballu, nis gellid darostwng y bobl i ryw drueni mawr, am y byddai ganddynt ddigonedd o fara.

Adn. 11–13. *Ac yr oedd gan Uzziah lu o ryfelwyr*] Neu fyddin sefydlog o 307,500 o filwyr, dan lywodraeth 2,600 o brif swyddogion; *yn myned allan yn fyddinoedd*—i ymladd â gelynion, neu i ymlid o'r wlad y mineioedd yspeilwyr a ddeuent ar brydiau i'w anrheithio hi; *yn ol nifer eu cyfrif hwynt*—anfonid y rhyfelwyr hyn allan yn erbyn y gelyn yn fyddinoedd, hyn a hyn o nifer yn mhob un, yn ol fel y byddai yr angen, ac i ba le bynag y byddai eu heisiau.

Adn. 14. *Darianau*] I'w hamddiffyn eu hunain rhag saethau y gelyn; *gwaewffyn*—i archolli y gelyn; *helmau*—i ddiogelu eu penau yn nydd y frwydr; *llurigau*—neu wisgoedd o haiarn neu bres am eu cyrff; *bwäau*—i daflu saethau at y gelyn; *a thaflau i daflu cerig*—rhai tebyg i ffon dafl Dafydd pan yn ymladd â Goliath: gwel ar Eph. vi. 13.

Adn. 15. *Offer—i ergydio saethau a cherig mawrion*] Oddiar dyrau a chonglau muriau Jerusalem; y fath ag a elwir gan y Rhufeiniaid *catapultæ, ballistæ, scorpiones,* &c.; ac ymddengys oddiyma mai yn Judea y dyfeisiwyd y rhai hyn gyntaf, ac nid yn Rhufain na thir Groeg. *A'i enw ef a aeth yn mhell*—aeth y son am dano i bob man, nes yr oedd ef yn ddychryn i'r holl wledydd; *canys yn rhyfedd y cynorthwywyd ef*—gan yr Arglwydd, yn ei holl gynlluniau: gwel ar adn. 5.

Adn. 16. *Ond pan aeth yn gryf*] Mewn cyfoeth, milwyr, a darpariadau rhyfel; *ei galon a ddyrchafwyd i'w ddinystr ei hun*—fel hyn 'llwyddiant y rhai ffol,' trwy eu chwyddo â balchder, 'a'u dyfetha.' Yr oedd efe wedi bod mor lwyddiannus, ac enwogi ei hun i'r fath raddau, nes y dechreuodd feddwl nad oedd un gwaith nac anrhydedd yn ormod iddo ef, hyd yn nod yr offeiriadaeth. *Efe a aeth i mewn i deml yr Arglwydd*—i'r cysegr, lle yr oedd allor yr arogldarth yn sefyll, a lle nad oedd rhyddid i neb fyned ond yr offeiriaid; *i arogldarthu*—yr oedd myned i'r cysegr yn fai mawr ynddo ef, er ei fod yn frenin; ond yr oedd arogldarthu yno yn fai llawer mwy.

Adn. 17. *Ac Azariah yr offeiriad*] Sef yr archoffeiriad, adn. 20; *a aeth i mewn ar ei ol*

war ugain o offeiriaid yr Arglwydd,
yn feibion grymus:
18 A hwy a safasant yn erbyn
Uzziah y brenin, ac a ddywedasant
wrtho, Ni *pherthyn* i ti, Uzziah, ar-
ogldarthu i'r Arglwydd, ond i'r off-
eiriaid meibion Aaron, y rhai a
gysegrwyd i arogldarthu: dos allan
o'r cysegr; canys ti a droseddaist,
ac ni *bydd hyn* i ti yn ogoniant oddi-
wrth yr Arglwydd Dduw.
19 Yna y llidiodd Uzziah, a'r arogl-
darth i arogldarthu *oedd* yn ei law ef:
a thra yr ydoedd efe yn llidiog yn
erbyn yr offeiriaid, gwahanglwyf a
gyfododd yn ei dalcen ef, yn ngwydd
yr offeiriaid, yn nhŷ yr Arglwydd,
gerllaw allor yr arogldarth.
20 Ac edrychodd Azariah yr
archoffeiriad a'r holl offeiriaid arno
ef, ac wele, *yr oedd* efe yn wahan-
glwyfus yn ei dalcen, a gwnaethant
iddo frysio oddiyno: ac yntau hefyd
a frysiodd i fyned allan, o herwydd
i'r Arglwydd ei daraw ef.
21 Ac Uzziah y brenin a fu wahan-
glwyfus hyd ddydd ei farwolaeth,
ac a drigodd yn wahanglwyfus
mewn tŷ neillduol; canys efe a dor-
esid ymaith o dŷ yr Arglwydd: a
Jotham ei fab ef *oedd* ar dŷ y bren-
in, yn barnu pobl y wlad.
22 ¶ A'r rhan arall o weithred-
oedd cyntaf a diweddaf Uzziah, a
ysgrifenodd Esay y proffwyd mab
Amos.
23 Felly Uzziah a hunodd gyda'i
dadau, a chladdasant ef gyda'i dad-
au yn maes beddrod y brenhinoedd;
canys dywedasant, Gwahanglwyfus
*ydyw* efe. A Jotham ei fab a deyrn-
asodd yn ei le ef.

## PENNOD XXVII.

MAB pum mlwydd ar hugain *oedd*
Jotham pan ddechreuodd efe

---

*ef*—i attal i'r brenin arogldarthu, ac i'w droi ef allan o'r cysegr; *a chydag ef bedwar ugain o offeiriaid*—i'w gynorthwyo ef i amddiffyn anrhydedd Duw, a'i drefniadau ef yn ei dŷ.

Adn. 18. *A hwy a safasant yn erbyn Uzziah*] Nid trwy rym, neu trwy osod dwylaw arno i'w attal, oblegid cawn yn yr adnod nesaf fod yr arogldarth fyth yn ei law ef; eithr yn unig trwy ei rybyddio a'i geryddu. *Ni pherthyn i ti, Uzziah, arogldarthu i'r Arglwydd*—er dy fod yn frenin; *ond i'r offeiriaid meibion Aaron, y rhai a gysegrwyd i arogldarthu*—ac hyd yn nod y Lefiaid, er eu bod o'r un llwyth a meibion Aaron, ac wedi eu neillduo at ryw ranau o waith y cysegr, nis gallent hwythau arogldarthu heb i Dduw ddangos ei anfoddlonrwydd iddynt: gwel y pwnc hwn yn cael ei olrhain yn y sylwadau ar Num. xvi. *Ni bydd hyn i ti yn ogoniant*—eithr yn warth a phoen tra y byddi byw.

Adn. 19. *Yna y llidiodd Uzziah*] Wrth yr offeiriaid, a dywed Josephus iddo fygwth eu lladd hwynt; *a'r arogldarth i arogldarthu oedd yn ei law ef*—yr oedd ef yn barod i'r weithred, ond fel y rhwystrwyd ef gan farn Duw. *A thra yr ydoedd efe yn llidiog*—ac yn eu bygwth hwynt os parhäent i'w wrthwynebu ef; *gwahanglwyf a gyfododd yn ei dalcen ef*—fel nas gallai guddio ei warth, ac fe allai ei fod hefyd dros ei holl gorff dan ei ddillad. A dywed Josephus i'r ddaear grynu y pryd hyny, ac i fynydd hollti.

Adn. 20. *A gwnaethant iddo frysio oddiyno*] Nid trwy ei wthio, ond trwy ei berswadio; canys dywedir iddo ef ei hun *frysio* i fyned allan. Nid oedd ef yn awr yn addas i fod yn ei dŷ ei hun, llai o lawer yn nhŷ yr Arglwydd.

Adn. 21. *A fu wahanglwyfus hyd ddydd ei farwolaeth*] Yn gofgolofn barhaus o ddigofaint Duw yn erbyn y rhai a ryfygent gyflawni swydd yr offeiriad, a hwythau heb eu cysegru, adn. 18; *ac a drigodd yn wahanglwyfus mewn tŷ neillduol*—fel yr oedd y gyfraith yn erchi, Lef. xiii. 46, yr hon ni feiddiai efe yn awr ei throseddu, rhag y dygwyddai iddo beth oedd waeth; *canys efe a doresid ymaith o dŷ yr Arglwydd*—felly yr oedd ei gosp ef yn cyfateb i'w bechod, fel gwyneb yn cyfateb i wyneb mewn drych. Efe a dorodd i mewn i deml Dduw, lle nad oedd gan neb ond yr offeiriaid hawl i fyned; ac am hyny efe a dorwyd allan o gynteddau y deml, i'r rhai yr oedd gan y gwaelaf o'i ddeiliaid hawl i fyned. Efe a ymaflodd yn urddas yr offeiriadaeth, i'r hwn ni feddai un hawl; ac am hyny amddifadwyd ef o'i urddas brenhinol, i'r hwn yr oedd ganddo hawl diamheuol. *A Jotham ei fab ef oedd ar dŷ y brenin*—yn trin holl achosion y palas a'r deyrnas, fel ei raglaw ef: gwel ar 2 Bren. xv. 5.

Adn. 22. *A'r rhan arall o weithredoedd cyntaf a diweddaf Uzziah*] Cyn iddo fyned yn frenin, ac wedi hyny; *a ysgrifenodd Esay y proffwyd*—nid yn ei lyfr o broffwydoliaethau ag sydd yn y Beibl, eithr yn llyfr cronicl brenhinoedd Juda, yr hwn sydd wedi ei golli er's oesoedd.

Adn. 23. *Felly Uzziah a hunodd gyda'i dadau*] Ar ol bod yn cael ei boeni gan y gwahanglwyf am bedair blynedd, fel y meddylir; *a chladdasant ef gyda'i dadau yn maes beddrod y brenhinoedd*—hyny yw, yn yr un maes, ond nid yn yr un bedd; *canys dywedasant, Gwahanglwyfus yw*—ac felly ystyrient fod y gwahanglwyf mor ffiaidd fel ag i halogi beddau a chyrff y meirw.

PEN. XXVII. Adn. 1. *Mab pum mlwydd ar hugain oedd Jotham, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xv. 33.

deyrnasu, ac un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem, ac enw ei fam ef *oedd* Jerusah merch Sadoc.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union yn ngolwg yr Arglwydd, yn ol yr hyn oll a wnelsai Uzziah ei dad: eithr nid aeth efe i deml yr Arglwydd. A'r bobl oedd eto yn ymlygru.
3 Efe a adeiladodd y porth uchaf i dŷ yr Arglwydd: ac ar fur y tŵr yr adeiladodd efe lawer.
4 Dinasoedd hefyd a adeiladodd efe yn mynyddoedd Judah, ac yn y coedydd yr adeiladodd efe balasau a thyrau.
5 ¶ Ac efe a ryfelodd yn erbyn brenin meibion Ammon, ac a aeth yn drech na hwynt. A meibion Ammon a roddasant iddo ef gan talent o arian y flwyddyn hòno, a deng mil corus o wenith, a deng mil corus o haidd. Hyn a roddodd meibion Ammon iddo ef yr ail flwyddyn a'r drydedd.
6 Felly Jotham a aeth yn gadarn, oblegid efe a barotôdd ei ffyrdd gerbron yr Arglwydd ei Dduw.
7 ¶ A'r rhan arall o hanes Jotham, a'i ryfeloedd ef, a'i ffyrdd, wele, *y maent* yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Judah.
8 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe pan ddechreuodd deyrnasu, ac un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
9 ¶ A Jotham a hunodd gyda'i dadau, a chladdasant ef yn ninas Dafydd. Ac Ahaz ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XXVIII.

MAB ugain mlwydd *oedd* Ahaz pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ond ni wnaeth efe yr hyn *oedd* union yn ngolwg yr Arglwydd, fel Dafydd ei dad.
2 Eithr efe a rodiodd yn ffyrdd brenhinoedd Israel, ac a wnaeth i Baalim *ddelwau* toddedig.
3 Ac efe a arogldarthodd yn nyffryn Ben-hinnom, ac a losgodd ei blant yn tân, yn ol ffieidd-dra y cenhedloedd a fwriasai yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel.
4 Efe a aberthodd hefyd, ac a arogldarthodd yn yr uchelfeydd, ac ar y bryniau, a than bob pren gwyrddlas.
5 Am hyny yr Arglwydd ei Dduw a'i rhoddodd ef yn llaw brenin Syria; a hwy a'i tarawsant ef, ac a gaethgludasant ymaith oddiganddo ef gaethglud fawr, ac a'*u* dygasant i Damascus. Ac yn llaw brenin Israel hefyd y rhoddwyd ef,

---

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth yr hyn oedd union*] Efe a ddylynodd siampl Uzziah ei dad yn yr hyn oll oedd dda: *eithr nid aeth efe i deml yr Arglwydd*—i arogldarthu yn rhyfygus fel y gwnaethai ei dad: gwyddai nad oedd hyny yn perthyn iddo ef, a gwelodd farn Duw ar ei dad am gynyg gwneyd hyny. *A'r bobl oedd eto yn ymlygru*—trwy aberthu ac arogldarthu yn yr uchelfeydd, 2 Bren. xv. 35.

Adn. 3. *Efe a adeiladodd y porth uchaf*] Gwel ar 2 Bren. xv. 35.

Adn. 4. *Balasau a thyrau*] Neu '*gestyll* a thyrau,' i amddiffyn pobl y wlad rhag y minteioedd lladron.

Adn. 5. *Ac efe a ryfelodd yn erbyn brenin meibion Ammon*] Yr hwn a geisiai ymysgwyd oddiwrth yr iau a osodwyd arno ef a'i bobl er dyddiau Dafydd. *A meibion Ammon a roddasant iddo ef gan talent o arian*—yr hyn oedd yn £34,218 15*s*. o'n harian ni; *a deng mil corus o wenith*—yr hyn oedd yn pwyso 6,480,000 o'n pwysau ni; a'r un faint o haidd: a thalasant y deyrnged hon iddo am dair blynedd.

Adn. 6. *Felly Jotham a aeth yn gadarn*] Trwy adeiladu cestyll a thyrau, cadarnhau ei ddinasoedd caerog, gorchfygu ei elynion, a chael teyrnged fawr ganddynt; *oblegid efe a barotôdd ei ffyrdd*—trwy rodio yn gydwybodol a ffyddlon yn ol rheol deddf Duw.

Adn. 7. *Llyfr brenhinoedd Israel a Juda*] Gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 8, 9. *Mab pum mlwydd ar hugain, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xv. 33, 38.

PEN. XXVIII. Adn. 1—4. *Mab ugain mlwydd oedd Ahaz*] Gwel ar 2 Bren. xvi. 2—4.

Adn. 5. *Am hyny yr Arglwydd ei Dduw*] Canys yr oedd Jehofa yn Dduw iddo fyth, fel ei Grëwr, ei Gynaliwr, a'i Lywodraethwr, er iddo ef droi yn eilunaddolwr; *a'i rhoddodd ef yn llaw brenin Syria*—sef Resin, yr hwn a'i tarawodd ef, ac a gaethgludodd lawer o'i bobl i Damascus; *ac yn llaw brenin Israel*—sef Pecah, yr hwn, er yn eilunaddolwr fel Ahaz, a wnaed yn ffrewyll ddychrynllyd iddo ef a'i bobl, gan dywallt gwaed 120,000 o honynt mewn un diwrnod, difrodi eu gwlad, a dyfetha eu teuluoedd.

Adn. 6. *Am wrthod o honynt Arglwydd Dduw eu tadau*] Nid am hyny yr oedd Pe-

yr hwn a'i tarawodd ef â lladdfa
fawr.
6 ¶ Canys Pecah mab Remaliah
a laddodd yn Judah chwech ugain
mil mewn un diwrnod, hwynt oll
yn feibion grymus; am wrthod o
honynt Arglwydd Dduw eu tadau.
7 A Zichri, gŵr grymus o Eph-
raim, a laddodd Maaseiah mab y
brenin, ac Azricam llywodraethwr
y tŷ, ac Elcanah y nesaf at y brenin.
8 A meibion Israel a gaethglud-
asant o'u brodyr ddau can mil, yn
wragedd, yn feibion, ac yn ferched,
ac a ysglyfaethasant anrhaith fawr
oddiarnynt, ac a ddygasant yr ys-
pail i Samaria.
9 Ac yno yr oedd proffwyd i'r
Arglwydd, a'i enw Oded; ac efe a
aeth allan o flaen y llu oedd yn dy-
fod i Samaria, ac a ddywedodd
wrthynt, Wele, o herwydd digof-
aint Arglwydd Dduw eich tadau yn
erbyn Judah, y rhoddodd efe hwynt
yn eich llaw chwi, a lladdasoch
hwynt mewn cynddaredd yn cy-
rhaeddyd hyd y nefoedd.
10 Ac yn awr yr ydych chwi yn
amcanu darostwng meibion Judah
a Jerusalem, yn gaeth-weision, ac
yn gaeth-forwynion i chwi: onid
*oes* gyda chwi, ïe, gyda chwi, bech-
odau yn erbyn yr Arglwydd eich
Duw?
11 Yn awr gan hyny gwrandewch
arnaf fi, a gollyngwch adref y gaeth-
glud a gaethgludasoch o'ch brodyr:
oblegid *y mae* llidiog ddigofaint yr
Arglwydd arnoch chwi.
12 Yna rhai o benaethiaid meib-
ion Ephraim, Azariah mab Johan-
an, Berechiah mab Mesilemoth, a
Jehizciah mab Salum, ac Amasa
mab Hadlai, a gyfodasant yn erbyn
y rhai oedd yn dyfod o'r filwr-
iaeth,
13 Ac a ddywedasant wrthynt,
Ni ddygwch y gaethglud yma:
canys gan i ni bechu *eisioes* yn er-
byn yr Arglwydd, yr ydych chwi
yn amcanu chwanegu ar ein pech-
odau ni, ac ar ein camweddau:
canys *y mae* ein camwedd ni yn
fawr, ac *y mae* digofaint llidiog yn
erbyn Israel.
14 Felly y llu a adawodd y gaeth-

---

cah yn eu lladd hwy, canys yr oedd ef yn eilunaddolwr ei hun; ond am hyny yr oedd Duw yn gadael iddo ef eu lladd hwy, ac yn ei ddefnyddio fel offeryn i hyny.

Adn. 7. *A laddodd Maaseiah mab y brenin*] Diangodd y brenin Ahaz ei hun, ond lladdwyd ei fab ef, a dau ereill o'i brif swyddogion.

Adn. 8. *A meibion Israel*] Sef milwyr Pecah; *a gaethgludasant o'u brodyr*—sef pobl Juda; *ddau can mil*—wedi iddynt ladd 120,000 o'u milwyr, yr oedd yn hawdd iddynt anrheithio a chaethgludo y gwragedd a'r plant; *i Samaria*—neu tuag yno; canys nid aethant i mewn.

Adn. 9. *Ac yno yr oedd proffwyd i'r Arglwydd*] Ymddengys oddiyma fod gan Dduw broffwydi fyth yn Israel, er mor eilunaddolgar oeddynt, i geisio eu dwyn hwynt i edifeirwch. *Ac efe a aeth allan o flaen y llu*—neu i gyfarfod â hwy, nid i ganmol eu dewrder, neu i'w llon-gyfarch o herwydd eu buddugoliaeth, ond i fynegu iddynt eu beiau; ac i'w rhybyddio o farnedigaethau Duw. *Wele, o herwydd digofaint Arglwydd Dduw eich tadau*—danghosai y proffwyd iddynt nad eu gwroldeb hwy a ennillodd y fuddugoliaeth iddynt ar Juda, eithr mai yr Arglwydd a roisai Juda yn eu llaw hwynt, am iddynt ei ddigio ef â'u heilunaddoliaeth. *A lladdasoch hwynt mewn cynddaredd yn cyrhaeddyd hyd y nefoedd*—hyny yw, â'r cynddaredd *mwyaf*, yr hwn oedd yn gwaeddi hyd y nefoedd am ddialedd arnynt, ac a dynai farn o'r nefoedd arnynt os nad edifarhäent, ac os na ollyngent y caethion yn rhydd.

Adn. 10. *Ac yn awr yr ydych chwi yn amcanu darostwng meibion Juda*] Trwy eu defnyddio neu eu gwerthu yn gaethion, yn groes i'r gyfraith, Lef. xxv. 39—46. *Onid oes gyda chwi*—yn gystal a chyda hwythau, *bechodau*—sef pechodau o eilunaddoliaeth a chreulondeb at eu brodyr? ac felly yr oeddynt yn haeddu yr un dialedd dwyfol ag a syrthiasai ar bobl Juda yn awr.

Adn. 11. *Gollyngwch adref y gaethglud*] Sef y 200,000 o wragedd a phlant, adn. 8; *oblegid y mae llidiog ddigofaint yr Arglwydd arnoch chwi*—neu yn crogi uwch eich penau, yr hwn nas gallwch ei osgoi ond trwy ddangos trugaredd i'ch brodyr.

Adn. 12. *Yna rhai o benaethiaid meibion Ephraim*] Wedi iddynt glywed geiriau y proffwyd, a chael eu hargyhoeddi eu bod yn gwneuthur ar fai; *a gyfodasant yn erbyn y rhai oedd yn dyfod o'r filwriaeth*—neu o'r rhyfel yn ngwlad Juda, i'w hattal rhag dwyn y caethion a'r anrhaith ddim yn mhellach.

Adn. 13. *Ni ddygwch y gaethglud yma*] I Samaria; *canys gan i ni bechu eisioes*—trwy ein heilunaddoliaeth parhaus, yn gystal a thrwy ladd 120,000 o'n brodyr, adn. 6; *yr ydych chwi yn amcanu chwanegu ar ein pechodau ni*—trwy wneuthur y rhai hyn yn gaethion, ac anrheithio eu meddiannau; *canys y mae ein camwedd ni yn fawr*—eisioes, heb i ni chwanegu ato.

Adn. 14. *Felly y llu a adawodd y gaeth-*

glud a'r anrhaith o flaen y tywysog-
ion, a'r holl gynulleidfa.
15 A'r gwŷr, y rhai a enwyd wrth
eu henwau, a gyfodasant ac a gy-
merasant y gaethglud, ac a ddill-
adasant eu holl rai noethion hwynt
â'r yspail, a dilladasant hwynt, a
rhoddasant iddynt esgidiau, ac a
wnaethant iddynt fwyta ac yfed;
eneiniasant hwynt hefyd, a dygas-
ant ar asynod bob un llesg, ïe, dyg-
asant hwynt i Jericho, dinas y palm-
wydd, at eu brodyr. Yna hwy a
ddychwelasant i Samaria.
16 ¶ Yr amser hwnw yr anfonodd
y brenin Ahaz at frenhinoedd As-
syria i'w gynorthwyo ef.
17 A'r Edomiaid a ddaethant eto,
ac a darawsent Judah, ac a gaeth-
gludasent gaethglud.
18 Y Philistiaid hefyd a ruthr-
asent i ddinasoedd y gwastadedd, a
thu deau Judah, ac a ennillasent
Bethsemes, ac Ajalon, a Gederoth,
a Socho a'i phentrefi, Timnah hefyd
a'i phentrefi, a Gimzo a'i phentrefi;
ac a drigasant yno.
19 Canys yr Arglwydd a ddar-
ostyngodd Judah, o achos Ahaz
brenin Israel: oblegid efe a noeth-
odd Judah, gan droseddu yn erbyn
yr Arglwydd yn ddirfawr.
20 A Thilgath-pilneser brenin As-
syria a ddaeth ato ef, ac a gyfyngodd
arno ef, ac nis cynorthwyodd ef.
21 Er i Ahaz gymeryd rhan allan
o dŷ yr Arglwydd, ac o dŷ y bren-
in, a chan y tywysogion, a'*i* rhoddi
i frenin Assyria; eto nis cynorth-
wyodd efe ef.
22 ¶ A'r amser yr oedd yn gyf-
yng arno, efe a chwanegodd dros-
eddu yn erbyn yr Arglwydd: hwn
*yw* y brenin Ahaz.

---

*glud a'r anrhaith*] Yn y man hwnw; *o flaen y tywysogion*—sef y pedwar o benaethiaid Ephraim, adn. 12; *a'r holl gynulleidfa*—ag oeddynt wedi dyfod allan o Samaria a'r ardaloedd cymydogaethol. Rhoddodd y milwyr hwynt yn llaw y rhai hyn, i wneyd â hwynt fel y gwelent yn dda.

Adn. 15. *A'r gwŷr, y rhai a enwyd wrth eu henwau*] Sef y pedwar tywysog a enwyd adn. 12, neu ynte rywrai ereill a enwyd ganddynt hwy i wneyd yr hyn a ganlyn; *a ddilladasant eu holl rai noethion hwynt*—â'r dillad a ddyosgesid oddiam danynt hwy gan filwyr Israel; *ac a wnaethant iddynt fwyta ac yfed*—canys yr oeddynt yn dra newynog a sychedig, heb gael dim lluniaeth ond odid er pan ddaethent oddicartref; *eneiniasant hwynt hefyd*—ar ol eu golchi yn gyntaf gallwn feddwl, i'w sirioli a'u dadebru ar ol eu taith flinedig a galarus; *a dygasant ar asynod bob un llesg*—sef y rhai hynaf ac ieuangaf o'r gwragedd a'r plant, y rhai oeddynt yn rhy weiniaid i gerdded yn ol, ar ol gorfod cerdded o Juda hyd yn agos i Sarmaria; *ïe, dygasant hwynt i Jericho*—yn llwyth Benjamin, dinas oddeutu 17 o filldiroedd o du y dwyrain i Jerusalem, lle yr oedd llawer o balmwydd yn tyfu. *Yna hwy a ddychwelasant i Samaria*—sef holl lu Israel, gan adael pobl Juda yn rhyddion yn mhlith eu brodyr eu hunain.

Adn. 16. *Yr amser hwnw yr anfonodd y brenin Ahaz at frenhinoedd Assyria*] Neu 'at *frenin* Assyria,' fel y mae yn y Vulgate, y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r Galdeaeg, sef Tilgath-pilneser, adn. 20; *i'w gynorthwyo ef*—i ddial ar Israel am y gyflafan a'r anrhaith uchod, neu ynte i'w gynorthwyo ef yn erbyn yr Edomiaid a'r Philistiaid.

Adn. 17. *A'r Edomiaid a ddaethant eto*] Fel o'r blaen yn nyddiau Jehosaphat, pen. xx. 10; *ac a darawsent Juda*—gan gymeryd mantais ar wendid Ahaz a'i deyrnas ar ol i Israel eu maeddu, fel y danghoswyd uchod; *ac a gaethgludasant gaethglud*—o ddynion, anifeiliaid, a meddiannau ereill.

Adn. 18. *Y Philistiaid hefyd*] I ddial am yr hyn a wnaethai Uzziah iddynt hwy; *a ruthrasant i ddinasoedd y gwastadedd*—y rhai agosaf atynt o du deau Juda; *ac a ennillasant Bethsemes, &c.*—hefyd, y rhai oeddynt ddinasoedd yn ngogledd-orllewin Juda; *ac a drigasant yno*—i gadw meddiant o honynt ar ol eu hennill.

Adn. 19. *Canys yr Arglwydd a ddarostyngodd Juda*] I gael ei threchu gan ei gelynion; *o achos Ahaz*—o achos ei eilunaddoliaeth a'i annuwioldeb gwarthus ef: *oblegid efe a noethodd Juda*—hyny yw, yr oedd Ahaz, trwy arwain ei ddeiliaid i eilunaddoliaeth, wedi eu dyosg hwy o'u harddwch crefyddol, ac o'u hamddiffyniad dwyfol.

Adn. 20. *A Tilgath-pilneser brenin Assyria*] Yr hwn a elwir *Tiglath-pileser* yn 2 Bren. xvi. 7, 10; *a ddaeth ato ef*—nid i Jerusalem, ond i Damascus, yr hon a ennillodd efe y pryd hyny oddiar y Syriaid, 2 Bren. xvi. 9; *ac a gyfyngodd arno ef*—trwy ei amddifadu o'i drysorau yn anrhegion iddo; *ac nis cynorthwyodd ef*—am yr anrhegion hyny, yn erbyn yr Edomiaid a'r Philistiaid.

Adn. 21. *Er i Ahaz gymeryd rhan*] Neu yspeilio y deml a'r palas brenhinol o ran o'u trysorau, a gorfodi ei dywysogion i roddi eu meddiannau i wobrwyo brenin Assyria; *eto nis cynorthwyodd efe ef*—i'r graddau ag yr oedd yn dysgwyl, neu yn erbyn yr Edomiaid a'r Philistiaid.

Adn. 22. *A'r amser yr oedd yn gyfyng arno*] Gan ei elynion o amgylch, ac hefyd gan frenin Assyria, fel y nodwyd adn. 20; *efe a chwanegodd droseddu*—yn fwy nag o'r blaen,

23 Canys efe a aberthodd i dduw-
iau Damascus, y rhai a'i tarawsent
ef;· ac efe a ddywedodd, Am i
dduwiau brenhinoedd Syria eu cy-
northwyo hwynt, minau a aberthaf
iddynt hwy, fel y'm cynorthwyont
inau: ond hwy a fuant iddo ef ac i
holl Israel yn dramgwydd.
24 Ac Ahaz a gasglodd lestri tŷ
Dduw, ac a ddarniodd lestri tŷ
Dduw, ac a gauodd ddrysau tŷ yr
Arglwydd, ac a wnaeth iddo allor-
au yn mhob congl i Jerusalem.
25 Ac yn mhob dinas yn Judah y
gwnaeth efe uchelfeydd i arogl-
darthu i dduwiau dyeithr, ac a ddig-
llonodd Arglwydd Dduw ei dadau.
26 ¶ A'r rhan arall o'i hanes ef,
a'i holl ffyrdd, cyntaf a diweddaf,
wele hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
brenhinoedd Judah ac Israel.
27 Ac Ahaz a hunodd gyda'i
dadau, a hwy a'i claddasant ef yn y
ddinas yn Jerusalem, ond ni ddyg-
asant hwy ef i feddrod brenhin-
oedd Israel. A Hezeciah ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XXIX.

MAB pum mlwydd ar hugain *oedd*
Hezeciah, *pan* ddechreuodd efe
deyrnasu, a naw mlynedd ar hugain
y teyrnasodd efe yn Jerusalem, ac
enw ei fam ef *oedd* Abiah merch
Zechariah.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
union yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnelsai Dafydd ei
dad.
3 ¶ Yn y flwyddyn gyntaf o'i
deyrnasiad ef, yn y mis cyntaf, efe
a agorodd ddrysau tŷ yr Arglwydd,
ac a'u cyweiriodd hwynt.
4 Ac efe a ddyg i mewn yr offeir-
iaid, a'r Lefiaid, ac a'u casglodd
hwynt yn nghyd i heol y dwyrain.
5 Ac a ddywedodd wrthynt hwy,
Gwrandewch fi, O Lefiaid, ymsant-
eiddiwch yn awr, a santeiddiwch dŷ
Arglwydd Dduw eich tadau, a dyg-
wch yr aflendid allan o'r *lle* sant-
aidd.
6 Canys ein tadau ni a drosedd-
asant, ac a wnaethant yr hyn *oedd*

---

fel y gwelwn yn yr adnodau nesaf. *Hwn yw y brenin Ahaz*—chwanegir hyn i dynu sylw ato fel yr adyn mwyaf ysgeler o holl frenhinoedd drygionus Juda ac Israel.

Adn. 23. *Canys efe a aberthodd i dduwiau Damascus*] Gwel hyn yn cael ei egluro ar 2 Bren. xvi. 10—16; *y rhai a'i tarawsent ef*—neu a gynorthwyasent y Syriaid i'w daro, fel y tybiai efe, ryw dro cyn i frenin Assyria ennill Damascus; ac am hyny efe a aberthai iddynt er mwyn eu hennill i'w gynorthwyo yntau yn erbyn ei elynion. Fel hyn yr oedd Ahaz mor ffol ag ymddiried i dduwiau meirwon, y rhai na allent ddim, yn hytrach nag i'r Duw byw, yr hwn a allai bob peth. *Ond hwy a fuant iddo ef ac i holl Israel yn dramgwydd*—trwy ei dynu ef a'i bobl i chwaneg o eilunaddoliaeth, ac i gosp a dinystr o'i herwydd.

Adn. 24. *Ac Ahaz a gasglodd lestri tŷ Dduw*] Y rhai a ddarniodd efe at ei wasanaeth ei hun, neu i'w rhoddi i frenin Assyria, adn. 21; *ac a gauodd ddrysau tŷ yr Arglwydd*—fel na chai neb fyned yno i addoli; a buont yn aros yn gauedig hyd ddechre teyrnasiad Hezeciah, pen. xxix. 3; *ac a wnaeth iddo allorau*—fel yr aberthid ar y rhai hyny i eilunod, ac nid yn y deml i Dduw.

Adn. 25. *Ac yn mhob dinas yn Juda y gwnaeth efe uchelfeydd*] I arogldarthu ynddynt i dduwiau Damascus a'r cyffelyb, yn lle dyfod i addoli i Jerusalem; ac fel hyn yr oedd efe yn debyg i Jeroboam, yr hwn a osododd ei loi yn Dan a Bethel i'r un dyben.

Adn. 26. *A'r rhan arall o'i hanes ef*] Gwel ar 2 Bren. xvi. 19, 20.

Adn. 27. *I feddrod brenhinoedd Israel*] Neu *Juda* yn hytrach. Peth cyffredin yw i ysgrifenydd y llyfr hwn roddi *Israel* am *Juda:* y mae efe yn eu hystyried hwy fyth fel *un bobl*, am iddynt ddeilliaw o'r un cyff.

PEN. XXIX. Adn. 1, 2. *Mab pum mlwydd ar hugain oedd Hezeciah, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xviii. 2, 3.

Adn. 3. *Ac yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad ef*] Sef y brenin Hezeciah; *yn y mis cyntaf*—o'r flwyddyn newydd, ar y dydd cyntaf o'r mis, adn. 17; *efe a agorodd ddrysau tŷ yr Arglwydd*—y rhai a gauasai Ahaz ei dad ef, pen. xxviii. 24; *ac a'u cyweiriodd hwynt*—trwy eu gorchuddio âg aur, 2 Bren. xviii. 16; canys ymddengys fod Ahaz wedi tynu yr aur oddiarnynt i'w roddi i frenin Assyria, neu i wneyd allorau i'w dduwiau dyeithr.

Adn. 4. *Ac efe a ddyg i mewn yr offeiriaid a'r Lefiaid*] At eu gwaith eilwaith, ar ol eu hattal gan ei dad. Er fod achos y deyrnas yn isel iawn pan ddyrchafwyd Hezeciah i'r orsedd, eto yr oedd achos crefydd yn îs; ac adfer a gwella hon oedd ei waith blaenaf ef.

Adn. 5. *O Lefiaid*] Yn cynwys yr offeiriaid hefyd; *ymsanteiddiwch yn awr*—trwy olchi eu cnawd a'u dillad; *a santeiddiwch dŷ Arglwydd Dduw eich tadau*—trwy ddwyn allan bob budreddi a gaent ynddo, a'r allor gyffelyb i'r un a welsai Ahaz yn Damascus, yr hon a osodesid yno, 2 Bren. xvi. 11, &c.

ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd ein
Duw, ac a'i gwrthodasant ef, ac a
droisant eu hwynebau oddiwrth ba-
bell yr Arglwydd, ac a droisant *eu*
gwarau.
7 Cauasant hefyd ddrysau y porth,
ac a ddiffoddasant y lampau, ac nid
arogldarthasant arogldarth, ac ni
offrymasant boeth-offrymau yn y
cysegr i Dduw Israel.
8 Am hyny digofaint yr Arglwydd
a ddaeth yn erbyn Judah a Jeru-
salem, ac efe a'u rhoddodd hwynt
yn gyffro, yn syndod, ac yn watwar-
gerdd, fel yr ydych yn gweled â'ch
llygaid.
9 Canys wele, ein tadau ni a
syrthiasant trwy y cleddyf, ein meib-
ion hefyd, a'n merched, a'n gwrag-
edd, *ydynt* mewn caethiwed o her-
wydd hyn.
10 Yn awr *y mae* yn fy mryd i
wneuthur cyfammod âg Arglwydd
Dduw Israel; fel y tro ei ddigofaint
llidiog ef oddiwrthym ni.
11 Fy meibion, na fyddwch ddi-
fraw yn awr: canys yr Arglwydd
a'ch dewisodd chwi i sefyll ger ei
fron ef, i weini iddo ef, ac i fod yn
gweini, ac yn arogldarthu iddo ef.
12 ¶ Yna y Lefiaid a gyfodasant,
Mahath mab Amasai, a Joel mab
Azariah o feibion y Cohathiaid: ac
o feibion Merari; Cis mab Abdi, ac
Azariah mab Jehaleleel: ac o'r
Gersoniaid; Joah mab Zimmah, ac
Eden mab Joah:
13 Ac o feibion Elisaphan; Sim-
ri, a Jeiel: ac o feibion Asaph;
Zechariah, a Mattaniah:
14 Ac o feibion Heman; Jehiel, a
Simei: ac o feibion Jeduthun; Se-
maiah, ac Uzziel.
15 A hwy a gynullasant eu bro-
dyr, ac a ymsanteiddiasant, ac a
ddaethant yn ol gorchymyn y bren-
in, trwy eiriau yr Arglwydd, i lan-
hau tŷ yr Arglwydd.
16 A'r offeiriaid a ddaethant i
fewn tŷ yr Arglwydd i'w lanhau ef,
ac a ddygasant allan yr holl frynti
a gawsant hwy yn nheml yr Ar-
glwydd, i gyntedd tŷ yr Arglwydd.
A'r Lefiaid a'*i* cymerasant, i'*w*
ddwyn ymaith allan i afon Cidron.
17 Ac yn y *dydd* cyntaf o'r mis
cyntaf y dechreuasant *ei* santeiddio,
ac ar yr wythfed dydd o'r mis y

---

Adn. 6. *Canys ein tadau ni a droseddasant*] Trwy eilunaddoliaeth. Ni ddywed efe 'fy nhad,' am fod yn gweddu iddo ef, fel mab, fod mor dyner ag y medrai o enw ei dad, ac am fod tadau y tô hwnw yn gydgyfranog âg ef yn ei eilunaddoliaeth. *Ac a droisant eu gwarau*—at y deml. Yr oedd yr Iuddewon, wrth addoli, yn arferol o edrych tua'r cysegr, lle yr oedd y drugareddfa; ond yn awr yr oeddynt wedi troi eu gwarau tua'r deml, a'u gwynebau tuag allor y duwiau dyeithr, yr hon a godesid yn y cyntedd.

Adn. 7. *Cauasant hefyd ddrysau y porth*] Fel na chai yr offeiriaid fyned i mewn i daclu y lampau, arogldarthu, na phoeth-offrymu.

Adn. 8. *Ac efe a'u rhoddodd hwynt yn gyffro*] Iddynt eu hunain; *yn syndod*—i ereill; *ac yn watwargerdd*—i bawb o'u hamgylch; *fel yr ydych yn gweled â'ch llygaid*—yn yr hyn a wnaed iddynt gan y Syriaid, yr Israeliaid, yr Edomiaid, a'r Philistiaid, pen. xxviii. 5, &c.

Adn. 9. *Canys wele, ein tadau ni a syrthiasant trwy y cleddyf*] Chwech ugain mil mewn un diwrnod; *ein meibion hefyd, a'n merched, a'n gwragedd, ydynt mewn caethiwed*—neu a *fuasent* mewn caethiwed; ac yr oedd rhai o honynt felly yn awr gan yr Edomiaid: gwel ar pen. xxviii. 8, 17; *o herwydd hyn*—sef y pechodau a grybwyllwyd adn. 6, 7.

Adn. 10. *Yn awr y mae yn fy mryd i wneuthur cyfammod âg Arglwydd Dduw Israel*] Sef adnewyddu yr hen gyfammod, dan ba un yr oeddynt oll yn cael eu hystyried yn barhaus, o'r hwn yr oedd yr enwaediad yn arwydd; neu addunedu o'r newydd i geisio yr Arglwydd â'u holl galon, ei wasanaethu ef yn berffaith, a'i addoli ef yn unig.

Adn. 11. *Fy meibion*] Felly y geilw efe hwynt oll, (er fod rhai o honynt yn ddigon hen i fod yn dad iddo ef,) nid yn unig am ei fod, fel brenin, yn dad iddynt mewn ystyr gwladol, ond hefyd am ei fod yn teimlo serch tadol atynt, a gofal tadol am danynt; *na fyddwch ddifraw yn awr*—neu esgeulus yn y gwaith o ymsanteiddio, adn. 5, ac ymroddi o'r newydd i addoli Duw wrth ei fodd, fel y tro ei ddigofaint llidiog ef oddiwrthym ni; *canys yr Arglwydd a'ch dewisodd chwi*—o blith yr holl lwythau ereill, i weini ger ei fron ef yn wastadol.

Adn. 12—15. *Yna y Lefiaid a gyfodasant*] I gynull eu holl frodyr absenol i ymsanteiddio, ac i lanhau tŷ yr Arglwydd, yn ol gorchymyn y brenin, ac yn unol â gorchymyn Duw.

Adn. 16. *A'r offeiriaid a ddaethant i fewn*] Am nad oedd rydd i'r Lefiaid fyned i mewn i'r cysegr; *a'r Lefiaid a'u cymerasant*—ar ol i'r offeiriaid gario y budreddi allan o'r deml i'r cyntedd, yr oedd y Lefiaid yn ei gario o'r cyntedd i afon Cidron, yr hon a redai heibio y ddinas.

Adn. 17. *Ac yn y dydd cyntaf o'r mis cyntaf*] Sef y mis cyntaf yn y flwyddyn newydd, a'r flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Hezeciah, adn. 3. Nid y dydd cyntaf o

daethant i borth yr Arglwydd: ac mewn wyth niwrnod y santeiddiasant dŷ yr Arglwydd, ac yn yr unfed dydd ar bymtheg o'r mis cyntaf y gorphenasant.

18 Yna y daethant hwy i mewn at Hezeciah y brenin, ac a ddywedasant, Glanhasom holl dŷ yr Arglwydd, ac allor y poeth-offrwm, a'i holl lestri, a bwrdd y *bara* gosod, a'i holl lestri.

19 A'r holl lestri a fwriasai y brenin Ahaz ymaith yn ei gamwedd, pan oedd efe yn teyrnasu a barotoisom, ac a santeiddiasom ni: ac wele hwy gerbron allor yr Arglwydd.

20 ¶ Yna Hezeciah y brenin a gododd yn fore, ac a gasglodd dywysogion y ddinas, ac a aeth i fyny i dŷ yr Arglwydd.

21 A hwy a ddygasant saith o fustych, a saith o hyrddod, a saith o ŵyn, a saith o fychod geifr, yn bech-aberth dros y frenhiniaeth, a thros y cysegr, a thros Judah: ac efe a ddywedodd wrth yr offeiriaid meibion Aaron, am offrymu *y rhai hyny* ar allor yr Arglwydd.

22 Felly hwy a laddasant y bustych, a'r offeiriaid a dderbyniasant y gwaed, ac a'*i* taenellasant ar yr allor: lladdasant hefyd yr hyrddod, a thaenellasant y gwaed ar yr allor: a hwy a laddasant yr ŵyn, ac a daenellasant y gwaed ar yr allor.

23 A hwy a ddygasant fychod y pech-aberth o flaen y brenin a'r gynulleidfa, ac a osodasant eu dwylaw arnynt hwy.

24 A'r offeiriaid a'u lladdasant hwy, ac a wnaethant gymod ar yr allor â'u gwaed hwynt, i wneuthur cymod dros holl Israel; canys dros holl Israel yr archasai y brenin *wneuthur* y poeth-offrwm a'r pech-aberth.

25 Ac efe a osododd y Lefiaid yn nhŷ yr Arglwydd, â symbalau, ac â nablau, ac â thelynau, yn ol gorchymyn Dafydd, a Gad gweledydd y brenin, a Nathan y proffwyd: canys y gorchymyn *oedd* trwy law yr Arglwydd, trwy law ei broffwydi ef.

26 A'r Lefiaid a safasant âg offer Dafydd, a'r offeiriaid â'r udgyrn.

27 A Hezeciah a ddywedodd am

---

deyrnasiad Hezeciah a feddylir, canys yr oedd ef wedi cynull yr offeiriaid a'r Lefiaid yn nghyd cyn hyn ar ol cael ei wneyd yn frenin, a hwythau wedi cynull eu brodyr o bob man mewn ufydd-dod iddo, ac yna ymsanteiddio, a'r cwbl *cyn* y 'dydd cyntaf' hwn. *Ac ar yr wythfed dydd o'r mis y daethant i borth yr Arglwydd*—bu yr offeiriaid wyth niwrnod yn glanhau y deml, ac yn cludo y budreddi allan i'r cyntedd; a bu y Lefiaid wyth niwrnod eilwaith yn cludo yr unrhyw o'r cyntedd i afon Cidron; tra yr oedd yr offeiriaid yn glanhau y llestri, &c.

Adn. 18, 19. *Yna y daethant hwy i mewn at Hezeciah*] I fynegu iddo yr hyn a wnaethant yn ystod yr un diwrnod ar bymtheg.

Adn. 20. *Yna Hezeciah y brenin a gododd yn fore*] Sef dranoeth wedi i'r offeiriaid orphen glanhau y deml; *ac a gasglodd dywysogion y ddinas*—i ymuno âg ef yn addoliad Duw; *ac a aeth i fyny i dŷ yr Arglwydd*—gan gofleidio y cyfleusdra cyntaf i addoli Duw yn ei deml, gan mor hiraethlon ydoedd am hyny.

Adn. 21. *A hwy a ddygasant saith o fustych, &c.*] Yr oedd hyn yn fwy nag yr oedd y gyfraith yn ei ofyn, Lef. iv. 13, &c. Yr oedd hi yn gorchymyn *un bustach* dros bechodau y *bobl*, a *llwdn gafr gwryw* dros bechodau *penaeth;* ond y mae Hezeciah yma yn offrymu llawer mwy. Ac ymddengys y rheswm yn ddigon amlwg: llefara y gyfraith yn unig am bechodau mewn *anwybod;* ond yma yr oedd pechodau o bob math,—eilunaddoliaeth, gwrthgiliad oddiwrth yr addoliad dwyfol, halogiad y deml, &c. Y pech-ebyrth a offrymwyd, (1) *Dros y frenhiniaeth*—dros bechodau y brenin a'i deulu. (2) *Dros y cysegr*—yr hwn a halogesid; a thros yr offeiriaid, y rhai oeddynt wedi bod yn halogedig, esgeulus, ac aflan. Ac (3) *Dros Juda*—dros holl gorff y bobl, y rhai a arweiniesid ymaith i bob math o ffieidd-dra trwy siamplau y tywysogion a'r offeiriaid.

Adn. 22. *A'r offeiriaid a dderbyniasant y gwaed*] Mewn cawgiau priodol i hyny, y rhai oeddynt yn awr wedi eu santeiddio, a'u gosod gerbron yr allor, adn. 19; *ac a'i taenellasant ar yr allor*—gwel ar Lef. i. 5.

Adn. 23. *Ac a osodasant eu dwylaw arnynt hwy*] Gwel ar Lef. i. 4.

Adn. 24. *I wneuthur cymod dros holl Israel*] Nid yn unig dros Juda a Benjamin, a chynifer o'r llwythau ereill ag a ymunasent â hwy, eithr hefyd dros yr holl genedl. Ac yr oedd hyn yn gysgod priodol o waed Crist, yr hwn yw yr iawn nid yn unig dros bechodau yr eglwys, eithr dros bechodau yr holl fyd, 1 Ioan ii. 2.

Adn. 25. *A symbalau, ac â nablau, ac â thelynau*] I glodfori yr Arglwydd âg offer cerdd, yn gystal ag â lleisiau dynol, yr hyn oedd wedi ei roddi heibio yn y deml er amser Ahaz. Nid oedd y tri offeryn cerdd hyn yn orchymynedig yn nghyfraith Moses; eithr gorchymynwyd hwynt gan Dafydd, Gad, a Nathan, a hyny dan gyfarwyddyd ac ysbrydoliaeth Duw, fel y dywedir yma ac mewn manau ereill.

offrymu poeth-offrwm, ar yr allor: a'r amser y dechreuodd y poeth-offrwm, y dechreuodd cân yr Arglwydd, â'r udgyrn, ac âg offer Dafydd brenin Israel.
28 A'r holl gynulleidfa oedd yn addoli, a'r cantorion yn canu, a'r udgyrn yn lleisio: *hyn* oll *a barhaodd* nes gorphen y poeth-offrwm.
29 A phan orphenasant hwy offrymu, y brenin a'r holl rai a gafwyd gydag ef, a ymgrymasant, ac a addolasant.
30 A Hezeciah y brenin a'r tywysogion a ddywedasant wrth y Lefiaid am foliannu yr Arglwydd, â geiriau Dafydd, ac Asaph y gweledydd. Felly hwy a folianasant â llawenydd, ac a ymostyngasant, ac a addolasant.
31 A Hezeciah a atebodd ac a ddywedodd, Yn awr yr ymgysegrasoch chwi i'r Arglwydd; nesewch, a dygwch ebyrth, ac ebyrth moliant, i dŷ yr Arglwydd. A'r gynulleidfa a ddygasant ebyrth, ac ebyrth moliant, a phob ewyllysgar o galon, boeth-offrymau.
32 A rhifedi y poeth-offrymau a ddyg y gynulleidfa, oedd ddeg-a-thriugain o fustych, cant o hyrddod, dau gant o ŵyn: y rhai hyn oll *oedd* yn boeth-offrwm i'r Arglwydd.
33 A'r pethau cysegredig *oedd* chwe chant o fustych, a thair mil o ddefaid.
34 Ond yr oedd rhy fychan o offeiriaid, fel na allent flingo yr holl boeth-offrymau: am hyny eu brodyr y Lefiaid a'u cynorthwyasant hwy, nes gorphen y gwaith, ac nes i'r offeiriaid ymgysegru: canys y Lefiaid *oedd* unionach o galon i ymgysegru na'r offeiriaid.
35 Y poeth-offrymau hefyd *oedd*

---

Adn. 26. *A'r Lefiaid a safasant âg offer Dafydd*] Sef y tri offeryn a enwyd uchod; *a'r offeiriaid â'r udgyrn*—y rhai a wnaed yn ol gorchymyn Duw, Num. x. 2. Tybia rhai mai dyben yr udgyrn oedd hysbysu i'r gynulleidfa fod yr aberthau yn cael eu poeth-offrymu, a'u bod yn gysgod o bregethiad yr efengyl yn cyhoeddi aberthiad Crist.

Adn. 27. *A'r amser y dechreuodd y poeth-offrwm*] Gael ei losgi; neu, fel y dywed yr Iuddewon, pan ddechreuid tywallt y ddiod-offrwm ar y poeth-offrwm; *y dechreuodd cân yr Arglwydd*—canys ni ddylai hyd yn nod tristwch am bechod attal ein cân o foliant i Dduw:

Adn. 28. *A'r holl gynulleidfa oedd yn addoli*] Neu yn crymu eu penau mewn ffordd o barch ac addoliad i Dduw; *a'r cantorion yn canu*—â'u lleisiau ac âg offer cerdd; *a'r udgyrn yn lleisio*—gwel ar adn. 26; *nes gorphen y poeth-offrwm*—nes ei losgi oll ar yr allor.

Adn. 29. *A ymgrymasant, ac a addolasant*] A'u gwynebau tua'r cysegr santeiddiolaf, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa, mewn diolchgarwch i Dduw am santeiddiad y deml, ac adferiad yr addoliad dwyfol ynddi, ac am iddo ef dderbyn eu hebyrth a'u moliant hwy yn awr.

Adn. 30. *Am foliannu yr Arglwydd*] Y pryd hyn, neu o hyn allan; *â geiriau Dafydd ac Asaph*—trwy ddefnyddio y Salmau a gyfansoddasant hwy. Dywed un o'r awdwyr Iuddewig mai at Salm cv y cyfeirir yn benaf.

Adn. 31. *Yn awr yr ymgysegrasoch chwi i'r Arglwydd*] Gan wneuthur nid yn unig gymod, ond hefyd gyfammod, trwy aberth. *Nesewch, a dygwch ebyrth*—yn chwanegol; canys rhaid i'n cyfammod ni â Duw gael ei ddal i fyny a'i gadarnhau trwy aberth yn wastadol; *ac ebyrth moliant*—gwel ar Lef. vii. 12; *a phob ewyllysgar o galon, boeth-offrymau*—yn y rhai yr oedd llawer mwy o haelioni crefyddol yn cael ei ddangos, trwy eu bod yn cael eu llosgi oll i'r Arglwydd, heb i'r bobl eu hunain gael dim o honynt; tra yr oedd yr offeiriaid a'r bobl i gydwledda ar yr ebyrth ereill.

Adn. 32. *A rhifedi y poeth-offrymau*] A ddygwyd gan y bobl yn wirfoddol, oedd 370 o anifeiliaid, rhwng y bustych, yr hyrddod, a'r ŵyn.

Adn. 33. *A'r pethau cysegredig*] Sef yr ebyrth hedd, a'r ebyrth moliant neu ddiolch, ar ranau o ba rai y cai yr offeiriaid a'r bobl wledda; *oedd chwe chant o fustych, a thair mil o ddefaid*—gallwn feddwl fod rhyw fath o orfodaeth arnynt i ddwyn y rhai hyn yn awr, gan y sonir am y poeth-offrymau yn unig fel rhoddion ewyllysgar neu wirfoddol, adn. 31.

Adn. 34. *Ond yr oedd rhy fychan o offeiriaid*] Sef o rai wedi ymsanteiddio ac yn addas i'r gwaith, trwy fod y rhan fwyaf o honynt, os nid yr oll, wedi ymhalogi wrth aberthu i eilunod dan deyrnasiad Ahaz; *fel na allent flingo yr holl boeth-offrymau*—gallai y Lefiaid ladd a blingo yr ebyrth hedd a'r cyffelyb; eithr y poeth-offrymau, y rhai a lwyr losgid i'r Arglwydd ar yr allor, nis gellid cyffwrdd â hwy ond gan yr offeiriaid yn unig, oddieithr ar achos o angenrheidrwydd, fel yr un a grybwyllir yma. *Canys y Lefiaid oedd unionach o galon*—yr oeddynt yn fwy parod i ymlanhau at eu gwaith cysegredig na'r offeiriaid, ac yn fwy diragrith ac uniawn galon yn eu gwaith, yr hyn a grybwyllir yma er anrhydedd iddynt hwy a gwarth i'r offeiriaid,

Adn. 35. *Y poeth-offrymau hefyd oedd yn aml*] Gwel ar adn. 32; *gyda brasder yr hedd-offrwm*—yr hwn oedd i'w losgi ar yr allor, ac felly yn chwanegu at waith yr offeiriaid; *a'r ddiod-offrwm*—yr hon oedd i fod

yn aml, gyda brasder yr hedd-offrwm, a'r ddiod-offrwm i'r poeth-offrymau. Felly y trefnwyd gwasanaeth tŷ yr Arglwydd.
36 A Hezeciah a lawenychodd, a'r holl bobl, o herwydd parotoi o Dduw y bobl: oblegid yn ddisymwth y bu y peth.

## PENNOD XXX.

A HEZECIAH a anfonodd at holl Israel a Judah, ac a ysgrifenodd lythyrau hefyd at Ephraim a Manasseh, i ddyfod i dŷ yr Arglwydd i Jerusalem, i gynal pasc i Arglwydd Dduw Israel.
2 A'r brenin a ymgynghorodd, a'i dywysogion, a'r holl gynulleidfa, yn Jerusalem, am gynal y pasc yn yr ail mis.
3 Canys ni allent ei gynal ef y pryd hwnw; oblegid nid ymsanteiddiasai yr offeiriaid ddigon, ac nid ymgasglasai y bobl i Jerusalem.
4 A da oedd y peth yn ngolwg y brenin, ac yn ngolwg yr holl gynulleidfa.
5 A hwy a orchymynasant gyhoeddi trwy holl Israel, o Beerseba hyd Dan, am ddyfod i gynal y pasc i Arglwydd Dduw Israel yn Jerusalem: canys ni wnaethent er ys talm fel yr oedd yn ysgrifenedig.
6 Felly y rhedegwyr a aethant â'r llythyrau o law y brenin a'i dywysogion trwy holl Israel a Judah, ac wrth orchymyn y brenin, gan ddywedyd, O feibion Israel, dychwelwch at Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac Israel, ac efe a ddychwel at y gweddill a ddiangodd o honoch chwi o law brenhinoedd Assyria.

---

gyda phob un o'r poeth-offrymau; ac felly yr oedd yn angenrheidiol i'r ychydig offeiriaid hyny gael cynorthwy y Lefiaid at eu gwaith neillduol eu hunain.

Adn. 36. *A Hezeciah a lawenychodd, a'r holl bobl*] O herwydd y cyfnewidiad dedwydd a llwyddiannus hwn ar grefydd o fewn y deyrnas, ac am ddarfod ei wneuthur mewn cyn lleied o amser, a than y dylanwad dwyfol; *o herwydd parotoi o Dduw y bobl* — trwy weithrediadau grymus ei Ysbryd ar eu calonau; *oblegid yn ddisymwth y bu y peth*—yr oedd fod y fath ddiwygiad mawr oddiwrth eilunaddoliaeth, ac mewn sel dros wasanaeth y deml, wedi cael ei ddwyn oddiamgylch mewn amser mor fyr, yn brawf fod y gwaith o Dduw.

PEN. XXX. Adn. 1. *A Hezeciah a anfonodd at holl Israel a Juda*] At bawb o'r deg llwyth ag oeddynt wedi dyfod i ymsefydlu yn ei deyrnas ef er mwyn crefydd, yn gystal ag at bawb o lwyth Juda a Benjamin; *ac a ysgrifenodd lythyrau hefyd at Ephraim a Manasse*—at yr holl weddill o'r deg llwyth o Beerseba hyd Dan, adn. 5, y rhai a osodir allan yma dan yr enwau *Ephraim a Manasse*, fel y gwneir yn fynych mewn manau ereill dan enw *Ephraim* yn unig; *i ddyfod i dŷ yr Arglwydd i Jerusalem i gynal pasc*—i'w rhybyddio hwynt o'u dyledswydd i Dduw, ac i'w hannog i'w chyflawni. Er y gallai Hezeciah orchymyn i'w ddeiliaid ei hun gynal y pasc, eto nid oedd ganddo ddim awdurdod ar y deg llwyth, amgen na dangos iddynt eu dyledswydd, a'u gwahodd ati. Dywed yr Iuddewon fod y lloi aur wedi cael eu dwyn ymaith gan yr Assyriaid y pryd hyn o Dan a Bethel, a bod *Hosea*, brenin presenol Israel, yn caniatâu i'w bobl fyned i addoli JEHOFA yn Jerusalem os mynent.

Adn. 2. *A'r brenin a ymgynghorodd*] O berthynas i gynal y pasc ar y 14eg o'r *ail* mis, yn lle yn y mis *cyntaf* yn ol y gyfraith. Yr oedd y gyfraith yn caniatâu hyny i bersonau neillduol ag oeddynt wedi ymhalogi, neu oddicartref ar y pryd, Num. ix. 10, 11; a thybient hwythau y gallai y goddefiad hwnw gael ei estyn y tro hwn i'r holl genedl.

Adn. 3. *Canys ni allent ei gynal ef y pryd hyny*] Sef ar y 14eg o'r mis cyntaf, am na orphenwyd glanhau y deml hyd yr 16eg, pen. xxix. 17, ac am ddau reswm arall a chwanegir yma. *Oblegid nid ymsanteiddiasai yr offeiriaid ddigon* — i'r fath raddau ag oedd yn gweddu iddynt, nac i'r fath nifer ag oedd yn angenrheidiol i ladd ac aberthu cynifer o greaduriaid ag a offrymid ar y pasc: gwel ar pen. xxix. 34, 35. Dywed Josephus fod 256,500 o greaduriaid yn cael eu haberthu ar yr ŵyl hòno. *Ac nid ymgasglasai y bobl i Jerusalem*—nid oeddynt wedi cael amser na rhybydd mewn pryd i allu cynal y pasc yn Jerusalem yn y mis cyntaf, pe buasai y deml yn barod, a digon o offeiriaid wrth law.

Adn. 4. *A da oedd y peth*] Cytunasant oll fod yn well cynal y pasc ar y 14eg o'r *ail* mis, na'i oedi ef hyd y flwyddyn ganlynol.

Adn. 5. *A hwy a orchymynasant gyhoeddi trwy holl Israel*] O *Beerseba* yn nherfyn deheuol gwlad Juda, hyd *Dan* yn nherfyn gogleddol gwlad Israel; *am ddyfod i gynal y pasc i Arglwydd Dduw Israel yn Jerusalem* —yr unig fan lle y gellid ei gynal yn ol y gyfraith, Deut. xvi. 6; *canys ni wnaethent er's talm fel yr oedd yn ysgrifenedig*—yn y gyfraith am gadw y pasc. Yn wir, nid oedd *Israel* wedi cadw y pasc er pan ranwyd y frenhiniaeth yn amser Jeroboam; ac yr oedd *Juda* wedi esgeuluso y pasc, a'r aberthau ereill hefyd, er dyddiau Ahaz.

Adn. 6. *O feibion Israel, dychwelwch at Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac Israel*] Oddiwrth yr hwn yr oeddynt wedi troi, i addoli y lloi aur. Ymddengys mai y geiriau

7 Ac na fyddwch fel eich tadau, nac fel eich brodyr, y rhai a droseddasant yn erbyn Arglwydd Dduw eu tadau; am hyny efe a'u rhoddodd hwynt yn annghyfanedd, megys y gwelwch chwi.
8 Yn awr na chaledwch eich gwar, fel eich tadau; rhoddwch law i'r Arglwydd, a deuwch i'w gysegr a gysegrodd efe yn dragywydd: a gwasanaethwch yr Arglwydd eich Duw, fel y tro llid ei ddigofaint ef oddiwrthych chwi.
9 Canys os dychwelwch chwi at yr Arglwydd, eich brodyr chwi a'ch meibion *a gânt* drugaredd gerbron y rhai a'u caethgludodd hwynt, fel y dychwelont i'r wlad yma: oblegid grasol a thrugarog *yw* yr Arglwydd eich Duw, ac ni thry efe *ei* wyneb oddiwrthych, os dychwelwch ato ef.
10 Felly y rhedegwyr a aethant o ddinas i ddinas trwy wlad Ephraim a Manasseh, hyd Zabulon: ond hwy a wawdiasant, ac a'u gwatwarasant hwy.
11 Er hyny gwŷr o Aser, a Manasseh, ac o Zabulon, a ymostyngasant, ac a ddaethant i Jerusalem.
12 Llaw Duw hefyd a fu yn Judah, i roddi iddynt un galon i wneuthur gorchymyn y brenin a'r tywysogion, yn ol gair yr Arglwydd.
13 ¶ A phobl lawer a ymgasglasant i Jerusalem, i gynal gŵyl y bara croyw, yn yr ail mis; cynulleidfa fawr iawn.
14 A hwy a gyfodasant, ac a fwr-

---

hyn, hyd ddiwedd adn. 9, oedd cynwysiad y llythyrau a gludid gan y rhedegwyr. *Ac efe a ddychwel at y gweddill*—nid ydych ond ychydig weddill wedi dianc o law *Pul* a *Tiglath-pileser*, brenhinoedd Assyria, y rhai a gaethgludasant eich brodyr; ac am hyny dylech ymnoddi dan gysgod Duw eich tadau, rhag i chwithau gael eich caethgludo: ac os dychwelwch chwi ato ef mewn ffordd o ddyledswydd, yntau a ddychwel atoch chwithau mewn ffordd o drugaredd.

Adn. 7. *Ac na fyddwch fel eich tadau*] Y rhai a addolasant y lloi aur yn nyddiau Jeroboam; *nac fel eich brodyr*—y rhai a ddylynasant yr un trosedd, ac am hyny a gaethgludwyd gan frenhinoedd Assyria yn gosp am eu trosedd, nes yr oedd rhanau o'u gwlad yn annghyfanedd.

Adn. 8. *Yn awr na chaledwch eich gwar*] Fel ychain anhywaith yn ceisio ymysgwyd oddiwrth yr iau; *rhoddwch law i'r Arglwydd*—yn arwydd o'ch ymostyngiad iddo ef; neu 'ysgydwch law âg ef,' fel y dywedwn ni, yn arwydd o gymod; *a deuwch i'w gysegr*—i'r deml yn Jerusalem, pa le a gysegrodd efe i gael ei wasanaethu ynddo gan yr holl lwythau hyd ddiwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig: *fel y tro llid ei ddigofaint ef oddiwrthych chwi*—yr hwn oedd eisioes wedi dechreu dyfod arnynt trwy law yr Assyriaid.

Adn. 9. *Canys os dychwelwch chwi at yr Arglwydd*] Oddiwrth eilunaddoliaeth a phechodau ereill; *eich brodyr chwi a'ch meibion*—y rhai a gaethgludwyd eisioes gan yr Assyriaid; *a gânt drugaredd gerbron y rhai a'u caethgludodd hwynt*—gwrandewir eich gweddiau chwi ar eu rhan, a rhoddir iddynt edifeirwch, ac yn ganlynol i hyny drugaredd gerbron y rhai a'u caethgludasant, fel ag i'w gollwng adref i'w gwlad eu hunain, yn ol gweddi Solomon wrth gysegru y deml, 1 Bren. viii. 46—50. *Oblegid grasol a thrugarog yw yr Arglwydd eich Duw*—yn ol y cyhoeddiad a wnaethai efe o hono ei hun, Exod. xxxiv. 6, yr hwn y rhaid eu bod hwy yn ei wybod; *ac ni thry efe ei wyneb oddiwrthych*—os deuwch i'w deml i'w addoli ef. Neu, fel y mae y *Targum* yn ei alleirio, 'Ni phair efe i'w Fawrhydi esgyn o'ch plith, os dychwelwch i'w ofni ef;' hyny yw, arhosai y Secina ar y drugareddfa yn barhaus, yn arwydd o'r Presenoldeb Dwyfol.

Adn. 10, *Ond hwy a wawdiasant, ac a'u gwatwarasant hwy*] Ar ol hir ymarfer â gwasanaethu duwiau dyeithr, yr oedd calonau y rhan fwyaf o'r deg llwyth wedi caledu i'r fath raddau, nes y gwatwarent y gwahoddiad grasol hwn i edifeirwch. Modd bynag gorfu iddynt, cyn hir, dalu yn ddrud am ddiystyru fel hyn gynghor Duw yn eu herbyn eu hunain; canys yn mhen oddeutu dwy flynedd a hanner wedi hyn darfu i *Salmaneser*, brenin Assyria, warchae ar Samaria, a chaethgludo yr holl weddill o'r deg llwyth, yn mhen tair blynedd wedi hyny, i Assyria a Media: gwel ar 2 Bren. xviii. 9—12.

Adn. 11. *Er hyny gwŷr o Aser, a Manasse, ac o Zabulon*] A llawer o'r llwythau ereill hefyd, adn. 18; *a ymostyngasant*—mewn edifeirwch, ar ol clywed y genadwri uchod; *ac a ddaethant i Jerusalem*—i gadw y pasc.

Adn. 12. *Llaw Duw hefyd a fu yn Juda*] Yn tueddu meddyliau y bobl yno hefyd, trwy ei ras, i adael eilunaddoliaeth, a throi i wasanaethu yr Arglwydd o unfryd calon, trwy gynal y pasc hwn yn ol gorchymyn y brenin a'i dywysogion; *yn ol gair yr Arglwydd*—yn unol â'i gyfraith arbenig ef.

Adn. 13. *A phobl lawer a ymgasglasant i Jerusalem*] O wahanol lwythau Israel, er i'r rhan fwyaf anufyddhau a gwawdio, adn. 10; *i gynal gŵyl y bara croyw*—yr hon a barhäai am saith niwrnod wedi y pasc, Exod. xii. 18; *yn yr ail mis*—yn ol fel y penderfynwyd, adn. 2

Adn. 14. *A hwy a gyfodasant*] Cyn iddynt ladd a bwyta y pasc; *ac a fwriasant ymaith yr allorau oedd yn Jerusalem*—y rhai a osodasai Ahaz i fyny i'w eilunod yn mhob

iasant ymaith yr allorau *oedd* yn
Jerusalem: bwriasant ymaith allorau yr arogldarth, a thaflasant
*hwynt* i afon Cidron.
15 Yna y lladdasant y pasc ar y
pedwarydd *dydd* ar ddeg o'r ail mis:
yr offeiriaid hefyd a'r Lefiaid a gywilyddiasant, ac a ymsanteiddiasant, ac a ddygasant y poeth-offrymau i dŷ yr Arglwydd.
16 A hwy a safasant yn eu lle,
wrth eu harfer, yn ol cyfraith Moses
gŵr Duw: yr offeiriaid oedd yn
taenellu y gwaed o law y Lefiaid.
17 Canys *yr oedd* llawer yn y gynulleidfa y rhai nid ymsanteiddiasent: ac ar y Lefiaid *yr oedd* lladd y
pasc dros yr holl rai aflan, i'*w* santeiddio i'r Arglwydd.
18 O herwydd llawer o'r bobl, *sef*
llawer o Ephraim a Manasseh, Issachar, a Zabulon, nid ymlanhasent; eto hwy a fwytasant y pasc, yn
amgenach nag yr oedd yn ysgrifenedig. Ond Hezeciah a weddiodd
drostynt hwy, gan ddywedyd, Yr
Arglwydd daionus a faddeuo i bob
un
19 A barotôdd ei galon i geisio
Duw, *sef* Arglwydd Dduw ei dadau,
er na *lanhawyd ef* yn ol puredigaeth
y cysegr.
20 A'r Arglwydd a wrandawodd
ar Hezeciah, ac a iachaodd y bobl.
21 A meibion Israel, y rhai a gafwyd yn Jerusalem, a gynaliasant
ŵyl y bara croyw saith niwrnod
trwy lawenydd mawr: y Lefiaid

---

congl i'r ddinas, pen. xxviii. 24. Yr oedd y deml wedi cael ei glanhau o'r blaen, ac yn awr certhir allan hen lefain eilunaddoliaeth o'r ddinas hefyd. *A thaflasant hwynt i afon Cidron*—ar ol eu malurio yn llwch yn gyntaf.

Adn. 15. *Yr offeiriaid hefyd a'r Lefiaid a gywilyddiasant*] Wrth weled parodrwydd ac awydd y fath gynulleidfa fawr i gynal y pasc, ac ystyried eu hanmharodrwydd hwy eu hunain, a'u bod wedi ei esgeuluso ef mor gywilyddus; *ac a ymsanteiddiasant*—trwy olchi eu cyrff a'u dillad. Yr oedd rhai o honynt wedi ymsanteiddio o'r blaen, a chyfeirir yma ond odid at y rhai a esgeulusasant wneuthur hyny hyd yn awr: gwel ar pen. xxix. 5, 15, 34.

Adn. 16. *A hwy a safasant yn eu lle*] Yr offeiriaid yn eu lle hwy, a'r Lefiaid yn eu lle hwythau; *wrth eu harfer*—fel yr arferent wneyd cyn i Ahaz attal gwasanaeth y deml. *Yr offeiriaid oedd yn taenellu y gwaed o law y Lefiaid*—y rhai a laddasent ac a flingasent y poeth-offrymau y waith hon yn lle yr offeiriaid, trwy nad oedd digon o honynt hwy wedi ymsanteiddio at y gwaith: gwel ar pen. xxix. 34.

Adn. 17. *Y rhai nid ymsanteiddiasent*] Trwy eu bod wedi dyfod o bell, ac ar fyr rybydd, ac heb gael eu dysgu i ymlanhau. Yr oeddynt oll yn *aflan* gan eilunaddoliaeth, a llawer o honynt gan bob math o halogrwydd seremonïol arall. *Ar y Lefiaid yr oedd lladd y pasc dros yr holl rai aflan*—ymddengys y gallai pob pen teulu ladd oen y pasc drosto ei hun a'i deulu, Exod. xii. 6; ond gan fod y rhai hyn yn aflan, neu heb ymsanteiddio, y Lefiaid oedd i ladd oen y pasc drostynt hwy y tro hwn; canys pe lladdesid yr ŵyn gan ddynion aflan, ni buasent yn 'basc santaidd i'r Arglwydd.'

Adn. 18. *Eto hwy a fwytasant y pasc*] Yn eu haflendid seremonïol fel yr oeddynt; *yn amgenach nag yr oedd yn ysgrifenedig*—neu yn groes i'r gyfraith yn y fath achos. Gan i'r bobl hyn ddyfod o bell, gydag awyddfryd calon i droi at yr Arglwydd yn ol fel y gwahoddwyd hwynt, a chan na ellid cynal pasc ar ol hwn hyd y flwyddyn ganlynol, barnwyd yn well gadael iddynt fwyta y pasc yn aflan fel yr oeddynt, rhag i'w gwrthodiad eu digaloni, neu beri iddynt ymgaledu yn eu heilunaddoliaeth. *Ond Hezeciah a weddiodd drostynt hwy*—am i'r Arglwydd daionus a thrugarog faddeu i bob un cywir yr afreoleidd-dra hwn o gynal y pasc. Gan i'r brenin yn ei sel eu galw hwynt yn nghyd gyda'r fath frys, heb roddi iddynt ddigon o amser nac hyfforddiadau i ymlanhau yn ol y gyfraith, efe a'i hystyriai ei hun dan rwymau i fyned â'u hachos hwy fel hyn at Dduw. Gallwn sylwi yma, fod yn rhyfedd na buasai *Athias*, yr hwn a ddosbarthodd adnodau yr Hen Destament i'w ffurf bresenol, yn terfynu yr adnod hon gyda'r diweddnod sydd yn ei chanol hi, gan ddechreu adn. 19 gyda'r ymadrodd, *Ond Hezeciah, &c.*, yn lle gwneyd iddi ddiweddu heb attalnod o un math!

Adn. 19. *A barotôdd ei galon i geisio Duw*] Trwy edifeirwch am ei eilunaddoliaeth a'i bechodau ereill, ac ymadawiad oddiwrthynt; *er na lanhawyd ef yn ol puredigaeth y cysegr*—yr hwn a ofynid gan y rhai a ddeuent i gysegr Duw. Addefir yma fod ganddynt hwy burdeb calon *oddifewn*, er na feddent burdeb seremonïol *oddiallan;* ac am hyny gweddia y brenin am i'r Arglwydd daionus faddeu iddynt y diffyg o'r olaf, ar gyfrif yr anhawsdra o'i gyraedd.

Adn. 20. *A'r Arglwydd a wrandawodd ar Hezeciah*] Ar ei weddi ef ar ran pobl Ephraim, Manasse, Issacar, a Zabulon, y rhai a fwytasent y pasc heb ymlanhau; *ac a iachaodd y bobl*—maddeuodd eu pechod, a derbyniodd hwy a'u gwasanaeth fel pe buasent lân. Dichon fod Duw wedi dechreu rhoddi rhyw *afiechyd* ar y bobl hyn am fwyta y pasc heb ymlanhau, fel ar y Corinthiaid wedi hyny am fwyta swper yr Arglwydd yn annheilwng, 1 Cor. xi. 29—32; ond mewn atebiad i weddi y brenin, efe a'u *hiachaodd* hwynt.

Adn. 21. *Trwy lawenydd mawr*] Yr oedd gwŷr Juda yn llawenhau nid yn unig am fod

hefyd a'r offeiriaid oedd yn moliannu yr Arglwydd o ddydd i ddydd, *gan ganu* âg offer soniarus i'r Arglwydd.
22 A Hezeciah a ddywedodd wrth *fodd* calon yr holl Lefiaid, y rhai oedd yn dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd; a hwy a fwytasant ar hyd yr ŵyl saith niwrnod, *ac* a aberthasant ebyrth hedd, ac a gyffesasant i Arglwydd Duw eu tadau.
23 A'r holl gynulleidfa a ymgynghorasant i gynal saith o ddyddiau ereill: felly y cynaliasant saith o ddyddiau *ereill trwy* lawenydd.
24 Canys Hezeciah brenin Judah a roddodd i'r gynulleidfa fil o fustych, a saith mil o ddefaid; a'r tywysogion a roddasant i'r gynulleidfa fil o fustych, a deng mil o ddefaid: a llawer o offeiriaid a ymsanteiddiasant.
25 A holl gynulleidfa Judah a lawenychasant, gyda'r offeiriaid a'r Lefiaid, a'r holl gynulleidfa a ddaeth o Israel, a'r dyeithriaid a ddaethai o wlad Israel, ac oeddynt yn gwladychu yn Judah.
26 Felly y bu llawenydd mawr yn Jerusalem: canys er dyddiau Solomon mab Dafydd brenin Israel ni *bu* y cyffelyb yn Jerusalem.
27 ¶ Yna yr offeiriaid a'r Lefiaid a gyfodasant, ac a fendithiasant y bobl; a gwrandawyd ar eu llef hwynt, a'u gweddi hwynt a ddaeth *i fyny* i'w breswylfa santaidd ef, i'r nefoedd.

---

yr ŵyl santaidd hon wedi cael ei hadferu yn Jerusalem, ond hefyd am fod eu brodyr o frenhiniaeth *Israel* wedi ymuno â hwynt ynddi, a chael derbyniad grasol gan Dduw. *Y Lefiaid hefyd a'r offeiriaid oedd yn moliannu yr Arglwydd o ddydd i ddydd*—yn ystod saith niwrnod yr ŵyl; *gan ganu âg offer soniarus*—gwel ar pen. xxix. 25, &c.

Adn. 22. *A Hezeciah a ddywedodd wrth fodd calon yr holl Lefiaid*] A'u canmolodd am eu sel a'u diwydrwydd, ac fel cefnogaeth iddynt addawodd eu gwobrwyo ond odid am eu llafur; *y rhai oedd yn dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd*—sef gwybodaeth o'i gyfraith a'i wasanaeth ef i'r bobl; *a hwy a fwytasant*—ar ol lladd a bwyta y pasc ar ddechre yr ŵyl, aberthasant ebyrth hedd ar bob dydd o'r ŵyl, gan losgi y brasder, a gwledda mewn llawenydd ar ranau ereill yr ebyrth; *ac a gyffesasant i Arglwydd Dduw eu tadau*—cyffesasant eu pechodau eu hunain yn ei erbyn ef, a'i fawr ddaioni yntau iddynt yn ngwyneb eu hannheilyngdod.

Adn. 23. *A'r holl gynulleidfa a ymgynghorasant*] Yn eu plith eu hunain, a chyda'r brenin, ei dywysogion, a'r offeiriaid; *i gynal saith o ddyddiau ereill*—yn ŵyl, nid i fwyta y pasc a'r bara croyw, eithr i offrymu ebyrth hedd, gwledda arnynt mewn llawenydd, a moliannu ac addoli Duw. Er ei bod yn amser cynauaf, eto yr oedd calonau y bobl mor lawn o gariad, fel nad oeddynt yn blino ar addoliad Duw, nac mewn brys i fyned adref at eu hachosion tymhorol.

Adn. 24. *Canys Hezeciah brenin Juda*] O'i gyllid ei hun, yn chwanegol at yr hyn a gyfranasai efe at lanhau y deml a chynal y pasc; *a roddodd i'r gynulleidfa fil o fustych a saith mil o ddefaid*—rhoddodd hwynt yn gyntaf i Dduw i'r hwn yr offrymid rhanau o honynt mewn ffordd o ddiolchgarwch, ac wedi hyny i'r bobl, y rhai a wleddent ar y gweddill; *a'r tywysogion*—yn ol siampl y brenin, *a roddasant i'r gynulleidfa fil o fustych a deng mil o ddefaid*—yr hyn oedd dair mil o ddefaid yn fwy na rhodd y brenin, trwy eu bod hwy yn llawer ac yntau yn un; *a llawer o offeiriaid a ymsanteiddiasant*—heblaw y rhai a ymsanteiddiasent o'r blaen, fel y gallent gynorthwyo yn offrymiad yr holl aberthau hyn. Yr oedd hon yn weithred haelionus iawn o eiddo y brenin a'i dywysogion, trwy nad oedd y dyeithriaid o Israel wedi dwyn aberthau gyda hwynt, na modd ganddynt yn ddiamau i'w prynu.

Adn. 25. *A'r holl gynulleidfa a ddaeth o Israel*] Yn awr, i'r ŵyl hon, adn. 18; *a'r dyeithriaid a ddaethai o wlad Israel*—o'r blaen, i wladychu yn Juda er mwyn y deml a'i gwasanaeth. Rhaid mai Iuddewon oedd y rhai olaf hyn, neu broselytiaid at Iuddewiaeth, am nad allai neb dienwaededig fwyta o'r pasc, Exod. xii. 43, 44.

Adn. 26. *Felly y bu llawenydd mawr yn Jerusalem*] Nid llawenydd cnawdol mewn bwyta ac yfed, ond llawenydd crefyddol o herwydd adferiad gwasanaeth y deml, a gwleddoedd yr Arglwydd yno. *Ni bu y cyffelyb yn Jerusalem*—er pan gysegrwyd y deml gan Solomon, 1 Bren. viii. 63—66. Hefyd, gan i'r deyrnas gael ei rhanu yn fuan ar ol marwolaeth Solomon, nid oedd braidd neb o frenhiniaeth Israel yn dyfod i'r ŵyl i Jerusalem, fel y daethant y tro hwn.

Adn. 27. *Yna yr offeiriaid a'r Lefiaid—a fendithiasant y bobl*] Yn ddiamau yn y ffurf a sefydlasai yr Arglwydd ei hun i'r perwyl hwnw: gwel ar Num. vi. 23—27. Gwaith yr offeiriaid oedd bendithio y bobl; ond dichon fod y Lefiaid yn dywedyd *Amen* ar ddiwedd pob bendithiad, neu yn *canu* ar yr achlysur hwnw. *A'u gweddi hwynt a ddaeth i fyny i'w breswylfa santaidd ef i'r nefoedd*—fel yr oedd mwg eu haberthau yn esgyn i'r cymylau, felly yr oedd eu gweddiau a'u mawl yn esgyn i'r nefoedd, ac yn disgyn yn gawodydd

## PENNOD XXXI.

AC wedi gorphen hyn i gyd, holl
Israel y rhai *oedd* bresenol a
aethant allan i ddinasoedd Judah,
ac a ddrylliasant y delwau, ac a
dorasant y llwyni, ac a ddistryw-
iasant yr uchelfeydd a'r allorau
allan o holl Judah a Benjamin, yn
Ephraim hefyd a Manasseh, nes
*eu* llwyr ddifa. Yna holl feibion
Israel a ddychwelasant bob un i'w
feddiant, i'w dinasoedd.
2 ¶ A Hezeciah a osododd ddos-
barthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid,
yn eu cylchoedd, pob un yn ol ei wein-
idogaeth, yr offeiriaid a'r Lefiaid i'r
poeth-offrwm, ac i'r ebyrth hedd, i
weini, ac i foliannu, ac i ganmol, yn
mhyrth gwersylloedd yr Arglwydd.
3 A rhan y brenin *oedd* o'i olud ei
hun i'r poeth-offrymau, *sef* i boeth-
offrymau y bore a'r hwyr ac i boeth-
offrymau y sabbothau, a'r newydd-
loerau, a'r gŵyliau arbenig, fel *y*
*mae* yn ysgrifenedig yn nghyfraith
yr Arglwydd.
4 Efe a ddywedodd hefyd wrth y
bobl, trigolion Jerusalem, am roddi
rhan i'r offeiriaid, a'r Lefiaid, fel
yr ymgryfhäent yn nghyfraith yr
Arglwydd.
5 ¶ A phan gyhoeddwyd y gair
hwn, meibion Israel a ddygasant
yn aml, flaenffrwyth yr ŷd, y gwin,
a'r olew, a'r mêl, ac o holl gnwd y
maes, a'r degwm o bob *peth* a ddyg-
asant hwy yn helaeth.
6 A meibion Israel a Judah, y
rhai oedd yn trigo yn ninasoedd
Judah, hwythau a ddygasant ddeg-
wm gwartheg a defaid, a degwm y
pethau cysegredig a gysegrasid i'r
Arglwydd eu Dduw, ac a'*u* gosod-
asant bob yn bentwr.
7 Yn y trydydd mis y dechreuas-
ant hwy seilio y pentyrau, ac yn y
seithfed mis y gorphenasant *hwynt.*
8 A phan ddaeth Hezeciah a'r ty-
wysogion, a gweled y pentyrau,

---

o fendithion ar eu heneidiau. Yr oedd Duw ei hun megys yn dywedyd *Amen* wrth eu gweddi, ac fe allai yn rhoddi rhyw arwydd gweledig mewn ffordd o gadarnhad i'r fendith a gyhoeddid gan yr offeiriaid. Yr oedd Israel yn awr mewn ffordd dêg i adennill yr hyn a gollasent; ond och! mor ebrwydd yr aeth yr holl obeithion dysglaer hyn dan gwmwl am byth!

PEN. XXXI. Adn. 1. *Holl Israel y rhai oedd bresenol*] Yn yr ŵyl yn Jerusalem, yn cael eu cynorthwyo yn ddiamau gan wŷr Juda a Benjamin; *a ddrylliasant y delwau*—nid yn unig yn holl deyrnas *Juda*, ond hefyd yn Ephraim a Manasse yn nheyrnas *Israel.* Gallasai Hezeciah orchymyn hyn trwy holl wlad Canaan, am fod cyfraith Duw yn penodi hyny; neu dan gyfarwyddyd Ysbryd Duw; neu oddiar argyhoeddiad fod Hosea brenin Israel, yr hwn a oddefasai i'w ddeiliaid fyned i gynal y pasc yn Jerusalem, yn foddlon iddo.

Adn. 2. *A Hezeciah a osododd ddosbarthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid yn eu cylchoedd*] Fel y trefnwyd hwy ar y cyntaf gan Dafydd; *yn mhyrth gwersyll yr Arglwydd* —sef yn yr ystafelloedd o amgylch y deml, yr hon oedd tŷ, pabell, a gwersyll y Goruchaf.

Adn. 3. *A rhan y brenin oedd o'i olud ei hun*] Yn lle beichio y bobl â'r ebyrth hyn, darparai y brenin hwynt ar ei draul ei hun, am fod trysorau y deml yn isel, a'r bobl wedi eu tylodi yn fawr yn amser ei dad ef; *sef i boeth-offrymau y bore a'r hwyr, &c.*—gwel y rhai hyn yn cael eu nodi, Num. xxviii. 1—25.

Adn. 4. *Am roddi rhan i'r offeiriaid a'r Lefiaid*] Sef y degymau a'r blaenffrwythau a benodasid iddynt yn y gyfraith; *fel yr ymgryfhäent yn nghyfraith yr Arglwydd*—i'w myfyrio hi eu hunain, a'i dysgu i'r bobl, heb gael eu blino a'u rhwystro gan ofalon bydol am gynaliaeth iddynt hwy a'u teuluoedd.

Adn. 5. *A phan gyhoeddwyd y gair hwn*] Ar led trwy y deyrnas; *meibion Israel a ddygasant yn aml*—neu mewn helaethrwydd, *flaenffrwyth yr ŷd, y gwin, a'r olew*—y rhai a orchymynid yn y gyfraith, Deut. xviii. 4. *A'r mêl*—yr hwn y gellid ei roddi i'r offeiriaid fel blaenffrwyth neu ddegwm, er na ellid ei offrwm i'r Arglwydd, Lef. ii. 11. Ond myn rhai mai *dates*, sef ffrwythau y balmwydden, a feddylir yma wrth y gair *debash*, am eu bod yn felys fel mêl. *Ac o holl gnwd y maes*—dygent y *blaenffrwyth* o'r cwbl i'r offeiriaid, heblaw y *degwm* o bob peth ag yr oedd y gyfraith yn eu nodi, yr hwn a ddygent i mewn yn helaeth.

Adn. 6. *Y rhai oedd yn trigo yn ninasoedd Juda*] Ac yn cadw anifeiliaid i bori yn y maesydd pentrefol; *a ddygasant ddegwm gwartheg a defaid*—yn chwanegol at yr ŷd, y gwin, a'r olew; *a degwm y pethau cysegredig*—neu y ddegfed ran o'u hennill masnachol, neu yspail rhyfel, a'r cyffelyb, y rhai yr oeddynt hwy wedi eu haddunedu i'r Arglwydd: gwel Gen. xiv. 20, a xxviii. 22, Num. xxxi. 28, 30. *Ac a'u gosodasant bob yn bentwr*—o ddydd i ddydd fel yr oeddynt yn dyfod i mewn, gan gadw pob cynyrch ar ei ben ei hun, heb eu cymysgu.

Adn. 7. *Yn y trydydd mis*] O'r flwyddyn gysegredig, yr hwn yw *Sivan*, yn cyfateb i ran o'n Mai a'n Mehefin ni, y dechreuasant gario y degwm i mewn yn bentyrau; *ac yn y*

hwy a fendithiasant yr Arglwydd
a'i bobl Israel.
9 A Hezeciah a ymofynodd â'r
offeiriaid a'r Lefiaid o herwydd y
pentyrau.
10 Ac Azariah yr offeiriad penaf
o dŷ Sadoc, a ddywedodd wrtho, ac
a lefarodd, Er pan ddechreuwyd
dwyn offrymau i dŷ yr Arglwydd,
bwytasom a digonwyd ni, gweddill-
asom hefyd lawer iawn: canys yr
Arglwydd a fendithiodd ei bobl;
a'r gweddill *yw* yr amldra hyn.
11 ¶ A Hezeciah a ddywedodd
am barotoi celloedd yn nhŷ yr Ar-
glwydd; a hwy a'*u* parotoisant,
12 Ac a ddygasant i mewn y
blaen-ffrwyth, a'r degwm, a'r *peth-
au* cysegredig, yn ffyddlon: a Cho-
noniah y Lefiad *oedd* flaenor arnynt
hwy, a Simei ei frawd ef yn ail.
13 Jehiel hefyd, ac Azaziah, a
Nahath, ac Asahel, a Jerimoth, a
Jozabad, ac Eliel, ac Ismachiah, a
Mahath, a Benaiah, *oedd* swyddog-
ion dan law Cononiah a Simei ei
frawd ef, trwy orchymyn Hezeciah y
brenin, ac Azariah blaenor tŷ Dduw.
14 A Chore mab Imnah y Lefiad,
y porthor tua'r dwyrain, *oedd* ar y
pethau a offrymid yn ewyllysgar i
Dduw, i ranu offrymau yr Ar-
glwydd, a'r pethau santeiddiolaf.
15 Ac wrth ei law ef *yr oedd* Ed-
en, a Miniamin, a Jesua, a Semai-
ah, Amariah, a Sechaniah, yn ninas-
oedd yr offeiriaid, yn *eu* swydd, i
roddi i'w brodyr yn ol eu rhan, i
fawr ac i fychan:
16 Heblaw y gwrywiaid o'u cenedl
hwynt, o fab tair blwydd ac uchod,
i bawb a'r oedd yn dyfod i dŷ yr
Arglwydd, ddogn dydd yn ei ddydd,
yn eu gwasanaeth hwynt, o fewn eu
goruchwyliaethau, yn ol eu dos-
barthiadau;
17 I genedl yr offeiriaid wrth dŷ
eu tadau, ac i'r Lefiaid o fab ugain
mlwydd ac uchod, yn ol eu goruch-
wyliaethau, yn eu dosbarthiadau;
18 Ac i genedl eu holl blant hwy,
eu gwragedd, a'u meibion, a'u
merched, trwy yr holl gynulleidfa:
oblegid trwy eu ffyddlondeb y trin-
ent hwy yn santaidd yr hyn oedd
santaidd:

---

*seithfed mis*—sef *Tisri*, yn cyfateb i'n Medi a'n Hydref ni; *y gorphenasant hwynt*—trwy fod rhai o'r ffrwythau heb addfedu hyd y pryd hyny.

Adn. 8. *A phan ddaeth Hezeciah a'r tywysogion*] I olwg y blaenffrwythau a'r degymau, y rhai oeddynt wedi eu pentyru yn nghynteddoedd y deml, neu gerllaw yno; *hwy a fendithiasant yr Arglwydd*—am gynyrchion helaeth y ddaear, ac am dueddu calonau y bobl i'w rhoddi; *a'i bobl Israel*—am eu dwyn yn mlaen at wasanaeth gweinidogion y cysegr mor ewyllysgar a ffyddlon.

Adn. 9. *A Hezeciah a ymofynodd â'r offeiriaid*] Pa fodd yr oedd yno gynifer o bentyrau mor fawrion, neu paham yr oeddynt yn cael eu gadael yn y fath le.

Adn. 10. *Er pan ddechreuwyd dwyn offrymau i dŷ yr Arglwydd*] Bedwar mis yn ol; *bwytasom a digonwyd ni*—ni a'n teuluoedd; *gweddillasom hefyd lawer iawn*—nid o gybydd-dod, ond o herwydd nad allem ei dreulio; *canys yr Arglwydd a fendithiodd ei bobl*—â chnydiau toreithiog, ac â chalon i gyfranu yn helaeth o honynt; *a'r gweddill yw yr amldra hyn*—a weli di yma yn bentyrau.

Adn. 11. *Am barotoi celloedd yn nhŷ yr Arglwydd*] Sef adeiladu ystafelloedd newyddion, neu ynte waghau yr hen rai, i dderbyn y degymau a'r blaenffrwythau hyn.

Adn. 12. *Yn ffyddlon*] Heb gadw dim yn lladradaidd at eu gwasanaeth eu hunain.

Adn. 13. *Oedd swyddogion dan law Cononiah a Simei*] Yr oedd y deg hyn yn gyfrifol i'r ddau flaenor yma, megys yr oeddynt hwythau i'r brenin a'r archoffeiriad.

Adn. 14. *Y pethau a offrymid yn ewyllysgar i Dduw*] Yn chwanegol at y blaenffrwyth a'r degwm; *i ranu offrymau yr Arglwydd*—i'r offeiriaid a'r Lefiaid a'u teuluoedd, i'r rhai y penodasai yr Arglwydd hwynt; *a'r pethau santeiddiolaf*—y rhai yr oedd yr offeiriaid a'u teuluoedd yn unig i'w bwyta, megys gweddillion y bwyd-offrymau, y pech-offrymau, a'r bara gosod.

Adn. 15. *Ac wrth ei law ef yr oedd Eden, a Miniamin*] Neu *Benjamin*, fel y mae mewn rhai ysgriflyfrau a chyfieithiadau. I'r rhai hyn yr ymddiriedwyd rhanu eu dogn i'r offeiriaid ag oeddynt yn trigo yn eu dinasoedd yn y wlad, tra yr oedd eu brodyr yn gweini yn Jerusalem, ac yn cael eu cynal yno.

Adn. 16. *Heblaw y gwrywiaid o'u cenedl hwynt*] Yr oedd meibion yr offeiriaid yn dyfod gyda'u tadau i'r deml, o fab tair blwydd ac uchod, i gael eu harfer at waith yr offeiriadaeth o'u mebyd, fel y gallent wybod eu gwaith pan ddeuent i oedran gweini; ac yr oeddynt yn cael eu cynal yr un modd a'r offeiriaid.

Adn. 17. *Lefiaid o fab ugain mlwydd*] Gwel ar 1 Cron. xxiii. 24.

Adn. 18. *Ac i genedl eu holl blant hwy*] Yr oedd darpariaeth ddigonol at gynal y rhai hyn oll, fel y gallai yr offeiriaid a'r Lefiaid ymroddi yn hollol i wasanaethu Duw.

Adn. 19. *Y rhai oedd yn maesydd pentref-*

19 Ac i feibion Aaron, yr offeiriaid, *y rhai oedd* yn maesydd pentrefol eu dinasoedd, yn mhob dinas, y gwŷr a enwasid wrth eu henwau, i roddi rhanau i bob gwryw yn mysg yr offeiriaid, ac i'r holl rai a gyfrifwyd wrth achau yn mhlith y Lefiaid.
20 ¶ Ac fel hyn y gwnaeth Hezeciah trwy holl Judah, ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* dda ac union, a'r gwirionedd, gerbron yr Arglwydd ei Dduw.
21 Ac yn mhob gwaith a ddechreuodd efe yn ngweinidogaeth tŷ Dduw, ac yn y gyfraith, ac yn y gorchymyn i geisio ei Dduw, efe a'i gwnaeth â'i holl galon, ac a ffynodd.

## PENNOD XXXII.

WEDI y pethau *hyn*, a'u sicrhau, y daeth Senacherib brenin Assyria, ac a ddaeth i mewn i Judah; ac a wersyllodd yn erbyn y dinasoedd caerog, ac a feddyliodd eu hennill hwynt iddo ei hun.
2 A phan welodd Hezeciah ddyfod Senacherib, *a bod* ei wyneb ef i ryfela yn erbyn Jerusalem;
3 Efe a ymgynghorodd â'i dywysogion, ac â'i gedyrn, am argae dyfroedd y ffynnonau, y rhai *oedd* allan o'r ddinas. A hwy a'i cynorthwyasant ef.
4 Felly pobl lawer a ymgasglasant, ac a argaeasant yr holl ffynnonau, a'r afon sydd yn rhedeg trwy ganol y wlad, gan ddywedyd, Paham y daw brenhinoedd Assyria, ac y cânt ddyfroedd lawer?
5 Ac efe a ymgryfhaodd, ac a adeiladodd yr holl fur drylliedig, ac a'*i* cyfododd i fyny hyd y tyrau, a mur arall oddiallan, ac a gadarnhaodd Milo *yn* ninas Dafydd, ac a wnaeth lawer o bicellau ac o darianau.
6 Ac efe a osododd dywysogion

---

*ol eu dinasoedd*] Gofelid am gynaliaeth y rhai hyny, yr un modd a phe buasent wrth eu gwaith yn y cysegr, adn. 15.

Adn. 20. *Ac fel hyn y gwnaeth Hezeciah trwy holl Juda*] Nid yn unig i'r offeiriaid a'r Lefiaid ag oeddynt wrth eu gwaith yn y deml, ond hefyd i'r rhai gwasgaredig ar hyd yr holl deyrnas; *yr hyn oedd dda ac union*—ynddo ei hun; *a'r gwirionedd*—yn ngolwg Duw: yr oedd cyfraith yr Arglwydd yn gofyn hyn ganddo, ac efe a'i cyflawnodd yn wirioneddol.

Adn. 21. *Yn ngweinidogaeth tŷ Dduw*] Megys glanhau y deml, darparu aberthau, trefnu yr offeiriaid a'r Lefiaid, a pharotoi at eu cynaliaeth; *ac yn y gyfraith*—tuag at gadw y foesol, y seremoniol, a'r wladol; *ac yn y gorchymyn i geisio ei Dduw*—trwy weddio arno, aberthu iddo, a'i addoli yn ddyladwy; *efe a'i gwnaeth â'i holl galon*—yn y modd llawnaf, gwresocaf, a mwyaf diragrith; *ac a ffynodd*—cyrhaeddodd ei amcan yn llwyr, trwy fod yr Arglwydd yn ei fendithio ac yn ei lwyddo. Boed i Dduw roddi *brenhinoedd* tebyg i Hezeciah i holl deyrnasoedd y ddaear; a boed i'r *bobl* a fendithir â'r cyfryw fod yn ufydd iddynt yn mhob peth, a bendithio Duw am danynt.

PEN. XXXII. Adn. 1. *Wedi y pethau hyn*] Ar ol sicrhau Hezeciah yn ei deyrnas, a gorphen y trefniadau o berthynas i addoliad Duw; canys ni oddefodd Duw i'r brenin duwiol hwn gael ei aflonyddu nes iddo orphen ei ddiwygiadau; *y daeth Senacherib brenin Assyria*—hyn a fu yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Hezeciah: gwel ar 2 Bren. xviii. 13, &c. Fel hyn gwelodd Duw yn dda ei brofi ef mewn modd chwerw, fel y gallai gael cyfleusdra i'w ddangos ei hun yn gryf o blaid ei bobl ddychweledig.

Adn. 2. *A bod ei wyneb ef i ryfela yn erbyn Jerusalem*] Ar ol ennill dinasoedd caerog y wlad.

Adn. 3. *Am argae dyfroedd y ffynnonau*] Eu cau i fyny, neu eu troi dan y ddaear, fel na chai byddin yr Assyriaid ddwfr, yr hyn a fyddai yn galedi mawr arnynt yn y wlad boeth hòno.

Adn. 4. *Argaeasant yr holl ffynnonau*] Trwy roddi cerig a phridd drostynt, fel na wyddai neb dyeithr fod yno ffynnonau; *a'r afon sydd yn rhedeg trwy ganol y wlad*—sef afon Gihon, neu ynte Cidron, yr hon nid yw ond bechan iawn, oddieithr ddwywaith yn y flwyddyn, pan fo y gwlaw yn disgyn. Y mae yn debyg iddynt wneyd ffos dan-ddaearol, ar hyd yr hon yr oedd digon o ddwfr yn rhedeg i Jerusalem, tra yr oedd eu gelynion oddiallan heb ddim.

Adn. 5. *Ac a adeiladodd yr holl fur drylliedig*] Yr hwn ond odid a ddrylliesid gan Pecah, pen. xxviii. 6; canys yr oedd Uzziah wedi adgyweirio yr adwyon a wnaed gan Joas brenin Israel, pen. xxv. 23, a xxvi. 9; *ac a'i cyfododd i fyny hyd y tyrau*—mor uchel a'r tyrau, neu o borth Ephraim hyd y tyrau; *a mur arall oddiallan*—yn ail fur o amgylch y ddinas, neu yn y manau tebycaf o gael ymosod arnynt; *ac a gadarnhaodd Milo*—gwel ar 1 Bren. ix. 15; *ac a wnaeth lawer o bicellau*—i'w taflu oddiar y muriau at y gelynion; *ac o darianau*—i filwyr Hezeciah eu hamddiffyn eu hunain â hwynt rhag saethau yr Assyriaid.

Adn. 6. *Ac efe a osododd dywysogion rhyfel ar y bobl*] I'w dysgu yn y filwriaeth; *ac a lefarodd wrth fodd eu calon*—i'w gwroli

rhyfel ar y bobl, ac a'u casglodd
hwynt ato i heol porth y ddinas, ac a
lefarodd wrth *fodd* eu calon hwynt,
gan ddywedyd,
7 Ymwrolwch, ac ymgadarnhe-
wch; nac ofnwch, ac na ddigalon-
wch rhag brenin Assyria, na rhag
yr holl dyrfa *sydd* gydag ef: canys
*y mae* gyda ni fwy na chydag ef.
8 Gydag ef *y mae* braich cnawdol;
ond yr Arglwydd ein Duw *sydd* gyda
ni, i'n cynorthwyo, ac i ryfela ein
rhyfeloedd. A'r bobl a hyderasant
ar eiriau Hezeciah brenin Judah.
9 ¶ Wedi hyn yr anfonodd Sena-
cherib brenin Assyria ei weision i
Jerusalem, (ond *yr ydoedd* efe ei
hun *yn rhyfela* yn erbyn Lachis, a'i
holl allu gydag ef,) at Hezeciah
brenin Judah, ac at holl Judah, y
rhai *oedd* yn Jerusalem, gan ddy-
wedyd,
10 Fel hyn y dywedodd Senach-
erib brenin Assyria, Ar ba beth yr
ydych chwi yn hyderu, chwi y rhai
sydd yn aros yn ngwarchae o fewn
Jerusalem?
11 Ond Hezeciah sydd yn eich
hudo chwi, i'ch rhoddi chwi i farw
trwy newyn, a thrwy syched, gan
ddywedyd, Yr Arglwydd ein Duw
a'n gwared ni o law brenin Assyria.
12 Onid yr Hezeciah hwnw a
dynodd ymaith ei uchelfeydd ef, a'i
allorau, ac a orchymynodd i Judah
a Jerusalem, gan ddywedyd, O flaen
un allor yr addolwch, ac ar hôno yr
arogldarthwch?
13 Oni wyddoch chwi beth a
wnaethym, mi a'm tadau, i holl bobl
y tiroedd? ai gan allu y gallai duw-
iau cenhedloedd y gwledydd achub
eu gwlad o'm llaw i?
14 Pwy *oedd* yn mysg holl dduw-
iau y cenhedloedd hyn, (y rhai a
ddarfu i'm tadau eu dyfetha,) a allai
waredu ei bobl o'm llaw i, fel y gall-
ai eich Duw chwi eich gwaredu
chwi o'm llaw i?
15 Yn awr gan hyny na thwylled
Hezeciah chwi, ac na huded mo
honoch fel hyn, ac na choeliwch
iddo ef: canys ni allodd duw un
genedl na theyrnas achub ei bobl
o'm llaw i, nac o law fy nhadau: pa
faint llai y gwared eich Duw chwy-
chwi o'm llaw i?
16 A'i weision ef a ddywedasant
ychwaneg yn erbyn yr Arglwydd
Dduw, ac yn erbyn Hezeciah ei
was ef.
17 Ac efe a ysgrifenodd lythyrau
i gablu Arglwydd Dduw Israel, ac
i lefaru yn ei erbyn ef, gan ddywed-
yd, Fel nad achubodd duwiau cen-
hedloedd y gwledydd eu pobl o'm
llaw i, felly nid achub Duw Heze-
ciah ei bobl o'm llaw i.
18 Yna y gwaeddasant hwy â llef
uchel, yn iaith yr Iuddewon, ar

---

i amddiffyn y ddinas yn erbyn y gwarchae-wyr.

Adn. 7. *Nac ofnwch*] Ond ymwrolwch; *ac na ddigalonwch*—ond ymgadarnhewch, yn erbyn brenin Assyria a'i holl fyddin luosog; *canys y mae gyda ni fwy na chydag ef*—nid mwy o *wŷr* ond odid, ond mwy o *nerth*: gwel ar 2 Bren. vi. 16.

Adn. 8. *Gydag ef y mae braich cnawdol*] Dynion gweiniaid a marwol yn unig; *ond yr Arglwydd ein Duw sydd gyda ni*—sef y Duw cadarn a hollalluog, yr hwn nid yn unig a'n cynorthwya ni, ond a ryfela ein rhyfeloedd ni ei hunan. *A'r bobl a hyderasant*—y cyflawnid geiriau Hezeciah gan yr Arglwydd eu Duw.

Adn. 9. *Wedi hyn yr anfonodd Senacherib brenin Assyria ei weision i Jerusalem*] Y rhai a enwir yn 2 Bren. xviii. 17: a hyn a fu wedi i Hezeciah roddi iddo lawer o aur ac arian am ymadael o'i wlad ef: gwel ar 2 Bren. xviii. 14—16.

Adn. 10. *Ar ba beth yr ydych chwi yn hyderu?*] Gwel ar 2 Bren. xviii. 19, &c.

Adn. 11. *I farw trwy newyn a thrwy syched*] Wrth gael gwarchae arnynt nes darfod eu hymborth.

Adn. 12. *Onid yr Hezeciah hwnw a dynodd ymaith ei uchelfeydd ef*] Trwy yr hyn y digiodd efe ei Dduw, fel ag i fforffetio ei amddiffyniad; *gan ddywedyd, O flaen un allor, &c.*—efe a ddengys yma ei anwybodaeth o'r gyfraith ddwyfol, yr hon a orchymynai iddynt aberthu yn unig yn Jerusalem.

Adn. 13—15. *Oni wyddoch chwi beth a wnaethym, &c.*] Pa fuddugoliaethau a ennillasai efe a'i dadau, a pha ddifrod a wnaethent hwy ar genhedloedd ereill cyn hyn; a chan nad allodd duwiau y rhai hyny waredu eu haddolwyr o law Senacherib, pa faint llai y gallai Duw Israel eu gwaredu hwy? gwel ar 2 Bren xviii. 33—35.

Adn. 16. *A'i weision ef a ddywedasant ychwaneg*] Mewn ffordd o gabledd yn erbyn Duw, a'i was Hezeciah: gwel rai o'r pethau hyny yn cael eu crybwyll yn 2 Bren. xviii a xix, ac Esay xxxvi.

Adn. 17. *Ac efe a ysgrifenodd lythyrau*] Neu a barodd eu hysgrifenu: gwel ar 2 Bren. xix. 9—14.

bobl Jerusalem, y rhai *oedd* ar y
mur, i'w hofni hwynt, ac i'w braw-
ychu; fel yr ennillent hwy y ddinas.
19 A hwy a ddywedasant yn er-
byn Duw Jerusalem fel yn erbyn
duwiau pobloedd y wlad, *sef* gwaith
dwylaw dyn.
20 Am hyny y gweddïodd Heze-
ciah y brenin, ac Esay y proffwyd
mab Amos, ac a waeddasant i'r nef-
oedd.
21 ¶ A'r Arglwydd a anfonodd
angel, yr hwn a laddodd bob cadarn
nerthol, a *phob* blaenor a thywysog
yn ngwersyll brenin Assyria. Felly
efe a ddychwelodd â chywilydd *ar
ei* wyneb i'w wlad ei hun. A phan
ddaeth efe i dŷ ei dduw, y rhai a
ddaethant allan o'i ymysgaroedd ei
hun a'i lladdasant ef yno â'r cleddyf.
22 Felly y gwaredodd yr Ar-
glwydd Hezeciah a thrigolion Je-
rusalem o law Senacherib brenin
Assyria, ac o law pawb *ereill,* ac a'u
cadwodd hwynt oddiamgylch.
23 A llawer a ddygasant roddion
i'r Arglwydd i Jerusalem, a pheth-
au gwerthfawr i Hezeciah brenin
Judah; fel y dyrchafwyd ef o hyny
allan yn ngwydd yr holl genhedl-
oedd.
24 ¶ Yn y dyddiau hyny y clef-
ychodd Hezeciah hyd farw, ac a
weddïodd ar yr Arglwydd: yntau a
lefarodd wrtho, ac a roddes argoel
iddo.
25 Ond ni thalodd Hezeciah dra-
chefn yn ol yr hyn a roddesid iddo;
canys ei galon ef a ddyrchafodd: a
digofaint a ddaeth arno ef, ac ar Ju-
dah a Jerusalem.
26 Er hyny Hezeciah a ymostyng-
odd o herwydd dyrchafiad ei galon,
efe a thrigolion Jerusalem; ac ni
ddaeth digofaint yr Arglwydd ar-
nynt yn nyddiau Hezeciah.

---

Adn. 18. *Yna y gwaeddasant hwy*] Sef gweision Senacherib, *â llef uchel yn iaith yr Iuddewon*—fel y gallai milwyr Hezeciah eu deall: gwel ar 2 Bren. xviii. 26—28.

Adn. 19. *A hwy a ddywedasant yn erbyn Duw Jerusalem*] Gan osod y Duw byw, Arglwydd a Chreawdwr y nefoedd a'r ddaear, ar yr un tir a duwiau meirwon y cenhedloedd, gwaith dwylaw dyn! Ystyrient ef yn Dduw *lleol* yn unig.

Adn. 20. *Am hyny y gweddiodd Hezeciah y brenin*] Yn nhŷ yr Arglwydd; *ac Esay y proffwyd*—ond odid yn ei dŷ ei hun; *ac a waeddasant i'r nefoedd*—lle y gwrandawyd eu gweddiau hwy ill dau, ac o ba le yr anfonwyd iddynt ymwared: gwel weddi Hezeciah, 2 Bren. xix. 15—19.

Adn. 21. *A'r Arglwydd a anfonodd angel*] Dywed y *Targum* mai Gabriel a anfonwyd gan Air yr Arglwydd (sef y Tragwyddol Air, Ioan i. 1,) i ladd yr Assyriaid, ac iddo wneuthur hyny trwy fellt, ar noson y pasc, yr un noson ag y lladdwyd cyntafanedigion yr Aifft: gwel ychwaneg ar hyn, 2 Bren. xix. 35. *Yr hwn a laddodd bob cadarn nerthol*—sef 185,000 o wŷr, rhwng y swyddogion a'u milwyr, fel na adawyd yn fyw, heblaw Senacherib ei hun, ond ychydig iawn o'r rhai gwaelaf o'i holl fyddin fawr. *Felly efe a ddychwelodd*—mewn cywilydd wyneb i Ninefe, prif ddinas yr ymherodraeth Assyriaidd, lle y lladdwyd ef gan ei feibion ei hun yn nhŷ Nisroch ei dduw: gwel ar 2 Bren. xix. 36, 37.

Adn. 22. *Felly y gwaredodd yr Arglwydd Hezeciah a thrigolion Jerusalem*] Mewn modd goruwchnaturiol, heb iddynt hwy gymaint a noethi cledd; *ac a'u cadwodd hwynt*—rhag eu holl elynion ereill oddiamgylch.

Adn. 23. *A llawer*] O'r cenhedloedd cymydogaethol; *a ddygasant roddion i'r Arglwydd*—sef at wasanaeth y deml, rhag ofn y Duw a addolid ynddi; *a phethau gwerthfawr i Hezeciah*—i ennill ei ffafr a'i ewyllys da ef, yr hwn y gwelent yn fod yn ŵr mawr, a than amddiffyniad Jehofa.

Adn. 24. *Yn y dyddiau hyny y clefychodd Hezeciah hyd farw*] Eithr chwanegwyd at ei ddyddiau ef 15 mlynedd: gwel ar 2 Bren. xx. 1, &c., ac Esay xxxviii. 1, &c. *Ac a roddes argoel iddo*—trwy ddychwelyd y cysgod ar y ddeial ddeg o raddau yn ol.

Adn. 25. *Ond ni thalodd Hezeciah drachefn*] I Dduw, *yn ol yr hyn a roddesid iddo*—ni bu efe mor ostyngedig, diolchgar, ac ymroddol i Dduw ag y dylasai fod am y fath daioniondeb; *canys ei galon ef a ddyrchafodd*—o herwydd ei waredigaeth ryfeddol o law yr Assyriaid, ac o'i glefyd angeuol, ac hefyd o herwydd yr anrhydedd a dalwyd iddo ef gan frenin mawr Babilon, yn gystal a'r brenhinoedd cymydogaethol. Yn lle rhodio yn isel gyda Duw, a rhoddi y gogoniant iddo ef, ymddengys iddo gymeryd rhan o'r anrhydedd iddo ei hun, trwy ddangos ei drysorau i'r cenadau Babilonaidd: gwel ar 2 Bren. xx. 13. *A digofaint a ddaeth arno ef*—trwy fod balchder yn bechod ag y mae Duw yn ei ffieiddio yn neillduol, yn enwedig yn ei bobl ei hun; *ac ar Juda a Jerusalem*—am eu bod hwythau wedi ymddyrchafu yn ol ei siampl ef, fel y dywedir yn yr adnod nesaf.

Adn. 26. *Er hyny Hezeciah a ymostyngodd*] Ar ol i Esay y proffwyd gael ei anfon ato, 2 Bren. xx. 14; *o herwydd dyrchafiad ei galon*—canys rhaid i bechodau dirgel y galon, er na byddont yn ymddangos mewn gair na gweithred, gael eu cyfaddef, ac edifarhau am danynt, os mynwn gael maddeuant o honynt; *efe a thrigolion Jerusalem*—y rhai oeddynt oll wedi cydymddyrchafu, ac yn awr yn cyd-

27 Ac yr oedd gan Hezeciah gyfoeth ac anrhydedd mawr iawn: ac efe a wnaeth iddo drysorau o arian, ac o aur, ac o feini gwerthfawr, o bêraroglau hefyd, ac o darianau, ac o bob llestri hyfryd;

28 A selerau i gnwd yr ŷd, a'r gwin, a'r olew; a phresebau i bob math a'r anifail, a chorlanau i'r deadellau.

29 Ac efe a wnaeth iddo ddinasoedd, a chyfoeth o ddefaid a gwartheg lawer: canys Duw a roddasai iddo ef gyfoeth mawr iawn.

30 A'r Hezeciah yma a argaeodd yr aber uchaf i ddyfroedd Gihon, ac a'u dyg hwynt yn uniawn odditanodd, tua thu y gorllewin i ddinas Dafydd. A ffynodd Hezeciah yn ei holl waith.

31 ¶ Eto yn *neges* cenadau tywysogion Babilon, y rhai a anfonwyd ato ef i ymofyn am y rhyfeddod a wnaethid yn y wlad, Duw a'i gadawodd ef, i'w brofi ef, i wybod y cwbl *ag oedd* yn ei galon.

32 ¶ A'r rhan arall o hanes Hezeciah, a'i garedigrwydd ef, wele hwy yn ysgrifenedig yn ngweledigaeth Esay y proffwyd mab Amos, *ac* yn llyfr brenhinoedd Judah ac Israel.

33 A Hezeciah a hunodd gyda'i dadau, a chladdasant ef yn yr uchaf o feddau meibion Dafydd. A holl Judah a thrigolion Jerusalem a wnaethant anrhydedd iddo ef wrth ei farwolaeth. A Manasseh ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XXXIII.

MAB deuddeng mlwydd *oedd* Manasseh pan ddechreuodd efe deyrnasu, a phymtheg mlynedd a deugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem:

2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn ol ffieidd-dra y cenhedloedd a fwriasai yr Arglwydd allan o flaen meibion Israel.

3 ¶ Canys efe a adeiladodd drachefn yr uchelfeydd, y rhai a ddinystriasai Hezeciah ei dad ef, ac a gyfododd allorau i Baalim, ac a wnaeth lwyni, ac a addolodd holl lu y nefoedd, ac a'u gwasanaethodd hwynt.

4 Adeiladodd hefyd allorau yn

---

ymostwng, ond odid trwy ympryd a gweddiau cyhoeddus; *ac ni ddaeth digofaint yr Arglwydd arnynt yn nyddiau Hezeciah*—eithr oedwyd y farn am oddeutu 125 o flynyddoedd: gwel ar 2 Bren. xx. 17—19.

Adn. 27. *Ac yr oedd gan Hezeciah gyfoeth*] Wedi ei gael yn anrhaith o wersyll yr Assyriaid, ac yn anrhegion gan y cenhedloedd oddiamgylch; *ac efe a wnaeth iddo drysorau*—neu amgueddfeydd i gadw ei drysorau o bob math ynddynt, y rhai a ddanghosodd efe yn ei falchder i genadau brenin Babilon.

Adn. 28. *A selerau*] Neu heiniardai llawnion o ŷd, gwin, ac olew; yn nghydag amledd o bresebau a chorlanau llawnion o bob math ar anifeiliaid at ei wasanaeth.

Adn. 29. *Ac efe a wnaeth iddo ddinasoedd*] Er cryfhad ac anrhydedd i'w deyrnas, ac i'w filwyr a'i fugeiliaid gyfaneddu ynddynt; *canys Duw a roddasai iddo ef gyfoeth*—yn ei ragluniaeth; a Duw sydd yn rhoddi cyfoeth byd heddyw i bawb ag sydd yn ei gyraedd trwy onestrwydd.

Adn. 30. *A argaeodd yr aber uchaf i ddyfroedd Gihon*] I gael dwfr ar hyd cwter danddaearol i'r rhan hòno o Jerusalem a elwid Dinas Dafydd: gwel ar adn. 4. *Gihon* ydoedd nant fechan yn agos i Jerusalem, yn ymrannu yn ddwy ffrwd.

Adn. 31. *I ymofyn am y rhyfeddod*] Sef y rhyfeddod o fynediad cysgod yr haul ddeg o raddau yn ei ol ar ddeial Ahaz, yn arwydd o estyniad einioes Hezeciah; er y gallai y rhyfeddod o ddinystr gwyrthiol byddin Senacherib fod hefyd yn cael ei gynwys. *Duw a'i gadawodd ef*—i'r brofedigaeth o ddangos ei drysorau i'r cenadau hyny; *i wybod y cwbl ag oedd yn ei galon*—os am yr Hollwybodol y dywedir hyn, rhaid ei fod yn cael ei ddywedyd yn ol dull dynion: neu gall mai at Hezeciah y cyfeirir, fel y gallai efe wybod balchder a gwendidau ei galon ei hun, yn gystal a'i rinweddau.

Adn. 32. *A'i garedigrwydd ef*] At achos Duw a dynion bob amser; *yn ngweledigaeth Esay y proffwyd*—cawn lawer o hanes Hezeciah yn mhroffwydoliaeth Esay, pen. xxxvi—xxxix, er y dichon mai at ryw lyfr arall o'i waith y cyfeirir yma; *ac yn llyfr brenhinoedd Juda ac Israel*—gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 33. *A chladdasant ef yn yr uchaf o feddau meibion Dafydd*] Sef yr anrhydeddusaf o holl feddau brenhinoedd Juda. Tybia rhai fod y beddau hyn yn rhes uwchlaw rhes mewn craig neu ogof. *A wnaethant anrhydedd iddo*—trwy losgi pêrlysiau yn ei anghladd fel yn achos Asa, pen. xvi. 14, a galaru am dano fel yn achos Josiah, pen. xxxv. 24.

PEN. XXXIII. Adn. 1—10. *Mab deuddeng mlwydd oedd Manasseh, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro ar 2 Bren. xxi. 1—10.

nhŷ yr Arglwydd, *am* yr hwn y dywedodd yr Arglwydd, Yn Jerusalem y bydd fy enw i yn dragywydd.

5 Ac efe a adeiladodd allorau i holl lu y nefoedd yn nau gyntedd tŷ yr Arglwydd.

6 Ac efe a yrodd ei feibion trwy y tân yn nyffryn mab Hinnom, ac a arferodd frud, a hudoliaeth, a chyfareddion, ac a fawrhaodd swynyddion, a dewiniaid: efe a wnaeth lawer o ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, i'w ddigio ef.

7 Ac efe a osododd y ddelw gerfiedig, (y ddelw a wnelsai efe,) yn nhŷ Dduw, *am* yr hwn y dywedasai Duw wrth Dafydd, ac wrth Solomon ei fab, Yn y tŷ hwn, ac yn Jerusalem, (yr hon a ddewisais i o holl lwythau Israel,) y gosodaf fy enw yn dragywydd.

8 Ac ni chwanegaf symud troed Israel oddiar y tir a ordeiniais i'ch tadau chwi; os gwyliant a'r wneuthur yr hyn oll a orchymynais iddynt, yn ol yr holl gyfraith, a'r deddfau a'r barnedigaethau, trwy law Moses.

9 Felly Manasseh a wnaeth i Judah a thrigolion Jerusalem gyfeiliorni, *a* gwneuthur yn waeth na'r cenhedloedd a ddyfethasai yr Arglwydd o flaen meibion Israel.

10 Er llefaru o'r Arglwydd wrth Manasseh, ac wrth ei bobl, eto ni wrandawsant hwy.

11 ¶ Am hyny y dyg yr Arglwydd arnynt hwy dywysogion llu brenin Assyria, a hwy a ddaliasant Manasseh mewn dyrysni, ac a'i rhwymasant ef â dwy gadwyn, ac a'i dygasant ef i Babilon.

12 A phan oedd gyfyng arno ef, efe a weddiodd gerbron yr Arglwydd ei Dduw, ac a ymostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau.

13 Ac a weddiodd arno ef: ac efe a fu foddlawn iddo, ac a wrandawodd ei ddymuniad ef, ac a'i dyg ef drachefn i Jerusalem i'w frenhiniaeth. Yna y gwybu Manasseh mai yr Arglwydd *oedd* Dduw.

14 Wedi hyn hefyd efe a adeiladodd y mur oddiallan i ddinas Dafydd, o du y gorllewin i Gihon, yn y dyffryn, hyd y ddyfodfa i borth y pysgod, ac a amgylchodd Ophel, ac a'i cyfododd yn uchel iawn, ac a osododd dywysogion y llu yn yr holl ddinasoedd caerog o fewn Judah.

15 Ac efe a dynodd ymaith y

---

Adn. 11. *Hwy a ddaliasant Manasseh mewn dyrysni*] Lle yr oedd efe wedi ffoi i ymguddio; *ac a'i rhwymasant ef â dwy gadwyn*—un am ei draed a'r llall am ei freichiau; *ac a'i dygasant ef i Babilon*—lle y bu yn garcharor am beth amser fel cosp am ei bechodau ffiaidd.

Adn. 12. *A phan oedd gyfyng arno ef*] Dywed yr Iuddewon iddo ef gael ei roddi yn Babilon mewn llestr efydd, yr hwn y cyneuwyd tân o'i amgylch i'w arteithio ef, er nad oedd yn ddigon poeth i'w losgi ef i farwolaeth; ac os gwir hyn, yr oedd yn gosp briodol arno ef am yru ei feibion trwy y tân yn nyffryn mab Hinnom, adn. 6. *Efe a weddiodd gerbron yr Arglwydd ei Dduw*—am faddeuant o'i bechodau, ac am adferiad o'i gyfyngder presenol; *ac efe a ymostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau*—gan gyfaddef ei bechodau, edifarhau yn ddwys am danynt, a chydnabod cyfiawnder ei gosp. Fel hyn bu ei gadwynau o twy o les iddo na'i aur, a'r carchar o fwy o fendith iddo na'i balas, a Babilon yn well ysgol iddo na Jerusalem. Mor ynfyd ydyw i ddyn ddigio wrth ei gystuddiau! Y rhai hyn, pa mor chwerw bynag, yw ein cyfeillion goraf. Nid ydynt yn wir er ein hyfrydwch, eithr er ein lles: eu dyben sydd yn eu gwneuthur yn deilwng o groesawiad. Pa waeth pa mor chwerw a fo y cyfferi a ddyg iechyd i ni?

Adn. 13. *Ac a weddiodd*] Hyny yw, a barhaodd i weddio nes cael gwrandawiad. Gwel ei weddi ef yn llyfr yr *Apocrypha*, yn union o flaen llyfr cyntaf y *Maccabeaid.* Dywed Clarke, 'ei bod hi gynt yn cael ei harfer fel ffurf o gyffes yn yr eglwys Gristionogol, a'i bod yn cael ei harfer fyth fel y cyfryw yn eglwys Groeg.' Y mae, modd bynag, yn werth ei darllen. *Ac efe a fu foddlon iddo*—i drugarhau wrtho, a chaniatau iddo ei ddymuniad, ar ei ymostyngiad dirfawr; *ac a'i dyg ef drachefn i Jerusalem i'w frenhiniaeth*—trwy weithredu ar feddwl brenin Assyria i'w ollwng ef yn rhydd. *Yna y gwybu Manasseh*—yn ngwyneb ei farn arno ef am ei bechodau, a'i drugaredd iddo ar ei edifeirwch; *mai yr Arglwydd oedd Dduw*—ac nid yr eilunod hyny a wasanaethasai efe, oddiwrth y rhai y derbyniasai efe niwed, ac nid lles. Gallasai wybod hyn ar lai o gost, pe talasai efe sylw i'r addysg a gawsai efe gan ei dad duwiol. Ond y mae yn well talu yn ddrud fel hyn am y wybodaeth o Dduw, na threngu mewn anwybodaeth ac annghrediniaeth.

Adn. 14. *Wedi hyn efe a adeiladodd y mur*] Yr hwn ond odid a ddrylliesid gan yr Assyriaid pan y daethant yn erbyn Jerusalem, ac y daliasant Manasseh; *ac a amgylchodd Ophel*—sef un o'r tyrau yn Jerusalem, yr hwn a gryfhaodd efe, gan ei adeiladu yn uwch.

Adn. 15. *Ac efe a dynodd ymaith y duwiau dyeithr*] Y rhai a osodasai efe i fyny yn y deml a'i chynteddoedd, a thrwy yr holl

duwiau dyeithr, a'r ddelw, allan o
dŷ yr Arglwydd, a'r holl allorau a
adeiladasai efe yn mynydd tŷ yr
Arglwydd, ac yn Jerusalem, ac a'*u*
taflodd allan o'r ddinas.
16 Ac efe a gyweiriodd allor yr
Arglwydd, ac a aberthodd arni hi
ebyrth hedd a moliant; dywedodd
hefyd wrth Judah am wasanaethu
Arglwydd Dduw Israel.
17 Er hyny y bobl oedd eto yn
aberthu yn yr uchelfeydd: eto i'r
Arglwydd eu Duw yn unig.
18 ¶ A'r rhan arall o hanes Ma-
nasseh, a'i weddi ef at ei Dduw, a
geiriau y gweledyddion a lefaras-
ant wrtho ef yn enw Arglwydd
Dduw Israel, wele hwynt yn mhlith
geiriau brenhinoedd Israel.
19 Ei weddi ef hefyd, a'r *modd* y
cymododd Duw âg ef, a'i holl bech-
od ef, a'i gamwedd, a'r lleoedd yr
adeiladodd efe ynddynt uchelfeydd,
ac y gosododd lwyni, a delwau cerf-
iedig, cyn ymostwng o hono ef;
wele hwynt yn ysgrifenedig yn
mysg geiriau y gweledyddion.
20 ¶ Felly Manasseh a hunodd
gyda'i dadau, a chladdasant ef *yn*
ei dŷ ei hun; ac Amon ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
21 ¶ Mab dwy flwydd ar hugain
*oedd* Amon pan ddechreuodd efe
deyrnasu, a dwy flynedd y teyrnas-
odd efe yn Jerusalem.
22 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, fel
y gwnaethai Manasseh ei dad ef:
canys Amon a aberthodd i'r holl
ddelwau cerfiedig a wnelsai Manas-
seh ei dad ef, ac a'u gwasanaethodd
hwynt.
23 Ond nid ymostyngodd efe ger-
bron yr Arglwydd, fel yr ymostyng-
asai Manasseh ei dad ef: eithr yr
Amon yma a bechodd fwyfwy.
24 A'i weision ef a fradfwriadas-
ant i'w erbyn ef, ac a'i lladdasant ef
yn ei dŷ ei hun.
25 ¶ Ond pobl y wlad a laddasant
yr holl rai a fradfwriadasant yn er-
byn y brenin Amon; a phobl y
wlad a urddasant Josiah ei fab ef
yn frenin yn ei le ef.

## PENNOD XXXIV.

MAB wyth mlwydd *oedd* Josiah
pan ddechreuodd efe deyrnasu,
ac un mlynedd ar ddeg ar hugain y
teyrnasodd efe yn Jerusalem.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*

---

ddinas; *a'r ddelw*—dywed yr Iuddewon mai delw o hono ef ei hun oedd hon, yr hon a gododd efe fel y byddai i'w ddeiliaid ei addoli.

Adn. 16. *Ac efe a gyweiriodd allor yr Arglwydd*] Sef allor bres y poeth-offrwm, yr hon a ddrylliasai efe ond odid yn amser ei eilunaddoliaeth; *ac a aberthodd arni hi ebyrth hedd*—i erfyn am ffafr Duw; *a moliant*—sef *ebyrth* moliant neu ddiolchgarwch, i'w glodfori ef am ei waredigaeth. *Dywedodd hefyd wrth Juda am wasanaethu Arglwydd Dduw Israel*—arferodd ei awdurdod brenhinol i ddiwygio ei bobl, megys y gwnaethai o'r blaen i'w llygru hwynt, adn. 9. Fel hyn efe a ddygai 'ffrwythau addas i edifeirwch,' ac a ymdrechai hyd eithaf ei allu i ddadwneyd y niwed a wnaethai efe i achos Duw ac eneidiau dynion.

Adn. 17. *Er hyny y bobl oedd eto yn aberthu yn yr uchelfeydd*] Yn lle dyfod i'r deml yn Jerusalem. Nis gallodd efe ddwyn yn mlaen ei ddiwygiad cyn belled ag y dygasai ei lygriad. *Eto i'r Arglwydd eu Duw yn unig*—ac nid i eilunod fel cynt. Darllenasom lawer gwaith am Hezeciah ac ereill yn tynu ymaith yr uchelfeydd hyn; ond yr oedd rhai o honynt yn aros o hyd, neu ynte yr oedd y bobl o dro i dro yn eu hadnewyddu:

Adn. 18, 19. *A'r rhan arall o hanes Manasseh*] Yn ddrwg ac yn dda; *a'i weddi ef at ei Dduw*—yr hon ond odid yw yr un a geir fyth yn yr Apocrypha; gwel ar adn. 13; *a geiriau y gweledyddion*—neu y proffwydi yn ei amser ef, megys Esay, Nahum, Mica, Joel, a Habaccuc, y rhai a lefarent wrth Manasseh yn geryddol a bygythiol cyn ei dröedigaeth, ac yn gysurol ac addysgiadol ar ol hyny; *wele hwynt yn mhlith geiriau brenhinoedd Israel*—neu Judah, y rhai yn fynych a elwir 'Israel:' gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

Adn. 20, 21. *Felly Manasseh a hunodd gyda'i dadau, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxi. 18—22.

Adn. 22. *Amon a aberthodd i'r holl ddelwau cerfiedig a wnelsai Manasseh*] Ymddengys i Manasseh fod braidd yn esgeulus o'i ddyledswydd, hyd yn nod ar ol ei edifeirwch; canys pan y tynodd efe ymaith y delwau cerfiedig, ni *losgodd* efe hwynt yn ol y gorchymyn, Deut. vii. 5; ac felly ail osodwyd hwynt i fyny gan ei fab, yr hwn a aberthodd iddynt.

Adn. 23. *Ond nid ymostyngodd*] Amon gerbron yr Arglwydd mewn edifeirwch, *fel yr ymostyngasai Manasse ei dad ef*—efe a gwympodd fel ei dad, ond ni chododd drachefn fel efe. Nid pechod yn gymaint, eithr anedifeirwch am bechod, sydd yn dinystrio dynion; nid y clefyd, ond yr esgeulusiad o'r feddyginiaeth. *Eithr yr Amon yma a bechodd fwy fwy*—yn fwy na'i dad mewn cyn lleied o amser, ac yn fwyfwy bob dydd. Tybia rhai fod

union yn ngolwg yr Arglwydd, ac
a rodiodd yn ffyrdd Dafydd ei dad,
ac ni ogwyddodd ar y llaw ddeau
nac ar y llaw aswy.
3 ¶ Canys yn yr wythfed flwydd-
yn o'i deyrnasiad, (tra yr ydoedd efe
eto yn fachgen,) efe a ddechreuodd
geisio Duw Dafydd ei dad: ac yn y
ddeuddegfed flwyddyn efe a ddc-
chreuodd lanhau Judah a Jerusalem
oddiwrth yr uchelfeydd, a'r llwyni,
a'r delwau cerfiedig, a'r delwau
toddedig.
4 Distrywiasant hefyd yn ei wydd
ef allorau Baalim; a'r delwau y rhai
*oedd* i fyny oddiarnynt hwy a dorodd
efe: y llwyni hefyd, a'r delwau cerf-
iedig, a'r delwau toddedig, a ddryll-
iodd efe, ac a faluriodd, taenodd
hefyd *eu* llwch hwy ar hyd wyneb
beddau y rhai a aberthasent iddynt
hwy.
5 Ac esgyrn yr offeiriaid a losg-
odd efe ar eu hallorau, ac a lanha-
odd Judah a Jerusalem.
6 Felly *y gwnaeth efe* yn ninas-
oedd Manasseh, ac Ephraim a Si-
meon, a hyd Naphtali, â'u ceibiau
oddiamgylch.
7 A phan ddinystriasai efe yr all-
orau a'r llwyni, a dryllio o hono y
delwau cerfiedig, gan *eu* malurio yn
llwch, a thori yr eilunod i gyd trwy
holl wlad Israel, efe a ddychwelodd
i Jerusalem.
8 ¶ Ac yn y ddeunawfed flwydd-
yn o'i deyrnasiad ef, wedi glanhau
y wlad, a'r tŷ, efe a anfonodd Saph-
an mab Asaliah, a Maasiah tywysog
y ddinas, a Joah mab Joahaz y cof-
iadur, i gyweirio tŷ yr Arglwydd
ei Dduw.
9 A phan ddaethant hwy at Hil-
ciah yr archoffeiriad, hwy a rodd-
asant yr arian a ddygasid i dŷ Dduw,
y rhai a gasglasai y Lefiaid oedd yn
cadw y drysau, o law Manasseh ac
Ephraim, ac oddigan holl weddill
Israel, ac oddiar holl Judah a Ben-
jamin, a hwy a ddychwelasant i Je-
rusalem.
10 A hwy a'*i* rhoddasant yn llaw
y gweithwyr, y rhai oedd oruchwyl-
wyr ar dŷ yr Arglwydd: hwythau
a'i rhoddasant i wneuthurwyr y
gwaith, y rhai oedd yn gweithio yn
nhŷ yr Arglwydd, i gyweirio, ac i
gadarnhau y tŷ.
11 Rhoddasant hefyd i'r seiri ac
i'r adeiladwyr, i brynu cerig nadd,

---

yma gyfeiriad at ei waith yn symud yr arch o'r deml, gan roddi eilun yn ei lle hi: gwel ar pen. xxxv. 3.

Adn. 24, 25. *A'i weision ef a fradfwriadasant, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxi. 23, 24.

PEN. XXXIV. Adn. 1, 2. *Mab wyth mlwydd oedd Josiah, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxii. 1, 2.

Adn. 3. *Tra yr ydoedd efe eto yn fachgen*] Ddim ond 16 mlwydd oed; *efe a ddechreuodd geisio Duw Dafydd ei dad*—trwy weddio arno, ymofyn am wybodaeth o hono, a'i addoli ef yn gyhoeddus a dirgel; *ac yn y ddeuddegfed flwyddyn*—o'i deyrnasiad, pan yr oedd efe oddeutu 20 mlwydd oed; *efe a ddechreuodd lanhau Juda a Jerusalem*—oddiwrth yr allorau a'r delwau a osodasai ei dad i fyny yno.

Adn. 4. *Taenodd hefyd eu llwch hwy ar hyd wyneb beddau y rhai a aberthasent iddynt*] Yn waith ar eu hesgyrn a'u coffadwriaeth hwy.

Adn. 5. *Ac esgyrn yr offeiriaid*] Sef yr offeiriaid eilunaddolgar a gladdesid yno; *a losgodd efe ar eu hallorau*—ar allorau yr eilunod, er dangos ei gasineb at eilunaddoliaeth, ac attal y pechod hwnw rhagllaw: gwel ar 2 Bren. xxiii. 16, &c.

Adn. 6. *Felly y gwnaeth efe yn ninasoedd Manasseh, &c.*] O fewn teyrnas y deg llwyth, y rhan fwyaf o ba rai oeddynt yn awr wedi eu caethgludo i Assyria: gwel 2 Bren. xxiii. 19; *â'u ceibiau*—dyma yr offerynau â pha rai y dryllient hwy yr allorau a'r llwyni, ac y cloddient feddau yr eilunaddolwyr.

Adn. 7. *A phan ddinystriasai efe yr allorau a'r llwyni*] Trwy holl Israel a Juda; *efe a ddychwelodd i Jerusalem*—i gyweirio tŷ yr Arglwydd.

Adn. 8. *Ac yn y ddeunawfed flwyddyn*] O'i deyrnasiad: gwel ar 2 Bren. xxii. 3, &c.

Adn. 9. *A hwy a ddychwelasant i Jerusalem*] Sef y Lefiaid, y rhai a fuasent trwy yr holl deyrnas yn casglu arian at gyweirio y deml. Ond yn lle *vaiyashubu*, 'hwy a ddychwelasant,' y mae amrai ysgriflyfrau ac argraffiadau Hebreig yn darllen *yoshebey*, 'trigolion;' ac felly ei darllenir yn yr holl hen gyfieithiadau. 'Oddiar holl Juda a Benjamin, a *thrigolion* Jerusalem.'

Adn. 10. *A hwy a'u rhoddasant yn llaw y gweithwyr*] Neu *olygwyr* y gwaith, adn. 12, i brynu y defnyddiau at gyweirio y tŷ, a thalu cyflogau y gweithwyr: gwel ar 2 Bren. xii. 10—15.

Adn. 11. *Tuag at y cysylltiadau*] Neu y nen-brenau; *ac i fyrddio y tai*—Saes. 'i *lawrio* y tai,' sef ystafelloedd yr offeiriaid o amgylch y deml, y rhai a ddinystriasai brenhinoedd eilunaddolgar Juda.

Adn. 12. *I'w hannog*] I weithio yn ffyddlon, neu i wneyd gwaith da, teilwng o dŷ yr Arglwydd; *pob un a oedd gyfarwydd ar offer cerdd*—yr oedd y rhai hyny hefyd yn

a choed tuag at y cysylltiadau, ac i
fyrddio y tai a ddinystriasai bren-
hinoedd Judah.
12 A'r gwŷr oedd yn gweithio yn
y gwaith yn ffyddlon, ac arnynt
hwy yn olygwyr *yr oedd* Jahath, ac
Obadiah, y Lefiaid, o feibion Merari;
a Zechariah, a Mesulam, o feibion y
Cohathiaid, i'*w* hannog: ac o'r Lefi-
aid, pob un a oedd gyfarwydd ar
offer cerdd.
13 *Yr oeddynt* hefyd ar y cludwyr,
ac yn olygwyr ar yr holl rai oedd
yn gweithio yn mhob rhyw waith:
ac o'r Lefiaid yr *oedd* ysgrifenydd-
ion, a swyddogion, a phorthorion.
14 ¶ A phan ddygasant hwy allan
yr arian a ddygasid i dŷ yr Ar-
glwydd, Hilciah yr offeiriad a gaf-
odd lyfr cyfraith yr Arglwydd, *yr
hwn a roddasid* trwy law Moses.
15 A Hilciah a atebodd ac a ddy-
wedodd wrth Saphan yr ysgrifen-
ydd, Cefais lyfr y gyfraith yn nhŷ
yr Arglwydd. A Hilciah a roddodd
y llyfr at Saphan:
16 A Saphan a ddyg y llyfr at y
brenin, ac a ddyg air drachefn i'r
brenin, gan ddywedyd, Yr hyn oll
a roddwyd yn llaw dy weision di, y
maent hwy yn *ei* wneuthur.
17 Casglasant hefyd yr arian a
gafwyd yn nhŷ yr Arglwydd, a
rhoddasant hwynt yn llaw y golyg-
wyr, ac yn llaw y gweithwyr.
18 Saphan yr ysgrifenydd a fy-
negodd hefyd i'r brenin, gan ddy-
wedyd, Hilciah yr offeiriad a rodd-
odd i mi lyfr. A Saphan a ddarllen-
odd ynddo ef gerbron y brenin.
19 A phan glybu y brenin eiriau
y gyfraith, efe a rwygodd ei ddillad.
20 A'r brenin a orchymynodd i
Hilciah, ac i Ahicam mab Saphan,
ac i Abdon mab Michah, ac i Saphan
yr ysgrifenydd, ac i Asaiah gwas y
brenin, gan ddywedyd,
21 Ewch, ymofynwch â'r Ar-
glwydd drosof fi, a thros y gweddill
yn Israel ac yn Judah, am eiriau y
llyfr a gafwyd: canys mawr *yw* llid
yr Arglwydd a dywalltodd efe ar-
nom ni, oblegid na chadwodd ein
tadau ni air yr Arglwydd, gan
wneuthur yn ol yr hyn oll *sydd* ys-
grifenedig yn y llyfr hwn.
22 Yna yr aeth Hilciah, a'r rhai
*a yrodd* y brenin, at Huldah y broff-
wydes, gwraig Salum mab Ticfath,
fab Hasrah, ceidwad y gwisgoedd,
(a hi oedd yn aros yn Jerusalem yn
yr ysgoldy,) ac ymddyddanasant â
hi felly.
23 ¶ A hi a ddywedodd wrthynt,
Fel hyn y dywedodd Arglwydd
Dduw Israel, Dywedwch i'r gŵr
a'ch anfonodd chwi ataf fi,
24 Fel hyn y dywedodd yr Ar-
glwydd, Wele fi yn dwyn drwg ar y
lle hwn, ac ar ei drigolion, *sef* yr
holl felldithion *sydd* ysgrifenedig
yn y llyfr a ddarllenasant hwy ger-
bron brenin Judah:
25 Am iddynt fy ngwrthod i, ac
arogldarthu i dduwiau dyeithr, i'm
digio i â holl waith eu dwylaw; am
hyny yr ymdywallt fy llid i ar y lle
hwn, ac nis diffoddir ef.
26 Ond am frenin Judah, yr hwn
a'ch anfonodd chwi i ymofyn â'r Ar-
glwydd, fel hyn y dywedwch wrtho,
Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw
Israel *am* y geiriau a glywaist;
27 Oblegid i'th galon feddalhau,
ac i tithau ymostwng o flaen Duw,
pan glywaist ei eiriau ef yn erbyn y
fan hon, ac yn erbyn ei thrigolion,
ac ymostwng o honot ger fy mron,
a rhwygo dy ddillad, ac wylo o'm
blaen i; am hyny y gwrandewais
inau, medd yr Arglwydd.
28 Wele, mi a'th gymeraf di
ymaith at dy dadau, a thi a ddygir
ymaith i'r bedd mewn heddwch, fel
na welo dy lygaid di yr holl ddrwg
yr ydwyf fi yn ei ddwyn ar y fan

---

annog y gweithwyr, trwy fywiogi a sirioli eu meddyliau â'u hoffer cerdd. Dywedir am *Orpheus*, iddo ef adeiladu *Thebes* trwy ei gerddoriaeth swynol; hyny yw, yr oedd y gweithwyr yn cael y fath ddifyrwch wrth ei chlywed, nes yr oeddynt yn gweithio yn fwy siriol, ac fel yn anghofio eu blinder a'u poen.

Adn. 13. *Yr oeddynt hefyd ar y cludwyr*] I ofalu eu bod yn cludo coed, cerig, a defnyddiau ereill i'r gweithwyr, a bod y gweithwyr hefyd yn gwneyd eu gwaith yn briodol. *Ysgrifenyddion*—i gadw cyfrifon o bob peth; *swyddogion*—i drefnu pa bethau oeddynt i gael eu gwneyd; *a phorthorion*—i ollwng y gweithwyr i mewn ac allan, ac i edrych na byddai i ddim gael ei ladrata.

Adn. 14—28. *Hilciah yr offeiriad a gafodd lyfr cyfraith yr Arglwydd, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxii. 8—20.

hon, ac yn erbyn ei phreswylwyr.
Felly hwy a ddygasant air i'r bren-
in drachefn.
29 ¶ Yna y brenin a anfonodd,
ac a gynullodd holl henuriaid Ju-
dah a Jerusalem.
30 A'r brenin a aeth i fyny i dŷ
yr Arglwydd, a holl wŷr Judah, a
thrigolion Jerusalem, yr offeiriaid
hefyd a'r Lefiaid, a'r holl bobl o
fawr i fychan; ac efe a ddarllenodd,
lle y clywsant hwy, holl eiriau llyfr
y cyfammod, yr hwn a gawsid yn
nhŷ yr Arglwydd.
31 A'r brenin a safodd yn ei le,
ac a wnaeth gyfammod gerbron yr
Arglwydd, a'r rodio ar ol yr Ar-
glwydd, ac a'r gadw ei orchymyn-
ion ef, a'i dystiolaethau, a'i ddefod-
au, â'i holl galon, ac â'i holl enaid;
i gwblhau geiriau y cyfammod *y
rhai sydd* ysgrifenedig yn y llyfr
hwnw.
32 Ac efe a wnaeth i bawb a'r a
gafwyd yn Jerusalem, ac yn Benja-
min, sefyll *wrth yr ammod:* trigol-
ion Jerusalem hefyd a wnaethant
yn ol cyfammod Duw, *sef* Duw eu
tadau.
33 Felly Josiah a dynodd ymaith
y ffieidd-dra i gyd o'r holl wledydd
y rhai *oedd* eiddo meibion Israel, ac
efe a wnaeth i bawb a'r a gafwyd
yn Israel wasanaethu, *sef* gwasan-
aethu yr Arglwydd eu Duw. *Ac
yn* ei holl ddyddiau ef ni throisant
hwy oddiar ol Arglwydd Dduw eu
tadau.

## PENNOD XXXV.

A JOSIAH a gynaliodd basc i'r
Arglwydd yn Jerusalem: a hwy
a laddasant y pasc y pedwarydd
*dydd* ar ddeg o'r mis cyntaf.
2 Ac efe a gyfleodd yr offeiriaid
yn eu goruchwyliaethau, ac a'u
hannogodd hwynt i weinidogaeth
tŷ yr Arglwydd;
3 Ac a ddywedodd wrth y Lefiaid,
y rhai oedd yn dysgu holl Israel, ac
oedd santaidd i'r Arglwydd, Rhodd-
wch yr arch santaidd yn y tŷ a ad-
eiladodd Solomon mab Dafydd bren-
in Israel; na *fydded hi mwyach* i
chwi yn faich ar ysgwydd: gwas-
anaethwch yn awr yr Arglwydd
eich Duw, a'i bobl Israel,
4 Ac ymbarotowch wrth deulu-
oedd eich tadau, yn ol eich dos-
barthiadau, yn ol ysgrifen Dafydd
brenin Israel, ac yn ol ysgrifen So-
lomon ei fab ef.
5 A sefwch yn y cysegr yn ol
dosbarthiadau tylwyth tadau eich
brodyr y bobl, ac *yn ol* dosbarthiad
tylwyth y Lefiaid.
6 Felly lleddwch y pasc, ac ym-

---

Adn. 29—31. *A'r brenin a anfonodd, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxiii. 1—3.

Adn. 32. *Ac efe a wnaeth i bawb—sefyll wrth yr ammod*] Efe a barodd iddynt oll ymrwymo, trwy lw neu gyfammod, i gadw gorchymynion Duw, y rhai oeddynt ysgrifenedig yn llyfr y gyfraith; neu ynte, hwy a *safasant* ar eu traed, i arwyddo eu cydsyniad. *Trigolion Jerusalem hefyd a wnaethant yn ol cyfammod Duw*—cadwasant ef yn fanwl, o ran y llythyren oddiallan, cyhyd ag y bu Josiah byw.

Adn. 33. *Felly Josiah a dynodd ymaith y ffieidd-dra i gyd*] Sef pob math o eilunaddoliaeth trwy yr holl wlad, gan wneuthur i bawb wasanaethu yr Arglwydd eu Duw yn unig: gwel ar 2 Bren. xxiii. 4—20.

PEN. XXXV. Adn. 1. *A Josiah a gynaliodd basc i'r Arglwydd yn Jerusalem*] Cawsom grybwylliad byr am y pasc hwn o'r blaen; (gwel 2 Bren. xxiii. 21—23;) ond yma rhoddir hanes helaethach am dano.

Adn. 2. *Ac efe a gyfleodd yr offeiriaid yn eu goruchwyliaethau*] Neu wrth eu gwaith a'u swyddau priodol; *ac a'u hannogodd hwynt i weinidogaeth tŷ yr Arglwydd*—i'w chyflawni yn ewyllysgar a siriol, gan addaw bod yn amddiffynydd iddynt.

Adn. 3. *Y Lefiaid, y rhai oedd yn dysgu holl Israel*] O ddinas i ddinas trwy y wlad; *ac oedd santaidd i'r Arglwydd*—neu wedi eu neillduo i'w wasanaeth ef. *Rhoddwch yr arch santaidd yn y tŷ*—tybia rhai ddarfod i Amon symud yr arch o'r deml, a dodi eilun yn ei lle hi, ac mai hyny a feddylir wrth ei 'bechod mwyfwy' ef, pen. xxxiii. 23; tybia ereill mai yr archoffeiriad a'i symudasai hi mewn adeg eilunaddolgar, i'r dyben i'w diogelu; neu gall mai Josiah a'i symudasai er mwyn adgyweirio y cysegr santeiddiolaf. *Na fydded hi mwyach i chwi yn faich ar ysgwydd*—i'w chario o le i le, ond sefydler hi o hyn allan yn y cysegr.

Adn. 4. *Yn ol ysgrifen Dafydd*] Fel y sefydlwyd y dosbarthiadau yn gyntaf gan Dafydd, ac wedi hyny gan Solomon, y rhai oeddynt ysgrifenedig mewn llyfr.

Adn. 5. *A sefwch yn y cysegr*] Hyn y yw, *gwasanaethwch* yn nghyntedd yr offeiriaid, lle yr oedd gwaith y Lefiaid hyn.

Adn. 6. *Felly lleddwch y pasc*] Sef o en y

santeiddiwch, a pharotowch eich brodyr, i wneuthur yn ol gair yr Arglwydd trwy law Moses.

7 A Josiah a roddodd i'r bobl ddeadell o ŵyn, a mynod, i gyd tuag at y pasc-aberthau, *sef* i bawb a'r a gafwyd, hyd rifedi deng mil ar hugain, a thair mil o eidionau; hyn *oedd* o gyfoeth y brenin.

8 A'i dywysogion ef a roddasant yn ewyllysgar i'r bobl, i'r offeiriaid, ac i'r Lefiaid: Hilciah, a Zechariah, a Jehiel, blaenoriaid tŷ Dduw, a roddasant i'r offeiriaid tuag at y pasc-aberthau, ddwy fil a chwe chant *o ddefaid,* a thri chant o eidionau.

9 Cononiah hefyd, a Semaiah, a Nethaneel, ei frodyr, a Hasabiah, a Jehiel, a Jozabad, tywysogion y Lefiaid, a roddasant i'r Lefiaid yn basc-ebyrth, bum mil *o ddefaid,* a phum cant o eidionau.

10 Felly y parotowyd y gwasanaeth; a'r offeiriaid a safasant yn eu lle, a'r Lefiaid yn eu dosbarthiadau, yn ol gorchymyn y brenin.

11 A hwy a laddasant y pasc; a'r offeiriaid a daenellasant *y gwaed* o'u llaw hwynt, a'r Lefiaid oedd yn *eu* blingo *hwynt.*

12 A chymerasant ymaith y poeth-offrymau, i'w rhoddi yn ol dosbarthiadau teuluoedd y bobl, i offrymu i'r Arglwydd, fel *y mae* yn ysgrifenedig yn llyfr Moses: ac felly am yr eidionau.

13 A hwy a rostiasant y pasc wrth dân, yn ol y ddefod: a'r cysegredig *bethau ereill* a ferwasant hwy mewn crochanau, ac mewn pedyll, ac mewn peiriau, ac a'*u* rhanasant ar redeg i'r holl bobl.

14 Wedi hyny y parotoisant iddynt eu hunain, ac i'r offeiriaid; canys yr offeiriaid meibion Aaron *oedd* yn offrymu y poeth-offrymau a'r brasder hyd y nos; am hyny y Lefiaid oedd yn parotoi iddynt eu hunain, ac i'r offeiriaid meibion Aaron.

15 A meibion Asaph y cantorion *oedd* yn eu sefyllfa, yn ol gorchymyn Dafydd, ac Asaph, a Heman, a Jeduthun gweledydd y brenin; a'r porthorion yn mhob porth: ni chaent hwy ymado o'u gwasanaeth; canys eu brodyr y Lefiaid a barotoent iddynt hwy.

16 Felly y parotowyd holl wasanaeth yr Arglwydd y dwthwn hwnw, i gynal y pasc, ac i offrymu poeth-offrymau ar allor yr Arglwydd, yn

---

pasc; *ac ymsanteiddiwch*—oddiwrth bob halogrwydd seremonïol, trwy olchi eu cnawd a'u diliad yn ol gorchymyn yr Arglwydd; *a pharotowch eich brodyr*—trwy beri iddynt hwythau ymsanteiddio, fel y byddent yn addas i ladd a bwyta y pasc.

Adn. 7. *A Josiah a roddodd i'r bobl ddeadell*] Neu 30,000 o *ŵyn* a *mynod,* canys yr oedd y naill neu y llall, os yn wryw, yr un mor addas i fod yn aberth pasc, Exod. xii. 5; *a thair mil o eidionau*—y rhai oeddynt i'w hoffrymu ar ol yr ŵyn, yn ystod y saith niwrnod o ŵyl y bara croyw. *Hyn oedd o gyfoeth y brenin*—o'i eiddo personol ef ei hun, neu wedi eu prynu â'i arian ef.

Adn. 8, 9. *A'i dywysogion ef*] Nid ei dywysogion gwladol, ond ei dywysogion eglwysig, y rhai a elwir yma yn 'flaenoriaid tŷ Dduw.' Yma y mae yr offeiriaid cyfoethocaf yn rhoddi ebyrth i'r offeiriaid tylotaf, fel y mae y Lefiaid, yn adn. 9, yn rhoddi i'r Lefiaid.

Adn. 10. *Felly y parotowyd y gwasanaeth*] Neu y darparwyd at y pasc 37,000 o ŵyn a mynod, a 3,800 o eidionau yn boeth-offrymau ac ebyrth hedd. Dywed y rabbiniaid fod o leiaf 10 o ddynion yn ofynol i fwyta un oen y pasc, ac nid mwy nag 20: felly yr oedd yma ddigon o ŵyn i 740,000 allu gwledda arnynt.

Adn. 11. *A hwy a laddasant y pasc*] Gallai y *bobl* eu hunain ladd eu hŵyn, ac yna roddi y gwaed i'r *offeiriaid* i'w daenellu gerbron yr allor; a'r *Lefiaid* a'u blingent hwy, i'w parotoi at eu gwasanaeth.

Adn. 12. *A chymerasant ymaith y poeth-offrymau*] Y rhanau hyny o'r ŵyn ag oeddynt i'w llosgi, fel y gallent roddi y rhanau ag oeddynt i'w bwyta i bob teulu; *ac felly am yr eidionau*—nid oeddynt hwythau oll yn cael eu rhoddi yn ebyrth hedd, ond yr oedd rhai o honynt i fod yn boeth-offrymau: ac offrymasant y rhai hyn cyn gynted ag y gallent, i'r dyben i roddi i bob teulu ranau i wledda arnynt.

Adn. 13. *A hwy a rostiasant y pasc wrth dân, yn ol y ddefod*] Fel y gorchymynasai Duw, Exod. xii. 8, 9; *a'r cysegredig bethau ereill*—sef yr ebyrth hedd, y rhai a fwytäai yr aberthwyr, ar ol llosgi eu gwer a'u harenau ar yr allor, a rhoddi eu rhanau priodol o honynt i'r offeiriaid, sef yr ysgwyddog a'r barwyden; *a ferwasant hwy*—yn debygol y Lefiaid, y rhai a'u rhanent wedi hyny i'r holl bobl ar *redeg*, er mwyn brys.

Adn. 14—16. *Am hyny y Lefiaid oedd yn parotoi iddynt*] Trwy fod yr offeiriaid yn brysur yn llosgi y poeth-offrymau a'r brasder ar hyd y nos, nis gallent hwy barotoi dim iddynt eu hunain; ac am hyny yr oedd yn angenrheidiol i'r Lefiaid barotoi iddynt hwy, yn gystal ag iddynt euh unain: a gwnaent yr un

ol gorchymyn y brenin Josiah.

17 A meibion Israel y rhai a gafwyd, a gynaliasant y pasc yr amser hwnw, a gŵyl y bara croyw, saith niwrnod.

18 Ac ni chynaliesid pasc fel hwnw yn Israel, er dyddiau Samuel y proffwyd: ac ni chynaliodd neb o frenhinoedd Israel gyffelyb i'r pasc a gynaliodd Josiah, a'r offeiriaid, a'r Lefiaid, a holl Judah, a'r neb a gafwyd o Israel, a thrigolion Jerusalem.

19 Yn y ddeunawfed flwyddyn o deyrnasiad Josiah y cynaliwyd y pasc hwn.

20 ¶ Wedi hyn oll, pan barotoisai Josiah y tŷ, Necho brenin yr Aifft a ddaeth i fyny i ryfela yn erbyn Charcemis wrth Euphrates: a Josiah a aeth allan yn ei erbyn ef.

21 Yntau a anfonodd genadau ato ef, gan ddywedyd, Beth *sydd* i mi a *wnelwyf* â thi, O frenin Judah? nid yn dy erbyn di *y daethym i* heddyw, ond yn erbyn tŷ *arall y mae* fy rhyfel i; a Duw a archodd i mi frysio: paid di â Duw, yr hwn *sydd* gyda mi, fel na ddyfetho efe dydi.

22 Ond ni throai Josiah ei wyneb oddiwrtho ef, eithr newidiodd ei ddillad i ymladd yn ei erbyn ef, ac ni wrandawodd ar eiriau Necho o enau Duw, ond efe a ddaeth i ymladd i ddyffryn Megido.

23 A'r saethyddion a saethasant at y brenin Josiah: a'r brenin a ddywedodd wrth ei weision, Dygwch fi ymaith, canys clwyfwyd fi yn dost.

24 Felly ei weision a'i tynasant ef o'r cerbyd, ac a'i gosodasant ef yn yr ail gerbyd yr hwn *oedd* ganddo; dygasant ef hefyd i Jerusalem, ac efe a fu farw, ac a gladdwyd yn meddrod ei dadau. A holl Judah a Jerusalem a alarasant am Josiah.

---

modd hefyd i'r cantorion a'r porthorion, trwy na chaent hwythau ymado o'u gwasanaeth i barotoi iddynt eu hunain.

Adn. 17. *Y rhai a gafwyd*] Neu a oeddynt yn bresenol yn Jerusalem; *saith niwrnod*—yn ol y gyfraith, Exod. xii. 15.

Adn. 18, 19. *Ac ni chynaliesid pasc fel hwnw yn Israel*] Mor fanwl yn ol y gyfraith yn mhob peth, mor gyffredinol a lluosog gan wŷr Juda ac Israel, a chyda'r fath haelioni mawr o du y brenin a'i dywysogion. Yr oedd pasc Hezeciah yn ddiffygiol iawn o ran cymhwysder y bobl, pen. xxx. 18. *Er dyddiau Samuel y proffwyd*—gwel ar 2 Bren. xxiii. 22, 23.

Adn. 20. *Wedi hyn oll, pan parotoisai Josiah y tŷ*] Sef y deml, trwy ei hadgyweirio, a threfnu yr offeiriaid a'r Lefiaid at wasanaeth yr Arglwydd ynddi; *Necho brenin yr Aifft a ddaeth i fyny i ryfela*—felly, pan yr oedd Josiah a'i bobl yn gobeithio fod seiliau dedwyddwch parhaus wedi eu gosod, eu gobeithion hwy a ddiffoddwyd yn y fan! Fel hyn eto y mae dynion yn fynych yn camgymeryd yn eu barnau yn nghylch bwriadau rhagluniaeth Duw. *Yn erbyn Carchemis*—yr hon a gymerasai yr Assyriaid yn ddiweddar oddiar frenin yr Aifft; *a Josiah a aeth allan yn ei erbyn ef*—gwel ar 2 Bren. xxiii. 29.

Adn. 21. *Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, O frenin Juda?*] Arwyddai brenin yr Aifft nad oedd ef yn ymyraeth dim â Josiah, ac am hyny na ddylasai Josiah ymyraeth dim âg yntau. *Yn erbyn tŷ arall y mae fy rhyfel i*—sef yn erbyn brenin Assyria, er ei fod yn myned i fyny trwy dir Israel. *A Duw a archodd i mi frysio*—trwy gymeryd y ffordd feraf, ac am hyny na rwystra fi. Tybia rhai mai ffuantu hyn yr oedd efe, am y gwyddai fod gan Josiah barch mawr i Dduw; tybia ereill, gyda'r *Targum*, mai at ei eilun ei hun y cyfeiriai efe; tra y barna ereill fod y gwir Dduw wedi peri iddo fyned yn erbyn yr Assyriaid, naill ai trwy freuddwyd, neu ynte trwy y proffwyd Jeremiah. *Paid ti â Duw*—paid a gwrthwynebu ei ewyllys ef, rhag iddo dy ddyfetha.

Adn. 22. *Ond ni throai Josiah ei wyneb oddiwrtho ef*] Am nad oedd yn credu fod Duw gydag ef; neu am ei fod yn ei ystyried ei hun dan rwymau i amddiffyn brenin Assyria, yr hwn a roddasai awdurdod iddo ef ar deyrnas y deg llwyth; neu am ei fod yn camddeall yr addewid a wnaed iddo, pen. xxxiv. 28, 'Ti a ddygir ymaith i'r bedd mewn heddwch.' *Eithr newidiodd ei ddillad*—fel na wybyddai yr Aifftiaid mai y brenin oedd efe, fel Ahab gynt, 1 Bren. xxii. 30; *ac ni wrandawodd ar eiriau Necho o enau Duw*—na chwaith gymaint ag ymofyn â'r Arglwydd ai oddiwrtho ef yr oedd y peth hyn; *ond efe a ddaeth i ymladd i ddyffryn Megido*—lle yn llwyth Issacar, yn perthyn i Manasseh, Jos. xvii. 11. Yma cawn dystiolaeth yr hanesydd, yn gystal a Necho, mai *Duw* a lefarasai wrtho ef.

Adn. 23. *A'r saethyddion a saethasant at y brenin*] Trwy iddynt ond odid ei adnabod ef, neu feddwl mai efe oedd prif dywysog y filwriaeth; ac efe a glwyfwyd yn angeuol. *Dygwch fi ymaith, canys clwyfwyd fi yn dost*—geiriau cyffelyb i eiddo Ahab, 1 Bren. xxii. 34.

Adn. 24. *Felly ei weision a'i tynasant ef o'r cerbyd*] Lle yr ydoedd pan y saethwyd ef; *ac a'i gosodasant ef yn yr ail gerbyd*—canys yr oedd gan y swyddogion feirch a cherbydau ereill mewn rhyfel, fel, os dyfethid y naill, y

25 ¶ Jeremiah hefyd a alarnadodd am Josiah, a'r holl gantorion a'r cantoresau yn eu galarnadau a soniant am Josiah hyd heddyw, a hwy a'i gwnaethant yn ddefod yn Israel; ac wele hwynt yn ysgrifenedig yn y galarnadau.

26 A'r rhan arall o hanes Josiah, a'i ddaioni ef, yn ol *yr hyn oedd* ysgrifenedig yn nghyfraith yr Arglwydd,

27 A'i weithredoedd ef, cyntaf a diweddaf, wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Judah.

## PENNOD XXXVI.

YNA pobl y wlad a gymerasant Joahaz mab Josiah, ac a'i hurddasant ef yn frenin yn lle ei dad yn Jerusalem.

2 Mab tair blwydd ar hugain *oedd* Joahaz pan ddechreuodd efe deyrnasu; a thri mis y teyrnasodd efe yn Jerusalem.

3 A brenin yr Aifft a'i diswyddodd ef yn Jerusalem; ac a drethodd ar y wlad gan talent o arian, a thalent o aur.

4 A brenin yr Aifft a wnaeth Eliacim ei frawd ef yn frenin ar Judah a Jerusalem, ac a drodd ei enw ef yn Joacim. A Necho a gymerodd Joahaz ei frawd ef, ac a'i dyg i'r Aifft.

5 ¶ Mab pum mlwydd ar hugain *oedd* Joacim pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd ei Dduw.

6 Nebuchodonosor brenin Babilon a ddaeth i fyny yn ei erbyn ef, ac a'i rhwymodd ef mewn cadwynau pres, i'w ddwyn i Babilon.

7 Nebuchodonosor hefyd a ddyg o lestri tŷ yr Arglwydd i Babilon, ac a'u rhoddodd hwynt yn ei deml o fewn Babilon.

8 A'r rhan arall o hanes Joacim, a'i ffieidd-dra ef y rhai a wnaeth efe, a'r hyn a gafwyd arno ef, wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Judah. A Joachin ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

9 ¶ Mab wyth mlwydd *oedd* Joachin pan ddechreuodd efe deyrnasu, a thri mis a deng niwrnod y teyrnasodd efe yn Jerusalem; ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd.

10 Ac yn mhen y flwyddyn yr anfonodd y brenin Nebuchodonosor, ac a'i dyg ef i Babilon, gyda llestri dymunol tŷ yr Arglwydd: ac efe a wnaeth Sedeciah ei frawd ef yn frenin ar Judah a Jerusalem.

11 ¶ Mab un mlwydd ar hugain *oedd* Sedeciah pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn Jerusalem.

---

byddai ganddynt rai ereill at eu gwasanaeth. *Dygasant ef hefyd i Jerusalem*—yn fyw, pellder o 52 o filldiroedd; *ac efe a fu farw*—yn fuan ar ol ei ddwyn yno, ac a gladdwyd yn ei feddrod ei hun, yn ymyl beddrod brenhinoedd Juda: gwel 2 Bren. xxiii. 30. *A holl Juda a Jerusalem a alarasant am Josiah*—yr hwn a fuasai yn frenin mor dda mewn ystyr gwladol a chrefyddol.

Adn. 25. *A Jeremiah hefyd a alarnadodd am Josiah*] Nid yn unig teimlodd yn ddwys am golli brenin mor dda, ond hefyd cyfansoddodd farwnad ar yr achlysur, yr hon sydd yn awr ar goll. *A'r holl cantorion a'r cantoresau, yn eu galarnadau, a soniant am Josiah hyd-heddyw*—yn eu holl alarnadau am ereill, hyd yn nod yn amser Ezra, ar ol eu dychweliad o Babilon, sonient yn gwynfanus am syrthiad anffodus Josiah, a cholled y wlad am dano, yr hyn a agorodd y drws i'w holl aflwydd dyfodol. *A hwy a'i gwnaethant yn ddefod yn Israel*—tybir iddynt wneyd defod o gadw dydd marwolaeth Josiah yn ddydd o alar cyffredinol bob blwyddyn, ar y 9fed o *Ab*, yn cyfateb i ran o'n Gorphenhaf ni; a bod y darnau galarnadol a gyfansoddwyd ar yr achlysur athrist hwn, yn cael eu dysgu a'u galarnadu gan yr holl bobl. *Ac wele hwynt yn ysgrifenedig yn y galarnadau*—nid yn y llyfr a elwir 'Galarnad Jeremi,' yr hwn a ysgrifenwyd ar achlysur arall; eithr mewn rhyw gasgliad o ganiadau ag sydd yn awr ar goll.

Adn. 26, 27. *A'r rhan arall o hanes Josiah*] Pethau na chrybwyllwyd yma am ei dduwioldeb a'i weithredoedd da ef, cyn ei fyned yn frenin, ac wedi hyny; *wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Juda*—gwel ar 1 Bren. xiv. 19, 29.

PEN. XXXVI. Adn. 1—4. *Yna pobl y wlad a gymerasant Joachaz*] Ail fab Josiah; gwel ar 2 Bren. xxiii. 30—35.

Adn. 5—8. *Mab pum mlwydd ar hugain oedd Joacim*] Mab hynaf Josiah, yr hwn gynt a elwid *Eliacim:* gwel ar 2 Bren. xxiii. 36, 37, a xxiv. 1—7.

Adn. 9, 10. *Mab wyth mlwydd oedd Joacin*] Hwn oedd fab i'r *Joacim* uchod. Yn 2 Bren. xxiv. 8, dywedir ei fod yn 18 mlwydd y pryd hyn: gwel y sylwadau yno.

12 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd ei
Dduw, *ac* nid ymostyngodd efe o
flaen Jeremiah y proffwyd, *yr hwn*
*oedd yn llefaru* o enau yr Arglwydd.
13 Ond efe a wrthryfelodd yn
erbyn brenin Nebuchodonosor, yr
hwn a wnaethai iddo dyngu i Dduw:
ond efe a galedodd ei war, ac a
gryfhaodd ei galon, rhag dychwel-
yd at Arglwydd Dduw Israel.
14 ¶ Holl dywysogion yr offeir-
iaid hefyd, a'r bobl, a chwanegasant
gamfucheddu, yn ol holl ffieidd-dra
y cenhedloedd; a hwy a halogasant
dŷ yr Arglwydd, yr hwn a santeidd-
iasai efe yn Jerusalem.
15 Am hyny Arglwydd Dduw eu
tadau a anfonodd atynt hwy trwy
law ei genadau, gan fore-godi, ac
anfon: am ei fod ef yn tosturio wrth
ei bobl, ac wrth ei breswylfod.
16 Ond yr oeddynt hwy yn gwat-
war cenadau Duw, ac yn tremygu
ei eiriau ef, ac yn gwawdio ei proff-
wydi ef; nes cyfodi o ddigofaint yr
Arglwydd *yn* erbyn ei bobl, fel nad
*oedd* iachâd.
17 Am hyny efe a ddygodd i fyny
arnynt hwy frenin y Caldeaid, yr
hwn a laddodd eu gwŷr ieuainc
hwy â'r cleddyf yn nhŷ eu cysegr,
ac nid arbedodd na gŵr ieuanc na
morwyn, na hen, na'r hwn oedd
yn camu gan oedran: efe a'*u* rhodd-
odd *hwynt* oll yn ei law ef.
18 Holl lestri tŷ Dduw hefyd,
mawrion a bychain, a thrysorau tŷ
yr Arglwydd, a thrysorau y brenin
a'i dywysogion: y rhai hyny oll a
ddyg efe i Babilon.
19 A hwy a losgasant dŷ Dduw,
ac a ddystrywiasant fur Jerusalem;
a'i holl balasau hi a losgasant hwy
â thân, a'i holl lestri dymunol a
ddinystriasant.

---

Adn. 11—13. *Mab un mlwydd ar hugain oedd Zedeciah*] Hwn oedd trydydd mab Josiah, 1 Cron. iii. 15; ac ewythr, nid 'brawd,' i'r Joacin uchod; neu 'frawd ei dad,' fel y mae y LXX yn ei ddarllen, adn. 10. Ei enw cyntaf ef oedd *Mattaniah*, yr hwn a newidiwyd yn *Zedeciah* am y rheswm a grybwyllwyd eisioes: gwel ar 2 Bren. xxiv. 17—20.

Adn. 14. *Holl dywysogion yr offeiriaid*] Y rhai a ddylasent ddysgu y bobl yn nyledswyddau crefydd; *a'r bobl*—trwy eu siamplau drwg hwy; *a chwanegasant gamfucheddu*—trwy ddylyn eilunaddoliaeth yn fwy nag erioed; *a hwy a halogasant dŷ yr Arglwydd*—trwy osod eilunod ac eilunaddoliaeth i fyny yno, lle yr oedd Duw wedi ei santeiddio i'w wasanaeth ei hun.

Adn. 15. *Am hyny Arglwydd Dduw eu tadau*] Yr hwn yr oeddynt hwy wedi gwrthod ei gymeryd yn Dduw iddynt hwy; *a anfonodd atynt hwy trwy law ei genadau*—megys Jeremiah, Ezeciel, Uriah, &c; *gan fore-godi, ac anfon*—fel pen-teulu gofalus, yn codi yn fore at ei orchwylion; *am ei fod ef yn tosturio wrth ei bobl*—heb ewyllysio iddynt gael eu dyfetha; *ac wrth ei breswylfod*—heb chwennych i Jerusalem a'r deml gael eu dystrywio gan elynion paganaidd: gwel ar Jer. xxvi. 2, &c.

Adn. 16. *Ond yr oeddynt hwy yn gwatwar cenadau Duw*] Yn lle gwrando arnynt; *ac yn tremygu*—neu yn *dirmygu* geiriau Duw ei hun yn eu genau hwynt; *ac yn gwawdio*—Saes., 'yn *cam-drin* ei broffwydi ef,' sef eu carcharu a'u taro, &c., megys y gwnaed â Michea yn amser Ahab, ac â Jeremiah ac ereill wedi hyny; *nes cyfodi o ddigofaint yr Arglwydd*—fel dwfr wedi hir groni, yn llifo dros yr holl wlad; *fel nad oedd iachâd*—dim modd ei attal yn ei yrfa ddinystriol.

Adn. 17. *Am hyny efe a ddygodd i fyny arnynt hwy frenin y Caldeaid*] Sef Nebuchodonosor, yr hwn, er nad oedd ganddo ef ddim mewn golwg ond cyflawni ei fwriadau gwladwriaethol ei hun, eto a oedd trwy hyny yn cyflawni bwriadau JEHOFA hefyd; *yr hwn a laddodd eu gwŷr ieuainc hwy â'r cleddyf yn nhŷ eu cysegr*—sef y deml, i'r hon yr oedd llawer wedi ffoi, gan feddwl y buasai santeiddrwydd y lle hwnw yn noddfa iddynt; *ac nid arbedodd*—na gwryw na benyw, hen nac ieuanc, heb eu lladd, eu caethgludo, neu eu darostwng; canys yr oedd Duw wedi eu rhoddi hwynt oll yn llaw Nebuchodonosor, i'w cospi am eu pechodau.

Adn. 18. *Holl lestri tŷ Dduw*] Er i'r rhai hyn gael eu dwyn i Babilon, eto trefnodd rhagluniaeth Duw fod iddynt gael eu cadw yn ofalus, a'u dychwelyd i Jerusalem dan deyrnasiad Cyrus, Ezra i. 7, &c. *A thrysorau y brenin a'i dywysogion*—dygwyd y rhai hyn hefyd i Babilon, lle y rhanwyd hwynt ond odid fel yspail rhyfel rhwng y milwyr.

Adn. 19. *A hwy a losgasant dŷ Dduw*] Yr hyn oedd derfyn ar deml Solomon; *ac a ddystrywiasant fur Jerusalem*—fel ag y peidiodd â bod yn ddinas gaerog; *a'i holl balasau hi a losgasant*—fel nad oedd mwyach yn drigfa brenhinoedd a gwŷr mawrion; *a'i holl lestri dymunol*—y rhai a gaed yn y palasau hyny, *a ddinystriasant*—gan losgi y dodrefn nad allent eu cludo ymaith, a churo i lawr y llestri aur ac arian yn sypiau i'w hail doddi, heb adael ond ychydig o'r rhai gwerthfawrocaf yn eu ffurf gyntefig: gwel ar 2 Bren. xxv. 9, 10.

Adn. 20. *A'r rhai a ddiangasai gan y cleddyf*] Pawb ond ychydig o dylodion y wlad, y rhai a adawyd yn winllanwyr ac yn arddwyr yno, 2 Bren. xxv. 12; *a gaethgludodd efe i Babilon*—lle y buont yn gaethweis-

20 A'r rhai a ddiangasai gan y cleddyf, a *gaeth*-gludodd efe i Babilon: lle y buant hwy yn weision iddo ef ac i'w feibion, nes teyrnasu o'r Persiaid:

21 I gyflawni gair yr Arglwydd trwy enau Jeremiah, nes mwynhau o'r wlad ei sabbothau; *canys* yr holl ddyddiau *y bu hi* yn anghyfanedd, y gorphwysodd hi, i gyflawni deng mlynedd a thriugain.

22 ¶ Ac yn y flwyddyn gyntaf i Cyrus brenin Persia, (fel y cyflawnid gair yr Arglwydd *yr hwn a ddywedwyd* trwy enau Jeremiah,) yr Arglwydd a gyffrodd ysbryd Cyrus brenin Persia, fel y cyhoeddodd efe trwy ei holl frenhiniaeth, a hyny mewn ysgrifen, gan ddywedyd,

23 Fel hyn y dywed Cyrus brenin Persia, Arglwydd Duw y nefoedd a roddodd holl deyrnasoedd y ddaear i mi, ac efe a orchymynodd i mi adeiladu tŷ iddo yn Jerusalem, yr hon *sydd* yn Judah. Pwy *sydd* yn eich mysg chwi o'i holl bobl ef? yr Arglwydd ei Dduw *fyddo* gydag ef, ac eled i fyny.

---

ion i Nebuchodonosor, ac i Efil-merodach ei fab ef, ac i Belsassar ei ŵyr ef; *nes teyrnasu o'r Persiaid*—yn mherson Cyrus.

Adn. 21. *I gyflawni gair yr Arglwydd trwy enau Jeremiah*] Gwel Jer. xxv. 9, 12, a xxvii. 7, a xxix. 10; *nes mwynhau o'r wlad ei sabbothau*—sef ei sabbothau saith-flynyddol. Yr oedd Duw wedi gorchymyn i'r tir gael gorphwys am flwyddyn, heb ei lafurio, bob saith mlynedd, Lef. xxv. 2—7; a chan eu bod hwythau wedi esgeuluso y gyfraith hon am 490 o flynyddoedd, sef o amser Saul, gan aredig y ddaear bob *seithfed* flwyddyn fel yn y blynyddoedd ereill, mynai Duw eu cadw hwy yn Babilon am 70 mlynedd, fel y cai y tir fwynhau y sabbothau hyny yn olynol, y rhai y dylasai efe gael eu mwynhau o'r blaen bob saith mlynedd; canys 70, yn lluosedig gan 7, a wnant yn gywir 490. *Canys yr holl ddyddiau y bu hi yn anghyfanedd*—heb ddigon o breswylwyr ynddi i'w llafurio yn briodol; *y gorphwysodd hi*—heb ei haredig na'i hau; *i gyflawni deng mlynedd a thriugain*—hyny yw, cafodd y tir orphwys yn gywir yr un nifer o flynyddoedd ag a gawsai ped ufyddhasai yr Iuddewon i'r gyfraith berthynol i'r sabbothau blynyddol: gwel ar Lef. xxvi. 34, 35.

Adn. 22, 23. *Ac yn y flwyddyn gyntaf i Cyrus brenin Persia, &c.*] Tybia Kennicott ac ereill fod y ddwy adnod hyn yn perthyn yn briodol i lyfr *Ezra*, a'u bod wedi eu dodi yma gan ryw adysgrifenydd mewn camgymeriad, neu ynte mewn awydd am fynegu eu rhyddhad. Felly y mae ail lyfr y Cronicl, a llefaru yn briodol, yn diweddu gydag adn. 21 o'r bennod hon, gan mai y pryd hyny y mae y caethiwed Babilonaidd yn *dechreu;* a'r ddwy adnod hyn a soniant am bethau a gymerasant le yn mhen *deng mlynedd a thriugain wedi hyny*. Gan fod yr adnodau hyn i'w cael yn nechre llyfr *Ezra*, cyfeirir y darllenydd yno am eglurhad arnynt.

DIWEDD YR AIL GYFROL.

MACHYNLLETH: ARGRAFFWYD GAN J. WILLIAMS.

